"Gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a Pherffeithydd ein ffydd ni."

# Y WAWR;

—SEF—

CYLCHGRAWN MISOL

## Y Bedyddwyr Cymreig

YN AMERICA.

DAN OLYGIAETH

Y PARCH. OWEN GRIFFITHS (*GIRALDUS*),

UTICA, N. Y.

CYFROL I.

UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.

*1877.*

# ANERCHIAD.

*Anwyl Frodyr a Chyfeillion:*

Wrth gyflwyno hyn o anerchiad, mae yn briodol, yn gyntaf oll i gydnabod mewn diolchgarwch Dad y trugareddau, am arbediad bywyd, ac estyniad iechyd, fel ag i'n galluogi i wneyd ein rhan er dwyn allan y WAWR am flwyddyn.

Yn dilyn hyn, mae genym hefyd i ddatgan ein teimladau boddhaus a chymeradwyol tuag at yr Enwad yn gyffredinol, ac yn enwedig tuag at bersonau ac eglwysi a gynorthwyasant yn nygiad allan y Cyhoeddiad o fis i fis. Mae amryw frodyr a brawdoliaethau wedi bod yn hynod ffyddlon. Dysgwyliwn rhagllaw y bydd y gefnogaeth yn fwy gwresog ac ymarferol. Anhawdd ydyw cael gan lawer sylweddoli mawredd y gwaith o ddwyn allan fisolyn Cymreig yn America. Yn anhysbys yn manylwch a natur y gelfyddyd o argraffu, tybia rhai fod llenwi tu dalenau cyhoeddiad yn orchwyl mor ddibwys a didrafferth, ag ysgrifenu yr un faint o bapyr gwyn â phin ac inc. Yn gysylltiedig a hyny, mae camgymeriad dirfawr mewn perthynas i faint y treulion, gan y gwneir camgymeriad am y gwaith, cyfeiliornir yn gyffelyb am yr hyn fydd i'w dalu am ei wneyd. Nid pawb ychwaith sydd yn gallu sylweddoli yn ddyladwy werth Cyhoeddiad Misol, fel cyfrwng i wasanaethu enwad crefyddol o bobl. Mae y diffygion yna, yn gystal a phethau eraill ellid enwi, yn peri fod llawer i'w cael yn hwyrfrydig a difater yn eu cefnogaeth i'r fath gyhoeddiad.

Er nad ystyriwn y WAWR wedi bod eto yr hyn y dymunem i'r Cyhoeddiad fod; er hyny, credwn er ei ddiffygion, mai ychydig sydd, os neb, na theimlent weled y WAWR yn marw.

Credwn y gellir, gyda chydweithrediad dyladwy wneyd y WAWR o werth sylweddol a theimladwy. Gyda y profiad a gawsom, gallwn synied am rai pethau a fyddent yn welliantau gwirioneddol. Nodwn yr angenrheidrwydd am fwy o amrywiaeth, llai o draethodau trymion a meithion, ychwaneg o erthyglau yn traethu ar bynciau ymarferol i'r eglwysi.

Nid annheilwng o sylw ydyw urddas llenyddol y cyhoeddiad. Ni ddylai fod dim yn ei golofnau yn anghydweddol o gymeriad cyhoeddiad misol enwad crefyddol o safle anrhydeddus y Bedyddwyr. Dylid bod yn ymdrechol i gadw at *ysbryd*, yn gystal ag at ffurf yr athrawiaeth sydd yn ol duwioldeb.

Yr ydym yn awyddus i wneyd y cyhoeddiad o wir les a dyddordeb i'r Enwad. Yn y rhagdrefn a roddwn, mae rhai pethau yn neillduol yn cael eu nodi, a ystyrir yn meddu yr amcan hwnw. Onid caffaeliad gwerthfawr ar leni y WAWR a fyddai crynodeb byr, cynwysfawr o ddechreuad, cynydd, a dadblygiad yr Eglwysi Bedyddiedig Cymreig yn America, un ac un? Ac os gellid, cael darluniau hefyd o weinidog presenol yr eglwys yr ysgrifenid ei hanes, goreu oll. Tra y byddai y cyfryw yn debyg o fod yn ddyddorol yn awr, byddent yn fwy felly i eraill sydd i ddilyn. Dymunol hefyd fyddai ysgrifenu cofiantau mor fyr, cryno a chynwysfawr ag y byddo yn bosibl. Dylai gohebydd ystyried *faint*, yn gystal a beth mae yn ei ysgrifenu. Gellir yn hawdd gasglu *faint* a *beth* fydd yn dderbyniol, yn ol y trefniant a fabwysiedir.

Gyda dysgwyliad am *gefnogaeth unfrydol* y Bedyddwyr Cymreig yn America, a bendith Duw, anturiwn ar y gwaith o ddwyn allan y WAWR am flwyddyn arall.

Yr eiddoch yn frawdol yn efengyl Iesu Grist,

UTICA, N. Y., *Mawrth* 1, 1877. OWEN GRIFFITHS.

# CYNWYSIAD.



*** Er mwyn arbed gofod nid ydym yn rhoddi yn y Cynwysiad uchod ond yn unig yr erthyglau cyntaf o'r gwahanol rifynau.

Opportunity of joining the Ministry
See Page 296

# Y WAWR.

CYF. I.] EBRILL, 1876. [RHIF. I.

## "Y WAWR" A'I NODWEDDION.

O'r holl ymddangosiadau a'r gwrthddrychau wybrenol a ddefnyddiwyd o oes i oes i osod allan weithrediadau a chyflyrau cymdeithasol, moesol a chrefyddol meibion dynion, efallai nad oes un yn gryfach ac eglurach ei hystyr nag yw y *wawr*. Mae y wawr yn meddu cyfaddasrwydd neillduol i osod allan sefyllfa pethau fo'n gogwyddo at wellhad, yn gystal a phethau tebygol i ogwyddo felly. Nid rhyfedd, gan hyny, os yw enw y wawr yn seinio yn foddhaus i ni, gan y defnyddir ef mor fynych i ddarlunio yr hyn a hoffir ac a ddymunir genym. Bydd un prawf ...sig wedi ei gyrhaedd, fod yr hyn a ...awnir genym yn iawn, neu yr am...chiadau y byddom yn myned trwy...nt yn troi er gwell, pan y boddlonir ... fod delw o hyny yn cael ei bortreadu ... natur. Y pryd hwnw mae ein dy...diadau a'n cyflawniadau yn naturiol, ... y maent yn seiliedig ar rywbeth ...ebyg yn nghyfrol fawr anian.

Dysgwylir, fe ddichon, wrth gychwyn fel hyn, fath o gyfarchiad yn gosod allan yr hyn fwriedir i'r Cyhoeddiad Newydd fod, a'r hyn a ddysgwylir oddiwrth yr enwad yr ymrodda i'w wasanaethu. Nis gwyddom, ar hyn o bryd, am well cynllun i wneyd hyny, na thrwy egluro yn fyr nodweddau y wawr naturiol, a faint o debygrwydd iddi a ddysgwylir i'r "Y WAWR" feddu—o debygrwydd iddi mewn defnyddiau, gweithrediadau ac effeithiau. Gwyddis fod y tywyllwch yn cyfansoddi rhan fawr o'r wawr naturiol. Yn wir, prin y gellir dweyd fod y dydd ei hunan yn hollol rydd oddiwrth dduwch. Medda ef ei gysgodion, ei ddiffygion, ei niwl a'i darth; yn fyr, mae brychau ar wyneb *tad* y dydd ei hun. Am y wawr, mae tywyllni yn gymysgedig a hi. Ni ellir dysgwyl i'r WAWR ar bapyr fod yn rhydd oddiwrth yr un nodwedd. Yn fynych mae tywyllni yn gweithio ei ffordd i gynyrchion meddyliol yr awdwyr galluocaf. Y mae amrywiol ffyrdd trwy ba rai y gall gwyll bresenoli ei hun yn y colofnau hyn. Gall dyeithrwch a'r mater a drinir, dyryswch a natur y pwnc, a gwendid amgyffredion beri llwyd-dywyllni. Ac os drwy ymdrech y llwyddir yn weddol i'w gadw rhag anurddo Y WAWR, mae i'w gael, fel mae gwaethaf modd, yn ei helaethrwydd o'n hamgylch; mae "tywyllwch y byd hwn" yn ymledu ar bob tu. Ceir ef yn ffurf rhagfarn, ofergoeledd,

haerllugrwydd, anfoesoldeb, a daearoldeb.

Nid anfynych hefyd mae cymylau yn hongiedig dros ruddiau gwawr y boreu, ac weithiau yn ymgasgledig fel ag i rwystro i'w phelydrau i raddau dori drwodd i loni y byd; nis gwyddom eto faint o gymylau sydd i ymledu dros Y WAWR ag sydd yn awr ar dori; gobeithio mai ychydig fyddant.

Hanfod arall yn nefnydd y wawr yw goleuni; a hon yw yr elfen benaf. Goleuni, mewn gwirionedd, sydd yn effeithio gwawr; mewn ystyr nacaol yn unig y gellir dweyd fod y tywyllwch yn rhan o honi. Mae goleuni y wawr yn gynyddol—yn gynyddol yn ei ddysgleirdeb ac yn ei derfynau; ac yn benaf mae yn deilliaw oddiwrth ffynonell goleuni a gwres. Dymunol iawn fyddai fod i'r elfen hon, y goleuni, gael ei chynrychioli yn deilwng ar y tu dalenau hyn. Ymdrechir ymgyrhaedd at hyn yn anad dim; llafurir am i'r goleuni crefyddol a gyfrenir fod yn bur, yn gynyddol, ac yn deilliaw oddiwrth Haul mawr cyfiawnder, ffynonell bywyd, a gwres y byd moesol, crefyddol ac ysbrydol.

Mewn perthynas eto i *weithrediadau* y wawr, hysbys ydyw eu bod yn dod oddiamgylch yn hynod ddystaw. Mae y cyfnewidiadau rhyfeddaf, mwyaf, gogoneddusaf, yn cymeryd lle ar esgynlawr anian yn nadblygiad y wawr; ond dygir y cwbl oddiamgylch yn y fath fodd meistrolgar, didwrf a deheuig, fel nad oes un symudiad yn glywadwy. Dysgwylir i weithrediadau Y WAWR, tra yn traethu pethau mawrion Duw, fod yn ddystaw a boneddigaidd. Bydd twrf ymrafael yn milwrio yn erbyn ei hamcan, ac yn groes i'w henw a'i chymeriad. Mae gweithrediad y wawr, er hyny yn wir rymus ac effeithiol; er mor drwchus gall mentyll fod dr...ydd-au y nos, rhwygir, teflir hw...aith gan bicellau pelydrau treidd...awr. Yma ni ddeil ein cymhariae...ra y gallwn sicrhau dystawrwydd...awr, eto nid allwn sicrhau effeithi...d ei gweithrediadau. Mae haena...ll y meddwl anargyhoeddedig yn ...dd-ugawl a thrwchus na'r eiddo a... O dan adenydd tywyllwch enaid ...ir-gel-fanau a heria bron oleuni ... ei hunan; mae yn nghilfachau ...ll hwn ysbrydion yn ymlochesu, ...il ysbrydion tybiedig yr awyr g...r-iaeth a hwynt mewn ystyfnig...! Pa le, gan hyny, mae y goleuni a ...-ia i'r celloedd hyn? Dywedw...-cenir taflu pelydrau y gwirioned... gan obeithio y bydd i oleuni c... Haul cyfiawnder i ddilyn. "Cy... yr Arglwydd sydd bur, yn g... y llygaid." Ond a pheidio son ... meddwl annychweledig, ceir cym... gwyll yn rhy aml yn mhlith y llu... tra yn sefyll ar ffordd pelydrau g... ioneddau eglur fyddo yn hawdd eu... all yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd. ...yna rhaid i ni gymedroli ein hym... roddion wrth addaw tebygu i'r wa... naturiol yn nhreiddgarwch a grymus... ei gweithrediadau, oblegid gwrthwy... ebrwydd y meddwl dynol i dderb... gwirioneddau dwyfol.

Eto mewn perthynas i natur *effeithia...* y wawr, dylai fod genym air i'w dd...weyd. Rhai o'i phrif effeithiau ydy... goleuo, cynyrchu bywyd a gweithgar...wch, ac ymlanhad. Yn ngoleuni y wawr dechreua prydferthwch anian hardd ddod i'r golwg yn ei hamrywiaethau diderfyn, o ran maint, ffurf, gwedd, a llun. Drwy yr yni a gynyrcha, cyfyd eilwaith gyda ei chreaduriaid lluosog, megys o farw yn fyw; "A'r byd mewn gwynfyd a gan." Ym-

loewir hefyd gan fawr a man; teimla y greadigaeth duedd ymlanhau ac ymysgwyd o'r llwch. Yr adar asgellog a ymdrwsiant, yr anifail yntau, yn ei ffordd ei hun, ni esgeulusa ymuno yn y gwaith o ymsancteiddio; a dyn, hefyd, yn yr ystyr hwn, a geir yn ymbincio. Effeithir gan y wawr fel hyn ddiwygiad cyffredinol, ba le bynag y taflo ei phelydrau. Dymunem ninau, ie, dymunem i belydrau Y WAWR gario dylanwadau cyffelyb ar yr eglwysi, y cynulleidfaoedd a'r wlad. Nid ellir gwadu nad oes eisiau goleuo, eisiau mwy o weithgarwch a sel yn ein plith, eisiau mwy o amddiffyn ein hegwyddorion neillduol, eisiau mwy o ymdrwsiad o ran y dyn oddimewn, a gwellhad mewn buchedd.

Er peri i'r WAWR fod yn feddianol ar y nodweddau crybwylledig, hyderir yn gadarn na fydd yr enwad Bedyddiedig yn ol mewn rhoddi cefnogaeth ymarferol a dyladwy. Mae y gefnogaeth gyffredinol ag sydd eisoes wedi cael ei rhoddi mewn addewidion, mor belled ag y mae hyny yn myned, yn galonogol iawn; ond os ydym ni am gael cyhoeddiad misol parhaol, rhaid cael cydweithrediad cyffredinol ac egniol. Yr hyn sydd wedi bod yn gwneyd niwaid mewn cynygion cyffelyb, meddir, yw *petty jealousies*, a diffyg cydymdrech. Y mae y cyfrifoldeb yr ydym ni wedi myned iddo wrth sicrhau tal yr argraffydd am flwyddyn, yn gystal a gwir ddymuniad am weled y Bedyddwyr yn meddu eu Cylchgrawn, yn peri i ni fod mor daer. Bydd y treulion yn fawrion bob mis, ac ni a obeithiwn na fydd hyny yn cael ei anghofio gan neb. Mae Y WAWR wedi peri pryder nid bychan i ni yn barod, a'n bwriad, gyda golwg ar y flwyddyn ddyfodol, os estynir i ni fywyd ac iechyd, ydyw gwneyd ein goreu mewn gwneyd Y WAWR yn deilwng o'i henw, ac o'r enwad parchus y meddwn yr anrhydedd o'i wasanaethu.

O. G.

# ROGER WILLIAMS.

GAN Y PARCH. D. RHOSLYN DAVIES, TAYLORVILLE.

Mae yn bosibl nad oes yr un enw yn nghof-lyfrau hanesyddiaeth ddiweddar mor anwyl a chysegredig ag eiddo yr anfarwol Roger Williams. Ystyrir ef gan y byd Protestanaidd yn un o'r ser dysgleiriaf yn ffurfafen yr eglwys. Pan ystyriom ei fywyd dichlynaidd, ei weithgarwch difefl, ei lafur a'i amynedd mawr, yn nghyda'i sel a'i frwdfrydedd dibaid o blaid egwyddorion pur y Testament Newydd, nid ydym yn synu dim fod ei enw yn cael ei seinio gyda'r fath barch ac anwyldeb. Os gallodd Voltaire gyda'i ysgrif-bin fygwth dymchwelyd mawr allu Rhufain; os bu geiriau Rousseau yn offerynol i gychwyn chwildroad yn Ffrainc, ac i leihau galluoedd yr awdurdodau gormesol; os bu Luther yn dad y Diwygiad; felly y bu Roger Williams yn arwr mawr rhyddid crefyddol trwy yr holl fyd. Diau i'r egwyddor fawr hon lechu yn mynwesau llawer o'i flaen ef, ond ynddo ef y torodd allan; ac efe yn unig a'i dysgodd ac a'i hamddiffynodd, ac a ymdrechodd o'i phlaid hyd at waed. Heblaw hyn, yr oedd yn ddysgawdwr nodedig; cafodd addysg yn un o golegau goreu Prydain. Yn hyn bu Rhagluniaeth yn dyner a gofalus iawn o hono. Mae yn

debygol fod ei rieni yn bobl dylodion, ac analluog i roddi iddo fanteision goreu addysg. Bernir iddo dderbyn ei addysg yn athrofa Rhydychain trwy garedigrwydd boneddwr enwog o'r enw Coke. Ar ddiwedd ei arosiad yn yr athrofa, bernir iddo ddechreu astudio y gyfraith; nid yn hir y bu wrth y gorchwyl hwn, oblegid yr oedd gan yr Arglwydd iddo faes arall, llawer mwy cydweddol a thueddiadau godidog ei feddwl ysplenydd.

Er mai ychydig ellir wybod gyda sicrwydd am ei helynt boreuol, eto y mae hanes yr amgylchiadau cythryblus yn Lloegr yr amser hwn, yn ein galluogi i ffurfio syniadau lled gywir am dano. Yr oedd egwyddorion gogoneddus y Diwygiad y pryd hwn yn araf a dystaw weithio allan eu dylanwadau daionus yn y gwahanol sefydliadau, eithr yn cael eu gwrthwynebu yn egniol a ffyrnig gan y galluoedd gwladol; ac yn yr ystorm hon, rhwng arferion llygredig yr oes flaenorol ag egwyddorion rhyddid, yr ydym yn cael Roger Williams a'i feddwl gafaelgar a dysgedig ar ei eithaf. Myfyriodd yn drwyadl yr egwyddorion yr oedd yn ymdrechu o'u plaid, a chyda ffydd gref coleddai athrawiaethau y Puritaniaid carcharedig, y rhai oedd yn gwneyd i fyny y dosbarth duwiolaf o'r Eglwys Sefydledig yn Lloegr. Bu hyn yn foddion iddo gael cyfleusderau i gymdeithasu a Cotton, Hooker, Syr Henry Vane, ac Oliver Cromwell, prif wroniaid y Diwygiad. Ond yn ei galon ef yr oedd egwyddor fawr, na feiddiai o bosibl wneyd dadblygiad teg o honi, hyd yn nod i'r enwogion hyn. Ac nid rhyfedd ein bod yn cael Roger Williams, yn moreu ymfudiaeth, yn chwilio am ddiddosfan ar draethell Lloegr Newydd.

Ar y cyntaf o Ragfyr, yn y flwyddyn 1630, wele ef, yn nghyda'i briod, yn hwylio o Caerodor, yn y llong *Lion*, ac wedi mordaith gythryblus am driugain a chwech o ddyddiau, cawn ef yn rhoddi ei droed, ar y 5ed o Chwefror, 1631, yn Boston. Yr oedd, y pryd hwn, tua 32 mlwydd oed, a'i alluoedd corphorol a meddyliol mewn cyflawn addfedrwydd. Yr oedd eisoes yn cael ei ystyried yn ddyn o ddylanwad ac o dduwioldeb mawr. Y mae y Llywodraethwr Winthrop yn son am ei ddyfodiad i Boston, fel "gweinidog duwiol," a diau fod yr eglwysi bychain yn Massachusetts Bay yn ei dderbyn gyda bloeddiadau gorfoleddus, wrth feddwl am yr ychwanegiad gwerthfawr o dduwioldeb a gwybodaeth oedd yn cael ei gyflwyno iddynt yn ei berson. Ychydig oedd efe na hwythau wedi feddwl y buasai y fath anghydfod yn cyfodi rhyngddynt ar gyfrif amddiffyn yr egwyddor fawr nefol-blanedig oedd yn cartrefu er ys blynyddoedd yn ei fynwes, sef mai i Dduw yn unig yr oedd dyn yn gyfrifol am ei farn yn nghylch athrawiaethau ac egwyddorion crefydd. Nid cynt y dadblygodd Roger Williams ei farn yn nghylch hyn, nag y cafodd fod yr awdurdodau gwladol a chrefyddol yn ymfyddino yn ei erbyn. Yr un elfen genfigenllyd, yr hon trwy uno yr eglwys a'r wladwriaeth, fu yn achos o liwio tiroedd Lloegr a gwaed y merthyron, oedd eto yn estyn allan ei cholyn gwenwynig yn mhlith pererinion Lloegr Newydd.

Yn fuan wedi glanio, cafodd wahoddiad gan eglwys Salem i ddyfod yn gynorthwywr i'w gweinidog, Mr. Skelton, ac ar y 18fed o Fai, 1631, ar ol myned trwy y seremoniau gofynol, cafodd ei dderbyn yn un o'r tiriogaethwyr. Edrychai pobl Salem arno gyda'r ymddir-

iedaeth lwyraf, a bu ei weinidogaeth yn foddion i ychwanegu eu parch a'u cariad tuag ato. Eithr yn herwydd ei farn mewn perthynas i ryddid crefyddol, cafodd fod amryw mewn cyffro yn ei erbyn. Felly gwelodd yn oreu (fel y gwel pob dyn doeth) i ymadael ar unwaith. Yna, ddiwedd Awst, ymadawodd o Salem, gan gyfeirio tua Plymouth, tu hwnt i gyrhaedd awdurdod llywodraethol Massachusetts Bay. Cafodd ei dderbyn yn Plymouth gyda'r parch oedd yn haeddu fel dyn, Cristion a phregethwr. Ond eto, yn bur fuan, cafodd allan nad oedd wedi myned o gyrhaedd yr ysbryd cul a barodd iddo symud o Salem. Eithr yn ystod yr arosiad byr hwn yn Plymouth, cafodd gyfleusderau lluosog i gymdeithasu a'r Indiaid, a daeth yn gyfaill gwresog ag amryw o'u penaethiaid. Mae yn debygol iddo, yn ystod ei arosiad yma, anturio yn aml i gartrefleoedd yr Indiaid, a dyfod yn gydnabyddus a'u dulliau hynod o fyw, ac a'u hiaith ddyeithr. Mewn llythyr a ysgrifenodd flynyddoedd ar ol hyn, y mae yn mynegu a ganlyn: "Duw a welodd yn dda roddi i mi ysbryd dyoddefgar, ac amynedd i drigo gyda hwy yn eu tyllau llychlyd a myglyd, tra yn Plymouth a Salem."

Yn ystod ei arosiad yn y lleoedd hyn cafodd deimlo yn aruthr oddiwrth chwerwder cynddeiriog ei elynion Cristionogol. Eithr nid oedd dim yn tycio, glynu yr oedd efe wrth egwyddor fawr anwyl ei galon. Gwaeddai allan gyda llais cadarn, a phenderfyniad diysgog, "Ni ddylai neb gael ei orfodi i addoli Duw yn groes i'w ewyllys." Yr oedd y duwinyddion goreu yn cael eu neillduo i ddadleu ag ef, ond yr oll i ddim pwrpas. Teimlai fod ganddo egwyddor fawr a phwysig i'w hamddiffyn, a bod symud iau orthrymus yr enaid yn gofyn cydymegniad ei holl ymadferthoedd. Gwelwn heddyw mai yr egwyddorion y cafodd Roger Williams ei alltudio o'u herwydd, ydynt y rhai y mae holl gyfandir mawr yr Unol Dalaethau yn ymffrostio ynddynt; hwynthwy ydynt sylfeini y wladwriaeth, a gogoniant y genedl fwyaf lwyddianus dan yr haul. Ac y mae yn amlwg fod Roger Williams yn rhagweled, gyda llygad ysbrydoledig, yr esgorai ei ddyoddefgarwch presenol ar y canlyniadau mwyaf bendithfawr i'r oesau dyfodol, fel ag y cawn oddiwrth ei iaith rymus a ganlyn: "Fel y bydd i hyn brofi yn weithred o drugaredd, a chyfiawnder i'r cenedloedd gorthrymedig, gan hyny yr wyf ar fy eithaf i enill heddwch a rhyddid cyffredinol."

Am ei ddaliadau crefyddol, penderfynwyd yn Boston, Gorphenaf, 1634, i alltudio Roger Williams o'r gororau. Creodd y penderfyniad hwn lawer o gynhwrf yn y wlad, oblegid yr oedd llawer yn credu yn ei onestrwydd a'i dduwioldeb hyd y diwedd. Aeth y son ar hyd a lled y tiriogaethau, fod yn mryd yr awdurdodau i'w anfon yn ol i Loegr; eithr mewn trefn i osgoi hyn, wele Roger Williams, yn Ionawr, 1635, yn gadael ei briod a'i anwyliaid bychain yn Salem, ac yn cyfeirio ei gamrau i ganol yr Indiaid anwaraidd. Aeth rhag ei flaen, megys caethwas, gan anturio ei fywyd i ddygwyddiadau enbyd yr anialwch, ac i drugaredd y creaduriaid gwylltion a'i cylchynai. Cawn ef yn ysgrifenu at gyfaill iddo, yn mhen blynyddoedd ar ol hyn, gan gyfeirio at yr amgylchiad tor-calonus hwn: "Dyoddefais yn arw am bedair-wythnos-arddeg, heb na gwely na bara." Er hyny, yr ysgymunbeth hwn, yr hwn yr oedd yr awdurdodau yn wrthod, eglwysi a gweinidogion yn ddiarddel, a gariai gydag ef trwy holl ysgogiadau ei

ffoad, egwyddor penaf crefydd Mab Duw. Efe yn unig y pryd hwn oedd yn ei iawn amgyffred; ac fel apostol anfonedig gan y Nefoedd, efe yn unig a'i pregethodd i'r oes dywell a dallbleidiol hono.

Pan fel hyn yn alltudiedig yn mysg yr Indiaid, y mae yn prynu ganddynt ysmotyn bychan o dir, ac yno ar unwaith y mae yn dechreu llafurio yn ei le newydd anghysbell, ac yn rhoddi lawr sylfeini y dref enwog a elwir Providence, yn Nhalaeth Rhode Island. Yma y cymdeithasodd lawer a'r Indiaid, ac yr enillodd eu parch a'u hymddiried, yn wahanol i unrhyw un arall a fu erioed yn eu plith. Bu Providence, trwy lafur diflino Roger Williams, yn noddfa i lawer ffoadur ar ol hyn. Yr oedd rhyddid yn Rhode Island, mor foreu a hyn, yn blaguro yn ogoneddus, yr hyn nad oedd yn un man arall o dan y nef. Y mae ymddygiadau caredig Roger Williams tuag at yr awdurdodau cylchynol ar ol hyn yn deilwng o'n sylw. Cawn i ymosodiadau ffyrnig gael eu gwneyd ar y Saeson gan yr Indiaid, ac ymddengys nad oedd neb a allasai eu darbwyllo rhag cyflawni eu difrodiadau, ond sylfaenydd Rhode Island. Hysbysir mai ei ddylanwad ef yn unig fu yn foddion i'w cadw rhag dinystrio a dyfetha yr holl bererinion yn ngylchoedd Plymouth a Salem. Gallasai hyn gymeryd lle heb iddo ef ei hun dderbyn yr un niwaid; eto gwnaeth ei ran fel dyn a Christion dros drigolion Lloegr Newydd, er ei fod yn ffoadur oddiwrthynt ar y pryd. Mewn gair, yr oedd eu bywyd am hir flynyddoedd megys yn ei law. Am yr holl gymwynasau hyn ni dderbyniai fawr ddiolch. Pan y soniwyd am gael undeb rhwng yr holl diriogaethau, yr oedd y teimlad yn erbyn Rhode Island y fath, fel y gwrthodwyd hi i'r undeb; a bu dan orfod i fyw yn hollol ar ei hadnoddau ei hun; ac y mae ymddygiadau o'r natur hyn yn cymylu llawer ar ogoniant hanesiaeth foreuol y tiriogaethau. Llwyddodd Rhode Island i gael breinlen o'i heiddo ei hun, yr hyn a fyddai yn rhoddi iddi awdurdod a bodolaeth drefedigol. Yr oedd yn rhaid sicrhau hyn eto trwy ddylanwad ac ymroad Roger Williams. Ac yr ydym yn ei gael, yn haf 1643, yn cychwyn tua gwlad ei enedigaeth.

Yn ystod ei ddychweliad cyfansoddodd lyfr a alwai yn "Allwedd i Iaith yr Indiaid," yr hwn a gyfansoddai, meddai, "er ychydig gynorthwy i'm cof, rhag i mi, yn yr absenoldeb hwn, anghofio yr ychydig wyf wedi ddysgu mor ddrud yn ystod y blynyddoedd diweddaf." Pan diriodd yn Lloegr, yr oedd yn ferw gwyllt yno, Charles I. yn cael ei arwain i'r crogbren, ac amcanion Cromwell yn cael eu sylweddoli. Eithr bu golygfa bresenol y wlad yn ffafriol i Roger Williams. Yn ystod ei arosiad yn Lloegr daeth yn gydnabyddus a llawer o benaethiaid y bobl; llwyddodd i gael yr hyn yr ymofynai am dano, a phan ddychwelodd, gosododd y diriogaeth fechan yn berffaith ddiogel er gwaethaf ei holl elynion. Cafodd lawer o helbul eto gan ei bobl ei hun yn Providence; ond ni chaniata gofod i ni ymhelaethu. Ond canfyddwn, oddiwrth yr hyn a ysgrifenwyd, mai Roger Williams ydyw arwr mawr rhyddid. Ni chyhoeddodd ac ni amddiffynodd neb ef fel efe. Cyhoeddai ger bron y byd na phlygai i neb ond i'w Iachawdwr Iesu Grist; mai iddo ef yn unig yr oedd dynion yn gyfrifol am yr hyn oeddynt. Erbyn heddyw mae y *germ* hwn oedd yn Roger Williams wedi tyfu yn bren mawr, ac yn lledu ei

gangau gogoneddus dros y byd gwareiddiedig. Heblaw hyn, yr ydym yn cael mai efe oedd un o'r Bedyddwyr cyntaf ar gyfandir mawr America; ac am ei ddewrder, ei lafur a'i ymdrechion o blaid yr enwad sydd erbyn hyn yn rhifo 1,633,938 o fewn yr Unol Dalaethau, bydd ei goffadwriaeth yn fendigedig byth gan bob calon. Cafodd yr anrhydedd o fod yn dad y rhyddid anwyl y mae pob enaid ail-enedig yn ymorfoleddu ynddo, ac yn sylfaenydd yn America, yr enwad hwnw a anwylir ac a gofleidir, cyn diwedd amser, gan holl genedlaethau y ddaear.

Y mae ffaith arall heb ei nodi (os oes eisiau ei nodi), mai Cymro oedd y dyn mawr ac anfarwol hwn. Un o waed a chalon Gymreig; un fu yn yfed o awelon iachus bryniau Cymru, ac un yr oedd ei galon yn curo mewn cydymdeimlad brawdol a'n hen genedl anwyl ni. Bydded i'w enw cysegredig aros yn anwyl a bendigedig byth yn ein calonau.

---

## ATHRONIAETH DEDWYDDWCH.

GAN Y PARCH. H. GWERFYL JAMES, UTICA.

Dedwyddwch! dyna air swynol! y mae yn llawn o hud-swyn cyfareddol i bob enaid, yn mhob man, yn mhob oes a gwlad. Y mae yn cynwys pob peth ag y mae dyn wedi ei golli, yn chwilio am dano, ac yn dyheu am ei gael, ac yn ddichonadwy iddo ei gyrhaeddyd.

Dedwyddwch! O! gymaint y mae'n *dybied*, ac yn *gynwys!* cynrychiola bob dymuniad o eiddo'r enaid, a sylweddola holl freuddwydion per-lewygawl bywyd ynddo'i hunan. Cynrychiola holl flodau teleidion gardd bywyd, y beroriaeth wefreiddiol a ddifyra fywyd, yn nghyda'r ffrydlif fywiol a grisialaidd a liniara angerdd syched bywyd. Cynwysa *unig ddymuniad mawr dynolryw trwy'r holl fyd!* Ymgais am ddedwyddwch sydd yn ysgogi yr holl fyd masnachol, meddyliol, a dychymygol. Y mae'r anwariad, y doethawr, a'r sant —y Llywodraethwr a'r rhai a lywodraethir, o tan ei ddylanwad a'i lywodraeth ef. Teimlir ei hudoliaeth ef yn y bwthyn fel yn y palas, yn y masnachdy fel yn y cysegr, yn yr anialwch fel ar yr orseddfainc; ac am ei wenau a'i bresenoldeb ef y mae gwaedd-ddolef hydreiddiaf a dyfnaf pob meddwl dynol.

Y mae dyn, er adeg y cwymp, mewn ymchwil am "ffynonell dedwyddwch," cloddia i goluddion y ddaear, hwylia dros foroedd geirwon, croesa gyfandiroedd, a chwilia i ddirgelion defnydd a meddwl am dani. Yr ymgais hwn yw yr "ysbryd byw" sydd yn chwyrnellu olwynion cynydd, celf a gwyddor.

Y mae *cyffredinolrwydd* y syched angerddol hwn yn sicrhau fod "ffynonell dedwyddwch" yn bodoli yn rhywle, o'r hon nad oes ond ychydig o'r teulu dynol wedi yfed hyd yn bresenol. Rhaid addef na buasai Duw'r cariad yn creu y syched hwn yn ei greaduriaid, heb ddarpariaeth briodol ar ei gyfer. Oddiwrth gariad ac haelfrydedd Duw, ar un llaw, ac angerddoldeb syched dynolryw yn gyffredinol, ar y llaw arall, credir fod Ffynon Dedwyddwch yn rhywle, ac mai o honi hi y llifa *yr afon sydd a'i ffrydiau yn llawenhau holl ddinas Duw.*

Gan fod gwir ddedwyddwch wedi ei ddarparu ar gyfer dynolryw, a thra nad oes ond ychydig mewn cymhariaeth wedi cael gafael ynddo a'i fwynhau, y mae'n naturiol i ni ymofyn *yn mha beth y mae dedwyddwch dyn yn gynwysedig.*

Y mae'r byd wedi arfer tybied, ac a

raddau helaeth yn parhau i dybied, fod gwir ddedwyddwch yn deilliaw, yn

I. O BLESERAU Y SYNWYRAU.—Byddai dweyd nad yw *pleserau'r synwyrau* yn ffurfio un ran o wir ddedwyddwch dynolryw, yn groes i athroniaeth ein natur, a phrofiad y byd. Y mae'r dyn yn meddu teimladau naturiol, yn ogystal ag ysbrydol. Y mae yn ei gyfansoddiad lawer o wahanol ranau, ac y mae cydweithrediad a chydgordiad pob un o honynt yn hanfodol i'w ddedwyddwch. Y mae ei synwyrau yn gyfryngau llafur, cynydd, a mwynhad. Pibellau ydynt trwy y rhai y mae natur yn arllwys ei mwynderau i'r enaid.

Os na fwriadodd yr Holl-Ddoeth i'r synwyrau fod yn gyfryngau dedwyddwch yr enaid, paham y creodd efe hwynt mor deimladwy, ac y darparodd mor helaeth ar eu cyfer mewn anian? Ai nid prif amcan bodolaeth y byd a'r oll a gynwysa, ydyw boddhau a dedwyddoli yr enaid trwy gyfrwng y synwyrau?

Athroniaeth gyfeiliornus, a chrefydd fynachaidd, yw y rhai a wadant fwynhad y synwyrau, fel un o elfenau dedwyddwch dyn tra yma mewn sefyllfa o brawf; ac y mae amrywiaeth unol y greadigaeth yn arwain yr enaid i fyny at y Creawdwr mewn myfyrdod sanctaidd, yr hyn a ychwanega ei wir ddedwyddwch. Ond nid dyna yr *oll*, ac nid dyna brif elfen dedwyddwch dyn, oblegid, yn

1. *Y mae gwneyd boddhad y nwydau a'r synwyrau yn brif gyfryngau ein dedwyddwch, yn darostwng yr ysbrydol mewn dyn, i lawr yn is na'r materol.* Pan ddarostyngir y deall i'r greddfau corphorol, y mae tri o ddrygau mawrion yn dilyn yn anocheladwy, sef *Cnawdolrwydd, Bydolrwydd, a Balchder ynfyd.* O dan y ffurf flaenaf, ceisia dyn ei ddedwyddwch mewn bwyta, yfed, a boddhau ei nwydau anifeilaidd; anghofia hawliau y meddwl, lles yr enaid, a'i dynged mewn byd arall; mewn gair, y mae yn aberthu ei ran ysbrydol ar allor boddhad ei ran anifeilaidd yn gyfangwbl. O dan yr ail, ceisia ei ddedwyddwch mewn golud bydol. Cyfoeth yw pob peth ganddo ef. Ceisia fod yn ddedwydd mewn casglu arian, ond y mae yn myned yn annedwyddach o hyd fel y mae ei gyfoeth yn cynyddu. Gwertha esmwythder, iechyd, cysuron teuluaidd, ie, a bywyd ei hun, yn aml, er mwyn elw bydol.

"Am yr aur mae'n rhaid ymorol,
Heb yr aur bydd pawb ar ol,"

ydyw cyffes ei ffydd ef; ac y mae yn glynu wrthi, er pob siomedigaeth, trwy ei einioes, tra yn methu cyrhaedd gwir ddedwyddwch yn y diwedd.

Mae gobaith y siom gybydd—yn ei aur,
Yn ei arian beunydd;
Cau 'i grafanc yw ei grefydd,
A'i ddwys aur iddo'n Dduw sydd.
—MEIRIADOG.

Trachwant fel môr sy'n agoryd—yfai
Bob afon mewn mynyd;
"Moes! Moes!" yw ei lef hefyd—
Ceisiai fwy *pe cawsai fyd!*
—TELYNOG.

Dywed Ieuan Brydydd Hir wrth y cybydd:

Na âd ar dân dy roi di,
Tro i'r iawn rhag trueni.

Yn ei balas, yn ei etifeddiaeth, a'r ariandy y mae ei nefoedd ef—am y trysor daearol hwn y meddylia y dydd, ac y breuddwydia y nos. Dywedir y gall y wenynen sugno mel o'r gareg, ond pa beth ydyw hyny i'w gymharu i waith y cymeriad yma yn sugno i'w enaid ddedwyddwch o aur ac arian? Y mae ef yn ymddwyn at bob dyn yn ol pwysau ei logell, ac nid ei ymenydd; yn ol ei werth arianol, ac nid yn ol cyfoeth

ei feddwl; ac ni chredodd ef erioed yr adnod ganlynol: "Yr hwn a garo arian, ni ddigonir ag arian."

O dan y ffurf olaf, ceisia dyn ei ddedwyddwch mewn gwag-ymffrost a thwyll-ymddangosiad. Pa beth bynag sydd mewn harddwch gwisg, prydferthwch ffurf, gwag-urddas, a rhwysgfawredd swyddogaethol, a chlod gwerin anwybodus, y mae ef yn ei hystyried fel prif hanfodion ei ddedwyddwch; tra mai'r canlyniad anocheladwy ydyw gwneyd yr enaid yn gaethwas darostyngol i'r synwyrau a'r nwydau; a'r rhai hyny eu hunain eisoes yn gaethiwus gan lygredigaeth a phechod. Tair elfen ddinystriol yw y rhai uchod, er yn gwahaniaethu yn ngraddau eu dylanwad, ar unigolion, ac ar gymdeithas; ac y maent megys mewn undeb a'u gilydd yn melldithio dynolryw, ac yn siomi eu anweswyr goreu yn y diwedd. O dan ddylanwad yr egwyddor flaenaf, abertha dyn bob peth i'w gorph; o dan yr ail, abertha ei gorph a'i enaid er mwyn cyfoeth; ac dan y drydedd, abertha ei gorph, ei enaid, a'i gyfoeth, er mwyn gwag-ogoniant a rhith-urddas!

Gwelir yr egwyddor flaenaf fynychaf mewn gweithrediad, lle mae y meddwl heb ei ddiwyllio yn briodol; yr ail, lle y mae'r meddwl yn gaeth yn hualau masnach; a'r drydedd, fynychaf, yn mhlith ffug-urddasolion y ddaear. Drygioni yn ei ffurfiau mwyaf boddhaol, twyll-hudol, a dinystriol yw y rhai hyn. Gwelir ol eu traed ar hyd a lled y ddaear mewn gwaed. Gwenwynant ffynonellau cysur a dedwyddwch y byd, nes y mae eu ffrydiau yn wenwyn marwol i ddynolryw. Tywyllant y llygaid, dinystriant ryddid, gwanychant y galluoedd, a siomant ddysgwyliadau dyn am wir ddedwyddwch yn mhob oes a gwlad.

2. *Eu hannigonolrwydd i wneyd dyn yn ddedwydd.*—Pe na buasai gan ddyn enaid anfarwol, dim angenion moesol, perthynasau ysbrydol rhyngddo a'i gyddyn, angel, a Duw, yn nghyda dymuniadau anfarwol, eithr ei fod i ddarfod fel y creadur direswm, gallasai y pleserau a enwasom ei foddhau, a sicrhau ei ddedwyddwch. Ond gan fod ganddo yr oll o'r priodoleddau uchod, y maent yn anfeidrol anghyfaddas ac analluog i gyflenwi ei angenion a'i ddedwyddoli. Ond pe gallent ddiwallu ei holl angenion yn y byd hwn, ni pharhaent cyhyd a'i *fodolaeth.* Nid yw pleserau y nwydau ond o *fyr barhad,* ac y mae'r gallu i fwynhau y pleserau uchod yn gwanychu wrth eu hymarfer, ac yn aml, ie, *fynychaf,* yn marw o flaen y dyn ei hun, gan ei adael ef yn druenus.

Y mae'r gwahaniaeth rhwng y pleserau cnawdol a'r pleserau ysbrydol yn llawn o arwyddocad—un dosbarth yn *gwanhau a marweiddio wrth eu harferyd,* a'r dosbarth arall yn cryfhau, ac yn bywiogi ddydd ar ol dydd wrth eu hymarferyd—y mae un yn darfod yn llwyr yn angau (ac fynychaf cyn hyny), tra y mae'r llall yn adnewyddu mewn nerth a hoenusrwydd o hyd, ac yn cario eu hymarferwyr i fwynhad o ddedwyddwch tragywyddol.

3. *Y niwed a wnant i natur ysbrydol ac anfarwol dyn.*—Edrychwn ar yr enaid o dan un o ffurfiau o'r drwg a enwasom. Cymerwn y dyn oedd yn byw yn unig i foddhau nwydau'r corph, i'n hystyriaeth yn mlaenaf. Pa le mae gweithrediadau eu synwyrau? Pa le mae dadblygiad eu galluoedd dirfawr? Pa le y mae ffrydiad allan ei serchiadau puraf ac ysbrydolaf? Ai nid yw profiad y byd yn cadarnhau yr hyn a ddysga athroniaeth a chrefydd

mewn perthynas i'r cymeriad yna? Onid yw meithrin y tueddiadau anifeilaidd, yn crebachu ac edwino y tueddiadau ysbrydol? Onid yw profiad y byd, yn ogystal ag athroniaeth, yn cadarnhau tystiolaeth y Beibl ar y pen hwn, sef fod yn rhaid "croeshoelio yr hen ddyn yn nghyda'i wyniau a'i chwantau," cyn y bydd y "dyn newydd" byw? Gellir ysgrifenu ar dalcen llawer dyn, "*O dan yr ymenydd cnawdol yma y gorwedd enaid wedi ei lofruddio yn wirfoddol.*"

Craffwn eto ar y dyn sydd dan ddylanwad yr ail ffurf o'r drygau uchod; sef y dyn ag y mae ei ddrychfeddwl am ddedwyddwch mewn casglu golud.—Dichon ei fod yn arddangos meddwl, ond nid meddwl rhydd a diduedd ydyw sydd yn chwilio am y gwirionedd, yn myfyrio ar rinwedd, ac yn ymorchestu deall y ffordd i ddedwyddwch; wel, pa fath feddwl a arddengys ynte? Meddwl wedi ei gadwyno a'i lyffetheirio gan y byd a'i fasnachaeth, nes y mae ef yn methu gwingo gan ei gaethiwed. Y gyfnewidfa, ac nid y greadigaeth a'r Beibl, yw testyn ei fyfyrdod ef ddydd a nos. Anadla yn awyr afiach Mamon, a dywed: "Melus yn ddiau yw eiddo arall." Ond pa le y mae galluoedd uchaf ei natur? Pa le mae y *gwir ddyn?* Pa le y mae grym, rhyddid, ac annibyniaeth ei feddwl wedi myned? Y mae yn addoli yr hyn a dderfydd, ac yn gobeithio mewn cysgod! Aiff ei Dduw ef ar dân ryw ddiwrnod, a gwnaiff Cyfiawnder gadwen o'i aur toddedig er ei rwymo ef draed a dwylaw, er ei daflu i'r tân tragywyddol! ac esgyna ei etifeddiaethau ef yn wreichion i'r awyrgylch, a chynydda hyny ei boen yn y byd arall! Prynodd ef etifeddiaethau eang, ond gwerthodd ei *hunan* am danynt. Tra yn gwrteithio ei faesydd, gadawodd ei enaid redeg yn "dir gwyllt;" ac yn lle bod rhosynau cariad a liliau rhinwedd yn tyfu yn ngardd ei enaid, gorchuddir hi gan ddrain, mieri, ac ysgall y felldith, ac yn nghysgod y rhai y llochesa gwiberod ac ysgorpionau, y rhai a wenwynant "y dyn oddi mewn" am byth. Y mae y dyn a geisia ddedwyddwch fel hyn, yn debyg i ddyn yn suddo i ddyfnder y môr mewn ymchwil am berl gwerthfawr, ac wedi ei ganfod, ac ymaflyd ynddo, yn boddi yn yr ymdrech, a'r tonau yn ei daflu i'r traeth; ac er fod y trysor gwerthfawr yn ei law, y mae efe ei hun wedi marw, a'r perl yn myned yn eiddo i rywun a fu'n chwerthin wrth ei weled ef yn colli ei fywyd yn yr ymdrech. Wrth enill y perl, collodd ei fywyd; wrth enill y ganwyll, collodd yr haul; ie, wrth ymdrechu am yr hyn a dderfydd, efe a aeth i annedwyddwch nad oes terfyn iddo byth. Ond o ran hyny, "Pa leshad i ddyn, os enill efe *yr holl fyd,* a cholli ei enaid ei hun?" &c.

Gellir cymwyso yr un sylwadau at y beilchion a garant wag-ogoniant fel ffynonell eu dedwyddwch. Pa ddedwyddwch sydd i'r brenin mewn gwisgo coron, gan mai, "*Uneasy lies the heart that wears the crown?*" Pa lesâd i Nebuchodonosor, brenin Babilon, oedd ei fod wedi gorchfygu cymaint o deyrnasoedd, pan drodd Duw ef allan i bori glaswellt? Pa ddedwyddwch oedd i Alexander Fawr yn y syniad ei fod wedi gorchfygu yr holl fyd gwareiddiedig, pan yn wylo am longau i fyned drosodd at y barbariaid gwylltion?—ïe, a phan yn marw yn ei feddwdod, yn nghanol ei filwyr yn Babilon? Pa ddedwyddwch ydoedd ei rwysg a'i orwychedd ymerodrol i Cæsar, pan yn trengu trwy frad *ei gyfeillion,* Brutus a Cas-

sius? Bu farw Napoleon Fawr mewn alltudiaeth ar greigiau St. Helena; a thorwyd Nicholas o Rwssia i lawr yn nghanol ei falchder a'i ymffrost, gan angau, fel y dyn tlotaf o fewn ei diriogaethau! A phan gofiom nad oes dyn na dynes berffaith ddedwydd yn yr holl fyd heddyw, onid priodol y dywedodd Idris Fychan:

**Mor ofer yw ymrwyfo—drwy y byd,**
**Er ei barch a'i eiddo;**
**O dir angen yn dringo—am fwyniant,**
***A llaw, a haeddiant yn methu llwyddo!***

Ie, ys dywed Solomon: "Gwagedd o wagedd, gwagedd yw y cwbl!"

II. Nid yw dedwyddwch dyn yn gynwysedig yn unig, nac yn benaf, mewn pleserau myfyrdod.—Y mae gan ddyn allu i *feddwl*, yn ogystal a gallu i *deimlo*. Trwy yr olaf perthyna i'r greadigaeth anifeilaidd, yn nghyd a'r greadigaeth faterol, a thrwy y flaenaf perthyna i gyfundrefn fawr gwirionedd; ie, ac i Dduw ei hun. Felly y mae ef i sugno'i ddedwyddwch o bob cyfeiriad; trwy fyfyrio gwaith Duw yn y greadigaeth islaw iddo, yn nghyd ag ymesgyn i fyfyrio ar y dwyfol a'r tragwyddol, uwchlaw iddo. Wrth iddo dreiddio i mewn i'r *pa beth, y paham*, a'r *pa fodd*, y mae'n mwynhau dedwyddwch triphlyg, yr hwn nas gall ond y myfyriwr ei fwynhau. Y mae'r myfyriwr yn ffurfio paradwys iddi ei hun, yn yr hon y tyfa pren gwybodaeth, ffrwyth yr hwn a'i hadlona mor fawr, a than gangau yr hwn yr eistedda i dderbyn defnynau mêl-gawodau athrylith! Yma yr ymfoddlona y dychymyg, y crea crebwyll ei syniadau, ac yr ysgwyd darfelydd ei hadenydd gwynion; ac yma hefyd y gwledda'r cof ar ffeithiau y gorphenol; ac yr ymnertha ac yr ymdrwsia gobaith ar gyfer taith bell i'r dyfodiant tywyll, a llusern oleuedig yn ei llaw.

Y mae'r mwynderau hyn yn gwahaniaethu yn ddirfawr oddiwrth bleserau y synwyrau. Y mae dedwyddwch myfyrdod yn *dibynu ar lafur* cydrywiol â chwaeth yr enaid. Yn y *teimladwy* y mae'r dyn yn *oddefol;* tra yn y *deallawl* y mae yn *weithredol;* ac y mae yn mwynhau elw o'i lafur. Yn un, y mae yn yfed o bydewau wedi eu cloddio yn barod; yn y llall, y mae yn cloddio pydewau iddo ei hunan. Y mae'r *teimladol* (fel y crybwyllasom eisoes), hefyd yn gwanychu, ac yn darfod; tra y mae dedwyddwch myfyrdod y meddwl yn cryfhau, ac yn myned yn burach ac ysbrydolach o hyd, oblegid y mae'n chwaeth yn dyfod yn fwy coethedig, y darpariadau yn fwy amrywiol, maesydd newydd yn ymagor, ac awyrgylch yr enaid yn clirio ac yn goleuo, fel ag y mae haul gwybodaeth yn graddol esgyn i'w bwynt eithaf.

Y mae'r mwynderau hyn hefyd yn llai dibynol ar yr allanolion. Y mae pleserau'r teimladau yn tarddu o'r allanol a'r materol; ond nid felly y tardda mwynderau boddhaol y meddwl. Mae y gallu i fyfyrio yn gwneyd dyn yn llai dibynol ar ddaioni'r ddaear, a ffrwyth meddyliau ei gyd-ddynion. Y mae ef yn fyd ynddo'i hunan, ac y mae'n gwneyd i bawb o'i gwmpas deimlo ei fod yn bodoli.

Er fod yr hyfrydwch sydd yn deilliaw i'r enaid trwy fyfyrdod, yn un o elfenau ei wir ddedwyddwch, ac nas gellir canmol myfyrdod yn ormodol; eto, i gyd, nid ydyw hyny yn ddigon i gyfarfod â holl angenion ein natur foesol; oblegid er cael y cyfan a ddeillia o fwynhad y tueddiadau naturiol, y teimladau a'r myfyrdod, y mae yn yr enaid

wedi y cyfan ddymuniadau am rywbeth uwch a dwyfolach.

III. NID YW DEDWYDDWCH DYN YN GYNWYSEDIG YN UNIG, NAC YN BENAF, MEWN PLESERAU CYMDEITHASOL.—Wrth bleserau neu fwynderau cymdeithasol, nid ydym yn golygu dim yn is, nac yn llai, na *chydgyfarfyddiad teimladau cydrywiol*, y rhai a ymdoddant i'w gilydd yn naturiol, fel pelydrau goleuni; neu yr elfen hono sydd yn uno dyn wrth ddyn, calon wrth galon, yn unol ag addysg Iforiaeth a Chrefydd. O'r elfen gyfriniol ac anesboniadwy sydd yn ein huno â'r gymdeithas ddynol, y mae llawer iawn o'n dedwyddwch yn deilliaw. Y mae cymdeithas anghydrywiol bob amser yn boenus. Y mae geiriau y doeth, i'r dyn hollol anwybodus, fel miwsig i'r byddar, neu lusern i'r dall. Pe byddai dyn heb neb o gyffelyb feddwl iddo i gymdeithasu ag ef, y mae yn dra sicr y byddai bywyd y dyn hwnw yn faich annyoddefol iddo. Dylem ddiolch i Dduw am gyfleusderau i newid syniadau; i gyfarch ein cydddynion â chalon dyner a haelfrydig; i groesawi ymweliad cyfaill; i garu, a chael ein caru; i gynorthwyo, a chael ein cynorthwyo, mewn adfyd ac angenoctyd; i dywys, a chael ein tywys; i newid meddwl am feddwl; serch am serch; ac enaid am enaid; nes yr ydym, lawer adeg, yn anghofio ein gofidiau a'n trafferthion oll. Fel y mae'r dyferyn yn cynrychioli halltrwydd ac ysgogiadau y môr, y mae aml i fynyd ydym yn gael yn nghymdeithas ein cyfeillion, yn flaenbrawf melus o'r gyfeillach sydd mewn byd nad oes ond gwirionedd o'i fewn. Ond rhodder i ni hyn, gyda'r ddau flaenorol a enwasom, fe barha'r enaid i waeddu, "Melus, moes mwy," o hyd.

IV. NID YW DEDWYDDWCH DYN YN HOLLOL AC YN GWBL MEWN PLESERAU CREFYDDOL.—Y mae gan ddyn natur *grefyddol* yn ogystal a *theimladol, amgyffredinol*, a *chymdeithasol:* y mae'n dal perthynas agos â Duw, natur, gwirionedd, a dynolryw; a dyna *holl gylch ei berthynasau;* ac y mae'n rhaid iddo sugno ei gysuron o bob un o honynt, yn *unol ag angenrheidiau ei natur foesol*, cyn y gall fod yn ddedwydd ar y ddaear; ac yn ol y graddau y sugna o honynt hwy, yn ol y rheol uchod, i'r graddau hyny y bydd ei ddedwyddwch.

Fel hyn y mae y Creawdwr haelfrydig wedi gwneyd pob gwrthddrych ag y mae wedi cysylltu dyn â hwynt, yn gyfryngau bendithion a dedwyddwch iddo; tra y mae mwynhad a dedwyddwch *uchaf a phenaf* dyn, yn ffrydio o gymdeithas â Duw. Gan nad yw dedwyddwch dyn yn ffrydio o unrhyw *un* o'r ffynonellau a enwasom, *yn unig*, ac yn annibynol ar y lleill, yn mha beth ynte y mae yn gynwysedig? Oddiwrth yr hyn a ysgrifenwyd, gwelir yn eglur y rhaid ei fod mewn *rhywbeth a gynwysa'r cyfan.* Nis gall dyn fod yn ddedwydd heb i'w holl dueddiadau dihalog, *naturiol, moesol*, gael eu boddhau. Y mae'r penderfyniad hwn yn cael ei gymeradwyo, nid yn unig gan gyfansoddiad ein natur, a phrofiad dynolryw, ond hefyd gan fywyd a dysgeidiaeth ein Harglwydd Iesu Grist. Nid oedd efe yn diystyru pleserau cymedrol angenrheidiol y teimlad; "Daeth Mab y dyn yn bwyta ac yn yfed," &c. Y wyrth gyntaf a gyflawnodd ydoedd troi y dwfr yn win, mewn gwledd briodasol. Nid ydoedd efe, ychwaith, yn esgeuluso y mwynhad sydd mewn myfyrdod ac ymchwiliadau meddyliol. Y mae ei esiampl gyda'r doctoriaid yn y deml, a'i anogaeth i'r byd i "chwilio'r Ysgrythyrau" yn cadarnhau hyn. Nid oedd ychwaith yn diys-

tyru mwynderau cymdeithasol. Cymdeithasai gyda'r tyrfaoedd, teithiai gyda hwynt ar hyd y ffordd; moriai gyda hwynt yn eu llongau; eisteddai gyda hwynt ar y mynydd; cymysgai gyda hwy ar y traeth; gwleddai gyda hwynt wrth eu byrddau, ac unai â hwynt mewn addoliadau cyhoeddus. Mewn gair, gwnaeth gylch iddo ei hunan yn eu canol, a chymdeithasai gyda'r publicanod a'r pechaduriaid. Dechreuodd ddiwygiad yn y gwaelod, gyda'r rhai gwaethaf, gan weithio ei ffordd tuag i fyny, a dwyn y dosbarthiadau i fyny gyda'r addysg nefol a bendigedig.

Nid oes eisiau i mi enwi crefydd. Dyma'r awyrgylch lle yr oedd ei ysbryd sanctaidd a'i galon dyner yn troi.—Dysgodd yr athroniaeth ddyfnaf o ddedwyddwch dynol, pan ddywedodd, "Nid trwy fara yn unig y bydd byw dyn," &c.

Y mae pob datguddiad y mae Duw wedi ei roddi i ddyn, yn ymwneyd ag ef fel *bod teimladol, meddylıol, cymdeithasol,* a *chrefyddol;* ac ar ei dderbyniad o'r cyfryw, a'r defnyddiad a wna o honynt yn y byd hwn, y dibyna dedwyddwch dyn, am amser a thragywyddoldeb.

---

## GWYDDONIAETH A CHRISTIONOGAETH.

GAN Y PARCH. H. O. ROWLANDS, A. M.

Llawer a ysgrifenir y dyddiau hyn yn nghylch Gwyddoniaeth a Christionogaeth. Ymbleidir yn eu cylch. Rywffordd mae y si wedi myned ar led fod anghydfod parhaus ac anghymodol rhwng gwyddoniaeth a chrefydd y Cristion. Myn rhai fod yr ymdrechfa i fod yn Waterloo—na orphenir hi hyd oni yrir un o'r maes yn orchfygedig â dilead tragywyddol.

Yn y golygiadau hyn mae ysgrifenwyr yn ymranu yn naturiol i ddwy blaid.

1. Y rhai a edrychant ar wyddoniaeth yn ddadblygiad o egwyddorion croes i ysbryd a bwriad Cristionogaeth; ac am y *gwyddant* fod crefydd Mab Duw yn dda, beth bynag sydd yn groes i hono, rhaid ei fod yn ddrwg.

2. Y rhai a gydnabyddant ddamcaniaethau gwyddonwyr yn ddatguddiedigaethau anflaeledig o wirioneddau (tybiadwy).

3. Creda y drydedd blaid, pa le bynag mae *un* gwirionedd, nad oes yn nghreadigaeth Duw wirionedd arall yn *groes* iddo. *Un* yw *gwirionedd* trwy y bydysawd.

Beth bynag sydd yn wirionedd profadwy a phrofedig mewn gwyddor, *rhaid* i bobpeth mewn Cristionogaeth ildio iddo; a beth bynag sydd yn *ffaith* mewn Cristionogaeth, mae hon yn anfeidrol gadarnach na holl ddamcaniaethau gwyddoregwyr; a hona'r blaid hon nad oes yr anghydfod lleiaf rhwng *ffeithiau* profedig y naill a'r eiddo y llall.

Bydd y darnodiadau canlynol yn help i rai:

1. Mae gwahaniaeth annhraethol rhwng *damcaniaethau* gwyddoniaeth, a *ffeithiau* gwyddoniaeth. *Peth* yw y blaenaf a deflir i'r ffwrnes i brofi beth ydyw. Mae yr olaf *wedi* ei brofi, a'i gael yn aur pur. *Ffaith* wyddonol yw fod y ddaear yn troi ar eu hechelau. *Damcaniaethau* niwlog hyd yn hyn yw yr honiad mai *dadblygiad* yn unig yw creadigaeth; ac mae y dyn a dderbynia ddamcaniaeth fel ffaith, ac a bwysa arni fel y cyfryw, yn gyffelyb i'r ynfyd a dderbynia *unrhyw bapyryn* fel *check* ar ariandy y llywodraeth—cant i un y twyllir ef. Damcaniaethau gwyllt a

gwibiog ydynt yr arfau a ddefnyddir gan elynion Cristionogaeth yr oes hon; pan yr herir hwynt i ddod â *ffeithiau*, maent yn fud.

2. Mae gwahaniaeth eang rhwng Duwinyddiaeth a Christionogaeth.—Golygiadau dynion am Dduw, ei briodoleddau, ei waith, ei fwriadau, ei natur a'i drefniadau yw duwinyddiaeth. Fel y cyfryw, mae yn rhwym o fod yn anmherffaith, yn anghyson, ac yn gyfnewidiol iawn. Anmhosibl yw i dduwinyddiaeth dwy oes gytuno. Mae *cynydd* yn hanfodol wrthwynebol i dduwinyddiaeth. Dyna olygiad y bardd:

> "Rhyw *newydd* wyrth o'i angau drud
> A ddaw o hyd i'r goleu."

Ac mae'r *newydd* hwnw yn sicr o gyfnewid golygiadau dyn am Dduw, ac am ei drefniadau mewn gras a rhagluniaeth. Cred yn anffaeledigrwydd duwinyddiaeth a gyneuodd dânau erledigaeth, ac sydd wedi cochi llwybr yr eglwys trwy yr oesau â gwaed diniwaid.

Mae gwyddoniaeth wedi gwneyd llawer yn erbyn duwinyddiaeth, ac fe wna lawer eto; a da iawn hyny. Yr eiliad y penderfynwn fod hen olygiadau crefyddol, hen gredoau eglwysig yn anffaeledig, yr ydym yn Babau. Mae gorchymyn yr apostol mor rymus heddyw ag erioed. "Profer pob peth, ond *dalier yr hyn sydd dda.*"

Mae Cristionogaeth yn wreiddiol wahanol i dduwinyddiaeth. Nid *barn*, nid golygiad, nid gobaith, yw Cristionogaeth, ond *ffaith* fawr ac anfeidrol yn ymgorffoli yn mherson Iesu Grist. Genedigaeth, bywyd, angau, ac yn benaf oll, *adgyfodiad* yr Iesu ydynt ffeithiau sylfaenol Cristionogaeth. Saif y ffeithiau hyn ar gadarnach profion na holl ffeithiau hanesyddol y byd. Dylent fod felly. Mae mwy yn dibynu arnynt. Mae myrdd o eneidiau anfarwol yn pwyso arnynt. Mae yr hyn a ysgrifenwyd am Grist yn y Testament Newydd yn sylfaenedig ar gadarnach tystiolaethau na dim a ysgrifenwyd am George Washington; ac mae'r Cristion yn pregethu ei grefydd, nid am mai dyna ei olygiad, ei farn, ond am mai dyna yw'r *ffaith*. Ebe Ioan, am farwolaeth Crist, "Yr hwn a'i *gwelodd* a dystiolaethodd; a gwir yw ei dystiolaeth; ac efe *a wyr* ei fod yn dywedyd y gwir, fel y credoch chwi." Ac eto: "Yr hyn oedd o'r dechreuad, yr hyn a *glywsom*, yr hyn a *welsom* â'n llygaid; yr hyn a *edrychasom* arno; yr hyn a *deimlodd* ein dwylaw am Air y bywyd, * * * ydym yn ei fynegi i chwi."

Yn awr, nid yw gwyddoniaeth yn ymyraeth â *ffaith* oruwch-naturiol Cristionogaeth. "Mae cadarn sail Duw yn sefyll." Damcaniaethau crwydredig ymhonwyr yn rhodresu gwisgoedd dysgeidiaeth, ydynt y pethau sydd fel gwybed aflan yn ceisio difwyno gogoniant crefydd y groes. Pan y clywir dyn yn haeru fod gwyddoniaeth a Christionogaeth yn anghyson, mae naill ai yn anonest neu yn anwybodus. Geill damcaniaethau gwyddegol a golygiadau duwinyddol ymrafaelio â'i gilydd, ac â ffeithiau gwyddoniaeth a ffaith fawr Cristionogaeth; ond am y ddwy olaf, engyl gwaredigol y gwirionedd ydynt yn cerdded y ddaear, i ddyrchafu, puro, a gogoneddu yr hil ddynol. Maent mor unol â'i gilydd, ag ydyw natur Duw yn un ag ef ei hun. Y *gwirionedd* a saif byth.

---

Trwy y Sabboth, medd un awdwr, y gwahaniaethir y ddaear oddiwrth uffern, lle nad oes yr un Sabboth; a thrwyddo hefyd y tebygolir hi i'r nef, lle y mae y cwbl yn Sabboth.—*Dr. King.*

**DYDD YR ARGLWYDD.**

[O'R ELLMYNAEG.]

Haleliwia! dydd llawenydd,
Mwynach nas gall iaith ei ddweyd;
Ni chaiff gofal, ar yr hoff-ddydd,
Gyffro yn fy mynwes wneyd;
Rhydd i'r enaid hoen di gur,
Drwy 'i hawddgarwch sanctaidd, pur.

Noddfa'r trist a'r rhai blinedig,
Balm i bob doluius ddyn,
Goleu clir i'r tywyll, unig,
Dydd fendigodd Duw ei hun;
Oriau'r Sul! oddiwrth fy nghell
Yrant drallod draw yn mhell.

Lleisiau pleser, oll go'tegwch,
Llonydd fyddoch, ddwylaw chwim;
Nerth ac amser heddyw rhoddwch
I'r hwn rodda in' bob dim;
Gwaith ein Duw yn unig sydd
Weddus orchwyl ar ei ddydd.

Beth, fy Nuw, yw yr addurniant
'R hwn a geisir genyf fi?
Balchder a fyn heddyw'n seibiant,
I ddysgleirio'n fawr ei fri:
Iôr, hardda fi â gwisg y nef,
Sef ei bur gyfiawnder Ef!

Deffro ynwyf sanctaidd loniant,
Treiddia'm natur drwyddi oll,
Ysbryd Nefol, tyr'd a gwelliant,
I fy nghalon sydd ar goll,
Fel y caffo d' air o hyd
Ffordd agored i fy mryd.

Dy hoff weision llwyr fendithia,
Cyffwrdd â'u gwefusau hwy;
A bendithia bawb wrandawa
Weinidogaeth marwol glwy;
Boed ein gweddi, boed ein cân,
Ddod o galon, fawr a mân.

Caniata fel y dechreu'som,
Orphen felly waith y dydd;
D'air bendithia, tywallt arnom
Dy ras yn gawodydd rhydd,
Fel y caffom wedi'r oes,
Dreulio'r Sabboth fry heb loes.

## THOMAS PAINE.

GAN ALWYN TREFOR, UPPER LEHIGH.

Yn awr, pan y mae ymchwil cyffredinol yn cael ei wneyd i hanes dynion a phethau o enwogrwydd chwildroadol, tybir nad anfuddiol fyddai cael arnodiad gonest o'r dyn sydd a'i enw uwchben yr ysgrif hon. Dylid cofio fod bywyd y dyn hwn, ar un llaw, wedi cael ei gaboli i'r fath raddau gan ei edmygwyr, fel yr ymddengys i lawer heb na brycheuyn na chrychni. Ar y llaw arall, y mae ei wrthwynebwyr wedi bod mor galed wrtho, nes ei arddangos fel yr ysgerbwd mwyaf atgas ac annheilwng o holl bleidwyr y Chwildroad mawr Americanaidd.

Y tebygolrwydd yw, fod ei wir gymeriad i'w gael yn rhywle rhwng y ddau eithafion hyn. Yn ddiau, yr oedd talent fawr, fywiog, ddefnyddiol ynddo, cyn byth y gallasai gyrhaedd a chadw y safle hanesyddol a ganiateir iddo gan bob ochr. Nid ydoedd ychwaith yn amddifad o reddfau rhinweddol y natur ddynol. Dywedir mai y peth cyntaf a wnaeth ar ol derbyn mewn arian, ac etifeddiaeth, gan y gwahanol Dalaethau, a'r Gydgynghorfa, gydnabyddiaeth am ei lafur a'i bleidgarwch i achos annibyniaeth y Trefedigaethau Americanaidd—ydoedd sicrhau gweddill bywyd ei fam rhag tlodi a'i anghyfleusderau.

Yn awr, ymrwyma yr ysgrifenydd i ganiatau i Thomas Paine ymddangos yn ei wir gymeriad, yn ngoleuni y WAWR FEDYDDIEDIG. Ni chaiff un cwmwl o eiddo rhagfarn, hyd yn nod gymaint a chledr llaw gwr, dywyllu neu guddio ei ddysgleirdeb; ac eto ymdrechir craffu ar ei wir nodweddion, nid yn ngoleuni *Jack-o'-lantern* anghrediniol ei edmyg-

wyr direswm, ond yn ngoleuni uniondeb a. rheswm.

Gwelodd oleuni y byd hwn ar y 29ain o Ionawr, 1736, yn Thelford, Norfolk, Lloegr. Crynwyr parchus oeddynt ei rieni; galwedigaeth ei dad oedd ystawwneuthurwr (*stay-maker*). Ymddengys i'r mab gyfranogi o holl fanteision addysg a allai ei rieni, ac ysgol ramadegol ei dref enedigol roddi iddo. Ymddengys hefyd iddo ddilyn galwedigaeth ei dad am flynyddoedd cyntaf ei oes; ceir ef wedi hyn yn Llundain, Dover, Sandwich, Kent. Pan yn y lle diweddaf hwn, dygwyddodd i'w ffawd gael ei gyflogi yn athraw cynorthwyol mewn ysgol o fri. Yma hefyd cafodd ei wraig gyntaf. Yr oedd, erbyn hyn, wedi llwyddo i gasglu cryn addysg a gwybodaeth. Ymddengys ei fod wedi gwneyd y goreu o'r manteision oeddynt yn nglyn a'r ddwy ysgol yn y rhai y buasai ef yn athraw. Mynych y derbyniai Thomas Paine, yr athraw, fwy o'r addysg a fwriedid i'w ddysgyblion, na neb arall. Yn ychwanegol at hyn cafodd fod yn gynorthwywr i'w dad-ynnghfraith, fel cyllidydd. Yn mhen blwyddyn ar ol priodi, collodd ei wraig, a chyda hi, fel yr ymddengys, y rhagolygon cyllidol. Wedi hyny ceir ef yn briod yr ail waith â merch i faeliwr—yna yn colli ei ail wraig, nid trwy angau fodd bynag y tro hwn, ond trwy ysgariad. Yr oedd ein cyllidydd wedi tollio yn ormodol syniadau a theimladau ei wraig, fel y gorfu iddi ymwrthod ag ef. Yn y cyfwng hwn hefyd y taflwyd ef allan o fod yn oruchwyliwr cyllidol y llywodraeth, o herwydd ei fod yn oruchwyliwr anghyfiawn. Yr oedd, pan eto yn ei swydd, wedi ysgrifenu traethawd yn cynwys rhesymau cryfion er cael codiad yn nghyflog y cyllidwyr. Os na chafodd y traethawd hwn y dylanwad a ddymunasid ar y cyflogwyr, yr oedd ei effaith yn eang a dwfn ar feddyliau y cyllidwyr ei hunain. Fel math o gydnabyddiaeth am yr ymgais hwn, cafodd Paine lythyr tryddedol (*letter of introduction*) oddiwrth berson adnabyddus i'r enwog Benjamin Franklin, yr hwn pan ei gwelodd, a argyhoeddwyd yn y fan y gallasai Paine fod o gryn ddefnydd yn y trefedigaethau.

Yn 1775, blwyddyn union cyn cyhoeddiad annibyniaeth y trefedigaethau, ceir ef yn Philadelphia, yn golygu *Aitken's Magazine*, gyda thalent a deheurwydd, a llwyddiant anarferol yn yr oes hono. Dechreuodd ei waith golygyddol yn Ionawr, 1775, ac fel hyn y rhed y frawddeg gyntaf o'i eiddo:—"Fel hyn, yn cael ein hamgylchu gan rwystrau, y mae y rhifyn cyntaf o'r cylchgrawn yr erfyn derbyniad croesawus. Mewn perthynas i'r mudiad, nis gallaf ond dyweyd ei fod fel y cynar flodau, y rhai sydd yn ymddangos pan y mae yr hin yn oer, a'i ddaear yn llom, ac eto yn awgrymu fod tywydd mwy ffafriol, ac amser mwy dymunol ar ddyfod."

Yn y flwyddyn ganlynol, ceir ef yn wirfoddolyn yn y fyddin. Nid hir y bu ei dalent yn guddiedig cyn i Washington ac eraill ganfod ynddi ddefnyddiau gwerthfawr, os gellid ei sicrhau yn ngwasanaeth y trefedigaethau. Dywed un hanesydd fod ei feddyliau mor nerthol a bwledi; a'i bin-ysgrifio mor angenrheidiol a'r fagnel. Pan yn dilyn Washington y tro hwn, y dechreuodd ysgrifenu y pamphledi doniol, yn y rhai yr adroddai hanes ymgyrchoedd y fyddin, a thrwy y rhai y cynhyrfwyd y werinos i wrolder dihafal ac undeb didori. Wedi dychwelyd i Philadelphia, ymddengys iddo barhau i gyhoeddi rhifynau ychwanegol o'r un natur, ac er

cyrhaedd yr un dyben. Cynyddasant i ddeunaw o rifedi. Unwaith, pan yn ystorfa lyfrau ei hen gyfaill Aitken, cyfarfyddodd â'r enwog Dr. Benjamin Rush, yr hwn a'i taer gymhellodd i gyhoeddi yr hyn a adnabyddid wedi hyny wrth yr enw awgrymiadol, *Common Sense*. "Gwirionedd Amlwg" ydoedd yr enw a fwriadasai Paine i'r llyfr. Ymddengys i'r llyfr rhyfedd hwn sicrhau mantais i'w awdwr. Urddwyd ef gan Brif-ysgol Pennsylvania yn Athraw mewn Celfyddydau. Anrhegwyd ef gan Ddeddfwrfa y Dalaeth â £500. Ymdrawsffurfiodd y llyfr (nid yr aur) yn allwedd i agor drysau y dynion parchusaf yn y wlad i'w awdwr. Dywedir mai "Synwyr Cyffredin" Paine ydoedd y llyfr mwyaf poblogaidd yn yr oes hono. Argraffwyd can' mil o gopïau o hono; ac eto dywedir fod sicrwydd diamheuol na allodd Paine dalu yr argraffydd. Er mai "*Common Sense, for eighteen pence*" oedd yn ngenau pawb a fedrent ryw gymaint ar lyfr, ychydig oedd y tâl arianol a gafodd y cyhoeddwr gwladgarol am ei drafferth. Efallai mai nid y tro hwn yw yr unig amgylchiad y troes y llyfr hwn yn golled i'w berchenog; myn llawer hanesydd gredu mai nid yn Paine yr oedd y nerth, y gallu trydanawl a ganfyddid, ond yn yr awyrgylch wladol yr oedd, a hyny yn mhell cyn i Paine landio, nac ysgrifenu un gair o blaid yr Americaniaid. Yr oedd y dôn yn yr offeryn, a buasai yn sicr o ddyfod allan, gan nad pa ddyn a fuasai yn cyffwrdd a'r allweddau. Dywedid a ddywedo am Paine, y mae yn sicr iddo ef danio y trydan, a tharaw tôn, melus acenion yr hon sydd hyd heddyw yn gogleisio teimladau gwladgarol y werin.

Fel cydnabyddiaeth ychwanegol o'i ur a'i bleidgarwch i'r wlad, gwnaed ef yn aelod, neu yn fwy cywir, yn gymrawd o Gymdeithas athronol Philadelphia; ac i goroni y cwbl, derchafwyd ef i fod yn Ysgrifenydd Amgylchiadau Tramor y Gydgyngorfa. Parhaodd yn y swydd ddiweddaf hon am ddwy flynedd; h. y., hyd 1779. Dysgwylid, yn ol pob synwyr, y buasai y cyfryw ysgrifenydd yn ffyddlawn i gadw cyfrinion y swydd rhag i neb gelynion elwa oddiwrthynt; ond nid felly y bu y tro hwn; er gwaethaf adrodd, bradychodd Paine y cyfeillion a ymdrechent i'w osod yn y swydd. Dywedir iddo, pan yn syrthio allan â rhyw un o'r enw Deane, ollwng allan gymaint o'r gyfriniaeth nes dwyn gwarth ar America a Ffrainc. Taflwyd ef allan o'i swydd gyda melldith y Gydgyngorfa yn ei ddilyn. Eto, estyn Deddfwrfa Pennsylvania ei llaw garedig iddo. Yn mhen llai na blwyddyn wedi ei ddiswyddiad o'r Gydgyngorfa, ceir ef yn Ysgrifenydd Deddfwrfa Pennsylvania. Yr oedd y wlad erbyn hyn yn dechreu teimlo ei thlodi, yr arian bron ar ben, yr ystorfäau milwrol yn weigion. Penderfynwyd gan brif wyr y wlad, i anfon Colonel Lawrence a Thomas Paine i Ffrainc i echwyna dwy filiwn neu ragor. Trodd yr hynt echwynol hon yn berffaith lwyddianus. Derbyniodd o law y Gydgyngorfa am ei wasanaeth, gyda Col. Lawrence, $5,000. Hefyd anrhegwyd ef gan Dalaeth Efrog Newydd ag etifeddiaeth a ddygasid oddiar *Dory* o'r enw Frederick Davoc. Fel hyn, yn feddianol ar 500 o aceri a $5,000, gallesid meddwl fod ganddo gynysgaeth resymol i ddechreu ei ffordd yn y byd newydd. Ond yr oedd pethau y byd hwn gyda Thomas Paine fel gyda llawer eraill, "Hawdd cael, hawdd colli."

Rhyw bryd yn 1787, gadawodd y wlad hon am Loegr, ac yn ddiweddar-

ach ceir ef yn Ffrainc. Yr oedd yn ei feddiant gynllun pynt haiarn newydd. Yn wir, nid mewn moeseb a gwleidiadaeth yn unig yr oedd yn damcanu. Gallai ef droi ei *speculating faculty* at saernio, dwyfyddiaeth, llywodraeth, llenyddiaeth, adeiladaeth, &c. Ond ymddengys fod ei fethiant i adeiladu pontydd yn rhagarwydd o'i fethiant mewn cylchoedd eraill pwysicach. Ymddengys i mi fod mwy o'r gallu tynu i lawr, dryllio, a llygru, yn ei feddiant, nag un gallu arall. Yr oedd Lloegr yn awr yn ferw gwleidyddol o'r naill gwr i'r llall. Pan oedd y Ffrancod yn brysur ofelu (*forge*) y gadwen fawr newydd er rhwymo y freniniaeth a'r eglwys, disgynai y gwreichion ar frysglwyni drain a mieri, a choed crinion Lloegr, ac am enyd ofnai y tyn-geidwadwyr Seisonig y byddai yr holl ynys yn oddaith. Yn y cyfwng hwn ceid yr hyglodus Burke yn arllwys llifeiriant ei hyawdledd er diffodd angerdd y tân bygythiol.

Canfyddodd llygad craff Paine y cyfleusdra i amddiffyn y Ffrancod, ac i droi yn eu hol a dirymu rhesymau yr areithiwr llwyddianus, cyn bod adsain cymeradwyaeth wedi dystewi. Wele yr ail ran o "Hawliau Dyn" yn ymddangos. Os oedd ofnau pleidwyr y freniniaeth a'r eglwys yn Lloegr wedi cael eu cynyrchu wrth glywed a gweled hen sefydliadau Ffrengig yn syrthio yn bendramwnwgl dan ddyrnodion dynion ag oeddynt wedi cael eu gorphwyllo gan hen ormes y wlad hono, pa faint mwy y gallai eu dychrynfeydd presenol fod, wrth ganfod llyfryn Seisnig mor llawn, yn eu tyb hwy, o deyrnfradwriaeth ag ydyw yr wy o fwyd?

Penderfynwyd yn ddioedi, gan y swyddogion gwladol, i atafaelu awdwr y llyfr, ei erlyn i eithafion, a'i gosbi mor llym ag oedd modd. Amddiffynwyd Paine gan yr enwog Mr. Thomas Erskine. Nid oedd egwyddorion rhyddid y wasg, nac yn wir unrhyw fath arall o ryddid yn ddealladwy (gan ond ychydig mewn nifer) yn yr oes hono. Troes y llif yn erbyn "Hawliau Dyn." Condemniwyd ei awdwr; a phe na ddiangasai, cawsai fwynhau tiriondeb llywodraeth dadol ei wlad am yspaid annherfynol. Ond yn y cyfamser dewisodd Paine fyned ar ymdaith dros y culfor, a glanio yn Calais. Yn mhell cyn ei diriad yno, yr oedd ei hanes yn ysgrifenu, ac yn cael ei erlyn yn achos rhyddid y Ffrancod, wedi creu cynifer o edmygwyr o'i dalent a'i egwyddorion, fel y penderfynodd preswylwyr rhanbarth Calais ei ethol a'i anfon yn aelod o Dy y Cyfarwyddwyr. Syndod y byd!—yr enciliedig o Loegr, yr hwn ni chawsai fyw yn ngwlad ei dadau ond mewn carchar, yn aelod o brif gyngor Ffrainc! Ha, am unwaith, am enyd, y mae Lloegr yn y canol-oesau, a Ffrainc yn y bedwerydd-ganrif-ar-bymtheg. Y wlad yn yr hon y ganwyd ac y magwyd rhyddid yn rhedeg yn ol i'r nos, i ddwylaw gormes, a'r wlad a anfarwolai ei hun yn ystod deg canrif cyntaf ei hoes, fel cartrefle pob trais, twyll, yn wladol a chrefyddol, yn awr yn ymdrawsffurfio yn ddinas noddfa!

Un o'r pethau cyntaf o flaen y cyngor chwildroadol, ydoedd, achos Louis Capet, *mab triugain o freninoedd*, ys dywed Carlyle. Ha! amser gofwy y freniniaeth Ffrengig ydyw hwn. A ydyw yr holl waed gwirion a dywalltwyd am y triugain oes hyn, i ddyfod ar ben Louis a'i gyngoriaid? Ydyw, y mae creulonder wedi cynyrchu ei gyffelyb. Y mae anghyfiawnder yn groth ffrwythlon o ddyoddefaint. Pa fodd yr ymddyga yr enciliedig Paine tuag at gyn-

rychiolydd yr ormes sydd newydd ymgeisio planu ei hewinedd yn ei berson a'i ryddid? Y mae y dyn yn well na'i oes, yn garedicach na'i elynion. "Yr wyf fi," ebe fe, "yn pleidleisio dros ei *garcharu yn ystod y chwildroad*, ac wedi hyny bydded America yn noddfa ddiogel i'r brenin, yna bydd yn mhell oddiwrth adfydau a throseddau breniniaeth; yna y gall ddysgu, oddiwrth arwyddion allanol llwyddiant cyhoeddus, fod y drefn lywodraethol oreu, yn gynwysedig mewn cynrychiolaeth deg, cyfartal, ac anrhydeddus." Er cystal eiriolaeth y Sais Americanaidd, troes ei ymgais yn waeth na bod yn aflwyddianus. Bu yn achlysur iddo golli ffafr yr ysgelerddyn ofnadwy hwnw, Robespierre. Nid oedd y ffaith ei fod yn aelod dros Calais, ei fod yn cynorthwyo yn ffurfiad Cyfansoddiad newydd Ffrainc, yn un diogelwch iddo. Dygwyd cyhuddiad yn ei erbyn nad oedd wedi cael ei wneyd yn ddinesydd, &c. Er y gwyddai yr awdurdodau yn eithaf da, ei fod yn ddinesydd trwyddedig, eto taflwyd ef i garchar Luxembourg. Bu yno am un-mis-ar-ddeg, a dywedir y buasai yn sicr o golli ei ben, fel llawer o'i gyd-garcharorion, oni buasai fod swyddog y dydd wedi *markio* tu fewn i ddrws ei gell, wrth fyned heibio, a bod y *mark* o'r golwg pan geuid y drws.

Nid yw y llinellau hyn ond arweiniad i mewn i hanes y dyn hwn. Bydd genyf yn y rhifyn nesaf o'r WAWR ddilyn ei fywyd i'w derfyn, dangos ei dalent, yn ei feddyliau, gwasgu ei egwyddorion o'i weithredoedd, yn nghyd a'i resymu i'w le ei hun yn marn ei olafiaid. Y mae y mân ffrydiau ffeithiol a ganfuasom, i ymchwyddo yn afonydd. Cawn weled ansawdd a ffrwythlonder y tir trwy yr hwn y maent wedi ymdreiglo yn ystod y ganrif ddiweddaf.

## BETH YW FFYDD?

GAN YSGRYTHYRWR, GYNT O EIFION.

Mae yr oll o'r unfed-benod-ar-ddeg o'r epistol at yr Hebreaid yn gyfres o atebion i'r gofyniad uchod; neu yn hytrach yn gyfres o egluriadau i'r un gofyniad; esiamplau yn cael eu cymeryd o'r Hen Destament, i ddangos yn mhob math o gysylltiadau ac amgylchiadau, weithrediadau yr egwyddor nerthol, yn wir, hollalluog hono, o'r hon mae yr adnod gyntaf yn rhoddi darnodiad aruchel a chynwysfawr.

Mae yr epistol ei hunan megys sain udgorn yn anog i ffyddlondeb Cristionogol, o'i ddechreu i'w ddiwedd; dyma ei ddyben, ei bwnc, a'i ddadleuaeth. Yr oedd y rhai a anerchid ynddo ar drothwy profedigaeth ddychrynllyd—profedigaeth gyffelyb i'r hon ni syrthiodd i ran unrhyw genedl nac oes arall o'r ffyddloniaid. Yr eglwys yn Mhalestina oedd i ddal rhuthr y rhyferthwy drwy yr hwn yr oedd y bobl etholedig, yr Israel naturiol a chenedlaethol, i gael eu bwrw i lawr yn ngolwg dynion ac angylion, o'r uchafiaeth mawrfrydig ag oeddynt hyd yma wedi ei feddu yn mhlith cenedloedd y ddaear. Yr oedd y gair wedi myned allan, ac yr oedd yn rhaid ei gyflawni: "Ni adawir maen ar faen ar nis datodir." Yr oedd dinystr presenol y ddinas a'r deml yn y rhai unwaith y dewisodd Duw roddi ei enw, yn arwydd sicr o ddadymchweliad mwy fyth oedd i ddilyn, sef cymeryd ymaith am byth ragorfraint Israel fel unig feddianydd oraclau Duw ac ordinhadau Duw, a thaflfad yn agored i'r holl fyd ddrysau gwybodaeth ddwyfol a chymdeithas ddwyfol. "A Jerusalem a fydd wedi ei mathru gan y cenedloedd; a chwi, Gristionogion, pan y gweloch yr arwydd cyntaf o ddynesied y ffieidd-dra anghyfaneddol hwnw i'r lle sanctaidd, yna yn lle uno yn y gwrthwynebiad, yr hyn a ofynai'r teimlad naturiol, a'r hyn a ymddangosai yn gyfreithlawn i wladgarwch, 'yna y rhai a fyddynt yn Judea, ffoant i'r mynyddoedd.'"

Yr oedd y geiriau yn eglur a phen-

dant. Cadwai Crist yr hawl iddo ei hun o gyfarwyddo ei ddysgyblion i weithredu o dan yr amgylchiadau a'u harosent. Nid oedd y genedlaeth a'i croeshoeliodd i fyned heibio hyd oni ddelai y cwbl i ben, yn farn ar y genedl am ei phechodau.

Yr oedd y rhai a ymwahanasant oddiwrth yr oes hono, wrth ddyfod yn Gristionogion, yn cael eu gwahardd rhag ymgymysgu a hi eto, yn ei hawr o gyfyngder a barnedigaeth. Yn awr, i'r dyben o gadarnhau y Cristionogion Hebreig yn eu ffyddlondeb i Grist, beth bynag fyddai'r canlyniadau, yr ysgrifenwyd y llythyr atynt. Yr oedd galwad neillduol yn yr adeg orbwysfawr hon, am ffydd—ffydd o'r iawn ryw—ac mae y traethiad cynwysfawr a roddir gan yr Apostol ar ei natur a'i hanfodion, yn dangos hyny.

Beth gan hyny yw ffydd, ar yr hon mae iachawdwriaeth ei hunan yn dibynu? Yn nechreu y benod rhoddir atebiad. Yn mlaenaf, "Ffydd yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio." Mae y gair a gyfieithir yma "sail," yn tybio yn wreiddiol y weithred o "sefyll dan," fel ag i gynal rhywbeth. Cymhwysid ef fel hyn, mewn ysgrifeniadau athronyddol at hanfod yr hyn sydd yn ffurfio (megys) is-haen y priodoleddau; y fodolaeth annibynol, dybiedig, (o wrthddrych neu berson,) yn mha un mae eu holl elfenau yn cael eu cyfuno. Yn yr ystyr hwn, mae y gair yn cael ei gymhwyso unwaith yn yr Ysgrythyr, yn y drydedd adnod o'r epistol hwn (Heb.) pan mae y Mab yn cael ei osod allan, yn wir lun ei berson ef; neu, fel y gellid ei gyfieithu, "yn wir argraff ei hanfod." Yn gyson a'r ystyr hwn i'r gair a gyfieithir "sail," ymddengys ddarfod i'r cyfieithwyr Cymreig ddewis gosod "hanfod" ar ymyl y ddalen; a gwelir ddarfod i'r cyfieithwyr Seisonig fyned yn mhellach, drwy roddi yn y testyn air bron cyfystyr ag hanfod, (*substance*). Modd bynag, anhawdd ydyw gweled y priodoldeb mewn dyweyd, ffydd yw *hanfod* y pethau yr ydys yn eu gobeithio. Ond arfera ystyr arall fod i'r gair, pryd y tybia *waith y meddwl yn sefyll dan*, (fel ag i gynal a dal pwysau) rhyw genadwri neu ddatguddiad, fyddo yn gofyn egnion dybryd o eiddo y meddwl. Ffydd, pan yn gweithredu yn y cyfeiriad hwn, yw yr egwyddor hono—yr ymarferiad hwnw o eiddo yr enaid tuag at bethau dyfodol—gwaith yr enaid yn cynal, yn lle ymollwng dan y gwrthddrychau, fel yn rhy bwysfawr iddo, o herwydd naill ai eu dirgelwch, neu eu hansicrwydd—yn sefyll yn gadarn danynt—yn cynal a dal eu pwysau; mewn geiriau eraill, bod yn sicr o honynt, ac ymddiried ynddynt, a dibynu arnynt.

Yn awr, gwelwn briodoldeb y gair "sail," yn hytrach nag "hanfod." Mae ffydd yn yr ystyr hwn yn sail yn y meddwl, yn ngwaith y meddwl yn ymddiried yn y gwrthddrychau, sef y pethau yr ydys yn eu gobeithio. Erys yn sail ddiysgog yn y meddwl yn dal dan bwysfawredd y datguddiad.

Fel yna, gan hyny, yn ngeiriau cyntaf y benod, ni gawn ddarnodiad o ffydd yn ei pherthynas ag *un* o'i thiriogaethau mawrion, y *dyfodiant*. Cyn i'r geiriau cyntaf gael eu hysgrifenu i lawr, teimla yr Apostol fod y darnodiad yna yn anmherffaith, am hyny ychwanega, "sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled." Nid y dyfodiant ydyw unig faes ffydd. Pe felly, braidd y gallesid gwahaniaethu rhwng y ddau ras, ffydd a gobaith. Maes gobaith ydyw y dyfodiant, a'i waith ydyw sylweddoli hwnw iddo ei hun. Mae yn wir ein bod yn gyffredin, yn cyfyngu gobaith i'r dyfodiant dymunedig, pan mae ffydd yn gweithredu yn gyffelyb ar bethau a ddymunir ac a ofnir. Y mae yn wir, hefyd, y dichon i obaith syrthio yn fyr o gyrhaedd sicrwydd. Gwna yr efallai gwanaf ei gynhyrfu; mae posiblrwydd yn ddigon gan obaith, pa mor amheus bynag, a pha mor ruthiol bynag yr ymddengys ei wrthddrychau. Mae'r Apostol, gan hyny, yn myned rhagddo, gan ddadgan fod gan ffydd faes arall, ac ymarferiad arall, sef yn ail, "sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled." Yn yr wythfed benod o'r epistol at y Rhufeiniaid, dywedir, "y gobaith a welir nid yw obaith; oblegid y peth y mae un yn ei weled, i ba beth

y mae eto yn ei obeithio?" Y mae pethau *na welir* yn bodoli, heblaw yn y dyfodiant. Y mae ffydd yn eangach na gobaith. Medda ffydd gylchoedd heblaw y dyfodiant. Mae pob peth anweledig, pa un bynag ai presenol ai dyfodol, yn wrthddrych ffydd. Mae terfynau ffydd can eanged a'r pethau ni welir. A gall ei gwrthddrychau fod naill ai yn y dyfodol, y gorphenol, neu y presenol.

Nid hawdd yw egluro y gair hwn, "sicrwydd," yn ei ystyr wreiddiol. Nid ellir dweyd nad yw yn cyfleu synwyr da a'i gymeryd yn ei ystyr Gymreig, ond honir gan ddysgedigion, nad yw y gair sicrwydd yn cyfleu syniad y gwreiddiol. Mae y gair yn tybio, meddir, nid y *bod fo'n meddu sicrwydd*, ond yr hyn sydd yn sicrhau. Defnyddir ef nid am y meddwl a dderbynia, ond am yr offeryn a effeithia y sicrwydd.

Nid yw y gair gwreiddiol a geir yma yn dygwydd (yn ei ffurf briodol) ond yn y lle hwn yn y Testament Newydd, yn y cyfieithiad Groeg o'r Hen Destament, dygwydda yn fynych, ac yno arfera dybio gwrthbrawf. Ond mae y gair ei hunan yn cynwys y ddau ddrychfeddwl o brawf a gwrthbrawf, sef y profiedydd sydd yn dynoethi y ffugiol, ac yn cadarnhau y gwirioneddol a'r didwyll.

Gadewch i ni ddefnyddio yr ystyr hwn iddo yma. Yn nherfynau yr anweledig mae ffydd yn archwilio ac yn gwahaniaethu. Nid ffydd yw hygoeledd. Nid y ffaith o fod gwrthddrych o'r golwg yn unig sydd yn cymeradwyo peth i ffydd. Mae Paul yn dangos fod "rhuthro i bethau nis gwelodd," yn annheilwng o Gristion. I ymhoewi mewn byd o ddychymyg, i roddi y ffrwyn i ddychymyg, i boblogi y nefoedd â thrychiolaethau, i barchu bodau a fodolant yn unig mewn tybiaeth, i wneyd sylweddau o gysgodau, a galw ar ddynion i syrthio i lawr o flaen creadigaethau o'r eiddom ein hunain—nid dyna yw ffydd. Nid ffydd yw derbyniad cymysglyd o hyn a'r llall, a phobpeth a orwedd allan o olwg. Mae y ath ddefnydd o'r gair ffydd yn ddirmyg ar y gras yr hwn y proffesir ei anrhydeddu. Ffydd yw maen prawf pethau nad ydys yn eu gweled. Pan ddelo un yn mlaen gydag athrawiaeth neillduol, gan ddywedyd, Draw yn y byd o'r golwg, yn y byd ysbrydol, bodola y fath a'r fath fodolaeth, Ffydd yw y gyneddf â'r hon y syniwn am y fath bethau na welwn, sydd yn ymwneyd yn feistrolgar â'r pwnc, gan ei ddwyn at safon yr Ysgrythyrau, a galw am yr ategion, ac yn ei archwilio yn ngoleuni y llusern ddwyfol, gan wrthod y diwerth, a chymeradwyo y gwerthfawr. Gan hyny, nid sicrwydd neu awdurdod yw ffydd, ond y maen prawf o bethau nad ydys yn eu gweled. Nid oes gan ffydd ei hunan ond un awdurdod, a hono yw ewyllys ddatguddiedig Duw. Ni wrthyd ddim a fyddo yn cydymffurfio â'r awdurdod hon, ac ni dderbynia ddim fyddo yn groes iddi. Ei arwyddair yw, "At y gair ac at y dystiolaeth."

## CYNGORION A RHYBUDDION.

Saf megys ar ddibyn y byd hwn, dy draed ar y ddaear, a dy lygaid a dy galon yn y nef.—*John Wesley.*

Dyro ateb *arafaidd* i ofyniad *prysur.*

Pan ganfyddi ffaeleddau yn eraill, gwna yr iawn ddefnydd o honynt, sef gwellhau a diwygio yr un ffaeleddau ynot dy hun.

Ni chyflawnodd meddwl anwadal un orchest erioed—*bydd benderfynol.*

Rhodiwch ar ddibyn môr tragywyddoldeb, a rhodiwch yn swn ei ddyfroedd hyd nes y byddoch yn fyddar i bob swn arall.—*R. Hall.*

Na werth rinwedd i brynu golud.

Bydd ffyddlawn i'th gyfaill, i'w gadw rhag troi yn elyn; gwna ddaioni i'th elyn i'w enill yn gyfaill.

Os myni fyw yn ddiogel, paid a dyweyd yn ddrwg am neb.

Ymdawela wrth wneuthur yr hyn sydd dda, a gad i eraill siarad am danat yr hyn a fynont.

# Barddoniaeth.

## AR FARWOLAETH MRS. ANN L. DAVIES,

ANWYL BRIOD D. D. DAVIES, ALLEGHANY, GER PITTSBURGH.

Os y genir dyn i farw,
Myn'd trwy farw i ail fyw
Mae y Cristion pur a gloew,
O'r byd hwn at orsedd Duw:
Pan y rhodiai'n chwaer Ann Davies
Ar geulanau'r afon ddu,
Fe ddaeth angel gwyn, cariadus,
Ac i'r nef a'i cipiodd hi.

Gwelodd Sanders, Merthyr yno,*
Hwn fu iddi'n dad mewn ffydd,
A thorf fawr a fu'n cyd-deithio
Gyda hi i wlad y dydd;
Morris Jones, a Rees, Caersalem,†
Gwrddodd yn y "dyrfa fawr;"
Hefyd Owens, Pittsburgh, ceindrem,
A dwyfoldeb yn eu gwawr.

Ond er cryfed ei serch atynt,
Heibio iddynt hwy i gyd,
Aeth ein chwaer, heb holi'u helynt,
At Bryniawdwr mawr y byd.
Mewn perlewyg nefol plygodd
Yn addolgar wrth ei draed,
Iesu'i hunan a'i coronodd—
Hithau, moli am y gwaed.

Wrth ei chlywed hi yn canu,
Owens unodd gyda hi—
Pwnc eu mawl oedd aberth Iesu,
Drostynt hwy ar Galfari:
Dyna ddeuawd! swynol, nefol,
A phob nodyn ynddo'n llawn,
A gydseiniant yn gydgordiol,
A'u cyweirnod oedd yr Iawn.

Peidiwch wylo, hoff berth'nasau,
Yn ormodol ar ei hol;
Pe y gallai, ni chwenychai
Ddyfod atoch, mwy yn ol;
Bu yn hir yn yr anialwch,
Wylodd lawer yn y glyn,
Ond mae heddyw mewn dedwyddwch
Mwy na'r perffaith angel gwyn.

Os cadd eglwys Pittsburgh golled
Ar ol chwaer mor bur a hon,
Un a'i chalon fawr can laned
A'r teg risial is y don;
Ac os tywallt plant a phriod
Ar ei hol heillt ddagrau'n lli,
Fry yn canu'r gân ddiddarfod
I'w Gwaredwr mawr mae hi.

Iôr, bydd dyner o'n brawd Davies,
Sydd yn hen ac unig mwy;
Tywallt falm er gwneyd yn iachus
Ei glaf fynwes sydd tan glwy!
Cadw ef o hyd yn ngheudod
Dy law ddwyfol rhag cael cam,
Hefyd dwg y plant i gymod
A dy Fawredd, fel eu mham.

H. GWERFYL JAMES.

*Utica*, Mawrth 18, 1876.

* Efe a'i bedyddiodd hi.

† Bu am dymor dan eu gweinidogaeth hwy.

## PARHAD DEDWYDDWCH Y SAINT YN Y NEFOEDD.

GAN Y PARCH. J. RHYS MORGAN, LLEURWG.

Dadebra o'th drymder, yr enaid crediniol,
O! cyfod, a gwêl dy ogoniant trag'wyddol;
Mae gwynfyd yn d'aros yn mhreswyl dy Geidwad,
Am gyfnod na ddaw ef byth byth i derfyniad.
Cei fyw mewn gogoniant yn nghwmni dy frodyr,
Flynyddau rifedi gronynau'r las awyr;
Pan dreulia y rhei'ny bydd eraill yn aros,
Rifedi y glaswellt, a mân-wlith y cyfnos;
Pan dreulia y rhei'ny, parha dy fri llachar,
Am oesau ri'r dail ar goedwigoedd y ddaear;
Pan dreulia y rhei'ny, bydd eraill yn canlyn,
Rif tywod y môr, a rhoi myrdd am dywodyn!
Pan dreulia y rhei'ny, myrddiynau fydd eto,
Rifedi eiliadau'r miliynau aeth heibio!
Lluosoger hwynt oll wrth filiynau cyfartal,
O berffaith ogoniant—o wynfyd dihafal,
Nes byddo'u rhifedi yn boddi'r galluoedd,
*Ni welir terfyniad ar wynfyd y Nefoedd.*
Ni bydd trag'wyddoldeb ond dechreu pryd hyny,
Ni fydd ond yn gwawrio, a'r haul bron ar godi;

Ni fydd y nefolgor ond prin bod yn barod,
Ni fydd byrddau'r wledd ond newydd eu gosod;
Ni fydd y croesawiad ond prin myned heibio,
Ni fydd yr holl deulu ond newydd ddod yno;
Ni fydd gorlawenydd y jubili nefol
Pryd hyn wedi cyrhaedd ei fawredd anfeidrol;
Ni fydd y telynau ond newydd eu tantio,
A'i anthem drag'wyddol ond newydd ei tharo;
Bydd swynion trag'wyddol yn perthyn i'r cyfan,
Parhad y dedwyddwch a fydd, "O hyn allan!"

## OAN YSGRYTHYROL.

"Cymerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf."

O, addfwyn, isel Un,
Chwenychwn dy ddysg Di,
A gwisgo d' esmwyth iau yn gun,
Rhag hunan rhydd b'om ni.

Ein henaid blin, rhy faith,
Fu yn nghadwynau'r fall,
A thrymaidd ar ein calon laith
Fu 'r chwerwder yn ddi ball.

A charem ni'r caethiwed erch,
Ni wyddem am ein poen,
Ond 'n awr Dy lais a glyw'n mewn serch,
O, fendigedig Oen.

Dy gymorth grasol, byw,
A'th fendith rho'n ddigoll;
Os gwnei di ni'n rhydd, O Dduw,
Yn rhyddion byddwn oll.

Ac yna ein hysbrydoedd fydd
O dan d' arweiniad Di,
I wneuthur hoffus eiriau'r ffydd,
A'th gyfraith fawr ei bri.

O, Ddwyfol uchel Un,
O Iesu, ffyddlawn, pur,
Atat de'wn, can's Ti dy hun,
All wella pob rhyw gur. H. D.

## I'R DDAFAD.

Troir gwlan, croen llydan, a llaeth,—y ddafad,
I ddifyr wasanaeth;
A cholofn masnach helaeth,
Ydyw ei chig da ei chwaeth.

IOAN MADOG.

## ENGLYNION.

I MARY, GENETH FECHAN MR. A MRS. JOSEPH LEWIS, DAWN, MO.

O! mor fwyn yw Mary fach—deg olwg
Pryd gwelwyd ei harddach?
Pur hoff ei thôn, perffaith iach,
Llanwa wych nodau 'i llinach.

GIRALDUS.

I ARTHUR, BACHGEN BYCHAN MR. A MRS. BENJAMIN PRICE, NEW CAMBRIA, MO.

Gwelwn ei fod yn gwylio—(da'i agwedd)
Rhag dygwydd ei gwympo,
Yn hyn o fyd ofnai fo,
Yn ebrwydd i ymlwybro.

I Arthur bach yn nerth hir bo—yr Ion
Drwy'r anial i deithio;
'N wr addas nes cyrhaeddo,
Di-ail fraint, y dawel fro. YR UN.

I'R "WAWR."

Moeswch Gyhoeddiad Misol—i'n cenedl,
Er cynydd ysbrydol;
Un a geir yn rhagorol,
I ladd gau, a ffurfiau ffol.

*Coal Valley, Ill.* DAVID MORGAN.

ETO.

"Y WAWR" ireiddwawr, arwydda—bod dydd
I'r Bedyddwyr wledda;
Ar ol nos hir, yr wyl nesâ—ceir gwledd,
A hwyl oleuwedd, Wi! Haleliwia!

Giraldus, mae'ch gwroldeb—yn deilwng
O dalent ein hundeb;
Yma nid oes, nac oes neb,
A gweniaeth yn eich gwyneb.

*Dodgeville, Wis.* TREBOR.

ETO.

Y wawr gain, firain, a fydd—y boreu
Yn barod ragflaenydd,
I Haul Duw a'i oleu dydd;—
Llyw anian a'i llawenydd.

"Gwawr" addysg a gyrhaeddo—eglurder
Dysgleir-daith a gaffo,
A'i barch lle bynag y bo
Ei lewyrch yn goleuo.

*Utica.* CYNWAL.

## "GEIRIAU Y DOETHION."

*"Ai mor ydwyf fi neu forfil?"*

Iē, Job; yr wyt yn fath o forfil anfarwol; mae dy enaid di yn llawer mwy ac yn llawer cryfach na'r môr, ac nac un morfil a heigiodd ynddo erioed. Gall enaid ehedeg yn ol er cyn creadigaeth, ac oddiyno i waered atom ni, gan chwilio yr oesoedd, a chychwyn yn ei daith feddylgar yn mlaen i rifo oesoedd i ddyfod, nes myned dros y mil blynyddoedd, ac adgyfodiad y meirw, a'r farn dragywyddol; ac yna fel morfil ysbrydol, ddechreu gwneyd ei lwybr trwy fôr tragywyddoldeb, lle y goddiwedda ysbrydoedd y cyfiawn, a Iesu, a holl deulu Duw, os oes ynddo syniad ysbrydol; neu gall dreiddio i gyfarfod â'r hen fwystfilod Cain a Judas, a'r holl gythreuliaid byth yn llwybro y môr tanllyd. a llyn na all morfil yr enaid anfarwol gael gafael yn y pen draw iddo byth.—*Christmas Evans.*

*Ymweliad a Maes y Frwydr.*

Gallasai Iesu gychwyn tua deg o'r gloch boreu y trydydd dydd i edrych ar yr olygfa gelaneddol oedd ar faes rhyfel Golgotha. Tri diwrnod yn ol, yr oedd y llengoedd gwrthwynebol mewn trefn i frwydr; ond aeth Golgotha fryn yn ddyffryn y celaneddau. Gallasai ddweyd tan ddangos â'i fys, i Mair Magdalen, "Dacw ddiafol, eu pen cawr, a'i ben wedi ei ysigo." Nid ellir desgrifio yr olygfa yn ol y ffugyrau ysbrydoledig, ond yn fyr ac anmherffaith, o herwydd eu harucheledd. Gallesid gweled can' mil o deirw Basan wedi colli eu cyrn, a'u tafodau allan, wedi gorwedd; llewod wedi darfod rhuo; cwn yn rhy wan i gyfarth; mil myrdd o fwāau rhyfel, a saethau heb rifedi, yn ddarnau mân yma a thraw, heb un fraich iach i'w gweled a fu yn saethu â hwynt. Cleddyfau yn gatiau wedi eu chwilfriwio, heb law yn ymaflyd ynddynt, oddieithr, yma ac acw, y gallesid gweled darn o law cythraul wedi glynu wrth y llawiad (*handle*) darn o gleddyf. Llurigau a tharianau heb rifedi wedi eu dryllio yn chwilfriw, ac wedi eu taenu tros yr Aceldama fawr, heb neb yn eu gwisgo mwy. Yr holl darianau a'r celfi oedd yn cylymu y gwersyll yn nghyd, oll wedi tori, fel edau garth yn nwylaw Samson. Gallasai Iesu ddywedyd wrth Mair Magdalen, "A wyddost ti, Mari, pa beth a effeithiodd y dinystr hwn yn ngwersyll uffern? Y gair *Gorphenwyd,* a glywaist yn dyfod o'm genau ar ol yfed y gwinegr, hyny a faeddodd uffern faith i gyd."—*Yr un Awdwr.*

*Cyfraith Duw yn Achos o Orfoledd.*

Yn bedwerydd, Am fod deddfau Duw yn arwain i afael holl fendithion yr iachawdwriaeth.—"Gwyn eu byd y sawl sydd yn gwneuthur ei orchymynion ef, fel y byddo iddynt fraint (hawl) yn mhren y bywyd, ac y gallont fyned i mewn trwy y pyrth i'r ddinas." Gwaith arfaeth ydoedd cynllunio; gwaith y pererin sydd a bywyd ynddo yw teithio. Dywedir wrthym fod modd i fyned o'r Aipht i Arabia, heb fyned drwy y Môr Coch; a thrwy yr anialwch i Ganaan, lawer yn agosach na'r ffordd yr aeth yr Israeliaid ar hyd-ddi. Ond nid ffordd Duw i fyned â'i bobl ydoedd hono. Pe byddai i rywun hunan-ddoeth ei dilyn, ni fyddai yn debyg o lwyddo yn yr anturiaeth. Ffordd Duw i wlad yr addewid, ydoedd ffordd y cwmwl, &c. Dywedir fod llawer o bethau yn perthyn i grefydd ag y gellir gwneyd hebddynt. Efallai hyny. Ond nid oes dim yn sicrach na chydymffurfio â threfn y nef. Nid wyf yn gwybod fod neb wedi llwyddo wrth *improvo* arni. Nid oes ond un wedi disgyn oddi uchod; Efe ddylai wybod oreu ym y ffordd. Y ddadl fawr rhwng Duw a thrigolion y ddaear sydd yn ngylch y ffordd. Mae y rhan fwyaf o honynt mewn cymod â'r orphwysfa. Mae gwlad yr addewid yn eu boddloni; ond y mae dadleuon lawer yn nghylch y ffordd. Ein gorchwyl ni yw ceisio cymodi meddyliau ein gilydd â'r ffordd. Yr oedd Moses, Dafydd, Solomon, "y dysgybl anwyl," Paul, Pedr, a Barnabas, mewn cymod â'r ffordd; ac yr oedd yr Hwn a ddy-

oddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid, mewn cymod â'r ffordd. A gaf fi lwyddo i'ch cymodi chwithau â hi? Nid oes yn perthyn i'r *code of laws* a ddaeth o'r orsedd ddwyfol, yr un gorchymyn nad yw lles dyn, yn dymorol ac yn ysbrydol, yn gynwysedig yn ei gadw. Dim un. "Arweiniodd hwynt ar hyd ffordd uniawn i ddinas gyfaneddol." — *Parch. James Rowe, Abergwaen.*

---

*Ymddangosiad Pregethwyr.*

Pa beth yw ymddangosiad da? Nid bod yn rhwysgfawr ac ymchwyddol, ac ystyried eu hunain yn well nag eraill, canys y mae ymddangosiad balch ac hunanol yn colli calonau, a geiriau mwyn a charedig yn eu henill. Nid gwisgo dillad gwychion, canys yn fynych y mae gwisg goegfalch yn arwyddo ty brwnt oddi fewn, ac yn llefaru wrth y byd mai yr ochr allanol i'r ddelw symudol yw yr ochr oreu.

Yr hwn sydd yn ymddibynu ar ei deiliwr am ei fawredd, a ga brofi nas gall nodwydd ac edau gadw ffwl yn hir yn y pwlpud. Dylai boneddwr feddu mwy yn ei logell nag ar ei gefn, a dylai pregethwr feddu mwy yn ei ddyn mewnol nag yn ei ddyn allanol.

Peidiwch modrwyo ac iro olew yn eich gwallt megys *dandies*, canys nid oes neb yn prisio am glywed llais pawin.

Peidiwch meddwl llawer am danoch eich hunain tlysion, neu ni feddylia eraill ddim am danoch.

Ymaith â'r modrwyau aur, a'r cadwynau, a'r gemau; ni ddylai y pwlpud fod yn fasnachdy i'r gof aur. Ymaith am byth a'r gwynwisgoedd a'r gynau, a'r holl arferiad babanaidd—dylai dynion daflu ymaith bethau plentynaidd. Y mae croes ar y cefn yn arwyddo diafol yn y galon.

Y rhai hyny a wnant fel y gwna Rhufain, a ddylent fyned i Rufain i ddangos eu lliwiau. — *"John Ploughman's Talk," gan y Parch. C. H. Spurgeon.*

Arch i enaid marw i'w corph dyn annuwiol.—*D. Charles.*

## COFIANTAU A MARWOLAETHAU.

---

COFIANT MRS. MARIA MORGANS, POTTSVILLE.

Chwef. 12, 1876, ydoedd terfyn ymdaith ddaearol, a dechreuad bywyd yn Nghanaan, anwyl briod y Parch. Wm. Morgans, Pottsville. Ganwyd hi yn y fl. 1805, yn mhlwyf St. Athan, Morganwg. Merch ydoedd i Mr. Thomas Matthews, amaethwr cyfrifol. Ei brawd hi ydyw y Parch. Edward Matthews, gweinidog byd-enwog gyda y T. C. Adnabyddir ef dan yr enw Matthews, Ewenni, neu Benllin. Brawd arall iddi ydyw Mr. Thomas Matthews o Fontgarry, Pontfaen. Bu iddi frawd yn y wlad hon, o'r enw Wm. Matthews. Trigianai ef yn Swydd Lycoming, Pa., ond y mae y brawd diweddaf hwn wedi gadael yr anial er ys cryn lawer o flynyddoedd.

Dechreuodd ein chwaer ei gyrfa grefyddol pan ydoedd yn nghylch 20 oed. Y gwr a anrhydeddwyd gan Dduw i fod yn offerynol i'w harwain at Grist, ydoedd yr enwog Jabes Lawrence, cenadwr ar y pryd yn Llanelltyd Fawr a Llancarfan. Cymerodd hyn le rywbryd tua'r fl. 1825. Gellir meddwl fod cyflwr crefyddol yr ardal yn hynod o isel yn y cyfnod hwn. Yr oedd yr hen Eglwys, fel ei gelwir, mor bell oddiwrth ei dyledswydd a'i gwaith, ag ydyw ffurfiau meirwon oddiwrth fywyd a llafur efengylaidd gweithwyr Duw yn yr oes hon. Yr oedd aml offeiriad yn byw y pryd hwn, a chanddo lawer mwy o ofal am gwn hela, nag am y ddeadell a ymddiriedwyd i'w ofal gan y Llywodraeth. Yr oedd yn llawer parotach i ddal ysgyfarnog, na cheisio a chael y ddafad a gollasid.

Mewn ardal ac adeg fel hon y dechreuodd Jabes Lawrence gyhoeddi y gair, egluro y gwirionedd, a chymwyso yr efengyl at galon a chydwybodau plwyfolion St. Athan. Yr oedd argyhoeddiad crefyddol ein chwaer yn ddwfn. Pa ryfedd fod ei holl fywyd yn un dystiolaeth o'i wiredd a'i allu? Ymddengys i'r ysgrifenydd y dylai cadwedigion yr Arglwydd fod nid yn

unig yn bur, ond yn ddeallus; nid yn unig yn cynyddu mewn gras, ond mewn gwybodaeth. Anturiaf ddyweyd, fod y Beibl wedi, ac yn alluog i wneyd y dynion sydd tan ei ddylanwad, nid yn unig y dynion goreu, ond hefyd y dynion callaf. Adnabyddid Mrs. Morgans fel un ag ydoedd yn gwisgo yr holl nodweddau hyn. Pan rhwng 23 a 24 oed, ymunodd mewn *glan* briodas â Mr. Wm. Morgans, gweinidog Llantrisant, dyn ieuanc ychydig hynach na'i hunan. Brodor o Lwyn-y-pïa, heb fod yn neppell o Bont-y-pridd, ydyw Mr. Morgans. Yn mhen dwy flynedd ar ol priodi, penderfynodd y ddau gyfeirio eu gwynebau tuag America. Glaniasant yn Philadelphia rywbryd yn y fl. 1830. Er fod Dinas y Cariad Brawdol wedi cael ei sefydlu, ei hadeiladu, yn nghyda ei bythol enwogi, gan Gymry, eto anturiaeth fawr, yn ddiau, ydoedd i weinidog Cymreig feddwl ymsefydlu o fewn ei therfynau yr adeg hono. Bu Mrs. Morgans yn allu cysurol iawn i'n brawd, am y saith mlynedd a dreuliodd yn mysg yr Americaniaid yn ninas Philadelphia. Gwelodd yr ysgrifenydd, ychydig amser yn ol, lythyr at Mr. Morgans oddiwrth yr hen fasnachwr Cristionogol, yn ngwasanaeth yr hwn y treuliasai y rhan fwyaf o'i amser cyn ei ddyfodiad i Pottsville. Hawdd ydoedd canfod hanes ein brawd yn y syniadau Duw-fendithiol a addurnent yr epistol hwnw. Yr oedd, erbyn hyn, lawer iawn o Gymry wedi ymsefydlu yn Swydd Schuylkill, Pa. Mr. Wm. Owen, (Pittsburgh wedi hyny,) ydoedd y cyntaf i wneyd ymgais am godi achos crefyddol tan nawdd y Bedyddwyr yn nghymydogaeth Pottsville a Minersville, a symudodd yntau ymaith i'r Gorllewin cyn i nemawr o'r had i wreiddio na dwyn ffrwyth. Ond y mae bywyd ein heglwysi Cymreig, a bywyd ein brawd Morgans mor gysylltiol, fel nas gellir adrodd hanes y naill heb olrhain bywyd y llall. Nis gwyr neb, sydd heddyw yn fyw, pa faint o burdeb, cariad, ffydd, a dyfal-barhad ein hanwyl frawd sydd i'w briodoli i gymeriad moesol uchel, a gwybodaeth grefyddol fawr ei anwyl wraig. Dywed gair Duw, "A hwy a fyddant yn un cnawd." Yn wir, meddyliais lawer gwaith, os nad un enaid oedd rhwng y ddau, fod y ddau enaid yn ddau efaill, wedi cael eu creu a'u cynysgaethu a'r unrhyw ragorion. Y mae llawer gweinidog yn gorfod bod y peth yw—yn rhinweddol, yn dalentog, yn wybodus a llwyddianus, dan bob anfantais deuluaidd; ond gan nad faint y ffyddlondeb a ddangosai ein brawd, yr oedd hi yn ei ategu ac yn ei gefnogi i barhau.

Nid yn unig yr oedd ei deall yn gryf, ei bywyd yn lân, ei chydymdeimlad â'i phriod yn ei alwedigaeth oruchel, yn fawr, ond yr oedd yn hynod am ei charedigrwydd *crefyddol.* Crefyddol yw y gair priodol yn y lle hwn. Yr oedd yn garedig wrth ddynion, nid yn gymaint am eu bod yn Gristionogion proffesedig; nid o herwydd eu teilyngdod moesol; ond o herwydd fod hyny yn rhan bwysig o'i chrefydd ymarferol. Y mae yn aros ar ei hol, yn nhir y rhai byw, lawer o resymau dros i ni gredu ei bod, yn hyn, fel mewn llawer o bethau eraill, yn ymdebygu i'w Cheidwad hael. Un o hynodion caredigrwydd Iesu, yw y ffaith ei fod yn teimlo dyddordeb mewn dynion annheilwng; ei fod yn hael yn ei gariad tuag at ei wrthwynebwyr; ïe, yn wir, ei elynion. Gwyddai pawb a fynychent dy Mr. Morgans, nad oedd yn ei feddiant adnoddau dihysbydd; nad oedd yn cael llawer o demtasiynau i hoffi y byd hwn, eto pe cymerasid caredigrwydd y ddau yn ddangoseg o'u golud, ac nid o haelionusrwydd eu calon, buasai yn syrthio i gamsyniad dybryd. Elfen arall bwysig yn ei chymeriad, oedd y ffaith, nad oedd gwendidau, enciliadau, a phechodau cyhoeddus a gwaradwyddus aelodau a swyddogion crefyddol, yn cael yr effaith leiaf ar ei pherthynas â'i Gwaredwr, a'i rhwymedigaeth i'w achos. Nid wrth ddynion yr oedd hi yn glynu; na, yr oedd ei hangor wedi cael ei daflu i'r tu fewn i'r llen.

Yr oedd ei hafiechyd diweddaf, er yn boenus iddi ei hun, yn drallodus i'w hanwyl briod, ac yn chwerwder i'w chyfeillion a'i pherthynasau, er hyny yn fantais neillduol i'w haddfedrwydd

ysbrydol ymddangos. Rhaid dryllio y graig cyn ceir yr aur; rhaid tramwyo trwy y gauaf cyn y cyrhaeddir y gwanwyn addawol; rhaid rhwyfo rhwng creigiau geirwon a dyfroedd tonog cyn y cyrhaeddir yr hafan cysgodfawr sydd ar ymylon y wlad wen; a rheidiol oedd iddi hithau fyned trwy yr anial, ac i ymyl yr hen Iorddonen, cyn y gallasai fynegu mewn geiriau, a dangos mewn ymddygiad, "ragorol olud ei ras ef."

Y dydd Iau canlynol i'w hangau, ymgynullodd torf fawr o'i chyfeillion a'i chydnabod, i hebrwng ei gweddillion daearol i dy ei hir gartref. Pregethwyd yn y capel gan y brodyr Owen Griffiths, Utica, ac Allen J. Morton; wrth y bedd cafwyd anerchiadau gan y brodyr Thomas, Summit Hill; Thomas, Mahanoy. Cymerwyd rhan yn y moddion gan Jones, o Shenandoah, ac Edwards, Pottsville. Fel hyn cysegrwyd yr amgylchiad pwysig hwn gan Air Duw a gweddi. Yr oeddym yn claddu corph ein chwaer mewn gwir ddiogel obaith am yr adgyfodiad gwell. Ein brawd anwyl Morgans, cyn troi ymaith oddiwrth y bedd, a ddywedodd, "Y mae yma ddigon o le i minau orwedd wrth ei hochr." Y Duw a'i hamddiffynodd hyd yma, fyddo eto yn nodded iddo yn ei drallod. A. J. M.

---

### MRS. ANN L. DAVIES.

Bu farw, Gorph. 28, 1875, yn ei 65 ml. oed, y chwaer Ann L. Davies, Alleghany City, Pa., (neu Wood's Run). Yr oedd gwrthddrych ein cofiant yn ferch i Edward a Hannah Llewelyn, yn aneddu yn nghwr isaf pentref Merthyr Tydfil, Morganwg, D. C. Pan yn ieuanc tueddwyd ei meddwl at yr Ysgol Sabbothol a moddion gras, a theimlodd wasgfa yn achos ei henaid, ac awydd am fyw yn grefyddol; ac ymwasgodd at ddysgyblion Iesu Grist, a phan yn 16 mlwydd oed cafodd yr anrhydedd o ganlyn ei Blaenor, a bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd gan yr ymadawedig David Sanders, Capel Seion, a derbyniodd aelodaeth yn Eglwys Ebenezer, o dan weinidogaeth y duwiol Maurice Jones, yn nechreu y fl. 1827. Ymunodd yn y sefyllfa briodasol â'i phriod sydd mewn galar, Mai 31, 1834. Bu hyn yn achos iddi symud i artrefu i Dowlais; felly ymaelododd yn eglwys Caersalem, y doniol David Rees yn gweinidogaethu, hyd ei mudiad i'r wlad hon, yn Medi, 1836. Daeth i artrefu i Pittsburgh, yn Hydref yr un flwyddyn, ac ymaelododd y cyfle cyntaf yn yr eglwys Fedyddiedig Gymreig, yn nghlyw sain hyfryd gweinidogaeth yr hybarch a'r diweddar ymadawedig Wm. Owen.

Meddai syniadau hynod o uchel a pharchus trwy yr holl flynyddau am ei hanwyl weinidog; a chwynai ar ei chlaf wely na fuasai yn alluog i weled ei wyneb, cyn ei roi i orwedd yn mhriddellau y dyffryn.

Yr oedd y chwaer Davies yn hynod mewn gweddiau a bywyd addas i'r efengyl, pan yn ferch ieuanc; ac wedi myned yn wraig, ymdrechodd i harddu ei phroffes yn ei chydgynulliad a'i bywyd cyhoeddus. Atgas beth oedd ganddi ddeall am un crefyddwr anonest, trwy beidio talu i arall ei eiddo; hefyd geirwiredd oedd safon ei hymadroddion, ac ymwrthodai yn hollol ag ysgafnder a chellwair. Fel gwraig, bu yn ymdrechgar, diflino, a llafurus, gyda ei phriod, at y teulu, ac yn dyner, gofalus, a mynwesol o'i phlant; a chyfrifid hi fel gwraig a mam yn un o'r goreuon. Cafodd glefyd hirfaith, am flwyddyn gyfan, gan y *cancer on the liver*, ac a fu yn angau iddi. Dyoddefodd boenau dirdynol ar adegau, a chlywid hi yn dyweyd, "O, Iesu, cymer fi atat dy hun;" a phan y caffai ychydig o esmwythâd, byddai yn canfod golygfeydd ardderchog, a lle gogoneddus yr olwg arno, ac yn galw sylw y rhai fyddai yn ei hymyl i edrych. Yr adeg hono oedd yr wythnos ddiweddaf o'i bywyd; a rhyw dri diwrnod cyn gadael, dywedodd ei bod weddi rhoddi ei henaid i gadw er's llawer iawn, iawn, o flynyddoedd, ac fe gymer ymddatodiad le yn fuan rhwng y corph a'r enaid," ond, meddai, "mi a wn i bwy y credais." Rhoddodd gyfarwyddyd am y ffordd y dymunai gael ei rhoi yn ei thy pridd, ac amryw bethau eraill oedd yn ei chys-

ylltiad â'i phriod a'i phlant, gan ddyweyd, "Dyma fi wedi dyweyd y cwbl sydd genyf; fe allai na chaf genad i ddyweyd rhagor." Ac felly y bu; ni chafwyd nemawr yn ddealladwy wedi hyny; ac hunodd, (yn obeithiol i ni ar ei thystiolaeth ei hun,) yn yr Arglwydd, gan adael priod oedranus a phump o blant i alaru eu colled mawr o honi yn myd y tristwch. Ac mae y penill canlynol yn ddarlun o'r teimlad sydd yn y teulu ar yr amgylchiad:

A light is from our household gone,
A voice we loved is stilled;
A place is vacant at our hearth,
That never can be filled.

Sabboth Awst 1af, cynullodd tyrfa fawr o gyfeillion i hebrwng gweddillion Mrs. Davies i dy ei hir gartref. Cafodd ei chladdu yn anrhydeddus, ac yn deilwng o honi ei hun, ac ni welwyd un angladd mwy boneddigaidd ac anrhydeddus, a threfniadau mwy deheuig yn ein hardal na hon. Cyflawnwyd y gwasanaeth gan y Parchn. Wooburn, (B.), Alleghany, yn Saesneg, a Dr. Thomas, (A.), Pittsburgh, yn Gymraeg. Siaradwyd yn fyr, dwys ac effeithiol, am gymeriad y marw, a rhybudd i'r byw. Canwyd yn y ty, ac ar fynediad i mewn i'r gladdfa at y bedd, ac wedi rhoi corph ein hanwyl chwaer ynddo, yn ol ei hewyllys. Ac er fod amryw fisoedd oddiar hyn, mae arwyddion o alar dwys ac amddifadrwydd mawr yn y teulu a'r eglwys o hyd. Yr Arglwydd fyddo yn nerth ac yn gymorth iddynt yn eu trallod. GALARUS.

---

WILLIAMS—Mawrth 10, yn Mahanoy City, Pa., Gilbert, mab Mrs. James Williams, yn 4 mlwydd a 6 mis oed.

Hefyd, yn yr un lle, Richard, mab Mr. a Mrs. Beynon, yn 3 mlwydd a 6 mis oed. Claddwyd y blaenaf yn St. Clair, a'r olaf yn Tamaqua. Gweinyddwyd gan y Parch. W. D. Thomas.

CLADDEDIGAETH YR HYBARCH D. DAVIES, D. D., LLANELLI (GYNT BETHESDA, ABERTAWE).

Dydd Mercher, Chwefror 23ain, ymgasglodd tyrfa luosog wrth dy y Parch. J. Rowlands, Llanelli, er talu eu teyrnged o barch i goffadwriaeth yr hen dad, Dr. Davies (y dyn dall). Wrth y ty darllenwyd a gweddiwyd gan Lleurwg, a dygwyd y corph allan gan bedwar o weinidogion. Aed yn fintai luosog tua'r orsaf, ac aeth y rhan fwyaf o'r cyfeillion gyda'r un gerbydres i Abertawe. Wedi cyrhaedd yno, ail-ffurfiwyd yn orymdaith—y gweinidogion yn codi y corph, fel o'r blaen. Blaenorid yr orymdaith gan Faer Abertawe, ac E. M. Richards, Ysw., ar ran y cyngor trefol. Dilynwyd hwy gan y gweinidogion, nifer fawr o'r rhai oeddynt wedi dyfod yn nghyd erbyn hyn, a chan dyrfa luosog o gyfeillion y gwahanol enwadau.

Wedi cyrhaedd capel Bethesda, chwareuwyd y "*Dead March in Saul*" ar yr organ, tra yr oedd y corph yn dyfod i fewn. Gweddiwyd yn effeithiol gan Dr. Rees (A.), ac anerchwyd y gwyddfodolion yn gyfaddas a thoddedig gan y Parchn. N. Thomas, Caerdydd; Mathetes, Rhymni; E. Thomas, Casnewydd; Dr. Davies, Hwlffordd; E. M. Richards, Ysw. (diweddar A. S. dros Sir Aberteifi); J. Livingstone, Ysw., Maer Abertawe; a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. C. Williams, Ystalyfera. Yna aed a'r corph i'r gladdfa, a dodwyd ef yn y gell (*vault*) darparedig iddo, wrth ochr ei anwyl briod, yr hon a gladdwyd yno ddwy flynedd-ar-hugain cyn hyny. Anerchwyd y gynulleidfa yma gan y Parch. J. Jones, Felinfoel; a therfynwyd trwy weddi gan y Parch. W. Hughes, Llanelli.

MARWOLAETH Y PARCH. R. A. JONES, ABERTAWE.

Y mae genym eto y gorchwyl galarus o gofnodi marwolaeth y brawd hoff ac anwyl, R. A. Jones, Bethesda, Abertawe, yr hyn a gymerodd le, wedi byr gystudd, am chwarter wedi deg o'r gloch nos Wener, Chwefror 25ain, yn 51 mlwydd oed. Pregethodd Mr. Jones y Sabboth blaenorol yn Bethesda, a nos Fawrth (er nad oedd yn teimlo yn hollol hwylus) bu mewn cyfarfod neillduol yn Cwmbwrla. Wedi dychwelyd adref, ar ei fynediad i'w wely-ystafell, cafodd lewyg; ac er pob cymorth o eiddo meddygon goreu y dref, suddodd yn raddol, a bu farw nos Wener. Y mae ei farwolaeth sydyn ac annysgwyliadwy wedi achosi galar cyffredinol trwy holl Gymru. Yr oedd tymer addfwyn a charedig Mr. Jones wedi rhoddi lle cynes iddo yn nghalonau miloedd o gyfeillion twymgalon. Bu yn weinidog ffyddlawn a llwyddianus, a theimlir bwlch mawr ar ei ol. "Ei haul a fachludodd a hi eto yn ddydd." Claddwyd ef yn mynwent Bethesda, wythnos i'r diwrnod ar ol Dr. Daniel Davies. O! fel y mae y cedyrn yn syrthio.—*O Seren Cymru.*

---

## BEDYDDIADAU.

Yn Remsen, N. Y., Ion. 30, bedyddiwyd tri ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. John S. Jones. Mae tri eto o flaen yr eglwys, a'r rhagolygon yn addawol, yr eglwys yn bywiocâu, a'r gynulleidfa yn lluosogi.

Sabboth, Chwefror 26ain, ymwelodd y Parch. J. T. Jones, Shenandoah, â Pottsville, Pa., a

phregethodd ddwy bregeth ag y cofir am danynt dro. O herwydd henaint a gwendid yr hen wr Mr. Morgans, darfu i Mr. Jones fedyddio dau—gwr a gwraig—ar gyffes o'u ffydd, yn medyddfa y Bedyddwyr Seisonig, a da genym hysbysu i'r brawd gyflawni ei waith yn anrhydeddus. Boddlonwyd y bobl i'r pen gyda phregethau Mr. Jones, a phawb yn awyddus am ei glywed eto.—*O'r Faner.*

Yn Wiconisco, Pa., Chwef. 27ain, bedyddiwyd tair o chwiorydd ar broffes o'u ffydd yn Nghrist, gan y Parch. B. E. Jones, gweinidog y lle, yn ngwydd tyrfa fawr. Gwnaeth Mr. Jones ychydig o sylwadau ar fedyddiad ceidwad y carchar a'i deulu. TYST.

Yn Hyde Park, Pa., Mawrth 5ed, bedyddiwyd wyth gan y Parch. B. W. Thomas.

BENJAMIN HUGHES.

Yn ystod y gauaf hwn, yn Franklin, Pa., bedyddiwyd tuag 80 o bersonau gan y Parch. Fred. Evans (*Ednyfed*). Mae y llwyddiant yn parhau, a'r achos yn hynod lewyrchus. Deallwn fod llwyddiant cyffelyb, os nad mwy, gyda ei frawd, y Parch. John Evans, yn Rhode Island.

---

## PRIODWYD.

THOMAS—GRIFFITHS—Rhag. 22, 1875, yn Mahanoy City, Pa., gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. John Thomas, Janesville, a Mrs. Susannah Griffiths, o Shenandoah.

Mawrth 3ydd, trwy drwydded, yn nghapel y Bedyddwyr, Pontllyfni, gan y Parch. J. G. Jones, Porthmadog, ac yn ngwydd y cofrestrydd, Mr. John Owens, Talysarn, a Miss Anne Jones, Ochr-y-foel, Llanllyfni, unig ferch y Parch. R. Jones, Llanllyfni.

---

## ADRODDIAD YR OLRHEINWYR

**A Neillduwyd i Archwilio llyfrau Eglwys y Bedyddwyr yn Hyde Park, Pa., am y flwyddyn 1875.**

---

Derbyniadau fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| At y weinidogaeth | $1366 14 |
| Amrywiaeth | 66 72 |
| Cenadol | 32 79 |
| Tlodion | 250 49 |
| Oddiwrth yr Ymddiriedolwyr (sef T. D. Davies) | 350 00 |
| Cyfanswm | $2066 14 |

Taliadau fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| I'r Parch. D. W. Morris | $1000 00 |
| Gweinidogaeth Achlysurol | 117 34 |
| Mrs. Richards, am lanhau y capel | 108 00 |
| Rees Hopkin, am oleuo y capel | 72 00 |
| Am lanhau a goleuo ysgoldy y 4th ward | 36 00 |
| Am fara a gwin | 21 60 |
| Elusenau i'r tlodion | 188 34 |
| Am danwydd—glo a choed | 56 50 |
| Co-operative am olew, &c | 24 17 |
| Amrywiaeth | 17 73 |
| Cementio y bedydd fan | 10 00 |
| Gwaith Saer | 4 64 |
| Am ysgoldy yn Bellevue, a'i adgyweirio | 199 56 |
| Gymanfa $8.00, a'r Ysgrifenydd $2.00 | 10 00 |
| Llythyron y Gymanfa | 4 00 |
| Dyledus i'r Trysorydd, James A. Evans, ar ddechreu y tymor | 193 14 |
| Mewn llaw gan y Trysorydd Ionawr 1, 1876 | 3 12 |
| Cyfanswm | $2066 14 |

| | |
|---|---|
| Tanysgrifiadau a derbyniadau gan yr Ymddiriedolwyr o Meh. hyd Rhag. | $907 00 |
| Am ddodrefn y Parch. D. W. Morris | 140 00 |
| Benthyciwyd gan Ann Davies | 300 00 |
| Dyledus i Thos. D. Davies | 30 03 |
| | $1,377 03 |

TALIADAU GAN YR YMDDIRIEDOLWYR.

| | |
|---|---|
| Cambrian Mutual Yswiriant | $33 60 |
| Robert McKune " | 50 00 |
| Wm. B. Davies, llog ar arian benthyg | 80 00 |
| Rees Lewis " " " | 104 00 |
| Wm. J. Lewis " " " | 79 43 |
| Isaac Dando " " " | 180 00 |
| Talwyd *note* i I. Dando | 500 00 |
| I James A. Evans, Trys. yr Eglwys | 350 00 |
| | $1,377 03 |

HOLL DDYLED YR EGLWYS, ION. 1, 1876.

| | |
|---|---|
| Yn ddyledus i T. D. Davies am 1874 | $3 77 |
| " " " 1875 | 30 03 |
| *Note* i Isaac Dando | 500 00 |
| " " Wm. B. Davies | 400 00 |
| " " Wm. J. Lewis | 827 00 |
| " " Rees Lewis | 1095 00 |
| " " John B. Lewis | 200 00 |
| " " Ann Davies | 300 00 |
| Cyfanswm | $3,355 80 |

CYFRIFON YR YSGOLION AM 1875.

*Ysgol y 4th Ward.*

Cyfanswm rhif, 4618; canolrif (am bob Sabboth), 92½; adroddiad o benodau, 21; Salmau, 38; adnodau, 4,283.

| | |
|---|---|
| Mewn llaw, $3.36; casglwyd, $19.03 | $22 39 |
| Talwyd am lyfrau, &c | 15 90 |
| Mewn llaw gan y Trysorydd Ion. 1, 1876 | 6 49 |

*Cyfrifon Ysgol Bellevue.*

Cyfanswm rhif, 3,242; canolrif bob Sabboth, 64¼; adroddwyd o benodau, —; Salmau, 13; adnodau, 2,388.

| | |
|---|---|
| Mewn llaw, $14.49; casglwyd, $14.26 | $28 75 |
| Talwyd am lyfrau a phethau eraill | 22 92 |
| Mewn llaw gan y Trys. Ion. 1, 1876 | 5 83 |

*Cyfrifon Ysgol Hyde Park.*

Cyfanswm rhif, 10,268; canolrif, 198; adroddwyd o benodau, 31; Salmau, 176; adnodau, 3,517.

| | | |
|---|---|---|
| Arian mewn llaw, $13.12; casglwyd, $45.01 | $58 | 13 |
| Talwyd am lyfrau, &c | 36 | 86 |
| Ion. 1. 1876, mewn llaw gan y Trys. | 21 | 27 |

*Cyfanswm yr Ysgolion.*

Rhif, 18,128; canolrif, 355; adroddwyd o benodau, 33; Salmau, 227; adnodau, 10,188.

| | | |
|---|---|---|
| Arian mewn llaw, $30.197; casglwyd, $78.30 | $109 | 27 |
| Talwyd am lyfrau, &c | 75 | 68 |
| Ion. 1, 1876, mewn llaw | $33 | 59 |

CYFANSWM DERBYNIADAU YR EGLWYS GAN YR AELODAU A'R GYNULLEIDFA.

| | | |
|---|---|---|
| Casgliadau arferol yr Eglwys | $2,066 | 14 |
| Tanysgrifiadau, arian benthyg, a dodrefn y Parch. D. W. Morris | 1,347 | 00 |
| Casglwyd gan yr Ysgolion | 109 | 27 |
| Dyledus i Thos. D. Davies | 30 | 03 |
| | $3,552 | 44 |

CYFANSWM Y TALIADAU.

| | | |
|---|---|---|
| Perthynol i'r Eglwys | $2,063 | 02 |
| Am lôg ar arian benthyg, yswirio, ac i'r Trysorydd, James A. Evans | 1,377 | 03 |
| Eto, gan yr ysgolion am lyfrau, &c. | 75 | 68 |
| Mewn llaw gan Drysoryddion yr Ysgolion a Thrysorydd yr Eglwys | 36 | 72 |
| | $3,552 | 44 |

Ydym, yr eiddoch fel Pwyllgor Olrheiniadol,
B. Hughes,
David Uren,
Ebenezer Lloyd,
J. D. Lloyd.

## NODION CARTREFOL A THRAMOR.

### CARTREFOL.

Mae ein brodyr Cymreig yn Dawn, Mo., yn dechreu adeiladu capel newydd. Mae yno faes eang a defnyddiau eglwys gref.

Mae yn llawenydd genym ddeall fod y brodyr yn New Cambria wedi ailymffurfio yn eglwys, a bod eu rhif yn lluosogi.

Nifer y Bedyddwyr yn y Talaethau Unedig gan' mlynedd yn ol, oedd 25,000; ond y mae eu nifer yn bresenol yn 1,761,171. Nid oedd ganddynt y pryd hwnw ond un coleg yn y wlad, ond yn awr y mae ganddynt ddeg-ar-hugain.

*Cattaraugus, N. Y.*—Y mae diwygiad nerthol wedi dechreu yn hen eglwys anwyl Cattaraugus, o dan weinidogaeth wlithog y brawd doniol Parch. W. M. Evans. Y mae wedi bedyddio 20, ac y mae tuag 20 eto o flaen yr eglwys. Y mae'r eglwys a'r gweinidog yn mynwesu eu gilydd, a sain cân a moliant yn llenwi Seion.

*Frostburgh, Md.*—Er marweidd-dra masnachol, y mae'n dda genym ddeall fod achos Mab Duw yn gwisgo agwedd lewyrchus yma. Y mae yr eglwys yn enill tir yn gyflym. Bedyddiodd y Parch. T. G. Jones, Wanamie, Pa., 7 o bersonau yno ar y 19eg o Mawrth.

*Utica, N. Y.*—Y mae'r hen eglwys barchus hon yn gysurus, ac yn enill nerth yn ei henaint, ac yn ngwyneb yr anfantais fawr a dderbynia oddiwrth y ffaith fod yr eglwysi Seisnig yn hudo yr ieuenctyd; ac y mae rhai ymgeiswyr am fedydd o flaen yr eglwys.

### CYMRU.

*Galwad i Fyfyriwr.*—Y mae y brawd ieuanc Mr. D. C. Jones, o Athrofa Hwlffordd, wedi cael gwahoddiad taer a thwym-galon oddiwrth eglwys barchus Talywern, i ddyfod yn weinidog iddi.

*Galwad i Weinidog.*—Mae eglwys Fforddlas wedi rhoddi galwad unfrydol a gwresog i'r Parch. J. Jones (Iolo Mon), Caergybi; ac y mae yntau wedi ei derbyn. Bydd yn dechreu ar ei weinidogaeth yn y lle yn fuan.

*Caersalem, Caernarfon.*—Wedi dwys ymbwyll a phryder, rhoddodd yr eglwys uchod alwad wresog a chalonog i'r Parch. Owen Davies, Llangollen, i ddyfod yn weinidog arni, fel olynydd i'r diweddar anfarwol Cynddelw, yr hwn a'i cyfoethogodd â golud dihysbydd ei athrylith am y tair-blynedd-ar-ddeg diweddaf.—*Seren Cymru.*

### RHUFAIN.

Bydd yn dda gan ganoedd yn America i wybod fod darpariaeth arall ar

droed i gael ail gapel i'r Bedyddwyr yn Rhufain. Mae y tir eisoes wedi ei brynu, neu yn hytrach y tai a'r tir odditanynt, a thros fil o bunau wedi eu talu am y cyfryw. Darperir yn gyflym ar gyfer adeiladu hefyd, fel y dysgwyliwn cyn pen fawr o amser i glywed fod yr ail gapel wedi ei agor, ac efallai llu o frodyr da o Gymru a Lloegr yn bresenol yn agoriad yr ail, fel yn agoriad y cyntaf. Mae Mr. W. Landells hefyd yn ein hysbysu am ychwanegiad at yr eglwys trwy fedydd gan Mr. Wall, un o ba rai oedd wedi bod yn gurad yn flaenorol yn Eglwys Rufain, ac yn ffrwyth llafur Mr. Grassi; ac un arall ag oedd wedi ei arwain at Grist trwy ddarllen y Testament Newydd, yr hwn oedd wedi dygwydd ei gael hyd yn nod pan oedd y Pab yn llywodraethu. Yr oedd wedi bod yn ei fyfyrio am wyth mlynedd, ac yn awr wedi ei arwain i fwrw ei goelbren i blith y Bedyddwyr; ond o ran hyny, i ba le yr arweinia y Testament Newydd ddynion ond at y Bedyddwyr, pan y maent yn cymeryd eu harwain ganddo ef? Dymunwn lwyddiant mawr i'n brodyr hoff yn Rhufain.

### MORLAIX, BRITTANY.

Da genym weled fod ein hoffus frawd, y Parch. A. Jenkins, yn myned yn mlaen mor llwyddianus. Mae yr orsaf newydd yn La Madeline yn hynod boblogaidd. Nis gwyr pa beth i wneyd â'r bobl. Er nad yw y gwasanaeth yn dechreu cyn saith, y mae y bobl yn dechreu gyru yno am bump, mewn trefn i sicrhau eistedd-leoedd. Duw lwyddo y gwr ieuanc rhagorol hwn.

### CHINA.

Y mae eglwys y Bedyddwyr yn Shanghai, China, yn cynwys yn mysg ei haelodau, "Chang," yr hwn a dalodd ymweliad â Chymru flwyddyn yn ol. Y mae newydd sefydlu yn y dref a nodwyd, gyda'i wraig, yr hon sydd Saesnes. Ei hyd yw 7 troeddfedd ac 8 modfedd. Y mae ganddo chwaer, yr hon sydd 8 modfedd yn dalach nag ef; y mae yr holl deulu, yn wir, tad, mam, a phedwar brawd, yn ei guro mewn taldra.

## AMRYWIAETHAU.

---

### MRI. MOODY A SANKEY YN NEW YORK.

Y mae llwyddiant y cyfarfodydd yn yr *Hippodrome*, yn cadarnhau y grediniaeth, y gall syniadau a dull gwir Brotestanaidd o addoli, gyrhaedd y lluaws, fel yn y dyddiau gynt. Man gwan Protestaniaid, meddir, mewn dinasoedd mawrion, ydyw, nid diffyg cyfansoddiadol, ond yn hytrach diffyg iawn ddefnyddiad o'r adnoddau mewn llaw. Honir yn mhellach mai bai mawr Protestaniaid Efrog Newydd ydyw gwasgaru eu nerthoedd, a llafurio yn ormodol yn mhlith y dosbarthiadau ffortunus—y cyfoethogion. Y mae amryw bersonau o ddylanwad, ag sydd wedi gwneyd llawer mewn trefnu a chynal y cyfarfodydd diwygiadol hyn, yn ystyried yn ddifrifol y dymunoldeb o sefydlu lle o addoliad rhydd i'r lluaws, fel coffadwriaeth am waith Moody a Sankey.

---

### YR ARLYWYDDIAETH.

Pwy ydyw y *dyn* i fod, tybed? Ië, dyna yw y cwestiwn! Mae rhif yr ymgeiswyr uchelfrydig yn lluosocach nag arfer; llawer un ymhyfha, gan ddyweyd, "Myfi yw." Bydd siomedigaethau chwerwon yn canlyn hyn. Awgryma rhai doethion a newyddiaduron mai Blaine neu Bristow fydd anwylddyn ffawd y tro hwn.

---

### YR ARDDANGOSIAD MAWR.

Mawr yw y prysurdeb sydd yn myned yn mlaen yn Philadelphia y dyddiau hyn, a mwy felly fel y mae adeg yr agoriad yn agoshau. Rhyfedd y lliwio, ysgwrio, goreuro, prydferthu, caboli ac addurno, &c., sydd ar bob llaw, drwy yr adeiladau anferth. Teimlir yn hyderus yn llwyddiant yr anturiaeth. Gwir yw, y dylid bod dipyn yn drefnus ar adeg mor bwysfawr, a phan mae cynifer o bobl fawr yn dyfod i edrych am danom. Gobeithiwn o'n calon y try yr Eisteddfod yno yn llwyddiant perffaith.

ARIAN CELYD.

Mae y berthynas gyfreithlon rhwng arian celyd y wlad a'i nodau cylchredol, wedi ei thori. Ni ellir adferyd y berthynas yna ond drwy un o ddwy ffordd—naill ai drwy leihau y nodau, fel ag i'w dwyn i lawr i gyfartaledd arian celyd, neu drwy luosogi yr arian celyd nes eu dwyn i fyny i gyfartaledd â'r nodau. Byddai i'r gyntaf o'r ffyrdd hyn effeithio niwaid dychrynllyd i drafnidaeth, gorchwylion ac eiddo y wlad. Ni erys, gan hyny, ond yr un ffordd arall, sef drwy fwyhau swm yr arian celyd nes y byddont mewn cyfartaledd i swm y nodau. Pan ddywedodd Mr. Blaine, yn ei araeth ar y cyllid, fod y trefniant i ddechreu talu arian celyd yn Ion. 1, 1879, wedi cael ei wneyd, heb ddarpariaeth ddigonol er dwyn hyny oddiamgylch, ynganodd wirionedd pur. Mae llawer o ysgrifenwyr i'r newyddiaduron yn trin y pwnc fel pe deuai y peth o gwmpas o hono ei hunan, ar ol i act y Gydgyngorfa gael ei phasio, yn penodi hyny, ond heb ddweyd *pa fodd* i'w gwblhau.

## DYDDANION.

—Un diwrnod gwlawog, daeth nifer o bersonau i mewn i gapel y Parch. Rowland Hill, i ochel cawod drom o wlaw, pryd y sylwodd fod llawer o bobl yn cael eu beio am wneyd crefydd yn *fantell;* ond ni thybiai ef fod y rhai hyny yn llawer gwaeth na'r rhai oeddynt yn ei gwneyd yn *umbrella.*

—"Euog ynte dieuog ydych?" gofynai barnydd i garcharor y dydd o'r blaen. "Ac yn awr," ebai Pat, "i ba beth y rhowd chwi yna ond i chwilio hyny allan?"

—Dywedir na bu y bardd Albanaidd Robert Burns erioed yn Greenock ond unwaith, a hyny pan oedd yn myned ar fwrdd llong, i hwylio i'r India Orllewinol. Wrth i'r bobl fyned ar fwrdd y llestr, dygwyddai un gwr boneddig syrthio i'r dwfr, ond trwy ddewrder ac ymdrech un o'r morwyr, fe'i cafwyd i fyny yn ddiangol. Am y fath gymwynas, dysgwylid i'r gwr boneddig roddi gwobr haelionus i'w achubydd; ond, gyda gwedd drahaus-falch, efe a estynai i'r morwr y swm o *chwe' cheiniog* fel gwobr haeddianol am ei wroldeb a'i ddyngarwch! Yr edrychwyr, wrth weled hyn, a ddechreuasant senu y gwr boneddig am ei ddirfawr grintachrwydd, ac ewyllysient yn fawr gael barn Mr. Burns ar y mater. "Wele," ebai'r bardd, "fy nhyb i yw mai y gwr boneddig ei hun sydd addasaf i brisio gwerth ei hoedl."

—Ebe Cynddelw, Yr oedd Llabwstfardd yn y Gogledd, tua phedwar ugain mlynedd yn ol, o'r enw "Ned Shon Huw." Nid oedd ganddo na iaith na rheswm, na threfn na mesur, na chynganedd—dim ond rhigymu ar antur, fel archfardd y cregin cocos. Yr oedd ganddo farwnad i'w fam yn ddwy filldir o hyd! h. y., yr oedd ganddo ddigon o waith rhyganu tra byddai yn cerdded dwy filldir. Aeth at Jonathan Hughes yn un pwrpas i'w chanu, ac i ofyn ei farn am ei theilyngdod, nodi y gwallau, a'i diwygio, &c. Mae y pastynfeirdd yn awyddus iawn am i rywun nodi eu gwallau, ac felly yr oedd "Ned Shon Huw." Gwrandawodd yr hen fardd ar y frygawthen gyda thawelwch mawr, ond chwarddai ambell i waith nes oedd ei ochrau yn siglo, a threiglai dagrau mawrion fel pys i lawr ei ruddiau; oblegid yr oedd difrifoldeb Ned gyda'i ffwlbri yn ei orchfygu yn lân. Dywedodd yn garedig, ac mor sobr ag y gallai, yn y diwedd,—"nad oedd dim modd diwygio y gân hono—fod yn haws gwneyd un newydd o'r haner;" ac aeth Ned, druan, adref yn falchach nag erioed, gan dybied yn ei galon ei fod wedi cyrhaedd perffeithrwydd.

—Gofynai rhywun i Milton, a amcanai efe ddysgu ei ferched yn yr amrywiol ieithoedd. "Nac wyf, syr," meddai y bardd, "y mae un iaith yn ddigon i ferch."

—Rhaid fod gan ddyn opiniwn gwael am dano ei hun, pan nad yw yn ewyllysio ymddangos yr hyn ydyw mewn gwirionedd.

# Y WAWR.

Cyf. I.] MAI, 1876. [Rhif. 2.

## Y BEDYDDWYR A RHYDDID GWLADOL.

GAN Y GOLYGYDD.

Yn y flwyddyn ganmlwyddol hon, pan y mae cymaint yn cael ei wneyd yn y wlad yma i ddathlu gwrhydri, gorchestion a gwladgarwch gwroniaid y Chwildroad mawr, pryd yr enillwyd annibyniaeth, a chyda hyny y sicrhawyd hawliau a rhyddfreiniau y dinasyddion, mae yn naturiol, cyfiawn a theg fod Bedyddwyr y cyfnod hwnw yn dyfod yn neillduol i sylw. Yn yr adeg orbwysfawr hono, pan oedd gwir nodweddau ac egwyddorion pobloedd yn cael eu llwyr ddatguddio, daeth y Bedyddwyr i'r golwg fel cyfeillion a chefnogwyr mwyaf mynwesol rhyddid.

Mae y Bedyddwyr bob amser wedi bod yn bleidwyr selog i ryddid gwladol. Rhaid fod eu syniadau goleuedig am ryddid cydwybod yn meddu dylanwad nid bychan yn ffurfiad eu syniadau am ryddid yn wleidyddol. Yr oedd penboethiaid Munster, fel eu gelwid yn yr Almaen, yn meddu golygiadau rhyddfrydig am hawliau y werin, teilwng o'r bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg; yr hyn a fu yn achos i ddifriaeth a erys hyd yr awrhon, i gael ei gysylltu a'u henwau, ydoedd i bersonau digrefydd ac anwladgar ymgysylltu â'r symudiad.

Yr oedd llawer o ddynion goreu y Chwildroad Seisonig, yn flaenoriaid a dilynwyr, yn Fedyddwyr.

Mae Baxter yn priodoli dienyddiad Charles I., y gorthrymwr haerllug hwnw, a rhuthrgyrch yr Alban i ddylanwad y Bedyddwyr. Mae yn ffaith fod llawer o honynt yn mhlith gwroniaid anorchfygol Oliver Cromwell. Yn y Chwildroad Americanaidd, gan' mlynedd yn ol, yr oeddynt ar y blaen mewn ffyddlondeb drosto; safodd Bedyddwyr Virginia a Massachusetts yn gadarn a gwrol yn yr ymgyrch flin hono. Yn y cyfamser, yr oedd Ryland a Hall, a'r Bedyddwyr Seisnig yn gyffredinol, yn cydymdeimlo â'u brodyr dros y Werydd, ac yn llawenhau yn eu llwyddiant, y rhai a ystyrient y rhyfel yn ymdrech gyffredinol o eiddo yr Americaniaid a'r Saeson yn erbyn gorthrwm y Goron. Pan oedd y dymestl eto ond casglu yn y pellder, megys, dygwyd Bedyddwyr Massachusetts i amgylchiadau a'u profodd yn eglur yn ffyddlon i egwyddorion rhyddid.* Un adeg dangosodd Llywodraethwr a Chyngorfa Massachusetts yn ffafriol iddynt, drwy ddiddymu rhyw ddeddf ag oedd atgas ganddynt. Yn wrthgyferbyniol i hyn, dangosodd John Adams a rhai eraill o flaenoriaid gwleidyddol Massachusetts elyniaeth tuag atynt, gan eu cyhuddo o geisio rhanu y Drefedigaeth. Tebygol y sylfaenid y cyhuddiad hwn yn eu herbyn, ar eu gwaith yn sefyll yn erbyn trethi anghyfiawn, megys y dreth blwyfol "*dair ceiniog*," &c. Ond ni lwyddai ffafr y naill blaid, na gelyn-

iaeth y llall er peri iddynt wyro dim oddiwrth egwyddorion cyfiawnder a rhyddfreiniau eu gwlad. Bu Llys Cyffredinol Massachusetts o dan angenrheidrwydd i alltudio rhyw dri chant ac un-ar-ddeg o bersonau fel gelynion annibyniaeth America, ond nid oedd enw *un* Bedyddiwr yn y rhestr hir; ac mae Backus fel yn teimlo yn falch wrth adrodd yr hanes, fel ag yr ydym ninau wrth ei ddarllen.

Gall y Bedyddwyr honi iddynt feddu graddau helaeth o ddylanwad yn ffurfiad syniadau Jefferson, a Madison, gwladweinwyr mawrion Virginia. Mae yn eithaf hysbys ddarfod i Jefferson fynychu eglwys Fedyddiedig, am rai misoedd, yn nghymydogaeth Monticello, cyn y Chwildroad, ac iddo amlygu boddhad neillduol yn nghymeriad gwerinawl ei llywodraeth, gan ei hystyried yn gynllun rhagorol i ffurfio llywodraeth y Trefedigaethau Americanaidd wrthi. Cafodd Madison hefyd y Bedyddwyr yn brif gefnogwyr iddo, yn yr ymdrech a wnaeth i ryddhau llywodraeth Virginia oddiwrth bob cysylltiad â'r eglwys. Darfu i'r Episcopaliaid, y Methodistiaid, a'r Presbyteriaid, wedi i'r Chwildroad fyned drosodd, uno i gefnogi mesur er cael treth gyffredinol i gynal addoliad cyhoeddus. Y Bedyddwyr yn unig a wrthwynebent y mesur. Gwnaethant hyny mewn rhan drwy wasgaru deisebau drwy y Dalaeth, nes sicrhau pleidwyr yn mhob lle. Yr oedd yr holl Dalaeth yn ferw gwyllt. Yr oedd Washington, Patrick Henry, a Richard Henry Lee, yn ffafrio y mesur. Yr oedd Madison ar ei ben ei hun. Efe yn unig o'r arweinwyr mawrion, tal, a safai yn wrthwynebol iddo. Yr oedd efe wedi hyn yn arfer canmol y Bedyddwyr yn fawr am eu ffyddlondeb a'u hymddygiad teilwng, a phriodolai orthrechiad y mesur i'w dylanwad hwy. Dr. Hawkes, hanesydd yr eglwys Episcopalaidd yn Virginia, a briodola fethiant pob ymdrech i gynal crefydd ar draul y Dalaeth, i sel a brwdfrydedd angerddol y Bedyddwyr.

Pan gyfarfyddodd cynrychiolwyr o wahanol drefedigaethau yn Philadelphia yn 1774, i ffurfio cyfundeb, cawn Fedyddwyr Massachusetts yn flaenllaw mewn egnion er sicrhau rhyddid crefyddol. Dygwyd holl rym hir arferiad, a'r gorsêl cysylltiedig, i wrthdaro yn eu herbyn. Ond daeth y Bedyddwyr, mewn undeb â'r Crynwyr, allan yn llu, a gwrandawyd amddiffyniad Dr. Backus, yr hwn a gynyrchodd ddylanwad dirfawr; deuwyd i weled yr anghysondeb o wrthwynebu gorthrwm Prydeinig tra yn arferyd gorthrwm cyffelyb gartref. Dygwyd y mater o flaen y Gydgyngorfa Dalaethol nesaf yn Massachusetts. Yno cyflwynwyd atebiad i amddiffyniad Dr. Backus, yn cydnabod cyfiawnder eu cais yn achos rhyddid crefyddol. Hefyd anogid y Bedyddwyr i roddi eu cwyn wed'yn o flaen y Llys Cyffredinol, lle y byddai eu hamcan yn sicr o gael ei gyrhaedd. Felly y bu. Cymeradwywyd achos y Bedyddwyr yn marn y cyhoedd, a daeth gorthrwm crefyddol yn Massachusetts i warth.

Cariodd Dr. Manning, yr hwn oedd yn Fedyddiwr, ddylanwad mawr er cael Trefedigaeth Rhode Island i fabwysiadu y cyfansoddiad. Erioed er amser Roger Williams yr oedd pobl Rhode Island yn frwdfrydig dros hawliau personol. Perai hyny iddynt sefyll yn gadarn yn erbyn Llywodraeth Gyffredinol, am y tybient y byddai yn groes i'r cyfryw. Yr oedd Dr. Manning, yntau, yn argyhoeddedig fod gobaith y wlad yn dibynu ar y Cyfansoddiad, ac nad oedd modd ffurfio cenedl yn annibynol arno. Effeithiodd Doctor Manning ddylanwad cyffelyb yn Massachusetts, mewn undeb â Dr. Stillman. Yn Virginia, eto, gwnaeth un John Leland, pregethwr Bedyddiedig *od*, o Massachusetts, wasanaeth gwerthfawr mewn ffordd anuniongyrchol, yn ffafr y Cyfansoddiad.

Y mae yn deilwng o sylw, nad oedd y Cyfansoddiad, pan fabwysiadwyd ef gyntaf, yn rhoddi un sicrwydd am ryddid crefyddol. Yn ngwyneb hyn yr oedd Bedyddwyr Massachusetts a Virginia yn hynod anesmwyth, ac yn llawn o anfoddlonrwydd. Yr oeddynt yn awyddus am wneyd gorthrwm cref-

yddol yn beth anmhosibl, a sicrhau rhyddid gwirioneddol a pharhaol drwy y wlad. Gan hyny, dechreuasant weithio yn egniol er cael gwelliant yn y Cyfansoddiad, yn meddu yr amcan yna. Yn hyn yma yr oedd Madison yn barod i gydweithio â hwynt. Yr oedd efe yn ddyn o bwys. Drwy ei ddylanwad ef yn benaf y dygwyd Virginia i gymeradwyo y Cyfansoddiad ar yr amod "na chyfyngid ar iawnderau unrhyw enwad crefyddol, ac na chyfyngid ar ryddid cydwybod unrhyw berson."

Anfonodd Pwyllgor Cyffredinol Virginia, lythyr at y Cadfridog Washington, yn gosod allan eu golygiadau ar ddiffygion y Cyfansoddiad, atebodd yntau ar unwaith, gan eu sicrhau o'i barodrwydd i arfer ei ddylanwad er gwneyd yr iawnderau hyny yn ddiamheuol ac yn sicr; yn y llythyr hwn hefyd amlygai Washington ei werthfawrogiad o'r Bedyddwyr "fel cefnogwyr diflino y Chwildroad gogoneddus." Cynygiwyd y gwelliant gan Virginia, yr hwn a fabwysiadwyd ar unwaith yn y geiriau canlynol: "Ni fydd i'r Gydgyngorfa wneyd unrhyw ddeddf mewn perthynas i sefydliad o grefydd, neu wahardd rhydd ymarferiad o'r cyfryw."

Yn y flwyddyn ganmlwyddol hon, gall y Bedyddwyr fforddio teimlo yn falch, a choleddu syniadau ffafriol am danynt eu hunain. Mae y wlad yn ddyledus i'r Bedyddwyr am eu rhyddid crefyddol. Yn Rhode Island sefydlasant y wladwriaeth rydd gyntaf yn y byd; dadymchwelasant sefydliadau gorthrymus cryfion Virginia a Massachusetts, a sicrhasant y gwelliant yn y Cyfansoddiad yr hwn sydd yn gwystlo rhyddid cydwybod i'r holl ddinasyddion. Efelychodd pob Talaeth yn yr Undeb esiampl Rhode Island, ac y mae pob llywodraeth Ewropaidd yn dilyn yr un llwybr. Mae ychydig lefain yn lefeinio yr holl does, a gall y bydd i'r byd Cristionogol gael ei arwain yn ol gan y Bedyddwyr at sylfeini syml ond cedyrn y Testament Newydd.

---

Edrychwch ar ol pa beth y rhedoch.

## YR YSGOL SABBOTHOL A'R EGLWYS.

GAN Y PARCH. FRED. EVANS, (EDNYFED.)

Mynych y sonir am yr Ysgol Sabbothol fel llaw-forwyn Seion—fel planigfa—fel maethfa, &c. Mynych y gweddïir am i lawer o blanhigion gael eu trawsblanu o'r ysgol i'r eglwys; a mynych y bendithir yr Arglwydd am gryfhau Seion trwy offerynoliaeth yr athrawon a'r athrawesau. Ni wna neb amheu mawredd y daioni a ddeillia i'r eglwys o'r ysgol, a pha fwyaf llwyr ac egwyddorol y gwneir y gwaith yn yr olaf, mwyaf oll o nerth moesol a dderbynia y blaenaf. Gwaith rhy anhawdd ydyw desgrifio dylanwad enfawr yr Ysgol Sabbothol er daioni, traethu yn llawn ar yr hyn y mae wedi ei wneuthur er alltudio anwybodaeth, a gyru o'r tir ofergoeledd; neu nodi allan yr afrifed welliantau mewn dysg a moes y mae wedi eu dwyn oddiamgylch. Pell ydwyf o gredu gyda rhai, nad oes dim yn anmhosibl lle mae gwroldeb a dyfalbarhad. Ymaith o'r byd â'r hen ddywediad, "Gorchfyga penderfyniad bob anhawsder." Pasiwyd y penderfyniadau canlynol mewn tref yn Nhalaeth Mississippi:

1. *Ein bod i adeiladu carchardy newydd.*

2. *Ein bod i adeiladu y carchardy newydd o ddefnyddiau yr hen.*

3. *Ein bod i ddefnyddio yr hen garchardy hyd nes y byddo y newydd yn barod.*

Gwel darllenwyr y WAWR mai gwaith anmhosibl fuasai dwyn y penderfyniadau uchod i weithrediad. Onid oes penderfyniadau cyffelyb yn cael eu pasio mewn cyfarfodydd eglwysig yn aml? Eto, tra y credwn fod rhai pethau yn anmhosibl, beiddiwn ddweyd fod yn ngallu yr eglwys i wneuthur yr ysgol yn annhraethol fwy galluog a dylanwadol. Mwy galluog er cynyddu gwybodaeth Cristionogion, a dadblygu yn gyflawnach ysbrydolrwydd yr aelodaeth eglwysig. Er dwyn hyn oddiamgylch, rhaid

I. *Sicrhau presenoldeb yr aelodau yn yr ysgol ar y Sabboth.*

Gwyddoch mai y cyfarwyddyd cynt-

af parthed cógyddu yr ysgyfarnog yw ei dal. Cyn y gellwch addysgu unrhyw un, rhaid i chwi ei gael dan eich gofal. Mae llawer o bellder rhwng rhai eglwysi a'i hysgolion. Credaf fod y nodiad hwn yn fwy cymwysiadol at yr eglwysi Americanaidd, nag at y rhai Cymreig. Iaith yr eglwys wrth yr ysgol mewn llawer man yw, "Edryc hatat dy hun," ac iaith yr ysgol i'r eglwys yw, "Meindia dy fusnes dy hun." Ni ddylai yr un ymdrech lyncu fyny y llall. Medda yr eglwys y flaenoriaeth, wrth gwrs, ond nid yw ei gallu i fyned yn mlaen yn hwylus a bywiog, a llwyddianus heb gymorth yr ysgol; canys rhaid iddi wrth waed, ymenydd, brwdfrydedd a sêl na cheir mo'u cyfryw ond yn mhlith ieuenctyd yr Ysgol Sabbothol. Heb hyn rhaid iddi farw, a goreu oll pa gyntaf y bydd hyny, canys y mae ei hanadl yn ddrewedig, a'i phresenoldeb fel aflan-beth. Yn ngweithiau yr enwog Robert Burns ceir y bedd-argraff canlynol:

**"Here lies in peace Sir John Plumpudding, of the Grange,**
**Who died of having nothing to do, which is strange."**

Gellid ysgrifenu y rhan olaf o'r beddargraff hwn gyda phriodoldeb mawr ar fedd eglwys wedi marw o ddiogi. Dylai yr eglwys fod yn bresenol yn yr ysgol er ei bywyd. Pell ydwyf o gredu yn nylanwad nefol cwsg prydnawn dydd yr Arglwydd. Nid gwaith Seion yw cymeryd *soothing syrups*, neu hyd yn nod *sugar-coated pills*. Cysgai un o ddiaconiaid y Dr. Gill dan ei weinidogaeth, am y gwyddai nad allai y Dr. bregethu ond athrawiaeth iachus, ac efallai yr erys ambell sant gartref ar brydnawn dydd yr Arglwydd, gan anadlu yn fwynaidd yn mreichiau esmwyth *Morpheus*, gan wybod y gwna yr athrawon a'r athrawesau ddysgu "y gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir."

II. *Rhaid rhoddi i'r Eglwys a'r Ysgol eu safleoedd priodol.*

Y rhai mwyaf diwyd yn yr Ysgol Sabbothol ydynt y rhai mwyaf gweithgar yn yr eglwys; ac aelodau digon diwerth ydynt y cyfryw a adeiladant "ganolfur y gwahaniaeth" rhwng y ddwy. Y blaenaf, i raddau helaeth iawn, sydd barotoadol; ac ni chamsyniem pe y dywedem ei bod yn fath o *drilling ground*. Yma y ffurfir arferion, y dysgir gwersi, y rhai a feddant ddylanwad annesgrifiol ar y bywyd Cristionogol, ac y derbynir argraffiadau na all y galluoedd nertholaf eu dileu.

Gellwch blygu y planhigyn, ond wedi y tyfo yn bren, ni ellir, heb lawer iawn o anhawsdra. Rhaid ei anweddu, ac nid pob pren a ddeil dan y fath driniaeth. Felly gyda golwg ar lawer Cristion; y rhai a ddygir i fyny yn yr Ysgol Sabbothol a ddysgir i ddiwydrwydd parhaus; y rhai a gadwant yn mhell o honi a anweddir yn awr ac eilwaith, ond nid oes plygu i lawer o honynt ar ol hyn. Yn mywyd rhai â yr arian byw ysbrydol i fyny yn uchel iawn, a thra yn uchel, gwelir hwynt â'u holl egni yn dwyn beichiau eu gilydd, gan gyflawni ewyllys Crist; yna â i lawr yn mhell islaw *zero*, ac y mae y cwbl yn gloedig dan ddylanwad ia. Gadawa ymarferion eu holion eglur arnom; gan hyny y mae o'r pwys mwyaf i bawb ffurfio yr ymarferion goreu. Heb betrusder, dywedaf fod yr Ysgol Sabbothol yn ffurfio cymeriad Cristionogol y genedlaeth sydd yn codi.—Medda ddylanwad annhraethol yn awr, ac y mae yn ngallu yr eglwys i ddyblu, ïe i dreblu y dylanwad hwn. Mae yn gofus gan amryw o ddarllenwyr Y WAWR, am y gwrthwynebiadau nerthol a gafodd yr Ysgol Sabbothol gan lawer eglwys, a gwyddant hefyd am dynged echryslawn yr eglwys *filwriaethus*.—Cydiodd y darfodedigaeth yn ei chyfansoddiad; gwanhaodd, ac o'r diwedd bu farw, er llawenydd Satan. Safai ambell eglwys ar dir canol, heb ganmol, heb gablu, ond ni ddaeth daioni o'r cyfryw. Nid wyf yn credu mewn canu yn angladdau pobl dduwiol, ond canwn a'm holl yni yn angladd eglwys fu farw trwy wrthwynebu yr Ysgol Sabbothol. Nis gellwch ddefnyddio yr ysgol i ddysgu gwersi pwysig i'r eglwys, hyd nes y byddont ill dwy yn eu safleoedd priodol. Y Cristionogion hyny a esgeulusant eu dyledswyddau ydynt y blaenaf i feio eraill.

III. *Rhaid i ddysgeidiaeth Feiblaidd fod yn nodwedd amlwg iawn yn yr ysgol.*

Rhaid i'r ddysgeidiaeth yma fod yn drylwyr; dywedaf yn *drylwyr*, am fod cymaint o'r addysg a gyfrenir yn amheuol iawn. Ni wyr llawer athraw am fyned i'r dyfnder. Os na fydd yn drylwyr, ni all fod yn eglur; os nid yn eglur bydd yn beryglus. Llifa y ffrwd, ond nis gellwch weled ei gwaelod, nid am ei bod yn ddofn, eithr oblegid ei bod yn cludo yn ei mynwes lawer iawn o fudreddi. Nis gellir deall aml i athraw doctoraidd ac athronyddol (?), nid oblegid ei ddyfnddysg, eithr o herwydd y llaid a gludir yn ei ymenydd. Rhaid i athrawon yr Ysgol Sabbothol roddi i bethau eu henwau priodol eu hunain. Gwyddoch fod plant, fynychaf, yn cymeryd yr olwg lythyrenol ar bethau. Pan y gofynodd athrawes i'w dosbarth, pa beth a wnaeth yr Israeliaid gyntaf wedi croesi y Môr Coch, atebodd lodes fechan fel hyn: "Nid wyf yn sicr, ond gallwn feddwl mai sychu eu hunain a wnaethant."

Rhaid i'r addysgiaeth a gyfrenir yn yr Ysgol Sabbothol fod yn eglur a chyflawn, nid fel un o *byramidiau* yr Aipht, yn llydan ar y cyntaf, ac yn myned yn gyflym at y *dim*, ond fel y ffrwd yr hon â yn ddyfnach a lletach, ac yn y diwedd a rêd i fynwes y môr mawr dan ganu yn hwylus a gorfoleddus. Gofid mawr i lawer gweinidog da a chymwys, yw, fod ei bobl yn anwybodus yn yr egwyddorion, yn y pethau cyntaf; ac yn ddiau y mae llawer eglwys yn cael ei blino ag aml i weinidog arwynebol, a diffygiol iawn yn ei wybodaeth. Nid oes dim yn fwy atgas genyf na chlywed pregethwr gwyntog yn enwi yr hen athronyddion, tra nad yw yn gwybod dim am danynt, nac am eu hathroniaeth; yn ymegnio dangos y cydgordiad swynol, a fodola rhwng gwyddoniaeth a datguddiad, gan guro Huxley, Tyndall a Darwin yn ddidrugaredd, tra nad yw yn alluog i sillebu geiriau cyffredin yn ei iaith ei hun. Gosoder person mewn dull sydyn ar binacl uchel, a dotia; ond gadawer iddo ddringo yn raddol, a bydd pob peth yn dda. Dotia aml i athraw a phregethwr uwchben rhai pynciau; y rheswm yw hyn, nid ydynt wedi dringo. Llafuria y pregethwr da a'r gweinidog diwyd dan anfantais, os na fydd yr Ysgol Sabbothol wedi gwneuthur ei gwaith yn drylwyr. Mae ganddi wersi pwysig i'w dysgu i'r eglwys; enwaf rai o honynt: *Brwdfrydedd, cariad at ieuenctyd, gobaith, cynydd, awydd am wybodaeth Ysgrythyrol*, &c. Rhaid i'r Beibl fod y prif lyfr. Fel y gallo yr ysgol lesoli yr eglwys mewn modd llwyr, rhaid iddi gymeryd i'w chyfansoddiad fwy o waed y Beibl, a llai o ddwfr athroniaeth. Y ffordd oreu i gyfranu dysg yw trwy holi cwestiynau, —cof da am *ysgol bwnc* yr Hen Wlad. Diolch am Holwyddoreg. Dyma y ffordd oreu i argraffu ar feddyliau y to ieuanc.

Mae anwybodaeth Cristionogion mewn gwybodaeth Ysgrythyrol yn beth ag i beri dychryn i ni. Fel Cymry, dywedir ein bod yn fwy hyddysg yn y Beibl na phobl eraill; gobeithiwyf ein bod, onidê rhaid i mi gyfaddef na wyddom ond y peth nesaf i ddim am y Llyfr goreu. Wrth edrych dros y *New York Herald* ar un boreu Llun, gwelais yno adroddiad o bregeth a draddodais yn Efrog Newydd y Sabboth biaenorol. Y testyn oedd "Nerth Undeb." Wrth son am y testyn, dywedai y *reporter:* "Cymerodd y pregethwr yn destyn y geiriau anfarwol hyny o eiddo y prophwyd Jeremiah, 'Mewn undeb y mae nerth.'" Clywais arolygydd Ysgol Sabbothol yn defnyddio y geiriau hyn: "Fy anwyl blant, cofiwch gadw cwmpeini da, a pheidiwch a gollwng dros gof eiriau nerthol yr apostol, 'Adar o'r un lliw a ehedant i'r un lle.'" Ebe un athraw gwybodus (?), "Nid rhyfedd fod Noah, Daniel a Job yn enwog am eu ffydd, canys yr oeddent yn Babilon yn oes y gwyrthiau." Gwyddant fwy am Robinson Crusoe nag am Moses; maent yn fwy hyddysg yn hanes y Ffeniaid nag ydynt yn eiddo yr Israeliaid; maent yn fwy cyfarwydd â *Pickwick* nag ydynt â Job; a gwell ganddynt ddarllen am *Rip Van Winkle* nag am apostol mawr y cenedloedd. Mae yr hwn sydd yn hyddysg yn y Beibl yn meddu

y ddysgeidiaeth wychaf, ddyfnaf a gogoneddusaf. Gwn am rai pregethwyr nad oes ganddynt ond llwyth ysgafn iawn o Ysgrythyr yn eu cof. Soniant yn fynych am y *gwreiddiol*, beiddiant ddweyd y gair *Hebraeg*, siaradant yn yn fynych am yr ieithoedd Dwyreiniol, tra nad ydynt yn hyddysg yn iaith eu mam, nac yn gwybod ond ychydig mwy na'u mam-gu am Air Duw; ac y mae hyn yn galw i'm cof chwedl o eiddo Dean Ramsey, yn ei lyfr dyddorol a elwir *Traits of Scottish Life and Character*. Holwyd dyn ieuanc, yr hwn a fwriadai ymgysegru i waith y weinidogaeth, gan hen batriarch pur graffus. Yn ystod yr ymholi, gofynodd y gweinidog iddo, Pa faint o orchymynion a dderbyniodd Moses o law yr Arglwydd, ar ben mynydd Sinai? Wedi meddwl am ychydig, dywedodd, "Rhywle tua chant a dybiwyf." Dyma y cyfleusdra diweddaf a gafodd i ateb fel ymgeisydd am y weinidogaeth. Wrth fyned allan cyfarfyddodd â dyn ieuanc arall, yr hwn a fwriadai fod yn 'ffeiriad, a'r hwn a ofynodd iddo pa fodd y daeth yn mlaen dan law yr holwr? "Dim yn dda," oedd yr atebiad. "Paham? beth a ofynodd?" "Pa faint o orchymynion a roddodd yr Arglwydd i Moses ar ben Sinai." "Mae yn hawdd ddigon i ateb y cwestiwn yna." "Wel, beth yw yr atebiad iawn?" "Deg, wrth gwrs." "Deg! treiais ef â chant, ac nid oedd yn dawel; deg yn wir!"

Dylai pob pregethwr fod yn gyfarwydd yn y Beibl, ac heb hyn nid oes ganddo hawl i'r pwlpud; ac ni ddylai un Ysgol Sabbothol fodoli os na rydd ddysgeidiaeth lawn ac eglur. Beth a feddyliech am un o ganlynwyr Handel, ac yntau yn anwybodus mewn cerddoriaeth? Onid edrychech mewn gwawd ar un a gymerai arno fod yn ddysgybl i Syr Isaac Newton, pe yn gwybod ond y peth nesaf i ddim am serydddiaeth? A fyddai genych barch i un a froliai ei fod yn un o ganlynwyr ffyddlonaf Hugh Miller, ac yntau ar y pryd yn analluog i ateb y cwestiynau mwyaf syml mewn daeareg? Fel Cristionogion, byddwn gyfarwydd yn Llyfr y llyfrau, cloddiwn i'w fwnau, dringwn i'w fynyddau, nofiwn ei afonydd, hwyliwn ar ei foroedd, dysgwn ei wersi, canwn ei gerddi, parchwn ei gyfeillion, ufuddhawn i'w orchymynion, ac yna mwynhawn ei nef wen, a'i drigfan lon.

---

## WEDI EI DYDDANU.

Pan yr haul â'i i'r gorllewin,
  Deuai llanw'r gogledd lawr,
Nes y dysglaer greigiau guddid,
  A chwyn môr yn wyrdd eu gwawr.

Yna'r gwragedd ddeuent allan,
  A'r plant tirion yn eu cwrdd,
Gan i'r llong—y scwner *Vesper*—
  Ar y llanw hwylio ffwrdd.

Yn eu plith yn araf gerdded,
  Gan brudd wasgu 'i dwylaw'n gaeth,
Gwraig y cadben, ddoe a unwyd,
  Ddaeth i wylio ar y traeth.

Gwylio wnai y llong symudol,
  Fel y codai ac 'r â'i lawr,
Ac y dawnsiai'r tonau brigwyn,
  Ar ei ffordd drwy'r dyfnder mawr.

Ymaith aeth tra hwy yn siarad
  Ger y môr yn prudd ymdroi;
Pa'm y safai'n hwy i edrych,
  A'r llong ymaith wedi ffoi?

Gwell trwm weithio na thrwm wylo,
  Er i'r galon boeni'n ffol;
Pan wna awel gwanwyn chwythu,
  Chwytha ef i'w gartre'n ol.

Haf leuadau fel gwyl-dânau,
  Wylient feusydd gwych di-ail;
Ac awelon hydref gasglent,
  Fel medelwyr felyn ddail.

Llongddrylliadau, udai'r tonau,
  Pan yn tori ar y traeth;
Yn y t'w'llwch suddai dynion,
  Heb gynorthwy, serch, na maeth.

Trwy hyll 'stormydd gauaf hedai
  Amser, gwanwyn oedd yn dod,
Gwraig y cadben ddwys ddysgwyliai
  Am y llong ar droad rhod.

At ei drws y gwyntoedd chwythent,
  A'r gwlawogydd yn eu côl,
Deua'r trai a deuai'r llanw,
  Ond y llong ddaeth byth yn ol!

Ond daeth ati, tra yn dysgwyl,
  Ar brydnawngwaith gyda'r hwyr,
Un a gurai, 'n hynod dyner,
  Tra heb ofn hi synai'n llwyr.

Canys Crist ddaeth yn y t'w'llwch,
  Fel ar Galilea daeth;
Ac yn fwyn llefarai wrthi,
  "Yn y nef 'does fôr na thraeth."

*Cyf.* ——.

## YR ADGYFODIAD A'R BYWYD.

GAN CEFNI.

Ymadrodd rhyfedd! Oni bae ei fod yn ffurf Ysgrythyrol o feddwl, prin y gallasem ei dderbyn fel gwirionedd duwinyddol, eithr fel drychfeddwl barddonol yn unig—nid fel gwirionedd i ffydd ymaflyd ynddo, dysgwyl wrtho, ac ymgysuro ynddo; eithr fel ffugyr barddonol beiddgar, wedi ei fwriadu i gynhyrfu cywreinrwydd, difyru y meddwl, neu ogleisio y nwydau—nid fel ysbryd y peth byw ei hun, eithr fel addurn dychymygol, gwisg allanol aelod mewn rheitheg ddarfelyddol. Er hyn, gwirionedd mawr, gwerthfawr, gogoneddus ydyw hwn, wedi ei lefaru gan yr Arglwydd Iesu Grist ei hun, ac wedi ei fwriadu ganddo i leddfu galar calon hiraethus, a goleuo tywyllwch y bedd; ac o'r dydd y disgynodd yr ymadrodd rhyfedd hwn dros ei wefusau didwyll, hyd y dydd hwn, y mae wedi bod yn ddefnydd cysur, nerth a gorfoledd i luoedd o saint trallodedig, a deithient lwybrau pruddion glyn cysgod angau, ac a edrychent ar rai anwyl ganddynt yn ymgolli yn nhywyllwch y bedd.

Llefarodd Iesu Grist wirionedd wrth Martha wylofus, yr hwn na fuasai yr athrawiaeth fawr a gogoneddus ag sydd yn fywyd a nerth a gwerth Cristionogaeth—"yr adgyfodiad yn y dydd diweddaf,"—o fawr ddyddanwch, a chysur, a defnydd cân hebddo. Nid llawer o gymorth "i lawenychu yn ngwyneb angau," ac i "orfoleddu pan welid y bedd," a fuasai adgyfodiad o feirw, i'r byd chwithig a dyrys hwn, oni bae fod gwirionedd gogoneddusach hyd yn nod na "yr adgyfodiad yn y dydd diweddaf," yn cael ei ddysgu i'r byd truenus hwn, yn yr efengyl. Pan saif y galon alarus yn mhresenoldeb y dirgelwch sydd yn gorchuddio tiriogaethau "y gelyn diweddaf," cyneu yn wan iawn a wnai llusern yr adgyfodiad, oni bae y gwirionedd mawr a dysglaer, a gogoneddus, a ddysgwyd gan yr Arglwydd Iesu Grist, yn ymyl tref Bethania, wrth gysuro chwaer alarus, yn ngolwg bedd ei brawd newydd huno. "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd." Nid oedd y naill yn berffaith heb y llall. Rhaid cael y ddau. Adgyfodiad i fyd o drallod fuasai, ail-ddychwelyd i chwareu drachefn golygfa byd o wae, heb fywyd uwch i'w fwynhau. Rhoddi bywyd ysbrydol yn nghariad Duw, yn yr enaid, i gyneu chwenychiadau anfarwol, a deffroi dymuniadau goruchel ac angerddol, am ddyfodol dysglaer a gogoneddus, a fuasai yn llenwi y natur hiraethlawn â siomedigaeth chwerw, heb fod adgyfodiad i berffeithio y bywyd ysbrydol hwnw. Felly y mae y ddau yn nghyd yn rhoddi boddhad dwyfol; oblegid wrth uno y ddau yn nghyd, dysga Crist fod ynddo ef fywyd, yr hwn drwy angau a gyfyd i'w berffeithiad; gan hyny, nad yw marw yn farw mwy, eithr yn adgyfodiad i gyflawnder bywyd. "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd." Gwirionedd newydd! Ni ddysgwyd hwn o'r blaen. Yr oedd Martha, yn nghydag Iuddewon yr oes hono, wedi ei dysgu am wirionedd mawr a rhyfedd. Credai y posiblrwydd o adgyfodiad. Pan y dywedai ein Harglwydd wrthi, "Adgyfodir dy frawd drachefn," nid ydoedd yn cymeryd y datganiad yn beth newydd, eithr fel hen wirionedd adnabyddus iddi, ac a gredid ganddi yn y modd mwyaf diysgog. Dyma ei hateb, "Myfi a wn yr adgyfodir ef yn yr adgyfodiad, y dydd diweddaf." Yr oedd yr hen wirionedd hwn yn cael ei dderbyn gan yr Iuddewon yn ei dyddiau hi, ac mewn oesoedd lawer cyn hyny. Ond yr oedd Martha yn gwybod mwy na hyny, ac yn credu mwy na hyny. Credai hi yn ngallu cyfryngiad goruwch-naturiol yr Arglwydd Iesu Grist. Credai y gallasai ei bresenoldeb fod yn fodd-

ion i gadw angau draw rhag cymeryd Lazarus ymaith; a chredai hefyd y gallasai Crist, trwy allu ac awdurdod Duw, mewn ystyr gwyrthiol, adgyfodi ei brawd drachefn. "Yna y dywedodd Martha wrth yr Iesu, Arglwydd, pe buasit ti yma ni fuasai marw fy mrawd. Eithr mi a wn hefyd yr awr hon, pa bethau bynag a ddymunech di gan Dduw, y dyry Duw i ti." Gwyddai lawer. Gwyddai fwy na'r Iuddewon yn gyffredinol; ond ni wyddai ddigon eto i fod yn gysurus yn ngwyneb yr amgylchiad trallodus presenol. Credai yr adgyfodai ei brawd yn yr adgyfodiad, y dydd diweddaf; ond teimlid y ffydd hono yn rhy wan, a'r gobaith hwnw yn rhy bell i ddwyn pwys gorlethol y trallod presenol. Rhaid iddi gael rhywbeth nes ati na'r adgyfodiad y dydd diweddaf, yn nerth a chysur iddi. Rhaid iddi gael ei harwain oddiwrth frawd marw at gyfaill byw; ac oddiwrth adgyfodiad pell at Waredwr presenol; ac hefyd oddiwrth Grist a *allai* wneyd, at Grist *yn* gwneyd. Dysgai iddi wirionedd newydd, am fywyd ynddo ef, yr hwn hefyd sydd eisoes yn meddiant ei saint ef, nad ydyw byth yn marw, eithr, yn angau, yn cyfodi i fodolaeth berffeithiach a ffurf ogoneddusach.

"Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd; yr hwn sydd yn credu ynof fi, er iddo farw a fydd byw; a phwy bynag sydd yn fyw, ac yn credu ynof fi, ni bydd marw yn dragywydd." Mae y bywyd ysbrydol a gynyrchir gan ffydd yn Nghrist yn y dyn, yn anfarwol. "Ni bydd marw yn dragywydd." Nid yw marw yn farw iddo ef. Er iddo farw, eto y mae yn fyw. Fel y blodeuyn prydferth, pan wywa ei degwch y gauaf, nid yw y bywyd yn gadael ei wraidd ef; eithr, er iddo farw, yn ymddangosiadol, nid yw felly yn wirioneddol; canys, ar ol i'r tymor diffrwyth fyned drosodd, cyfyd y blodeuyn i fywyd o ffurf perffaith ogoneddus, drachefn. Wrth ddywedyd, "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd," deallir mai amcan ein Harglwydd sanctaidd yw dangos nad yw y saint yn marw yn angau, eithr fod angau yn adgyfodiad iddynt, —mai adgyfodi y mae y Cristion pan yn marw! Hyny yw, fod terfyniad y ffurf presenol o fywyd ysbrydol, yn angau, yn adgyfodiad i ffurf uwch a gogoneddusach o'r un bywyd mewn cyflwr rhagorach.

Yn ngwaith Crist yn adgyfodi Lazarus, y mae yn rhoi esboniad ymarferol ar y gwirionedd mawr hwn—yn actio yn wirioneddol y ddysgeidiaeth newydd hon—trwy ddangos pa fodd y mae yr adgyfodiad a'r bywyd ynddo. Wrth fedd Lazarus, dacw ddyrys-bwnc (*problem*) yr oesau yn cynyg ei hun, fel arfer, i gywreinrwydd ymofyniadol y byd, gan ddywedyd, Onid yw angau yn orchfygwr? onid yw bywyd wedi treulio allan, yn llydw llwyd ac oer, i beidio ei ail-gynyg mwy? onid hyn yw diwedd galarus pawb? Safai yr ymofyniadau pruddaidd yna yn ffordd y gwirionedd newydd hwn, a thywyllai eu cysgodion duon bob gobaith am adferiad i fywyd o byrth y bedd! Ond yn nghanol dystawrwydd yr oesau mudion, nesâ Iesu Grist at y bedd dan wylo dros drueni cyffredinol dynoliaeth farwol, a'u ddagrau yn disgyn yn olew bywyd ar hyspenau clo carchar angau, a'i ruddfanau yn swnio bywyd o'i dosturi dwyfol drwy y bedd i ateb gofyniadau herfeiddiol angau, ac â llais tawel, ond mawreddig, yn treiddio gororau dyeithr y byd pell, "Lazarus, tyred allan," nes y clyw y marw ei lef, y tania bywyd yn ei lygaid, ac yr ymlifa bywyd drwy ei holl natur, ac y daw allan o'r bedd! Fel yna y dengys y gwirionedd mawr hwn yn ei waith—actia "yr adgyfodiad a'r bywyd," yr hwn ydyw efe ei hun i'w bobl ac i'w saint. "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd."

Pan mae y Cristion yn marw, y mae yn enill y fuddugoliaeth olaf ar angau. Mae angau, y gelyn mawr, yn marw! Angau yw gelyn y Cristion. Mewn rhyfel ag angau mae y Cristion yn y byd. Rhaid ymladd ag ef nes ei orchfygu, a'i orchfygu neu farw. Mae holl ymdrech y bywyd ysbrydol yn wirioneddol frwydr ag angau; oblegid brwydr yn erbyn pechod yw. Ymladd yn erbyn pechod sydd ymladd ag angau; canys marwolaeth yw pechod. Ni fedd

angau niwaid ond pechod. "Colyn angau yw pechod." Pob peth sydd am gadw y dyn oddiwrth Geidwad, marwolaeth yw hwnw. Nid yw y weithred o farw ond arwydd allanol a gweledig o ymdrech wastadol ag angau sydd wedi parhau ar hyd oes y fuchedd sanctaidd. Mae pob brwydr â'r drwg yn frwydr ag angau. Pan mae y Cristion yn yr ymdrech olaf ag angau, mae y frwydr drosodd. Mae y gelyn yn marw! Mae y fuddugoliaeth yn cael ei henill. Mae ornest bywyd wedi ei goroni â thragywyddol orphwysfa. Rhaid i'r creadur newydd ymladd â'r hen ddyn sydd yn glynu wrtho, nes bydd ergyd lem angau yn tori rhwng y ddau! Buddugoliaeth fydd wedi hyny. Adgyfodiad i fywyd anllygredig fydd hyny. Mae terfyniad y rhyfel, a derbyniad coron y fuddugoliaeth, yn adgyfodiad i'r bywyd ysbrydol hwn ag sydd ynom, yn frwydr yn erbyn angau! Perffeithiad gobaith yr efengyl yw mwynhad cyflwr yr adgyfodiad. "Bod oddi cartref o'r corph, a chartrefu gyda'r Arglwydd," ydyw hiraeth y gobaith hwn. Mae y gobaith am "fod gyda Christ" yn hawlio adgyfodiad. Ni chaiff y Cristion weled Crist megys y mae, hyd nes y rhwyga angau y llen o gnawd. Pan gyfyd angel marwolaeth y llen o gnawd, yna cyfyd gobaith gogoneddus y bywyd Cristionogol i'w fwyniant a'i ogoniant tragywyddol. Gweled Crist trwy gymundeb digyfrwng, a bod fel efe, yw gobaith y bywyd newydd, yr hyn a ddechreuir yn angau, ac a berffeithir yn yr adgyfodiad.

Yr adgyfodiad a'r bywyd." Mae y bywyd nad all angau a'r bedd ei ddinystrio, yn fywyd yr adgyfodiad. Mae o'r un elfen â bywyd yr adgyfodiad, yn hiraethu am dano, ac yn cael ei berffeithio drwyddo. Ond beth ydyw y bywyd hwnw yr hwn nad all angau na'r bedd ei ddinystrio? Gellir ateb, mai bywyd o gymdeithas ysbrydol a dirgelaidd, a byd o sancteiddrwydd anfarwol, ac anllygredigaeth tragywyddol ydyw. Mae pob dyn sydd wedi ei ddwyn i undeb effeithiol â Christ, yn teimlo ei fod wedi ei gysylltu trwy rwymau newyddion a sanctaidd, "a'r holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear ynddo ef." Teimla ei fod yn y frawdoliaeth fawr sydd ynddo ef. Dyna berthynas nad all angau ei thori, na'r bedd ei dinystrio byth; eithr ein dwyn i'w theimlo yn fwy sylweddol. Pan y cymdeithaswn, yn ein meddyliau â'n cyfeillion crefyddol sydd wedi cyrhaedd adref, ac yn gwisgo "gynau gwynion" y fuddugoliaeth lawn, teimlwn y syniad nad ânt allan o'r deml nefol byth mwy, fel sel gorfoledd ar eu calon! Teimlwn, hefyd, fod y bywyd sydd genym ni yn Nghrist, wedi ymgodi, ynddynt hwy, yn ogoniant perffaith.

Teimlwn, yn mhellach, y daw adeg arnom ninau, pryd y bydd y bywyd hwn, wedi ei godi, ynom ninau, yn ogoniant perffaith. Yr Hwn yw yr adgyfodiad, yw hefyd y bywyd. Bod yn ngafael y bywyd, yw bod yn ngafael yr adgyfodiad. Nid all marw fod yn farw i'r crediniol; eithr yn borth i'r bywyd, ac yn berffeithiad coroniad ei fodolaeth!

Y cyfeillion a aethant adref; nid meirw ydynt hwy sydd wedi gadael pwys y corph marwol ar ol! Nyni yw y meirw y rhai ydym yn ocheneidio yn llwythog yn y tai o glai. Maent hwy gartref, y rhai ydynt gyda'r Arglwydd; y dyeithriaid ydym ni, y rhai ydym absenol oddiwrtho. Cawsant hwy eu codi, trwy angau, i wisgo coron y bywyd, tra yr ydym ni ar ol yn y rhyfel. Pan ddaw angau i dori y plisgyn cnawd, cyfyd y sylwedd sanctaidd adref at ei frodyr pur. Dryllir y *cage*, ac ehêd yr aderyn nefol i'w elfen ei hun. Felly deil dolenau y gymdeithas ysbrydol a'r holl deulu yn y nef, yn angau; a mwy, deuant yn anfarwol yn angau! Perffeithir anfarwoldeb y gymdeithas hono yn yr adgyfodiad. Bod yn Nghrist yw bod yn yr adgyfodiad a'r bywyd; a thrwy ffydd y mae bod ynddo. Dyma gyflwr diogel a gogoneddus!

---

Defnyddiwch foddion, ond ymddiriedwch yn Nghrist. Yr oedd colomen Noah yn defnyddio ei hadenydd, ond yn ymddiried yn yr arch am ddiogelwch.

## YSBRYDIAETH.

"Yn yr oes oleu hon" ffaith hynod ydyw fod ystrywiau hir anarferedig "ymofyn â'r meirw" yn cael eu hail godi. Yn y tymor byr, o'r flwyddyn 1848 hyd yn awr, mae rhif y "dewiniaid" yn cyrhaedd i rai miloedd yn Mhrydain, ac maent yn rhifo oddeutu 3,000,000 yn y wlad yma. Mae moddion treulfawr wedi eu sefydlu er dysgu a lledaenu y ddysg hon. Cyhoeddir papyrau, misolion, a llyfrau i'r dybenion hyn. Defnyddir celfyddyd hefyd i roddi help llaw. Proffesir rhoddi lluniau ymadawedigion. Mae y cynydd wedi bod yn gyflymach yn Mhrydain nag yma, am y rheswm fod ysbrydiaeth wedi casglu nerth yma cyn dechreu yno.

Mae rhywbeth bob amser wedi bod yn swynol i'r meddwl dynol yn nghyffiniau y byd anweledig. Yno y siglwyd cryd crefydd gyntaf. Yno mae paradwys barddoniaeth. Mae pob oedran, o'r plentyn i'r hynafgwr, yn hoff o'r cyffiniau llwyd-oleu hyny. Maent fel gerddi a pharciau pleser, lle yr ymadlonir oddiwrth drallodion amser. Ond pan lenwir eu hawyrgylch mwynion â tharth a niwl afiachus ysbrydiaeth, mae ei nodweddiad paradwysaidd yn cael ei golli. Wrth drin y pwnc hwn mae dynion yn myned i eithafion, fel gyda phobpeth arall. Myn rhai wadu posiblrwydd unrhyw gysylltiad, modd bynag, rhyngom a'r byd ysbrydol, drwy gymeryd golwg faterol ar bob peth, tra mae eraill yn rhy barod i dderbyn yr oll a ddysgir dros yr athrawiaeth.

Ar ymddangosiad cyntaf ysbrydiaeth, lledaenid son am yr arwyddion rhyfedd oedd yn canlyn. Megys lleisiau amryfath, trystiau trydanol y rhai drwy eu rhif a arwyddent gydsyniad neu anghydsyniad a gofyniad, neu a awgryment lythyrau y wyddor. Yr oedd byrddau a mathau eraill o ddodrefn yn cael eu cynysgaeddu â gallu i symud. Yn y rhan fwyaf o engreifftiau gwnaent hyn o dan ddwylaw a roid arnynt, ond mewn engreifftiau eraill, dywedid, heb gael eu cyffwrdd. Offerynau cerdd a seinient yn y tywyllwch. Yn ychwanegol at yr arwyddion hyn, yr hysbysir am danynt yn awr dros ugain mlynedd, honir fod yn bresenol apeliadau mwy uniongyrchol yn cael eu gwneyd at y synwyrau. Mae gwynebau, dwylaw, a ffurfiau yn tebygu i gyfeillion ymadawedig wedi bod yn weledig yn y goleuni gwanaidd a drefnid at wasanaeth y cylch. Mae lleisiau llefaredig wedi bod yn cael eu hanadlu drwy bibellau, ac mae "cyfryngau," a'r rhai heb fod yn gyfryngau eu hunain, wedi bod yn ehedeg yn yr awyr. Mae pwysïau o flodau prydferth a theg wedi bod yn cael eu gwlawio drwy y tywyllwch. Mae marwor tanllyd wedi bod yn cael eu rhoddi, heb niwaid, ar ddwylaw ac ar wallt y pen. Ac o'r diwedd mae pob nodwedd o fywyd, ffurf, llais, gwrthddrychau teimladwy, dillad gwneuthuredig, ac ymddiffyniad grymus rhag ymosodiad niweidiol, wedi cael eu hamlygu, meddir, gan ysbrydoedd anghorffoledig.

Mae tair ffordd drwy y rhai y gellir ymgydnabyddu â'r pwnc mawr hwn—yr un athronyddol, lenyddol, ae hanesyddol. Mae y ffordd gyntaf yn cymeryd i mewn agweddion bywyd, ac ymchwiliadau gwyddor, yr hon eill ddangos fod bywyd nid yn ganlyniad, ond yn achos ein bodolaeth. Fel cynorthwy i drin y mater yn y dull athronyddol, gellir defnyddio darganfyddiadau anianyddol gogoneddus y ganrif hon, a'r dull manwl o feddwl mae cynydd gwybodaeth wedi ei feithrin. Modd bynag ni fyddai ymchwiliad o'r natur hwn yn ddyddorol ond i ddosbarth bychan, sef y rhai fyddo wedi ymgydnabyddu â phynciau anianyddol ac athronyddol.

Y ffordd lenyddol a egyr olygfa a maes newydd o'n blaen. Wrth gymeryd cipolwg dros y cynyrchion sydd yn traethu ar ysbrydiaeth, gwelir fod rhai awdwyr galluog ar fin credu fod rhywbeth yn ymylu ar wirionedd mewn rhai o'r honiadau a wneir. Addefant ar yr un pryd fod anhawsder dirfawr i esbonio drwy ba ddeddfau y gall dim o'r fath gymeryd lle.

Awgrymir fod pob ymchwiliad a wneir yn rhwym o fod yn dywyll, aneg-

lur, ac i raddau helaeth yn beryglus, ac yn gofyn gochelgarwch mawr. Dywedir nad oes fawr o wybodaeth sicr, os dim, wedi ei gyrhaedd am yr honiadau hyn mewn perthynas i'r byd ysbrydol, yn nghwrs tair mil o flynyddau.

Yn sefyllfa bresenol y pwnc dyeithr hwn, buasai yn ddyddorol ac adeiladol i chwilio i hanes dewiniaeth yr hen amseroedd. Buasai cymharu "ymofyn â'r meirw" y dyddiau hyn â'r eiddo y dyddiau gynt, yn dadguddio amryw ffeithiau o bwys. Buasai tremio i ogof yr hudolwr, fel y bodolai o ddwy i dair mil o flynyddau yn ol, yn rhoddi mantais i ganfod fod tebygolrwydd neillduol rhwng hono ac ystafell y *medium*, y dyddiau hyn! Ond ni chaniata ein gofod i fyned ar ol manylion; rhaid ymfoddloni ar grybwyllion cyffredinol.

Un o'r ffeithiau cyntaf sydd yn ein cyfarfod yn y maes *hanesyddol* ydyw, fod yr allor gysegredig, yn mhob oes, ac o dan bob ffurf o grefydd, yn cael ei gwrthlewyrchu gan ogof yr hudolwr. Mae crefydd ac annuwioldeb, ysbrydoliaeth ac "ymofyn â'r meirw," y gair a ddaeth oddiwrth Dduw at y prophwyd a'r gair yr hwn a geisid gan y brudwyr oddiwrth yr ysbryd hygoelus wedi bodoli bob amser ochr yn ochr. Yn mha le bynag y canfyddwn grediniaeth yn y goruwchnaturiol sanctaidd, ac yn y posiblrwydd o gymdeithas rhwng y cyfryw a dynolryw, canfyddwn hefyd yr ochr gyferbyniol—swynyddiaeth, cyfaredd. A pha fwyaf trwyadl y byddai'r grediniaeth yn y dadguddiad dwyfol, mwyaf yn y byd fyddai'r condemniad o'r "ymofynwyr am y meirw."

Un o nodweddion boreuol dewiniaeth oedd priodoli rhinwedd rhyfeddol i wahanol lysiau. Arweiniodd hyn y meddwl dynol i wneyd profion teg ac ymarferol o hyny. O'r diwedd canfyddwyd fod rhinwedd mewn gwirionedd iddynt. Gan hyny o ffydd ofergoelus mewn cyfaredd lysieuol deilliodd yn raddol physigwriaeth ein dyddiau ni. O ffwrn yr uchfferyllydd y tarddodd gwydr-lestr y fferyllydd. Mewn gair, wrth ddilyn cyfaredd naturiol y cyrhaeddwyd, yn *ddiarwybod*, goleuni cliriach athroniaeth naturiol. Fel yna o un peth cyfeiliornus daeth un gwirionedd.

Mae deddf Moses yn cyfeirio at swyngyfaredd ac eilunaddoliaeth fel perthynasau agos. Nid yw y syniad diweddar am eilunaddoliaeth, mai rhyw ofergoeledd dall, diymadferth, a diniwaid ydyw, i'w gael o gwbl yn llyfrau Moses. Y mae o bwys i ddal y syniad hwn mewn cof gyda golwg ar iaith gref y Deddfroddwr yn erbyn cyfaredd ac eilunaddoliaeth. Cyhoeddir hwynt fel gweithredoedd eglur o anffyddlondeb i'r gwir Dduw.

Mae yn canlyn fod crediniaeth yn modolaeth cyfrwng o'r fath rhyngom a'r byd ysbrydol fel ffaith, yn rhywbeth gwahanol hollol i'r addefiad o dda neu ddrwg yr unrhyw. Mae cyfaredd ac eilunaddoliaeth, o amser Moses hyd at oes Cystenyn, wedi bod yn foddion cysylltiedig, er dyfod i feddiant o gynorthwy a gwybodaeth o'r byd anweledig, na chaniateid i'r addolwr duwiolfrydig, yn nghwrs cyffredin ei grefydd. Dadleuid pa gred oedd yn wir neu gyfeiliornus yn yr hen amseroedd, mor boethlyd ag yn ein dyddiau ni. Yr oedd hyny yn cael ei wneyd yn mhlith cenedloedd eraill fel gyda'r Iuddewon. Byddai apeliad at nerthoedd anweledig yn rhyw ffordd yn hytrach na'r dull penodedig gan y grefydd genedlaethol, yn cael ei ystyried yn mhob man yn bechadurus. Y mae pob ffurf a gymerodd cyfaredd arno ei hun erioed wedi tarddu o lygriad tri pheth—llygriad addoliad crefyddol, llygriad dysgeidiaeth natur, a llygriad y natur ddynol. Mae cynydd goleuni yr efengyl yn ymlid ymaith hawliau y dewinwr ar ddifancoll. Mae celf a gwyddor yn gyru ar ffo y gwyll o dywyll-leoedd y swyn-lysieuydd, y sarphhudolydd, a'r uch-fferyllydd. Mae y rhan o gyfaredd a ymgyfyd o lygriad y natur ddynol yn aros bron yr un peth eto a chynt. O bob ffurf o gyfaredd, yr hon a honai sefydlu cymdeithas a'r ymadawedigion a ystyrid yn fwyaf pechadurus. (Deut. 18: 10–12.) Yr oedd ei ymarferiad, yn cael ei ddilyn gan y wedd waethaf o aflendid seremo-

nïol; aflendid ag oedd yn cario ei ddylanwad hyd yn nod i'r aelwyd gartref. A phan na byddai amheuaeth gyda golwg ar y pethau a honir fel fleithiau, gan ysbrydwyr y dyddiau hyn, ni fyddai amheuaeth yn bod am eu pechadurusrwydd.

Ni pherthyn i swyngyfaredd y dyddiau hyn yr un nodwedd i beidio haeddu yr un anghymeradwyaeth a chondemniad, ag a haeddai y cyfryw gynt. Myn cefnogwyr ysbrydiaeth roddi ar ddeall fod ysbrydiaeth yn ffaith, ac am hyny ei fod yn gyfreithlon, ac y dylid ei dderbyn; pan mewn gwirionedd mai y pwnc o'i gyfreithlondeb a ddylid ystyried yn mlaenaf.

Y mae y fath arferion yn groes i natur a threfn gweinyddiadau grasol yr efengyl, ac i gwrs rhagluniaeth, a phob deddf adnabyddus. Drwy lafur, amynedd a dyfal-barhad, mae pob cam tuag at yn mlaen wedi cael ei roddi hyd yma. Can belled ag y gallwn ni farnu, mae y llafur a'r ymdrech sydd wedi eu hymarfer yn y cyfeiriad o gynydd, wedi bod mor werthfawr wrth ddadblygu a dysgyblu galluoedd a chyneddfau dynolryw, ag yn y lles gwrthddrychol a dderbyniwyd. Nid yw un wybodaeth na dim gwerthfawr arall, a geir mewn dull rhwydd o fawr werth, ond a ddibrisir ac a gollir yn fuan.

Mae dyrchafiad a gallu dynoliaeth yn ymddibynu mwy o lawer ar y ddysgyblaeth a dderbynir nag ar y daioni allanol a feddienir. Mae pob ymgais i dori ar draws er byrhau llwybrau, hyd yma wedi troi yn fethiantau cywilyddus. Y mae clywed lleisiau y meirw yn dwyll neu yn wirionedd. Os y blaenaf ydyw, ni all unrhyw dwyll fod yn waeth; os yr olaf, ni all dim fod yn fwy peryglus. Mae yn ymgais i daflu y byd yn ol i'w gyflwr o fabandod. Y mae y fath athrawiaeth hygoelus yn groes i dystiolaeth rheswm a phrofiad. Mae yn rhwystr hyf ar ffordd cynydd gwybodaeth wyddorol ac ymarferol; yn ddirmyg ar Gristionogaeth, ac ar yr oes yr ydym yn byw ynddi. Mae yn ddigon i gynyrchu ofn ac arswyd yn mhob meddwl ystyriol. Mae pob peth o'r fath yn cael ei gondemnio yn bendant yn y Llyfr Sanctaidd, a chan bob cydwybod oleuedig.

BARNABAS.

---

# "YMDDYDDANION DRWG YN LLYGRU MOESAU DA."

GAN Y PARCH. SAMUEL JOB, CLEVELAND, O.

Mae dyn yn fod cymdeithasgar. Bwriadodd y Creawdwr iddo fod felly, wrth ei gynysgaeddu â chyneddfau o serch a chydymdeimlad, ac hefyd â gallu i drosglwyddo amlygiadau o'r cyfryw i eraill. Wrth iawn ddefnyddio y cymwysderau hyn mae effeithiau dymunol yn canlyn, i ni ein hunain ac i'n cyd-ddynion; "Haiarn a hoga haiarn, felly gwr wyneb ei gyfaill." Ad-eilw ymddyddan i gof y wybodaeth a gasglwyd, a rhydd fantais i'w chyfranu fel byddo galwad a chyfleusdra. Mynych mae syniadau yn cael eu hawgrymu i'r meddwl wrth ymddyddan, nad ellir eu cynyrchu drwy fyfyrdod caled. Derbynia y meddwl ryw eglurhad yn llawer rhwyddach wrth ei glywed yn cael ei drafod, na thrwy ddarllen yr un eglurhad mewn llyfr. Dywedai Dr. Johnson iddo gasglu mwy o'i wybodaeth drwy ymddyddan na thrwy un ffordd arall; a dywedai Verillas iddo ddysgu drwy ymddyddan naw peth o bob deg ar a wyddai. Ond tra y gall iawn ddefnydd o'r gallu i ymddyddan fod yn annhraethol lesol, mae *cam* ddefnydd o hono yn rhwym o fod yn annhraethol niweidiol.

Y mae yn alarus meddwl fod dynion yn talu can lleied o sylw i'w hymddyddanion cyffredin. Ceir rhai, hyd yn nod yn mhlith crefyddwyr, yn ymddwyn yn gywilyddus yn eu siarad; er nad oes un pwnc mewn bywyd cyffredin a osodwyd yn fynychach gan Grist a'i apostolion, dan reolaeth egwyddor grefyddol. Yn wir, y mae ymadrodd priodol mor anghyffredin fel y gallwn ddyweyd yn awr yn ngeiriau Iago, "Od oes neb heb lithro ar air, gwr perffaith yw hwnw." Eisiau ystyried y niwed a achosa ymddyddanion anfoesol sydd arnom, er mwyn talu rhag-

or o sylw i hyn. Gan hyny, ymdrechwn ddangos rhai o effeithiau ysgeler ymddyddanion drwg, gan ddechreu gydag

*Ymddyddanion Cableddus.* — Dylem ddiolch i Dduw fod y bai cywilyddus o regu a thyngu yn raddol yn diflanu o'r golwg, trwy offerynoliaeth yr Ysgol Sabbothol, yn nghyda moddion da ereill. Rhyfedd fod un dyn a gronyn o reswm ganddo, yn defnyddio iaith arw, ryfygus! A ydyw y cablwr yn enill rhywbeth wrth gymeryd enw Duw yn ofer, ac wrth bentyru melldithion ar ei elynion, neu wrth regu rhyw greadur neu beth adgas? Nac ydyw! ond y mae yn colli llawer. "Nid dieuog gan yr Arglwydd yr hwn a gymero ei enw ef yn ofer." A'r un Duw a ddywedodd, "Am bob gair segur a ddywedo dynion, y rhoddant hwy gyfrif yn nydd y farn." Ond heblaw fod yr arferiad yn anghymeradwy tuag at yr Anfeidrol, y mae y fath iaith yn eithaf gwrthwynebus yn mhob ystyr. Yn wir nid y rhai olaf bob amser i deimlo arswyd ac anfoddlonrwydd pan glywont iaith o'r fath yn dyfod o enau cydymaith yw y rhai a arferant yr iaith yma eu hunain. Ond eto wrth gerdded ein heolydd, mor fynych y clywwn enw Duw yn cael ei gymeryd yn ofer —yr enw na feiddia yr Iuddew a'r Mahometan ei yngan ond gyda'r gwyleidd-dra mwyaf. Nid yn anfynych, ychwaith, y gwelwn fachgen ieuanc, drwy esiampl ei dad, efallai, yn arllwys llwon, gan dybied nas gall fod yn *ddyn* heb dyngu! Nid oes eisiau dyweyd mor ofnadwy o niweidiol yw effeithiau yr arferiad atgas yma ar gymeriad moesol person. Diwreiddia foes o'r galon, lladda hunan-barch, enyna y nwydau, a darostynga ddyn o ran ei natur foesol yn is na'r anifail. Buan eled yr arferiad drwg a gwarthus hwn o'n gwlad uchel-freintiog. Yn nesaf,

*Ymddyddanion Dibwys.*—Ein hamcan wrth siarad â'n cyd-ddynion ddylai fod yn wastadol naill ai derbyn neu gyfranu addysg a lles. Os na fydd i'n hymddyddanion feddu yr amcanion hyn, byddant yn waeth na diwerth; byddwn yn gwario ein hamser am ddim; ac hefyd os na fyddwn yn derbyn neu yn gwneyd lles drwy ymddyddan, byddwn yn lled debyg o dderbyn neu wneyd niwed. Amcan rhai dynion yn gyson wrth ymddyddan ydyw cynyrchu chwerthin. Ni chlywn ddim byth oddiwrthynt ond nodiadau a a chwedlau digrif, a'r un rhai drosodd a throsodd. Nis gall y fath ymddyddan lai na bod yn ddirmygus yn ngolwg pob dyn synwyrol. Nid pleidio ymddyddan marwaidd, diflas a phruddglwyfus yr ydym wrth ddyweyd hyn; y mae difyrwch yn eithaf priodol yn ei le, ond dylid gochelyd eithafion.

Os awn i ymddyddan ag eraill, ni chlywn ddim oddiwrthynt ond sylwadau dibwys am yr hin, dygwyddiadau yr amseroedd, &c. Nid yw yn bosibl dysgu dim oddiwrth eu hymddyddanion, oblegid ni chyffyrddir ag unrhyw bwnc pwysig. Mewn cylch bychan iawn yr ymdroa y cyfryw bersonau. Ymhyfryda gwag-rodianwyr a chwedleuwyr mewn pethau dibwys, bychain; ac os parhawn ni i uno â hwy yn eu hymddyddanion, yn fuan awn yn debyg iddynt. Darostyngir a gwanheir y meddwl, nes y daw i ymhoffi mewn pethau distadl, ac i gasâu pob peth a ofyn ymdrech. Rhoddwyd i ni y gallu i ymddyddan â'n gilydd i ddybenion uwch nag i dreulio ein horiau mewn difyrwch anfuddiol. Y peth yr ydym am ei gael ydyw ymddyddan bywiog, siriol, yn gystal ag un yn tueddu i ddiwyllio ein meddyliau.

Y mae dosbarth arall o ddynion a ymddyddanant yn wastadol mewn ffordd watwarus. Gwawdiant bob peth bron o duedd ddaionus, pob moes, pob rhinwedd. Nid anfynych y cyfarfyddwn â'r personau hyn ar ein taith drwy y byd.. O! ieuenctyd tirion, gochelwch hwynt. Nid ydych eto wedi eich sefydlu yn eich moesau; nid yw eich egwyddorion wedi eu cadarnhau gan arferiad. Felly nis gellwch ymddyddan â'r dynion hyn heb fod mewn perygl mawr o syrthio i'w magl. Gan hyny os ydych am gadw eich moesau heb eu llygru, a'ch calonau yn bur, ciliwch oddiwrthynt fel oddiwrth seirph gwenwynig. Beth! dynionach bych-

ain, distadl, llygredig yn cellwair ger bron y Duw anfeidrol a'i weithredoedd ardderchog! O, mor ofnadwy fydd tynged y rhai sydd yn eistedd yn eisteddfa y gwatwarwyr, yn nydd y farn, pan y daw yr Arglwydd gyda'i angylion sanctaidd i farnu y byd. Yn olaf,

*Ymddyddanion Enllibus.*—O herwydd drygioni y natur ddynol y mae enllib, er yn bechod o'r fath fwyaf erchyll, wedi bod, ac yn bod, yn gyffredin yn mhlith dynolryw. Wrth enllibio, gwnawn niwed mawr i eraill, ac i ni ein hunain. Nid oes dim mor werthfawr a chymeriad; ond mor hawdd y gellir priodoli i ddyn feiau nad yw yn euog o honynt, neu wadu rhinweddau mae yn eu meddu. Mor hawdd y gellir taflu awgrym (*insinuation*) mewn ymddyddan gyda golwg ar gymeriad dyn, ond mor fawr yw y drwg a wneir! Derbynir haeriadau disail gydag ymddiriedaeth, ac ail-adroddir hwynt gyda sicrwydd dibetrus, gan ddynion ofergoelus, anghariadus, neu ddiofal am y gwirionedd. Felly â yr honiadau hyn, o enau i enau, a chynyddant gyda phob adroddiad; gwasgarir eu gwenwyn yn mhlith miloedd; ac nis gwyddis pa le derfydd y drwg. Unwaith y dywedwn yr anwiredd, nis gellir ei alw yn ol; os na chymerwn ofal, gallwn achosi niwaid mawr wrth ail-adrodd geiriau eraill drwy wahaniaethu oddiwrthynt. Gymaint o annhrefn ac aflonyddwch mewn cymdeithas, gymaint o ddiffyg hyder, gymaint o chwerwder a gelyniaeth a achoswyd drwy gam-ddarluniadau geiriol. Mor fynych y deifiwyd y cariad tyneraf, ac yr oerwyd y cyfeillgarwch gwresocaf drwy hyn.

Ond heblaw achosi niwaid anadferadwy i eraill, gwnawn gam mawr â ni ein hunain. Trosedda yr enllibwr yn erbyn y tri rhinwedd pwysfawr, gwirionedd, cyfiawnder a chariad. A chan mai oddiwrth genfigen a gelyniaeth y tardda enllib yn fwyaf uniongyrchol, mae canlyniadau o'r un natur yn dilyn ar yr enllibwr ei hun ag ar eraill. Ei gariad a oera tuag at ei gyd-ddynion, a daw yn fuan i ymhoffi mewn anghyfiawnder a thwyll. Dynion a'i drwg-dybia wrth ganfod diffyg ei eirwiredd. Darostyngir ef yn ngolwg y doeth a'r rhinweddol, a chilia pob carwr gwirionedd, cyfiawnder a chariad o'i gymdeithas. Pan wêl ei gymydogion yn ei gasâu ac yn ymgilio oddiwrtho, yr effaith naturiol ydyw na fydd yntau yn caru myned i'r lleoedd a fynychant hwy. Felly nid â i'r cyfarfod gweddi, i'r Ysgol Sabbothol, nac i glywed pregethiad yr efengyl; a thrwy esgeuluso moddion i feithrin rhinwedd, gwanheir egnïon ei natur foesol, a chryfheir ei dueddiadau drygionus. Ymgaleda yn erbyn yr hyn fyddo da, ac nis gwyddis pa mor isel y disgyn cyn y diwedd. Gwrandawn beth a ddywed yr Arglwydd am yr enllibiwr: "Toraf ymaith yr hwn a enllibio ei gymydog yn ddirgel." Gochelwn fod o rif y rhai hyn, a gwnawn ein goreu i yru y pechod yma o'r byd. Peidiwn rhoddi clust-ymwrandawiad i'r rhai fyddo yn taenu enllib; trown oddiwrthynt gyda digllonedd anghymeradwyol. Os na fydd gwrandawr, ni fydd enllibiwr; ac megys pan ddarfyddo y coed y diffydd tân, felly pryd na byddo athrodwr, derfydd y gynen.

Dyna *rai* o'r mathau o ymddyddanion drwg yr ydym i ymgadw oddiwrthynt. Y mae o'r pwys mwyaf ein bod oll, ac yn enwedig ieuenctyd, yn ymgadw rhagddynt; yn awr y maent hwy yn ffurfio eu cymeriad dros fywyd, ac mae holl ddedwyddwch eu heinioes yn ymddibynu i raddau helaeth ar y cymeriad a ffurfir yn awr. Yn ngwanwyn einioes y cesglir defnyddiau ein gwisg foesol naill ai yn drefnus neu yn annhrefnus.

Y mae pob ymddygiad o'r eiddom yn cario ei ddylanwad naill ai er gwell neu ddrwg ar ein cymeriad. Felly, dylid adnabod y pethau a ddichon fod yn niweidiol, a pha bethau a ddichon fod yn llesol i ni, fel y gallom ymgadw rhag y naill a glynu wrth y lleill. A chan fod "ymddyddanion drwg yn llygru moesau da," dylem ymgadw rhagddynt. Ac er gallu llwyddo i wneyd hyn, rhaid gochelyd cymdeithas ddrwg.

Y mae grym esiampl yn ffaith hunanbrofadwy. Dim ond gwrandaw ar y

plentyn yn ceisio bloesg yngau llwon ar ol clywed ei dad yn eu defnyddio, a argyhoedda bawb ystyriol o wirionedd y ffaith hon. Y mae esiampl yn meddu dylanwad dirfawr yn ffurfiad a dadblygiad cymeriad. Y mae nodau y cylch y trown ynddo, i'w gweled ar ein gweithredoedd. Ni allwn fyw yn hir yn mhlith cymdeithion heb dderbyn rhyw gymaint o'u neillduolion. Gwelwn gan hyny mor niweidiol ydyw cymdeithasu â phersonau o gymeriad annheilwng! Dacw fachgen wedi ei godi yn nghôl teulu rhinweddol, a than lygad tad gwyliadwrus, yn ymadael o'i gartref i chwilio am foddion bywoliaeth mewn tref bellenig; yno mae yn syrthio i mewn i gymdeithas cyfeillion drwg, y rhai a'i hudant yn *raddol* oddiwrth rinwedd at bechod. Cyll hyder ei feistri, teflir ef allan i'r byd, ac yn fuan bydd yn feddwyn, yn gablwr, yn ddyhiryn, yn ysbeiliwr, ac efallai yn llofrudd, ac yn y diwedd dacw yr un ag oedd pan yn fachgen ieuanc gartref, y mwyaf diniwed yn y gymydogaeth, yn cael ei arwain i'r crogbren. Nid yw hyn ond hanes llawer dyn ieuanc yn ymadael a'i gartref, a'r unig ffordd i fod yn ddiogel ydyw ymgadw yn hollol oddiwrth gyfeillion drwg. Y mae perygl i ieuenctyd i fyned hyd yn nod at ddynion drygionus gyda y bwriad o'u diwygio; oblegid er iddynt feddu egwyddorion moesol a chrefyddol, maent eto heb brofiad ac ymarferiad. Cymerer gofal, ynte, pa gymeriad fydd i'n cyfeillion. Os bydd un o honynt yn hoffi drwg-liwio ei gymydogion, yn ymhyfrydu mewn ymddyddanion gwag a ffol, neu yn euog o gymeryd enw Duw yn ofer, ymgadwer ymaith o'i gymdeithas. Cymdeithaswn â'r rhai a rodiant yn llwybr rhinwedd, yna ymgryfhawn mewn moesau da, cedwir ni rhag llithro, blagurwn fel pren ar lan afonydd dyfroedd, ac awn drwy fywyd *yn* bendithio ac yn *cael* ein bendithio. Ac wedi hwylio yn ddiogel drwy holl ystormydd bywyd, cawn gyfeillachu yn dragywydd yn ngwlad y gwynfyd pur, a'r saint, yr angylion sanctaidd, ein Hiachawdwr, ac a'n Duw.

# Barddoniaeth.

## MORDAITH Y CRISTION.

*Wedi clywed am Farwolaeth y Diacon* John W. Rees, *a'i ffyddlonaf Fam,* Esther Rees, Thomas Evans *a'i Briod gwir grefyddol,* John H. Owens, *y Flats,* Evan Owens, *Fairview—yr oll yn aelodau parchus a gweithgar yn Eglwys y Bedyddwyr, yn Freedom, Cattaraugus.*

Y mae'r gwynt a'r *tide* yn ffafriol,
Codi'r angor raid yn awr;
Lledu'r hwyliau, marchog tonau,
Tramwy llwybrau'r moroedd mawr:
E â'r tir cyn hir o'r golwg,
Ar y cefnfor stormydd ddaw;
Minau ymddiriedaf beunydd
Yn yr Hollalluog law.

* * * *

Yn y ddrychin a'r croeswyntoedd,
Weithiau'n methu gwel'd yn glir;
Ond daw boreu ceir arwyddion
O'n dynesiad at y tir.

* * * *

Dacw'r tir yn dod i'r golwg,
Gwelaf fanau'r nefol wlad—
Heirdd lanerchau broydd Gwynfa,
A'm cartref fry yn nhy fy Nhad.

Dacw'r ddinas a'i phyrth dysglaer,
Ei phinaclau ddyrchant draw;
O! 'r olygfa gain, lesmeiriol,
Coedydd ffrwythlawn ar bob llaw;
Tynion 'nawr fo tannau'r hwyliau,
Lledwch hwynt yn nghôl y gwynt—
Dacw'r afon, dacw'r hafan,
Aed y llong drwy'r tonau'n gynt.

Clywch! sain miwsig per y ddinas,
Adsain clychau Salem dref,
Yn ein croesaw tua chartref,
I drigfanau pur y nef;
Dacw lu o engyl nerthol,
Meibion hyna'r Arglwydd Dduw,
A mil-myrdd o blant y tonau,
Ddaeth o'r cystudd mawr yn fyw.

Dacw'r delyn, dacw'r palmwydd,
Gwisgo'r goron mae pob un;
Ni fydd darfod byth rhyfeddu,
Ryfeddodau Mab y dyn:
Yn eu plith caf finau seinio
Glodydd llawn i'r Iesu glân,
Sain Hosana am Galfaria,
Fydd im' byth yn newydd gân.

*Nanticoke.* J. P. HARRIS.

## CYWYDD YR AFON.

Tarddiadau natur ddodwyd
Yn dda i'r lom ddaear lwyd;
I'w hireiddio yn raddol,
I hardd wisg fel y werdd ddol;
A ffrydiau o'r creigiau crog,
Mor addas a mawreddog!
Rhed y nant drwy y pant pur,
O hynoted waith natur!
Dyrwyfus yw'r dêr afon,
Mor fad ei lluniad, a llon,
Ei golwg wrth ymgilio,
Araf red i lawr y fro;
Noddi byd o'r mynydd ban,
Yw ei chynes wech anian;
I'w dwr iachus edrychwn,
Dan wau mae pysgod yn hwn;
Nwyfus a dyfal nofiant
Yn chwim, ac i lechu ânt,
O'n golwg rhag dur y gelyn,
Och! yw prawf y bachau pryn;
Rhai o egni dirwgnach,
A diboen, yw'r pysgod bach.
O! afon dda, dy lyfn ddwr,
Iach adwaen bob sychedwr;
A dawnus yw dy donau,
Tônau rhwydd, wnan't dyner wau;
A mwynaidd iawn emynant
Alaw bêr y dyfrol bant;
A gwelir llanciau gwiwlan,
Gweilch o glod o gylch ei glan;
Y badau ni arbedir,
Rhwyfo wnant i'r afon hir;
A siriol ymbleserant
Wrth eu bodd, uwch disathr bant;
Yn ein gwydd ugeiniau'n gwau
O fudol agerfadau.
O! drefniadol drafnidaeth,
O law Duw, neu o b'le daeth?
Ti, yr afon, wyt ryfedd,
Firain wiw, lawforwyn hedd;
Gweini heb wg na gweniaeth,
Di dwrf yn dirwyn dy daith;
Aflendid a barodd flinder
Nos a dydd i'r ddinas dêr;
A rhawiwyd ffwrdd o'r heol,
Do, i gyd aeth i dy gôl;
Y dref oedd yn fudr o afiach,
A di swyn, yn baradwys iach
O iechydol olchiadau,
I fyrdd a wna'r afon fau.
Fel afon ddwyfol hyfawr,
I fyd yw'r Efengyl fawr;
Camweddau, beiau y byd,
A'i Och afar ylch hefyd;
Byd glân ddaw, er bod ei glwy'
Llwydwawr fel 'n anwelladwy;
Duw Ion all wneyd i enaid
Ddadebru, llamu o'r llaid;
A chael ei olchi eilwaith
Oll yn wyn, a llawn o waith,
I fyw byth yn hyf heb boen,
Yn nheulu yr anwyl Oen.

*Kingston, Pa.* JAMES R. PRICE.

## RHYFEDDODAU PEN CALFARIA.

Peth rhyfedd oedd gweled Gwaredwr
A noddwr pechadur mewn poen;
Peth rhyfedd oedd gweled ein Prynwr
Yn dyodde' mor addfwyn a'r Oen;
Peth rhyfedd oedd clywed Duw anian
Yn datgan ei deimlad fel dyn,
Rhyfeddod ei glywed e'n gruddfan
Wrth farw ar Galfari fryn.

Peth rhyfedd oedd gweled Iachawdwr,
A meddyg a ddichon iachâu,
Mewn ingoedd o herwydd fy nghyflwr,
Nes peri i'w enaid dristâu;
Peth rhyfedd oedd gweled y Duwdod
Yn wylo y dagrau fel dyn;
Mae'r Iesu i gyd yn rhyfeddod
Wrth farw ar Galfari fryn.

Peth rhyfedd oedd clywed y Ffynon,
Lle tarddodd y dyfroedd di-drai,
Yn gofyn i'w greulawn elynion,
Am ddiod pan oedd yn llesghau;
Peth rhyfedd oedd gweled y cyfiawn
Yn myned i'r lladdfa 'n lle'r dyn.
Rhyfeddod oedd gweled yr Uniawn
Yn marw ar Galfari fryn.

Peth rhyfedd oedd gweled y Bywyd
Anfarwol o'i fodd yn ei fedd;
Peth rhyfedd er hyn yr adgyfyd,
Yn Frenin ar fyddin yr hedd;
Peth rhyfedd oedd gweled Agoriad
Ei hunan dan glo yn y glyn;
Mi roddaf i'r Iesu addoliad
Am farw ar Galfari fryn.

Rhyfeddaf am oesoedd diderfyn
Fawr gariad fy Iesu a'i groes;
Rhyfeddod i fydoedd fydd wed'yn
Fod iechyd yn dyfod o'i loes;
Rhyfeddaf os byddaf, bechadur,
O fewn i'w baradwys ryw bryd,
Rhyfeddaf fawr allu'r Gwaredwr,
Iachawdwr a phrynwr y byd.

*Upper Lehigh.* ROBERT THOMAS.

### ENGLYNION,

AR OL Y DR. D. DAVIES, ABERTAWE, GYNT.

Mawr enwog Gymro hunodd,—aur dafod
Doctor Davies ballodd;
Yr hyawdl ddawn a rewodd;
Yn y clai angau a'i cludd. CEFNI.

AR OL Y PARCH. R. A. JONES, ABERTAWE.

Ei delyn lonai ardaloedd,—ei ddawn
Ddenai Gymanfaoedd;
Yn ei swyn, Richard Jones oedd—yn hyfryd
Hudo i fywyd gynulleidfaoedd.

Y tannau ymaith dynwyd—o'i delyn,
Ei dalent ddifuddiwyd;
Ar ol ei fwyneiddiol nwyd,
I wylo, 'r genedl alwyd. CEFNI.

I'R "WAWR."

Giraldus, yn rhagoroldeb—ei WAWR,
A wiria'i ddysgleirdeb;
Cylchgrawn medrus, hwylus, heb
Oer weniaeth ar ei wyneb.

Y fyw WAWR bert, fo i'r byd—yn oleu,
Anwylir yn hyfryd;
Ei safon bob mis hefyd,
Lefaro hwyl fawr o hyd. D. JONES.

### Y GWANWYN.

Fe ganwyd ganwaith gan y beirdd
Am ragoriaethau'r gwanwyn,
Ei awel fwyn a'i flodau heirdd,
A'i feusydd gwyrdd, dilychwyn;
Ond er i'r testyn fod yn hen,
Mae'n orlawn o lawenydd;
Mae'r gwanwyn a'i adfywiol wên
Yn gwneyd pob peth yn newydd.

Caniadau'r adar yn yr ardd,
A pheraroglau'r rhosyn,
Ac Anian yn ei gwisgoedd hardd
Yn dawnsio yn y dyffryn,
Sy'n gyru draw'r ellyllon prudd
Achosir gan ofalon,
Gan adael i oleuni'r dydd
Greu gwanwyn yn y galon.

Pob peth a welir sydd yn dêg,
Pob sain sydd yn beroriaeth,
A phob anadliad sydd yn chweg—
Mae'r oll yn hyfryd odiaeth;
Pa ryfedd yw os cana'r bardd
Wrth i'w synwyrau wledda
Ar ddarpariaethau bron mor hardd
A'r rhai fu gynt gan Adda?

Mae'r eira oer, y gwynt a'r gwlaw,
A 'stormydd gauaf hirfaith,
Yn gwneyd y gwanwyn, pan y daw,
Yn fwy croesawus ganwaith;
A phan êl heibio dymor du
Ystormydd byd a'i dywydd,
Beth am y gwanwyn dysglaer fry?—
Y gwanwyn byth na dderfydd?

*Utica, N. Y.* J. D. MORGAN.

## CYWREINION.

PIGION O BREGETH.

A ganlyn sydd bigion o bregeth gan y diweddar hybarch William Owen, Pittsburgh, a ysgrifenwyd wrth ei wrando yn 1864.

T. EDWARDS.

*Birmingham, Pittsburgh.*

"A phen ar y pethau a ddywedwyd yw hyn: y mae genym y fath Archoffeiriad, yr hwn a eisteddodd ar ddeheulaw gorseddfainc y Mawredd yn y nefoedd."—Heb. 8: 1.

Dyma swm yr hyn a ddywedwyd yn flaenorol. Atebai yr Apostol y cyhuddiad a ddygai y gelynion yn eu herbyn, sef, nad oedd ganddynt fel Cristionogion yr un Archoffeiriad nac aberth. Y mae yr Apostol yn profi fod genym "y fath Archoffeiriad." Gosodwyd Crist yn offeiriad yn ol urdd Melchisedec, ac nid yn ol urdd Aaron. Yr oedd yr offeiriad i fyned i'w swydd yn ddeg-ar-hugain mlwydd oed, ac i roddi ei swydd i fyny yn 50 mlwydd oed; ond am Grist, nid felly; nid oes iddo na dechreu dyddiau na diwedd einioes. Yr oedd yn rhaid i'r offeiriaid Iuddewig aberthu drostynt eu hunain; ond nid oedd angen am i Grist wneyd felly. Ni allai yr offeiriaid ddim ond adgoffa pechod; ond fe roddodd Iesu Grist ei hun yn aberth i ddwyn ymaith bechodau. Yr oedd gwahaniaeth rhwng yr Archoffeiriad a'r offeiriaid, am mai efe oedd i fyned i'r cysegr sancteiddiolaf ar ddydd mawr y cymod. Yno yr oedd y drugareddfa, yn yr hon yr oedd y gyfraith, ac ar yr hon yr oedd arwydd o'r presenoldeb dwyfol. Yr oedd yr aberth i gael ei ddwyn at yr Archoffeiriad, ond cafodd yr anifeiliaid lonydd pan wnaeth Crist roddi ei hunan yn aberth. Fe gyfrifwyd anwiredd yr holl deulu dynol ar Grist pan aberthodd ef ei hun. Efe a derfynodd yr holl aberthau, ac fe ddygodd y bwriadau tragywyddol i weithrediad. Yn awr y mae'n rhaid i chwi ddysgwyl y fendith trwy sianel y gwaed. Efe a gonc'rodd ei holl elynion ar y groes, ac efe a lyncodd angau mewn buddugol-

iaeth. Bendigedig fyddo ei enw ef byth ac yn dragywyddol! Aeth Crist i'r nef trwy ei waed ei hun, gan gael i ni dragywyddol ryddhad. Ai yr Archoffeiriad i mewn, â'r siaced am dano, ac enwau deuddeg llwyth Israel ar ei ddwyfron; ond aeth Crist i'r nef ag enwau tyrfa nas gall neb eu rhifo. Ar ei ben y byddo coranau filoedd. Mae yn awr yn eistedd ar ddeheulaw y Tad, ac yn eiriol am faddeuant i bechaduriaid, fel y gallont ddwyn ffrwyth er ei ogoniant. Mae perygl ofnadwy i Dduw roddi y pechadur i fyny, yna nid oes dim i ddysgwyl ond barn Duw. "Yr hwn a ddirmygai gyfraith Moses a fyddai farw heb drugaredd dan ddau neu dri o dystion; pa faint mwy cospedigaeth, debygech chwi, fydd i'r hwn a ddirmyga Fab Duw, ac a farna yn aflan waed y cyfamod, ac a ddifenwodd Ysbryd y gras?"

Yn awr, mae y Tad yn foddlawn i faddeu er mwyn Crist i ni; a ninau a ddylem faddeu i'n gilydd. Ni ellir cael Duw yn awr yn y cysegr sancteiddiolaf; ond y mae i'w gael yn ei Fab. Dr. Gill a ddywed, nad yw Duw yn cymodi y byd ag ef ei hun, ond y mae Paul yn dyweyd yn wahanol. Efe yw yr Archoffeiriad mawr, ac y mae yn aros yn dragywyddol yn ei swydd. Ar ei ben y byddo y clod byth ac yn dragywyddol. Amen.

---

PETH NEWYDD.

Os oes rhai yn mhlith darllenwyr y WAWR yn debyg i'r Atheniaid gynt, yn hoff o "ddywedyd neu glywed rhyw newydd," bydd yr ohebiaeth a ganlyn, oddiwrth Trebor, yn ddyddorol iddynt.—GOL.

*Barchus Olygydd*—Os ewyllysiwch, rhoddwch gyhoeddusrwydd i'r isodion, ar un o du dalenau y WAWR, a bydded iddynt (fel syniadau) sefyll neu syrthio yn ol eu teilyngdod. Yr eiddoch,

R. C. OWEN, (*Trebor.*)

Dodgeville, Wis.

*Michael yr Archangel.*—"Eithr Michael yr archangel, pan yr oedd efe wrth ymddadleu â diafol, yn ymresymu yn nghylch corff Moses, ni feiddiodd ddwyn barn gabledd arno, eithr efe a ddywedodd, Cerydded yr Arglwydd dydi."—Judas, 9 adn.

"Michael yr Archangel" ydoedd Michael, un o dywysogion penaf teyrnas Persia, yr hwn a ddaeth i gynorthwyo Daniel pan y safodd un o îs dywysogion Persia yn ei erbyn am yr yspaid o un-diwrnod-ar-hugain.—Daniel, 10: 13.

Mae yn debyg mai y diafol y sonir am dano yma yw yr un a Satan a enwir yn Zech. 3: 2, yr hwn yn ddiau a olygir, îs-dywysog teyrnas Persia.

Wrth gorph Moses y golyga'r Apostol, cynulleidfa Moses, y pryd hyny o dan arweiniad Josuah, pa rai oeddent wedi myned i sefyllfa isel a diraddiol iawn yn ngolwg tywysog Persia.—Zech. 3: 2.

Eithr Michael, y tywysog penaf, ni feiddiodd ddwyn barn gabledd ar ei wrthwynebydd, ond a ddywedodd, Cerydded yr Arglwydd dydi.—Judas 9.

Er mor isel a dirmygedig ydoedd corph Moses yn ngolwg tywysog Persia, yr oedd yr Arglwydd drwy ei brophwydi wedi penderfynu eu codi o'r sefyllfa îs-raddol hono, a'u hadnewyddu, a'u gwisgo â newid dillad, a'u hachub megys pentewyn o'r gyneu dân.—Zech. 3: 2, 3, 4; Amos 4: 2.

---

"BARDDAS."

A ydyw "yn dechreu goleuo" ar hen genedl y Cymry? Credwn ei bod. Nid, pa fodd bynag, drwy fod unrhyw feusydd newyddion neillduol yn agoryd iddynt er dadblygu eu hymadferthion, (efallai y daw hyny,) ond yn hytrach ar hyn o bryd drwy fod llwch trwchus rhagfarn ac esgeulusdod yn cael ei ysgubo ymaith oddiar ein hanes fel cenedl. Gwneir hyn mewn rhan gan rai o brif ddynion y genedl, tu yma a thu draw i'r Werydd, yn eu gwaith yn ymddangos ar feusydd llenyddiaeth Seisonig, gan ddatgan yn eofn wir safle y Brythoniaid mewn gwareiddiad a chrefydd. Y mae hyn wedi ei hir esgeuluso gyda ni, tra mae y Scotiaid ac eraill wedi gwneyd eu goreu i ymddyrchafu yn y dull hwn. O'r diwedd mae ein

tro ninau wedi dod, ac ni a hyderwn na ddiffygir yn hyn nes y byddo cyfiawnder a thegwch wedi eu sicrhau i ni ar lechres hanesyddiaeth, ac hyd nes byddo y genedl yn sefyll yn glir o flaen llygaid cenedloedd eraill, yn enwedig y Saeson, yn ei chymeriad a'i bri henafiaethol.

Yn mhlith y rhai diweddaraf o'r ysgrifenwyr hyn cawn ein cydwladwr hyglodus Aneurin Fardd. Yn y rhifyn olaf o'r *International Review*, cyhoeddiad chwe' misol dysgedig ac athronyddol, ymddangosodd erthygl ganddo ef dan y peniad, "Barddas." "Wrth Farddas y meddylir," medd efe, "y gyfundraeth gyntefig o addysgiaeth yn mhlith y Brutaniaid." Nid oedd swydd bardd, fel ei deallir yn awr, yn cynwys ond rhan o elfenau barddas; er hyny cyfrenid y rhan fwyaf o addysgiaeth mewn ffurf odlawg, fel y dull mwyaf cyfaddas i'w argraffu ar y cof. Amcan yr awdwr ydyw "chwalu rhagfarnau cyffredin parthed Derwyddon Prydain, a thaflu goleuni newydd ar Farddas." Y dull a gymerir i wneyd hyn ydyw nodi ffeithiau yn hanes y Cymry i lawr hyd oesau diweddar, gan eu cymharu hwynt â chenedloedd o freintiau uwch, a'u cyferbynu a'r rhai o freintiau cyffelyb. Ni ellir peidio a synu at ddylanwad daionus ac uwchraddol y tystiolaethir i farddas gael ar ein pobl o oes i oes. Yn ngoleuni y ffeithiau a ddygir yn mlaen, dangosir nad oedd yn bosibl i'r Brutaniaid fod yn eilunaddolwyr, i'r hwn bechod yr oedd cenedloedd eraill, ïe, hyd yn nod yr Iuddewon, mor dueddol o syrthio iddo. Mae pob cenedl wedi bod yn addolwyr y sarph, ond nid felly y Cymry, er iddynt ei defnyddio yn arwyddol yn eu defodau. Wrth gymharu y Cymry a'r Iuddewon yn grefyddol, dygir dwy nodwedd gan y naill a'r llall, oeddynt yn dwyn tebygrwydd mawr. Defnyddiai y ddwy genedl *feini* yn nghyflawniad eu defosiynau addoliadol. Yr oedd cysegredigrwydd ac ystyr benodol gan yr Iuddewon i enw y goruchaf Fod, sef Jah neu Jehofah, yr hwn a gyfieithir, "yr hwn wyf a'r hwn sydd i ddyfod." Nid oedd yn gyfreithlon ynganu yr enw o gwbl. Meddai y Cymry Derwydol eu *nod cyfrin*, ac ystyr gyffelyb iddo. Profa hyn safle grefyddol uwchraddol.

Traethir ar y posiblrwydd i'w syniadau am y gwir Dduw a'i addoliad gael eu cadw yn eu plith yn gymharol ddilwgr i lawr o amser y diluw. Fel prawf o'u dysg nodir yr hyn a ddywed Cæsar am bendefigion Gaul yn anfon eu hieuenctyd i Brydain i gwblhau eu dysg.

Dangosir hefyd fod barddas yn meddu dylanwad rhagbarotoawl ar y Cymry i dderbyn Cristionogaeth. Methodd y lluoedd Rhufeinig a'u plygu, ond plygasant i Grist. Yn y chweched ganrif sefydlwyd y Gadair Fedydd, gan feddu ystyr Cristionogol, yr hon ddeilliodd oddiwrth farddas. A chanlynodd yr arwydd-air, "Dae'r maen gyda'r efengyl." Tueddai barddas i gynyrchu arwriaeth, a llochesu cadwraeth yr iaith Gymraeg, a phrofodd y peth diweddaf yn werthfawr iawn drwy beri i'r iaith fod yn gyfrwng rhagorol i drosglwyddo yn gywir feddwl yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Deil y cyfieithiad Cymreig gymhariaeth ag unrhyw gyfieithiad mewn unrhyw iaith. Crybwyllir hefyd na fu y Cymry erioed yn euog o gyneu tân erledigaeth—y Pabyddion a'r Saxoniaid wnaent hyny.

Mae Cristionogion Cymreig wedi bod bob amser yn bleidiol i farddas a'r defodau cenedlaethol, a gellid nodi niferoedd o brif lenorion tair-canrif-arddeg oeddynt yn brif addurniadau yr eglwys. Os yw y pethau hyn yn ffeithiau, nid rhyfedd fod barddas yn codi ei llais megys o'r oesau gynt, gan honi rhan bwysig mewn effeithio gwareiddiad, dyrchafiad cymdeithasol, moesol, a chrefyddol y Cymry.

---

GWEDDILLION WHITEFIELD.

Ysgrifena gohebydd i'r *Examiner and Chronicle*, am ei ymweliad diweddar â Newburyport, Mass., fel hyn:

"Hysbysaf chwi am ddau beth o ddyddordeb sydd yn bodoli yn awr yn yr hen ddinas uchod. Wedi y gwasanaeth prydnawnol aethum i'r "*Old South*," i gael trem ar yr hyn sy'n aros o weddillion corphorol Whitefield. Y

mae yr un capel a chynt yn sefyll eto, ond ei fod wedi ei adgyweirio ryw gymaint. Uwchben y drws mae hyn: "Adeiladwyd 1756." Ychydig latheni oddiwrth yr hen gapel mae ty y gweinidog, yn yr hwn y bu Whitefield farw. Daethai yma ar ddymuniad cyfaill mynwesol iddo, sef y Parch. Jonathan Parsons, y gweinidog. Cyrhaeddodd yno nos Sadwrn, gan ddychwelyd o dref yn New Hampshire lle y buasai yn pregethu yn yr awyr agored, a hithau yn gwlawio. Y canlyniad a fu iddo gael anwyd, dychweliad hen afiechyd, a marwolaeth boreu Sabboth. Yr oedd hwnw yn Sabboth trwm yn Newburyport. Yr oedd yn wybyddus er's amser maith fod Whitefield yn dymuno cael ei gladdu yn y dref hon. Yr oedd wedi pregethu llawer ynddi, ac yr oedd iddo yma lawer o gyfeillion anwyl. Gan hyny cariwyd ei ddymuniad allan, darparwyd bedd, a rhoddwyd corph George Whitefield mewn arch ffawydd plaen.

Mae amser wedi gwneyd ol dirfawr, ond er hyny mae y gweddillion mewn cyflwr o gadwraeth ryfedd eto. Erys yr arch yn gryf a chyfan. Cododd y clochydd cymwynasgar y *trap door* o'r tu cefn i'r pwlpud, gan fy nghyfarwyddo i fyned i lawr. Aethum, gan ddisgyn ar hyd dair o risiau byrion. Yn fuan canfyddwn ddwy arch, un ar fy ne a'r llall ar yr aswy, y rhai oeddynt eirch dau o weinidogion yr "*Old South*;" ac yn groes i'w traed gwelwn arch y pregethwr mawr. Codwyd y cauad ffawydd, tu mewn i'r hon yr oedd yr arysgrifen hon:—"Rev. George Whitefield, Sept. 30, 1770, A. 56."

Ni allwn beidio rhoddi fy llaw ar dalcen y marw, a rhoddi'r ffrwyn i'r cof a'r dychymyg: Tydi, filwr hyf, difrifol, effro, a ymleddaist fel gwron; gorphwys, a bydded i lawer eraill fod yn debyg i'r hyn a fuost ti. Ar draws ei arch yr oedd coffr cul. Mae hanesyn hynod am hwn. Derbyniwyd ef ugain mlynedd yn ol gan ymddiriedolwyr yr "*Old South*," oddiwrth weinidog *Whitefield Chapel*, Tottenham Row, Llundain. Wrth ei agoryd gwelwyd ei fod yn cynwys asgwrn braich. Yr oedd yr eglurhad hwn yn ei ddilyn:—"Yr oedd rhyw un yn Llundain yr hwn ydoedd yn eiddigeddus o Newburyport, ac arno eisiau gweddillion Whitefield i fod yno. A phan ar ymweliad ag America aeth i weled bedd Whitefield, ac heb i'r clochydd sylwi, a gymerodd gydag ef argwrn braich. Yn ddilynol cadwyd ef yn Llundain fel gweddillbeth gwerthfawr, dros amryw flynyddau. Ar newidiad gweinidog, daeth un a chydwybod mwy tyner ganddo i'r *Whitefield Chapel*, a dychwelwyd yr asgwrn."

Yr oedd dipyn yn rhyfedd i'r asgwrn hwn, ar ol croesi y Werydd gynifer o weithiau yn flaenorol i'w farwolaeth, iddo ei chroesi ddwywaith wedi hyny.

## NODION CENADOL.

### Y PAGODA MAWR YN RANGOON, BURMAH.

Mae y llun yr ochr arall i'r ddalen yn cynrychioli Shway Dagong, y Pagoda mawr yn Rangoon, Burmah. Ystyrir hwn y gwrthddrych mwyaf clodforedig o addoliad yn yr holl wledydd eang a unant India a China. Ystyr y gair Pagoda ydyw "ty sanctaidd," neu a chymeryd ystyr wreiddiol y gair, "ty eilun." Fel y rhan luosocaf o Bagodau Bwdwaidd, mae yr un dan sylw yn gyfansoddedig o waith maen-cadarn, o'r gwaelod i'r coryn. Mae yr adeilad hwn yn derbyn ei gysegredigrwydd arbenig oddiwrth y ffaith ei fod yn cynwys yn ei gyntedd mewnol, islaw gwyneb y tir ar yr hwn y saif, weddillion Gandama, y Bwdw diweddaf, ac offerynau personol, neu wisgoedd y tri Bwdiaid blaenorol.

Saif y Pagoda ar fryn, oddiar yr hwn y ceir golwg fanteisiol ar y wlad brydferth amgylchynol. Ei uchder ydyw tri chant ac ugain troedfedd, a maint arwynebedd y tir ar yr hwn y saif ydyw wyth can' troedfedd ysgwâr. Ar yr arwynebedd hwn amgylchynir ef gan lawer o bagodau llai, *zayats*, neu dai gorphwys a thai delwau, yn llawn o ddelwau o wahanol faintioli; y rhai

mwyaf o briddfeini, a'r rhai lleiaf o feini neu fath o fynor. Mae rhai o'r delwau hyn ar sefyll, a'r rhan fwyaf yn y dull arferol o eistedd, gyda y coesau yn ymgroes. Ar yr ochr ddwyreiniol a'r orllewinol, mae dwy gloch anferth yn grogedig oddeutu dwy droedfedd oddiwrth y llawr. Mae y fwyaf wedi ei bwrw gan y brenin Tharamadi yn 1838, ac mae yn ddigon i gynwys o wyth i ddeg o bersonau yn sefyll tu fewn iddi. Nid oes gan y clychau dafodau; defnyddia addolwyr neu ymwelwyr ddernyn o bren neu gorn carw, os dymunant wneyd iddynt swnio.

Mae miloedd o bererinion yn ymweled â Shway Dagong o bob parth o Burmah, ac o dalaethau pellenig Shan. Fel yr agosânt at Rangoon, a chyrhaedd i fan dymunol, lle, er filldiroedd oddiwrthynt, gellir gweled ei dwr dyrchafedig ar unwaith, pa un bynag ai mewn badau neu ar draed, a chyda banllefau o fwynhad cyfodant eu dwylaw at eu talcenau, ac ymostyngant yn addolgar o'i flaen. A phan wrth gyrhaedd y ddinas, ac esgyn y grisiau, y deuir ymaith o dan y to yr hwn a'u gorchuddient yn yr esgynfa, deuant yn ddisymwth i lawn olwg ar yr adeilad gogoneddus. Bydd holl arwyneb yr yr adeilad yn oreuredig yn llewyrchiadau yr haul, a'i binacl yn treiddio'r ffurfafen, maent hwythau yn cael eu taro gan yr ofn a'r edmygedd mwyaf. Yna ymostyngant i lawr lawer gwaith, ac ânt dros amryw weddiau; weithiau cusanant hyd yn nod y llawr ar yr hwn y penliniant. Offrymant eu rhoddion, gan ddysgwyl yn hyderus cael gwobr fawr yn y byd a ddaw.

---

MILIYNAU CHINA.

Tybiwch eich bod ar y dydd cyntaf o'r flwyddyn 1876 yn dechreu cyfrif, a pharhau yn gyson ddydd a nos hyd y dydd cyntaf o'r flwyddyn 1888, neu ddeuddeg mlynedd, ni fyddai i chwi gyfrif bedwar can' miliwn, sef rhifedi poblogaeth China. Byddai iddynt ffurfio, law yn llaw, linell ddigon hir i gyrhaedd hyd y lleuad, neu i amgylchu y ddaear ddeg o weithiau yn y cyhydedd. Yn y boblogaeth hon mae oddeutu 33,000 o farwolaethau bob dydd.

---

PA FODD MAE HYN?

Mae ein brodyr yn yr Hen Wlad yn derbyn ychwanegiadau at eu cyfraniadau arferol at y Genadaeth Dramor, tra mae yr eiddom ni yn y wlad hon yn tueddu i leihau. Yn ngwyneb hyn gofynir, Ond beth yw yr achos o'r gwahaniaeth hwn ar yr adeg bresenol, rhwng rhai o brif gymdeithasau y ddwy wlad? Y mae marweidd-dra masnachol yn cael ei deimlo i ryw raddau yn y ddwy wlad. Mae y trethi yn drymion yn y naill a'r llall. Mae gwaith mawr yn cael ei wneyd gan Gristionogion yn y ddwy, eto mae cynydd y cyfraniadau yn llawer mwy at y cymdeithasau Prydeinig nag at yr eiddom ni. Y mae Duw yn bendithio ein heglwysi. Mae yr ychwanegiad mewn *rhif aelodau* yn yr eglwysi Americanaidd yn fwy nag yn y rhai Prydeinig; ond mae yr ychwanegiad mewn cyfraniadau ddwy waith yn fwy yn y diweddaf nag yn y blaenaf, yn y deg mlynedd diweddaf.

---

BARN SAIS AM Y GENADAETH AMERICANAIDD I BURMAH.

Mr. Marshman, yn ei hanes o Genadaeth Serampore, a ddywed: "Cymerwyd y genadaeth i Burmah i fyny gan gorph o bobl o ymroddiad diflino, y rhai a ddygasant i'r maes cenadol yr holl ymadferthoedd gogoneddus yr hyn sydd wedi gwneyd y Talaethau Unedig yn arbenig mewn hanesyddiaeth. Mae hyn yn sylweddoli yr oll sydd wedi ei ddweyd am orchestion rhamantus Xavier, tra y mae yn arddangosiad ymarferol a sylweddol o egwyddorion Cristionogaeth. Pan wnaeth y cenadon Americanaidd eu hymddangosiad cyntaf yn Serampore, ysgrifenodd Dr. Carey at Mr. Fuller: 'Ychydig sydd genyf i obeithio oddiwrth yr Americaniaid os bydd iddynt aros yn y dwyrain. Mae arferion Americanaidd yn rhy foethus fel rhagbarotoad i fyw yn mhlith anwariaid.' Ond bu Dr. Carey fyw yn ddigon hir i gywiro y farn frysiog ac

anffafriol hon, a chyfnewidiwyd ei ddiffyg ymddiried yn y cenadon Americanaidd, am edmygedd mawr o honynt.

Yn ystod y blynyddoedd a aethant heibio er yr amser yr ysgrifenwyd y sylw yna, y maent wedi rhoddi esiamplau nodedig o hunan-ymwadiad gyda golwg ar eu cysuron personol, y'nghyd a sel ac ymroddiad trylwyr i'r gwaith. Mae yn dod yn fwy eglur bob dydd fod dychweliad y byd paganaidd i ymddibynu cymaint, efallai fwy, ar adnoddau America, y rhai sydd yn eangu yn wastadol gyda chynydd y boblogaeth, ac ar allu ac ymadferthedd sefydlog Prydain."

## COFIANTAU.

### JONAH GRIFFITHS, PARSONS, PA.

Ion. 8, 1876, yn Parsons, Pa., bu farw Jonah Griffiths, yn 48 mlwydd oed, wedi hir ddihoeni o'r darfodedigaeth. Yr oedd yn frodor o Sir Gaerfyrddin, D. C. Yno y ganwyd ef yn 1828; yno y dygwyd ef i fyny yn dyner ac anwyl gan rieni cariadlawn ac hoff o hono. Yr oedd yntau yn meddu ysbryd anturiaethus, a phenderfynodd yn ieuanc y mynai ddyfod yn adnabyddus â'r byd y tu allan i derfynau Sir Gaer; felly symudodd i lofeydd Morganwg, ac ymsefydlodd yn Pendaren, Merthyr. Wedi dyfod yno daeth mater ei enaid a'r byd tragywyddol i bwyso yn drwm ar ei feddwl. Yr oedd Ysbryd yr Arglwydd yn ymwneyd â'i gyflwr, datguddiodd Duw ei Fab iddo, a theimlodd ei fod yn caru yr hwn a fu farw drosto, fel y rhoddes ei hun iddo, i'w wasanaethu weddill ei oes. Bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, gan y diweddar hybarch W. R. Davies, Caersalem, Dowlais, ac ymunodd ag eglwys Elim. Aeth Mr. Davies i ogoniant yn nghwmwl du y colera yn 1848. Yr oedd y brawd hwnw yn un o'r cyfeillion ffyddlonaf a mwyaf digario gwyneb a fugeiliodd braidd Duw, oddiar dyddiau yr apostolion. Dychymygwyf ei weled yn cyfarfod a'r brawd Griffiths hwnt i'r afon, ar ei laniad yr ochr draw, gan ysgwyd llaw, a dyweyd, "Jonah, Jonah, ti gyrhaeddaist gartref yn fuddugoliaethus, drwy ras y Ceidwad mawr; hawddamor, frawd, yr wyf yn cofio dy broffes yn ngwydd llawer o dystion, dy wendid a'th ofnau, ond yr oedd y breichiau tragywyddol yn ddigon nerthol i'th gynal, a'r Ysbryd Hollalluog yn ddigon cryf i'th gario. Dere yn awr at droed yr orsedd i ddiolch."

Gwelodd Jonah lawer ystorm oddiar ei esgyniad o'r dyfroedd i Elim; bu ei ymdaith yn droellog iawn yn nhaith yr anialwch, yn ngwaelod y môr, ac wrth odreu y mynyddoedd tywyllion, tua Mountain Ash, ac ar yr *Atlantic*, tra yn ymfudo i'r America. Gwnaeth ei arosfa yn Ashland, Sir Schuylkill, am rai blynyddau. Mae yno gorlan fechan o anwyliaid Iesu, a theimlodd lawer o ddyddanwch crefyddol yn eu plith; ond mae'r gwynt yn chwythu, y 'storm yn dod, yr angor yn cael ei chodi, a'r pererin yn lledu ei hwyliau tua'r Upper Lehigh, ac oddiyno i Luzerne, Wilkesbarre, a Parsons. Yn yr holl symudiadau ni chollodd ei grefydd, ymafaelai yn addewidion ei Dduw, ac ymdrechai i gyflawni ei ddyledswyddau crefyddol o gariad at y gwaith. Yr oedd gwrthddrych ein coffa yn caru Duw a'i achos, ei obaith yn gadarn, nid mewn dynion, ond yn Nghrist Iesu. Gwelodd ddyddiau blinion, a nosweithiau tywyllion; ond yr oedd angor yr enaid fry, wedi cymeryd gafael y tu fewn i'r llen—ei anadliad olaf yn berffaith ddedwydd; do, bu farw a'r graig o dan ei draed. Aeth Jonah i dangnefedd gan adael gwraig a phlant, perthynasau, ac eglwys Crist, i alaru yn ddwys ar ei ol—colled fawr iddynt hwy, ond elw annhraethol iddo ef. Dangosodd y cyfrinfeydd a'r frawdoliaeth grefyddol barch mawr iddo ar ddydd ei gladdedigaeth. Y Parch. J. P. Harris, Nanticoke, yn gweinyddu ar yr achlysur. Ymwroled ei anwyliaid, gan ymnerthu yn yr Arglwydd eu Duw. Amen.

BRAWD.

JEREMIAH GRIFFITHS, SHENANDOAH, PA.

*Mr. Gol.*—Ymddiriedwyd y cofiant canlynol i mi i'w anfon i'r WAWR. Ni chefais i adnabyddiaeth o'r brawd yn y cnawd, namyn ei weled yn ei arch, a gweini yn ei angladd. Cyfansoddwyd y cofiant gan Mr. Owen Griffiths, mab y diweddar Barch. John Griffiths, Llandduno, yr hwn sydd wedi dychwelyd, er ys rhai misoedd, i wlad ei dadau. Buasai wedi dyfod allan cyn hyn pe buasai misolyn genym fel enwad o Fedyddwyr Cymreig yn y wlad hon; ond erbyn hyn, mae yr eisiau hwnw wedi ei lanw. Dymunaf lwyddiant mawr a hir oes i chwi wasanaethu eich cenedl a'ch enwad. Yr eiddoch yn yr efengyl,

J. T. JONES.

*Shenandoah, Ebrill* 11, 1876.

Nid ydym heb wybod y beiir gan rai, y gwaith o ysgrifenu cofiantau personau anghyhoedd. Ond credwn fod lluaws o engreifftiau i'w cael o bersonau heb fod yn llenwi cylchoedd cyhoeddus; eto eu bywydau a'u cymeriadau yn berarogl yn eu cymydogaeth eu hunain. Pâr eu dylanwad dystaw i annuwioldeb gywilyddio, ac arafu yn eu gwydd; a theimlir fod rhyw gysegredigrwydd yn yr awyr foesol a anadlant, a'u bod yn derbyn nerth eu bywyd o rywle uwchlaw y ddaear. Gan hyny, ystyriwn fod ymadawiad y cyfryw gymeriadau o'r byd hwn, yn rhoddi mantais i'r rhai a adewir ar ol i adolygu eu taith hyd at y glyn.

Yn gyson â'r syniad yna, y mae yn hyfrydwch i ni wneyd cofnodiad byr o fywyd y diweddar frawd Jeremiah Griffiths, Shenandoah City, Pa.

Brodor ydoedd o ardal Cefn Mawr, G. C. Bu yn ddiacon yn eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn Shenandoah, am rai blynyddau cyn ei farwolaeth, yr hon swydd a weinyddodd yn ffyddlon a boddhaol i'r eglwys. Cyfarfyddodd â'i farwolaeth trwy i gareg syrthio arno pan yn dilyn ei orchwyl, Mai 7fed, 1874, yn 35 mlwydd oed. Er iddo gael ei dori i lawr yn nghanol ei ddyddiau, eto yr oedd wedi cyrhaedd rhagoriaethau teilwng o'u hefelychu.

Un peth ydoedd ei hoffder o'r Beibl; edrychai arno fel gair y digelwyddog Dduw; a hoffai ef fel cenadwri rasol y Nef at fyd euog a cholledig. Pan yn ei ddarllen, nid oedd angen iddo ef gael amser i ystyried a rhesymu pa un a oedd yn bosibl i'r hyn a ddarllenai fod yn wirionedd. Na, yr oedd ei fod yn argraffedig yn y Beibl yn ddigon o sicrwydd iddo ef o'i ddilysrwydd. Y mae mwy yn hyn nag a feddylir yn gyffredin; o herwydd pwy all ddarlunio mor boenus yw bod tan ddylanwad ansicrwydd a dyeithrwch mewn perthynas i reol bywyd yn y fuchedd hon, a'r rhagolygon yn y fuchedd ddyfodol? Chwerwa hyny gwpaneidiau aml i Gristion, a phâr iddo ddygn benbleth.

Rhinwedd arall yn ein brawd, a haeddai efelychiad, oedd ei ffyddlondeb gyda'r moddion cyhoeddus ac eglwysig. Lle pwy bynag fyddai wag, byddai ef yn bresenol. Ac nid hyny yn unig, ond byddai bob amser yn barod i wneyd ei ran er budd yr eglwys a chynydd crefydd. Nid peth ail radd oedd crefydd iddo ef; na, yr oedd yn cael y lle blaenaf yn ei serch a'i fyfyrdod. Yr oedd llwyddiant crefydd yn agos at ei galon. Yr oedd ef gydag achos crefydd fel y mae pobl yn gyffredin gyda phethau y byd hwn, yn barod i aberthu cysur ac esmwythyd er llwyddiant yr amcan mewn golwg. Ceir digon yn barod i wneyd aberth er mwyn cyrhaedd amcan personol gyda phethau bydol; ond ychydig yw nifer y rhai sydd yn barod i aberthu er lles eraill a llwyddiant egwyddorion. Dedwydd er hyny yw yr ychydig ag sydd yn gallu myned allan o honynt eu hunain i'r fath raddau nes byddo eu calonau yn cael eu symud gan les y lluaws, a dadblygiad egwyddorion. Tueddir ni i restru ein brawd yn mysg y dosbarth prin yna. Arferai ddyweyd ei bod yn ddyledswydd ar Gristionogion i fyw mewn prinder, os byddai amgylchiadau yn galw, er mwyn cyfranu at achos crefydd. Ac nid dysgu eu dyledswyddau i eraill, a gadael ei hun allan o'r cyfrif y byddai ef; na, dysgu i eraill y byddai ef yr hyn a deimlai yn ddyledswydd orphwysedig arno ei hun.

Peth arall a deilynga ein sylw ydoedd

ei gymeriad fel pen teulu. Fel priod yr oedd yn dyner a gofalus, ac fel tad yn serchog a deniadol. Parodd ei ymadawiad alar chwerw i'w weddw a'i blentyn; o herwydd yr oedd y berthynas deuluaidd yn cael gwneyd defnydd priodol o honi, sef er cysur y naill a'r llall.

Un sylw arall y carem ei wneyd wrth derfynu, yw, fod bywyd crefyddol cyson a dichlynaidd, yn addfedu dyn i fyd ysbrydol a thragywyddol. Cawn enghraifft o hyn yn mywyd gwrthddrych ein cofnodiad. Yr oedd ef, trwy ei gymdeithas fynych a dyfal â'r byd dyfodol, wedi ei ddwyn i gredu nad oedd iddo ond tymor byr i aros ar y ddaear. A diameu fod cael y meddwl wedi ei gymodi â'r byd ysbrydol erbyn y gelwir arnom i ymadael â'r byd hwn, yn werth oes o ymdrech i'w gyrhaedd. Y mae y sail sydd genym i gredu am fynediad diogel y Cristion trwy yr afon, a'i ragolygon dysglaer am ddedwyddwch a llawenydd bythol yr ochr draw, yn rheswm digonol dros anogaeth yr Apostol, sef, "Ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt."

---

MRS. LOUISA ANDREW JONES.

Bu farw y chwaer uchod Ebrill 1, 1876, yn 31 mlwydd oed, yn Johnstown, Pa. Yr oedd yr ymadawedig yn wraig i Azariah Andrew Jones, ac yn ferch i'r diweddar Barch. John Vinton, gweinidog parchus gyda'r Bedyddwyr flynyddau lawer yn ol yn Nghymru, ac a ddaeth drosodd i'r wlad hon ryw 32 o flynyddau yn ol, ac a fu farw yma ryw 26 mlynedd yn ol, pan oedd gwrthddrych ein cofiant ond 5 oed; ond gofalodd Tad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon am danynt. Cafodd eu mam dduwiol fyw i'w codi i fyny yn ofn yr Arglwydd, a'u gweled fel teulu oll yn codi y groes a dilyn Crist. Mae dwy chwaer eto ar ol, ac yn aelodau ffyddlawn gyda'r Bedyddwyr. Mae un yn Johnstown, sef Mrs. James, gwraig Mr. Emanuel James, yr hon sydd yn un o'r gwragedd mwyaf hael at achos Mab Duw.

Yr oedd ein hanwyl chwaer sydd wedi ein gadael wedi proffesu crefydd yn ieuanc, dim ond 13 oed. Bedyddiwyd hi gan y diweddar Barch. Ambrose Williams, yn y fl. 1858. Daliodd ei gafael yn ffyddlawn yn ei Cheidwad hyd ei marw. Gellir dyweyd am dani, "Yr hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth." Yr oedd yn ffyddlon yn yr Ysgol Sul; er fod ganddi dwr o blant bach, yr oedd hi yno, ac yn y cyrddau pregethu a'r cyfeillachau, a'i llais peraidd yn dadseinio trwy yr addoldy wrth ganu mawl i Dduw. Yr oedd ganddi lais hyfryd a swynol—dim ond cael Louisa i'r golwg, nid oedd achos gofalu am y canu. Ychydig fisoedd yn ol clywais hi yn canu y darnyn anwyl hwnw "Blwch Nadolig," nes gwefreiddio pawb o'i chwmpas. Canodd lawer ar y llawr, yn nghanol gofidiau a gorthrymderau. Gweddiodd lawer am i Dduw gymeryd trugaredd ar ei phriod, yr hwn oedd wedi arwain bywyd annuwiol lawn, a chafodd atebiad i'w gweddiau trwy weled ei gwr, fel Saul o Tarsus, wedi ei lorio, ryw ddau fis cyn ei marw. Cafodd ei weled yn cael ei gladdu yn y bedydd, ac O! y llawenydd oedd hyn iddi. Gyda ei bod yn dechreu mwynhau y cysur o gael ei phriod i gyd-addoli â hi, dyma ei Harglwydd yn galw am dani tuag adref, gan adael pump o blant bach heb un fam. Yr oedd wedi rhoddi genedigaeth i blentyn wythnos cyn ei marw, ac yr oedd yn gwella cystal ag y gwelwyd neb erioed yn ein golwg ni, hyd o fewn deg mynyd cyn iddi farw. Yr oedd ei chwaer, Mrs. James, wedi bod gyda hi yn gwneyd pob peth, ag oedd yn eisiau, a hithau yn teimlo yn gysurus; ond gyda bod Mrs. James yn troi ei chefn, dyma alwad ar ei hol, ac erbyn ei bod i mewn yn y ty, dim ond gair neu ddau gafodd ganddi: "O, fy mhlant bach! *Iesu, yr wyt ti yma, dyna ddigon!*" Bu farw yn ddiboen; aeth i wlad lle nad oes neb yn marw o'i mewn; ac heddyw cana yr anthem, "Iddo Ef, yr hwn a'n carodd, ac a'n golchodd, y byddo y gogoniant."

Cafodd gladdedigaeth barchus; dydd Llun, Ebrill 3, daeth torf fawr at y ty,

lle y darllenwyd ac y gweddiwyd gan weinidog yr ——, ac yna canwyd cyn codi'r corph, a chanwyd o'i blaen i'r capel, ac yn y capel darllenodd a gweddiodd y Parch. E. W. Jones, (A.), ac yna cafwyd anerchiad gan Mr. Jones a'r ysgrifenydd; ac o'r capel aed yn orymdaith drefnus i Sand. Dell Cemetery. Wrth y bedd canwyd yr Hen Ganfed, a gweddiodd yr ysgrifenydd. Heddwch i'w llwch hyd foreu mawr y codi. Duw pob gras fyddo yn nodded i'n brawd anwyl yn ei drallod.

D. J. EVANS.

---

WM. E. LEWIS, GARRISON GROVE, WIS.

Bu farw y brawd uchod, Mai 8, 1874, yn 55 ml oed. Ganwyd ef yn mhlwyf Llanfihangel Muallt, Swydd Frycheiniog, D. C. Mab ydoedd i Evan ac Elizabeth Lewis, o'r plwyf soniedig. Cafodd elfenau crefydd Iesu Grist le dwfn yn ei feddwl pan yn ieuanc, drwy fod hyfforddiadau rhinweddol ei rieni yn arwain ei feddwl i'r cyfeiriad hwnw. Bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn Nghrist, gan y Parch. John Jerman, yn ardal Pisgah, ac yr oedd ei fywyd dichlynaidd, yn nghyda'i ymarweddiad addas i'r efengyl yr adeg hono, yn addawol iawn. Yn y flwyddyn 1853, ymfudodd i'r America, a gwnaeth ei gartref yn Dodgeville, Wis. Yn fuan wedi ei ddyfodiad ymunodd ag eglwys y Bedyddwyr Neillduol yn y lle, ac arweiniodd fywyd addas i'w broffes am flynyddau. Priododd gyda chwaer ieuanc o'r un enwad, a buont byw yn gysurus ac yn anrhydeddus i'w proffes nes y bu farw ei wraig rinweddol, yr hon brofedigaeth a effeithiodd yn dra dwys ar ei feddwl, a'r canlyniad fu iddo gael ei lethu gan ormod tristwch, nes oeri yn ei sêl a'i brofiad crefyddol, a myned i dir pell ac annymunol, hyd yn nod i'w deimladau ef ei hun. Yn y cyfnod trallodus hwn o'i fywyd priododd yr ail waith, gyda menyw o genedl ac iaith wahanol iddo ef; ïe, mewn gair, perffaith wahanol iddo ef, mewn teimlad, profiad a dylanwad; anghydfod yn creu anghysur iddynt, a'r anghysur hwnw yn esgor ar boenau a gofidiau parhaus. Yn yr ymuniad dan sylw y gwelwyd "ieuo yn anghydmarus" yn ei erchylldra eithafol. Gofidiodd y brawd Lewis gymaint, nes y llethwyd ef gan ormod tristwch, a'r tristwch hwnw yn gweithio angau yn ei gyfansoddiad cadarn. Gwreiddiodd afiechyd yn ffynonell ei fywyd, fel ag yr oedd beunydd yn marw. Ond, yn nghanol ei holl drallodion, cafodd y fraint o gael tueddu ei feddwl i ymofyn am dy ei Dad, a derbyniwyd ef yn unfrydol gan yr eglwys ar ei edifeirwch. Ie, "o'r dyfnder y llefodd ar yr Arglwydd, ac efe a'i clybu ac a'i gwrandawodd;" a chredir genym ei fod wedi profi blas maddeuant o'i holl gamweddau. Ymwelodd y Parch. T. Holland ag ef amryw weithiau tra y bu yn gorwedd yn gystuddiol, a chafodd foddlonrwydd llawn (yn ol ei dystiolaeth) o'i ddiogelwch yn Nghrist, am ei fod yn ymddiried ac yn ymorphwys yn gwbl ar iawnol aberth y groes am ei gymeradwyaeth ger bron Duw, barnwr pawb oll. Yn y modd hwn bu farw y brawd yn dawel, a chladdwyd yr hyn oedd farwol yn mynwent Dodgeville. Gweinyddwyd yn grefyddol yn y ty, ac ar lan y bedd, gan yr Henuriad S. Phillips (A.), T. Holland, ac M. Evans, (B.) TREBOR.

---

TEIMLAD GOFIDUS EI NAI.

Pwy draetha 'nawr fy hiraeth,
  Pwy rydd im' gysur llon?
Oes dim yn ngwedd naturiaeth
  Rydd heddwch tan fy mron?
Bu farw f' anwyl ewythr,
  Cwynfanus yw fy llef;
Tu yma i drag'wyddoldeb
  Ni chaf ei gwmni ef.

Fy meddwl fu yn crwydro,
  Gan wylio am yr awr
Cawn gwmni f'ewyrth tirion
  I'm lloni ar y llawr;
Ond siomwyd fy nymuniad
  Ei gorph sydd yn y bedd,
A'i ysbryd yn mharadwys,
  Uwchlaw pob ing a chledd.

*Ei Nai*, THOS. BOWEN.

---

—Megys y gwelir goleuni trwy agoriadau bychain, felly trwy weithredoedd ymarferol dyn y gwelir ei wir gymeriad.

## HANESION CARTRFOL.

CWRDD CHWARTER MINERSVILLE, PA.

Ebrill 1af a'r 2il, cynaliwyd yma gyfarfod chwarter perthynol i Ddosbarth Isaf Cymanfa y Bedyddwyr yn nwyreinbarth Pa. Am 2, y dydd cyntaf, cafwyd cyfeillach a chynadledd—y Parch. J. T. Jones yn Llywydd, a'r Parch. D. S. Thomas yn Ysgrifenydd. Ymdriniwyd ag amryw faterion buddiol, mewn modd deallus ac adeiladol gan yr amrywiol frodyr, a hyderir y bydd dylanwadau daionus yn dilyn. Yn y gynadledd, *Penderfynwyd,*

1. Ein bod yn derbyn y Parch. J. R. Jones, Minersville, yn aelod o'r cwrdd hwn ar sail llythyr o gymeradwyaeth iddo o Gwrdd Chwarterol Dosbarth Isaf Cymanfa Bedyddwyr Ohio.

2. Ein bod yn cydymdeimlo â'n hybarch dad yn yr efengyl, y Parch. W. Morgans, Pottsville, yn ei drallod trwy golli ei anwyl briod, ac hefyd o herwydd ei waeledd corphorol presenol. Dymunem i'r eglwysi weddio drosto ar iddo gael dyddanwch yr iachawdwriaeth yn y byd hwn, a mynediad helaeth i orphwysfa y saint yn y diwedd.

3. Ein bod yn teimlo mawr angen am gynal y Cwrdd Chwarterol yn fwy cyson (o ran amser) o hyn allan. Gellir gwneyd y cwrdd yn fendith fawr i'r eglwysi, trwy ddyfod i agosach adnabyddiaeth o'n gilydd. Yr hyn yw cyfeillach i eglwys, gall y cwrdd hwn fod i'r holl eglwysi. Hefyd y mae genym faes eang, ag eisiau ei wrteithio. Dylem ystyried angenion y maes—pa beth a ddylai fod, a pha beth ellir gael er lles a chynydd yr enwad yn y cylch. Bydd y pethau hyn, &c., yn dyfod i sylw y cyfarfod nesaf. Gan hyny carem i'r eglwysi oll ystyried hyn, gweithio dros y cwrdd, &c. Hefyd, os bydd rhyw eglwys neillduol am gael y cyfarfod nesaf, bydded i'r cyfryw anfon at swyddogion y cwrdd hwn—*yr ymgeisydd cyntaf i gael y cwrdd.*

4. Ein bod yn teimlo yn ddiolchgar i'r Parch. O. Griffiths, Utica, am anturio i ddwyn allan y WAWR, cyhoeddiad misol i'n henwad. Dymunem ar yr holl eglwysi wneyd eu goreu mewn tanysgrifio a gohebu i'r WAWR.

5. Fod y swyddogion i anfon at yr eglwysi i alw eu sylw yn neillduol at Pen. 3.

6. Fod gweithrediadau y cyfarfod hwn i'w hanfon i'r *Drych, y Faner,* a'r WAWR.

Pregethwyd yn y moddion cyhoeddus gan y Parchn. W. D. Thomas, Mahanoy; J. T. Jones, Shenandoah; D. S. Thomas, Ashton; a'r hybarch dad W. Morgans, Pottsville. Yr oedd y brodyr Morton, Upper Lehigh; a Roberts, Ashland, wedi methu bod yn bresenol. Yr oedd llawer yn teimlo yn siomedig, o herwydd absenoldeb Mr. Morton yn enwedig. Cawsom gyfarfodydd lluosog, a gwenau Duw arnom, a dychwelodd pawb adref yn cydnabod caredigrwydd pobl dda Minersville.—*D. S. Thomas, Ysg.*

CHURCH HILL, O.

Cafwyd cyfarfod dyddorol iawn yma brydnawn Sabboth Ebrill 2,—Ysgol Sabbothol y Bedyddwyr am y tro cyntaf yn cynal cyfarfod tri-misol. Treuliwyd prydnawn difyr ac aeiladol, mewn adrodd, canu, ac areithio. Tystiai pawb fod y plant wedi gwneyd eu rhan yn gampus. Cawsom anerchiadau barddonol gan y ffraethbert Tom Ap Davies, a'r englynwr penigamp Isaac Morris (Gweryddon). Ychwanegwyd at ddyddordeb y cwrdd hefyd gan y côr bach, lleisiau y rhai oeddynt yn dra swynol. Mae cynydd y côr bach i'w weled yn amlwg, mewn rhif a dysg. Y mae ein cyfaill James Williams yn deilwng o ganmoliaeth uchel am ei ymdrech i ddysgu'r plant. Cafodd James a'i gôr air da yn nghyfarfod blynyddol Girard. Mae'r Ysgol Sabbothol yma yn gwisgo agwedd lewyrchus. Rhif a llafur ein hysgol am y tri mis diweddaf sydd fel y canlyn:

Ysgolheigion (ar gyfartaledd), 89; athrawon 12; 1,327 o adnodau, ac un Salm.

Dyma'r cyfarfod cyntaf o'r natur hwn yn Church Hill, mewn cysylltiad a'r Ysgol Sabbothol, ond credwyf y

bydd yn rhaid ei gael bob tri mis ar ol hyn.—*Un a Fagwyd ar ei Bron.*

---

MORGANS, POTTSVILLE, WEDI MARW.

Terfynodd ein hanwyl dad, Morgans, Pottsville, ei yrfa ddaearol ar y 25ain o'r mis diweddaf. Anrhydeddwyd ei angladd gan dyrfa fawr o'i gyfeillion. Bydd ychwaneg o'i hanes yn ein nesaf.

---

BEDYDDIADAU.

Yn Minersville, gan y Parch. John R. Jones, gweinidog y lle, Mawrth 19, bedyddiwyd 11, a bedyddiodd 8 yn Pottsville, dros yr hybarch dad William Morgan.

Yn Hyde Park, Ebrill 13, bedyddiwyd 5 gan y Parch. Benj. Thomas. Adferwyd 4. Mae yr eglwys mewn agwedd lewyrchus, ac ychwanegiadau trwy fedydd yn cael eu gwneyd yn barhaus.—*Thos. Hopkin.*

Yn Nanticoke, Pa., Sul, Ebrill 16, am 2 y prydnawn, ymgasglodd tyrfa luosog at lan y dwfr i weled gweinyddiad yr ordinhad o fedydd. Gofynwyd am fendith yr Arglwydd gan y brawd Isaac Williams; ac ar ol sylwadau pwrpasol gan y Parch. J. P. Harris, yna efe a aeth i waered i'r dwfr, yn cael ei ganlyn gan saith o wyr ienanc, y rhai a gladdwyd yn y dyfrllyd fedd, yn ol arch ac esiampl Iesu mawr. Golygfa oedd hon a barodd i'r nefoedd agor, a chalonau dysgyblion Crist lawenychu. Mae eraill yn dysgwyl yr un fraint. Mae gweinidogaeth y brawd Harris wedi bod yn llwyddianus iawn yn y lle hwn. Boed iechyd iddo a hir ddyddiau, i lafurio yn ngwinllan ei Arglwydd.—*W. G.*

Yn Jermyn, Pa., gan y Parch. John J. Morris, gweinidog y lle, Awst 22, 1875, un; Tach. 21, 1875, un; Ebrill 2, 1876, un.—*Sami ap Shon.*

Ebrill 9, yn Parsons, Pa., bedyddiwyd 6 yma gan y Parch. Rhoslyn Davies, Taylorville, ar broffes o'u ffydd yn Nghrist, a derbyniwyd dau o'r tir pell.

Ebrill 16, cawsom yr hyfrydwch o weled ein parchus weinidog, y Parch. D. J. Evans, yn bedyddio 4 o bersonau; ychwanegwyd 5 at yr eglwys y Sul hwn. Mae agwedd ddymunol ar yr achos, yr eglwys a'r gweinidog yn cydweithredu, a Duw yn arddel eu llafur. —*Un o'r Brodyr.*

Bedyddiwyd yn eglwys Gymreig Chatham St., Mawrth 19, 5; adferwyd 2; Ebrill 16, bedyddiwyd 3; derbyniwyd trwy lythyr 1. Bedyddiwyd ac adferwyd amryw eraill yn flaenorol, yn ystod y flwyddyn hon. Mae golwg adfywiol ar yr achos yn ein plith, ac y mae ychwaneg eto o flaen yr eglwys.— *Pittsburgh.* D. D. D.

---

PRIODWYD.

Yn ardal Dawn, Mo., Mawrth 23ain, 1876, yn nhy y briodasferch, gan y Parch. R. Hughes, William E. Davies a Sarah J. Tudor, y ddau yn aelodau o eglwys y Bedyddwyr yn y lle hwn.

William Davies, ddewis ddyn,
A Sarah Tudor, fwyndeg fun,
Trwy lân briodas wnaed yn un,
Dros weddill dyddiau'u hoes;
Boed iddynt ffyniant llwyddiant llawn,
Trwy'u hoes i fyw'n gysurus iawn,
Yn mhob rhinweddol ddynol iawn,
Heb unrhyw haint na chroes.

THOS. LEWIS.

O. Y. Yr ydym ni yma yn ein llawn drafferth yn nghylch adeiladu ty addoliad. Dysgwyliwn hefyd weinidog i ddyfod atom cyn pen wythnos. Cewch wybod ein helynt eto ar fyr wedi i'r "Wawr" dori allan. T. L.

Yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Richard R. Owens a Mrs. Elizabeth Owens.

Yn Taylorville, Mawrth 14, 1876, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. David Griffiths a Miss Mary Thomas, y ddau o Taylorville.

Ebrill 5, 1876, gan y Parch. Morris Williams, Mr. Elias R. Jones a Miss Ellen Williams, y ddau o Steuben, N.Y.

Chwef. 19, 1876, gan y Parch. M. J. Williams, John T. Williams, Steuben, ac Elizabeth Pugh, Remsen, N. Y.

Yn Nanticoke, Pa., Mawrth 25, 1876, yn nhy Evan R. Jones, Ysw., tad y briodasferch, gan y Parch. J. P. Harris, David Howells a Sarah Jane Jones, oll o'r lle uchod.

## GAIR O GYMRU.

Henffych well i ti, O Giraldus! boed i ti dderbyn y cyfarchiad hwn oddiwrth hen gyfaill, fel arwydd o ewyllys da a dymuniad calon am dy lwyddiant yn dy gadair olygyddol. Gyda llawenydd mawr deallais fod y "*Wawr*" ar dori ar Fedyddwyr Cymreig America. Yn ystod fy adnabyddiaeth i â'm brodyr yn America, yr oeddynt, neu o'r hyn lleiaf yr oedd llawer o honynt dan dywyniad y *Seren Orllewinol*, yr hon a gyfodai yn fisol, er nad yn hollol brydlawn, fe allai, o Pottsville, ac a roddai ddigon o oleuni i wneyd y tywyllwch yn ganfyddadwy. Yr oedd llawer o feio ar y *Seren*, ond yr oedd yn dda ei chael er hyny; mae yn haws beio na gwneyd yn well. Fe wnaeth Richard Edwards, o Pottsville, (boed parch i'w enw, a bendith a; ei hiliogaeth,) fwy nag a wnaeth neb arall erioed i Fedyddwyr Cymreig America yn yr ystyr hon, ac hefyd, fe allai, a wnaeth lawn gystal ag y gallasai neb byw wneyd o dan yr amgylchiadau; canys dealler mai efe ei hun oedd yn gwneyd y *Seren* yn gwbl oll. Efe oedd yn casglu yr ysgrifau, yn golygu, yn cysodi, yn darllen y prawf-leni, yn cywiro, yn argraffu, yn rhwymo y sypynau, yn eu cyfarwyddo i'r dosbarthwyr, ac—yn derbyn yr holl fai am y cwbl! Ond mewn gwirionedd, ni wn i pwy fuasai yn medru gwneyd yn well, ac am gynifer o flynyddoedd. Yr wyf yn deall i gynyg neu ddau gael eu gwneyd gan frodyr eraill llai eu profiad, a dweyd y lleiaf, ar ol i Richard Edwards ei rhoi fyny, ond mai yn eu herbyn y mynai yr olwyn droi. Ond hyderaf fod amser gwell ar wawrio, ac y cwyd yr haul yn uwch i'r lan. Pa fodd bynag, rhaid i mi beidio ymlwybro yn mhellach yn y cyfeiriad hwn, gan nad gweddus i'r "Gair o Gymru" fod yn hollol am bethau America, er na wn i yn iawn ar beth i ddechreu, os na ddywedaf air ar

*Gylchgronau Bedyddwyr Cymru.*—Nid oes gan y Bedyddwyr yn awr ond tri chylchgrawn—dau fisol yn y Gogledd, y *Greal* a'r *Athraw*, ac un wythnosol yn y De, *Seren Cymru*, y rhai ydynt yn gwneyd eu goreu i geisio byw yn ffafr yr enwad; ac mae y tri hyn wedi dangos rhyw wydn ymlyniad rhyfedd wrth fywyd, gan eu bod rywsut neu gilydd wedi llwyddo i fyw lle mae llawer wedi marw. Dywedir bod un o honynt—y *Greal*—yn gwella ei afael, a bod Gogledd a De yn teimlo mwy o ddyddordeb ynddo nag erioed. Yr oedd dau neu dri eraill ar y maes hyd yn ddiweddar—y *Gwyliedydd*, yr hwn wedi hyny a drodd yn *Wyliwr*, ac yn ddiweddaf oll yn *Ffenestr*—dyma i chwi draws-fodolaeth—a'r *Medelwr Ieuanc*, (coffa da am dano); ond maent wedi tynu eu traed atynt er's tro bellach, a'u lle ni edwyn ddim o honynt mwy. Fe fu cryn ddarogan tua diwedd y flwyddyn ddiweddaf a dechreu hon, bod torf o gyhoeddiadau eraill yn dyfod i'r maes—dau o honynt i ddyfod allan o Gaerfyrddin, ac un o'r Casnewydd yn Ngwent; ond ofnwyd, mae yn debyg, fod yr awel yn rhy oer i rai gweiniaid a llymrig felly ddechreu byw; ac felly arbedwyd iddynt y drafferth o farw.

Ymddengys fod dau rwystr neillduol ar y ffordd i gyhoeddiadau enwadol i ffynu yn mhlith y Cymry, yn enwedig y Bedyddwyr Cymreig, a dichon bod y ddau rwystr hyny yn perthyn i'w gilydd fel achos ac effaith. Un yw, fod ein cyhoeddiadau braidd i gyd yn dygwydd cael eu geni ar y plwyf, ac heb ddim o'u blaen ond byw ar elusen, fel plant llwyn a pherth, neu farw; a'r effaith o hyny yw—a hwn yw y rhwystr arall—ei bod yn fwy na gorchest iddynt braidd byth i allu ymunioni yn daclus, fel ag i gael eu hystyried yn ddim amgen na chardotwyr—dosbarth mwyaf poenus ac anniolchgar yr oes yn y wlad hon. Unwaith yr enillo misolyn neu newyddiadur y cymeriad o fod yn dylawd, deg i un iddo byth allu ei newid.

Dyna *Seren Cymru* yn engraifft. "Mae y *Seren* yn beth tlawd!" yw y gân gyntaf a glywais i am dani er's mwy na phymtheg mlynedd yn ol, ac mae'r un gân yn para hyd heddyw. Pan y dygwydda, yn awr ac eilwaith ragori arni ei hun, a bod lawn cystal a rhyw bapyr ceiniog arall, ni chaiff y *Seren* gredyd am hyny, gan ei bod ar hyd y blynyddoedd wedi cwbl uniaethu ei hun â thlodi yn meddwi y bobl. Ond er hyny, derbynir hi yn ffyddlawn gan lawer "er mwyn yr enwad," fel y dywedir, er na roir iddi ddigon o dderbyniad iddi allu ymloewi nemawr ddim, ac ni ychwanega hithau un cufydd at ei faintioli, er hawlio derbyniad.

Beiïr llawer ar y Bedyddwyr am beidio cefnogi llenyddiaeth yr enwad, ond tra byddo llenyddiaeth *enwadol* a llenyddiaeth *elusenol* yn bethau hollol gyfystyr yn mhrofiad y darllenydd—tra byddo ein cyhoeddiadau enwadol yn ymddibynu ar unrhyw beth a ddaw trwy ddamwain i'w colofnau, ac yn para i gael eu llenwi gan ysgrifenwyr difedr, er cael yr hyfrydwch o weled eu henwau mewn *print,* fe ellir beio y Bedyddwyr am beidio eu cefnogi, ond y mae yn fwy na thebyg y gwelir llawer tro ar y byd cyn i'r bai gael ei wella. "Os clera, clera!" ys dywedai gwyr Rishca; ac os elusen, elusen; ond gwaith poenus yw i neb gael ei orfodi i gynal tlodion am y rheswm fod y tlodion hyny yn dewis honi eu bod yn berthynasau iddo. Os na fedr cyhoeddiad enwadol weithio ei ffordd trwy nerth ei dalent, a chreu teimlad o'i angen ar y bobl, efe a ddylai farw o farwolaeth cyhoeddiadau diniwaid. Yr wyf yn hyderu pethau gwell am y WAWR, er fy mod yn dywedyd fel hyn. Y ddau beth sydd yn ymgystadlu am ffafr y Bedyddwyr y dyddiau hyn yw,

*Tysteb y Dr. Thomas ac Ysgoloriaeth Gymreig Cynddelw.*—Gresyn fod y ddau achos da hyn ar y maes ar unwaith, gan fod perygl i'r naill niweidio'r llall. Ond mae achosion o'r fath yn dygwydd mor fynych, fel mai gorchwyl anhawdd fyddai cael y maes yn wag, pe dysgwylid am flynyddoedd. Cychwynwyd tysteb y Doctor er's cryn amser; ond er iddi gael ei chymeryd 'i fyny mewn lleoedd uchel, lled araf y mae wedi cerdded hyd yn hyn. Ond bwriedir gwneyd rhywbeth yn effeithiol tua dechreu yr haf. Mae y Doctor wedi cadw ysgol meibion y prophwydi am ddeugain mlynedd, ac yn ystod yr amser hwnw wedi troi allan ryw dyrfa fawr o'r llaw-weithfa; ac oddieithr bod yr holl dorf hono wedi llwyr anghofio'r groth a'u hymddyg a'r fron a roddodd sugn iddynt, dysgwylir na bydd yn orchwyl anhawdd codi gwystl o filoedd o bunau er cadw pen yr athraw i fyny yn ei henaint.

Yn ddiweddar y cychwynwyd Ysgoloriaeth Gymreig Cynddelw, ac er nad yw y mudiad eto ond megys dechreu cerdded, y mae ynddo arwyddion sicr o iechyd a llwyddiant. Canfyddir mâi y meddylddrych mwyaf mawrfrydig a gwladgarol ydyw bytholi efrydiaeth y Gymraeg mewn cysylltiad a choffadwriaeth Cynddelw. Y Gymraeg, un o gangen-ieithoedd hynaf y byd—yr iaith yr ymffrostiwyd cymaint ynddi, ac yr ymladdwyd cymaint drosti ar hyd yr oesoedd—yr iaith ag sydd y dydd heddyw yn iaith addoliad dwy filiwn o eneidiau, ond heb un sefydliad i'w dysgu ond yr Ysgol Sabbothol—yr iaith ag sydd a'i thrysorau cuddiedig a'i gwreiddiau Celtaidd yn hudo ysgolheigion Ewropaidd i'w hefrydu, ac yn debyg o ddyfod ar fyrder i uwch bri nag y bu erioed. Ac efrydu hon a'i llenyddiaeth yn Mhrif-ysgol y genedl, ac mewn cysylltiad a Choffadwriaeth Cynddelw, y Cymro mwyaf Cymreig o ran ei anianawd, ei arabedd, ei wybodaeth, a'i athrylith a welodd neb sydd yn awr yn fyw. Onid yw y meddylddrych yn un bendigedig, ac yn ddigon i wneyd i galon unrhyw Gymro i lamu yn Gymreig.

Ond rhaid i mi derfynu yn y fan hon, gan wir ddymuno llwyddiant i'r WAWR, ac hir oes ac iechyd i'w golygydd.

J. SPINTHER JAMES.

*Llandudno, Mawrth* 29, 1876.

---

—Gweithredoedd da ydynt *effeithiau,* ac nid *achos,* cariad Duw.

## PERSONOL.

Pan oedd y Parch. Morris J. Williams, Remsen, unwaith wedi bod yn dyoddef yn fawr oddiwrth yr *erysipelas*, yr hwn afiechyd oedd wedi gadael effeithiau echrydus ar ei ben a'i wyneb, ac yntau o'r diwedd yn dechreu gwellhau, ac yn sylwi y cyfnewidiad hyllig a wnaed arno, a gyfansoddodd yr englynion canlynol:

Ow! benfoel hen fab anfad—hagr ydwyf,
Greadur amddifad;
Dygaf greithiau briwiau brad
Yr athrist chwerw ruthriad.

Fy mhen a fu am enyd—yn nychu
Yn achos poen tanllyd;
Och, wedd gas, yn chwydd i gyd,
Ac anferth benglog ynfyd.

—Deallwn nad yw y brawd selog Theodore Ellison, Attica, yn teimlo yn agos i gartrefol gyda y brodyr y Saeson, ond rheidrwydd ydyw arno. Mewn llythyr atom yn ddiweddar, ysgrifena fel hyn: "Rhyw ychydig iawn o faeth ac adeiladaeth meddwl wyf yn ei gael gyda y Saeson yma. Mae y borfa yn fer iawn—rhywbeth i gadw un rhag llwgu."

—Tua chanol y mis diweddaf, bu y brawd hoff, Mr. Cadwalader Richards, New York, a'i briod, ar ymweliad ag Utica a'r gymydogaeth. Yr oeddynt wedi dod er bod yn bresenol mewn angladd perthynas. Ar y Sabboth, y 15fed, ac ar y nos Fawrth ganlynol, rhoddodd ei bresenoldeb yn yr hen eglwys Gymreig yn Broadway, a chafwyd anerchiadau dyddorol ganddo. Yr oedd ei sylwadau yn y gyfeillach, nos Fawrth, yn hynod bwrpasol. Yr oedd pawb wrth eu bodd yn gwrando. Da genym ei weled ef a'i anwyl briod yn parhau i edrych mor dda.

—Un o'r Cymry mwyaf twymngalon yn Boston yw Edward Jones, Ysw. Y weithred wladgarol ddiweddaf o'i eiddo yw dwyn allan ar ei gost ei hun, i'w rhanu yn mysg ei gyfeillion ac eraill, nifer o gardiau, yn mesur 10½ wrth 9½ o fodfeddi, ac yn argraffedig arnynt, mewn llythyrenau lliwiedig, enwau disgynyddion Cymreig a hynodasant eu hunain yn nechreuad y Weriniaeth hon. Fel y canlyn:

DUW A RHYDDID.

*Dr. West gives the Signers of the Declaration of Independence of Welsh birth or extraction, as follows:*

Samuel Adams, William Williams, Lewis Morris, Geo. Clymer, B. Gwinnett, born in Wales, Richard H. Lee, John Adams, William Lloyd, Francis Hopkinson, John Penn, Thomas Jefferson, Francis L. Lee, Stephen Hopkins, Francis Lewis, Robert Morris, Arthur Middleton, Benjamin Harrison.

*Among the Officers in the Revolution, we find the following names:*

Anthony Wayne, John Cadwalader, Thomas Marshall, Charles Lee, James Williams, Ethan Allen, Daniel Morgan, Henry Lee.

*Presidents of Welsh Origin:*

John Adams, Thomas Jefferson, Jas. Madison, James Munroe, J. Q. Adams, Wm. H. Harrison, James Buchanan.—*O'r Drych.*

—Cafodd y frawdoliaeth yn Wilkesbarre ar ddeall, ychydig o ddyddiau yn ol, fod y brawd Morris, diweddar weinidog y Bedyddwyr yn Hyde Park, yn teimlo yn hiraethus am America, ac maent hwythau mewn, canlyniad, wedi anfon ato, gan ei anog i ddyfod drosodd i'w gwasanaethu hwy.

## AMRYWIAETHAU.

SENEDD-DY OWAIN GLYNDWR YN DOLGELLAU.

*Mr. Gol.*—Gan mai y *wawr* yw yr unig gyfrwng a fedd anian er goleuo lleni y nos, felly fe allai na fydd y llewyrchiadau henafol canlynol ar ein harwr, sef Owain Glyndwr, a'i senedd-dy yn Dolgellau, yn annerbyniol gan wyr llen y WAWR, ar ei hymddangosiad dysgleirwych. Ceir hanes am yr hen senedd-dy yma er y flwyddyn 1404; faint cyn hyny nid yw yn wybyddus; fe allai ei fod yn hen adeilad y pryd hwnw. Yn y flwyddyn 1404 y cynaliodd Owain Glyndwr ei senedd yno, a gwnaed cyngrair ymosodol a diffynol rhwng

cangellydd Gruffydd Younge, Archddeon Meirionydd, a Syr John Hanman, yn llysgenadwyr drosto i Paris. Arwyddodd eu papyrau yn yr hen senedd-dy hwn ar y 10fed o Fai, yn mha rai yr ymgyfenwai yn "Dywysog Cymru." Saif yr hen senedd-dy, neu fel ei gelwir yn fwyaf cyffredin, Plas-yn-dref, wrth ochr y *post office*, ac y mae porth neu *entry*, fel ei gelwir, a drws o bob pen iddi, ac yn yr *entry* yr elir i mewn iddo. Mae o bob tu i'r *entry* ddrysau mawrion a duon o goed derw cadarn, yn edrych fel pe byddent heb eu hagor er ys oesoedd. Bûm flwyddyn yn ol ynddo, ac wrth edrych ar y drysau hyn, yn dychymygu eu bod wedi eu cloi i fyny gan henafiaeth Gymruaidd, yn gofadail gwrhydrol y cyn-oesoedd o hen arfogaeth gysegredig rhag difancoll, i'r oesau i ddod. Drwy yr *entry* hon yr eir i gwrt Plas-yn-dref. Mae ei ffenestri yn aml, a'u *frames* o goed derw preiffion, yn edrych mor gadarn heddyw ag oeddynt bum' can' mlynedd yn ol. Mae ynddo ystafelloedd lawer. Dywedwyd wrthyf mai yr ystafell sydd a grisiau ceryg i fyned iddi, ag sydd yn y cwrt, ydyw yr ystafell seneddol. Yr oedd llawer o'r ystafelloedd uwchben â llawr pridd iddynt, ond yn awr y mae llawer o honynt wedi eu llorio â choed. Yn un o drefydd mawrion Lloegr yr oedd darlun o hono, paentiedig, ac arno, "*On View, Price 40 guineas. The Old Parliament House of Owain Glyndwr, 1400. By Sykes.*" Ei berchenog yn awr ydyw William Griffiths, Ysw., Glyn Malden.

*Utica.* DIDYMUS.

---

YSGOLION SABBOTHOL Y BEDYDDWYR A'R DATHLIAD CANMLWYDDOL.

Mae dynion doeth a da yn yr enwad Bedyddiedig wedi cynllunio ffordd i'r Ysgolion Sabbothol ac aelodau i ddathlu y flwyddyn ganmlwyddol—ffordd a wna i *gofgolofn aros am oesau i ddod.* Bwriedir gwaddoli ein hathrofeydd, ein colegau, a'n prif-ysgolion duwinyddol, i wneyd ysgolion o'r fath oreu, i ba rai gall ein bechgyn a'n genethed fyned i gwblhau eu haddysgiaeth; a rhoddir i bawb, hyd yn nod i blant, gyfleustra i gymeryd rhan yn y gwaith hwn. Mae yr arian a roddir i wneyd Trysorfa Ganmlwyddol, a'r llog yn unig sydd i'w ddefnyddio am byth.

Bydd aelod o'r Ysgol Sabbothol a rydd ddolar, yn rhoddi llog dolar am bob blwyddyn am byth. Mae dwy ffordd o roddi i'r drysorfa hon wedi eu trefnu, un o ba rai ydyw drwy danysgrifiad, at yr hwn y gall pawb roddi fel y llwyddodd yr Arglwydd hwynt. Y llall ydyw drwy roddion o un ddolar oddiwrth bob dyn a dynes, a phob geneth a phob bachgen yn yr holl eglwysi. Rhoddir *certificate* brydferth i bob un a dalo ddolar i'r drysorfa, a bydd ei enw ef neu hi yn argraffedig arni, i gael ei gadw i'r ganrif nesaf, a'r canrifoedd dilynol. Oni fyddai hwn yn gyfle ardderchog i Ysgolion Sabbothol y Bedyddwyr Cymreig i wneyd eu rhan yn y dathliad canmlwyddol? Mae yr hysbysiad hwn wedi ei wneyd yn ddiweddar gan arolygwyr ac athrawon Ysgolion Sabbothol Brooklyn.

---

*Y Dathliad yn Philadelphia a Dydd yr Arglwydd.*—Ofnir gan gyfeillion crefydd y bydd yr Arddangosiad mawr yn agored ar ddydd yr Arglwydd, er nad oes dim yn benderfynol eto wedi ei wneyd o'r un ochr. Yr haf diweddaf arferid rhedeg *excursion trains* rhwng New York a Philadelphia, a cheisiwyd yn ddiweddar basio deddf yn gwahardd hyny, ond syrthiodd y cais yn fethiant. Wrth wrthwynebu y mesur dadleuid hawliau yr Arddangosiad yr haf hwn. Byddai rhedeg *trains* ar y Sabbothau, gyda y fath amcan, am gymaint a chwe' mis o amser, yn sicr y fod yn hynod niweidiol i grefydd a moesoldeb, a dwyn anmharchu y Sabboth yn ddeddf arferiad.

---

CYFAILL CYWIR.

---

**"Cyfaill cywir yn yr ing y'i gwelir."**

---

Gwir Gyfaill geir i'w gofio—mab hedd-
Mae buddiant lle byddo; [wch,
Euraidd iawn ei gerydd ô,
Traidd cariad yn fyw trwyddo.

*Nanticoke.* IEUAN DDU.

Y WAWR.

CYF. I.] MEHEFIN, 1876. [RHIF. 3.

# ADGOFION

## Am y Diweddar Barchedig William Morgans, Pottsville.

GAN Y PARCH. J. P. HARRIS (*Ieuan Ddu*).

Wedi cael hir ddyddiau ar y ddaear, oes o ddefnyddiolceb yn ngwinllan ei Arglwydd, y mae'r brawd bellach wedi gorphen ei waith, a'r milwr lluddiedig yn gorphwys oddiwrth ei lafur yn nyfnder y glyn, ond yn medi ffrwythau llafur enaid y Cyfryngwr mewn anfarwoldeb ar feusydd gogoniant.

Yn Nghymanfa Oneida, 1843, yr ymgydnabyddais ag ef gyntaf; estynai yr undeb cymanfaol ei freichiau y pryd hwnw o Steuben i Pottsville. Yr wyf yn cofio fod y brodyr yn Oneida yn edrych yn mlaen at ddyddiau y gymanfa fel uchel wyl grefyddol, lle yr ymgasglai llwythau Israel. Yr oeddent yn awyddu i weled y brodyr parchus Morgans o Pottsville, ac Owens o Pittsburgh; yr oedd iddynt barch yn yr eglwysi, ac edmygid hwynt fel gweinidogion y Duw goruchaf, a mawr fel y cefais fy siomi yn mhregethu y gymanfa hono. Yr oeddwn fel eraill o'r *greenhorniaid* wedi rhagfarnu pethau a sefydliadau America; ond cefais fy argyhoeddi yn y cyfryw gyfarfodydd fod y gweision a lafuriodd yno yn deilwng o bwlpud unrhyw wlad. Cefais lawer o gyfeillach Mr. Morgans drwy holl gylchdaith y gymanfa; canys ar gylchdaith y cynelid hi o Utica i Steuben.

Yr wyf yn cofio clywed un o'r saint yn Utica yn dywedyd, "Mae Morgans, Pottsville, "fel pin mewn papyr;" y mae felly ebe fe yn ei gorph, ei drwsiad, a'i bregeth." Ac felly yr oedd, yn ddestlus iawn yn mhob peth; ond credwyf fy mod wedi ei wrando yn fwy hwyliog lawer gwaith wedi hyny, a'i fod oddiar y cyfnod hwnw wedi cynyddu llawer yn yr ystyr bregethwrol, fel meddyliwr a thraddodwr. Yn niwedd 1844 y cefnais ar Oneida yn llaw rhagluniaeth fy Nhad nefol, gan wynebu ar fryniau Schuylkill, yn Mhennsylvania. Yr oeddwn wedi derbyn galwad oddiwrth eglwys Minersville i'w bugeilio yn yr Arglwydd. Yr oedd y gangen hon newydd ei chorpholi yn eglwys. Pottsville oedd canolbwynt cylch gweinidogaethol y brawd Morgans, ond pregethai yn y cangenau, Minersville a Bellemont, bob Sabboth. Yr oedd llafur corphorol y brawd yn

fawr; heblaw pregethu dair gwaith ar ddydd yr Arglwydd, trafaeliai ryw unfilldir-ar-bymtheg o ffordd bob Sul. Yr oedd fel cawr yn rhedeg gyrfa, ac yn ei holl symudiadau yn cadw amser mor rheolaidd â pheirianwaith. Wedi iddo roddi Minersville i fyny, ymgymerodd â sefydlu achos yn St. Clair, a thrwy ddiwydrwydd a dyfal-barhad bu yn llwyddianus, fel y mae yno achos addawol heddyw. Do, daethum yn gymydog i'r anwyl Morgans; nid oedd ond rhyw bedair milldir o ffordd rhyngom; cyfarfyddem yn gymdeithasol yn aml, aml. Ei dŷ ef yn Pottsville oedd y tŷ Cymreig cyntaf y bûm ynddo yn y Dalaeth. Nid anghofiaf byth ei serchawgrwydd ef a'i hoff briod ymadawedig, yn fy nghroesawu i'w tŷ ac i'w mynwesau hefyd. Sadwrn oedd y dydd canlynol, a'r dydd hwnw, o holl ddyddiau amser, yn "Ddydd Gwyl Ddewi," dydd nad anghofiaf byth. Yn lle bod yn eiddigeddus (fel y mae arfer rhai), ar ddyfodiad gweinidog newydd i faes ei lafur. dywedodd, "Deuaf gyda chwi i Minersville, i'ch *introducio* i'r frawdoliaeth yno." Felly yn ngwenau y brawd Morgans, ac yn nawdd y Ceidwad, yr ymgymerais â gwrteithio y maes, a phorthi praidd Duw yno. Yr oedd Mr. Morgans wedi bod amryw flynyddoedd yn Pottsville a'r cylchoedd cyn i mi symud i Minersville. Fe ballai gofod ac amser yn awr i mi fanylu ar ddechreuad yr achos Bedyddiedig yn Sir Schuylkill. Yr ydym wedi darllen am dri cedyrn Dafydd, a gymerasant eu bywydau yn eu dwylaw, ac a dorasant drwy resi y gelynion i gyrchu dwfr o ffynon Bethlehem, ac erys y weithred yn enwogrwydd bythol iddynt. Y tri chedyrn a wn i am danynt fu yn cario dwfr o ffynon ysbrydol Bethlehem, i ddisychedu meibion Gwalia ar fryniau Sir Schuylkill a Luzerne, oeddynt William Richmond, Blakeley, (Carbondale gynt,) William Owen, Pittsburgh, a William Morgans, Pottsville—hwynt-hwy oeddynt *pioneers* Cymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania. Y *tri Gwilym* hyn, a phob un o honynt y mwyaf! Dynion o'r un ysbryd a Phedr, a Ioan a Barnabas, plant dyddanwch a meibion y daran, buont hwy yn hau yr had gwerthfawr, a "ninau a ddaethom i mewn i'w llafur hwynt." Mr. Gol., oni fyddai ysgrif yn Y WAWR ar y *tri hyn*, yn ddyddorol i'r enwad? Pwy ymgymera â'r gwaith?

Llafuriodd Mr. Morgans yn galed i adeiladu addoldy newydd yn Pottsville, ac wedi hyny i'w ddiddyledu. Gwnaeth yr un peth yn St. Clair pan ddaeth galwad am hyny, ac arosant yn hir yn gofebau o'i ffyddlondeb a'i weithgarwch crefyddol; gellir dyweyd am bob un o'r lleoedd hyn yn ngeiriau y Salmydd, "Y gwr a'r gwr a aned yno, a'r Goruchaf ei hun a'i sicrha hi." Cefais yr anrhydedd o gyd-deithio yn nghymdeithas y brawd rai miloedd o filldiroedd — i gymanfaoedd, cyfarfodydd chwe' a thri misol, a chynulliadau eraill, megys cyngorau, &c. Do, buom yn trafaelio ar hyd nos, cystal ag ar hyd dydd, dros fynyddoedd, ac ar afonydd; mewn peryglon, ac eto yn ddiogel; yn newynog, ond heb ein taflu i lawr; canys dwyn baner iachawdwriaeth oeddym i leoedd anghysbell ein cenedl. Nid oedd ond tair o eglwysi o fewn i derfynau Cymanfa Pennsylvania y pryd hwnw; ond erbyn heddyw y mae'r eglwysi yn lluosog, a'r gweinidogion yn aml; nid oedd amgen Carbondale, Pottsville, a Minersville. Pan fyddem yn myned tua Carbondale yr oedd yn rhaid cymeryd y *stage coach* yn Pottsville, a chroesi mynyddoedd

Wilkesbarre yn y nos, a hyn haf neu auaf, fel y dygwyddai yr alwad fod. Yr oedd yr eglwys yn Carbondale yn flodeuog'iawn, y frawdoliaeth yn llawn caredigrwydd Cristionogol, a'r brawd D. E. Bowen, yn ei boblogrwydd cyntefig, yn fugail arnynt.

Buom lawer gwaith yn Danville gyda'n gilydd, cyn bod sylfeini Ashland wedi eu gosod i lawr. (Yr wyf yn son am Ashland, gan mai ar hyd ffordd mynydd Carmel yr oeddem yn myned.) Cof genyf tra yr oeddem ein dau yn myned tuag yno mewn cerbyd, yr oedd y bont dros y Susquehanna wedi ei hysgubo ymaith gan y llif-ddyfroedd, dim modd croesi yr afon ond mewn *ferry-boat;* a'r haul yn prysur fachludo; "Gobeithio," ebe Mr. Morgans, "y cyrhaeddwn lan yr afon cyn nos," a sylwodd mai peth dymunol oedd cael goleuni i groesi yr afon, gan gyfeirio yn ddiau at hen afon angau—yr hon a gyrhaeddodd yr ymadawedig cyn nos; do, cafodd oleuni yn y glyn tywyll, a chyrhaeddodd i'r ochr draw yn nawdd yr Archoffeiriad mawr.

Yr oedd pregethau ein hybarch dad yn canol-bwyntio yn nghroes Crist, yr aberth dyhuddol, y gwaed gwerthfawr, a'r adgyfodi y trydydd dydd. Yn ei hwyliau goreu soniai yn aml am *scenes* Calfaria, oddiamgylch y bryn, a bedd newydd Joseph o Arimathea, a'r hwn a ddaeth oddiyno yn fyw. Tra yn son am ddydd y farn, galwai ef yn "ddydd y *catastrophe* mawr," gydag arddeliad neillduol. Clywais ef gydag effeithiau trydanol, tra yn son am gynydd goleuni gwybodaeth yr efengyl, yn dywedyd, "Bydd yn rhaid i adar y nos gilio y pryd hyn i'w llochesau—y ddallhuan, aderyn y bŵm, a'r *whip-poor-will* —goleuni gwybodaeth Duw a'u gyr yn ol i'r lle y daethant allan o hono." Yr oedd y teitl a roddai i dywysog llywodraeth yr awyr, yn peri i'w wrandawwyr wenu yn aml. Y *black prince*, ebe fe, a orchfygwyd yn mrwydr fawr Calfaria.

Yr oedd difrifolder teilwng o genad llys y nef yn argraffedig ar ei wedd tra yn traddodi y genadwri ddwyfol i bechadur colledig. Yr oedd ei ddyn oddiallan yn agos i chwe' troedfedd o daldra; safai yn syth yn yr areithfa, ac wrth gychwyn ei ymadrodd edrychai yn bryderus; yr oedd y ddau lygad llawn, duon a threiddiol, yn *index* o'r hyawdledd a dorai allan ar brydiau, a'i dalcen mawr yn dynodi trefnusrwydd a nerth ymresymiadol. Pan yn mwynhau ei hun taflai allan ei freichiau hirion gyda rhyw ystwythder rhyfeddol; ymddygai fel nofiedydd cryf yn ymgodi, ac yn tori drwy donau'r môr. Wedi cael clust ei wrandawyr, gweithiai ei ffordd at y galon, ac enillai eu serchiadau i ymhyfrydu yn yr Hwn a bregethai. Byddai ar amserau yn feistr y gynulleidfa; yr oedd symlrwydd ei ymresymiad yn hoelion wedi eu sicrhau. Hawliai wrandawiad, a thelid hyny iddo o barch i'w gymeriad, a'i safle yn yr enwad, heb son am fawrion bethau Duw a draddodai. Clywais ef lawer gwaith fel chwâon yr haf yn plygu planhigion Seion, ac fel gwynt nerthol yn ysgwyd y goedwig, y dylanwadai efe ar gynulleidfa luosog y gymanfa. Ni fyddai byth yn ymarfer ysgafnder; neu ysmaldod yn y pwlpud; er ei fod yn mwynhau digrifwch diniwed pan yn nghymdeithas ei frodyr; eto ni chlywais ef erioed yn defnyddio geiriau na brawddegau yn annheilwng o urddas y cysegr.

Y mae argraff ar fy meddwl mai yn agoriad addoldy newydd Minersville, yn 1847, y cyrhaeddodd y man uchaf

y clywais ef erioed fel pregethwr—iddo gyrhaeddyd y *climax* yno. Er ei fod yn llafurio yn yr ardal, pawb wedi ymgynefino â'i ddawn, ac yntau yn ymwybodol o'r anhawsderau oedd ar ffordd yr achos i lwyddo. Galwyd arno i bregethu am 10 o'r gloch; nid wyf yn cofio yn iawn pwy oedd y brawd a bregethodd o'i flaen; ond cymerodd Morgans yn destyn y geiriau hyny yn mhrophwydoliaeth Zechariah, "Pwy wyt ti, y mynydd mawr, o flaen Zorobabel y byddi yn wastadedd." Yr oedd enwogion y pwlpud Cymreig yn y cyfarfod hwnw, ond am bregeth y brawd o Pottsville y buwyd yn son am flynyddoedd.

Yr oedd aceniad Morganwg yn sain ei eiriau, a llafar y fro hono yn *brigo* allan yn aml yn ei ieithwedd bur; ac ystyriwn wrth ei wrando fod rhyw swyn neillduol yn y peth hwn; pwysleisiai ei eiriau yn wahanol i'r cyffredin; adeiriai ambell i frawddeg nes peri i'r anghyfarwydd feddwl mai *tautology* ydoedd; ond yr oedd hyd yn nod ei adeiriad ef yn dderbyniol, gan y gwnelai drwy hyny argraffu ei bwnc yn fwy dwys ar feddwl y gynulleidfa.

Yr oedd yn enwog a tharawiadol yn ei waith yn adrodd emynau ar ei bregeth; pan lenwai yr awelon ei hwyliau yn yr areithfa, adroddai hen emynau melusber yn rhesi, a'r oll yn gysylltiedig â'r mater yr ymdriniai ag ef. Yr oedd y brawd yn hoff iawn o farddoniaeth, er na thalodd sylw neillduol i "reolau cerdd dafod;" eto cyfansoddodd lawer o benillion awenyddol. Yr oedd yn feddianol ar lygad i weled anian, ac i deimlo grym ei dylanwad hi. Bu yn llenor o gryn enwogrwydd yn ei ddydd. Yr oedd bob amser yn barod i amddiffyn egwyddorion yr enwad y perthynai iddo, fel y gŵyr y rhai sydd wedi darllen y *Seren Orllewinol* ar ei hymddangosiad cyntaf yn ffurfafen ein llenyddiaeth; bu yn gefn arbenig i'r cylchgrawn hwnw tra dan olygiaeth yr ysgrifenydd, ac yn cael ei dwyn allan dan gyfrifoldeb yr eglwysi. Llanwodd Mr. Morgans y swydd o Drysorydd yn ffyddlawn, a gwnaeth ei oreu wedi hyny i gefnogi ymdrechion y brawd anwyl R. Edwards tra ar ei gyfrifoldeb ei hun yn gwasanaethu yr enwad.

Yr oedd cymeriad ein hybarchus dad fel Cristion yn ddysglaer iawn, rhyfeddais lawer gwaith wrth sylwi ar ei ochelgarwch rhag rhoddi tramgwydd i neb pwy bynag, Ystyriai fod teimladau ei frodyr yn dyner iawn, ac felly ymddygai tuag atynt. Gwrandawai yn ddifrifol ar bob achwyniad, ac ar wahanol olygiadau a barn, a dywedai, "Iē, īe." Yr oedd yn anhawdd cael allan ei syniadau ef ar unrhyw fater dadleuol neu ddysgyblaethol, gan mai yr "īe, īe" a gaed oddiwrtho, a byddai yn rhaid cael rhywbeth o bwys neillduol i'w gynhyrfu cyn cael dim yn amgen a phenderfynol oddiwrtho; ond unwaith yr amlygai ei farn ystyrbwyll, yr oedd yn ddi-droi yn ol yn ei benderfyniad. Er ei fod yn llawn o elfenau gochelgarwch, ac yn medru trafod clwyfau gyda thynerwch mawr, eto ni ddiangodd efe drwy y byd a'i orthrymderau heb gynhyrfu rhai i ddyweyd yn fach am dano! Ond nid rhyfedd hyny, cam-ddarluniwyd ei Feistr mawr; duwyd ei gymeriad, a dywedwyd pethau anmharchus ac annheilwng am dano. Cafodd ei demtio yn mhob peth yr un ffunud a ninau. Os gwnaed hyn yn y pren īr, pa beth a ellid ddysgwyl i'r gelynion wneyd yn y pren ag oedd yn agored i grino? Nid oedd y brawd Morgans, er mor dda, wedi cyrhaedd-

yd perffeithrwydd. Do, cafodd ei demtio; ond daliodd hyder ei obaith yn ddisigl hyd y diwedd.

Amgylchiadau ag sydd wedi dwyn anghysur mawr i weinidogion yr efengyl ydynt y cyngorau (*councils*) y mae yr eglwysi yn alw pan y bydd terfysg yn mhlith yr aelodau—ymrafael ac annghydweithrediad yn tori ar heddwch y frawdoliaeth—dwy blaid yn nghorph yr Iesu, gwisg yr hwn ni ranwyd ar Golgotha—a'r pleidiau, efallai, yn rhy gibddall i weled a gwerthfawrogi yr hyn sydd gyfiawn, a'r hyn yn y diwedd a drŷ allan yn lles i'r achos. Y mae yn rhaid i'r cyngor wrandaw ar y ddwy ochr, a rhaid iddynt ar air a chydwybod benderfynu y mater mewn dadl yn ol eu barn hwy o du un neu arall o'r pleidiau. Buom lawer gwaith yn y lle cyfyng ac annymunol hwn, ac mor sicr ag y penderfynid y pwnc mewn dadl yn bleidiol i un ochr, byddai y llall yn troi yn elyniaethus i'r cyngor; gan ddiystyru eu barn, a difrio eu cymeriadau, ac anmharchu eu personau. Gwyddai ein brawd ymadawedig am y dyoddefiadau hyn. Yr wyf yn mhell o feddwl fod anffaeiedigrwydd i'w gael mewn cyngorau eglwysig, ac yn gwybod fod y goreu o ddynion yn agored i gamsyniaw, gan eu bod yn methu dyfod o hyd i'r holl wirionedd perthynol i'r ddadl; a rhai yn rhy barod i bleidio personau, am fod rhyw fath o gydymdeimlad rhyngddynt! Buom yn cydweithredu mewn amryw o'r cyfarfodydd anhyfryd hyn, lle yr archollid pob teimlad tyner; eto amcanai ein hybarch frawd at dangnefedd yn mhob amgylchiad, ond nid ar draul sathru iawnder dan draed yn y nefolion leoedd. Yr oedd yn dyner yn y cyngor a elwid gan yr eglwys er ystyried y priodoldeb o urddo brodyr ieuainc i waith y weinidogaeth, ac yn nghorpholiad eglwysi newyddion. Yr oedd bob amser yn barod i gydweithredu, a gwneyd y peth a dybiai efe oedd iawn, a sicr yw na ddiangodd nemawr wedi bod ar faes y frwydr gyda llai o archollion na'r hen dad o Pottsville.

Ni welais yr un amcan i draws-arglwyddiaethu yn ymddygiad yr ymadawedig erioed; nid oedd dim o'r archesgob yn perthyn iddo, eto drwy gydsyniad cyffredinol ymgylymai y brodyr o'i amgylch. Gofalu am braidd Duw yn y corlanau dan ei ofal oedd ei hyfrydwaith, a pheidio ymyryd â gwinllan na gwaith ei gymydog, nes y gorfodid ef i hyny, ac am hyny anwylid ef yn fawr gan frodyr ieuengach a llai eu profiad yn y weinidogaeth. Yr oedd ei farn yn bur addfed gyda golwg ar bersonau, ac amgylchiadau eglwysig, gan fy mod yn son am ei brofiad; yr oedd wedi manwl sylwi ar y mudiadau eglwysig a gymerent le yn y wlad hon a'r Hen Wlad. Dywedodd wrthyf yn sydyn iawn, tra yn y *stage* un noson, yn myned tua Danville: "Frawd Harris, mae plant y byd hwn yn gallach yn eu cenedlaeth na phlant y goleuni." "Felly y dywedodd yr Arglwydd Iesu," ebe fi. "Ydynt, y maent," oedd yr atebiad, "os bydd arnom eisiau meddyg i ymgyngori ag ef, yr ydym yn dewis y dyn profiadol, er y dichon fod yn hen mewn dyddiau; mae genym fwy o ymddiried mewn hen gyfreithiwr na'r ieuanc, am ei fod yn fwy profiadol; ond y mae yr eglwysi yn rhy barod i barod i ddiystyru eu hen weinidogion, gan nad pa faint fydd eu profiad a'u cymwysderau i lanw eu swyddogaeth. Nid felly y gwna y llywodraeth wladol pan yn anfon cadlywydd i faes y gwaed." Teimlwn yn fawr drosto yn yr amlygiad hwn o'i deimlad, canys yr

oeddwn *i* yn ieuanc, ac yntau yn dechreu heneiddio ar y pryd.

Yr oedd arswyd dybryd yn ei feddianu, pan ddeallai fod unrhyw eglwys yn terfysgu er ymlid ei gweinidog i ffwrdd; dywedodd wrthyf fwy nag unwaith, ei fod bob amser yn gofalu am *un* amcan yn arbenig, sef fod digon ganddo mewn llaw i symud i ardal arall pe gwelai derfysg yu yr eglwys yr oedd efe yn fugeilio. Ond cadwodd yr Arglwydd ef rhag y cyfryw amryfusedd.

Yr oedd gwerth a phwys yn ei gymeriad fel Cristion gloew, ac fel y *silver dollar* yn myned yn loewach, loewach, pa fwyaf yr ymdrafodech ag ef. Colled fawr i'r eglwysi oedd ei golli, ond gadawodd berarogl ei grefydd ar ol, ac mae ei goffadwriaeth yn fendigedig heddyw yn ngwersylloedd y saint. Er ei fod wedi marw, y mae eto yn llefaru, nid yn unig yn nghylchoedd Schuylkill, ond yn Luzerne, yn Oneida, Cattaraugus, ac yn mhelldiroedd y Gorllewin. Nodwedd amlwg yn ei gymeriad oedd *duwiolfrydedd.* Yr oedd "yn Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oedd dwyll," a gellir mabwysiadu geiriau Robert Hall am dano, yn angladd Dr. Ryland: "*Piety appeared to be the principal element of his being;*" ac yr oedd yn enwog am yr elfen gyfeillgar oedd ynddo; medrai wneuthur pawb teilwng yn gyfeillion iddo, ac nid cyfeillion am amser byr, ond cyfeillion parhaus—hyd angau. Nid oedd ynddo duedd i ddiystyru neb, ac yr oedd yn mhell iawn o fychanu ei frodyr yn y weinidogaeth. Yr oedd bob amser yn barod i daflu mantell cariad dros eu gwendidau, ac felly cuddio lluaws o bechodau.

Y mae'r brawd wedi gorphen ei yrfa, ac wedi cadw'r ffydd; bu farw ar y maes, ac yn ei lawn arfogaeth. Do, bu bachgen Llantrisant farw; ac os magwyd sant yn Llantrisant erioed, yr oedd William Morgans yn un, ac fel sant yr ymlwybrodd drwy anialwch y "byd newydd," a bydd ei goffadwriaeth yn beraidd yn yr eglwysi tra y byddo yr iaith Gymraeg yn cael ei phregethu ar gyfandir America. Y tro diweddaf yr ymwelais ag ef, ryw wyth mis yn ol, ymddyddanai am lawer o chwerwder a melusder y daith; ac wrth ymadael, y tro olaf ar y ddaear, fel y tybiem ein dau ar y pryd, wylai'r dagrau yn hidl, gan ddywedyd y byddai wedi croesi yr afon cyn y caem gyfarfod wed'yn; ond ychwanegai, "Mae fy ngobaith yn ddiysgog yn y Person wyf wedi wasanaethu er's blynyddoedd bellach. Aeth efe i lawenydd ei Arglwydd, ac y mae heddyw yn gwledda gyda'r Iesu. "Fy nhad, fy nhad, cerbyd Israel a'i farchogion."

**A'i holl fwriad a'i nerth y llafuriodd—**
**Yn ddewr genad y Ceidwad a'i cododd;—**
**Er galar â'n daear ymadawodd,**
**Ar ei aden yn uwch yr ehedodd;—**
**Ei emyn hydraeth yn nef mae'n adrodd—**
**Y maddeu diwall, a'r modd y deuodd,**
**Gan ddiolch i'r Hwn a'i golchodd—drwy'r Iawn,**
**Y gwr uniawn ei Dduw goronodd.**

---

## SANCTEIDDIAD YR EGLWYS YN Y GWIRIONEDD.

GAN H. C. PARRY (CEFNI).

Nodwedd arbenig yn nghymeriad yr Eglwys Gristionogol ydyw sancteiddrwydd. Mae y nodwedd hon arni yn hanfodol i'w bodolaeth, ac yn elfen fawr wahaniaethol yn ei chymeriad oddiwrth bob cynulleidfa, cymundeb, neu frawdoliaeth arall. Yn arbenigrwydd y nodweddiad hwn, gelwir y saint yn "frodyr sanctaidd, cyfranogion o'r galwed-

igaeth nefol." Priodolir yr amcan mawr o sancteiddio yr eglwys i ddybenion cariad a dyoddefiadau yr Arglwydd Iesu Grist. "Y gwyr, cerwch eich gwragedd, megys ag y carodd Crist yr eglwys, ac a'i rhoddes ei hun drosti; fel y sancteiddiai efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr trwy y gair." Cymellir sancteiddrwydd ar y saint yn eu hymarferiadau beunyddiol. "Fel plant ufudd-dod, heb gydymagweddu â'r trachwantau o'r blaen yn eich anwybodaeth; eithr megys y mae y neb a'ch galwodd yn sanctaidd, byddwch chwithau hefyd sanctaidd yn mhob ymarweddiad; oblegid y mae yn ysgrifenedig, Byddwch sanctaidd, canys sanctaidd ydwyf fi." Gweddiai ein Harglwydd sanctaidd ar ei Dad yn ei weddi fawr eiriolaethol, a offrymwyd ganddo o'r oruwch-ystafell, ar ol bwyta y pasc marwol, sefydlu y swper sanctaidd, ac ymddyddan â'r dysgyblion am bethau a berthynent i grefydd yr efengyl, am i'r eglwys gael ei sancteiddio yn y gwirionedd. "Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd; dy air sydd wirionedd." Gesyd gynllun sancteiddiad ei bobl yn y gwirionedd ger bron ei Dad, nid i'w gyfarwyddo ef, eithr fel y gwybyddem ni yr hyn a ddeallai wrth weddio felly. "Fel yr anfonaist fi i'r byd, felly yr anfonais inau hwythau i'r byd. Ac er eu mwyn hwy yr wyf yn fy sancteiddio fy hun, fel y byddont hwythau wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd."

Fel yr oedd Iesu mawr a neges neillduol bwysig a gogoneddus ganddo yn ei ddyfodiad i'r byd, felly y mae ei bobl, neu ei eglwys, ag amcan neillduol bwysig a gogoneddus ganddynt hwythau i fod yn y byd. Nid oedd neb a allai wneyd y gwaith oedd ganddo ef i'w wneyd yn y byd ond efe ei hun, ac nid all neb wneyd y gwaith sydd gan yr eglwys i'w wneyd yn y byd ond yr eglwys ei hun. I wneyd y gwaith hwn rhaid i'r eglwys fod wedi ei sancteiddio yn y gwirionedd, fel ag yr oedd Crist wedi sancteiddio ei hun yn ewyllys ei Dad. "Canys y geiriau a roddaist i mi a roddaist iddynt hwy; a hwy a'u derbyniasant, ac a wybuant yn wir mai oddiwrthyt ti y daethum i allan, ac a gredasant mai tydi a'm hanfonaist i." Yr un peth a feddylir wrth ewyllys y Tad yn ei pherthynas â Christ ag a feddylir wrth eiriau Crist yn eu perthynas â'r eglwys. "Yna y dywedodd, Wele fi yn dyfod i wneuthur dy ewyllys di, O Dduw. Y mae yn tynu ymaith y cyntaf, fel y gosodai yr ail. Trwy yr hwn ewyllys yr ydym ni wedi ein sancteiddio." Y cyntaf oedd y ffurf yn yr hwn y gosodwyd ewyllys Duw dan y gyfraith; a'r ail ydyw y ffurf y gosodir ewyllys Duw dan yr efengyl. Yr hen gyfamod yw y cyntaf, y cyfamod newydd yw yr ail. Mae ewyllys Duw, neu y cyfamod newydd, wedi ei gadarnhau trwy farwolaeth aberthol Crist; ac am hyny y dywedir, mai trwy offrymiad corph Crist unwaith yr ydym yn cael ein sancteicdio trwy ewyllys Duw. "Canys ag un offrwm y perffeithiodd efe yn dragywyddol y rhai sydd wedi eu sancteiddio." Rhwymodd Iesu Grist ei hun i gyflawni ewyllys Duw yn mhob peth; ac wrth iddo wneyd hyny, rhwymodd ewyllys Duw yntau i farw, i symud ei bobl o fod dan ffurf cyntaf yr ewyllys ddwyfol, sef y ffurf Foesenaidd, a'u gosod dan yr ail ffurf, sef y ffurf Gristionogol. Pan y mae dynion yn derbyn geiriau Crist, y maent yn cael eu dysgu ganddynt i ymwrthod â phethau cyfraith gorchymyn cnawdol, ac i ymgysegru i drefn Duw yn ol gwirionedd yr efengyl. "Y mae genym ni allor, o'r hon nid oes awdurdod i'r rhai sydd yn

gwasanaethu y tabernacl i fwyta. Canys cyrph yr anifeiliaid hyny, y rhai y dygir eu gwaed gan yr archoffeiriad i'r cysegr dros bechod, a losgir y tu allan i'r gwersyll. O herwydd paham Iesu hefyd, fel y sancteiddiai y bobl trwy ei waed ei hun, a ddyoddefodd y tu allan i'r porth. Am hyny awn ato ef o'r tu allan i'r gwersyll, gan ddwyn ei waradwydd ef. Canys nid oes i ni yma ddinas barhaus, eithr un i ddyfod yr y'm yn ei dysgwyl. Trwyddo ef, gan hyny, offrymwn aberth moliant yn wastadol i Dduw, yr hyn yw ffrwyth ein gwefusau, yn cyffesu i'w enw ef." Swm a sylwedd yr holl ymadroddion sanctaidd hyn ydyw, fod dysgeidiaeth yr efengyl, yr hon sydd wedi ei chadarnhau mewn awdurdod, fel unig, perffaith, a thragywyddol reol crefydd, trwy farwolaeth Iawnol Mab Duw, yn rhwymo ei derbynwyr a'i phroffeswyr; neu, mewn gair arall, y Cristionogion i ymwrthod â phob trefn arall mewn crefydd, ac ymgysegru mewn cydymffurfiad ag, yn nghydag ymlyniad wrth y drefn a ddysgir yn ngeiriau Crist. Sancteiddio yn y gwirionedd, ynte, yw neillduo oddiwrth bethau dynol a bydol, ac ymgysegru i bethau dwyfol ac ysbrydol. Er mwyn deall yn iawn pa fodd y mae sancteiddio yn y gwirionedd, dysga ein Harglwydd glân mai cadw gair Duw a feddylir wrth sancteiddio yn y gwirionedd. "Mi a eglurais dy enw i'r dynion a roddaist i mi allan o'r byd; eiddot ti oeddynt, a thi a'u rhoddaist i mi; a hwy a gadwasant dy air di." Eto, "Myfi a roddais iddynt hwy dy air di; a'r byd a'u casäodd hwynt, oblegid nad ydynt o'r byd, megys nad ydwyf finau o'r byd." Nid o'r byd yr ydoedd Crist o ran bodolaeth, ond o air Duw. Gair Duw a roddes fodolaeth iddo. Gair Duw a ffurfiodd yr undeb annatodadwy rhwng y ddwy natur yn ei berson ef, a genedlodd ei ddynoliaeth lân yn mru y wyryf, ac a'i gwnaeth "yn nerthol mewn gair a gweithred," fel dysgawdwr dwyfol. Nid oedd gan y byd un llaw yn hyn. Gair Duw wnaeth y cyfan. Nid oedd ei syniadau a'i feddyliau o'r byd. Nid oddiwrth y byd y derbyniodd hwynt, ond oddiwrth air Duw. Yr oedd ei gymeriad yr hyn na dderbyniodd oddiwrth y byd. Nid adnabu y byd ef. Yr oedd cyfansoddiad ei natur, dwyfoldeb ei ddysgeidiaeth, a newydd-deb ei gymeriad, yn ddirgelwch i'r byd. Y rheswm dros hyny ydyw, oblegid cymeriad a ddygwyd i fod gan air Duw ydyw ef. Fel y cyfryw, "bwyd a diod" Crist oedd gwneuthur ewyllys ei Dad. Rhwymodd ei hun yn gwbl wrth y gair. Yr oll ag oedd y gair wedi ddweyd am dano, rhwymodd yntau ei hun i gyflawni y cwbl; nid ysgoai ddim; eithr yn hytrach cymerai boen i dori dros ben pob rhwystr, i gyflawni yr hyn ag oedd yn y gair am dano. Ganwyd ef, bu fyw, a bu farw, fel y dywedai y gair am dano. Gwnaeth y cwbl yn ol yr Ysgrythyrau. Felly yr oedd Iesu Grist wedi ei sancteiddio yn y gwirionedd, gan ei Dad, a chanddo ei hun. Rhoes y Tad ei air iddo, a chadwodd yntau y gair hwnw. "Os galwodd efe hwy yn dduwiau at y rhai y daeth gair Duw, a'r Ysgrythyr nis gellir ei thori, a ddwedwch chwi am yr hwn a sancteiddiodd y Tad, ac a'i hanfonodd i'r byd, yr wyt ti yn cablu, am i mi ddywedyd, Mab Duw ydwyf." Trwy air Duw, "a'r Ysgrythyr nis gellir ei thori," y sancteiddiodd y Tad y Mab mawr i'r gwaith prynedigol; a thrwy rwymo ei hun wrth y gair, "yr Ysgrythyr nis gellir ei thori," y sancteiddiai Crist ei hun yn

y gwirionedd. Dyna gynllun sancteiddiad yr eglwys yn y gwirionedd, "Yr wyf yn fy sancteiddio fy hun, fel y byddont hwythau wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd." Y gofyniad pwysig yw, Pa fodd y mae yr eglwys yn cael ei sancteiddio yn y gwirionedd?

Mae Iesu Grist yn gymeriad newydd yn y byd, yn hollôl wahanol i'r byd, ac yn anfeidrol ogoneddusach na'r byd, yn mhob peth. Felly y mae yn ddidoledig oddiwrth bechaduriaid, ac yn neillduedig oddiwrth y byd. I sancteiddio dynion, rhaid eu cael i Grist, a Christ ynddynt hwythau. "Fel y byddont oll yn un; megys yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni; fel y credo y byd mai ti a'm hanfonaist i. A'r gogoniant a roddaist i mi a roddais iddynt hwy; fel y byddont un, megys yr ydym ni yn un; Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi; fel y byddont wedi eu perffeithio yn un, fel y gwypo y byd mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwynt, megys y ceraist fi." Mae sancteiddio yn y gwirionedd yn dwyn y saint i Grist, ac yn uno y saint â'u gilydd yn Nghrist. Felly y mae undeb y saint yn undeb ffydd, yn undeb gwybodaeth, ac yn undeb gobaith. Mae undeb y saint yn y ffydd, i fod yr un peth ag undeb eu gwybodaeth; ac undeb eu gwybodaeth i fod yr un peth ag undeb eu gobaith. Fel y maent yn gobeithio am un nefoedd trwy Grist, felly y maent i gredu pob peth a ddysgodd Crist yn y gwirionedd, yr un modd, cyn y gallout fod "wedi eu perffeithio yn un." Trwy dderbyn y gair, gwneuthur y gair, a chadw y gâir, y mae y saint yn dyfod yn un â'u gilydd yn Nghrist, ac yn bobl neillduedig oddiwrth y byd; felly yn cael eu sancteiddio yn y gwirionedd. Cymerwn engraifft i egluro y ffaith fawr hon. Bwriwn fod rhyw ddyn nodedig mewn pob rhinwedd a rhagoriaeth yn byw mewn rhyw gymydogaeth; mae y dyn yn rhagorol dda, ac yn nodedig mewn pob ardderchawgrwydd. Mae ei ddoethineb, ei garedigrwydd, a'i burdeb yn mhob peth yn ddiarebol. Y mae yn gyfryw fel pe byddai pob dyn yr un fath ag ef, y byddai yn nefoedd fechan ar y ddaiar. Ni byddai dagrau yn llygaid y trallodedig, gwaedd yn nghwyn y gorthrymedig, na briw ar galon y cystuddiedig. Dyna ddynol heb ei debyg. Bwriwn fod y dyn hwnw yn gwneyd llyfr am dano ei hun, yn darlunio i bob perffeithrwydd manylder dichonadwy bob peth a berthyn iddo. Mae y darlun mor fanwl ac mor berffaith fel nad oes dim yn cael ei adael ar ol. Mae pob syniad, pob teimlad, a phob ysgogiad mewn meddwl a thuedd, yn gystal a phob gair a gweithred o'i eiddo, yn cael eu gosod allan yn y modd manylaf ac egluraf. Mae yr hyn ydyw y dyn yn wirioneddol, oddi mewn ac allan, yn cael ei gorphori yn y llyfr hwnw. Bwriwn, yn mhellach, fod rhyw nifer o ddynion yn cael y llyfr hwnw, yn ei ddarllen, ac yn ei hoffi; a'u bod yn ei gredu mor ddiysgog, nes yn cael eu henill yn eu calon i gydymdeimlo â'r ffeithiau ynddo, ac i garu cymeriad yr arwr ynddo mor fawr a llwyr nes ymawyddu am fod yn debyg iddo. Yna y maent yn myfyrio ar y darlun, yn cofio ei linellau, ac yn llwyddo i drawsffurfio eu hunain i'r ddelw, nes, yn y man, y maent wedi dyfod yn alluog i actio y cymeriad mor dda, nes y maent yn cerdded, yn siarad, ac yn gweithredu yn mhob peth fel y dyn hwnw. Maent yn gweithio y llyfr allan yn eu bywyd a'u harferion mor berffaith, nes y maent yn eiluniau byw o'r cymeriad

hwnw. Beth ddywedai pobl y gymydogaeth am y dynion hyny? Onid edrychent arnynt, ac y teimlent tuag atynt fel pobl wahanol i bawb eraill, yn un a'u gilydd, ac yn ddelw berffaith o'r dyn ag y mae'y llyfr hwnw yn ei ddarlunio? Teimlant eu bod hwy yn y dyn hwnw, a bod y dyn hwnw ynddynt hwythau, a'u bod yn un a'u gilydd ynddo ef! Wrth siarad fel y dyn hwnw y maent siarad yr un fath a'u gilydd; wrth weithredu fel y dyn hwnw, maent yn gweithredu fel eu gilydd; ac wrth ysgogi fel y dyn hwnw, y maent yn ysgogi fel eu gilydd. Y maent oll yn un ynddo ef. Cynhyrfodd Iesu Grist ddynion sanctaidd Duw trwy ei Ysbryd i ysgrifenu ysgrythyrau y Testament Newydd, y rhai sydd yn cynwys hanes bywyd, angau, ac adgyfodiad yr Arglwydd Iesu. Yn yr Ysgrythyrau hyn y ceir darluniad cyflawn, perffaith, ac anffaeledig, o'i gymeriad sanctaidd, ei ewyllys rasol, a'i genadwri ddwyfol. Mae y Testament Newydd yn gorpholiad perffaith, syniadau. teimladau, ac ewyllys Iesu Grist; fel pe derbynid yr Ysgrythyrau mewn ffydd fywiol i'r galon, ac y gweithid hwy allan mewn bywyd sanctaidd, y byddent yn adgynyrchu bywyd Crist yn muchedd y dyn. Dyna ydyw yr hyn mae ffydd yn ei wneyd, derbyn y gwirionedd am yr Iesu, "megys y mae yn yr Iesu." Wrth wneyd hyny, mae syniadau Crist yn dyfod yn egwyddorion llywyddol y galon, a gorchymynion Crist yn dyfod yn elfenau trawsffurfiol y bywyd. Mae y credadyn gwirioneddol, wrth dderbyn y gair i'r galon, yn derbyn Crist i'r enaid; ac wrth actio y gair mewn bywyd, yn byw Crist mewn cymeriad. Mae Crist yn trigo trwy ffydd yn ei galon ef, ac yntau yn trigo yn Nghrist trwy gariad y gwirionedd.

Hawdd deall paham y mae y saint yn un â'u gilydd, pan y cofir eu bod yn yr un gwirionedd; a hawdd deall pa fodd y maent yn un yn Nghrist, pan y cofir fod y gwirionedd hwnw yn yr Iesu. Mae dylanwad y gwirionedd ar ei dderbynwyr yn eu neillduo oddiwrth bobl eraill, ac yn eu dwyn yn un â'u gilydd, trwy ei fod yn eu dwyn i Grist —i ewyllys Crist, i gymeriad Crist, ac i ysbryd Crist. Dyna yw eu sancteiddio yn y gwirionedd—eu neillduo oddiwrth y byd, a'u dwyn yn un â'u gilydd yn y gwirionedd. Priodola ein Harglwydd glân y gwaith hwn i'r Tad. Y Tad a roddes y gwirionedd trwy ei Ysbryd, ac a sancteiddiodd Grist yn y gwirionedd i fod yn gynllun sancteiddiad y saint. "Canys yr hwn sydd yn sancteiddio a'r rhai a sancteiddir, o'r un y maent oll. Am ba achos nid yw gywilyddus ganddo eu galw hwy yn frodyr; gan ddywedyd, Myfi a fynegaf dy enw di i'm brodyr; yn nghanol yr eglwys y'th folaf di. A thrachefn, Myfi a fyddaf yn ymddiried ynddo. A thrachefn, Wele fi a'r plant a roddes Duw i mi." Duw Dad sydd yn rhoddi ei Ysbryd i dywys i bob gwirionedd, ac felly yn sancteiddio ei bobl "yn y gwirionedd."

Mae sancteiddio yn y gwirionedd yn bwysig iawn. Heb hyn nis gall y dyn fod yn blentyn i Dduw; nis gall y proffeswr fod ar ddelw Crist, ac nis gall yr eglwys gyflawni ei chenadwri yn y byd. Pa fodd y gall dyn fod yn blentyn Duw, ac ewyllys Duw dan ei draed? Pa fodd y gall proffeswr fod ar ddelw Crist, a gair Crist dan ei draed? Pa fodd y gall yr eglwys ddwyn y byd i gredu yn Nghrist, a gwirionedd Crist dan draed? Mae sancteiddio yn y gwirionedd yn sancteiddio yn y gair. Rhaid i ni gael crefydd a'i sail yn y

gwirionedd, ebe y dyn. Iē, gyfaill, rhaid i ni hefyd gael crefydd a'r gair yn rheol iddi. Rhaid gwneyd yr hyn a orchymynir yn y gwirionedd, a'i wneyd ef yn y modd ag y gorchymynir yn y gair. "I berffeithio y saint i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Ctist; hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist."

## ALEXANDER VON HUMBOLDT.*

Ganwyd y gwr enwog uchod yn Berlin, Germani, ar y 14eg o Hydref, 1769. Treuliodd y rhan fwyaf o'i ddyddiau boreuol yn Tegel, ychydig filldiroedd o'r brif ddinas. Ni chofnodir dim yn hynod am flynyddau cyntaf ei fywyd. Y mae tebygolrwydd yn mywyd plant, gan nad beth fyddo eu tarddiad neu eu talentau. Os dygwydd iddynt ddyfod yn enwog mewn blynyddau dilynol, hawdd gan fywgraffwyr ofergoelus adrodd chwedlau rhyfedd yn eu cylch; ond yn fwyaf mynych ffug yw y chwedlau hyny. Tybir genym y dylai tymor ieuenctyd enwogion gael ei amgylchynu â dylanwadau hynod. Nid gwiw genym ni eu cyfrif yn farwolion cyffredin fel nyni; gan hyny os methwn ganfod dim arwyddion rhag-addawol boreuol ynddynt, mae yn rhaid dyfeisio rhai. Os canfyddir y twyll, maddeua y byd ef, oblegid y pleser a dderbyniodd oddiwrtho. Yr oedd boreuddydd bywyd Alexander, modd bynag, yn un hynod ddedwydd, yn ddiameu; canys os bu natur erioed yn garedig at un o'i phlant, bu tnag ato ef. Ganwyd ef o deulu cyfoethog ac ardderchog, pa rai a ymgymysgent, drwy rinwedd eu huwchafiaeth a'u bri, ag urddasolion y wlad. Yr oedd ei gartref, hen gastell Tegel, yr hwn a safai mewn lle dymunol yn y wlad, yn cael ei amgylchu gan olygfeydd natur prydferth. Yr oedd y cip-olygfeydd a gaffai felly yn nyddiau ei ieuenctyd ar natur, yn ddigon eu prydferthwch er peri iddo ddymuno gweled y gweddill o'r llyfr yr oedd y ddalen deg a agorodd o flaen ei lygaid plentynaidd, yn rhan.

Ei ddysgawdwr cyntaf ydoedd un Mr. Campe, yr hwn oedd awdwr o gryn enwogrwydd, a chyfieithydd *Robinson Crusoe* De Foe i'r Ellmynaeg. Yr oedd y llyfr hwn a'i duedd uniongyrchol i danio dychymyg yr ieuanc â thuedd teithio, a llenwi ei feddwl ag ysbryd anorchfygol gwrhydri. Os ydyw y plentyn i ddyfod yn dad y dyn, rhaid i'r dyn rywfodd gael ei ddwyn o flaen llygaid meddwl y plentyn. Rhaid iddo yn nhymor ieuenctyd gael ei feithrin drwy lyfrau a dysgawdwyr doeth. Wrth ystyried hyn, pa ddysgawdwyr gwell a allasai Humboldt ieuanc gael na chyfieithydd *Robinson Crusoe?* Ychydig mewn cymhariaeth a wyddys am yr ugain mlynedd cyntaf o'i fywyd. Gresyn hyny hefyd!

O dan ymgymelliad at deithio yn mhell, gyda'r bwriad o ddysgu cyfrinion natur, ceir ef yn gwneyd cynyg mynych pan eto ond ieuanc am gyfleustra i gario ei hoff ddymuniad i weithrediad. O'r diwedd daeth oddiamgylch. Daeth ef drosodd i'r byd gorllewinol mewn llong Yspaenaidd, yr hyn ar yr adeg hono oedd yn dra pheryglus, oblegid nad oedd yr Yspaen a Lloegr ar yr amodau goreu. Ar y fordaith ymwelwyd a'r Canaries, a dringodd ef

* **Un o neillduolion y dathliad canmlwyddol yn Philadelphia fydd y cofarwydd a wneir o'r dyn enwog uchod. Bydd y ffaith hon, yn gystal ag enwogrwydd neillduol y person, yn gwneyd yr erthygl fer hon, gan Cofnodydd, ni a hyderwn, yn ddyddorol i'n darllenwyr.**

a'i gyfaill i ben un o losg-fynyddau yr ynysoedd hyny, yn ngwyneb anhawsderau a pheryglon dirfawr, yr hyn nad oedd neb erioed wedi ei wneyd o'r blaen. Ymwelodd â Pheru a Mexico· Bu am fisoedd yn gwneyd ymchwiliadau i'w hynafiaethau, eu cof-golofnau, a'u hynodion lluosog a damcaniaethus. Un o'i anturiaethau pwysicaf ydoedd hwylio i fyny yr afon Orinoco, ac afonydd cysylltiedig eraill. Bu amryw weithiau, gellid meddwl, bron a syrthio yn aberth i greulonedd bwystfilod gwylltion. Dywedai pan ar ol iddo gyrhaedd dinas neillduol, lle yr oedd graddau o ddiwylliaeth, fod yr olwg ar y trigolion, ac arferion y lle yn gyffredinol, yn ymddangos iddo yn nodedig uwch-raddol, yr hyn oedd yn effaith bod am fisoedd lawer yn mhlith anwariaid a bwystfilod yr anialwch. Tystiai iddo ganfod rhai llwythau Indiaidd mewn cyflwr hynod o isel; ac fel prawf o hyny, dywed am danynt, nad oedd ganddynt am fisoedd yn fynych ddim yn amgen na math o glai crasedig yn ymborth.

Y manau yr oedd yn rhoi i fyny wrth fyned yn mlaen trwy y diffaethwch ydoedd gyda y mynachod a'r offeiriaid Pabaidd. Cwynai un mynach wrtho yn dost am y driniaeth a dderbyniai oddiwrth y *mosquitoes*, ac fel engraifft o hyny dangosai i'r teithwyr ei goes, yr hon oedd yn orchuddiedig gan bigiadau du-goch. Dyma y gwyn hefyd oedd gan yr Indiaid. Meddai un—"Mor ddedwydd y rhaid fod y bobl yn y lleuad; mae hi yn edrych mor brydferth a chlir, fel y mae yn rhaid ei bod yn rhydd oddiwrth *mosquitoes*." Dynoda y geiriau yna ieuengrwydd pobl yn neillduol. Ymddengys y lleuad i holl genedloedd anwaraidd yn gartrefle y dedwyddolion—gwlad y llawnder. Mae yr Esquimaux, yr hwn a gyfrifa yn gyfoeth, ystyllen, neu foncyff pren a daflwyd i'r traeth amddifad o goed, yn gweled yn y lleuad wastadeddau yn orchuddiedig gan goedydd a pherllanau; a thybia Indiaid glanau yr Orinoco nad yw y trigolion byth yn cael eu blino gan *mosquitoes*.

Yn ystod y pum' mlynedd y bu Humboldt a Boupland, ei gyfaill, yn teithio Deheudir America, lluosog oedd y peryglon yr aethant trwyddynt, a mawr oedd y llafur a'r ymdrech a gymerasant er cael golwg ar wrthddrychau hynod, ac o ddyddordeb. Am y dymuniad a deimlir i weled gwrthddrychau neillduol, dywed Humboldt, nad yw yn ymddibynu yn holloll ar eu prydferthwch, neu eu pwysigrwydd. Mae yn ymweuedig â natur gyfansoddiadol dyn; ymgyfyd oddiwrth amgylchiadau ac argraffiadau tymor ieuenctyd, a chwenychiad am alwedigaeth arbenigol, oddiwrth hoffder at y pell, a chariad at fywyd o weithgarwch ac amrywiaeth. Rhydd yr annhebygolrwydd blaenorol o gyrhaeddiad dymuniad swyn arbenig i'r mwynhad o hono wedi ei gyrhaedd.

Yn Mexico ni wyddai yr Indiaid ond ychydig am grefydd tu allan i'r ffurf o addoliad; a chan belled ag yr oedd Cristionogaeth yn ei ffurf Babyddol yn cyfarfod â'r duedd yna, yr oedd yn foddion o gryn foddhad iddynt. Yr oedd yn Mexico yn debyg i Hindostan, nid oedd yn ganiataol i'r ffyddloniaid newid ffurf eu heilunod yn y gradd lleiaf. Beth bynag a wnai ran o'u defosiynau, yr oedd yn anghyfnewidiol. Yr oedd y delwau Pabyddol yn gwisgo agwedd sarug, yn debyg i'r wedd a feddai y delwau cyn amser yr Yspaeniaid yn eu plith.

Nid oedd Humboldt yn gadael i un adeg na chyfleustra fyned heibio heb

gasglu gwybodaeth. Dangosodd y gweithiau lluosog a gyhoeddodd yn ddilynol i hyny ei fod wedi llwyddo tu draw i neb erioed a ddaeth drosodd gyda yr un amcan ag ef. Yr oedd yn *naturiaethwr* yn ystyr briodol y gair. Gallasai natur gyfodi i fyny a dyweyd am dano, "Dyma ddyn." Anhawdd dyweyd yn mha gangen o wybodaeth naturiaethol yr oedd yn rhagori fwyaf. Fel ag yr oedd cyfrolau ar ol cyfrolau o'i eiddo yn dyfod o'r wasg, yr oedd ei glod yn lledaenu. Yn mhen blynyddau, traddododd yn Berlin gyfres o ddarlithiau ar gyfrinion natur; y rhai hyn a'i gwnaeth fwyaf poblogaidd o bob peth. Yr oedd y teulu breninol ac enwogion, dysgedigion y ddinas a'r wlad, yn ymdyru i'w wrandaw; ac yn ystod y chwech-a-thriugain a draddododd, yr oedd y dyddordeb yn mwyhau. Cyhoeddwyd y darlithiau hyn yn mhen rhai blynyddau yn llyfrau, a dyna brif waith ei fywyd. Bydd "*Kosmos*" Humboldt, fel "Coll Gwynfa" Milton, fyw byth. Y rhan olaf o'i oes, treuliai y rhan fwyaf o'i amser yn y palas breninol. Yr oedd erbyn hyn wedi dyfod yn wrthddrych edmygedd cyffredinol yn mhell ac agos. Bu farw Mai 6, 1850, yn 90 mlwydd oed.

COFNODYDD.

## CYFLWR AC ADDYSG Y DEILLION.

Pa un a'i dallineb neu ynte byddardod ydyw y trychineb fwyaf, sydd ofyniad, efallai, nad hawdd ei ateb yn gadarnhaol, os ymgymerir a gwneyd hyny mewn ffordd o ymresymu. Wrth gymharu tymer meddwl y dall a'r byddar, gellid barnu mai y cyflwr mwyaf dewisol o'r ddau ydyw eiddo y blaenaf. Ymddengys y dall bob amser yn llon a siriol. Mae y byddar, yntau, fel pe yn fwy ymsyniol ac argyhoeddedig o'i golled, ac am hyny yn edrych yn fwy anfoddlon ac annedwydd. Gall ef yn fynych fod yn ngolwg moddion mwyniant ardderchog, ond bydd ef heb y cymwysder priodol i gyfranogi dim o honynt. Gall fod yn aml yn ymyl y gwleddoedd meddyliol dymunolaf, ond bydd ef heb allu i brofi dim o'i blas. Gall fod yn ngolwg areithiwr hyawdl yn gwefreiddio miloedd, er hyny bydd ef heb fedru teimlo dim o'r gwefr hapusol. Ond os bydd i'r dall gael ei gau allan oddiwrth foddion mwynhad cyfartal o werthfawr, mae ganddo ef y fantais, o'r hyn lleiaf, o beidio gweled, ac hyd yn nod peidio gwybod ei golled. Efallai mai colled fwyaf y dall ydyw anallu i ddarllen, fel mai colled fwyaf y byddar ydyw anallu i fwynhau cymdeithas. Ond gall golygon un arall i raddau gyflenwi y diffyg yna i'r blaenaf, tra nad oes un modd cyflenwi diffyg yr olaf. Ni all efe glywed â chlustiau neb arall. Gwn fod dallineb yn gwneyd dyn yn fwy dibynol na byddardod. Gan hyny byddai un cyflwr yn cyfateb yn cyfoethog yn well, a'r llall y tlawd yn hytrach. Dealler fod y sylwadau hyn yn cyfeirio at rai heb weled na chlywed erioed. Pan y byddo person bron yn dywyll, sylwir ei fod yn llai dedwydd, ac yn fwy tebyg i'r byddar o ran tymer meddwl. Dichon y cydunir yn nghywirdeb y nodiadau blaenorol mewn ystyr gyffredinol, ond eto pwy sydd na fyddai yn annhraethol mwy dewisol ganddo ddallineb rhanol nag un hollol, a byddardod yn hytrach nag un o'r ddau—y fath ydyw ein hoffder at y gallu i weled.

Mewn trefn i sicrhau dyrchafiad a chysur y dosbarth dall, ystyrir yn ofynol deall neillduolrwydd eu cyflwr—gwybod pa synwyrau o'r eiddynt sydd i'w dysgyblu, a pha fodd i wneyd hyny. Wrth ystyried eu cyflwr, ymddengys ei fod hyd yn nod yn ffafriol i rai pethau a gyfrifir yn dra gwerthfawr. Nodwn yn flaenaf, ei fod yn ffafriol i *ddwys fyfyrdod.* Pan mae y meddwl heb ei aflonyddu gan yr allanol, y mae o angenrheidrwydd yn troi iddo ei hun, ac yn sefydlu ei sylw ar unrhyw bwnc gydag egni a dyfal-barhad ychwanegol. Nid yw yn beth anghyffredin gyda

phersonau fyddo yn awyddus am gyfleusderau manteisiol i fyfyrio, i ddewis oriau tawel yr hwyr at hyny. Dywedir am Malhranclu, pan y byddai arno eisiau myfyrio yn galed, yr aaferai gau dorau a ffenestri yn ystod y dydd, er cau y goleuni yn llwyr allan. Hefyd hysbysir am un Democritus, iddo fyned mor bell a thynu ei lygaid, fel y gallai athronyddu yn well; ond y mae Cicero, yr hwn a adrodda y chwedl, yn ddigon call i beidio cadarnhau ei gwirionedd. Modd bynag, mae digonedd o ffeithiau profadwy yn mywyd pob un sydd yn arfer meddwl, yn tystiolaethu yn ddiymwad fod unigrwydd a llonyddwch gan yr allanol yn ffafriol i ddwys-fyfyrdod.

Cadarnheir fod dallineb yn ffafriol i ddysgyblu y cof. Mae yr hwn fyddo, o herwydd derbyn anhap i'w lygaid, yn cael ei orfodi i ymddibynu mwy ar ei glust na'i lygaid yn ei waith yn casglu gwybodaeth o lyfrau, yn gwybod yn dda fod hyn yn wirionedd. Mae yr anhawsder i ad-alw yr hyn a anghofiwyd, cyfeirio at neu ddal ar y rhanau a ddarllenir allan gan arall, yn gorfodi y gwrandawr i roddi ei holl sylw i'r pwnc, a'i argraffu yn ddwfn ar y meddwl drwy fyfyrdod ar ol hyny, yr hyn sydd yn tueddu i wneyd y cof yn fwy gafaelgar. Mse engreifftiau laweroedd ar gael o ddeillion yn rhagori yn y gyneddf werthfawr hon, ac o rai yn gwneyd defnydd da o honi wrth ymgydnabyddu â phynciau dyrus a dwfn.

Ystyrir fod dallineb yn ffafriol hefyd i feithriniad y dychymyg, neu y gallu i gynllunio. Hon yw cyneddf briodol y barrd; y mae y ffaith fod cynifer o feirdd yn ddall, wedi ymddangos ar hyd yr oesau, fel yn awgrymu fod barddoniaeth yn eiddo neillduol personau amddifad o olygon, y rhai sydd

> **"Fel yr edn dihun**
> **Mewn gwyll ddyrch ei lais, ac yn y cuddlwyn tew**
> **Ei nosawl weddi gân."**

Mae yn debygol fod y gân arwrol benaf yr oesau gynt, ac y mae yn *sicr* fod un penaf yr oesau diweddaraf, wedi ei chyfansoddi yn y tywyllwch.

Ychwanegwn eto fod dallineb yn ffafriol i grefyddolder. Ar rai ystyriaethau gellid meddwl nad ydyw. Fel hyn, mae y dall, o angenrheidrwydd, allan y gyrhaedd rhai dylanwadau a gyfrifir yn neillduol o feithrinol i'r anian dduwiol. Nid yw darlunlen ogoneddus y ffurfafen na'r

> **"Ser lu**
> **A wna y wybren gafnog glir ar auaf nos**
> **Dywallt ar ein trem,"**

yn ddim iddo ef. Nid yw gogonianau cyffredinol y greadigaeth na'r tymorau, gyda eu hamrywiaethau annherfynol a phrydferth, o fewn cylch ei gyrhaeddiadau ef. Mewn gair, y mae golygfeydd natur a rhagluniaeth, y rhai a dueddant mor unrongyrchol i ddyrchafu yr enaid at Dduw mewn diolchgarwch, mawl, a chlod, fel yn gloedig rhagddo. Mae ei *fyd* ef mor gyfyngedig fel y mae ei derfynau pellaf o fewn hyd ei freichiau, a phob peth sydd tu draw i hyny mae fel heb fodoli iddo ef. Fel yna, mewn rhai ystyriaethau, mae y cyflwr o ddallineb yn ymddangos fel yn anffafriol i grefyddolder. Ond sylw pellach a ddengys fod amrywiol bethau yn y cyflwr hwn yn tueddu i orbwyso yr anghyfleusderau a nodwyd. Mae anffawd boenus y dall yn tueddu yn debyg i raddau fel y tuedda anffodion eraill, i ddwyn y meddwl a'r galon i ddoethineb; a phan yn barhaol anfeddyginiaethol, i ymostyngiad a thawelwch. Mae ei sefyllfa yn cau oddiwrtho y rhan fwyaf o'r temtasiynau sydd yn dueddol i oddiweddyd eraill. Gwna ei darianu rhag hudoliaethau lluosog sydd mor swynol i natur lygredig plant y codwm mawr. Fel yna mae y dall yn gyfyngedig i gylch mwy pur a meithrinol i grefydd. Bydd ei alwedigaeth o natur dangnefeddus, ac yn fynych o natur hollol feddyliol. Derbynia ei fwynhad oddiwrth swynion cymdeithas deuluaidd, a chynyrcha y parch a delir i bersonau yn ei gyflwr dibynol ef, deimladau dedwyddol a charuaidd yn eu mynwesau hwythau yn ol. Yn fyr, mae gogwyddiad cyffredinol bywyd y deillion y fath ag sydd yn naturiol yn tueddu i ymostyngiad, addfwynder, a sirioldeb; a thystiol-

aethir fod nodweddau cyffredinol y deillion yn profi hyny.

Ystyrir fod y deillion yn rhagori yn fawr mewn amynedd, dyfal-barhad, a diwydrwydd, nodweddau a hwylusant lawer ar y gwaith o'u haddysgu, yr hyn hebddynt fuasai yn boenus o araf, ac yn wir yn debyg o fod i raddau pell yn ofer o ran ei effeithiau.

Dyna fras olwg ar rai o brif ganlyniadau ffafriol dallineb ar ei ddeiliaid. Perthyna iddo eto ddylanwadau anffafriol.

Dywedir fod syniadau y deillion yn anmherffaith gyda golwg ar liwiau. Dichon mai y brif ffordd, os nid yr unig un drwy yr hon y maent yn gallu ffurfio syniadau am liwiau ydyw drwy yr ystyr foesol a berthyn i wahanol wrthddrychau. Ar yr egwyddor hon y gellir esbonio paham y mae dynion o'r dosbarth hwn yn gallu rhagori fel beirdd desgrifiadol, yr hyn sydd yn ffaith. Yn mhlith eraill gellir nodi Blacklock. Nodweddir ei farddoniaeth ef â'r desgrifiadau mwyaf ysblenydd. Fordd effeithiol i ddarllen anian a gwybod ei chyfrinion, gan hyny, ydyw trwy y moesol a'r crefyddol. Ac erbyn ystyried, mae y rhan fwyaf o'r pleser a rydd barddoniaeth ddesgrifiadol i ni yn deilliaw oddiwrth yr elfenau dan sylw.

Mae syniadau y deillion am *wyleidd-dra*, yn wahanol i eraill, ac yn llai perffaith. Y mae pob un o'r synwyrau corphorol yn gyfryngau dylanwadau arbenigol a gwahaniaethol i'w gilydd. Yna mae yr hwn fyddo yn amddifad o o olygon yn fyr o'r prif gyfrwng drwy yr hwn y derbynia y meddwl argraffiadau oddi allan. Gwelir felly ar unwaith y rhaid fod ei syniadau am wyleidd-dra yn gwahaniaethu yn fawr oddiwrth eraill. Cofnodir am ddyn dall o'r enw Paisseaux, iddo ddweyd na fedrai efe ddim deall paham yr ystyrid yn anmhriodol dynoethi un rhan o'r corph yn hytrach na'r llall. Yn ddiau gall y rheolau arferedig, ag sydd mor angenrheidiol mewn cymdeithas yn y cysylltiad hwn, ymddangos i raddau yn ofer mewn cymdeithas o ddeillion.

Peth arall, mae gwahaniaeth yn mhlith y deillion mewn tynerwch teimlad. Priodolir iddynt ddiffyg yn y peth hwn. Y mae llawer o'n haddysg foreuol yn deilliaw oddiwrth edrychiadau, gwgiadau, gwawdiau, dagrau; mewn gair, oddiwrth esiamplau yr holl bersonau fyddo yn ein harolygu a'n hamgylchynu. O angenrheidrwydd, mae y plentyn a'r ieuanc dall allan o gyrhaedd yr oll o'r pethau hyn. Modd bynag, dyma ydynt ffynonellau mawrion cydymdeimlad. Ychydig a deimlwn oblegid y llawenydd neu y galar fyddo allan o'r golwg. "Allan o olwg, allan o feddwl," medd yr hen ddiareb. Dyma'r achos y mae dynion mor barod i droi ymaith oddiwrth drallod na allont, neu na oddef eu crintachrwydd i'w symud na'i leddfu. Dyma'r achos y ceir personau a deimlant i'r byw wrth weled creulondeb yn cael ei ddangos at anifeiliaid mawrion, megys ceffyl neu gî er engraifft, ond a ddistrywiant drychfilod mân gyda y difaterwch mwyaf, y rhai y byddo eiddilwch eu cyfansoddiadau a'u poenau corfforol yn anweledig i'r llygad noeth. Mae y niwed lleiaf a ddygwydda yn ein presenoldeb, yn effeithio yn anhraethol fwy arnom na'r hanes am y frwydr fwyaf, neu anrheithiad y ddinas fwyaf poblogaidd a blodeuog yn mhellafoedd y byd. Eto, dyna y fath, heb lawer o ormodiaeth, ydyw sefyllfa y deillion. Maent wedi eu symud, oblegid eu llesgedd, oddiwrth y byd—oddiwrth yr amlygiadau dyddiol o'r golygfeydd cymysglyd o dristwch a llawenydd, dyben penaf y rhai, efallai, ydyw galw allan ein cydymdeimlad â'n cydgreaduriaid.

Nid oes dim a ddengys ragoriaeth yr oesau hyn ar yr oesau cyntefig yn fwy na'r darpariaethau ardderchog a wneir ynddynt ar gyfer y rhai angenus a thrallodedig hyn. Urddasoli y llywodraeth, heb ofalu fawr beth a ddeuai o anffodusion na fedrent o herwydd afiechyd neu anallu i weithredu yn y cyfeiriad hwnw, oedd prif gyhoedd-bwnc yr hynafiaid. Ond i Gristionogaeth yn benaf yr ydym yn ddyledus am y gwelliant hwn. Yn ei goleuni hi y gwelwyd fod gan y tlawd a'r angenus hawliau llawn mor gysegredig ag eiddo y llyw-

odraeth; ac yn hylif dylanwad Cristionogaeth y daethpwyd i deimlo yr angenrheidrwydd am wneyd darpariaethau neillduol er eu dyrchafu a'u dedwyddoli. Eto, tra yr oedd yr ysbryd haelfrydig hwn yn myned yn mlaen gan weithredu yn fendithfawr ar luoedd, yr oedd y dosbarth lluosog a phwysig hwn o anffodusion yn cael eu hystyried hyd yn ddiweddar fel y tu allan i'r cylch. Anffodusion, nid rhai drwy gam-ymddygiad oeddynt wedi anafu eu talentau, fel yn fynych mae yn bod, ond rhai yr oedd natur wedi gwrthod iddynt rai o'r prif synwyrau corphorol. Hyd ddiwedd y ganrif ddiweddaf ni fodolai yr un sefydliad arbenig ar gyfer y mud a'r byddar, na'r dall. Hyd yr amser hwnw byddai y deillion, druain, yn gaeredig o fewn muriau ysbytai a thlodtai, fel cynifer o wallgofiaid anfeddyginiaethol; ac yno yn agored, os nad i afiechyd corphorol, i un moesol, y fath a berthyn yn fynych i'r cyfryw leoedd: ac felly wedi eu rhoddi i fyny i dywyllwch mwy galarus na'u tywyllwch corphorol. Yr oedd yr ymddygiad hwn yn ganlyniad naturiol o edrych arnynt fel baich ar y cyhoedd, ac yn analluog i wneyd dim tuag at eu cynaliaeth, nac i wellhau dim arnynt eu hunain mewn ystyr feddyliol. Yn lle eu diraddio felly, dylasent gael edrych arnynt yr hyn oeddynt mewn gwirionedd, yn feddianol ar alluoedd corphorol a meddyliol digonol, ond defnyddio moddion priodol i'w diwyllio, i'w gwneuthur yn gysur iddynt eu hunain, ac yn aelodau defnyddiol o gymdeithas.

Sefydlwyd yr athrofa gyntaf erioed i'r deillion yn Paris, yn y flwyddyn 1784, yn benaf drwy offerynoliaeth yr haelfrydig Haug. Dilynwyd esiampl Paris yn mhrif ddinasoedd y rhan fwyaf o wledydd Ewrop—yn Mhrydain, Prwssia, Rwssia, Awstria, Switzerland, Holland, a Denmarc. Ac yn y flwyddyn 1829, agorwyd athrofa o'r natur hyn yn Boston, Massachusetts, yr hyn oedd yn ddechreuad yn America ar waith mawr sydd wedi ac yn cael ei wneuthur yn y cyfeiriad dyngarol hwn. Ymdrechir o'r dechreu i hyfforddi y bobl hyn yn y gwybodaethau a'r celfyddydau hyny y byddant hwy yn y dyfodol yn alluog i'w dilyn yn annibynol ar gynorthwy eraill. Wrth wneyd hyn ymddibynir bron yn hollol ar y *cyffyrddiad*. Y bysedd ydynt lygaid y deillion; a rhyfedd mor dyner a chywrain y mae eu cyffyrddiadau yn dyfod pan o dan ddysgyblaeth briodol. Drwy redeg eu bysedd dros y llythyrenau ffurfiedig, gallant ddarllen gyda hwylusdod a rhwyddineb mawr. Gan y byddai yn ofer dysgu darllen heb feddu llyfrau i'w darllen, y mae amrywiol gynygion wedi cael eu gwneuthur at at ddarparu rhai, a hyny yn dra llwyddianus. Yn mhlith pethau eraill y mae yr Ysgrythyrau Sanctaidd wedi eu cyfaddasu i fod yn ddarllenadwy iddynt, ac felly mae un o *brif* ffynonellau cysur dynol at eu gwasanaeth. Dysgir iddynt hefyd i ysgrifenu; a'r ffordd y gwneir hyny ydyw drwy yru y pwyntel ar hyd rigol ar ffurf y gwahanol lythyrenau. Y mae ffyrdd eraill, ond ni oddefai terfynau y WAWR i ni fanylu arnynt. Hefyd y mae un ffordd ganddynt i ohebu â'u gilydd, sydd ddyfais hynod o gywrain. Dyfeisiwyd y cynllun hwn gan ddau ddyn dall yn Edinburgh. Defnyddir mathau o gylymau yn osodedig ar linyn; ac y mae yn ddull mor syml fel y gall unrhyw un ei ddysgu mewn awr o amser.

Y mae y gelfyddyd o argraffu yn gyfryw ag y mae y deillion yn dangos medr arbenig ynddi. Gallant fyned drwy amryw ranau o'r gelfyddyd gyda deheurwydd a chywirdeb rhai yn gweled.

Heblaw llawer o bethau defnyddiol eraill, dysgir hwy i nyddu a gwau; y maent yn hynod fedrus mewn gwau, yn ei holl foddau amrywiol.

Yn mhrif athrofeydd y deillion cyfrenir addysg ar raddfa uchel yn ngwahanol gangenau gwybodaeth. Ac mae yr effeithiau yn hynod ddymunol, nid yn unig i'r dosbarth anffodus eu hunain, ond i bob dyn sydd yn caru lles ei gyd-ddynion. Nid oes prawf cryfach o uwchafiaeth y meddwl dynol, na'i allu fel hyn i dynu cysur o'i adnoddau ei hunan o dan y fath anfanteision, fel

y gall nid yn unig ddangos ymostyngiad a sirioldeb yn y cyfryw sefyllfa, ond hefyd dryllio ymaith y llyffetheiriau a'i rhwyma ynddi. DYNGARWR.

---

## MANION HYNAFIAETHOL.

GAN CYNDDELW.

RHINWEDD Y PREN CERDIN.—Cerddin, Criafal, Criafall. Byddai yr hen bobl yn gwneyd diod iachus o ffrwyth y pren hwn; ac y mae Davies yn y *Welsh Botanology*, yn dywedyd, "Y ffrwyth, neu yn hytrach y ddiod a wneir o ffrwyth y pren hwn, a gyfrifir yn llesol i bureiddio y gwaed ac i gadw y corph yn rhydd." Byddai yr hen bobl, yn fy nghof i, yn casglu grawn cochion y cerddin, ar ol iddynt addfedu, ac wedi eu golchi yn lân, yn eu barilo mewn cyflawnder o ddwfr ffynon oer, fel na ddeuai awyr i mewn i fagu llwydni, ac yn mhen rhai misoedd byddai y grawn wedi troi y dwfr oer yn ddiod iachus; a chlywsom rai yn haeru yn gellweirus y byddai yr hynafiaid iselradd yn swpera yn iachus ar ddiod gerdin, a phastai "eirin bach tagu," sef eirin duon bach y perthi! ac y byddai y naill yn gwrthweithio y llall yn ei ddylanwad ar y cylla a'r boten ludw.

Yr oedd rhinweddau cyfareddol y Gerddinen yn fawr iawn, yn ol ofergoel yr hynafiaid. Byddai gardas o wden îr o flaguryn eurafal yn ddigon o ddiogelwch i ddyn rhag cael ei reibio gan ddewin neu gonsurwr; a gwnelid modrwyau bychain plethedig o'r brigau ystwyth i'w claddu yn y ddaear dan don y *pit* ceiliogod, pan fyddai y ceiliogynod yn ymladd, rhag i ryw wrthallu drygionus fwrw hud a chyfaredd i aflwyddo y capylltiaid yn eu campau milwraidd!

Yn oes Coelbren y Beirdd, a thori llythyrenau ar goed, y pren hwn oedd dewis-bren y rhai doethaf o'r beirdd i wneuthur y Beithynen, tra yr arferai oferfeirdd gyll a helyg. "Eithr yr hen brydyddion a geisiynt goed Cerdin, gan eu barnu yn goed cyferddawl *charmed wood*), am nad yw pryfed yn eu bwyta nac yn eu llygru; ac nad oes na gwag ysbryd, nac un ellyll drwg, a drig lle bo cerdin, ac nad oes na swyn na chyfaredd a all ymafael â cherdin, na'u drygu, na'r neb a'u dyco, ac nad oes un gwenwyn marwol a all gyffwrdd â hwynt."—*Barddas*.

Tebygol mai yr hyn a barodd i'r hen symlogion anwyddonawl farnu fel yna, oedd gwaith y pryfed yn rhwyd-dyllu y cyll a'r helyg, ac yn arbed y cerdin, am nad ydoedd at eu harchwaeth. Ond byddent weithiau yn "berwi pillwydd a pheithwydd mewn lleisw sur" i'w cadw rhag pryfed, ac yn "eu twymno'n frwd, ac iro cwyr gwenyn ynddynt, a'u lled-bobi oni elo'r cwyr iddynt gan wres," er eu cadw "rhag mall a phydrni."

RHAMANTA.—Dewino, llygadrythu i'r dyfodol; *Llymanta*, gorcheiniaw, swyno, trin dewiniaeth a chyfaredd, trin y celwyddonau. Meddwl Rhamanta yn Mhowys, a Llymanta yn Ngwynedd, yw cyflawni rhyw ddefodau penodol gan yr ieuenctyd, mewn trefn i wybod pwy fydd cymheiriaid eu bywyd yn y dyfodol. Yr oedd ganddynt lawer o ffyrdd i wneuthur hyny; un ffordd gan y menywod oedd ymofyn am wy cyntaf cywen, ei dori drwy ei ganol fel y byddai yn ddau gelwrn bychan, llenwi un â chan neu flawd gwenith, a'r llall â halen, a gwneyd teisen o'r wy, y cân, a'r halen, a bwyta un haner iddi, a dodi'r haner arall yn nhroed ei hosan chwith o dan ei phen yn y gwely, ac ar ol adrodd gweddi gymhwys i'r amgyichiad—cysgu rhwng meddyliau rhamantus, syched ar ol y deisen hallt, a phob gorphwylledd, yr oedd y gwr dyfodol yn cael ei weled mewn breuddwyd, neu weledigaeth nos, yn dyfod at y gwely a diod i'r sychedig a'r awyddus am gael golwg arno!

Ffordd arall o ramanta oedd myned i'r ardd tua haner nos, yn adeg hau hadau duon, i hau cenin, gyda dwy gribyn, neu raca garddio; byddai un rhaca ar y llawr yn barod, a'r ferch, ar ol hau ychydig, yn rhacanu gyda'r llall, gan fwngialu yn ddibaid, "Y

sawl sydd i gydfydio, doed i gydgribinio." Clywsom am un, agos i bedwar ugain mlynedd yn ol, a wnaeth felly, a phwy a welai yn dyfod i racanu ond ei meistr! Rhedodd i'r ty mewn dychryn, a gofynodd i'w meistres, "Be' dar'u ch'i yru meistr i'r ardd i 'nychrynu i?" "Wel, wel," ebai hono, yn drom ei chalon, "gwna'n fawr o'm mhlant bach i!" Pa fodd bynag, bu farw y wraig, a phriododd y meistr y forwyn.

Byddai dynion yn hyfach fyth. Un ffordd ganddynt hwy o ramanta oedd myned i'r fonwent ganol nos gyda thwca, wedi ei wneuthur o hen ellyn, a charn o gorn myharen neu fwch gafr, a chylchynu yr eglwys saith waith, gan ddal y twca allan o hyd braich, a dywedyd, "Dyma'r twca, p'le mae'r wain?" Yr oeddym yn adnabod un a wnaeth felly, a daeth gwalch castiog mewn cynfas wen, gyda gwain twca i'w gyfarfod; ond aeth gwr y twca i fraw a dychryn mawr, a syrthiodd i lewyg. Os byddai dyn i farw cyn priodi, elor a ddeuai i'w gyfarfod, yr hyn weithiau a'i gyrai yn wallgof! Ond rhaid cofio nad gorchwyl mawr oedd dyrysu synwyrau rhai felly, gan eu bod eisoes yn dra lloerig a phen-feddal.

Byddai rhai hen bobl ddoethion yn eu tyb eu hunain, ac awyddus am enwogrwydd, a bod yn honaid, yn myned ar nos Galan i eistedd drwy'r nos yn mhorth yr eglwys, er mwyn clywed enwau y rhai a gleddid y flwyddyn hono yn cael eu galw gan lef annaearol o dan yr allor, a chymerai y cyfryw un arno y gwyddai pwy o'i gymydogion a rifid i'r pentwr yn nghorph y flwyddyn ddyfodol; ond weithiau, er ei fraw, clywai ei enw ei hun yn cael ei alw, a rhoddai hyny derfyn ar ei holl ryfyg a'i ofergywreinrwydd.

Adargoelion.—Yr oedd yr hen bobl annichellgar a difeddwl yn gredinwyr cedyrn mewn adar-ddewiniaeth. Byddai gweled bran wrth gychwyn i daith yn arwydd ddrwg; ond os gwelent ddwy gyda'u gilydd, ymgysurent, gan adrodd y ddiarebgoel,

"Dwy frân ddu,
Lwc dda i mi."

Os croesai pioden eu llwybr gan ysgrechu, byddai hyny yn un o'r arwyddion gwaethaf, canys y mae rhywbeth fel adsain rheg a melldith yn ysgrech y piag, a thybiai llawer fod y cyfryw edn brithlas yn eu rhegu, wrth deimlo eiddigedd dros ei nyth a'i gywion.

Aderyn hynod o gyfarwydd yn helyntion plant Adda oedd y ceiliog; ei grechwen soniarus ef yn y plygaint fyddai yn ddigon o awgrym i bob coegysbryd, coblyn, bwgan, cyhyriaeth, ellyll, bwci, a drychiolaeth, i ffoi i wlad yr hud lonydd am eu hoedlau, cyn i oleuni dydd eu dangos yn eu diddymdra, a'u dwyn i warth. Clywed ceiliog yn canu gam-amser a roddai fraw yn mhob calon ofnus, rhag ofn fod prophwyd y boreu yn rhagfynegu tranc anesgorawl un o'r teulu; ac yr oedd ydlais ysgrechlyd un o dylwyth y ddallhuan yn agos i dŷ lle y byddai clafwely, yn llenwi pawb â sobrwydd, canys yr oedd "aderyn y corph," blaengenad anffaeledig angau, gyda'i wichlais ofnadwy, yn ddigon effeithiol i ddifrifoli y caletaf o blant ofergoeledd ac anwybodaeth, a pheri iddynt ddymuno diwedd da.

Chwedl am Owain Glyn Dwr.—Dafydd ab Gruffydd ab Llywelyn ab Iorwerth Drwyndwn, pan ddihenyddiwyd yn Amwythig, ac wrth ei ddihenyddio cymmerth y cigydd ei galon, ac a'i taflodd i'r tân, ac y neidiodd y galon o'r tân, ac a darawodd y cigydd yn ei lygad, ac a dynodd ei lygad!

Harri IV., brenin Lloegr, a ysgrifenodd at Arglwydd Gray, o Ruthin, i erchi iddo ef trwy ryw ystryw fradychu Owain Glyn Dwr; ac yno y gyrodd Arglwydd Gray at Owain i ddywedyd iddo y byddai yn ciniawa gydag Owain y dydd a'r dydd; ac yr atebodd Owain y byddai roesaw iddo, oni ddygai gydag ef uwch ben dengwr ac ugaint; ac y daeth yr arglwydd yn yr oed terfynedig, ac ychydig o gymdeithas gydag ef, a gallu mawr yn ncfog o dan lech yn dyfod ar ei ol. A phan aeth Owain i giniawa, efe a osodes wersyll ar ben i wersyllu tra byddai Owain ar giniaw. A phan oedd Owain ar ganol ciniaw, nycha! y gwelynt y gwersyllwyr lon-

aid y ddol heb eni o wŷr arfog; a dywedasant i Iolo Goch i rybuddio Owain; ac yna daeth Iolo i mewn, canys didyb oedd ef, ac y canodd ar ddameg yr englyn rhybudd yma ar osteg, rhag tybied yr arglwydd fod twyll ynddo; er bod yr arglwydd yn deall traethawd Cymraeg, nid oedd ef yn deall ein mydr ni:—

"Coffa ben, a llen, Llywenig—Lys
A Las nos Nadolig;
Coffa golwyth Amwythig
O'r tân a fwriodd naid dig."



## YR EOS.

Yr aderyn ffraeth-bîg a pheroriaethol hwn sydd wedi bod yn mhob oes yn wrthddrych neillduol o sylw a hyfrydwch dynolryw, ac yn un o destynau hoffaf y beirdd o bob cenedl; ac er nad yw ond edn lled ddyeithrol yn "Hen Wlad ein Tadau," eto y mae ei hawenyddion wedi mynych gyfansoddi ei folawd mewn llinellau o'r orchest-gamp gywreiniaf; ac mewn Eisteddfod a gynelid yn Nghaerwys yn nheyrnasiad y Frenines Elizabeth, dywedir fod "Yr Eos" yn destyn cadeiriol; ac o blith y cyfansoddiadau ar yr achlysur, yr ydym yn dethol y rhai canlynol:

Eos fain wiwglos fwyn eglur—fawl gynydd
Fêl ganiad pob mesur;
O'th enau bach a'th awen bur,
Moes gnotiau miwsig natur.
*Robert Gruffydd ab Ieuan.*

Daildai ddehuddai hoywddysg—bro diddan
Brydyddes y mânwrysg;
Eos yn nyddu sain addysg,
O'i silffau dan solffio* dysg.
*Rd. Davies, Esgob Mynwy.*

Call byngciau yn amlhau ymhlith—y pillgoed,
Pebyllgerdd ceueddwlith;
Cywir o ganol cae'r gwenith,
Chwibianogl aur uwch ben gwlith.
*Wm. Lleyn.*

Clywais deg eurllais wedi gorllwyn—nos
I 'maros â morwyn;
Ar lawes maes, irlais mwyn,
Eos glwyslais is glaslwyn.

Iach lawen ydwyf o chlywais—ar fedw
Arfodi pereiddlais;
Edyn llwyd adwaen ei llais,
Eos gefnllwyd ysgafnllais.

Neud cwafriad crychiad crochach—nag organ,
Neu gywirgerdd decach;
Neud manwl nodau mwynach;
Nid ysbort ond Eos bach. *Sion Tudur.*

Ac odid y b'ai bosibl i'r fath gantores ddianc heb sylw a molawd ein nwyf-

* *Solffio;* yn tarddu, mae'n debyg, oddiwrth y geiriau *Sol la mi fa,* &c., yn yr hen gamut Italaidd gynt. Mae'r un meddylddrych gan Ddafydd ab Gwilym, yn ei gywydd i'r Gaingc Symlen—
"Solffeais a'm salw ffuaint
Salm rwydd, ys aelnw 'y mraint."

us fardd Dafydd ab Gwilym. Yn mysg ei leteion at ei Forfudd, cawn yr Eos yn cael ei gyfarchiad awen-ffraeth:

Ni cherdd ar fedwen wen wiw,
Ond eos loywdlos lwydliw;
Synia arni os gwely
Ystofwraig mydr, gaen hydr hy;
Serchog y cân, dan y dail,
Salm wiw. Is helm o wiail!
* * * *

Boreuwraig serch ferch firain,
Burddu drem uwch byrddau drain.
Chwaer Cyhelyn, befrddyn bach,
Chwibanogl, chwe buanach!
Meistres organau Maestran
Na chant, o'r cilddant y cân.
* * * *

Poed ar y pibori,
Amen fyth! o mynaf fi,
Y doter gynifer un
A'i ditiodd yn Nghoed Eutun.

Yr eos, er destlused ei chantoriaeth, nid yw ond dysyml ei diwyg, a distadl o gorpholaeth. Nid yw hyd yr aderyn hwn, o flaen ei bîg i flaen ei gynffon, ddim dros chwech o fodfeddi; ei gefn yn rhudd-lwyd, o wawr werddlas, ac odditanodd yn oleuach o gryn lawer, a'i wddf yn mron yn wyn, a blaenau ei adenydd yn llwydgoch. Nid oes ond ychydig wahaniaeth rhwng y gwrryw a'r fenyw.

Hwn yw yr aderyn canu godidocaf sydd yn Ewrop, yr hwn a gân yn y nos yn unig, wedi i bob adar eraill ddystewi; ac y mae rhai yn barnu mai y prif achos fod ei chân i'w chlywed mor eglur ac mor uchel, ydyw dystawrwydd y nos; a bernir pe canai yn y dydd, na ragorai fawr ar y fronfraith a'r fwyalch.

Aderyn ymfudol ydyw yr eos, yn ymweled â Chymru tua chanol Ebrill, ac yn ymadael tuag Awst neu Medi. Yr adar gwrryw sydd yn myned yno gyntaf; ac y mae yr adarwyr yn gwneyd y goreu o'r deng niwrnod neu y pythefnos y deuant yma o flaen y rhai benyw, i'w dal, gan y gwyddant yn dda na bydd y gwrrywod byw ond anfynych ar ol cymharu. Y mae hoffwyr cân adar yn tybied mai ansawdd tôn eos Surrey ydyw yr oreu yn y deyrnas gyfunol. Afreidiol fyddai helaethu yma ar ragoroldeb ac amrywiaeth cân yr eos —pwnc y mae prif ysgrifenwyr a beirdd pob oes a gwlad lle y mae yr aderyn yn adnabyddus, wedi ei ddyhysbyddu; ond y mae amryw bethau perthynol i arferion a sefyllfa ddaearyddol yr aderyn yn gofyn ychydig o sylw.

Dywed Temminck mai hoff gyrchleoedd yr eos yw coedwigoedd, dyryslwyni, a gerddi; ei bod yn ymweled â phob parth o Ewrop, hyd yn nod Sweden; ac yn ymfudo yn y gauaf i'r Aipht a Syria. Gwelodd Hasselquist yr eos yn mysg helyg yr Iorddonen, ac olewydd Judea. Gwelodd Strickland hi yn Smyrna ar y 5ed o Ebrill. Sylwa y tywysog Musignano ei bod yn gyffrediu yn Rhufain, heb ymadael ond dros y gauaf yn unig.

Mae un ysgrifenydd athrylithgar yn sylwi fel y canlyn ar yr eos: "O bob adar, yr eos yw y mwyaf pereiddiol ac amrywiaethol ei erddygan. Yn ngheinciau hwn y mae holl bynciau a chywreinrwydd yr adar cynganeddol eraill yn cael eu cysylltu yn nghyd. Cyfrifir weithiau gynifer ag un-ar-bymtheg o fyrdonau (*burdens*) mewn un o'i erddyganau, a'r rhai hyny yn cael eu llywodraethu yn rheolaidd wrth y goslefau cyntaf ac olaf. Mae un gainc iddo weithiau yn parhau tuag ugain eiliad o amser, i'w glywed yn drylawn o leiaf filldir o gwmpas. Mae canu yn beth mor gynwynol i'r rhywogaeth yma o adar, fel y mae'r *benywaid* yn meddianu galluoedd helaeth yn y gelfyddyd, er mai nid yn hollol mor rymus a chywrain a'r rhai gwrryw, eto yn dra chyffelyb o ran erddygan; dywedir y cân yr eos hyd yn nod yn ei lled-gwsg. Yr hyn sydd yn gwneuthur peroriaeth yr adar yma yn fwy hofflawn yw, nad ydynt un amser yn tramynychu yr un lleisiau yn yr un pync-wers, fel adar eraill, eithr yn amrywio eu goslefau drwy eu holl erddygan; ac os dygwydd iddynt daraw ar yr un gyrchfa eilwaith, hwy a fyddant yn sicr o roddi iddo aceniad gwahanol, ac addurniadau ychwanegol. Ar hin dawel, ar nosweithiau hyfrydlawn yn nechreu yr haf, pan na fyddo un twrf nac adlais arall i'w glywed trwy yr holl ardal, ni ddichon bod dim yn fwy difyrus i'r glust na chainc yr eos; dyna y pryd y mae ei phêrodlau cymhendlws yn serch-hudo yr holl oror."

## SERVIA. MESUR 8. 8. 4 llin.

Y ddau benill rhwng yr erwyddau gan D. LL. GRIFFITHS, a'r rhai islaw yn hen benillion adnabyddus i lawer, wedi eu lleoli fel y gellir eu canu ar yr un dôn.

Buddugol yn Eisteddfod Sardis, Pont y-pridd, D. C., gan T. D. GRIFFITHS, St. Clair.

1. Prudd yw'r praidd yn awr yn Seion, Drwy'r eg - lwysi trig eu loesion;

2. Arglwydd, cof - ia am dy seintiau, Tro eu cwynion yn gan - iadau;

Dysgwyl maent am wawr di - wygiad, A gwir grefydd eu mawr Geidwad.

Myn dy gael gan bawb drwy'r hollfyd, Er mwyn ang - au yr An - wylyd.

Caned pechaduriaid mawrion,
Fe gaed noddfa i lofruddion;
Noddfa glyd rhag llid dialydd,
Noddfa rad yn ngwlad y cystudd.

Canwn mwy am waredigaeth
Heb ei hail, i blant marwolaeth;
Talodd Iesu ein dyledion,
A gorchfygodd ein gelynion.

Am hyn rhyfedd fydd y canu,
Pan ddaw Seion oll i fynu,
At y rhai sy'n awr mor hwylus
'N chwareu 'u tanau yn Mharadwys.

Clywaf dorf ddirif o seintiau
'Nawr yn canu eu telynau,
Ac yn seinio Haleluia,
Dechreu anthem pen Calfaria.

Dengmil o delynau 'n canlyn,
Cân nefolaidd, bur, ddiderfyn;
Y cerubiaid gyda'r seintiau
Yr un sylwedd eu caniadau.

Caned nef a daearolion
Sain Hosanna i Frenin Seion;
Llâwn tosturi yw yn wastad,
Nid oes diwedd ar ei gariad.

# Barddoniaeth.

### ENGLYNION.

Ar foreu oer iawn, a'r eira yn drwchus, yn niwedd Ionawr, 1867, daeth i'n rhan i fyned o Mahanoy City i Shenandoah City (aem yno i'r dyben o gorpholi ychydig frodyr a chwiorydd yn y lle yn eglwys, yr hon sy'n awr yn llewyrchus). Yr oeddym yn myned trwy anialwch coediog ar hyd ryw fath o lwybr. Y cwmni i gyd oeddynt, yr hybarch dad William Morgan o Pottsville; ac hefyd y brodyr Allen J. Morton (Alwyn Trefor), Summit Hill (Upper Lehigh yn awr), yr ysgrifenydd; Thomas Gittins, Mahanoy City, ac un brawd arall o'r un lle. Trwy fod yr oedranus dad o Pottsville yn cael y blaen yn ddiymdrech ar y brodyr ieuengach, ni allwn beidio meddwl am rai o'i nodau arwrol; a chyfansoddwyd wedi yr hynt hono y llinellau canlynol yn gosod allan y tro. Ac yn awr, ni allwn ymatal rhag rhoddi ail gyhoeddusrwydd iddynt, nid, yn wir, oblegid unrhyw ragoriaeth neillduol a dybiwn sydd iddynt, ond yn hytrach am eu bod yn galw i gof y digwyddiad hwnw, yr hwn yn awr a ymddengys i ni fel seren fechan oleu yn ffurfafen ddysglaer bywyd yr hybarch dad ymadawedig.

Ymorwedd mae coed mawrion—o'n cwmpas
Wedi cwympo 'n feirwon,
Mewn amdoau gynau gwynion,
Onid ynt y fynyd hon?

Dan wibio'r gwynt wna ubain,—a heddyw
Mor bruddaidd yw'r adsain;
A rhoi wna'r prenau byw rhai'n
Eu galar am y gelain.

Sengwn ar deyrnas angau,—o'n deutu
Mae'n datod hoff rwymau;
Dacw aml i hen bren brau
'N ei gryf ingol grafangau.

O'r oerfel gwna rai arfau—i enill
Ei hynod fawr frwydrau;
Gwelir mewn llewyrch golau
Haen eu min yma 'n ymwau.

Hynod yr oer ydyw'r eira,—ei anadl
Wenwynig a'n gwelwa;
O'r adfyd awr ar redfa,
Yn llwyr rhag picellau iâ.

Hyny a fu yn y fan,—ar y bryn
Mae'r brawd William Morgan,
O i adfyd fel yn hedfan;
Ninau y'm o'i ol yn wan.

Gittins, de'wch tuag ato—hyn meddwn,
Fe'n maedda yn teithio;
Ac Alwyn fyddo'n gwylio
Ar wan draed ar hyn o dro.

Gadael a wnaem y goedwig—i'w haflwydd
A'i chyflwr anniddig;
Och, anialwch anelwig,
Anap y tro—pwy a'i trig? GIRALDUS.

### YR ADNOD HONO.

Hen adnod fendigedig
A gofiaf tra f'wyf byw
Yw'r adnod ryfedd hono
Ddefnyddiodd Ysbryd Duw,
Er dwyn ar gof yr Iesu
I mi yn rhodd o werth,
Pan oeddwn ar ddiffygio dan
Fawr bwys euogrwydd certh.

Fe ddaeth yr adnod hono
A Christ goludodd Duw,
I'm rhan pan ar newynu,
Heb obaith am gael byw;
Fe ngwisgodd â'i gyfiawnder
Pan oeddwn druan noeth;
Dangosodd im' y ffordd i ffoi
O fwg y llynclyn poeth.

Hen adnod gysegredig
A gofiaf tra f'wyf byw,
Pan oeddwn mewn tywyllwch
Goleuodd fi at Duw;
Pan oeddwn bron a syrthio
Dan gledd cyfiawnder llym,
Daeth hi a gwaed fy Iesu Grist
Yn fywyd bythol im'.

Ar lanau afon bywyd,
Mewn nefol hwyl a hoen,
Wrth ganmawl trefn y cadw,
A gwledda gyda'r Oen;
Fe fydd yr adnod hono
'N bereiddiach fyth ei blas,
Wrth chwareu ar danau'r delyn aur,
A derbyn coron gras.

*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

### ENGLYNION.

CYNGOR I WRANDAWR EFENGYL.

Cais ffydd a bedydd, a byw—yr einioes
Mewn rhinwedd diledryw;
Parcha gais a llais y Llyw,
Adeg am fywyd ydyw.

Yn ufudd beunydd y bu—fy Arglwydd
I'w fawrglod heb ballu,
Dros y gwael drwy ei oes gu,
Ac wed'yn i'r groes a'r gwaedu.

Gwaddod ein sorod sur—Crist a'i hyfodd,
A daliodd ein dolur,
A choda hen bechadur
O laid y bedd i'r wlad bur.

Trwy weddi llwyddi yn llawn,—yn addas
Dy noddi gei'n gyfiawn;
Mae adlais Duw 'n gymodlawn,
Os troi am ras trwy'r mawr Iawn.

D. S. ROBERTS (*Dafydd Dyfed*).
*Hyde Park, Pa.*

## GEIRIAU Y DOETHION.

*"Bywiol yw'r Gair."*

Mae Voltaire a Paine wedi marw, ond mae y Beibl yn eu gorfucheddu hwynt, ac mor debyg o aros yn dragywydd ag erioed, ac nid yw pob cnawd a agorodd ei enau yn ei erbyn ond gwellt, a'u holl dalentau ond megys blodeuyn y glaswelltyn. Mae y Beibl wedi dal ei dir yn rhyfedd, wedi cychwyn o Judea, gyda'r Efengyles Seion. Cynygiodd doethineb penaf y byd, gau-grefydd, beiau, rhinweddau, a galluoedd y byd, atal cerbyd yr Efengyles, ond yn ofer y bu eu gwaith; aeth trwyddynt oll, er eu blaenori gan dywysog y byd hwn. Ymdrechodd holl nerth, awdurdod a gallu y byd hwn, yn Nghaersalem, Groeg, a Rhufain, a phob lle arall, i gladdu yr efengyl; eto, ni allasent ei rhoddi mewn bedd, canys cyfododd ei Hawdwr. Er erlid, dala, carcharu, llabyddio, llifio a dirdynu ei phregethwyr, eto, gair Duw nis gellir ei rwymo. Rhwymwyd tafod Paul yn y diwedd gan angau; ond mae tafod yr efengyl mor rhydd ag erioed. Mae yr efengyl yn y Beibl wedi cadw ei holl athrawiaeth, a'i threfn heb ei rhwygo. Er trwy gynifer o berthi drain y gwnaeth ei ffordd, digon llymion i rwygo crwyn llewod; eto ni allasent rwygo *gown* Efengyles Jerusalem.—Daeth allan trwy bob ffwrn dân fel y tri llanc, nid yn unig heb losgi ei chnawd a'i hesgyrn, tynu ei llygaid, byddaru ei chlustiau, tori ei thraed, a byrhau ei breichiau—maent oll yn ei meddiant heddyw—ond heb gymaint ag arogl a sawr y tân ar ei dillad, nac wedi deifio un o wallt ei phen. "Ond gair yr Arglwydd a erys yn dragywydd."—*Christmas Evans.*

—Yr oedd cariad Duw yn nhragywyddoldeb yn blygion ar blygion, fel pe buasai yn methu cael lle i ymestyn. Ond yn Iawn y Groes y mae wedi cael lle i ymestyn ar ei hyd.—*D. Jones, Treborth.*

—Mewn pregeth ar Ioan 3: 16, y mae awdwr galluog yn gwneyd y sylw a ganlyn: "Y mae y geiriau hyn yn *dechreu* yn nhragywyddoldeb, ac y maent yn *diweddu* yn nhragywyddoldeb. Y maent yn dechreu gyda chariad Duw yn nhragywyddoldeb *cyn* amser, ac yn *diweddu* yn nhragywyddoldeb *ar ol* amser. Y mae y ddau dragywyddoldeb megys yn cydgyfarfod, ac wedi eu cydgysylltu yn unig-anedig Fab Duw. Y mae cariad Duw at ddynion yn *ddiachos;* hyny yw, nad oedd un achos yn y *gwrthddrychau* a garwyd. Yr oedd yr achos i gyd yn Nuw—Duw ei hun oedd yr holl achos. Pan y darfu Duw ddigio a chasâu, yr oedd yr holl achos yn y *gwrthddrychau;* ond am y cariad, yr oedd yr holl achos yn y *Duw oedd yn caru.* Pan y gwnaeth y byd gasâu Duw, gwnaeth hyny heb un achos; ac megys y casâodd y byd Dduw heb un achos, dyma Dduw cyn hyny yn *caru* y byd heb un achos hefyd. Y fath ryfeddodau a ganfyddir wrth syllu ar y ddau beth hyn ar gyfer eu gilydd!—*Lewis Edwards, A. C., Bala.*

—Yr ydym yn dra gwyliadwrus oddiwrth eraill, ond y perygl mwyaf sydd oddiwrthym ein hunain. Dichon mai pan wrthym ein hunain hefyd yr ydym yn y perygl mwyaf ar y pen hwn. Cofiwn Dafydd ar nen y ty.—*T. R. Davies, Glanwydden.*

—Pan wrthym ein hunain, yr ydym i wylio ar ein *meddyliau;* pan yn ein teuluoedd, yr ydym i wylio ar ein *tymerau;* a phan mewn cymdeithas ag eraill, yr ydym i wylio ar ein tafodau.—*Hannah Moore.*

—Pan ddaeth Joshua o dan gaerau Jericho, y peth cyntaf a welodd oedd gwr cadarn, nerthol, yn sefyll ar y mur, a'i gleddyf llym yn ei law. O ba ochr yr wyt ti? ebe Joshua; os o du Duw Israel, pob peth yn burion, ond os yn ei erbyn, *tendia dy hun!*—*T. R. Davies.*

—Y mae y byd, er pan y daeth pechod iddo, yn fyd *anghyfiawn;* ond o bawb sydd wedi dyoddef camwri, *Iesu* a gafodd yr anghyfiawnder mwyaf.—*Dr. Prichard, Llangollen.*

—Y rhai nid ydynt yn haeddu dim, a ddylent fod yn foddlawn ar unrhyw beth.—*M. Henry.*

## HANESION CARTREFOL.

MARWOLAETH A CHLADDEDIGAETH YR HEN BATRIARCH A'R PARCH. WILLIAM MORGANS, POTTSVILLE.

Mae genym i groniclo yn awr farwolaeth a chladdedigaeth yr hen batriarch dnwiol, Morgans, Pottsville. Mae cofio am ryw ddynion yn creu gofid a galar yn ein teimladau wrth feddwl am eu bywydau a'u marwolaethau; rhai oblegid yr effeithiau fydd yn cydfyned a'u bucheddau annuwiol; eraill o herwydd eu trais a'u gormes; ond canlyniadau eu marw iddynt hwy sydd annhraethadwy. Eto, gwerthfawr yn ngolwg yr Arglwydd yw marwolaeth ei saint ef; ac un o'r cyfryw oedd Mr. Morgans. Un o ragorolion y ddaear; un a garwyd ac a barchwyd yn anwyl gan filoedd drwy y wlad; ond y mae efe wedi tewi yn yr angau er prydnawn dydd Mawrth, Ebrill 25, yn 79 mlwydd oed. Prydnawn y 27ain, ymgasglodd tyrfa fawr o bob graddau o drigolion Pottsville a'i hamgylchoedd, i dalu eu teyrnged o barch i'r rhan oedd farwol a llygredig o eiddo y gwas ffyddlawn hwn i Grist. Cariwyd y corph o'r ty i'r capel, pan y darllenodd y Parch. Wm. D. Thomas, Mahanoy, ran o'r Salmau, a chanwyd yr hen benill nefolaidd—"Yn y dyfroedd mawr a'r tonau," &c. Yna gweddiodd yr un person yn deimladwy ac effeithiol. Yn ei ganlyn, gwnaeth y Parch. David S. Thomas, Ashton, ychydig sylwadau yn fyr ar y geiriau yn Heb. 12 : 1, yn dra chynwysfawr. Pe buasai yn parhau dipyn yn hwy, buasai yn well. Gwnaeth y Parch. A. J. Morton ychydig sylwadau yn Seisonig ar fywyd Mr. Morgans, a chanwyd penill, ac aethpwyd yn un dorf fawr tua chladdfa yr Odyddion. Ar lan y bedd gwnaeth y Parchedigion canlynol ychydig sylwadau eto: Meyers, gweinidog y Bedyddwyr Seisonig yn Pottsville; Jones, Minersville; Jones, Shenandoah; a Morton. Yna daearwyd corph ein hanwyl frawd, lle y gorphwys hyd foreu udganiad yr udgorn diweddaf. Cyn ein ymadawiad, canwyd y dernyn hwnw:

"Ymado wnaf â'r babell
'Rwy'n trigo ynddi'n awr," &c.

Sabboth Ebrill 16, pregethodd Mr. Morgans yn St. Clair. Wedi iddo orphen ei bregeth, meddyliodd rhai o'r brodyr fod rhywbeth allan o'i le arno, a darfu iddynt ei gymell yn daer i aros i giniaw; ond gomeddodd. Aeth y brodyr T. B. Lewis a Shem Richards i'w hebrwng ryw ran o'r daith, a phan ar Wagner's Hill, fel y dywedir, dywedodd wrthynt am droi yn eu holau, y buasai ef yn myned yn burion; ac felly y bu. Pan ar y *railway* o Ysmeins lawr i Pottsville, gwelodd Gwyddel ef, ac aeth ato, gan ofyn a oedd efe yn iach? (Yr oedd y pryd hwnw wedi cyfnewid gryn dipyn er pan ymadawodd Lewis a Richards ag ef.) Dywedodd nad oedd yn teimio yn dda; felly cymerodd y Gwyddel ef yn ei fraich, i'w gynorthwyo i fyned adref. Wedi iddo gerdded tipyn yn mraich y Gwyddel, dywedodd ei fod yn credu y gallasai ef fyned ei hunan, a diolchodd am ei gymwynas. Yn y blaen yr aeth, fel pe wedi cael nerth newydd, nes cyrhaedd y bont sydd yn croesi y *railway* i Pottsville. Yn y man hwnw teimlodd ei hun yn methu, a phan yn pwyso yn ymyl y bont, daeth rhyw ddau ddyn o ryw le i'w helpu i fyned adref. Wedi cyrhaedd y ty, dywedodd wrth Miss Mathews, y ferch sydd yn cadw ei dy, gan lefain y dwfr yn hidl, "Mae fy ngwaith ar ben!" A dywedodd y gwir. Cafodd ei ymddifadu o'r hen wraig tua deg wythnos yn ol. Yr oeddynt wedi byw gyda'u gilydd yn agos i driugain mlynedd. Nid oedd Mr. Morgans yn teimlo yn dda er ys llawer dydd. Yr oedd yr hoelion megys yn colli eu gafael er's amryw flynyddau. Ymollyngodd yr olaf yn y diwedd,

Gobeithio y bydd i rywun ysgrifenu cofiant iddo; fe'i derbynid yn wresog gan luoedd heblaw yn y cylchoedd yma. T. D. GRIFFITHS.

*St. Clair, Ebrill 28, 1876.*

MARWOLAETH Y PARCH. JOHN W. THOMAS, (*Ioan Glan Tysog,*) BEVIER, MO.

Y mae wedi dyfod i'n rhan i gofnodi marwolaeth y brawd anwyl a pharchus, Ioan Glan Tysog, gweinidog y Bedyddwyr Cymreig yn y lle hwn. Bu farw ddydd Llun, Mai 1, wedi byr gystudd. Ni bu ond wythnos yn glaf; ei afiechyd oedd y *pneumonia fever*. Cafodd ei symud yn nghanol ei ddefnyddioldeb, yn 37 mlwydd oed. Yr oedd Mr. Thomas yn enedigol o Abertawe, ond daeth i'r wlad hon o Rhymney, Sir Fynwy. Cafodd ei ordeinio yn weinidog ar yr eglwys hon ddwy flynedd yn ol yn olynydd i'r hybarch Shadrach James; ac nid ydym yn meddwl i un gweinidog erioed fod yn fwy ffyddlawn a gofalus o'i eglwys nag y bu ef am y tymor byr y bu yn gwasanaethu. Nid yn unig yr oedd yn ffyddlawn yn yr areithfa, ond yr oedd yn mlaenllaw yn mhob peth, braidd; ac yr oedd yn hyfrydwch ganddo wneyd pob peth a allasai gyda phob rhan o'r gwaith. Yr ydym yn meddwl fod y frawddeg hono yn briodol am dano—"Yr hyn a allodd hwn efe a'i gwnaeth." Ond y mae erbyn heddyw wedi gadael ei lafur, ac wedi derbyn ei wobr. Bu farw fel y bu byw, a'i bwys ar ei Waredwr. Dyma ni fel eglwys wedi ein gadael unwaith eto heb neb i gyfranu gair y bywyd i ni, ond nid oes genym ond ymdawelu, ac hyderu y bydd i'r Pen Bugail dywys rhywun eto i'n plith i lanw y bwlch.

Daeth tyrfa luosog yn nghyd i hebrwng ein brawd i dy ei hir gartref, ac yn eu plith yr Odyddion, i'r rhai y perthynai. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. W. Skinner (B.), G. M. Jones (A.), T. J. Evans, gweinidog y Presbyteriaid, ac R. Matthews (A.) Tad yr amddifad a Barnwr y gweddwon fyddo yn nawdd ac amddiffyn i'r weddw alarus a'r ddau blentyn amddifad. DEWI HYDREF.

*Bevier, Mo., Mai 5, 1876.*

---

MARWOLAETH ELIAS R. JONES.

Ebrill 28, 1876, bu farw Mr. Elias R. Jones, Steuben. Cymerwyd ef ymaith yn dra disymwth gan y *typhoid pneumonia*. Yn y rhifyn diweddaf o'r WAWR yr oeddym yn cofnodi ei briodas ag Ellen Williams, *Tan yr Hill*. Byr iawn fu eu bywyd priodasol. Cydymdeimlir yn ddwys a chyffredinol â Mrs. Jones yn ei thrallod. Yr oedd Elias R. Jones yn fab i'r diweddar hen chwaer selog a deallus, Mary H. Griffiths. Yr oedd ef yn ddyn hynaws, yn gymydog cymwynasgar a diabsen, ac yn ddinesydd ffyddlawn. Yr oedd hefyd yn aelod dysglaer a pharchus gyda y Bedyddwyr yn Remsen, ac yn un o golofnau penaf yr achos yno. Teimlir colled fawr ar ei ol gan y frawdoliaeth oll, yn gystal ag yn ei deulu a'r gymydogaeth. Dysgwyliwn y bydd i gofiant teilwng gael ei ysgrifenu am dano yn fuan.

---

*GANWYD—*

Yn Minersville, Pa., Ebrill 21, 1876, mab i'r Parch. J. R. Jones a'i briod. Gelwir ef Dafydd Cynddelw.

Yn Hyde Park, Pa., Chwef. 20, 1876, mab i Mr. Daniel E. Davies a'i briod. Gelwir ei enw yn Dafydd.

Doed heddwch a dedwyddyd—i Dafydd,
A difyr fo'i fywyd;
Mewn dysg yn ben bob enyd—
Yn ben y bo, Rabbi'n byd.
IEUAN DDU.

Dyfod a wnelo Dafydd—yn ddyn da,
O ddawn doeth, iach celfydd!
A'i fywyd fo'n ddiwyd ddydd,
I'r Llyw Iôn er llawenydd.
DAFYDD DYFED.

---

*PRIODWYD—*

Yn Freedom, Cattaraugus Co., N.Y., Mai 11, 1876, gan y Parch. W. M. Evans. yn ei dy ei hun, Mr. W. P. Morgans a Miss Ellen Higgins. Boed hir oes i'r pâr dedwydd.

Yn ardal Upper Lehigh, Mai 6ed, 1876, gan y Parch. A. J. Morton, David S. Jones a Gwen Rice, y ddau yn aelodau o eglwys y Bedyddwyr yn y lle hwn.

A dymuniad i minau—pur ydyw
Priodas hyd angau;
Iddynt nes delynt eu dau
Yn felus i'r nef olau.

*Upper Lehigh.* R. THOMAS.

*BU FARW—*

Yn Minersville, Pa., Ebrill 19, 1876, o'r *diphtheria*, Seth Jenkins, yn ddwy flwydd oed. Baban ydoedd i William a Susannah Jenkins. Claddwyd yr un bach brydnawn Sabboth yr 21ain, a gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol gan yr ysgrifenydd.

Er bod y baban yn y bedd,
A'i gorph yn awr yn wael ei wedd,
Ei ysbryd sydd uwchlaw pob clwy,
Yn canu clod i'r Iesu mwy.

J. R. JONES.

Yn Utica, N. Y., Mai 18, 1876, Mrs. Elizabeth Hughes, gweddw y diweddar Hugh Hughes, gynt o Remsen, yn 84 mlwydd oed. Cludwyd ei gweddillion i Remsen, lle y claddwyd hwy ar yr 20fed. Yr oedd yn hen aelod parchus gyda y Bedyddwyr.

Yn Coalburgh, dwy ferch i Thomas a Sarah Gibbons; y gyntaf, Mawrth 7, 1876, yn 6 blwydd a 6 mis oed. Yr ail, Mawrth 12, yn 2 flwydd a 7 mis oed.—*Un yn Teimlo.*

---

*BEDYDDIADAU.*

*Taylorville, Pa.* —Cawsom olygfa fendigedig yn y lle hwn Mai y 7fed, sef gweled y brawd Rhoslyn, ein gweinidog, yn bedyddio 42 o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Am 2 o'r gloch cyfarfyddwyd yn y capel, yna ffurfiwyd yn orymdaith drefnus, a chychwynwyd dan ganu, yn cael ein harwain gan y gweithgar D. T. Davies. Wedi cyrhaedd glan y dwfr, a chael pobpeth mewn trefn, cawsom anerchiad (gadawn i ddarllenwyr y WAWR farnu beth) gan yr hen barchus dad, Theophilus Jones, o Wilkesbarre. Yna hwy a aethant i waered ill dau i'r dwfr, a bedyddiwyd y nifer uchod gan y brawd Rhoslyn, yn ngwydd tyrfa fawr o edrychwyr. Pregethwyd yn yr hwyr am 6, gan y brawd Jones, gyda hwyl a dylanwad. Da genyf eich hysbysu fod yr eglwys hon ar gynydd, a gweinidogaeth rymus y brawd anwyl Rhoslyn yn cael ei choroni â llwyddiant. Gobeithio fod oes hir i'r brawd i fod yma i wneyd llawer o ddaioni eto dros ei Dduw. WM. T. JEHU.

O. Y. Dylaswn ddyweyd hefyd fod wytn wedi eu adferyd yr un Sabboth oddiar dir gwrthgiliad, ac y mae y cwbl yn gwneyd i fyny 50. Mae rhagor eto o flaen yr eglwys, yn aros am yr un fraint. W. T. J.

*Dawn.*—Ebrill y 29ain, cawsom yr hyfrydwch o weled pedwar o ddynion ieuainc mewn dyddiau yn cael eu bedyddio yn ol y dull apostolaidd. Yr olygfa harddaf ar y ddaear yw gweled dynion yn mlodau eu dydddiau yn canlyn yr Oen a laddwyd. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd, ac yr ydym yn barod i waeddi gyda Joshua, "O haul, aros." Da genym allu hysbysu fod yr achos crefyddol yma yn gwisgo agwedd lewyrchus. S. M. THOMAS.

Yn Kingston, yr ail Sabboth yn Ebrill, bedyddiwyd dwy chwaer gan y Parch. D. Rhoslyn Davies. Mae yr achos yma yn myned ar gynydd yn barhaus, er yn raddol.

*Coalburgh.*—Mawrth 19, bedyddiwyd gan y Parch. E. M. Evans dri o bersonau. Mai 14, bedyddiwyd gan y Parch. Thomas M. Mathews ddau o bersonau. E. S. EDWARDS, *Ysg.*

*Pittston, Pa.*—Mr. Gol.—Credwyf eich bod yn ymhyfrydu mewn trosglwyddo newyddion da drwy gyfrwng eich cyhoeddiad; ac yn wir yr ydym yn llawenhau ar ei ymddangosiad, o herwydd ein hamddifadrwydd o gyhoeddiad misol at wasanaeth yr enwad; ac yr ydwyf yn gobeithio y caiff y WAWR bob cefnogaeth gan yr enwad yn ddieithriad trwy y Talaethau Unedig, ac y cawn ychydig o hanes gweithrediadau yr enwad Bedyddiedig Cymreig, yn nghydag hanesion pwysig ereill. Mae genym yr hyfrydwch o'ch hysbysu fod achos y Gwaredwr yma yn gwisgo agwedd ddymunol, a chynulleidfa luosog bob Sabboth, a gwrandawiad astud i air y bywyd, a rhai yn dywedyd, "Awn gyda chwi, canys clywsom fod yr Arglwydd gyda chwi." Am 3 o'r gloch, Sabboth Mai 14, cawsom yr hyfrydwch o wrando ein parchus

weinidog, y Parch. H. C. Parry, (Cefni,) yn traddodi anerchiad grymus a gwir nerthol ar Fedydd Cristionogol ar lan y fedyddfa, i dyrfa luosog o edrychwyr parchus; yna cawsom y fraint o weled saith o bersonau yn dilyn ol ein Gwaredwr i'r dyfrllyd fedd yn ddigywilydd, ac yn cael eu bedyddio ar eu proffes o'u ffydd yn Mab Duw. Yr oedd y gweinyddiad yn ogoneddus, a'r côr yn canu tra yr oedd ein gweinidog yn gweinyddu. Hefyd adferwyd dau, ac mae eraill o flaen yr eglwys eto yn aros yr un fraint, a phob arwyddion fod llafur ein hanwyl weinidog dan fendith Duw. Wel, dymunwn bob llwyddiant ar yr achos da drwy yr holl fyd, gyda phawb sydd yn caru yr Arglwydd Iesu Grist; a nodded y nef fyddo ar y WAWR a'i golygwr, a'i darllenwyr oll.

Yr eiddoch, JACOB W. EVANS.

---

LLWYDDIANT YN JOHNSTOWN, PA.

*Mr. Gol.*—Mae yn llawenydd nid bychan genym i weled y WAWR arianaidd wedi ymddangos yn awyrgylch y Bedyddwyr Cymreig yn America, ar ol nos dywyll. Daeth i'r golwg yn hardd dros fryniau anobaith, a darlun prydferth ar ei gwedd, sef o'r rhyddgarwr a'r Bedyddiwr enwog, Roger Williams. Gwnawn ein goreu dros eich anturiaeth bwysig, gan obeithio y bydd i bob Bedyddiwr Cymreig drwy y Talaethau Unedig wneyd ei ran er cael derbynwyr lluosog iddi. Yr oedd gwir angen am gyhoeddiad arnom i gofnodi ein ystadegau, yn lle myned i fenthyca colofnau ein newyddiaduron, y rhai sydd wedi bod yn hynod barod i wneyd hyn, a diolch iddynt am hyny; ond blina pawb ar roddi benthyg o hyd. Yn awr, gan fod genym gyhoeddiad, gwn y bydd yn dda genych gael hanes yr eglwys Fedyddiedig yn Johnstown. Ryw chwe' mis yn ol yr oeddem mewn caddug o annhrefn; ond yn yr adeg hon rhoddasom wahoddiad i'r Parch. D. J. Evans, Irwin Station y pryd hwnw, i ddyfod i'n gwasanaethu am Sabboth, ac wedi ei gael am un Sabboth, yr oedd teimlad pawb am iddo aros Sabboth arall, a chydsyniodd â'n cais, a bu ei ddyfodiad yn fendith i'r eglwys; ac ar ol hyn cafodd alwad unfrydol yr eglwys a'r gwrandawyr. Derbyniodd yntau yr alwad, er mor ddigalon yr oedd pethau yn ymddangos; ond o'r dydd y daeth atom hyd heddyw, mae yr eglwys ar ei chynydd mewn aelodau, ac mewn cyfraniadau. Yn ystod y pum' mis diweddaf, yr ydym wedi derbyn i gyflawn gymundeb saith-ar-hugain.—Bedyddiwyd tri-ar-ddeg, ac adferwyd pedwar-ar-ddeg. Tystiolaeth yr hen frodyr henaf yma yw, na welwyd yr achos mor llewyrchus yma erioed. Y mae y cyfarfodydd gweddi a'r cyfeillachau yn fwy poblogaidd nag y gwelwyd hwy oddiar ddechreuad yr achos yn y lle. "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen." Diolch iddo am anfon bugail atom ag sydd o dan dywysiad y Pen-bugail mawr. Mae yn dda genym fod ein hamwyl frawd Evans yn sefyll mor barchus yn ngolwg ei eglwys, a'r dref yn gyffredinol. Caed prawf o hyn yn yr *exhibition* ddiweddaf a gawsom; yr oedd y capel yn rhy fychan o lawer i ddal y gynulleidfa, er fod 15 cent am ddyfod i mewn. Gwnaed dros $60 oddiwrth yr *exhibition*. Da iawn, onidê. Mae golwg ddymunol ar ein Hysgol Sabbothol. Mor hyfryd ydyw gweled yr hen wragedd a'r gwragedd ieuainc yn dyfod gyda y rhai bach i ddysgu geiriau Duw. Mae'n brodyr hefyd ar eu goreu gyda phob rhan o'r gwaith. Cafodd ein parchus weinidog wisg a *gown* ardderchog yn rhodd, at fedyddio, gan frodyr a chwiorydd a chyfeillion y lle, ac un gampus yw hi hefyd. Hir oes i'n hanwyl frawd i'w defnyddio i gladdu canoedd eto gyda Christ yn y bedydd.

Pob llwyddiant i'r WAWR a'i golygydd parchus, yw gwir ddymuniad,

BRAWD.

---

HYDE PARK, PA.

*Cyfarfodydd Chwarterol yr Ysgol Sul.*—Y mae yn hysbys i lawer fod Ysgolion Sabbothol y Bedyddwyr wedi mabwysiadu y cynllun o gael cyfarfodydd chwarterol—y fam ysgol a'r cangenau i

gyfarfod mewn undeb. Y mae yn dda genyf allu hysbysu y cyhoedd fod yr Ysgol Sul yn cael cymaint o le yn mynwesau yr Atheniaid—y rhai sydd yn chwilio i mewn i'r paham a'r pa fodd i bob peth. Ac wrth yr ymddangosiad, y maent yn gweled fod yr Ysgol Sul yn deilwng o gael ei chefnogi. Nid ydym, pan yn mwynhau ein hunain wrth rodio trwy'r coedwigoedd tewfrig ar lanau afonydd dwfn a dolenog, yn anghofio y blanigfa a'r nentydd bâs-risialaidd. Y mae ein hysgol yn rhifo ar gyfartaledd tua 500; ac am fod llawer o'r rhif uchod yn awyddus am siarad, gorfu i ni gael tri chyfarfod y tro hwn, sef nos Lun, nos Fawrth, a'r Sabboth canlynol, y 10fed, 11eg, a'r 16eg o Ebrill. Trefnwyd i gael y darnau oedd ag ychydig o duedd siriol ynddynt, yn y ddau gyfarfod cyntaf, a'r rhai mwyaf difrifol erbyn y Sabboth.—*E. Lloyd.*

---

UNDEB BEDYDDWYR AMERICA.

Cynaliwyd cyfarfodydd yr Undeb hwn eleni yn Buffalo, N. Y., Mai 23, 24, 25, 26. Rhifai y cenadon o wahanol barthau y wlad oddeutu 700. Yr oedd y gweithrediadau yn gynwysedig, fel arfer, mewn darllen adroddiadau, traddodi anerchiadau, ethol swyddogion, &c., &c. Y mae yr adroddiadau a roddwyd yn dangos fod yr Undeb, ar y cyfan, mewn cyflwr llwyddianus yn ngweithiad allan ei amcanion, yn ogystal ag mewn ystyr arianol. Yn hwyr y dydd olaf terfynwyd trwy wasanaeth o haleliwia cyffredinol o fawl, gan yr holl genadon ac aelodau gwyddfodol.

---

## NEWYDDION TRAMOR.

### CYMANFA BEDYDDWYR LERPWL A BOOTLE.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni, fel arfer, dydd Gwener y Groglith a Sabboth y Pasg. Cynaliwyd cyfarfodydd yn y capeli canlynol—Everton Village, Windsor Street, Seion, Bousfield Street, Mount Vernon, Bootle a Great Crosshall Street. (Rhoddwyd benthyg y capel yn Great Crosshall Street gan y Wesleyaid i'r eglwys a addola yn St. Paul's Square, a hyny ar ol i'r T. C. wrthod hen gapel cysegredig Pall Mall).

Nos Iau, Ebrill 13eg, dydd Gwener, y 14eg, a'r Sabboth, yr 16eg, pregethwyd gan y Parchn. J. Rowlands, Llanelli; R. Lloyd, Casbach; D. Thomas, Llangefni; C. Griffiths, Cinderford; M. Williams, Rhos; Wm. Williams, Abercarn; G. R. Jones, Cefnmawr; H. W. Hughes (Huw Arwystl), Dinas; R. D. Roberts, Llwynhendy; G. H. Roberts, Caerfyrddin; Wm. Edwards, Cefnmawr; a J. S. James, Llandudno. Nos Sadwrn, Ebrill 15fed, am saith o'r gloch, cynaliwyd cyfarfod adfywiadol yn nghapel Everton Village, dan nawdd Cymdeithas Gwyr Ieuainc Bedyddiedig Lerpwl, &c. Gwahoddid y Cymry yn gyffredinol o bob dosbarth i'r cyfarfod hwn, a llwyddwyd i gael cynulliad lluosog. Anerchwyd y cyfarfod gan weinidogion y Gymanfa, a llywyddwyd gan y Parch. L. W. Lewis (Gwilym Cowlyd), St. Paul's Square.

Nos Lun, Ebrill 17eg, cafwyd cyfeillach gyffredinol o wahanol eglwysi y dref yn Everton Village, dan lywyddiaeth y Parch. D. Thomas. Cafwyd anerchiadau gan amryw o weinidogion y Gymanfa—rhai o honynt ar bynciau neillduol a roddwyd iddynt gan yr eglwysi.

Mewn pwyllgor neillduol o weinidogion y Gymanfa, cenadon yr eglwysi, &c., a gynaliwyd ddydd Sadwrn, Ebrill 15fed, pasiwyd y penderfyniadau canlynol:

"Ein bod, fel pwyllgor o weinidogion Cymanfa Lerpwl am 1876, a chenadon eglwysi Cymreig y dref, &c., ar ol gwrando ar dystiolaethau ffafriol am lwyddiant yr eglwys Fedyddiedig yn St. Paul's Square, yn cydlawenhau a'r brodyr yno, ac yn mawr gymeradwyo eu bwriad o gael lle mwy cyfleus i addoli."

Nis gallwn lai na theimlo yn ddiolchgar i Dduw wrth glywed swn bywyd yn y gwersyll Bedyddiedig yn Lerpwl. Y mae yma lu o Gymry wedi eu geni yn hen wlad anwyl y capeli heb eu hachub. Mae yr eneidiau oll yn werthfawr yn ngolwg y Nef—enaid y cardotyn sydd yn ei garpiau mor werthfawr yn ei olwg ef a'r boneddwr yn ei wisgoedd gwychion a'i aurfodrwyau.

Yr oedd yn llawen genym glywed y "diolch" a'r "bendigedig" am drefn y cadw yn disgyn ar ein clustiau yn y Gymanfa eleni. Yr oedd hen hoff eiriau y diwygiadau mewn mwy o fri yma eleni nag y buont er ys blynyddoedd o'r blaen. Clywsom fod rhai wedi dyfod i'r gyfeillach yn ystod y Gymanfa. Hyderwn y gwelir llawer eto yn canlyn. Y mae ffeithiau cysylltiedig â gweithgarwch yr eglwysi yn Everton Village, Bousfield Street a Bootle, i dalu dyled eu capeli, yn profi fod Seion yn fyw, a charedigion yr Arglwydd yn tosturio wrth ei llwch hi. YMWELYDD.

---

ELDON STREET, LLUNDAIN—Dydd Sadwrn, Sul a'r Llun olaf yn Mawrth, cynaliwyd cyfarfod blynyddol yr eglwys uchod. Y gwahoddedig eleni oedd y Parch. Richard Thomas, Caergybi. Cynorthwywyd ef yn ystod y cyfarfodydd gan y Parch. E. Evans, Treffynon

(*supply* Castle Street), a'r Parchn. D. C. Davies, M. A. (T. C.), Jewin Crescent, ac R. Williams (Hwfa Mon), Fetter Lane. Cafodd y brawd Thomas waith caled yma, ond yr oedd yn gwella bob tro, ac aeth y brodyr eraill drwy eu rhanau yn deilwng o honynt eu hunain.

CWMPARC.—Y mae eglwys y Bedyddwyr yn Bethel, Cwmparc, wedi rhoddi galwad unol a gwresog i'r brawd D. C. Jones, o Athrofa Hwlffordd, i ddyfod i'w bugeilio yn yr Arglwydd, ac y mae yntau wedi ateb yn gadarnhaol.

GALWAD I WEINIDOG.—Mae y Parch. Jabes Jenkins, Welshpool, wedi derbyn galwad unfrydol oddiwrth eglwysi parchus ac henafol Dolau a Rhayader, a bwriadai ddechreu ar ei weinidogaeth yno yr ail Sul yn Mai.

GALWAD I WEINIDOG.—Rhoddodd eglwys barchus Penybryn, Sir Benfro, alwad unfrydol i'r Parch. T. Phillips, Ferwig, i ddyfod yn weinidog iddynt gydag eglwys y Ferwig. Nid yw Mr. Phillips wedi ateb eto, ond dymuniad pawb yn Mhenybryn yw iddo ateb yn gadarnhaol.

HELYGAN, SIR FFLINT.—Dydd Sul, Ebrill 23ain, cynaliwyd cyfarfod, ysgol llewyrchus yn y lle hwn, am ddeg, dau, a chwech o'r gloch. Cawsom wasanaeth Mr. J. Simon, Ruthin, fel llywydd, yr hwn a gadwodd y cyfarfodydd oll yn effro a bywiog, trwy ei ddull ffraeth a deheuig yn llywyddu. Gwnaeth yr ysgol ei rhan yn ardderchog mewn adrodd, ateb, canu, &c., a chafwyd llon'd y capel o wrandawyr, fel arfer, i'r cyfarfodydd, y rhai sydd yn dra phoblogaidd yma.

EBENEZER, TREGOLWYN.—Traddodwyd darlith yn y lle uchod nos Lun, Ebrill 3ydd, gan y Parch. B. Thomas (Myfyr Emlyn), Narberth. Ei destyn oedd, "Adgofion am Hynodion yr Areithfa Gymreig." Mae enw Mr. Thomas fel pregethwr a darlithiwr yn ddigon adnabyddus, fel nad oes raid iddo wrth ganmoliaeth, Digon yw dweyd ei fod yn ei hwyliau goreu yn traddodi ei ddarlith gampus yn Tregolwyn. Cadeiriwyd yn ddeheuig gan Mr. How, Pontfaen. Cafwyd cynulliad lluosog. Yr elw at dalu y ddyled oedd ar y capel.

RHYL.—Ebrill 19eg, anrhegwyd Ysgol Sabbothol y Bedyddwyr yn y lle uchod gan y boneddwr ieuanc Mr. John Roberts, Foryd Lodge, a thê a theisen fraith, a rhaid dweyd fod y tê a'r deisen o'r fath oreu. Am 7½ cafwyd cyfarfod dyddorol iawn yn y capel, yr hwn oedd fel arfer yn llawn, o ganu, areithio, darllen ac adrodd. Cadeiriwyd yn ddôniol iawn gan ein gweinidog, y Parch. W. Roderick, ac arweiniwyd y canu yn ogoneddus gan Mr. J. Jones. Cafwyd cyfarfod rhagorol. Diolchwyd i Mr. Roberts ar ddiwedd y cyfarfod am ei rodd werthfawr.

MOUNT PLEASANT, PENFRO.—Dydd Sul, Ebrill 16eg, cynaliodd yr eglwys uchod ei chyfarfod blynyddol, pan y traddodwyd tair o bregethau doniol a galluog gan y Parch. B. Thomas o Narberth. Casglwyd yn ystod y dydd £50. Gan fod y gynulleidfa yn cynyddu yn barhaus, a'r capel yn llawn, bwriedir ei helaethu cyn bo hir. Y mae yr achos yn llewyrchus ar hyn o bryd. Y mae ein gweinidog, Mr. Thomas, wedi bedyddio naw-ar-hugain yn ystod y saith mis diweddaf.

PENYCAE.—Treuliasom brydnawn Sabboth cysurus yn y lle uchod Ebrill 23ain, pryd y cafodd o dair i bedair mil o drigolion weled y Parch. Gethin Davies, B. A, Llangollen, yn bedyddio deunaw o bersonau perthynol i'r achos Seisonig yn y Groes, ac wyth perthynol i'r achos Cymreig yn Penycae. Y mae yn dda genym allu dweyd ein bod wedi gweled un o'r bedyddiadau mwyaf anrhydeddus a welsom erioed yn cael ei weinyddu yn y lle. Y mae Mr. Davies yn haeddu canmoliaeth uchel am ei ffyddlondeb, ei ddiwydrwydd, ei wroldeb, a'i weithgarwch dros ei Arglwydd. Bu yn offeryn yn llaw Duw i godi capel newydd yn Croesoswallt, un arall yn y Cefn, ac un arall yn y Groes. Bendith Duw fyddo ar ei lafur. Yr oedd un o'r bedyddiedigion wedi bod yn ddiacon gyda'r T. C. Y mae yr achos yn y lle oedd hyn yn llwyddianus iawn.

---

## UNDEB BEDYDDWYR PRYDAIN FAWR A'R IWERDDON.

Y mae yn wybodus i'n darllenwyr fod y gwahanol enwadau crefyddol yn cynal cyfarfodydd blynyddol yn Llundain y tymor yma o'r flwyddyn, y rhai a elwir "Cyfarfodydd mis Mai." Y Bedyddwyr, fel y dylent fod, yn ol eu henafiaeth, ydynt y cyntaf ar y maes. Cynaliwyd dau neu dri o gyfarfodydd rhagarweiniol yr wythnos flaenorol.

Agorwyd Sesiwn yr Undeb boreu ddydd Llun, Ebrill 24ain, yn nghapel Bloomsbury. Yr oedd y capel eang yn gysurus lawn, ond nid wedi ei orlenwi, fel yn nghyfarfod yr Undeb y llynedd. Yn gyntaf oll, cynaliwyd cyfar fod gweddi, dan lywyddiaeth y Parch. Alexander Maclaren, B. A., llywydd yr Undeb am y flwyddyn derfynol. Wedi hyny agorwyd gweithrediadau y cyfarfod cyhoeddus, a chyflwynodd Mr. Maclaren i sylw y gynulleidfa Dr. Landells, fel y llywydd am y flwyddyn ddyfodol. Gwnaeth hyn mewn ychydig eiriau gwir bwrpasol, a derbyniwyd Dr. Landells gyda banllefau cymeradwyol gan y dorf. Wedi i'r llywydd dewisedig gymeryd y gadair, ac iddo gydnabod yn ddiolchgar yr anrhydedd a osodwyd arno, cynygiwyd pleidlais o ddiolchgarwch i'r Parch. Alexander Maclaren, B. A., y llywydd enciliedig, am y sylw diflino a dalodd i ofynion ei swydd, yr hon a lanwodd mor alluog. Eiliwyd y cynygiad gan y Parch. W. Brock, Hampstead, a chariwyd ef yn unfrydol.

Yn ganlynol darllenodd yr Ysgrifenydd, y

Parch. J. H. Millaird, B. A., fynegiad y pwyllgor.

Wedi pasio pleidlais yn cymeradwyo y mynegiad, am ddeng mynyd wedi deuddeg, esgynodd Dr. Landells y pwlpud, er traddodi ei anerchiad agoriadol. Ei bwnc oedd, "Ein sefyllfa fel enwad."

Y WLEDD YN CANON-STREET.

Hwyr yr un dydd, cynaliwyd gwledd ardderchog yn Ngwesty Heol Canon, yr hon a brofodd yn welliant ar y gwleddoedd blaenorol. Wedi cyflenwi angenion y corph, cynaliwyd cyfarfod cyhoeddus, dan lywyddiaeth Dr. Landells.

Y CYFARFOD CYHOEDDUS YN EXETER HALL.

Dydd Mercher, cynaliwyd cyfarfod blynyddol y Gymdeithas Genadol yn Exeter Hall, dan lywyddiaeth y Barnwr Lush, yr hwn a draddododd araeth agoriadol wir deilwng o'r Cristion; a chafwyd areithiau teilwng gan wahanol foneddigion eraill. Yr oedd Mr. Spurgeon wedi ei hysbysu i gymeryd rhan yn y cyfarfod hwn, ond ataliwyd ef gan afiechyd i fod yn wyddfodol.

Y CYFARFOD CENADOL CYMREIG.

Cynaliwyd hwn nos Wener, Ebrill 21ain, yn Llyfrgell y Ty Cenadol, Castle Street, o dan lywyddiaeth Dr. Davies, Hwlffordd. Yr oedd y cynulliad yn rhagori mewn lluosogrwydd ar yr hyn a arferai fod, a chafwyd cyfarfod gwresog o'r dechreu i'r diwedd. Yn ystod y cyfarfod cafwyd dwy gân felus, "Stand up, stand up for Jesus," a "What shall the harvest be?" (Sankey), gan ddwy ferch fechan o ysgol Castle Street (Myfanwy Williams ac Annie Kirkham).

## MARWOLAETH CENADWR BEDYDDIEDIG CYMREIG YN PROME, BURMAH.

Mae y *Baptist Missionary Magazine* am y mis hwn yn rhoddi hanes bywyd a marwolaeth Cymro o Genadwr yn y lle uchod. Ei enw ydoedd Thomas Simons. Ganwyd ef Gorph. 15, 1801, yn Dafarn-bach, Sir Aberteifi, D. C. Bu farw Chwef. 16, 1876, o'r *cholera*. Dywedir i'w rieni symud pan oedd ef yn ieuanc i Woolwich, wyth milldir o Lundain; ac ar farwolaeth ei fam, aeth i'r Amwythig i fyw at fodryb weddw. Pan oedd tua phymtheg oed, daeth yn grefyddol. O'r adeg hono allan meddai benderfyniad cryf i wasanaethu yr Arglwydd.

Yn ugain oed, symudodd i America, gan dirio yn Charlestown, S. C., lle y daeth i gysylltiad ag eglwys y Bedyddwyr, o'r hon yr oedd y Parch. Dr. Thurman ar y pryd yn weinidog. Daeth ar unwaith yn weithgar gyda'r Ysgol Sabbothol.

Yn y flwyddyn 1831, cafodd ei benodi yn Genadwr i Burmah. Priodwyd ef y tro cyntaf gan yr enwog Dr. Judson ag un Miss Caroline Jenks, o'r wlad hon. Bu yn cydlafurio yn y wlad bell hono â Dr. Kincaid. Bu yn Genadwr am 43 o flynyddau. Dywedir iddo fod yn hynod lafurus a llwyddianus yn nghyflawniad ei ddyledswyddau.

Mae yr hanes yn rhoddi y cymeriad uchelaf iddo fel cenadwr, Cristion, a dyn, ac y mae ei farwolaeth yn cael siarad am dani fel yn golled fawr i achos y Genadaeth.

## LLYFR HYMNAU I'R ENWAD YN NGHYMRU.

Mae dymuniad yn cael ei ddangos yn bur gyffredinol yn Nghymru am lyfr hymnau newydd eto i'r enwad. Hefyd mae y mater wedi bod dan sylw cyfarfod o Bwyllgor Cyhoeddiadol Bedyddwyr Cymru, ac mae y Pwyllgor hwn yn cymell y pwnc i sylw cynadleddau y cymanfaoedd dyfodol.

MARWOLAETH YN GARN, DOLBENMAEN.—Mai 6ed, bu farw yr hen chwaer Mary Evans, gweddw y diweddar Barch. Evan Evans, gweinidog y Bedyddwyr yn y lle uchod, yn 84 ml. oed. Claddwyd hi y dydd Iau canlynol yn nghladdfa capel Horeb, pryd y gwasanaethwyd wrth y ty gan y Parchedigion Jones, Llanberis; Williams, Stockton on-Tees; a Williams, y gweinidog. Yr oedd ein hen chwaer yn meddu ar nodweddion Cristion yn eu cyflawnder. Bu yn briod tyner, yn fam ofalus, ac yn aelod cymwys o eglwys Crist, ac yr oedd ei diwedd yn dangnefedd.

Y Parch. William Evans, Llanbedr, mab yr hen chwaer enwog a chrefyddol uchod, a fedyddiodd Olygydd y WAWR, rywsaith mlynedd-ar-hugain yn ol.

## GWLEIDYDDIAETH.

Nid yw gwladyddiaeth y Talaethau Unedig ar hyn o bryd yn gwisgo yr agwedd ddymunolaf. Mae yn wir nad oes un dygwyddiad cyffrous yn bygwth, eto nis gellir llai na chanfod a theimlo hwyrfrydigrwydd mewn symud yn yr iawn gyfeiriad. Mae tremio ar sefyllfa pethau yn creu teimlad tebyg i'r hyn a wna sefyll ar lan y môr ac edrych ar ei donau afrifed o dan awel gymedrol. Mae ambell i don, mae yn wir, yn y môr politicaidd yn cyfodi ei phen yn uwch na'r llall, megys y cyhuddiadau beiddgar yn erbyn rhai o'r prif ymgeiswyr arlywyddol; trosedd a phrawf Belknap; penodiad Cameron yn Ysgrifenydd Rhyfel, er hyrwyddo llwyddiant Conkling, meddir, yn y cynadledd-

alaethol a'r un Genedlaethol yn Cincinnati, &c. Yn mhlith y tonau yna ni cheir un yn ymrwyfo yn mlaen yn ymerodrol i derfynau eithaf y Weriniaeth, oddieithr ychydig gyffro o'r fath gynyrchodd Belknap. Modd bynag, da ydyw gweled ychydig o arwyddion yn ddiweddar o symud yn yr iawn gyfeiriad. Yr hyn sydd yn eisiau —*mawr* eisiau am dano ar hyn o bryd, yw diwygiad a chynildeb yn y Llywodraeth. Yn bresenol mae nifer o bersonau teilwng yn cael eu nodi allan fel rhai addas i sicrhau hyny, os mewn awdurdod. Yr un mwyaf poblogaidd gan y blaid Werinol yn bresenol ydyw *Blaine*. Yn ddiweddar yr oedd yn anhawdd gwybod pa un ai Bristow ai efe oedd mewn ffafr; yn awr gogwydda y fantol o du Blaine. Ychydig o ddim dyddordeb a deimlir o blaid Conkling tu allan i Dalaeth New York.

---

#### BOSNIA AC HERZOGOVINA.

Parhau yn dra chythryblus a rhyfelgar mae pethau yn y lleoedd uchod, ac mae'r Sultan, druan, mewn helbul blin. Mae y gwrthryfelwyr yn lluosog a nerthol, ac y mae y dealltwriaeth a'r ymwybodolrwydd o gyfiawnder eu hachos yn peri iddynt ymhyfhau yn fwy. Heblaw hyn, mae gweithrediadau diweddar galluoedd mawrion Ewrop wedi rhoddi gwedd newydd ar bethau yn y rhan hon o ymerodraeth y Twrc.

Mewn cyngor diweddar a gynaliwyd rhwng blaenoriaid llywodraethol Germani, Awstria, a Rwssia, penderfynwyd ar fesurau a ymddangosant yn ffafriol i'r gwrthryfelwyr, trwy eu bod yn rhwymo y Sultan i symud prif achosion yr achwynion ymaith. Yn ddilynol cyflwynwyd y mesurau hyny i sylw llywodraeth Prydain, gan geisio ei chydsyniad iddynt; ond mae y llew Prydeinig yn gwrthod cydsynio, ac yn rhoddi amryw resymau dros beidio. Yn y cyfamser mae Prydain wedi anfon llynges gref i fôr y Canoldir. Ac y mae prysurdeb ychwanegol mawr yn cymeryd lle mewn rhoddi yr holl lynges mewn cyflwr parod i ryfel os bydd galwad.

## AMRYWIAETHAU.

---

#### PENBLETH YN YR ARDDANGOSFA.

Mae trefnwyr yr Arddangosfa Ganmlwyddol yn cael eu hunain mewn penbleth yr hwn y *rhaid* cael ymwared oddiwrtho, ac eto mae hyny yn ymddangos bron yn anmhosibl. Dyma'r penbleth: ffordd y gallont ddiogelu y gwrthddrychau a arddangosir yno rhag cael eu niweidio gan ymwelwyr. Yn mhlith y miloedd ymwelwyr mae llawer yn cymeryd yr hyfdra a'r pleser i ddefnyddio y ffon a'r *umbrella* wrth farnu y nwyddau, a dangos eu rhagoriaethau a'u diffygion. Mae hyn yn niweidio y gwrthddrychau, heblaw ei fod yn anfoneddigaidd. Cauwyd un ddosran i fyny y diwrnod o'r blaen am ddarfod i rywun blanu ei gyllell mewn *painting* drudfawr. Er rhwystro hyn drachefn amgylchwyd y cyfryw â *rail* haiarn gref; ond nid hir iawn y bu yr ymwelwyr cywrain heb ganfod dull newydd o'u barnu, a hyny drwy daflu plisg cnau, ac oranges, a phethau eraill atynt, fel pethau cymwys i nodi allan y nodweddion dan sylw. Un dull y gwyddis am dano a fyddai yn sicr o fod yn effeithiol i roddi atalfa ar hyn, a hwnw ydyw amgau pob gwrthddrych mewn *case* o wydr, ond dywedir y byddai hyny yn rhy gostus.

Wel, beth mae y trefnwyr i'w wneyd? Awgryma rhai y byddai gosod i fyny bapyrau mewn lleoedd cyhoeddus, ac yn argraffedig arnynt ddymuniad am i *foneddigion* beidio niweidio y *pictures*, y lluniau, &c., y byddai i hyny fod yn effeithiol. Ond gŵyr pawb fod apeliad o'r fath yn ddiangenrhaid i "foneddigion," oblegid ni wna neb o'r cyfryw droseddu yn y fath fodd. Y pwnc yd yw, pa fodd i gadw y rhai sydd heb fod yn "foneddigion," a'r rhai sydd yn anwybodus o'r hyn mai gweddeidd-dra yn ei ofyn.

Efallai pe byddai i droseddwr yn y peth hwn gael ei ddal a'i ddangos am bedair-awr-ar-hugain mewn lle cyhoeddus, wedi ei amgylchu, ac arwyddeiriau yn amlygu ei drosedd, y gallai fod yn rhybudd i eraill, yn enwedig pe

rhoddid person yno gydag *umbrella* neu ffon i gyfeirio at ei neillduolion ymddangosiadol.

---

CAPEL NEWYDD.

Y mae yr eglwys yn Plymouth, Pa., wedi dechreu adeiladu capel newydd eto, ac y mae'r cynllun a'r darpariadau yn rhagaddaw y bydd yr addoldy hwn yn helaeth, yn gyfleus ac yn hardd. Y mae'r Parch. E. Jenkins, y gweinidog, yn llawn brwdfrydedd a gweithgarwch gyda'r gwaith da hwn.

---

MARWOLAETH Y PARCH. THOMAS JENKINS, UTICA.

Pan ar ddiweddu cysodi y rhifyn hwn, cawsom yr hysbysiad pruddaidd o farwolaeth y Parch. Thos. Jenkins, Utica, gweinidog gyda'r T. C., yn 73 mlwydd, 4 mis, ac 16 o ddyddiau oed. Ganwyd ef yn Bethros, Sir Aberteifi, D. C., Ion. 13, 1803. Symudodd gyda'i deulu i'r wlad hon yn 1851, ac ymsefydlodd ger Utica. Dechreuodd bregethu yn 1853, a bu yn berchenog a golygydd y *Cyfaill* am gyfnod o amser. Ail-gyhoeddodd "Y Mynegair," a chyhoeddodd y "Dyddiadur," "Hanes Joseph," "Hanes Moses," &c. Yr oedd Mr. Jenkins yn dra adnabyddus i'r Cymry, ac yn neillduol o barchus a defnyddiol yn ei gylchoedd pregethwrol. Cleddir ef ddydd Mercher, Mai 31.

---

—Dyma farn Dr. Price, Aberdar, am Y Wawr: "Yr ydym yn ddiolchgar iawn am y rhifyn cyntaf o'r misolyn newydd hwn, ac o galon yn dymuno ei lwyddiant. Mae ei wyneb-ddalen yn dlws dros ben, ac yn cynwys arlun byw o Roger Williams; a phob peth arall yn dangos chwaeth goethedig y Parch. Owen Griffiths (*Giraldus*).—Mae yr argraffwaith a'r papyr yn bob peth a ellir ei ddymuno. Yr ydym wedi darllen y rhifyn bob gair, ac wedi cael ein mawr foddloni ynddo. Pe gallem gyrhaedd pob Bedyddiwr yn America, dywedem o galon, Cefnogwch Y Wawr.

## *DYDDANION.*

---

Dywedir am yr enwog John Newton fod ei gof wedi ei anmharu i raddau mawr yn ei amser diweddaf, ond dywedai yn nghanol ei holl anghof fod dau beth nad allai byth eu hanghofio yn yr amser hyny—sef, ei fod ef ei hun yn bechadur mawr, a bod Iesu Grist yn waredwr mawr. Arwydd go ddymunol ydyw cofio y pethau mwyaf angenrheidiol.

Pan ofynodd rhyw un i Griffith Solomon, Lleyn, pa fodd y byddai yn gwneyd pregeth, atebodd—"Trwy ddarllen, myfyrio, a gweddio cymaint a allaf. Byddaf yn trysori gwybodaeth fel y bydd ambell felinydd yn yr haf, efe a gasgl gymaint a allo o ddwfr—llynio ei oreu; a phan ddel llwyth i'r felin i'w falu, ni raid iddo ond gollwng y dwfr arno a malu."

Mr. W., adeiladydd llongau, a wahoddwyd unwaith gan gyfaill i wrando yr enwog Mr. Whitfield yn pregethu. Yn lled hwyrfrydig efe a aeth. Ar ol dychwelyd adref gofynodd ei gyfaill, "Beth ydych yn feddwl o Mr. Whitfield?" "Yn ei *feddwl*," eb efe, "Ni chlywais i y fath ddyn erioed; yr wyf yn myned i eglwys fy mhlwyf bob Sul, ac o dan y bregeth yn medru gwneyd llong o'r *stern*—ond pe bae hyny yn achub fy enaid, ni allaswn i o dan bregeth Mr. Whitfield gymaint a gosod un astyllen."

Fel yr oedd boneddiges yn myned drwy y gigfa yn marchnad Hungerford, dygwyddai ddodi ei llaw ar aelod o glg llo, a chan gyfarch y cigydd, hi a sylwai, "Atolwg, Mr. hwn a hwn, beth yw'r achos nad yw eich *veal* chwi ddim yn ymddangos can wyned ag arferol?" "O, Madam, rhowch chwi eich maneg am eich llaw, yna chwi a fernwch yn wahanol"

Y diweddar Owen Owens, gweinidog y Bedyddwyr, Beaumaris, ydoedd was ffyddlawn i Grist. Gwehydd ydoedd o ran ei gelfyddyd, a bu yn gweithio yn galed gyda phregethu am flynyddau lawer. Un wythnos, pan oedd galwad prysur am waith, yr oedd yn gorfod gweithio dwy awr dros ben oriau cyffredin. Trwy hyny ni chafodd awr o hamdden ar hyd yr wythnos i wneyd dim parotoad erbyn y Sul. Yn hwyr iawn nos Sadwrn yr oedd mewn pryder mawr beth i'w wneyd; cymerai y Beibl yn ei law i geisio chwilio am destyn, ond darfu blinder a lludded yn fuan ei orchfygu. Yn y gofid hwn nid oedd ganddo ddim i'w wneyd ond myned ar ei liniau i ddweyd ei gwyn wrth Dduw a myned i orphwys. Ar ol cysgu, gwelai yr enwog John Elias yn pregethu pregeth ardderchog wrtho ef ei hun wrth erchwyn ei wely. Erbyn y boreu yr oedd y bregeth hono wedi ei hargraffu ar ei gof mor berffaith, fel yr anturiodd ei thraddodi i'w gynulleidfa, bu yn un o'r troion mwyaf llewyrchus a gafodd yn ei holl fywyd.

# Y WAWR.

CYF. I.] GORPHENAF, 1876. [RHIF. 4.

## ESGEULUSO CYDGYNULLIAD.

GAN Y PARCH. W. M. EVANS, CATTARAUGUS, N. Y.

Y mae yn amlwg oddiwrth Hanesiaeth Eglwysig, fod gan eglwys Dduw, yn mhob oes o'r byd, ei chynulliadau cyhoeddus. Yr oedd gan yr Iuddewon eu tabernacl, eu synagogau, a'u teml. Dangosid gofal a sêl neillduol yn nygiad yn mlaen y gwasanaeth addoliadol yn y lleoedd hyn; a gwnelai pawb o bobl Israel, o bob gradd a sefyllfa, ymdrech egniol i fod yn bresenol yn y cynulliadau ar adegau penodedig. Yr ydym yn cael fod ein Harglwydd Iesu Grist yn arfer myned i'r synagogau a'r deml ar amser addoliad cyhoeddus. Dywedir gan yr Efengylwr Luc, i'r Iesu, tra yn ymweled â Nazareth, y lle y magesid ef, fyned "yn ol ei arfer" i'r synagog ar y Sabboth. Y gwasanaeth a ddygid yn mlaen yn y synagogau ar y Sabboth ydoedd darllen ac esbonio rhanau o'r gyfraith a'r prophwydoliaethau; ac nid peth dyeithr i Grist oedd bod yn bresenol yn y cyfarfodydd hyn, oblegid dengys yr ymadrodd, "yn ol ei arfer," ei fod yn eu dilyn yn gyson a rheolaidd. Yn awr mae y ffaith fod yr Athraw Dwyfol yn arfer mynychu addoliad cyhoeddus, ac yn dangos y fath sêl dros burdeb y deml, trwy fwrw allan y gwerthwyr colomenod, a dymchwelyd byrddau y cyfnewidwyr arian, yn brawf fod ymgynulliad y bobl i'r lleoedd a nodwyd, gydag amcan i addoli, yn unol â meddwl, ewyllys, a gosodiad Duw.

Cawn fod Crist a'r dysgyblion yn aml yn ymneillduo ar eu penau eu hunain, i ymddyddan am bethau mawrion y deyrnas nad yw o'r byd hwn. Yn y cynulliadau hyn byddai yr Athraw Mawr yn egluro dirgelion teyrnas nefoedd. Mae gallu atdyniadol yn perthyn i Gristionogaeth yn tynu dynion ati hi ei hun, ac wrth wneyd hyn, tyn hwynt at eu gilydd i fod mewn undeb a chydweithrediad mewn gwasanaeth addoliadol. Os dilynwn hanes yr eglwys Gristionogol, o ddyddiau Crist a'r apostolion hyd yn bresenol, canfyddwn fod ganddi yn mhob oes a gwlad, ac o dan yr amgylchiadau mwyaf anfanteisiol ac erledigaethus, ei chynulliadau neillduol. O ganlyniad, os ydyw y cynulliadau crefyddol o osodiad dwyfol,

ac yn unol ag arferiad yr eglwys yn mhob oes, rhaid fod eu hesgeuluso yn bechod.

Dechreuwyd esgeuluso neu wrthod moddion gras yn oes yr apostolion, ac y mae yr anhwyldeb crefyddol hwn fel hunllef, wedi cydio gafael a chymeryd meddiant o gyfansoddiadau miloedd yn y byd crefyddol o hyny hyn yn awr. Syrthiodd rhai o'r Hebreaid i bydew lleidiog a throbwll dinystriol esgeulusdod; ac y mae lluoedd o broffeswyr yn mhlith y Cymry, fel y mae gwaethaf y modd, wedi eu hefelychu yn y mawrddrwg hwn. Blinid Paul gan y cymeriadau hyn, ac y maent yn boen i ganlynwyr gwirioneddol yr Oen yn mhob man lle y preswyliant. Mae y cymeriadau hyn yn bwysau wrth odrau Seion, yn ei dal yn ol; parlysant ei gweithgarwch, a dinystriant ei dylanwad. Y mae y cyngor apostolaidd, "Heb esgeuluso ein cydgynulliad ein hunain, megys y mae arfer rhai," yn llawn mor bwysig ac angenrheidiol yn bresenol, ag ydoedd pan y rhoddwyd ef; oblegid y mae lluaws eto yn euog o'r un trosedd. Er gwybod nad yw eu tymor i weithio yn y winllan ond byr, a bod eu bywydau yn ansicr, a bod dydd y farn yn eu haros, yn yr hwn y gwelir rhagor rhwng y rhai a wasanaethant Dduw a'r rhai nas gwasanaethant ef, eto i gyd esgeulusant y moddion a ordeiniwyd gan Dduw i sicrhau eu hiachawdwriaeth. Ni fyddai yn un syndod i weled yr anffyddwyr a'r anystyriol yn esgeuluso moddion gras; ond nid yn erbyn y cymeriadau hyn y dygir y cyhuddiad hwn, eithr yn erbyn y cyfryw ag a gymerant enw Crist arnynt.

Gellir dosranu yr esgeuluswyr i amryw ddosbarthiadau. Nodwn ychydig o honynt:

1. *Addolwyr unwaith yr wythnos.*—Y mae holl wasanaeth crefyddol y dosbarth hwn, mewn ystyr cyhoeddus, yn cael ei grynhoi yn nghyd i gylch tua dwy awr o amser ar ddydd yr Arglwydd! Ni welir hwynt mewn cwrdd gweddi na chyfeillach yn ystod yr wythnos. Eithriad yw eu gweled mewn cwrdd yn yr wythnos, a'r eithriad hwnw ydyw y cwrdd eglwys, yn mha un y maent yn uwch eu cloch na neb o'r ffyddloniaid. Os gallant ddyfod i'r moddion unwaith ar y Sul, ystyriant eu bod wedi cyflawni eu dyledswydd i'r llythyren! Treulir y gweddill o'r dydd cysegredig hwn i borthi dymuniadau yr hen ddyn, i dalu ymweliad a'r cymydogion, i adrodd halogedig a gwrachïaidd chwedlau, &c. A ydyw hyn yn deilwng o'r cyfryw a broffesant eu bod yn ceisio gwlad well?

2. *Addolwyr y tywydd teg.*—Os bydd yr hin yn ffafriol, a phob peth yn ddymunol, ceir gweled y rhai hyn yn yr addoliad; ond pe dygwyddai cawod o wlaw tuag amser y cwrdd, neu, yn wir, pe byddai cwmwl bychan dim mwy na chledr llaw gwr, i ymddangos ar y wybren, atelid hwynt i fyned i dy Dduw; ac ystyriant y gawod wlaw a'r cwmwl yn ddigon o reswm i'w roddi i Dduw a dynion am eu habsenoldeb o'r addoliad. Mae gallu ysbrydol y dosbarth hwn mor eiddil, fel mai yr ystorm leiaf sydd yn ddigon i'w gyru yn mhell oddiar lwybr eu dyledswydd. Gwneir yr ymdrech fwyaf egniol, yn wyneb llawer o anhawsderau, a thorir dros ben rhwystrau, er mwyn sicrhau meddiant o'r hyn a ystyrir wir werthfawr; o ganlyniad rhaid fod moddion gras yn beth dibwys a diwerth yn ngolwg y cyfryw na ymdrechant yn ngwyneb rhwystrau i'w mwynhau. Y dynion sy'n gweithio eu ffordd yn mlaen trwy ganol rhwystr-

au yw y rhai sydd yn gwneyd gwrhydri yn y byd. Mae gormod o fanteision i wneuthur daioni yn debyg o fod yn rhwystr i lawer i'w gyflawni. "*Many a spiritual giant is buried under mountains of gold.*" Pwy ydynt enwogion y byd crefyddol? Ai y rhai a fagwyd yn haf-dy manteision? Ai y rhai y darfu i'r haul siriol wenu arnynt yn mhob cam o'u gyrfa? O, na, eithr y cyfryw a osodasant nôd o'u blaen, ac a benderfynasant, er gwaethaf lluaws o anhawsderau, i ymgyrhaedd ati. Nid gwiw ydyw dysgwyl gris-len (*stair-carpet*) ar bob rhan o'r ffordd i'r nefoedd.

3. *Addolwyr yr oriau hamddenol.*—Os na fydd gan y rhai hyn ddim arall neillduol i'w wneuthur, ânt i'r cwrdd; ond os dygwydd fod rhywbeth, gan nad pa mor ddistadl a dibwys bynag y gall fod, yn galw am eu sylw a'u gwasanaeth ar y pryd, caiff hwnw y flaenoriaeth. Iaith y Gwaredwr wrthym ydyw. "Eithr yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw, a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg." Y mae gan Mr. Oriau Hamddenol gyflawnder o esgusion dros ei absenoldeb. Ar adeg y cwrdd gweddi yr oedd galwad arno ef i fyned i'r felin, er y gallasai yn llawn cystal fyned yno dranoeth. Yn amser y cwrdd parotoad, nis gall ef er dim hebgor myned i'r farchnad; a dyna fel y mae yn barhaus. Gellid meddwl mai ar ei ysgwyddau ef y mae colofnau y greadigaeth yn gorphwys, ac nad oes un dyn ar y ddaear mor ddiwyd ag ef. Ac yn wir, y *mae* yn ddiwyd gyda phob peth ond pethau enaid. Mae y dosbarth hwn yn hynod haelfrydig; cysegrant i wasanaeth Duw y gyfran hono o amser nad oes ganddynt hwy eu hunain un dyben neillduol i wneyd o honi! Offrymau gwael yw rhai o'r natur yna.

Gallem enwi llawer yn ychwaneg o'r cymeriadau hyn, megys crefyddwyr y cwrdd mawr; gwelir y rhai hyn mor ddefosiynol yn y cwrdd chwarterol neu y gymanfa a neb, er na fuont, fe ddichon, mewn un cyfarfod gartref er's haner blwyddyn! Hefyd, dyna y rhai hyny sydd mor orofalus am y cwrdd pen mis—y cymundeb. Y maent i'w canmol, wrth gwrs, am ddod i gofio am farwolaeth iawnol y Ceidwad; ond rhaid bod yn gyson â ni ein hunain. Os ydyw yr elfenau yn y swper sanctaidd yn dangos marwolaeth Crist, mae y dydd cyntaf o'r wythnos hefyd yn arddangosiad o'i adgyfodiad ef. Ac os ydyw yn werth i ni gofio unwaith yn y mis am ei ddrylliad ar y groes, mae yn werth hefyd, ac yn ddyledswydd arnom i gysegru dydd yr Arglwydd trwy roddi ein gwasanaeth mwyaf trwyadl mewn moliant i'r Goruchaf, am fod genym Iesu byw yn ddigonol Waredwr. Nid Iesu wedi marw yn unig ydym yn broffesu, ond Iesu byw. Dyna ddosbarth arall—ïe pwy?—y mae yn anhawdd i mi gael enw priodol arnynt, i osod allan pwy a feddyliwyf; galwaf hwynt o dan yr enw crach feirniaid. Nid beirniaid têg, galluog, a theilwng o'r enw uchelryw hwn, a olygwn; nid y Bereaid sydd yn chwilio yr Ysgrythyrau beunydd, a ydyw y pethau hyn felly, a feddylir yma; eithr yr *would be critics* a dybiant eu hunain yn bobpeth, a hwythau yn ddim. Y maent yn aros gartref o'r cwrdd o herwydd nad oes dim yn iawn, yn ol eu tyb hwynt, yn yr addoliad. Eu prif hyfrydwch ydyw chwilio am feiau pobl eraill; dyma eu hymborth mwyaf blasus. Nid oes neb na dim wrth eu bodd. Mae y gweinidog yn rhy falch, y bregeth yn rhy fer neu yn rhy faith. Nid ydyw yn

ddigon *orthodoxaidd*, am nad ydyw yn hollol yr un syniadau a hwy ar bob pwnc. Mae yn rhy ddwfn-ddysgedig i'w deall, neu yn rhy arwynebol, neu gall fod rhywbeth yn y bregeth yn cyffwrdd â'u mawredd hwy. Y mae pob dyn o allu a chwaeth yn foddlon i fyned o dan feirniadaeth, ond y maent am gael rhai addas a chymwys i wneyd hyny, ac nid yr arwynebolion gwyntiog sydd yn aml yn blino cynulleidfaoedd y saint. Yr hobi ffug-feirniadol yma ydyw y brif egwyddor gynhyrfiadol i ddwyn y dosbarth hwn i rodfeydd Seion; ac anaml, trwy drugaredd, y ceir golwg arnynt. Pa beth yw yr achos o'r amryfusedd hwn? Rhaid mai diffyg archwaeth briodol at bethau ysbrydol ydyw. Pe byddai yr awyddfryd crefyddol mewn cyflwr iachus, nis gallai hyn fodoli. Nid oes llawer o waith cymell ar y dyn iach, a fyddo a'i ddychwant (*appetite*) yn gryf, mewn ystyr naturiol, i ddyfod at y bwrdd, i gyfranogi o'i ymborth yn ei iawn bryd. Yr un modd, mewn ystyr, y mae gyda phethau ysbrydol. Os ydyw y dyn newydd mewn cyflwr iachus; nis gall, er dim, ganiatau i un cyfarfod fyned heibio heb iddo ef gael rhan o'r moddion. Ddarllenydd, os teimli fod y moddion yn faich arnat, gelli benderfynu fod yna ryw afiechyd moesol wedi cydio gafael yn dy gyfansoddiad crefyddol, a goreu po gyntaf y ceisi gan y Meddyg Anffaeledig am gyfferi priodol er dy wellhad. Y cam cyntaf at wrthgiliad ydyw esgeuluso moddion gras. Mae lle i ofni am yr esgeuluswyr gwirfoddol, nad oes ganddynt ddim ond enw yn unig i ymddibynu arno—dim ond rhith duwioldeb, eithr wedi gwadu ei grym hi.

Sylwn eto, fod esgeuluso cydgynulliad crefyddol yn hynod niweidiol yn ei ganlyniadau. Y mae hyn yn drosedd yn erbyn hawliau Duw fel deddf-roddwr. Mae gan Dduw hawl gyfreithlon i'n gwasanaeth mwyaf trylwyr, fel ein Gwneuthurwr a'n Hiachawdwr. Darllen gair Duw, cyhoeddi efengyl gras, a chanu mawl y Goruchaf, yn nghyda deisyf am faddeuant pechodau ar sail aberth Crist, ydyw ein gwasanaeth crefyddol cyhoeddus. Os ydyw cyflawni y pethau hyn yn ddyledswydd o du credinwyr, yna y mae peidio eu cyflawni yn sarhad arnynt, ac ar Dduw fel eu gosodydd.

Hefyd, y mae hyn yn drosedd yn erbyn ein lles penaf ni ein hunain. Gan fod dyn yn fod cymdeithasgar, a bod gan y gymdeithas a ddilyna ddylanwad mawr yn ffurfiad ei gymeriad moesol, y mae yn canlyn, ynte, o angenrheidrwydd, fod esgeuluso y gymdeithas uchaf yn ei hamcan, puraf yn ei natur, a mwyaf grymus yn ei dylanwad, yn rhwym o fod yn golled annhraethol mewn ystyr bersonol. Nid ydym yn golygu fod crefydd gymdeithasol, o dan bob amgylchiad, yn hanfodol i wir dduwioldeb yn yr enaid; ond rhaid i ni gyfaddef fod perthynas agos rhyngddynt. Yn yr ysgol yr ydym ni yma; y mae gwaith dysgyblu arnom; mae ein cariad yn wan, ein ffydd yn llesg, ein gobaith yn gymylog, a'n profiad yn aml yn isel. Pe na byddai genym bechodau i'w cyffesu, dim gelynion i'w gorchfygu, dim bendithion i'w ceisio, na dim enaid i'w sancteiddio, gallem fforddio esgeuluso ein cydgynulliad crefyddol. Ond tra y mae genym uffern i'w hosgoi, a nefoedd i ymdrechu am dani, nis gallwn hebgor ymarferyd a'r moddion sydd yn gynorthwy i'w meddianu. Y mae esgeuluso cydgynulliad yn drosedd yn erbyn hawliau yr eglwys. Gwneir yr eglwys i fyny o

amrywiol aelodau, ac y maent i fod mewn undeb a chydweithrediad â'u gilydd. Edrychwn ar yr eglwys o dan y cymhariaethau o adeilad, dinas, gardd, gwinllan, teulu, corlan, byddin, &c.; canfyddwn nas gall fod yn gyflawn, mewn cysur, gallu, a dylanwad, tra y bydd rhai yn esgeuluso. Os adeilad, y mae pob esgeuluswr yn gwneyd un maen yn ddiffygiol ynddo; os dinas, gwna pob esgeuluswr adwy yn y mur, ffordd i'r gelynion fyned i mewn; os byddin, mae diffyg yn y rhengoedd, os bydd milwr yn eisiau. Nid yw pawb yn myddin yr Oen yn ymladd yn deilwng o'u cadfridog. Dywedodd Alexander Fawr unwaith wrth un o'i filwyr, yr hwn oedd o'r un enw ag ef, ac yn annewryn, "Gyfaill, rhaid i ti ymladd o hyn allan yn fwy dewr, neu ynte newid dy enw." Felly dylai pawb sydd ar enw Crist, ymdrechu bod yn debyg i'w Blaenor, neu newid eu henwau.

Hyderwn y bydd i'r ychydig sylwadau hyn i gael eu heffaith priodol ar ddarllenwyr Y Wawr, sef y rhai o honynt a allant fod yn euog o esgeuluso eu cydgynulliad; ac i ddwyn y ffyddloniaid yn Seion i werthfawrogi eu breintiau, a pharhau mewn diwydrwydd.

---

## ENWADAETH AC ARWYDDION YR AMSERAU.

GAN Y PARCH. D. S. THOMAS, ASHTON, PA.

Bu unoliaeth Cristionogol, ond aeth y byd Cristionogol i goleddu *amryw* ddaliadau crefyddol. Ymranwyd, ymneillduwyd, a ffurfiwyd llawer o bleidiau crefyddol gwahanol eu barnau a'u harferion, er eu bod oll yn proffesu bod yn Gristionogion—dysgyblion y dyn Crist Iesu.

Dywed yr hwn na ddywed anwiredd (y Beibl) nad oes ond *un ffydd* ac *un bedydd; un drws* ac *un gorlan* i'r un Bugail Mawr. Fel yna y saif pethau yn marn yr hwn nas gall gyfeiliorni; ond fel arall yn marn ac arferiad niferoedd o rai a broffesant ddysgu ganddo.

Yn araf y daeth y dirywiad crefyddol hwn. Graddol y daeth y gair bedydd i olygu mewn ymarferiad amrywiol ddulliau; ac nid ar unwaith y daeth Cristionogion i fabwysiadu amrywiol gredoau. Felly hefyd y mae yn rhaid i'r gwrthweithiad fod—y troad yn ol—yn araf, ond yn sicr.

Os ydym i ddal ar arwyddion yr amserau, y mae unoliaeth barn ac ymarferiad yn nod amlwg at ba un y mae gweithrediadau y gwahanol bleidiau Cristionogol yn ymgyrhaedd. Y mae rhai pynciau anmhenderfynol yn ol llythyren y gair, ac ysbryd y grefydd, yn cael eu gadael yn llonydd. Rhydd hyn obaith cryf i ni nad yw yr adeg yn mhell pryd na bydd ond *un* enwad mawr Cristionogol trwy yr holl fyd!

Os ydyw rhai hen enwadau yn ymranu, megys Eglwys Loegr yn rhoi allan *Reformed Episcopal Church*, ac eglwys Rhufain yn rhoi bodolaeth i'r blaid *Old Catholics*, y mae y rhaniadau hyn yn agor y ffordd i undeb. Mae y pleidiau newyddion yn dod yn agosach at bleidwyr mwy uniawngred. Hefyd mae ymdrechion yn cael eu gwneyd er uno pleidiau yr *un* blaid, ac yn yr uniad ddiwygiadau iachus yn cael eu heffeithio.

Felly, er yr holl amrafaelion crefyddol sydd yn hynodi y blynyddoedd hyn, y mae mwy o unoliaeth barn grefyddol yn y byd Cristionogol yn awr nag sydd wedi bod er's canoedd o flynyddoedd.

Y mae llawer o bleidiau crefyddol mawrion heb ddim bron ond *enw* yn eu

cysylltu a'u sefydlwyr; a buan y bydd digon o undeb *calonau* rhwng llawer o honynt fel ag i hawlio yn gyfreithlon undeb priodasol o dan yr un enw.

Ein pwnc presenol ydyw gosod ger bron ragolygon y Bedyddwyr—beth ddywed arwyddion yr amserau am danynt. Mewn manau nid yw y Bedyddwyr yn lluosog, a gofala y newyddiaduron taenellyddol gofnodi pob peth anffafriol mewn cysylltiad â'r enwad; cyhoeddir trwy y byd bob rhwygiad a gymer le yn ein rhengau, ac awgrymir wrth hyny fod yr enwad yn colli tir. Ond er hyn oll mae *egwyddorion* y Bedyddwyr yn gorchfygu, a buddugoliaeth y gwirionedd a'r enwad yn ymddangos yn sicr.

Rhyw *un* pwnc mawr sydd yn gwahaniaethu y Bedyddwyr oddiwrth enwadau eraill. Y mae y pynciau eraill gan yr holl enwadau bron yn gyffredin a goddefol. Ni chaniata y Bedyddwyr fod dim yn fedydd Cristionogol ond tansuddiad (credinwyr) mewn dwfr. Hyn ydyw asgwrn y gynen wedi bod ac yn bod. O herwydd hyn y cawsant eu herlid, eu carcharu, eu halltudio, a'u merthyru gan rai a alwent eu hunain yn ddysgyblion i'r addfwyn a'r dyoddefus Iesu. Ond er yr holl helbul, byw yw yr enwad o hyd; a theimlwn ein bod yn ysgrifenu gwirionedd pan yn nodi fod yr adeg yn prysuro pryd na bydd ond bedydd trochiad mewn arferiad trwy yr holl eglwysi.



I gryfhau ein dysgwyliad, mae genym y pethau canlynol:

1. Y mae rhyddid crefyddol yn ymdaenu dros y byd gwareiddiedig; a rhyddid ydyw un o anhebgorion llwyddiant ein hegwyddorion. Cael y gwledydd i beidio gorfodi ar gydwybod y bobl—gadael at ewyllys y rhieni i fynu

eu plant wedi eu taenellu neu beidio, sydd gam mawr tuag at fedydd credinwyr. Cyfaddefa llawer pe buasent heb eu taenellu pan yn blant, y cymerasent eu bedyddio. Bu cyfraith yn Mhrydain yn gorfodi taenellu neu golli hawl i gladdu; ac er arbed y posiblrwydd o'r difreiniad hwn, gwelid llawer, *heb un rheswm arall,* yn cyflwyno eu plant i dderbyn y ddefod. Wrth arfer y ddefod fel hyn, aeth y bobl i gredu fod yn bechod ei hesgeuluso; ac erys y syniad hwn yn meddyliau rhai hyd y dydd heddyw! Ond y mae Prydain wedi dod i rodio mwy wrth y goleuni dwyfol a ddaeth i'r byd. Mae y gyfraith annuwiol hono wedi ei newid, a'r canlyniad yw, nad yw taenelliad babanod yn beth mor gyffredin.

Ddwy flynedd yn ol yr oedd gallu gwladol Sweden yn gorfodi taenellu plant, ac yn gwahardd bedydd trochiad; ond erbyn heddyw y mae rhyddid cydwybod yno, a'r Bedyddwyr o ganlyniad yn llwyddianus. Y mae Spaen hefyd wedi gosod yn ei chyfansoddiad erthygl yn caniatau rhyddid crefyddol i bawb. Itali yr un modd—mae dwy eglwys gan y Bedyddwyr yn Rhufain. Fel yna mae yn bod yn mhob gwlad bron; "datod mae rhwymau caethiwed." Ac nid gormod dyweyd fod y byd yn ddyledus i Fedyddwyr y Talaethau Unedig am ddysgu iddynt werth rhyddid crefyddol. Y Bedyddwyr ydyw y rhai sydd wedi byw heb erlid; heb bwyso ar y wladwriaeth; hwy yw y rhai a orthrymwyd am bleidio rhyddid. Y mae eu hegwyddorion a'u proffiad yn eu haddasu i dderbyn yr anrhydedd. "*Clear stage, and no favors,*" ydyw eu harwyddair. Dengys ystadegau gwledydd fod rhyddid crefyddol yn dylanwadu i leihau nifer y taenellwyr, ac amlhau y Bedyddwyr.

2. Mae tuedd barnu drostynt eu hunain yn meddianu y bobl; nid ydynt yn ystyried yn bechod croesi llwybrau rhai o'r hen gewri athrawiaethol; ni rwymir hwy wrth farn un dyn, fel yn y dyddiau gynt. Nid yw y plant yn credu fod yn rhaid iddynt berthyn i'r un enwad a'u rhieni. Mae rhyddid barn yn nerth i'r Bedyddwyr.

3. Mae y byd crefyddol eto yn dod i gydnabod mai bedydd trochiad yw yr *hen ddull* o fedyddio. Mae y dysgedigion mewn iaith ac hanesiaeth yn cydnabod hyn. Mae y lluaws wedi dod i gredu fod y Bedyddwyr yn *iawn,* ond ar yr un pryd yn boddloni ar daenelliad. Mae ein bedydd yn cael ei gydnabod yn fedydd gan yr holl enwadau, ac y maent bron i gyd, ar adegau, yn ei weinyddu fel ninau. Y mae ein bedydd felly wedi gweithio ei ffordd i'r holl enwadau. Y rhai a arferent gospi y Bedyddwyr am fedyddio ydynt eu hunain yn bedyddio yn awr. Os â pethau yn mlaen fel hyn yn hir, bydd mwyafrif eglwysi enwadau eraill yn Fedyddwyr o farn ac arferiad.

7. Heblaw hyn mae yr enwad yn cynyddu yn gyflym o dan ei baner. Gwir ein bod yn colli *rhai,* ond y mae ein cynydd yn rhyfeddol yn y blynyddau hyn. Felly yn gymaint a bod ein hegwyddorion yn gweithio eu ffordd mor effeithiol a chyflym i eglwysi enwadau eraill; ac yn gymaint a'n bod o dan ein henw yn cynyddu mor gyflym mewn rhif, heb wyro oddiwrth ein hegwyddorion a'n harferiadau, credwn fod dydd *un* bedydd yn cyflym nesâu.

Pwnc mawr yr awr ydyw "caeth gymundeb;" hwn sydd ar ffordd y bobl. Dywed llawer, oni b'ai hwn y buasent hwy yn Fedyddwyr. Ar ol cael y byd at *un bedydd,* gellir yn hawdd cael *un cymundeb.* Eisiau undeb barn ac arfer-

iad sydd mewn cysylltiad â bedydd, yna ni bydd eisiau son am *gaeth* na *rhydd gymundeb.* Byddwn ffyddlon i'r gwirionedd; glynwn wrth ein hegwyddorion, a daw eglwys Crist eto yn unol, "heb neb yn tynu yn groes."

## Y DDWY FAIR WRTH Y BEDD.

Cyd-eisteddwn ar y gareg,
  Mair, fy chwaer, mewn serch yn un,
Dyna'r bedd a'r man y gorwedd
  Gwrthddrych gobaith bywyd dyn;
O! 'r bendigaid draed a deithiodd
  Er daioni pawb a'u hedd,
O! 'r goganaid ddwylaw gwynion
  Dan eu briwiau yn y bedd.

Ie, chwaer, a dyna'r fynwes
  Gyda'r gwan wnai gydymddwyn,
Gofiaf fyth am iaith y bregth
  Ar y mynydd, Mari fwyn;
Sut i ddechreu na diweddu
  Mi nis gwn, fy anwyl Fair,
Perffaith ydoedd Ef, a sanctaidd,
  Yn mhob meddwl, gwaith, a gair.

Wyt ti'n cofio'r cwrdd a'r deillion,
  Fel y cawsant weled dydd,
Yntau'r mudan ddaeth i ganu,
  'R cloff i lamu fel yr hydd,
Iachau'r cleifion, rhyddhau caethion,
  Bywhau meirwon wnai mewn hedd;
Ond O! 'r milwr aeth yn greulon,
  Mair, cydwylwn, dyna'r bedd!

Cofiaf fythoedd rîn ei eiriau
  Yn nhy Simon, pan y'm caed
Yn eneinio 'i ben mewn dagrau,
  Ac yn golchi 'i sanctaidd draed;
O! na byddai'r byd yn enaint,
  Awyr gron yn euraidd flwch,
A'r holl fôr yn ddagrau cariad,
  I eneinio'i anwyl lwch.

Minau hoffwn hyny, Mari,
  Mae ewyllys serch yn fawr;
Ond nis gallem gan ein gwendid
  Rwystro'r lladd rhwng nef a llawr,
Eto, diolch, mae'n ei fynwes
  Enaint gras, i'n byth iachau,
Ac yn archoll ddofn y bicell
  Gwelaf ffynon i'm glanhau.

R. Dd. E.

## "SAMI SHON."

ADYSGRIFENWYD GAN Y PARCH. JOSEPH T. JONES, SHENANDOAH, PA.

Mr. Gol.—Ar eich dymuniad chwi, a llawer iawn o frodyr parchus, yr ydwyf yn cyflwyno i chwi gofiant y dyn hynod a'r Cristion dysglaer hwnw, Mr. Samuel Morgan, yr hwn a adnabyddir yn gyffredin wrth yr enw *Sami Shon*, iddo gael ymddangos yn Y Wawr.

Ymddangosodd y cofiant hwn yn *Greal y Bedyddwyr*, yn y flwyddyn 1828, yr hwn a olygid gan yr anfarwol Barch. John Herring, Aberteifi, ac eraill. Nid wyf wedi newid dim ar yr arddull gwreiddiol, trwy dynu oddiwrtho nac ychwanegu ato o gwbl.

Y mae llawer iawn o ffraethebau ac ystorïau ar lafar gwlad yn ein dyddiau ni, y rhai a briodolir i Sami Shon, ond y tebygolrwydd yw na wyddai yr hen bererin duwiol fwy am danynt nag am y dyn a'r baich drain yn y lleuad.

Fy nymuniad yw i'r cofiant hwn drosglwyddo elfenau iachusol a chysurol i ddarllenwyr meddylgar, deallgar, a lluosog Y Wawr. Yr eiddoch, &c.,

*Shenandoah.* Jos. T. Jones.

### RHAN I.

Testyn y cofiant hwn a adnabyddid yn fwyaf cyffredinol wrth yr enw *Sami Shon;* nid o un dirmyg arno, na dymuniad i'w ddifenwi, eithr o hen arferiad ag oedd, hyd yn ddiweddar, yn aml iawn yn mhlith y Cymry, sef rhoddi enw blaenaf y tad yn gyfenw i'r mab. Mae ychydig o weddillion yr arferiad hwn yn ffynu yn awr, yn bendifaddeu yn mysg trigolion Blaenau Gwent: ac mae yr anghysondeb yma wedi troi allan yn ddyryswch mawr i rai mewn llysoedd barn, yn ein gwlad ni, pan y byddont yn olrhain allan eu teitl, i brofi eu hawl i etifeddu meddianau ag a fyddont yn dyfod yn gyfiawn iddynt.

Ganwyd Samuel Morgan Gorphenaf

14, 1747, yn Hirgarn, yn mhlwyf Llangynydr, yn Swydd Frycheiniog, o rieni cyfrifol yn yr ardal lle yr oeddent yn trigo, fel tyddynwyr bychain. Yr oedd efe yn nai, sef mab brawd, i'r hybarch Thomas Edwards,* pedwerydd gweinidog eglwys Llanwenarth, am yr hwn y sonir yn anrhydeddus yn *Hanes y Bedyddwyr*. [Gwel tu dal. 189 a 190.]

Treuliodd ei ieuenctyd yn anystyriol o'i gyflwr fel bod cyfrifol ger bron Duw, hyd nes oedd tua deugain mlwydd oed, ond byddai yn myned ar droion i wrando pregethwyr i addoldy yr Annibynwyr yn Llangattwg; ac ar ryw dro cafodd yr hyn ag oedd yn ei glywed argraff ddofn ar ei feddwl. Amlygodd hyny i rai o'r aelodau, ac nid oedodd nemawr o amser hyd nes rhoddi ei hun yn aelod o'r gymdeithas yn y lle uchod. Ond eto yr oedd (yn ol ei eiriau ei hun) fel un heb ei ddwyn i orphwysdra. Aeth ar un dydd Sabboth i wrando i dŷ cwrdd Llanwenarth, am y tro cyntaf yn ei fywyd, lle y pregethodd y Parch. James Lewis oddiar yr adnodau canlynol: "Ac y mae yn Jerusalem, wrth farchnad y defaid, lyn a elwir yn Hebraeg Bethesda, ac iddo bum' porth; yn y rhai y gorweddai lluaws mawr o rai cleifion, deillion, cloffion, gwywedigion, yn dysgwyl am gynhyrfiad y dwfr. Canys angel oedd ar amserau yn disgyn i'r llyn, ac yn cynhyrfu y dwfr: yna yr hwn a elai i mewn yn gyntaf ar ol cynhyrfu y dwfr, a âi yn iach o ba glefyd bynag fyddai arno." (Ioan 5: 2, 3, 4.) Yn ebrwydd wedi i'r pregethwr ddarllen ei destyn, gwaeddodd Sami Shon allan, "Myfi yw un o'r cleifion." Yna tynodd sylw yr holl gynulleidfa, a synu a wnaethant yn ddirfawr ei glywed. Ond os hwn oedd y tro cyntaf iddo roddi allan ei lais, nid y tro diweddaf oedd, eithr parhaodd felly dros ystod ei fywyd, fel gwrandawr bywiog, ïe, un o'r rhai bywiocaf yn nhywysogaeth Cymru, fel ag y nodir eto rhagllaw.

Mewn ychydig ddyddiau gwynebodd ar yr eglwys; gwnaeth broffes hardd o'i ffydd yn Nghrist, a bedyddiwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Llanwenarth yr un diwrnod. Er ei fod yn aneddu tua chwe' milldir oddiwrth y ty cyfarfod, ni welwyd neb yn cadw ei le yn fwy cyson (hyd nes adeiladwyd ty cwrdd Nantyglo, lle mae cangen o'r eglwys uchod yn cyfarfod), bob cwrdd neillduol a chyhoeddus. Hefyd gofalai bob amser i fod yn brydlawn; byddai yn un o'r rhai cyntaf yn ymgynull, a chyda y diweddaf yn myned allan. Byddai yn aml yn ceryddu ei frodyr, yn enwedig y sawl ag oeddent yn byw yn agos at y ty cwrdd, am esgeuluso eu cydgynulliad; ac yr oeddent yn barod i gyfaddef fod ei ymddygiad ef yn ddigon i'w cywilyddio hwynt, pe buasai ef heb yngan un gair. Trwy ei ffyddlondeb a'i ddiwydrwydd yn y gwaith goreu, daeth i sylw a chymeradwyaeth y gweinidogion, swyddogion, a phawb a'i hadwaenai. Pan y byddai cymydogion crefyddol yn myned oddicartref, byddent yn sicr o glywed eu brodyr yn gofyn, yn ail beth, "Pa fodd mae Sami Shon?" Yr oedd yn ddiwyd iawn bob amser i fyned i gyfarfodydd cyhoeddus, megys cymanfaoedd blynyddol, cyfarfodydd cenadol, cyrddau misol a thri misol; a pha le

---

* Dyma un engraifft o'r anghysondeb a nodir uchod. Enw y taid oedd Shon Edward Morgan, a gelwid un mab yn Thomas Edwards, a'r llall, sef tad Sami Shon, yn Shon Edward Morgan. Samuel Edwards yw testyn y cofiant hwn ar lawr yn Llyfr yr Eglwys yn Llanwenarth. Canfyddir wrth hyn yma nad oedd ganddynt un reol safadwy i gadw eu cyfenwau yn gyson.

bynag y byddai yn myned, nid oedd arno fyth eisiau llety; yr oedd nifer mawr yn wastad yn barod i'w roesawu, a byddai llawer o'r cyfeillion yn dyfod i'w lety i ymweled ag ef, a chaffent fudd a chysur annhraethol wrth ymddyddan ag ef am y bererindod ysbrydol. Yr oedd yn feddianol ar ddawn gweddi tra helaeth, ac yr oedd ei ddull o eirio yn tynu sylw pawb a'i clywent; ond y peth mwyaf gwerthfawr oedd ansawdd ei ysbryd o flaen gorseddfainc gras. Yr oedd yn wastad fel y publican gynt, mewn teimlad o'i angen, a golwg wael arno ei hun a'i gyd-greaduriald yn derchafu a molianu rhad ras, ac yn ymaflyd yn wrol yn yr addewidion. Yr oedd yn hynod o ddiffael yn cyflawni ei ddyledswydd foreuol a hwyrol yn ei deulu. Codai ei wraig yn foreu iawn (yr hon oedd yn proffesu er ys llawer o flynyddoedd), ac ar ol iddi hi barotoi boreufwyd i'r teulu, darllenai benod neu ddwy o'r Beibl; ac os dygwyddai iddi hi godi o'i flaen ef, yr oedd yn sicr o ddihuno pan glywai efe hi yn darllen; gwrandawai yn ddyfal, gan fendithio a moli Duw am nad oeddent wedi dihuno yn y poenau tragywyddol; ac yn union galwent y teulu yn nghyd, ac yna efe a âi i weddi—a hyn yn gyson bob dydd. Dywedodd un wrthyf ag a fu yn lletya gyda hwynt yn agos i ddwy flynedd, mai dyma fel y gwelodd efe hwynt yn gwneyd bob amser. Clywais ei ferch yn dywedyd, ei bod hi yn cofio er ys 30 o flynyddau, a dyma fel y gwelodd hithau hwynt yn wastad.

Efallai y bydd rhyw feirniad manylgraff yn barod i ddywedyd am wrthddrych y cofiant hwn, mai dyn segur, diog, a diofal am ei deulu oedd ef; ond gallaf wrthwynebu hyn yn gadarn. Dilynodd ei orchwylion yn gyson ac yn ddiwyd; ei wraig ac yntau a fuont fyw yn drefnus, a gadawodd ychydig feddianau ar ei ol; ïe, llawn cymaint a fydd eisiau ar ei wraig i fyw mor anrhydeddus ag y bu yn ystod bywyd ei phriod.

Megys ag y lled-grybwyllwyd o'r blaen, yr oedd bob amser yn hynod o barth gwresogrwydd ei ysbryd wrth addoli, fel nas gall neb ddywedyd iddynt ei weled heb glywed. Pan y byddai odditan weinidogaeth a'i boddlonai, megys athrawiaeth rhad ras, efe a ddygai dystiolaeth trwy gydsynio â'i holl egni, nid fel un yn rhagrithio, ond yn wastad yn fywiog, ac yn archwaethu rhyw flas anghydmarol ar wirioneddau yr efengyl. Ac megys y gellir adnabod pren wrth ei ffrwyth, yr un modd gellir gyda chysondeb ddywedyd fel uchod am dano ef, canys yr oedd ei rodiad yn cytuno a'i broffes. Nid haeriad disail ysgrifenydd y cofiant hwn yw hyn, eithr mae yn galw ei gymydogion ac amryw o weinidogion y Deheubarth a Gwynedd yn dystion. Clywsom amryw weithiau fod ei enw yn anrhydeddus hyd Ynys Mon, am ei ymddygiad tra rhagorol yn codi breichiau pregethwyr pan fyddai eu hysbrydoedd yn isel, eu profiadau yn oerion, a'u hymgyffrediadau yn dywyll. Daeth rhai pregethwyr filldiroedd oddiar y ffordd y bwriadent fyned, er mwyn ei weled; a phan y cyfarfyddent ag ef, dywedent na fynegwyd iddynt yr haner am Sami Shon.

Hynod oedd am fod yn ddi-dderbyn wyneb. Yr oedd unwaith yn gwrando un yn traethu pregeth hirfaith, am awr, heb braidd son am Iesu Grist, a'i waed ef sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod; ac ychydig cyn dybenu dywedodd y pregethwr ei fod bron yn rhoddi i fyny. Gwaeddodd Sami Shon allan ger bron y gynulleidfa luosog o amryw

ganoedd, "Mae yn llawn bryd i ti." Dro arall daeth pregethwr ieuanc i'w gymydogaeth, ac a ddechreuodd ymholi am Sami Shon. Atebwyd ef, "Bydd yn sicr o ddyfod i'r oedfa, oddieithr i ryw rwystr mawr i gyfarfod ag ef; ac yn ol y dysgwyliad, efe a ddaeth. Cyn dechreu yr oedfa bu cryn ymddyddan rhyngddynt ill dau; dymunodd y pregethwr arno ddechreu yr addoliad; cydsyniodd yntau, ac aeth i weddi. Deisyfodd ar ei Dad Nefol yn y geiriau canlynol: "Arddel y dyn bach mawr hwn heno; er mai bychan yw o gorpholaeth, mawr yw yn ei feddwl ei hun; dyro arddeliad ar dy air trwyddo," &c. Ffromodd y dyn yn aruthr, ac ni ofynodd fyth eilwaith i Sami Shon am weddio yn gyhoeddus. Un peth arall dan y pen hwn; cafodd hen gyfaill iddo ei anafu wrth ei orchwyl; torodd ei glun, fel nad oedd yn alluog i symud. Yr ydoedd y dyn hwn unwaith wedi gwneyd proffes o grefydd, ond yr oedd y pryd hwnw ar dir gwrthgiliad. Anfonodd yn ei gystudd am rai o'i hen gyfeillion crefyddol i ymweled ag ef; yn mhlith y cyfryw yr oedd gwrthddrych ein cofiant, yr hwn a ddybenodd y cyfarfod trwy weddi, a dywedodd: "O, Arglwydd, mae y claf hwn wedi crwydro, ond wele yr wyt ti wedi ei oddiweddu ef, toraist ei glun ef; os myni di, tor y llall, ond eto cadw ei enaid i fywyd tragywyddol; canys gwell yw i ni fyned yn anafus i mewn i'r bywyd, nag a dau droed genym ein taflu i dân uffern."

Hynod oedd am ei ffraethineb; nodwn un peth yma fel engraifft o lawer o'i atebion parod a synwyrlawn. Pan oedd yn cydymdeithio gyda phedwar neu bump o'i frodyr o gwrdd neillduol, cyfarfuasant â dyn ar y ffordd, ac wedi cyfarch i'w gilydd, gofynodd yr ymdeithydd, "A glywsoch chwi am yr etholiad ymdrechol a fu yn Swydd G— yn ddiweddar?" Atebasant, Na ddo; yna dywedodd y dyn, mai amgylchiad dedwydd iawn i'r Ymneillduwyr oedd, fod y glorian wedi troi fel y gwnaeth. "Pa fodd?" meddynt hwythau. Atebai y dyn, "O herwydd fod yr ymgeisydd aflwyddianus wedi rhoddi addewid gref i rai o'i bleidleiswyr, ei fod wedi penderfynu, os buasai bosibl, gael cyfraith newydd i dynu i lawr bob tŷ cwrdd drwy y deyrnas." "O, na wnelsai," ebe Sami Shon, "mae y brenin Alpha yn y Senedd o'i flaen ef." Y brenin Alpha!" ebe y dyn mewn modd cableddus ac anwybodus, "pwy ydyw hwnw?" Atebodd Sami Shon, "A glywsoch chwi ddim ei fod yn y Senedd?" "Ni chlywais i son am un o'r enw erioed," ebe y dyn, "ac yr wyf yn darllen y papyrau newyddion yn gyson bob wythnos." Atebodd Sami Shon, "Brenin yr holl freninoedd, Arglwydd yr holl arglwyddi, Duw yr holl ddaear y gelwir ef; gwnaed ef ei hun yn adnabyddus i chwi. Dydd da i chwi." Yna ymadawsant.

Hynod oedd i ragweled ac i godi addysg oddiwrth yr hyn a fyddai y pregethwyr yn ei lefaru. Un tro pan oedd yn gwrando pregeth oddiar y testyn, "Mae Joseph fy mab eto yn fyw, af fel y gwelwyf ef cyn fy marw," dywedai y pregethwr fod brodyr Joseph yn ei gasâu; gwaeddai Sami Shon, "Fy Nghrist i yw hwna, efe a gasâwyd gan ei genedl ei hun."

*Pregethwr.* Yna gwerthasant Joseph i'r Aipht.

*Sami Shon.* Fy Nghrist i yw hwna; efe a werthwyd am ddeg-ar-hugain o arian.

*Pregethwr.* Cafodd Joseph ei gamgyhuddo a'i garcharu.

*Sami Shon.* Fy Nghrist i yw hwna; canys yn ei erbyn y dygwyd gau dystion.

*Pregethwr.* Yr oedd Joseph yn adnabod ei frodyr cyn eu bod hwy yn ei adnabod ef.

*Sami Shon.* Yr oedd Iesu yn adnabod ei bobl cyn iddynt hwy ei adnabod ef; cyn bod neb arall yn ei adnabod, a chyn iddynt adnabod eu hunain.

*Pregethwr.* Yr oedd ystordy Joseph yn llawn, yn ngwyneb fod angen ar ei frodyr.

*Sami Shon.* Yr oedd pob peth yn Nghrist cyn bod angen ar ei frodyr, ac mae yn cyfranu i'w holl frodyr, ac mae digon ynddo eto.

---

## GWAREDIGAETHAU Y DIWEDDAR BARCH. W. OWENS, PITTSBURGH.

GAN Y PARCH. T. EDWARDS, BIRMINGHAM, PA.

MR. GOL.—Mae amrai wedi rhoddi anogaeth i mi i ysgrifenu rhai hanesion hynod am fy nghyfaill ymadawedig, am ein bod wedi parhau yn gyfeillion mor fynwesol am gynifer o flynyddau. Bwriadaf anfon rhai ysgrifau byrion i'r WAWR o dro i dro, fel y gellwch eu cyhoeddi, os byddwch yn eu barnu yn deilwng. Dyma hanes rhai o'r gwaredigaethau a gafodd yn America.

### Y WAREDIGAETH FLAENAF.

Tybiaf iddo ddyfod i'r wlad hon tua y flwyddyn 1831, ac efe a fu yn aros am beth amser ger Philadelphia, Pa. Pan oedd efe yno ymaflodd mewn gorchwyl er enill modd i gynal ei hun a'i deulu. Yr ydoedd un diwrnod gydag eraill yn symud bad. Yr oedd rhai o'r gweithwyr yn tynu y bad â rhaff, ac yr oedd yntau yn y bad, a phren hir yn ei ddwylaw, pa un oedd ef yn yru i lawr i'r dwfr er mwyn gwthio y bad yn mlaen; ac wedi gwneyd hyny rai troion, efe a yrodd y pren i'r dwfr, ond yr oedd yn y fan hyny bwll ag oedd ddyfnach na'r manau lle y tarawodd efe y gwaelod o'r blaen, ac felly efe a syrthiodd i'r dwfr ac aeth i'r gwaelod nes oedd ei draed ar y tywod, ond rhoddodd naid tuag i fyny, a daeth i wyneb y dwfr, a gallodd daflu ei freichiau am y rhaff oedd wrth y bad, ac felly cafodd ei waredu rhag marwolaeth. Clywais ef yn adrodd yr hanes blaenorol ei hun. Nid oedd ef i gael ei symud ymaith yr amser hwnw, gan fod llawer o waith wedi ei fwriadu iddo gan ei Feistr nefol i'w gyflawni yn America.

### YR AIL WAREDIGAETH.

Ar ol iddo aros yn ardal Philadelphia am dymor, efe a symudodd i Minersville, Pa., ger Pottsville, a'i deulu gydag ef, sef ei briod, a'i dri mab, Rees, William, a John. Efe a ddechreuodd bregethu yn Minersville, a sefydlodd yr ychydig Fedyddwyr oedd yno yn eglwys. Daeth un wraig i'r gyfeillach o'r byd, a phenderfynwyd iddi gael ei bedyddio trwy drochiad yn yr afon sydd yn rhedeg trwy Pottsville, ar brydnawn Sabboth. Am fod tua phedair milldir i fyned o Minersville i Pottsville, yr oedd Owens ac eraill yn cael eu cario mewn *wagon*, a dau geffyl yn eu tynu. Yr oedd y gyrwr wedi yfed diodydd meddwol, ac efe a yrodd y ceffylau, ac wrth dreio eu dal fe dorodd y ffrwyn, ac ar dro'r heol fe daflwyd y gyrwr a rhai eraill allan; ond fe neidiodd Owens o'r *wagon*, er fod y ceffylau yn rhedeg yn gyflym, ac efe a gafodd afael trwy ymdrech yn ffrwyn un o'r anifeiliaid, nes eu dal yn llonydd. Yr oedd rhai o'r teithwyr wedi aros yn y *wagon*, y rhai a achubwyd, fe allai rhag marwolaeth, trwy wroldeb y brawd Owens.

Aeth yn ol i edrych am y gyrwr, yr hwn oedd yn gorwedd ar y ddaear, a gofynai, Owens iddo, "Pa'm yr oeddit ti yn gyru y ceffylau fel y dar'u i ti wneyd?" "O," meddai y gyrwr, "yr ydwyf wedi tori fy nghoes." Yr oedd yn rhyfedd na buasai rhai wedi cael eu niweidio, os nid eu lladd. Ca'dd Owens ei waredu rhag cael dim niwed!

Y DRYDEDD WAREDIGAETH.

Gan mai yn Palmyra yr oedd ei fechgyn yn aros gyda ei chwaer Mary a'i phriod, yr oedd efe am ymweled â hwy mor aml ag y medrai. Pan oedd efe wedi penderfynu myned yno, gwnaeth chwaer grefyddol ei meddwl i fyny i fyned gydag ef, am fod ei phriod wedi prynu tyddyn yn Palmyra. Yr oeddynt i gyfarfod ar y bad, ar yr afon Ohio. Pan aeth Owens i'r bad, nid oedd y chwaer yno. Gofynodd i'r cadben am iddo aros tra yr elai ef i edrych am y chwaer. Addawodd aros ugain mynyd. Ffwrdd aeth Owens nerth ei draed, ond nid oedd y wraig yn y tŷ; yr oedd hi wedi myned i'r bad ffordd arall. Allan ag Owens, ac wrth ei fod yn rhedeg i'r goriwaered trwy *alley*, daeth *bull-dog* mawr allan, yr hwn a redodd yn erbyn Owens nes oedd y ddau i lawr bendramwnwgl. Cododd Owens a chafodd afael mewn *brick*, yr hon a daflodd at ben y creadur gwrthnysig, ac yr oedd yn dda iddo na ddisgynodd yr ergyd yn gwbl ar ei ben ef, onidê ni fuasai angen am i neb ei daro ar ol hyny. Gallasai Owens gael niwed mawr, ond yr oll a gafodd oedd, i'w ben-glin fyned allan trwy ei lodrau newydd, a bod ychydig archoll ar ei ben-glin. Dengys yr hanes ei fod ef yn cael ei waredu yn aml.

Y BEDWERYDD WAREDIGAETH.

Un tro pan oedd ef a'r Parch. Mr. James yn myned tua Palmyra mewn *stage*, a phedwar ceffyl yn eu tynu, pan oeddynt rai milldiroedd yr ochr hyn i Palmyra, rhyfeddent fod y ceffylau yn rhedeg mor gyflym. Edrychasant allan, a gwelsant trwy gymorth goleuni y lleuad, nad oedd y gyrwr yno, a bod yr anifeiliaid yn hollol at eu rhyddid. Pan oeddynt yn myned i oriwaered tua phont oedd yn croesi cwm dwfn, dywedodd Owens, "Dyma ni'n awr yn myned i dragywyddoldeb." Gan mai pont blanciau, heb ganllawiau, oedd yn croesi y cwm, yr oedd yr olygfa yn arswydus. Pan aeth olwynion y *stage* yn erbyn y planciau, fe neidiodd y *stage* yn uchel, ond aethant drosodd yn ddiangol. Cyn myned i Palmyra, fe drodd y ceffylau o'r heol i ddarn o dir lle yr oedd coed yn gorwedd ar y ddaear, a boncyffion yn sefyll uwchlaw y tir, fel sydd yn y wlad hon pan y torir y coed i lawr. Os oedd hi yn ddrwg o'r blaen, yr ydoedd yn llawer gwaeth yn y fath le. Pan aethant i mewn i Palmyra, fe safodd y ceffylau, ac fe neidiodd Owens allan o'r *stage*, a gwaeddodd ar Mr. James, "Deuwch allan yn ddioed." "Aroswch i mi," meddai Mr. James, "i mi gael gafael yn fy mwndel." Erbyn hyn yr oedd y ceffylau yn cychwyn i fyned tua Ravenna, ddeuddeg milldir yn mhellach, a Mr. James i mewn; ond am fod tro yn yr heol, fe redodd Mr. Owens i gyfarfod a'r ceffylau, ac fe'u daliodd, a daeth Mr. James allan, a'i "fwndel." Pan aed i chwilio am y gyrwr, boreu dranoeth, fe'i cafwyd yn farw, a'r olwynion wedi chwalu ei ben. Wrth edrych ar ol yr olwynion ar y bont oedd yn groes i'r cwm, canfyddwyd mai ychydig fodfeddi oedd rhwng yr olwynion a myned dros ochr y bont, a phe cymerasai hyny le, buasai yr anifeiliad, a

James ac Owens, wedi eu lladd. Diogelwyd hwy gan ragluniaeth fawr y nef yn ddiogel.

## ARFAETH DUW A CHYDWEITHREDIAD DYN.

GAN Y PARCH. JAMES ROWE, ABERGWAUN.

"Dywedodd Paul wrth y canwriad a'r milwyr, Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig."—ACT. 27 : 31.

Yn y cysylltiad, ceir hanes mordaith Paul i Rufain. Yn gyntaf mewn llong o Adramytium hyd Myra. (Adn. 1–5.) Wedi hyny mewn llong o Alexandria, ag oedd yn dychwelyd i Rufain yn llwythog o yd. Gan ei bod yn ddiweddar yn y flwyddyn—tua mis Hydref—bu yn flin a thymestlog arnynt, canys cyfodasai yn eu herbyn wynt cryf a elwid euroclydon (*hurricane*), ac a elwir gan ein morwyr ni *levanters*, yr hwn a chwythasai am tua phymthegnos—y cwbl yn dywyll.—(Adn. 20.) Ychydig cyn i'r ystorm dawelu, ymddangosodd angel i Paul.—(Adn. 21—26.) [Darllener yn mlaen hyd at y testyn.] Rhoddes Ffestus ofal Paul i'r canwriad a'r milwyr; a rhoddes Duw y milwyr, y morwyr, a'r *emigrants*, i ofal Paul. (Adn. 24.) "Nac ofna, Paul," ebe yr angel, "Ha wyr, cymerwch gysur," ebe Paul wrth y bobl.

"'Rwy'n gweled bob dydd,
Mai gwerthfawr yw ffydd."

"Canys yr wyf fi yn credu i Dduw, mai felly y bydd, yn ol y modd y dywedwyd i mi." Mae duwioldeb yn gwneyd dyn yn ddefnyddiol i eraill yn gystal ag iddo ei hunan ac i Ddnw. Yr oedd Paul wedi cyngori i beidio hwylio o Creta.—(Adn. 10, 21.) Ond er i'r awdurdodau wrthod gwrando, y mae Paul eto, ar ol myned i gyfyngder, yn dwyn ymwared. Cymharwch ymddygiad Paul ag eiddo y morwyr, (adn. 30), neu ag eiddo y milwyr.—(Adn. 42.) Braint ydyw cael bod yn yr un byd â'r duwiol. Achub bywyd y milwyr yw y pwnc cysylltiedig â'r testyn. Arfaeth Duw, a chydweithrediad dyn, fydd y pwnc y gelwir sylw ato.

I. ARFAETH DUW.—Fod gan Dduw ei gyngor, ei drefn, ei ragluniaethiad, a'i arfaeth, sydd ffaith a brofir gan y Beibl, ac a gydnabyddir gan reswm. Nis gall feddwl am fôd rhesymol a meddylgar yn gweithredu heb fod ganddo ei arfaeth. Mae gan Dduw lawer o weithredoedd wedi eu cyflawni, ac i gael eu cyflawni, a'r holl weithredoedd hyny yn ffrwyth arfaeth, neu ragfwriad. Mae holl arfaethau y Duwdod yn deilwng o hono ei hun.

1. Mae yn unol â'i ddoethineb—perffeithrwydd doethineb—doethineb sydd yn peri i bob doethineb arall yn ei hymyl i ymddangos yn ynfydrwydd. Mae ffolineb Duw yn ddoethach na dynion. Os felly ei ffolineb, pa beth am ei ddoethineb? "Mor lluosog yw dy weitheedoedd, O Arglwydd: gwnaethost hwynt oll mewn doethineb." Duw doeth sydd wedi arfaethu yn ddoeth; ac arfaeth ddoeth sydd wedi cynyrchu gweithredoedd doeth.

2. Mae ei arfaeth ef yn unol â'i gyfiawnder, ac â'i sancteiddrwydd. Nid *ewyllys* Duw ydyw safon ei *gyfiawnder;* ei *gyfiawnder* yn hytrach ydyw safon ei *ewyllys*. Yr ydym yn dra sicr nas gall Duw fod yn awdwr pechod, ac nas gall efe wneuthur cam a gwr yn ei fater; nid am nad oes y fath beth a phechod yn y byd—nid am nad oes y fath beth a gwyro barn; ond yr ydym yn cyfiawnhau Duw am ei fod ef yn ei natur yn gyfiawn. Nis gall efe arfaethu dim yn groes i gyfiawnder. "Ti a greaist

ogledd a deau; Tabor a Hermon a lawenychant yn dy enw. Y mae i ti fraich a chadernid; cadarn yw dy law, ac uchel yw dy ddeheulaw. Cyfiawnder a barn yw trigfa (colofn) dy orseddfainc; trugaredd a gwirionedd a ragflaenant dy wyneb."

3. Mae ei arfaeth ef yn ol perffeithrwydd gwybodaeth. Mae dynion wrth ddyfeisio a chynllunio yn damfwrw (*calculate*) y gwna y naill beth ateb i'r llall; a phrydiau eraill yn dymuno hyny. Mae Duw yn gwybod. Ni pherthyn ddoe nac yfory, hwyrach nac efallai, iddo ef. "Duw ydwyf heb fy math: yn mynegu y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt yr hyn ni wnaed eto." Mae dechreuad pethau a'u diwedd i ni yn ddau wirionedd gwahanol, ac nid ydym yn fynych yn gallu *graspio* mwy nag un o honynt. Mae ei law a'i edrychiad ef yn cyrhaedd y ddau.

4. Mae yn canlyn fod yr arfaeth sydd yn ol hollwybodaeth, yn arfaeth sydd yn ol hollalluawgrwydd. Ar ol dywedyd ei fod yn "mynegu y diwedd o'r dechreuad, ac er cynt yr hyn ni wnaed cto," y mae yn canlyn hyny, "Fy nghyngor a saif, a'm holl ewyllys a wnaf." Mae dynion a chythreuliaid wedi gwneuthur llawer cynyg i atal Duw yn ei amcanion. Mae dwy engraifft yn y cysylltiad hwn—eiddo y morwyr (adn. 50), ac eiddo y milwyr (adn. 42). Mae dynion yn fwy tueddol i geisio gwneyd yr hyn ni allant ei wneyd nag y byddant i wneyd yr hyn a allant. Mae cyflawniad ei arfaethau ef yn ymddibynu ar ei allu. Am eu bod yn cynwys pethau mor bwysig yn un peth; ac yn ail, am fod cymaint o wrthwynebiadau.

5. Mae ei arfaeth ef yn ol daioni.—Mae miliynau o dafodau yn cyd-dystiolaethu mai "Duw, cariad yw." Dylid bod yn wyliadwrus i gofio hyn wrth fyfyrio arfaeth Duw a'i allu—fod y cynlluniau oll yn ol daioni, a'r gallu annherfynol i gael ei ddefnyddio er dwyn yn mlaen ddaioni. Mae ei wybodaeth yn cyrhaedd y drwg; ei arfaeth sydd yn cofleidio y da. Y mae ei allu weithiau yn cadwyno y drwg, ac weithiau yn ymaflyd ynddo i'w daflu o'r ffordd. Nid oes ganddo yr un arfaeth sydd yn milwrio yn erbyn amcanion marwolaeth ac eiriolaeth ei anwyl Fab.

Mae arfaethau Duw yn dyfod yn hysbys i ni, naill ai drwy eu bod yn cael eu rhagfynegu, neu eu bod yn datguddio eu hunain. Gallwn olrhain a dirnad arfaethau dynion, drwy y berthynas sydd yn bodoli rhwng meddwl a meddwl. Ond y mae ei feddyliau ef uwchlaw ein meddyliau ni; nid oes dim *analogy* rhyngddynt. Mae yr hyn sydd yn dywyllwch i ni yn oleuni iddo ef; a'r hyn sydd i ni yn ddyrys, iddo ef yn eglur. Mae y Beibl yn ein hysbysu am arfaethau heb eu cyflawni; pregethiad yr efengyl dros yr hôll fyd, cwymp Babilon, yn nghyda dinystr yr holl wrthwynebiadau sydd ar ffordd llwyddiant teyrnas y Cyfryngwr, diwedd y byd, adgyfodiad y meirw, y didoliad bythol ynddo ei hun, a'i ganlyniadau, &c. Mae dydd i ddydd, a nos i nos, yn cydddatguddio i ni ryw arfaethau yn barhaus, sydd ynddynt eu hunain yn hen bethau, eithr i ni yn bethau newydd. Byddwn yn dysgwyl rhai o honynt, eraill yn cael eu hamlygu yn annysgwyliadwy. Yr ydym yn galw rhai o honynt yn ddamweiniau, eraill yn effeithiau ac yn ganlyniadau. Mae rhai o honynt yn eu dadblygiadau yn ymddangos yn ddymunol, eraill yn arswydus, fel tywalltiad phiolau llawn o bläau y dyddiau diweddaf. Arfaeth ddymunol sydd yma—yn cofleidio bywydau ac yn eu cadw. Dywedodd yr angel wrth Paul, "Nac ofna, Paul; rhaid i ti sefyll ger bron Cæsar; ac wele rhoddes Duw i ti y rhai oll sydd yn morio gyda thi."—(Adn. 24.) Yr oedd yn y llong ar y pryd ddau gant ac un-ar-bymtheg-a-thriugain, y rhai oll a achubwyd.

II. Fod cyflawniad yr arfaethau dwyfol yn derbyn ac yn hawlio cydweithrediad.—Yr *arfaeth* yma ydoedd achub 276 o fywydau; y *drefn* oedd eu bod i gael eu hachub drwy fod y morwyr yn aros yn y llong cyhyd ag oedd galwad am eu gwasanaeth.

1. *Mae gwasanaeth pethau a phersonau weithiau yn rhan o'r arfaethau.*—Yr arfaeth oedd, fod y natur ddynol i gael ei chadw yn fyw drwy ryferthwy y diluw; yr oedd gwasanaeth Noah a'r arch yn rhan bwysig o'r cynllun. Israel i gael eu gwaredu o'r Aipht; yr oedd oen y pasg, a Moses a'i wialen yn rhan o'r *machinery*. "Ewch i'r pentref sydd ar eich cyfer, ac yn y man chwi a gewch asen yn rhwym, ac ebol gyda hi; gollyngwch a dygwch ataf fi. Ac os dywed neb ddim wrthych, dywedwch, Y mae yn rhaid i'r Arglwydd wrthynt." Mae eu gwasanaeth i mi yn angenrheidiol, am fod rhan o'r cynllun dwyfol i gael ei gyrhaedd drwyddynt. "A'r Arglwydd a ddywedodd wrth Ananias, Cyfod a dos i'r heol a elwir Uniawn, a chais yn nhy Judas un o'r enw Saul....canys y mae hwn yn llestr etholedig i mi, i ddwyn fy enw ger bron y cenedloedd, a breninoedd, a phlant Isruel." "Fe welodd Duw yn dda drwy ffolineb pregethu gadw y rhai sydd yn credu." "Pa fodd y credant yn yr hwn ni chlywsant am dano? Pa fodd y clywant heb bregethwr? Pa fodd y pregethant onis danfonir hwynt?"

2. *Mae eiriolaeth a gweddiau weithiau yn rhanau o'r arfaethau.*—Eiriolaeth Moses yn Israel, gweddi Elias am wlaw, gweddi Hezekiah, gweddi yr eglwys dros Pedr, eiriolaeth y gwinllanydd dros y pren diffrwyth, &c.

3. *Weithiau y mae telerau yn rhanau.*—Os oedd Noah i gael ei gadw, yr oedd yn rhaid iddo fyned i'r arch. Os oedd Israel i gael eu harbed, yr oedd yn rhaid iddynt beidio cyffwrdd â'r mynydd. Os oedd yr archoffeiriad i gael derbyniad i'r cysegr, yr oedd yn rhaid iddo gydymffurfio â'r gyfraith. Os oedd y rhai a frethid gan y seirph tanllyd i wella, yr oedd yn rhaid iddynt edrych ar y sarph bres. Os yw pechadur i gael ei gadw, y mae yn rhaid iddo gredu yn y Mab. "Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig." "Y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig." Amod bywyd yw, "Y neb ni fyno weithio, na fwytaed chwaith."

Yr ystyriaethau hyn sydd yn rhoddi lle i waith—*stimulation* i weithio. Dyma sydd yn dwyn yr ystyriol i gydymffurfio yn ofalus â'r ewyllys ddwyfol, ac i ymddiried yn Nuw am lwyddiant. Pe byddai i'r arfaeth gaued *telerau* amodau, gweddiau, a dyledswyddau, allan, fe ddarfyddai rhinwedd, pechod, a chyfrifoldeb, ac fe drengai bywyd y byd moesol. Os tynir *arfaeth* ymaith, fe gyflwynir y byd i freichiau tynged, ac fe gyll y credadyn ei sicrwydd a'i hyder. Ond y mae y drefn, fel y mae, yn rhoddi lle i sicrwydd, a lle i waith. Mae natur yr arfaeth yn rhoddi lle i sicrwydd; a thelerau yr arfaeth yn rhoddi lle i waith. Os erys y bobl hyn yn y llong, fe ddaw pob enaid i dir yn ddiangol. "Onid erys y rhai hyn yn y llong, ni ellwch chwi fod yn gadwedig."

Cymhwysir y syniadau hyn at ddyfais iachawdwriaeth.

1. *Mae y ddyfais yn un gyfaddas, ac yn cynwys iachawdwriaeth.*—Mae Duw yn ei Fab yn dywedyd, "Cymerwch gysur." Mae yn dywedyd hyn wrth ddynion â phob gobaith i fod yn gadwedig wedi ei ddwyn oddiarnynt. Mae y ddyfais sydd wedi ei datguddio yn cynwys bywyd. "Yn un ddiogel a sicr." Aeth y llong o Alexandria yn ddrylliau.

2. *Mae yn rhaid bod yn nghyswllt a'r drefn, a chydymffurfio a'r drefn, er bod yn gadwedig drwyddi.*—Y mae yn rhaid bod ar y bwrdd, ac aros yno hyd y diwedd.

3. *Fod lle cyfreithlon gan y cyfryw bobl i ymgysuro a gorfoleddu.*—"A thra yr ydoedd hi yn dyddhau, Paul a eiriolodd ar bawb gymeryd lluniaeth, gan ddywedyd, Heddyw yw y pedwerydd dydd ar ddeg yr ydych chwi yn dysgwyl, ac yn aros ar eich cythlwng, heb gymeryd dim. O herwydd paham yr ydwyf yn dymuno arnoch gymeryd lluniaeth, oblegid hyn sydd er iechyd i

chwi; canys blewyn i'r un o honoch ni syrth oddiar ei ben. Ac wedi iddo ddywedyd hyn efe a gymerodd fara, ac a ddiolchodd i Dduw yn eu gwydd hwynt oll, ac a'i torodd, ac a ddechreuodd fwyta. Ac yr oeddynt bawb wedi myned yn gysurol, a hwy a gymerasant luniaeth hefyd."—Adn. 33–36.

# Manion Amrywiaethol.

## Yr Hen Saunders.

Gair mawr ei bwys ydyw "hen." Mae dyn yn teimlo pan yn cael ei alw yn hen. Gair cyffredin yn yr America ydyw yr hen ddyn, "*Old man.*" Nid oes neb yn caru y drychfeddwl ei fod yn hen.

Yr oedd y diweddar Barch, David Saunders, o gapel Seion, Merthyr, a'r Parch. Abel Jones, gweinidog Ebenezer, Merthyr, y pryd hwnw, yn dychwelyd gyda'u gilydd o gyfarfod chwarter a gynaliwyd yn Nghaerphili, ac yr oeddynt yn cerdded gyda'u gilydd ar eu taith yn ol i Ferthyr. Digwyddodd iddynt alw mewn ffermdy, er mwyn cael gorphwys a chael ychydig o luniaeth, yn Tredomen, cartref y Parch. Richard Edwards, yn awr o Pottsville, ac yr oedd tad a mam Mr. Edwards yn digwydd bod oddicartref ar y pryd, a dim ond y ferch, yr hon oedd yn ieuanc ar y pryd, oedd gartref pan ddaeth y ddau weinidog yno. Gofynai Mr. Saunders i'r ferch a oedd yn eu hadnabod," &c., &c. "Y chwi," ebe y ferch, "ydyw Mr. Saunders?" "Ie," ebe yntau, "Beth ydych yn feddwl am danaf?" "Wel." ebe y ferch, "yr oeddwn yn meddwl eich bod yn llawer hynach nag ydych." "Beth barodd i chwi feddwl hyny?" ebe yntau. "Clywed y bobl oeddwn yn eich galw 'Yr hen Saunders,'" meddai Miss Edwards, yn ddigon diniwed. Teimlodd yr hen frawd yn rhyfeddol. "Wel, fy merch i," meddai yntau, "nid ydych chwi yn fy ngweled yn edrych mor hen." Aeth y ddau weinidog ar ol gorphwys tua Mynwent y Crynwyr (*Quakers' Yard*), i gael cwrdd a'r cerbyd oedd yn dyfod y pryd hwnw o Gaerdydd i Ferthyr. Ond dyna oedd ar feddwl Mr. Saunders yn barhaui, yr hyn a glywodd gan y ferch, "Yr hen Saunders." "Yr ydym wedi cerdded," ebe fe wrth y brawd Jones, "o Gaerphili hyd yma, a gallwn gerdded eto i Fynwent y Crynwyr." Wedi myned yno yr oeddynt o flaen y cerbyd. "Os ewyllysiwch, frawd, gallwn gerdded yn mlaen nes y dalio y cerbyd ni, os ydych chwi yn teimlo, yr wyf fi yn teimlo y gallaf gerdded," ac felly yr aethant; ond yn mhen ychydig dyma y *coach* fawr yn dyfod. "Wel," ebe Mr. Saunders, drachefn, "yr wyf fi yn foddlon cerdded i Ferthyr bob cam, os ydych chwi yn teimlo." Ac felly cafodd y cerbyd eu pasio, a theimlai yr hen frawd ei hunan yn gryf yn gallu cerdded o Gaerphili i Ferthyr, yr hyn yn ddiau na wnaethai oni buasai yn casau y drychfeddwl ei fod yn hen—"Yr hen Saunders."

Câs beth oedd gan y diweddar Barch. Francis Hiley, Llanwenarth, oedd clywed pobl yn ei alw "yr hen dad." Y mae plant yn dymuno bod yn ddynion pan yn ieuainc; ond pan ddelont yn ddynion, nid oes neb yn caru myned yn hen. Ond er y cyfan myned yn hen yr ydym. Addfedrwydd i gael myned i'r byd hwnw lle na bydd neb yn heneiddio, na neb yn glaf, na neb yn marw.

*Summit Hill, Pa.* B. JAMES.

## Efa a Mair.

Diau mai y ddwy wraig ryfeddaf a ymddangosodd yn y byd erioed oedd Efa, "mam pob dyn byw," a Mair, mam "Tywysog bywyd." Eu sefyllfaoedd oeddynt y rhai mwyaf arbenig, ac amseroedd eu hymddangosiad y rhai mwyaf nodedig a ddygwyddodd i neb dynolion a ddaeth erioed i'r byd: a'r cyferbyniad rhyngddynt sydd dra addysgiadol. Yr oedd Efa yn byw yn nechreuad amser, a Mair yn "nghyflawnder yr amser." Gwelodd Efa ogoniant y byd newydd ei greu, yn fuan wedi i'r Creawdwr doeth ddywedyd am dano mai "da iawn ydoedd," a chyn i'w brydferthwch gael ei anurddo drwy

bechod, a'i hagru drwy felldith. Gwelodd Mair ef yn dechreu cael ei adferu oddiwrth adfeiliau y cwymp, ar dymp ei adnewyddiad, ac ar foreu ei ddedwyddaf ddydd. Gosodwyd Efa yn y sefyllfa ogoneddusaf ac amlycaf; a hi a syrthiodd i'r cyflwr truenusaf a distadlaf: yr oedd Mair o darddiad isel a sefyllfa wael; ond trwy ryfeddol appwyntiad Rhagluniaeth hi a ddyrchafwyd i'r enwogrwydd uchaf. Fe fu Efa yn gyfranogol yn nghwymp dyn; ond Mair a fu yn offerynol yn ngenedigaeth yr hwn a ddaeth yn Adferwr ac Achubwr i ddynolryw. Fe welodd Efa y felldith andwyol yn dechreu effeithio ar y greadigaeth, drwy gaddugo y wybrenau â chymylau, a thrwy wywo blodau Paradwys â sychder, trwy wenwyno greddf y naturiaeth anifeilaidd, a thrwy anhwyluso y cyfansoddiad dynolaidd, gan ei anrheithio, ac agor y ffordd i'r holl ofidiau anadroddadwy sydd yn dygwydd yn ngyrfa dyn. Cafodd Mair weled dechreu dylifiad y rhestr hir o fendithion y rhai y mae dwyfol gariad yn eu cyfranu trwy yr oesoedd i ddynolryw, "trwy y prynedigaeth sydd yn Nghrist Iesu," a'r rhai o'r diwedd a lanwant phiol ein bodolaeth â melusder digymysg a llawenydd diball. Gwelodd Efa, gyda chydwybod ddychrynedig gan euogrwydd, ddisgyniad arswydus "cerubiaid â chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd." Ond Mair, gyda phêr-lewyg orfoleddus, a welodd yr angel Gabriel yn sefyll ger ei bron, a gweniadau y nef yn ei wynebpryd, ac a'i clywodd yn traddodi ei genadwri fendigedigol, gan gynal ymddyddan â'r negesydd goruwch-ddaearol. Hawdd iawn a fuasai ychwanegu at y cydmariaethau hyn lawer o rai cyffelyb.

---

## Cyngorion i Ieuenctyd.

1. Pan fyddo arnoch eisiau cyngor, ewch at y rhai mwyaf profiadol i'w geisio. Y llongwr a deithiodd fwyaf ar hyd y moroedd yw'r addasaf i gyfarwyddo y morwr anghynefin dros y creigiau cuddiedig.

2. Gofelwch am helyntion eich heneidiau o flaen pob helyntion daearol. Ceisiwch adnabyddiaeth o'ch Creawdwr tra yn ieuanc. Nis dichon iddi fod byth yn rhy gynar i garu yr Arglwydd Iesu Grist, nac i weddio am faddeuant o'ch pechodau er mwyn ei enw ef. Fe allai nad ewch byth yn hen; ac os ewch, yna, y pryd hwnw, chwi a fwynhewch y buddioldeb o fod wedi cael adnabyddiaeth boreuol o'r pethau a berthyn i'ch tragywyddol ddedwyddwch.

3. Gochelwch bob rhith, neu ymddangosiad o ddrygioni. Os ymollyngwch unwaith i bechod bychan, fe ddaw un mwy yn fuan ac a'ch gorfydd yn haws fyth. Os bydd rhai o'ch cymdeithion mor anraslawn a'ch anhoffi o herwydd eich ymocheliad yn erbyn pechod, cofiwch nas gallant wneyd un niwed i chwi tra y byddoch yn ddilynwyr yr hyn sydd dda.

4. Nac eled eich tafodau byth o flaen eich myfyrdodau. Yr ydym oll yn rhy dueddol i siarad, ac ar ol hyny yn dyfod i weled ein bod wedi siarad yn annoeth. Cedwch wyliadwriaeth yn erbyn hyn.

5. Gofelwch am fod genych reswm digonol i'w roddi am bob gweithred a gymeroch mewn llaw. Gofynwch i chwi eich hunain, "A fyddaf fi yn alluog i roddi rheswm am hyn o'r fath ag a fydd foddhaol i'm cydwybod fy hun, ac a ddeil ei brofi ger bron brawdle Duw?"

6. Mynych fyfyriwch ar ddynesiad angau. Hyny a'ch cynorthwya i wrthsefyll temtasiynau y byd hwn, ac a'ch tuedda i ddifrifol ymddarparu erbyn gwynfydedigrwydd y byd nesaf.

---

## Yr Awyr.

Mae yr awyr yn gymysgedig o amryw sylweddau, pob un o ba rai sydd yn ateb dyben prydferth a doeth mewn cysylltiad â bywyd llysieuol ac anifeilaidd. Mae pedwar sylwedd o'r hyn lleiaf yn angenrheidiol i'w gyfansoddiad. Dau o'r rhai hyn sydd yn gwneyd y rhan fwyaf o hono, sef *oxygen* (ufelai) a *nitrogen* (blorai); nid oes ond cyfran fechan o'r ddau eraill, sef *carbonic acid*

(sur carbonig) a tharth dyfrol (*watery vapor*).

Y mae *oxygen* yn fath o awyr neu *gas* sydd yn debyg i'r awyrgylch ei hun, heb na blas, nac arogl. Canwyll a lysg ynddo yn llawer cyflymach, ac yn fwy dysglaer nag mewn awyr cyffredin. Anifeiliaid a anadlant ynddo gyda phleser mawr; ond y mae yn eu cyffroi yn annaturiol, yn cyflymu y gwaed, yn eu taflu i dwymyn boeth, ac yn y diwedd yn eu lladd gan ormod cyffroad.

Mae *nitrogen* hefyd yn fath o awyr, yr hwn sydd fel *oxygen* heb na lliw, na blas, nac arogl; ond diffoddir canwyll ynddo yn union, ac nis gall anifeiliaid anadlu ynddo. Mae *oxygen* yn drymach o'r nawfed ran o'i bwysau, a *nitrogen* yn ysgafnach o'r unfed-ran-ar-bymtheg o'i bwysau nag awyr cyffredin.

Hefyd, mae *carbonic acid* yn fath o awyr, yr hwn, fel *oxygen* a *nitrogen*, sydd heb liw; ond yn annhebyg iddynt hwy yn hyn,—y mae yn arogli rhyw gymaint, ac o flas sur, fel y dengys ei enw. Diffoddir tân yn y nwy hwn, ac fe rydd derfyn buan ar fywyd anifeiliaidd. Y mae yn drymach o haner ei bwysau na'r awyr cyffredin, o ganlyniad gellir ei dywallt o lestr i lestr yn yr awyr agored, fel tywallt dwfr.

Yn mhob man a phob amser, y mae yr awyr yn cynwys y pedwar sylwedd hyn—*oxygen*, *nitrogen*, *carbonic acid*, a tharth dyfrol. Y maent oll yn angenrheidiol i angenion beunyddiol bywyd, anifeilaidd a llysieuol. Ond y mae y ddau nwy cyntaf, *oxygen* a *nitrogen*, yn ffurfio rhan mor fawr o'r holl awyr, fel y dywedir yn fynych fod awyr sych yn gynwysedig o honynt hwy yn unig, yn y cyfartaledd o bedwar galwyn o *nitrogen*, ac un o *oxygen;* ond yn fwy cywir, mae awyr, wedi ei amddifadu o'i darth dyfrol a'i *garbonic acid*, yn gynwysedig o 79 galwyn o *nitrogen* wedi ei gymysgu â 21 o *oxygen* yn mhob 100 o alwyni.

| | |
|---|---|
| *Nitrogen* . . . . . . . | 79 |
| *Oxygen* . . . . . . . . | 21 |
| | 100 |

Bychan iawn yw y cyfartaledd o *carbonic acid* yn yr awyr. Mewn uchder cyffredin, nid oes ond dau alwyn mewn 5,000 o awyr; ond fel yr eir i fyny, y mae yn cynyddu nes bod yn gymaint arall 10,000 o droedfeddi uwch na'r ddaiar; ond nid yw hyn ond cyfartaledd bach iawn, ac eto y mae yn angenrheidiol i fywyd llysieuol ar wyneb y ddaear.

---

## Gweddeidd-der Personol.

Adnabyddir dyn o ddygiad da i fyny yn feunyddiol wrth esmwythder perffaith a thawelwch ei ddull. Y mae y rhai hyn yn bethau y dylid eu diwyllio yn fanwl. Cyrhaeddwch, os bydd modd, hyder esmwyth mewn ymddyddan, fel na byddoch byth yn ymddangos yn cywilyddio nac yn dyrysu, gan gymeryd gofal, pa fodd bynag, am beidio syrthio i'r camgymeriadau gwrthgyferbyniol o hyfder a rhyfyg. Ni fydd personau fyddont yn ymsymud yn y cylchoedd uchaf ond anfynych, os byth, yn goddef iddynt eu hunain ymddangos wedi cynhyrfu, neu yn cael eu poeni, pa beth bynag a ddygwyddo eu blino. Dichon y gallai fod ffugio difaterwch yn bod yn hyn; eto y mae eu hymddygiad yn werth ei efelychu, oblegid y mae pob peth fel anesmwythder neu derfysg, yn ymddygiad anhyfryd i bawb a'u gwelont.

Cymerwch ofal am ochel y pethau canlynol mewn ymddygiad personol:—Siarad llac a gerwin; gwneyd twrf wrth fwyta neu yfed; gogwyddo yn lled-chwith pan yn eistedd; tyrfu gyda chyllyll a ffyrch wrth y bwrdd; codi i fyny yn sydyn, a myned allan o'r ystafell heb unrhyw seremoni; taflu rhywbeth oddiwrthych gyda dirmyg coegaidd neu ddifaterwch; cymeryd unrhyw beth heb ddiolch i'r rhoddwr; sefyll ar y ffordd pan na fydd prin le i fyned heibio; myned o flaen rhywun fyddo yn edrych ar ddarlun neu unrhyw wrthddrych arall; ymwthio yn erbyn rhywun heb ofyn maddeuant am y gerwinder anfwriadol; cymeryd lle, neu eisteddle, mewn cerbyd, chwareudy, neu fan o ymgynulliad cyhoeddus, ar ol cael hysbysiad ei fod yn perthyn i rywun arall; gwthio eich tybiadau lle nad

oes eu heisiau, neu lle y rhoddent dramgwydd; gadael cydnabyddiaeth yn yr heol, neu gymdeithas neillduol heb ganu yn iach iddynt, neu o'r hyn lleiaf wneyd moesgyfarchiad iddynt, i arwyddo mynediad ymaith; taraw rhyw un yn hyf ar yr ysgwydd neu ar y fraich; myned ar draws neu rwystro rhywun fyddo yn ymddyddan â chwi; adrodd ystorion hirion diflas; sibrwd mewn cwmpeini; gwneyd sylwadau ar wisgoedd y rhai fyddo o'ch cwmpas, neu ar bethau yn yr ystafell; gwrthwynebu dyn heb seremoni, yn lle dyweyd, "Yr wyf braidd yn meddwl mai fel arall y mae yn bod," "yr wyf yn ofni eich bod yn camgymeryd," &c.; arfer ymadroddion delffaidd, neu ieithoedd eraill estronol; arfer a dyweyd, "ebai hi," "ebai fo," "wyddoch," "yr ydych yn deall," &c.; helpio eich hunain yn gyntaf wrth y bwrdd amser bwyd, heb yn gyntaf ofyn a gewch chwi helpu eraill â rhywbeth a hoffent; pigo eich danedd a'ch fforch, neu â'ch bys; crafu neu gyffwrdd â'ch pen; naddu neu lanhau eich ewinedd o flaen cwmni; son am bris unrhyw beth i'w fwyta neu i'w yfed a gynygier i wahoddedigion; gofyn cwestiynau neu gyfeirio at destynau a allent roddi poen i'r rhai a anerchwch; esgeuluso ateb llythyrau. Byddai yn hawdd nodl llawer o bethau eraill a ddylid eu gochelyd fel pethau yn sawru o foesau drwg, ond bydd hyn yn ddigon i ddangos egwyddor moesgarwch; ac os deallir hyny, ni fydd unrhyw anhawsder i wybod pa fodd i ymddwyn gyda thynerwch a challineb yn holl amgylchiadau bywyd.

---

## Trioedd y Dyddiau Diweddaf.

Tri bradwr enwog—Judas, Dafydd Gam, a Cheulanydd.

Tair gweithred fradychlyd o'r eiddynt—Judas yn bradychu Crist, Dafydd Gam yn bradychu Owain Glyndwr, a Cheulanydd egwyddorion y Bedyddwyr.

Tair taith ryfedd—y *Challenger* o amgylch y ddaear, Tywysog Cymru i'r India, a Cheulauydd tua Rhufain.

Tri ymadawiad diweddar—Dr. Price â golygyddiaeth y *Seren*, y Sultan â gorsedd Twrci, a Cheulanydd a'r Bedyddwyr.

Tri pheth anwadal—ton y môr, y gwynt, a Cheulanydd.

Tri pheth rhyfedd—Baptist Noel yn gadael Eglwys Loegr, Grassi yn gadael eglwys Rufain, a Cheulanydd yn gadael y Bedyddwyr.

Tri yfwr diail—asyn gwyllt, y behemoth, a Cheulanydd.

Tri pheth a dorir yn fynych—coesau pibau, addewidion aelod seneddol, a chyhoeddiadau Ceulanydd.

Tri pheth newydd—Victoria yn Amerodres India, Murad Effendi yn Sultan Twrci, a Cheulanydd yn gurad yn Amlwch.

Tri pheth a gollwyd—golygydd y *Seren*, gweinidog Amlwch, a chydwybod Ceulanydd.

Tri pheth yn edrych yn well y tu allan na'r tu mewn—dysgl y Phariseaid, bedd wedi ei wyn-galchu, a Cheulanydd mewn gwisg wen. I. CLWYD.

---

## Am Edifeirwch.

Edifeirwch sy'n dechreu mewn ymostyngiad y galon, ac yn diweddu yn niwygiad y fuchedd. Er fod arnom eisiau nerth i edifarhau, nid oes arnom eisiau moddion i edifarhau, na gallu i ddefnyddio y moddion yma. Y neb a edifarhao am bechod fel pechod, a edifarha, o ganlyniad, am bob pechod. Na fydded i ddifyrwch annuwiol luddias tristwch duwiol. Mae cyfaddefiad gostyngedig o bechod yn dwyn cywilydd i ni, ond anrhydedd i Dduw. Nis gellwch edifarhau yn rhy gynar. Nid oes diwrnod megys heddyw; ddoe a aeth heibio; yfory, eiddo Duw ydyw, ac nid yr eiddoch chwi. Anwyl ddarllenwyr y WAWR, ystyriwch mor bwysig ydyw bod yn y sefyllfa meddwl yma ger bron Duw, ac mor ddiolchgar y dylech fod iddo ef am fod trugaredd yn eich hanog i edifarhau. Trowch at Dduw, ac efe a dry atoch chwi; yna byddwch ddedwydd er troi o'r holl fyd i'ch herbyn. Os meddyliwn yn ddrwg am Grist, ni chredwn byth ynddo; os meddyliwn yn dda am bechod, nid ed-

ifarhawn byth am dano. Os oedwn ar ifarhau hyd ddiwrnod arall, bydd genym ddiwrnod yn ychwaneg i edifarhau o'i blegid, a diwrnod yn llai i edifarhau ynddo. Os ewyllysir gogoneddu Duw, nid oes well ffordd na chyffesu ein pechodau, ac ymostwng yn isel wrth draed Crist. Tristwch o gariad yw tristwch duwiol; toddiad y galon; cariad yw gofid a gwynfyd y galon alarus. Wel, ddarllenydd, a wyt ti wedi gwybod trwy brofiad beth yw eifeirwch?

*Pittston, Pa.* RHYDWEN.

---

# Barddoniaeth.

### FEL YR WYF.

Fel yr wyf, er i mi fyned
   Draw yn mhell o'm cartref clyd,
I ymrodio er cael gweled
   A mwynhau pleserau'r byd:
Fel yr wyf, yn edifeiriol,
   Trwy ddylanwad gras fy Nuw;
Troi yn ol sydd fwy dymunol,
   Ufuddhau, mor hyfryd yw!

Fel yr wyf, heb ddim teilyngdod,
   Ond fod gwaed fy Ngheidwad mawr
Yn fy nghymell ato i ddyfod,
   Er aflaned wyf yn awr:
Fel yr wyf, er maint fy ofnau
   A'r amheuon ynwyf sydd,
Er deniadol demtasiynau
   Sydd i'w cael o ddydd i ddydd.

Fel yr wyf, O Dad, y deuaf,
   Blinais fod o'm cartre'n mhell,
Gwna fi megys y distadlaf
   Yn fy hen aneddle well:
Fel yr wyf, a mwy nid oedaf
   Gyda gwaelion bethau'r llawr,
Tua'm cartref y cyfeiriaf,
   Seion ddysglaer deg ei gwawr.

Fel yr wyf, mae'r gwleddoedd breision
   I mi'n barod ar y bwrdd,
Caf ddiwallu fy angenion
   Yno'n llawen a didwrdd:
Fel yr wyf, heb ddim addurnol
   Yn fy amgylchynu fi,
Heb un arwydd hardd hyfrydol
   Bod yn fab mewn uchel fri.

Fel yr wyf, ti a'm derbyni,
   Dyma'r fath yw cariad Duw
At droseddwr mewn trueni,
   Heb un haeddiant i gael byw:
Fel yr wyf, gan bellach deithio,
   Llwybr cul y breiniol had,
A pharhau heb fyth ddiffygio,
   Nes im' gyrhaedd ty fy Nhad.

*Upper Lehigh.* R. THOMAS.

---

### "HAF YDYW HI."

Tyr'd, Awen, gyda mi,
   Ac awn i ael y bryn,
Anrhydedd, canlyn ni,
   Corona'r gwaith yn hyn;
Dyledus y'm i'n Crewr cu,
Am werthfawr rodd—rhoi haf i ni.

Yn wir mae anian fawr
   Yn arddangosfa dlos;
Pan egyr dorau'r wawr
   Ar dyner rudd y rhos;
Mae'r blodau mân a'r llysiau lu
Yn d'wedyd oll, "Haf ydyw hi."

Mae'r ddaear weithian oll
   Mewn dillad gwyn a gwyrdd,
Mewn harddwch pur digoll
   A'i llysiau fathau fyrdd;
Ac arwydd air y dail di-ri'
Sy'n pendant dd'weyd, "Haf ydyw hi."

Mor brydferth ydyw'r ddol,
   Mae'n hardd a'i gwasgod werdd,
Ac ar y llwyn tu ol
   Croesawir ni â cherdd,
Gan gerdd yr ednod mân, diri',
Yn d'wedyd maent, "Haf ydyw hi."

Mae uchel goed yr allt,
   A'r llwyni isel sedd,
Os gwelw fu eu gwallt,
   Yn awr mewn newydd wedd;
Yn mysg porfeydd ceir blodau cu,
Mal pe yn dweyd, "Haf ydyw hi."

Ac yn y goedwig hon
   Dadseinia'r nant ei chân
Yn sain y cywair llon,
   Yn fawl i'r Crewr glân;
A'r pysg sydd yn ei mynwes hi,
Yn d'wedyd maent, "Haf ydyw hi."

Mae gwiwfad Dad y gwawl,
   A Thad ein daear werdd,
Fel pe'n clustfeinio mawl,
   Gwiw geinion dannau cerdd;
Hen dad y dydd sy'n freiniol fri,
Mae yntau'n dweyd, "Haf ydyw hi."

Ha! gresyn mawr fod dyn,
   Teyrn creadigaeth Duw,
Yn llwyr anghofio'i hun,
   Mai bod cyfrifol yw;
Addola, ddyn, dy Crewr cu,
Am werthfawr rodd—rhoi haf i ti.

*St. Clair, Pa.* D. S. GRIFFITHS.

### ARWYDDOCAD BEDYDD.

O! gyd-gladdiad gogoneddus,
Adyn edifeiriol, trist,
Yn arddangos yn ei fedydd
Ei gyd-gladdiad gyda Christ,
A'i gyfodiad, &c.,
Codiad er adferiad fydd.

Fel yr arch drosglwyddai Noa
Gynt o'r hen i'r newydd fyd,
Dengys bedydd y crediniol
Droi ei gyflwr yntau i gyd;
Nid yw mwyach, &c.,
O'r byd hwn ond oddi fry.

Felly os cydgyfodasom
Gyda'n Harglwydd Iesu Grist,
Nac argeisiwn bethau isod,
Ffrwythau pechod trallod trist,
Beth sydd gymaint, &c.
Neu'r un fraint a'r enw fry.

EBEN FARDD.

---

### BLODAU'R OES.

Y chwi, blant bach angylaidd,
Y chwi, ieuenctyd byd,
Y chwi, a'ch lleisiau peraidd
Sy'n swyno pawb yn nghyd;
Y chwi, sy'n cario baner
Yr Ysgol Sul a'i chroes,
Y chwi yn un Gobeithlu—
Y chwi yw Blodau'r Oes.

Mae llawer hen flodeuyn
(I'w wel'd a'i wallt mor wyn
A'r eira newydd ddisgyn)
Yn mhlith y blodau hyn;
Mae ynddynt harddwch swynol,
Er hened, onid oes?
Cyn byth b'ai'r cyfryw flodau
Yn harddu Blodau'r Oes?

'R oedd un o'r cyfryw flodau
Yn d'wedyd ar ryw dro,
"'N ol ini orphen gwywo,
A'n gosod yn y gro,
Rhowch faen uwch ben fy meddrod,
Heb enw, cerf na chroes,
Ond d'wedwch i mi farw
Yn un o Flodau'r Oes.

*Plymouth, Pa.* IFOR CYNIDR PARRY.

---

### ANERCHIAD I'R "WAWR."

Aeth ser ein nen dan leni—a "chaddug
Orchuddiodd" ein cewri;
Ond daeth Y WAWR yn awr i ni—
Llenyddiaeth i'n llawen noddi.

Cu addysg geir mewn cyhoeddi—y gwir
Ar gaerau goleuni;
Yn ei rhawd derbynier hi,
Llwyddiant ar bob llaw iddi.

Tri haner o ddoleri—yn deilwng
Daliad boed am dani,
Yn agerdd i'w chefnogi;
Y gwyr hyn a'i gyra hi.

Er arwain o'r wawr eurwedd—i afon
Y dwyfol wirionedd,
Tro da fyddai troi diwedd
Y WAWR yn Haul er ein hedd.

*Nanticoke.* IEUAN DDU.

---

## HANESION CARTREFOL.

### CYMANFA Y BEDYDDWYR YN WISCONSIN.

Cynaliwyd y gymanfa hon eleni, Mai 31 a Mehefin 1, 1876, gydag eglwys Salem, Oshkosh.

Dechreuwyd y gynadledd am 10 o'r gloch y dydd cyntaf, gan y brawd William James, Springwater; yna etholwyd y Parch. John Evans, gweinidog y lle, yn Gadeirydd, a R. Bennett yn Ysgrifenydd. Yna darllenwyd rheolau y Gymanfa.

Penderfynwyd fod Penderfyniad 5 yn y Rheolau i gael ei ystyried yn y gymanfa nesaf, pa un ai dau neu dri fydd rhif y cenadon o'r gwahanol eglwysi yn y dyfodol. Yna caniatawyd i'r Parch. James Jeffreys i gymeryd rhan mewn siarad yn y gynadledd.

Yna galwyd am lythyrau o'r gwahanol eglwysi, a chafwyd rhai oddiwrth yr eglwysi canlynol: Sardis, Dodgeville, Bethania, Salem y Coed, Braceville, Ill., Salem, ger Oshkosh, Springwater, a Berlin. Gohiriwyd hyd 2 o'r gloch; gweddiwyd gan y Parch. Jas. Jeffreys.

Am 2 o'r gloch, dechreuwyd gan y brawd E. Ellis, Berlin. Rhoddwyd anogaeth i'r Parch. Wm. Jones, La-Crosse, i gymeryd rhan mewn siarad yn y gynadledd. Penderfynwyd ein bod yn anog yr eglwysi perthynol i'r gymanfa i wneyd adroddiad o'r arian a gesglir at y gwahanol achosion, yn eu llythyrau i'r Gymanfa Flynyddol o hyn allan.

Penderfynwyd, Ein bod yn cefnogi Y WAWR, drwy ei derbyn, gohebu iddi, a thalu am dani yn brydlawn, i ddal ac amddiffyn egwyddorion yr enwad.

Penderfynwyd i anfon gweithrediadau y Gymanfa i gael eu cyhoeddi yn y Wawr.

Penderfynwyd, Ein bod yn anog yr eglwysi perthynol i'r Gymanfa i gynorthwyo pobl Berlin i ddod allan o'r ddyled sydd yn aros ar eu ty cwrdd newydd.

Penderfynwyd anfon Ystadegau y Gymanfa i Ysgrifenydd y *State Convention*.

Treuliwyd y gweddill o'r cwrdd prydnawn mewn anogaethau, gan amryw o'r gweinidogion a'r brodyr, i fyned rhagom at berffeithrwydd, ac i gynyddu mewn pob gras, a gwybodaeth o'n Harglwydd a'n Hachubwr Iesu Grist. Gobeithiwn y bydd effeithiau dymunol yn canlyn, er ein gwneyd yn fwy sicr, a diymod, a helaethion yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol; a chwi yn gwybod nad yw eich llafur chwi yn ofer yn yr Arglwydd.

*Y Moddion Cyhoeddus.*—Am 6 o'r gloch y nos gyntaf, dechreuwyd gan y Parch. James Jeffreys, a phregethodd y Parchn. R. D. Evans, Springwater, a Thos. Holland, Dodgeville.

Am 10 o'r gloch, dranoeth, dechreuwyd gan T. Holland, a phregethodd y Parchn. Jas. Jeffreys a William Jones, LaCrosse.

Am 2 o'r gloch, dechreuwyd gan R. D. Evans, a phregethodd T. Holland a Wm. Jones.

Am 6 o'r gloch, dechreuodd William Jones, a phregethodd T. Holland a J. Jeffreys.

Felly y terfynodd ein Cymanfa Flynyddol, a gobeithiwn y bydd i'r had a hauwyd gael dyfnder daear, ac y bydd ffrwyth yn ganfyddadwy yn y dyfodol.

### *Ystadegau yr Eglwysi.*

Sardis, Dodgeville—Gweinidog, T. Holland; post swyddfa, Dodgeville; bedyddiwyd, 2; adferwyd, 1; rhif yr aelodau, 30; Ysg. Sab. 15.

Bethania—Post swyddfa, Jennieton; gollyngwyd trwy lythyr, 5; diaelodwyd, 6; aelodau, 49.

Salem y Coed—Gweinidog, T. Holland; post swyddfa, Dodgeville; aelodau 15; Ysg. Sab., 30.

Braceville, Ill.—Post swyddfa, Braceville, Ill.; aelodau, 17.

Salem, Oshkosh—Gweinidog, John Evans; post swyddfa, Oshkosh; gollyngwyd trwy lythyrau, 2; diaelodwyd, 3; bu farw 1; aelodau 30; Ysg. S., 30.

Springwater—Gweinidog, R. D. Evans; post swyddfa, Springwater; aelodau 10.

Berlin—Gwein., R. D. Evans; aelodau, 11; Ysg, Sab., 18.

Picatonica—Post swyddfa, Mineral Point. Dim llythyr.

Teimla yr Ysgrifenydd i ddatgan ei ddiolchgarwch i'r eglwysi hyny a gyfranasant at ei wasanaeth fel Ysgrifenydd y Gymanfa y blynyddoedd a aethant heibio, er yn hollol annysgwyliadwy o'i du ef. R. Bennett, *Ysg.*

---

### AGORIAD CAPEL NEWYDD Y BEDYDDWYR YN BERLIN, WIS.

Yr oedd y gangen fechan yma yn Berlin wedi bod yn addoli mewn adeilad logiau am amryw o flynyddau; ond yr oedd yr hen adeilad yn dadfeilio, fel ag yr oedd yn beryglus i fod ynddo ar dywydd oer a gwyntog, a daethant i'r penderfyniad unfrydol i adeiladu capel newydd *frame*; a chawsant ef yn barod erbyn Cymanfa Oshkosh, a gwahoddasant y gweinidogion i fyned yno i gynal cwrdd agoriadol cyn dychwelyd i'w cartrefleoedd. Felly aeth y brodyr R. D. Evans, Thos. Holland a Wm. Jones, yno i weinyddu yn yr amgylchiad. Cafwyd cyfeillach gysurus iawn am 2 o'r gloch prydnawn dydd Sadwrn. Dechreuwyd y cyfarfod hwn drwy ddarllen, a gweddi daer gan y brawd G. Thomas, Delhi. Daeth un brawd i'r gyfeillach ag oedd wedi bod ar dir gwrthgiliad am lawer o flynyddoedd. Hyderwn fod ei ddychweliad yn ddechreuad o ryw ail gychwyn yn y gwersyll yn y lle.

*Moddion Cyhoeddus.*—Am 6 o'r gloch nos Sadwrn, dechreuwyd trwy weddi gan Thos. Holland, a phregethwyd gan R. D. Evans a T. Holland.

Am 9 o'r gloch boreu Sabboth, cyfarfuwyd i gynal cwrdd gweddi, i erfyn am fendith yr Arglwydd ar waith y

dydd. Am 10, 2, a 6 o'r gloch, pregethwyd yn rymus iawn gan y Parchn. Thos. Holland a Wm. Jones.

Cafwyd cyfarfodydd gwlithog a dymunol drwyddynt oll, a gall y rhai oedd yno ddweyd mai da oedd iddynt fod yno, fod yr Arglwydd yn eu plith.

Yr ydym yn ystyried yr eglwys fechan hon wedi ymddwyn yn ddoeth yn eu cynllun yn adeiladu capel priodol i'r sefydliad, o ran maint a harddwch, y mae yn weddus yn y ddau ystyr. Gobeithiwn y bydd i'r Arglwydd drigo yn eu plith, ac y bydd llawer o'r newydd yn cael eu dychwelyd atynt eto o nifer y rhai fyddant gadwedig.

UN OEDD YNO.

---

**CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG OHIO A GORLLLEWINBARTH PA. AM 1876.**

---

Cynaliwyd y Gymanfa y flwyddyn hon yn Thomastown, Summit Co., Ohio, Mehefin 16, 17, 18, 19

Agorwyd y gynadledd am 10 o'r gloch boreu ddydd Gwener, yr 16eg, trwy weddi gan y brawd Williams, Pomeroy. Darllenwyd llythyrau ac ystadegau yr eglwysi; yna etholwyd y Parchn. D. Probert yn Gadeirydd am y flwyddyn hon eto; E. Morddal Evans yn Ysgrifenydd; a Thos. Thomas, Sharon, Pa., y Drysorydd.

Yn y gwahanol gynadleddau, ymdriniwyd a phenderfynwyd a ganlyn:

1. Derbyniwyd eglwys Houtzeville, Clearfield Co., Pa., a'i gweinidog—y Parch. W. R. Jones, i undeb y Gymanfa.

2. *Penderfynwyd*, Fod Llywydd ac Ysgrifenydd y Gymanfa i fyned i'r *Baptist State Convention*, a gynelir yn Toledo, fel cynrychiolwyr dros y Gynadledd hon.

3. *Penderfynwyd*, ar gais eglwys Johnstown, Pa., roddi llythyr o ollyngdod iddi hi a'i gweinidog, y Parch. D. J. Evans, o'r Gymanfa hon i Gymanfa Dwyreinbarth Pa.

4. Rhoddwyd gollyngdod i'r Parch. J. R. Jones, diweddar o Pomeroy, o'r Gymanfa hon i Gymanfa Dwyreinbarth Pa., yr hwn sydd yn gofalu am eglwys Minersville.

5. *Penderfynwyd*, Fod hawl gan Ysgrifenydd a Llywydd y Gymanfa i roddi llythyr o ollyngdod i unrhyw frawd rheolaidd a theilwng o'r Gymanfa hon i unrhyw Gymanfa arall.

6. *Penderfynwyd*, Fod Trysorydd y Gymanfa i fod yn un o Bwyllgor Trefniadol yr eglwysi lle byddo y Cymanfaoedd yn cael eu cynal, mewn trafod arian y Gymanfa, a thalu treuliau y gweinidogion; a'i fod ef i gadw y gweddill, os bydd gweddill, erbyn y Gymanfa nesaf.

7. Taer ddymuna y Gynadledd ar i'r eglwysi wneyd pob ymdrech dros ledaenu cylchrediad y WAWR. Hefyd, ein bod yn mawr gymeradwyo ymdrechion anturiaethus y Parch. O. Griffiths, perchenog a golygydd y cyhoeddiad.

8. *Penderfynwyd*, Fod y Cwrdd Chwarter yn y Dosbarth hwn, am y flwyddyn hon, i gael ei droi yn GWRDD CHWE'-MISOL, yr hwn a gynelir yn Niles, Ohio, yn mhen chwe' mis ar ol y Gymanfa hon.

9. *Penderfynwyd* galw sylw yr eglwysi at benderfyniad y Gymanfa ddiweddaf, sef eu hanog i gydymdeimlo a chynorthwyo yr hen dad oedranus, y Parch. D. Jenkins, Hubbard, G., pan fydd yn gyfleus iddo ymweled a hwy.

10. *Penderfynwyd*, Fod yr Ysgrifenydd i anfon y gweithrediadau hyn, a hanes y Gymanfa, i'r WAWR a'r *Drych*.

Cafwyd cynadleddau neillduol dda o'r dechreu i'r diwedd, a pherffaith gydgordiad yn mhlith y cynrychiolwyr.

Y MODDION CYHOEDDUS.

Dechreuwyd y gweithrediadau cyhoeddus nos Wener, yr 16eg. Gweddiwyd gan y Parch. W. M. Evans, Cattaraugus, N. Y.; a phregethodd y brodyr Moses Wright a Wm. Jones.

Nos Sadwrn, dechreuwyd trwy weddi gan E. Morddal Evans; a phregethodd Evans, Cattaraugus, a D. Probert.

Boreu Sabboth, gweddiodd y brawd D. Probert; a phregethodd S. C. Pierce, Vienna; Thos. Thomas, Sharon; a J. W. James, Ridge.

Am 2 o'r gloch, y Sabboth, gweddiodd y brawd Williams, Pomeroy; a phregethodd E. Morddal Evans a Charles Rhoads (Sais), Granville, Ohio.

Nos Sabboth, dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. Mr. Lewis (A.), Thomastown; a phregethodd Evans N. Y., a W. R. Jones.

Dydd Llun, am 2 o'r gloch, dechreuwyd trwy weddi gan y brawd Wm. M. Evans; a phregethodd T. T. Williams, Pomeroy. Dysgwylid i'r Parch. D. Probert bregethu ar ei ol, ond gan fod yr amser wedi rhedeg, gollyngodd Mr. P. y gynulleidfa.

Am 6, nos Lun, dechreuwyd trwy weddi gan y brawd Probert; a phregethodd E. Morddal Evans, Thos. Thomas, Sharon; a'r hen batriarch D. Jenkins.

Yr oedd y cynulliadau yn lluosog, y gynulleidfa yn llawn tân a bywyd, yr hin yn ddymunol, a gwenau y Nef ar yr oedfaon, fel yr oedd pregethu yn hawddach nag arferol.

Teimlwn mai ein dyled yw crybwyll gyda diolchgarwch i bobl Thomastown am y gwynebau siriol, a'r byrddau llawn o'r danteithion cyflawn. Yr oedd tai yr Annibynwyr, fel yr eiddo y Bedyddwyr, yn agored, a phawb yn tystio na ddarfu iddynt fwynhau yn well mewn Cymanfa er's llawer blwyddyn.

Hysbysir yn y WAWR pa le y cynelir y Gymanfa nesaf.

*Parisville, O.* E. MORDDAL EVANS, *Ysg.*

O. Y.—Byd lwn dra diolchgar i'r eglwysi hyny sydd heb anfon eu hystadegau, am eu hanfon gyda brys, yn nghyd ag enwau yr ysgrifenyddion, rhif yr ysgol, a'r flwyddyn y sefydlwyd, yr eglwys, fel y gallom gyhoeddi yr ystadegau yn llawn a threfnus yn y WAWR.

MORDDAL.

---

COFIANT DAVID JONES, CARBONDALE.

Bu farw, Awst 22, 1875, Mr. David Jones. Yr oedd yn enedigol o Lanelli, Sir Frycheiniog, D. C., ac yn fab i John Jones, neu fel y gelwid ef gan yr hen bobl, Shon Shon, brawd i'r hen bererin duwiol hwnw, "Sami Shon." Yr oedd llawer o bethau yn Dafydd yn debyg i'w ewythr, Sami Shon.

Ymunodd David Jones mewn priodas ag Hannah, merch i Thomas a Jane Jenkins o Lanelli, yn y flwyddyn 1826, a buont yn ffyddlon i'w gilydd bob amser, ac yn tynu yr un ffordd, ac felly yn ymddedwyddoli yn yr undeb. Ganwyd iddynt 13 o blant, 9 o ba rai sydd yn fyw, ac yn ddynion cyfrifol, a'r rhan luosocaf o honynt yn grefyddol, ac yn gysur i'w mham oedranus, wrth feddwl eu bod wedi dewis Ceidwad i'w heneidiau. Nid yn aml y gwelid dyn yn fwy ymdrechol i ddod a'r ddau pen yn nghyd na Dafydd Shon. Ei brif bwnc bob amser wrth enill oedd, gonestrwydd; yr oedd am gael yr hyn oedd ddyledus iddo, ac hefyd yr oedd am dalu yr hatling eithaf i bob dyn. Yr ydym yn barnu mai nid gormod dyweyd na welsom ddyn erioed yn fwy medrus nag ef i ymwneyd â dynion.

Ymfudodd ef a'i deulu i'r wlad hon yn Ebrill, 1833, i Carbondale; ac fel llawer eraill a ddaethant i America yr adeg hono, bu yn galed iawn arnynt lawer gwaith; ond er y cyfan ni wnaeth hyn ei ddigaloni mewn un modd. Clywais ef yn dywedyd, pan ddaethum i'r wlad, fel yr oeddym yn achwyn am ryw bethau, "Taw, 'machgen i, os ydwyt yn meddwl aros yn y wlad hon, mae yn rhaid i ti ymdrechu llawer cyn y gelli gael cartref i ti a'th deulu." Bu ef yn ffyddlon ac ymdrechol i godi ei deulu yn anrhydeddus, a gadawodd iddynt ychydig ar ei ol. Prynodd ffarm yn Clifford, yn agos i Dundaff, ychydig dros 20 mlynedd yn ol; ond yn y tair blynedd diweddaf ardrethodd ei ffarm i'w fab, ac felly daeth yn ei ol i Carbondale i dreulio gweddill ei ddyddiau. Ac er ei fod yn ffyddlawn gyda phethau y bywyd hwn, bu yn fwy felly gyda y "rhan dda;" y perl o uchel bris oedd fwyaf yn ei olwg. Gellir dyweyd yn ddibetrus am dano, fel y gwyr pawb a'i hadwaenai, "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." Yr oedd yn ddyn hynod mewn llawer o bethau. Chwiliai yn ddwys am y gwir; profodd hyny cyn iddo ymuno a'r eglwys; mynai weled a oedd y pethau hyn felly. Gweithiai allan yn ei fywyd yr hyn oedd yn ei gredu, ac felly ymunodd â'r eglwys yn Carbondale.

Bedyddiwyd ef yn 1839, gan y Parch. William Morgans, Pottsville. Yr oedd ganddo barch mawr i bob dyn da a theilwng, ond nid hyny oedd ei reol ef; rhoddai y flaenoriaeth i'r Beibl bob amser; ni fyddai ef yn rhoddi nemawr o bwys ar ddim os na fyddai yn gyson â gair Duw. Os byddai rhywun yn dweyd syniad newydd wrtho, ni thalai fawr o sylw iddo os na allai gael yr Ysgrythyrau o'i blaid. Yr oedd yn meddwl drosto ei hun, a byddai ambell un yn rhyfeddu ato. Ond fel yr oedd efe yn credu, y byddai efe yn llefaru—yn onest a di-dderbyn-wyneb. Ni fyddai un amser yn gwenieithio i neb, eto gofalai fod yn dyner iawn i'r gwan. Wrth geryddu, gofalai fod yn bwyllog, fel na roddai achos tramgwydd. Er iddo ef a'i deulu fod yn byw ar ei ffarm yn Dundaff, 10 milldir o Carbondale, am 17 mlynedd, byddai mor aml ag y gallai gyda'r frawdoliaeth. Ac yr oeddent hwythau yn hoff iawn o'i weled, gan ei fod yn llanw ei le mor ragorol.

Yr oedd ynddo lawer o rinweddau gwerth i bawb eu hefelychu. Yr oedd bob amser yn ofalus o'r tlawd; os gwelai angen, byddai yn barod i gynorthwyo, fel y gall llawer dystio am dano. Yr oedd yn garedig mewn gair a gweithred. Lletyodd lawer o bregethwyr yn y 40 mlynedd diweddaf, fel y mae y rhan luosocaf o weinidogion y Bedyddwyr Cymreig yn America yn gwybod am serchawgrwydd Dafydd

Shon a'i briod hawddgar. Yr oedd yn barchus iawn o bob pregethwr o gymeriad da; ac os na fyddai yn deilwng o'r urdd, byddai yn ei gymeryd fel rhyw ddyn arall; yr oedd yn hynod yn hyn. Ac os deallai fod y pregethwr yn cael cam, byddai ef yn barod i'w amddiffyn i'r eithaf. Nid oedd yn barod i gredu yn ddrwg am neb.

Gan ei fod ef ei hun yn erbyn cofiant hir am ddynion, rhaid i minau dynu i ben. Mae yn llawenydd genyf allu dyweyd gair eto cyn terfynu. Pan oedd yr hen frawd anwyl H. Phillips yn myned i'w weled, yr ail ddydd wedi ei gymeryd yn glaf, dywedodd, "Frawd, dyma angau wedi dod, ond y mae popeth yn iawn. Yr oedd hyn ddydd Gwener; a'r Sabboth canlynol bu farw, gan bwyso ei enaid ar ei anwylyd.

*Jermyn.* SAMUEL MORGAN.

---

### *PRIODWYD—*

Yn Mahanoy City, Mehefin 17, 1876, gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. William Rogers, Shenandoah, a Miss Susannah Davies, o Mahanoy City.

---

### *BU FARW—*

Yn Centreville, N. Y., Chwefror 24, 1876, y brawd Evan Owens, yr 67 ml. oed. Yr oedd yr ymadawedig yn enedigol o ardal *Stay-little*, Swydd Drefaldwyn, G. C. Ymfudodd ef a'i deulu i'r wlad hon er's tua 34 o flynyddau yn ol, ac ymsefydlasant yn Cattaraugus, N. Y. Amaethwr ydoedd wrth ei alwedigaeth, ac fel y cyfryw bu yn dra llwyddianus. Ymunodd ein brawd â'r eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn yn y fl. 1848. Bedyddiwyd ef gan y Parch. D. Jenkins, Hubbard, O., yn bresenol. Dywedir gan bawb a adwaenai ein brawd yn dda, ei fod yn onest, didwyll a dirodres fel dyn; yn gymydog tawel a serchog, ac yn Gristion gloew, ffyddlon ac ymroddgar, tra y parhaodd ei nerth corphorol. Dyoddefodd lawer gan y gymalwst (*rheumatism*), ond bu yn hynod amyneddgar dan y cwbl. Daeth yn addfed iawn o ran ei brofiad crefyddol cyn ymadael â'r fuchedd hon. Ychydig cyn i'r wreichionen anfarwol ehedeg i Wynfa, dywedodd, "Y mae pobpeth ond Iesu Grist yn cilio draw oddiwrthyf." "Peidiwch wylo," ebai wrth ei anwyl briod a'i blant, "ar fy ol i, canys yr wyf yn myned i well gwlad na hon." O! y fath dystiolaeth fendigedig y gall plentyn Duw adael ar ei ol, ar ei waith yn rhoddi llam i'r byd tragywyddol, i fynwes y Gwaredwr! Gadawodd naw o blant a phriod alarus i hiraethu ar ol tad tyner a phriod hynaws a charedig. Gofaled yr Arglwydd am danynt oll mewn modd neillduol. Gweinyddwyd yn yr angladd gan yr ysgrifenydd. Daeth torf luosog i dalu y gymwynas olaf i'w weddillion. Huna yn dawel, fy mrawd hoff, hyd y boreu hwnw pryd y cei godi eto mewn meddiant o gorph iach ac anfarwol ar ddelw dy Brynwr, fel nas gall afiechyd dy luddias mwyach i fod yn bresenol yn nheml dy Dduw.

*Cattaraugus.* W. M. EVANS.

Mehefin 19eg, 1876, yn Brooklyn, N. Y., o'r darfodedigaeth, wedi cystudd poenus, ond yn dawel ac ymroddgar, Annie Susannah, priod Mr. John T. Davies (Ioan Fedyddiwr), 62 Downing street, yn y 33ain fl. o'i hoedran. Y dydd Mercher canlynol ymgynullodd torf o gyfeillion i dalu y gymwynas olaf iddi. Nodweddid y cynulliad hwn â chyfrifoldeb a pharchusrwydd. Cyflawnodd y Parch. Dr. Jeffrey y gwasanaeth angladdol yn y ty mewn dull effeithiol a phwrpasol; a dygwyd gweddillion yr ymadawedig i gladdle *Cypress Hill.* Yn brawf o barchusrwydd ein cyfaill John T. Davies, ac o gydymdeimlad ag ef yn ngwyneb yr amgylchiad pruddaidd, cauodd y Mri. Butler, Broome & Clapp eu stôr, 358 Broadway, New York, 12 o'r gloch, ddydd yr angladd, mewn cysylltiad â pha rai y mae ef yn masnachu.

Cwsg Annie, cei esgyniad—urddolach
Nag oer ddelw'r claddiad;
Maith hun rydd it' esmwythâd,
Hyd foreu dy adferiad.

ANEURIN FARDD.

## *BEDYDDIWYD—*

Yn Mahanoy City, Mai 21, gan y Parch. W. D. Thomas, un chwaer.

Yn Taylorville, Pa., Mai 1, bedyddiwyd pedwar o bersonau gan y Parch. D. Rhoslyn Davies.

Yn Hyde Park, Pa., Mehefin 11, bedyddiwyd tri, gan y Parch. B. Thomas, gweinidog y Saeson.

Yn Wiconisco, Pa., Mai 28, bedyddiwyd dwy chwaer ar broffes o'u ffydd yn Nghrist, gan y Parch. B. E. Jones, y gweinidog. Ymddygodd pawb yn weddus a pharchus tra yn gweinyddu yr ordinhad yn y nant.

"Gwyr o gred ddaw i fedydd,
Geiriau Duw a garia'r dydd." TYST.

*Plymouth, Pa.*—Y mae yn llawenydd i'n calonau fod genym, *fel enwad*, gyfrwng llenyddol, i'r hwn y gallwn anfon ein hanesion eglwysig, heb ofni aflonyddu ei ddarllenwyr pan fyddom yn hanesyddu ychydig o'n cyflawniadau tua glan yr afon, ac ynddi yn claddu y credinwyr gyda Christ yn y bedydd; ac os na chaiff y WAWR wir gefnogaeth pob Bedyddiwr Cymreig yn America, dylem guddio ein gwynebau am byth â napcyn trwchus cywilydd, a pheidio son mwy am ein *hegwyddorion*.

Anwyl frawd, hyderaf y cewch y gefnogaeth a gyfiawn haeddwch am eich hanturiaeth bwysig a gogoneddus. Dymunaf, o eigion calon, bob llwydd i chwi fyned rhagoch. Mae y WAWR yn hardd a thlos yn ei holl arweddion, yn bapyr, llythyrenau, trefniant, a meddylddrychau.

Y mae genym i'ch hysbysu fod yr achos goreu ar ei gynydd gyda ninau yn y lle hwn. Y mae amrai o afradloniaid wedi dychwelyd i dy eu tad yn ddiweddar. Ar Sabboth Mai 21, bedyddiwd pedwar, ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw. Bydd ein capel newydd yn barod yn mhen tri mis o leiaf.

Yr eiddoch, &c.,

EDW. JENKINS.

# NEWYDDION O GYMRU.

**CYMANFA BEDYDDWYR CYMREIG MYNWY.**

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn Soar, Cendl, ar ddyddiau Mawrth a Mercher, Mai y 30ain a'r 31ain. Am 10, boreu ddydd Mawrth, cyfarfuwyd mewn cynadledd—y brawd R. Johns, Llanwenarth, y cymedrolwr, yn y gadair. Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd S. Williams, Nantyglo.

Y PENDERFYNIADAU.

1. Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal yn y Casbach, ar yr amser arferol.
2. Fod eglwysi Llangwm a Pennel i gael aelodaeth yn y Gymanfa hon.
3. Fod Ysgrifenydd y Gymanfa o hyn allan i aros yn ei swydd am dair blynedd, ac nid am flwyddyn yn unig, fel yr ysgrifenyddion blaenorol.
4. Mai y Parch. J. Morgan, Bethel sydd i fod yn Ysgrifenydd y Gymanfa am y tair blynedd nesaf.
5. Mai Mr. Jenkins, Argoed, sydd i fod yn Gadeirydd am y flwyddyn ddyfodol.
6. Fod llythyr y Gymanfa nesaf i gael ei ysgrifenu gan y Parch. J. Pritchard, Noddfa.
7. Fed y tair Athrofa, sef Pontypwl, Hwlffordd, a Llangollen, i gael casglu trwy yr eglwysi, fel arferol.
8. Fod casgliad y Gymanfa i gael ei roddi at drysorfa y gweddwon.
9. Fod y Sul cyntaf yn Awst i gael ei dreulio mewn gweddi am amlygiadau helaethach a mwy grymus o weithrediadau yr Ysbryd Glan.
10. Nad yw y rheol a roddai y flaenoriaeth o gael y Gymanfa i'r eglwysi nad oeddynt wedi ei chael o'r blaen i fod mwyach mewn grym.
11. Wedi darllen penderfyniad argraffedig oddiwrth y Parch. J. Jones, Felinfoel, o barthed cael llyfr hymnau i enwad y Bedyddwyr yn Nghymru, penderfynasant fod eisiau y fath lyfr ar yr enwad—llyfr gwell nag un o'r rhai sydd yn ein meddiant yn bresenol, a'n bod y gobeithio y llwydda y Gymdeithas Gyhoeddiadol i ddwyn allan lyfr a fyddo yn deilwng o gefnogaeth gyffredinol y cyfenwad Bedyddiedig yn y Dywysogaeth.
12. Ein bod yn cefnogi y brodyr yn Nghwmbran yn eu hymdrech i sefydlu gorsaf bregethu achlysurol ac Ysol Sul yn Mhen heol-y-badd.
13. Fod y llythyr rhagorol a gyfansoddwyd ac a ddarllenwyd gan y brawd J. G. Davies, Beulah, yn cael ei fabwysiadu, ei argraffu, a'i anfon i'r eglwysi.

Terfynwyd y gynadledd trwy weddi gan y brawd T. Thomas, Casnewydd.

Y CYRDDAU CYHOEDDUS.

Am chwech o'r gloch hwyr dydd Mawrth, pregethodd James, Bedwas; Thomas, Argoed; a Jones, Pisgah.

Boreu ddydd Mercher, am saith, pregethodd Edwards, Bargoed, ac Evans, Trosnant.

Am ddeg, pregethodd Lloyd, Casbach; Williams, Aberystwyth; ac Evans, Casnewydd.

Am ddau, pregethodd T. Thomas, Casnewydd; Morgan, Bethel; a Jones (Mathetes), Rhymney.

Am chwech, pregethodd Lewis, Blaenau; Mills, Castellnedd; a Pritchard, Noddfa.

Dechreuwyd y gwahanol gyfarfodydd gan Lewis, Blaenau; Jones, Pisgah; Evans, Trosnant; a Lewis, Victoria.

*Rhyswg, Abercarn.* D. EDWARDS, *Ysg.*

## CAPEL NEWYDD I'R BEDYDDWYR YN LLANDRINDOD.

Y mae y lle uchod yn dra adnabyddus trwy y rhan fwyaf o Gymru a Lloegr. Y mae ffynonau enwog Llandrindod a'u dyfroedd meddyginiaethol yn gyrchfa flynyddol i filoedd o drigolion ein hynys, a llawer wedi profi meddyginiaeth i'r corph trwy yfed y dyfroedd iachusol. Bu rhyw ysgrifenydd ryw amser yn ol yn cwyno nad oedd un capel i'r Bedyddwyr yn y lle cynyddol hwn, tra yr ydoedd gan enwadau eraill gapeli heirdd, ac hefyd gan yr Eglwyswyr, er nad yw Eglwys Sefydledig Llandrindod ond ychydig iawn o ffordd o'r lle. Yn awr, y mae genym y pleser o hysbysu fod y diffyg y cwynai yr ysgrifenydd a nodwyd o'i herwydd ar gael ei gyflenwi. Y mae Mr. John Bennett a'i wraig, er nad ydynt yn aelodau eto gyda'r Bedyddwyr, wedi rhoddi darn helaeth o'u gardd i'r dyben o adeiladu capel arno, ac hefyd £25 o arian gyda hyny, ac wedi addaw cludo yn rhad ac am ddim ran o'r defnyddiau at yr adeilad. Saif y tir mewn man cyfleus yn ymyl y gledrffordd, ac heb fod yn mhell oddiwrth y *station*. Y mae y Parch. John Jones, gweinidog llafurus a ffyddlon y Rock, wedi ymgymeryd â'r gorchwyl pwysig o gasglu arian tuag at y capel newydd, ac wedi cychwyn yn llwyddianus, ac amryw wedi rhoddi tuag ato yn haelionus; ond y mae eisiau llawer o arian i orphen talu am dano. Y mae y cytundeb wedi ei osod am dros wyth gant o bunau, ac y mae y capel i fod yn barod erbyn y Nadolig nesaf.

## PRIODAS Y PARCH. JOHN WILLIAMS, CENADWR.

Mae y Parch. John Williams, India, wedi treulio yn awr lawn flwyddyn yn ngwlad ei enedigaeth, ar ol un-ar-bymtheg o flynyddoedd yn genadwr yn yr India. Bwriada ddychwelyd yno eto tua diwedd y flwyddyn, i ddwyn yn mlaen ei hoff waith, sef pregethu efengyl Crist i drigolion Hindoostan. Fel ychwanegiad at ei gysur, a chynorthwy iddo gyflawni ei waith, y mae wedi penderfynu myned a gwraig gydag ef yno y tro hwn, yr hon sydd berthynas bell iddo, ac a adnabyddid wrth yr enw "Miss Jones, George-street," Abertawy. Cymerodd y briodas le ar y dydd cyntaf o Fai,, yn nghapel York Place, Abertawy, pan y gweinyddwyd ar yr achlysur gan Mr. Johns, y gweinidog. Wedi i'r seremoni hono fyned drosodd, ymgasglodd nifer mawr i dy mam y briodasferch, lle yr oedd cyflawnder o amrywiol ddanteithion ar gyfer y corph wedi eu parotoi. Ar ol cyfranogi o'r rhai hyn, cafwyd anerchiadau hynod bwrpasol gan y gweinidogion ag oeddynt bresenol, sef y Parchn. D. Jones, Pontfaen; B. D. Johns, York Place; James Owens, Mount Pleasant; a Thomas Jones a J. Rowlands, Llanelli—yr oll yn rhoddi y cymeriad uchelaf i Mr. Williams, fel cyfatll, Cristion, a chenadwr. Ymddengys fod Mr. Williams wedi cael ei arwain gan Ragluniaeth i fod yn hynod ffodus yn newisiad gwraig. Barn pawb a'i hadwaen ydyw, y bydd Mrs. Williams yn ymgeledd gymwys iddo, ac yn gysur ac yn help iddo yn ei waith a'i orchwylion pwysig. Y mae hithau, i raddau helaeth, yn feddianol ar yr ysbryd cenadol fel ei phriod.

## OLYNYDD CYNDDELW YN NGHAERNARFON.

Sul a Llun, Mai 28, 29, cynaliwyd cyfarfod blynyddol, a sefydliad y Parch. Owen Davies, gynt o Langollen, yn weinidog yn Nghaernarfon. Efengylwyd gan y Parchn. J. Williams, Birkenhead; H. Jones, M. A., D. D., Llangollen; A. Williams, Garn; R. Jones, Llanllyfni; a Charles Davies, Bangor. Prydnawn dydd Llun, rhoddwyd anerchiad ar natur eglwys gan esgob Llanllyfni; ac i'r gweinidog a'r eglwys gan Dr. Jones.

Cafwyd cyfarfod da yn mhob ystyr; daeth pobloedd lawer yn nghyd, cafwyd casgliadau da, ac arwyddion o foddlonrwydd yr Arglwydd. Gobeithio y bydd olynydd yr hybarch a'r anfarwol R. Ellis (*Cynddelw*) yn fendith i'r eglwys, y gwrandawyr, a'r dref yn gyffredinol.

## CEULANYDD YN EGLWYSWR.

[*O Seren Cymru.*]

Pan ar fyned i'r wasg, derbyniasom y nodyn canlynol o Amlwch:

"Dyna ydyw y ffaith erbyn heddyw—Ceulanydd wedi gwerthu ei enedigaeth fraint am saig o botes maip. Buaswn yn ei gyngori i droi at y fam yn hytrach na'r ferch. Clywais mai tipyn yn swil oedd nos Wener diweddaf pan yn cael ei dderbyn i'r olyniaeth apostolaidd. Ai tybed nad yw ei gydwybod yn dechreu deffroi bellach; ond y mae yn debyg ei fod fel ei frawd Esau—edifeirwch wedi ei cholli er ei thaer geisio hi. Pa fodd y teimla wrth roi ei fys mewn *basin* i *sprinklo* dwfr ar ei blant bach ei hun ac eraill, i roddi darluniad o farwolaeth ac adgyfodiad Iesu Grist, ac yn-

au yn arfer dweyd na wnai dim llai na chydgladdu gyda Christ yn y bedydd mo'r tro ?

Wrth fudr werthu ei fedydd,
Enillodd fywoliaeth mwy llonydd;
Caiff deimlo eto bob dydd
Oddiwrth hyn warth a chywilydd.—J. J."

Canfyddwn fod dynion gwamal ac anmhenderfynol yn dringo hyd yn nod i'n pwlpudau. Nid yw ymadawiad o'r fath a nodir uchod, modd bynag, yn effeithio dim ar y gwirionedd. Saif y gwirionedd yr un hyd yn nod pe rhwygai y creigiau, a phe symudid y mynyddoedd i eigion y môr. Y wers a ddylai yr eglwysi ddysgu pan ddygwyddo amgylchiadau o'r fath —ac y maent yn sicr o ddygwydd yn awr ac yn y man—yw, bod yn dra gofalus pan yn cymeradwyo pobl ieuainc i'n hathrofeydd. Pan yr argymero dyn ieuanc â gwaith y weinidogaeth heb feddu cymwysder neillduol i'r swydd, a thrwy hyny fethu gweithio ei ffordd yn llwyddianus gyda'r Anghydffurfwyr, y tebygolrwydd yw, os bydd amgylchiadau yn ffafrio, y bydd iddo encilio i'r Eglwys Wladol. Mantais fydol sydd mewn golwg; ond ca llawer eu siomi yn hyn, gan fod yr "hen fam"—ac nis gellir ei beio am hyny—yn cadw y *brog* goreu i'w phlant naturiol. DR. PRICE.

## YMDDISWYDDIAD DR. PRICE.

*Rose Cottage, Aberdar,*
*Mai 26ain, 1876.*

ANWYL FRAWD EVANS—Gyda theimladau dolurus yr wyf yn danfon atoch i roddi fyny fy nghysylltiad â *Seren Cymru*. Mae un llygad i mi bron a myned yn ddiwerth, tra y mae y llall wedi ei effeithio i raddau mawr; ac yr wyf wedi cael fy ngorchymyn yn y modd mwyaf caeth rhag darllen ac ysgrifenu ond lleied ag y byddo modd. Ac er ceisio achub yr hyn sydd yn ol, yr wyf yn penderfynu cydsynio â gorchymyn dau o'r meddygon penaf yn y deyrnas, i ymatal rhag darllen ac ysgrifenu.

Mae fy nghysylltiad â *Seren Cymru* a chwithau wedi bod mor bleserus i mi, fel y mae yn boen nid bychan i mi orfod tori y cysylltiad. Mae y meddygon yn dywedyd, "You have overworked the brain and the presure has brought on a dimness of sight, and nothing but absolute rest will save you from a total loss of sight." Felly nid oes i mi ond ymfoddloni i ewyllys fy Nhad anwyl, gan foddloni i wasanaethu eglwys Calfaria, ac achosion lleol a chartrefol.

Yn iach i berchenogion *Seren Cymru*, y gohebwyr parchus, a holl ddarllenwyr serchus y *Seren*. Yr eiddoch yn wirioneddol,

THOMAS PRICE.

## Y PARCH. FRED. EVANS (EDNYFED).

Mae genym i ddiolch yn galonog am gopi o'r *Venango Citizen* am Ebrill 20fed, yr hwn sydd yn cynwys pregeth alluog a meistrolaidd a draddodwyd gan ein brawd anwyl, Ednyfed, Ebrill 9, 1876, ar ran Cymdeithas Addysgiadol Pennsylvania. Mae ein brawd wedi cymeryd yn destyn eiriau Paul yn 1 Cor. 3: 2, 22—"Canys pob peth sydd eiddo chwi, pa un bynag ai Paul. ai Apolos, ai Cephas," ac yn desgrifio y tri enw a'r tri chymeriad uchod i egluro "Pwlpud y dyfodol" (*The Pulpit of the future*).

I. GWYBODAETH—Fel ag oedd yn cael ei ddarlunio yn mherson Paul.

II. HYAWDLEDD—Fel yr oedd yn cael ei ddadblygu yn nghymeriad Apolos.

III. GWROLDEB—Fel y dadblygir ef yn mherson Cephas.

Y mae yn un o'r pregethau mwyaf gwreiddiol a ddaeth o dan ein sylw er's blynyddau. Y mae yn dda genym weled fod y fath barch yn cael ei ddangos i'n brawd yn eglwysi America. Nid oes neb ond ein dynion blaenaf yn cael eu penodi i bregethu ar y fath achlysuron â'r un y bu ein brawd Evans yn pregethu. Yr ydym ni wedi rhoddi benthyg Ednyfed am dymor digon hir i eglwysi y Talaethau, a charem yn fawr ei weled yn ol yn Nghymru. Yr ydym am i Ednyfed ddyfod yn ol i Gymru, a threulio ei flynyddau olaf yma yn nghanol ei frodyr, a gorphen ei yrfa yn hen Walia wen.—*O Seren Cymru.*

TABERNACL, MERTHYR.—Mae eglwys y Tabernacl mewn sefyllfa lewyrchus yn bresenol. Y mae Mr. James, fel Paul, yn planu; yr eglwys, fel Apolos; ac y mae Duw yn rhoddi cynydd mawr at yr eglwys, a llawer yn cael eu hadferyd.

BETHESDA, BASSALEG.—Nos Lun, Mai 22ain, cynaliwyd cyfarfod er sefydlu y Parch. J. Evans, gynt o Everton Village, Liverpool, yn weinidog ar yr eglwys uchod.

LLANGLOFFAN.—Cynaliodd yr eglwys hon ei chyfarfod blynyddol y flwyddyn hon ar y 23ain a'r 24ain o Fai. Cafwyd gwasanaeth gwerthfawr y brodyr anwyl a ganlyn—W. Jones, Abergwaen; B. Thomas, Narberth; R. D. Roberts, Llwynhendy; a B. Evans, Castellnedd. Cyfarfodydd anwyl a bendigedig oedd y rhai hyn. Bendith Iôr fyddo yn eu canlyn.

HARMONY, DYFED.—Cynaliwyd ein cyfarfod blynyddol yn y lle uchod eleni ar yr 16eg a'r 17eg o fis Mai. Y gweinidogion a bregethodd ynddynt oeddynt y rhai canlynol—T. John, Blaenllyn; D. James, Tabor; J. Jenkins, Trefdraeth; a B. Thomas, Narberth. Cafwyd pregethau o'r fath oreu—pregethau grymus ac effeithiol, a gwenau Duw yn amlwg yn y lle.

—Cafodd yr Heiddgeidwad Williams, Porthmadog, bwrs boneddiges ar lawr—yr hwn a gynwysai dros £60—a dychweliodd ef iddi. Hithau a'i gwobrwyodd â chwe' cheiniog.

## GWLADYDDIAETH.

—

### BRASLUN O FYWYD RUTHERFORD B. HAYES.

Mae Rutherford B. Hayes, Llywodraethwr Ohio, yr hwn a benodwyd i fod yn ymgeisydd am Arlywyddiaeth y Talaethau Unedig, gan y Gwerinwyr, yn Cincinnati, mewn Cynadledd Genedlaethol, o ran oed yn y man goreu, gan ei fod yn awr yn 54 ml. oed. Dywedir i ni na fedd frodyr na chwiorydd yn fyw. Ganwyd ef yn Delaware, O., Hyd. 4, 1822. Wedi ei adael yn amddifad pan yn ieuanc, dygwyd ef i fyny gan ewythr (brawd ei fam). Yn marw, gadawodd yr ewythr hwn i Mr. Hayes eiddo gwerth o $300,000 i $400,000. Derbyniodd ei addysg athrofaol o fewn terfynau Ohio. Llywyddodd gatrawd o Ohio yn ystod y rhyfel, a threuliodd ei holl fywyd galwedigaethol yn y Dalaeth hono. Graddiodd yn ngholeg Kenyon, Gambier, O., a chafodd ei addysg alwedigaethol yn Ysgol Gyfreithiol Cambridge. Dechreuodd ei alwedigaeth yn Cincinnati yn y 34ain flwyddyn o'i oed, pryd y derbyniodd ei benodiad swyddogol cyntaf fel Dadleuydd Trefol, yr hon swydd a ddaliodd nes i'r rhyfel dori allan yn 1861. Yn bur agos i'w dechreuad ymrestrodd yn y 23ain gatrawd o wirfoddolion Ohio, a gwasanaethodd yn y gatrawd hono nes y derbyniodd lywyddiaeth *brigade* yn 1864. Ei benodiad cyntaf oedd fel Uch-gadben; daeth ei godiad cyntaf o fewn llai na blwyddyn; ac yn Medi, 1862, daliodd swydd fel *Lieutenant-Colonel;* ac yr oedd yn meddu llywyddiaeth catrawd yn mrwydr South Mountain. Ffurfiai y drydedd-gatrawd-ar-hugain ar yr adeg ran o adran y Cadlywydd Reno, yn gweithredu ar aden ddeheu byddin y Potomac. Yn ystod y gwrthdarawiad derbyniodd y Milwriad Hayes archoll ddofn yn ei fraich, ond ymlynodd gyda ei gatrawd i'r diwedd, ac yr oedd y swyddog cyntaf i enill safle yn South Mountain. Ddwy flynedd yn ddiweddarach yr oedd efe wedi dod yn *Brigadier General Hayes*, pan y derbyniodd y penodiad Gwerinol i'r 39ain Gydgyngorfa. Yn Hydref 1866, etholwyd ef yr ail waith i'r Gydgyngorfa. Ar ol un eisteddiad etholwyd ef yn Llywodraèthwr Ohio. Ar ddiwedd ei dymor, ail ymgymerodd a'i alwedigaeth. Yn 1869, etholwyd ef yr ail waith yn Llywodraethwr Ohio. Yr oedd ei weinyddiaeth yn y ddau dymor yn ardderchog. Enillodd ymddiriedaeth dynion o'r ddwy blaid, a chadwodd ef drwy degwch ei gwrs. Etholwyd ef yn Llywodraethwr wed'yn y drydedd waith, yr hon swydd a ddeil yn bresenol. Mae y Llywodraethwr Hayes yn ddyn oddeutu pum' troedfedd a deg modfedd o daldra, o ymddangosiad golygus, llygaid gleision, o brydwedd goleu. Dywed un a'i hadnebydd ef yn dda, a chyfaill politicaidd iddo, fel hyn am dano: "Mae Mr. Hayes yn ddyn da, yn ddyn da iawn. Ystyrir ef yn ddyn galluog, ond y mae yn llawer mwy galluog nag yr ystyrir ef. Ni ddarfu erioed wthio ei hun yn mlaen. Ni ddarfu erioed fethu llenwi yn gyflawn bob swydd y galwyd ef iddi. Pan grybwyllwyd wrtho am yr Arlywyddiaeth, dywedodd nad oedd ef yn blino yn ei chylch; os deuai iddo, na wnai wrthod; os na ddeuai, na fyddai yn annedwydd. Mae yn ddyn o burdeb diamheuol, yn erbyn yr hwn y bydd yn ofer taflu cabldraeth."

### WILLIAM A. WHEELER.

Sicrheir fod Wheeler, yr hwn mewn ufudd-dod i alwad Cynadledd Cincinnati, a nodwyd i redeg am yr Is-Lywyddiaeth, yn ddyn ag sydd yn cynrychioli gonestrwydd, didwylledd, gallu a gwladgarwch, mor llawn a neb pwy bynag y gellid ei ddewis. Y mae yn gyfreithiwr proffesedig, ac yn meddu ar wybodaeth brofiadol mewn gwladlywiaeth. Dangosodd amryw droion yn y Gydgyngorfa, ei fod yn deilwng o'i safle. Wrth ddilyn ei hanes mewn manylion a chylchoedd llai pwysig, ni chyfarfyddir â dim ag sydd yn taflu un cwmwl na chysgod ar ei gymeriad. Yn ddiau dylai Talaeth New York ymfalchïo fod ganddi y fath wladweinydd. A dylai y blaid Werinol deimlo yn dda fod ganddi bersonau o'r fath nodweddau i'w cynyg am swyddau pwysicaf y wladwriaeth.

## YR ARDDANGOSFA.

Y mis diweddaf cawsom gyfleusdra i dalu ymweliad a'r Arddangosfa. Er nad oedd yr amser ond byr, eto tremiodd ein llygaid ar lu o bethau a ystyrir yn gampweithiau talentau dynol. Nid yw yr oll a ddywedir yn y newyddiaduron dyddiol ac wythnosol yn rhoddi ond dirnadaeth anmherffaith am yr hyn yw y gogonianau o flaen trem y golygon. Wrth ymsymud o'r naill adran i'r llall, ac o'r diwedd dyfod at ogonianau Prydain, teimlem yn dra gwahanol i ddim o'r blaen. Wel, ni waeth cyfaddef na pheidio, teimlem rywbeth yn cyffyrddyd â manau tyneraf ein calon. Nid allem lai na bod o dan argraff o fawredd Prydain mewn cystadleuaeth fawr fel hon. Gallai yr anghyfarwydd ganfod rhagoriaeth neillduol yn y *paintings* ar eiddo America. Etyb i'w henw yn sicr, "Prydain *Fawr.*" Yr oedd rhyw swyn neillduol i ni hefyd yn arddangosion y trefedigaethau Prydeinig. . Gwnaethom yr ymweliad hwn a'r lle yn nghwmpeini ein hen gydfyfyriwr yn Hwlffordd, y Parch. Benjamin Thomas, gweinidog eglwys y Spring Gardens. Nid oedd ef a minau yn hollol yr un farn am bethau. "Aros, Thomas," meddwn, "paid a myned mor ddisymwth heibio pethau yr Hen Wlad; edrych ar yr hynodion hyn mewn difrif." "Na, na, gad i ni fyned yn mlaen at bethau America, i ni gael gweled rhywbeth gwerth edrych arno." Ac yn wir, mae'n rhaid addef fod yno amryw bethau go dda gan America; ac yr wyf yn meddwl i mi sibrwd wrthyf fy hun wrth ddyfod i olwg rhai o honynt, "*Well done*, yr *United States.*" Mae yr arddangosion oll yn werth eu gweled nid oes dadl.

Mae yr argraff a wneir ar y meddwl wrth syllu ar y gorchestion amryfath, o nodwedd grefyddol. A pha ryfedd, yn wir, os ystyriwn eu bod yn gynyrch galluoedd penaf a thalentau dysgleiriaf eu hawdwyr; yn enwedig pan gofier hefyd fod y cwbl i fod yn is-wasanaethgar i'r efengyl, ac i *raddau* yn meddu yr un amcan—*dyrchafu dyn.*

Wrth graffu ar y bobl oedd, fel ninau, yn edrych, a'u cyferbynu â'r pethau yr edrychid arnynt, synid ni gan mor wael a diddiwylliaeth yr ymddangosent, a ninau gyda hwy. Yr oedd y gwrthddrychau yn ysblenydd, ond nyni yn waelion. Tybiem yn fyfyriol fod eu hawdwyr a'u perchenogion yn sefyll yn mhell o'r golwg yn rhywle, a'u gadael am y tro i gyffredinolion. Rhaid y bydd llawer o'r marsiandwyr ac eraill ag ydynt wedi myned i dreulion at wneyd masnach o amgylch yr adeiladau arddangosiadol yn eu colled. Yn lle aros yn y cwmpasoedd wedi adeg cau y drysau, y mae y lluaws yn myned i fyny i'r dref. Gresyn eu gweled yn segur, yn dysgwyl am gwsmeriaid. Nid ychydig o ddyddordeb mae y *trains* sy'n rhedeg yn barhaus o amgylch yr arddangosfa yn ei roddi. Y *fare* yw pum' cent. Rhydd rhodfa fantais i orphwys a gweled.

Sylwir yn fynych fod dyeithriaid o'r wlad yn gweithredu yn chwithig yno. Mae yno adeilad yn perthyn i bob Talaeth ar wahan. Daeth yno ddyn un diwrnod yn holi am y Maine *building.* Dangoswyd y *main building* iddo, ond ni chredai; tybiai fod ei hyfforddwyr yn cymeryd mantais ar ei ddyeithrwch; ond trwy fynych dderbyn yr un atebiad, daeth i weled o'r diwedd, nad oedd efe a'i atebwyr yn meddu yr un syniad pa un oedd y *Maine building.* Ymsyniwn ar y cyfan fod hwn yn ddigon o Eisteddfod i Gymry a phawb yn Philadelphia am eleni!

## NODION PERSONOL.

—Yr oedd ein cyfaill, y Parch. B. Thomas, gweinidog y Bedyddwyr Seisnig yn Hyde Park, yn arwyddo trallod dwfn wrth ysgrifenu nodyn ar fyrder atom, yn hysbysu am foddiad Mr. W. H. Parry, yr hwn oedd yn aelod ffyddlon o'i eglwys ef.

—Cafwyd Cymanfa hynod o lewyrchus yn Sir Oneida eleni, yn enwedig yn Boardwell a Remsen. Yr oedd y brodyr Cefni a D. Rhoslyn Davies yn rymus neillduol, a'r cynulleidfaoedd mewn

teimladau dwfn o dan y weinidogaeth. Rhaid y bydd effeithiau da yn canlyn.

—Dymunol i ni, y dydd o'r blaen oedd gweled nifer o frodyr ieuainc, hen a chanol oed, yn Carbondale, Pa., yn "gweithio â'u dwylaw" gydag egni, er gwneyd *side-walk* a dyfr-ffos o flaen drws eu ty addoliad. Profent drwy hyny *nad oedd* yr hen sêl a'r gweithgarwch gynt wedi hollol ddarfod yno eto.

—Yr oedd yn galondid nid bychan i'r frawdoliaeth yn Danville, Pa., ychydig amser yn ol, weled y brawd ffyddlon, William Francis, a'i briod hoff, yn dychwelyd yn ol, wedi bod yn absenol am gwrs o amser yn St. Louis, Mo.

—Theo. Ellison, Attica, y diacon John Lewis, a J. Higgins, Cattaraugus, oeddynt frodyr o bellder a ddaethant i'r gymanfa i Sir Oneida y flwyddyn hon. Cafwyd amryw anerchiadau gan y ddau flaenaf yn y cynadleddau a chyfarfodydd eraill. Teimlai pawb, feddyliem, wrth eu bodd yn gwrando eu cyngorion a'u dyddanion, a phan y soniai un am "ddod o'r ogof," a'r llall am bethau "er's llawer dydd."

—Pregethodd y Parch. H. O. Rowlands, A. M., ddwy waith yn y gymanfa, yn Remsen, gyda derbyniad cyffredinol. Da oedd genym ei glywed yn traddodi mor groew yn yr hen Gymraeg "fawrion bethau Duw."

—Dyma englyn buddugol pur dda, o eiddo y Bardd Cudd, Utica, i'r enwog Goronwy Owain :

Goronwy Owen, gwir awenydd—oedd,
Ac hyddysg ddwfn ieithydd ;
Un o'i ddawn ni fu'n ei ddydd,
Na'i fath fel hynafiaethydd.

—Deallwn fod amryw o'n darllenwyr yn dysgwyl wrth "bin yr ysgrifenydd buan," ein gohebydd medrus, Alwyn Trefor, Upper Lehigh. Wedi iddo godi eu dysgwyliadau gyda "Thomas Paine," nid rhyfedd eu bod yn grwgnach am ragor.

—Deallwn fod y Parch. H. Gwerfyl James, Utica, i bregethu yn eglwys eglwys Chatham Street, y Sabboth nesaf, Meh. 25ain. Deallwn fod yn mryd yr eglwys hon roddi galwad iddo ddyfod i'w bugeilio ; ac os cymer hyny le, diamheu y bydd yn gaffaeliad i'r eglwys gael dyn o dalent Mr. James i lanw y pwlpud ; ac ni synem cyn pen blwyddyn weled capel newydd hardd ac eang gan Fedyddwyr Cymreig Pittsburgh. Poed felly.—*Y Wasg*.

Hysbysir ni yn mhellach, iddo dderbyn galwadau swyddogol i weinidogaethu yn Wilkes-Barre, Pa., a Central City, Col.

—Ysgrifena Mr. Spurgeon ei fod yn bwriadu talu ymweliad â'r wlad hon yn yr hydref. Mawr fyddai ei groesaw !

## *DYDDANION.*

CYFARFU Bardd Nantglyn a Thomas Edwards (Twm o'r Nant) eu gilydd un diwrnod yn nhref Dinbych, ac yr oedd Thomas ar ei ffordd i'r *Bull*, ar ryw neges neu gilydd. "Yn mh'le y byddwch chwi yn mhen tipyn, i ni gael ymgom?" ebe Robert Davies.

"Mae'r Eidion uwch ben yr adwy,
Tad y llo bach a dd'wed lle b'wy',"

ebe yntau.

YR oedd Thomas Edwards yn chwareu anterliwd un tro pan wedi cyrhaedd gwth o oedran yn Llangynhafal, Dyffryn Clwyd. "Wel, wel, Tomos bach," ebe rhyw hen gyfaill wrtho, "pryd yr ydach ch'i am roi goreu i'r chware yma?" Atebodd yntau gydag ochenaid,

"'Rwyf wedi blino yn wawd i blant,
Nid dyma'r Ne' i Dwm o'r Nant."

TWM SIAMBER WEN.—Ryw dro, aeth Twm at Bersondy i ofyn tamaid. Cofier mai yr enwog Ddr. Worthington oedd Ficer Llanrhaiadr yn Mochnant y pryd hwnw. Cafodd grystyn du a chaled o law y Dr. ei hunan. Gofynodd i'r Dr. yn ostyngedig iawn, a wnelai efe ddysgu ei *bader* iddo. "O, gwnaf yn union," ebai y duwinydd, "Ein Tad," meddai y Ficer ; "*Eich* Tad," meddai Twm. O'r diwedd cododd y Person ei lais, a dywedodd, "EIN Tad." "Ydi o yn dad i ni ein dau?" ebai Twm mewn syndod." "Ydyw siwr, mae ef yn dad i ni ein dau." "Os felly, yr ydych chwi a minau yn ddau frawd." "O, ydym siwr, yr ydym yn ddau frawd." "Wel, mewn difri'," ebai Twm, "oes arnoch ch'i ddim cywilydd rhoi y fath grystyn du a hwn i'ch *brawd?*" Cafodd Tomos dafell braf o'r "dorth ganrhyg" yn dâl am y cerydd, ac aeth adref i'w ffordd ei hun yn llawen.—*Cynddelw.*

# Y WAWR.

CYF. I.] AWST, 1876. [RHIF. 5.

## "CYD-YSTYRIED BAWB EIN GILYDD."

GAN Y PARCH. E. JENKINS, PLYMOUTH, PA.

Dichon nad oes yr un ddyledswydd Gristionogol yn cael llai o sylw na hon, —"cyd-ystyried bawb ein gilydd." Gan fod y WAWR a'i goleuni wedi eu bwriadu i helaethu gwybodaeth, coethi chwaeth, a meithrin y da, tybiwn yn ostyngedig y byddai ychydig sylwadau ar y pwnc hwn a gymhellir arnom mor fynych yn ngair Duw, yn fuddiol.

Gwelwn fod y ddyledswydd hon yn gydranol, cyfochrog, cydweithredol, a chydymdeimladol.

Gwirionedd pwysig mewn crefydd yw, fod i bob dyn, yn mhob man, yn gyntaf ddysgu gofalu am dano ei hunan, yn ei amgylchiadau, ei iechyd, ei gysuron personol a theuluaidd, hyd eithaf ei allu. Mae pob un i "ddechreu yn Jerusalem" ei hun, o herwydd os na ddysga person y wers bwysig hon, lled annhebygol ydyw y dysga efe y ffordd i ofalu am faterion neb arall. Sylweddolir y geiriau hyny, "Os y dall a dywys y dall, y ddau a syrthiant yn y ffos." Nid oes angen dwyn engreifftiau o hyn, canys maent yn rhy luosog, ysywaeth. Dyma wers gyntaf gwir grefydd i ddyn. Dichon fod arafwch llwyddiant crefydd i'w briodoli i raddau helaeth iawn i'r diffyg hwn; o herwydd clywir megys swn aflafar yn adsain o hyd o hyd, "Y meddyg, iachâ dy hun."

Wedi llwyddo i ddysgu y wers gyntaf, yna symudir i'r ail, yn nheithi godidog Cristionogaeth, sef i gyd-ystyried bawb ein gilydd. Y naill i gyd-ystyried y llall—y cyntaf i ystyried yr ail, a'r ail y cyntaf. Dyma waith cydranol, gwaith sydd i fod yn gylch crwn o'n hamgylch fel modrwy aur.

Edrychwn yn awr ar rai o brif bethau cyd-ystyried ein gilydd.

*Dylem gyd-ystyried bawb ein gilydd yn ngwendidau cyffredin ein natur lygredig.*—Nodweddir y goreu o ddynion gan wendidau. "Od oes neb heb lithro ar air, gwr perffaith yw hwnw." Ac yn mha le y ceir ef? "Oblegid os dywedwn nad oes ynom bechod, celwyddog ydym, a'r gwirionedd nid yw ynom." "Mewn llawer o bethau yr ydym ni bawb yn llithro." "Yr Arglwydd a edwyn ein defnydd ni, cofia mai llwch ydym." Hyny, yw, cofia mai gwael a llygredig ydym. Fel

llestr pridd y trafoda efe hwynt. Cyd-ystyried ein gilydd yn y goleu hwn a uniona lawer iawn ar y gam-feirniadaeth a ffurfir ac a gyhoeddir genym am ein gilydd, yn fyrbwyll ac anamserol. Dylem gofio nad llestri coed, na cheryg, na phlwm, na haiarn, nac arian, nac aur ydym, ond llestri pridd; a gwyr pawb fod mwy o ofal ac ystyriaeth yn angenrheidiol wrth drafod llestri pridd nag unrhyw lestri eraill.

*Dylem gyd-ystyried bawb ein gilydd yn unoliaeth ein galwedigaeth sanctaidd, fel plant anwyl Duw.* Cyd-alwedigion nefol i fod yn gyd-aelodau yn ngwir gorph ysbrydol o'r hwn y mae Crist yn ben. Yn yr undeb nefol hwn y mae cyd-ymddibyniaeth, cyd-gynaliaeth, cyd-wasanaethgarwch, a chyd-oddefgarwch i fodoli cyd-rhwng yr holl aelodau—pob aelod i wasanaethu er lles a chysur cyffredinol y corph, sef yr eglwys. Nis gall y llygad ddywedyd wrth y troed, a'r llaw wrth y glust, nid rhaid i mi wrthyt. Na, o herwydd cyd-aelodau ydynt i'w gilydd, er gwasanaeth y corph. Felly nid yw talentau, gwybodaeth, dysgeidiaeth, na defnyddioldeb, safleoedd yn y nefolion leoedd, yn safon yr alwedigaeth sanctaidd hon. Ond unoliaeth galwedigaeth gras gan yr *un* Tad nefol, trwy yr *un* Cyfryngwr, yr *un* dyn Crist Iesu, trwy ddylanwad dwyfol yr *un* Ysbryd Glan, trwy'r *un* efengyl sanctaidd, i fod yn gydgyfranogion, a chyd-aelodau yn yr *un* corph dirgeledig ysbrydol.

*Dylem gyd-ystyried bawb ein gilydd eto yn ein peryglon cyffredinol.*—Y mae yma fendithion cyffredinol yn y teulu hwn; ond dylem gofio hefyd fod yma beryglon cyffredinol yn cylchynu pob un; y mae yma ymosodiadau cyffredinol ar yr holl fyddin oddiwrth yr un gelynion cyffredinol, tywysog llywodraeth yr awyr a'i holl luoedd, y byd drwg presenol hefyd yn ei wên a'i wg, ei dlodi a'i gyfoeth, ei sidanau, ei borphor, a'i gadachau, ei balasau gorwychion a'i garcharau oer a du. Hefyd oddiwrth ei demtasiynau, ei brofedigaethau, ei golliadau a'i siomedigaethau, rhuthrant ar blant y ffydd yn mhob dull a modd. Hefyd oddiwrth weddillion ansancteiddiedig eu natur syrthiedig, yn nghyda chlefydau a dyoddefiadau corphorol, ymladdau oddiallan, ofnau oddifewn. Ystyriaeth ddyladwy o hyn eto a feithrin ysbryd a theimlad hynaws a gweddigar dros ein gilydd. Ebe Paul, "Pwy sydd wan nad wyf finau wan? pwy a erlidir nad wyf finau yn teimlo?" Dylid wylo gyda y rhai sydd yn wylo, bod yn rhwym gyda'r rhai sydd mewn rhwymau, gan gyd-ddwyn beichiau ein gilydd.

*Dylem gyd-ystyried bawb ein gilydd yn ein dyledswyddau Cristionogol,* fel cyd-forwyr ar yr un llong, fel cyd-filwyr yn yr un fyddin, o dan yr un faner, ac o dan arweiniad yr un pen tywysog; fel cyd-lafurwyr yn yr un winllan, fel cyd-ymdrechwyr am yr un bendithion dwyfol. Pe y cyd-ystyrid hyn, fe ddiddymid segurdod a difaterwch crefyddol; gyrai cydystyriaeth briodol bob dylluan nos allan o'r gwersyll; elai y lle yn rhy ofnadwy i'r un dyn feddwl am hepian a chysgu mewn lle y byddai pawb yn frwdfrydig yn cyflawni ei waith ei hunan.

Onid tor-calonus yw yr olygfa bresenol? Dau yn gweithio a'u holl alluoedd, tri yn cysgu yn eu hymyl, a rhaid bod yn dra gofalus i beidio eu deffro, onidê byddant yn sicr o rwgnach.

*Dylem gyd-ystyried bawb ein gilydd, o herwydd mai cyd-deithwyr ydym tua'r un wlad nefol*—dyeithriaid a phererinion

yn dysgwyl am yr un drugaredd waredol, ac yn bwriadu byw a bod am byth gyda'u gilydd a'u Ceidwad bendigedig; ac O, mor felus a hyfryd fydd cyd-gyfarfod tu fewn i'r llen, i fwynhau yr un hyfrydol fro, wedi bod yn cyd-weithio, yn cyd-ddyoddef, yn cyd-ymdrechu, yn yr un ystormydd chwerwon. O, feddyliau dedwydd, a orlenwant yr ysbryd y pryd hwnw, pan gawn gyfarch y rhai y buom ar ein goraf yn eu cynorthwyo yn eu hadfyd a'u profedigaethau. O! ddedwydd gyflwr, pan gawn gyd-fwynhau y fuddugoliaeth, a chyd-floeddio nes y byddo y nefoedd yn adseinio y mawl i'r gwr fydd yn nghanol yr orseddfainc.

Iawn ystyriaeth o hyn a ddiddyma bob ymrafael, a ddygai heddwch fel yr afon, a chyfiawnder fel tonau y môr i lanw pob goror yn ngwersylloedd y saint.

*Dylem gyd-ystyried bawb ein gilydd, yn olaf, o herwydd fod tuedd gref yn ein natur syrthiedig i lwfrhau a digaloni, gyda y gwaith da.*—Mae *dechreu* myned yn ddifater yn cynyrchu oerfelgarwch, oerfelgarwch yn esgor ar ddiogi ysbrydol; diogi ysbrydol yn creu claiarineb Laodiceaidd, a'r cyflwr hwnw yn gosod ei berchenog mewn cyflwr peryglus ger bron Duw; ac am nad ydyw nac oer na brwd, efe a'i chwyda allan o'i enau. O! sefyllfa beryglus! Am hyny dylem gyd-ystyried bawb ein gilydd, ac ymanog i gariad a gweithredoedd da, "heb esgeuluso ein cydgynulliad ein hunain, fel mae arfer rhai;" a gwneuthur hyn tuag at ein gilydd yn fwy o gymaint a'n bod yn gweled dydd mawr y cyfrif yn agosâu.

---

Os na phregethir Crist, y mae dorau y cysegr yn cael eu hagoryd yn ofer.—*Dr. Morrison.*

## "SAMI SHON."

ADYSGRIFENWYD GAN Y PARCH. JOSEPH T. JONES, SHENANDOAH CITY, PA.

### RHAN II.

Mwynhaodd iechyd rhagorol hyd o fewn saith wythnos cyn ei farwolaeth. Pan yn addoli yn nhy cwrdd Hermon, yn Nantyglo, ar nos Iau, y 9fed o Awst diweddaf, cafodd ei daro yn ddisymwth gan ddolur yn ei ochr—(dywedodd y meddygon a ymwelsant ag ef mai clefyd yr ysgyfaint oedd)—ac nid aeth nemawr o latheni allan o'r ty mwyach.

Megys ag yr ydys wedi nodi mai un hynod oedd efe yn ei iechyd, fel ag y cafodd ei gyd-oeswyr lawer iawn o bethau yn ei rodiad ag oeddent yn anrhydedd iddynt i'w hefelychu, felly gyda phriodoldeb gallant ddywedyd wrthym ninau ei ganlyniedyddion, "Ffydd yr hwn dilynwch, gan ystyried diwedd ei ymarweddiad ef." Yn nechreuad ei gystudd yr oedd ei ddolur yn lled drwm. Dywedodd, "Yr wyf yn gwybod er ys llawer dydd fy mod yn myned o'r byd hwn i'r byd tragywyddol; ond mi dybygwn yn awr fy mod yn myned yn heinif iawn, ac y mae yn dywyll rhyfeddol arnaf yn y glyn hwn, ac nis gwn pa beth yw'r achos; mae rhyw betrusder mawr yn fy meddwl am achos fy enaid anfarwol. Fy Meistr mawr, fy Nhad anwyl, pa le yr wyt ti? Mi a'th welais di lawer gwaith cyn hyn trwy dy Fab; golwg arnat yr wyf yn ei ddymuno, canys gwell yw i mi na'r holl ddaear a'i meddianau." Dro arall dywedodd, "Mae rhywbeth rhyfedd yn dyfod i fy meddwl fod y Tad yn foddlon i fy achub, ond nad yw y Mab; ond rhyw brofedigaeth yw hon oddiwrth elyn fy enaid i, canys yr wyf yn

cofio yr Ysgrythyr, "Y Tad a'r Mab un ydynt." Dro arall, pan ddaeth hen gyfaill i ymweled ag ef, achwynodd fod ei ysbryd yn isel, a bod cymylau duon rhyngddo a gwedd wyneb ei Dduw. Dywedodd ei gyfaill wrtho, "Ymgysura, taw son, paid ag achwyn; mi dybygwn fy mod yn sicr fod y gwaith da wedi ei ddechreu ar dy gyflwr di er ys llawer dydd; a chofia yr addewid, pa le bynag y mae y gwaith da hwn wedi ei ddechreu, y caiff ei orphen hyd ddydd Iesu Grist." Y noswaith ganlynol dywedodd ei fab-ynnghyfraith fod yr ychydig ymddyddan a fu rhyngddo ef a'i hen gyfaill wedi ei gysuro yn fawr.

O gylch pythefnos o'i gystudd daeth y Parch. F. Hiley i ymweled ag ef. Dywedodd y claf fod rhai o'i gyfeillion wedi bod yn ymweled ag ef, ac achwynodd fod rhai o honynt wedi rhoddi gofyniad caled iddo, "A oes arnoch chwi ofn marw?" a minau bron yn methu ateb, ac yn ymddangos yn wan iawn yn y ffydd. Dywedasant, "Paham mae hen wr duwiol o'ch bath chwi yn ofni marw?" Ebe finau, "Marw sydd air trwm. Mi a fum byw heb Dduw am tua deugain mlynedd o fy nyddiau goreu, a bum fyw gyda Duw ddeugain mlynedd fy henaint; a pheth o bwys mawr yw gwynebu y Duw hwn heb sicrwydd fy mod yn feddianol ar y wisg oreu, sef cyfiawnder Crist." Darllenodd y gweinidog benod, ac aeth i weddi, a chysurodd yr hen wr oreu ag y medrai; ond yr oedd yn alarus ei weled mor isel ei ysbryd, ac mor amheus am achos ei enaid. Dywedodd y claf, "Ac eto nid wyf yn ddi-ffydd ac yn ddiobaith. Anwyl frawd, efallai na welaf fi monot ti mwyach ar dir y byw, gan hyny yr wyf yn dymuno arnat ti bregethu yn fy angladd ar y geiriau canlynol; 'Byw i mi yw Crist, a marw sydd elw.'" Addawodd y gweinidog i gydsynio â'i gais. Daeth gweinidog arall i ymweled ag ef, ac wrth ymadael dywedodd wrth y claf, nad oedd yn ei roddi i fyny fel yn anwelladwy, eithr ei fod yn gobeithio y caffai ei weled yn alluog i ddyfod i dŷ Dduw i addoli eto. Wedi i'r gweinidog fyned allan, dywedodd y claf wrth y rhai oeddent yn aros gydag ef, ei fod yn gobeithio nad oedd barn ei frawd yn gywir am dano, o herwydd, eb efe, "nid oes hyfrydwch na mwyniant i mi yn y byd hwn; 'Mae arnaf chwant i'm datod, a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw.'" Yr oedd erbyn hyn yn ymgryfhau yn ei ffydd, yn ymddangos yn gadarn ac yn wrol, yn eithaf boddlon i'w sefyllfa, ac yn dywedyd, "Ni newidiwn i ddim o fy sefyllfa â brenin Lloegr y mynyd hwn; yr wyf yn credu y byddaf yn mhen ychydig ddyddiau yn gyfoethocach na holl freninoedd y byd hwn.

Oddeutu pythefnos cyn ei farwolaeth daeth y Parch. James Lewis i ymweled ag ef. Coffaodd y claf yn ebrwydd am y testyn y clywodd ef yn pregethu oddiwrtho gyntaf erioed, ac y cofiai am dano tra yn y byd hwn, o herwydd iddo dderbyn bendith y pryd hwnw a fyddai yn elw tragywyddol iddo tu draw i'r bedd. Gorchymynodd iddo ddarllen yr unfed-benod-ar-bymtheg o efengyl Ioan, a myned i weddi; yna efe a gydsyniodd a'i gais ger bron amryw o'r cyfeillion, a chawsant amlygrwydd a thystiolaethau cryfion ei fod (er yn wan yn ei gorph) yn parhau yn gadarn yn yn y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint. Cyn ymadael dywedodd wrth y gweinidog yn lled groew, "Anwyl frawd, ffarwel hyd foreu mawr yr adgyfodiad." Daeth y Parch. D. Stephens, gweinid-

og yr Annibynwyr yn Nantyglo i ymweled ag ef, a dymunodd y claf arno i fyned i weddi, â'r hyn y cydsyniodd, a dywedodd ar ei weddi, "Arglwydd mawr, nid ydym yn gofyn i ti i adferyd y claf hwn i'w iechyd ; (nac ydym, yn wir, meddai y claf,) ond dyro ymwared iddo o'r byd hwn." Wedi dybenu, gofynodd y gweinidog i'r claf, "Pa fodd yr ydych o ran eich teimladau, canys yr wyf yn credu eich bod bron yn rhoddi eich traed yn yr afon ?" Atebodd y claf, "Yr wyf yn awr yn gweled y ffordd mor oleu a'r haul o fy mlaen bob cam." "A oes dim ofn marw arnoch ?" "Nac oes, un tipyn, un tipyn, un tipyn."

Bu Mr. Richard James yn ymweled ag ef amryw weithiau, yn enwedig yn y rhan olaf o'i gystudd, o herwydd eu bod yn byw yn agos at eu gilydd, ac wedi bod bob amser yn gyfeillion mynwesol. Un tro dywedodd y claf wrtho, "Anwyl frawd, yr wyf yn dy garu yn fy nghalon, yr Arglwydd a'th ddalio di hyd y diwedd. Yr wyf yn credu y geiriau a glywais o dy enau am athrawiaeth rhad ras, ac y mae eu heffeithiau hwynt yn fy ymgaloni yn awr, yn fy ymgaloni yn awr. Cofia ddewis testyn ag a farnot ti yn addas, a phregetha oddiarno yn y ty, cyn cychwyn a fy nghorph tua Llanwenarth." Atebwyd ef fod y testyn wedi ei ddethol, os byddai cyfle a galwad i bregethu ; darllenwyd ef ; yntau a ddywedodd ei fod yn foddlon iawn, a'r Arglwydd a'i bendithio.

Y Sabboth cyn ei farwolaeth, tua naw o'r gloch y boreu, daeth amryw o'r cyfeillion i ymweled ag ef. Dymunodd arnynt i aros ychydig amser gydag ef, gan fod amser ei ymddatodiad bron a dyfod ; a meddyliasant bob mynyd fod ei ysbryd yn ehedeg ymaith ; ond adnewyddodd ei nerth ychydig drachefn, a dywedodd wrthynt, "Ewch chwi bellach i'r addoliad." Yn y prydnawn daeth amryw o honynt i ymweled ag ef eilwaith, a gwelsant oll ei fod yn adfeilio bob awr, ac arwyddion ei fod bron yn anadlu yr anadl olaf. Gofynodd iddynt ddarllen y benod gyntaf o'r Ephesiaid, a dywedodd, "Gweddiwch a chenwch yn ol y cymorth a gaffoch." Cydsyniasant, a chawsant gyfarfod anarferol o hwylus. Canasant amryw o hymnau, a'r claf yn cydganu mewn hwyl nefolaidd. Ymddangosai wrth ei fodd yn neillduol wrth ganu yr emyn canlynol :

> **"Ar Galfaria gwelwyd Iesu**
> **Dan y goron ddrain yn gwaedu ;"**

"Pa ddull ?" meddai y claf.

> **"Wedi ei hoelio draed a dwylo,"**

"Dros ba hyd ?" meddai y claf, eto.

> **"Nes i Seion gael ei chlirio."**

Atebodd y claf drachefn, "Iē, dim yn mhellach—y moliant fyddo iddo byth."

Meddianodd wasanaeth ei synwyrau hyd y diwedd. Rhoddodd amryw orchymynion i'r gweithwyr ag oeddynt o dan ei ofal yn ngweithiau haiarn G. Brewer, Ysw., a'i Gwmpeini. Rhoddodd hefyd amryw gyngorion i'w wraig a'i blant, fel pe buasai yn ngrym ei iechyd. Dywedodd wrth ei wraig, "Yr wyf bron yn ymadael â thi, a thi a'm canlyni mewn ychydig amser ; ond ni ddychwelaf fi atat ti." Dywedodd wrthi hi a'r plant gyda'u gilydd, "Peidiwch galaru na thristâu ar fy ol i ; mae gofid mawr wedi bod arnaf o herwydd fy mod wedi pechu cymaint yn erbyn Duw mor dda, a Thad mor dirion ; ond mi a wn yn awr fod fy mhechod wedi ei faddeu." Yn ngwydd amryw o'i gyfeillion, yn mhlith pa rai

yr oedd Mr. Richard James, efe a godadd ei lygaid tuag i fyny, gan ddywedyd, "Dyma wledd-dda genyf fi; dyma genyf fi wely i orwedd; dyma gyfeillion at fy ngwasanaeth, a gwin i wlychu fy ngenau; ond am danat ti, Iesu mawr, rhyfel â holl allu y tywyllwch a gefaist ti; pren y groes a gefaist ti i orwedd arno; gelynion oedd nesaf atat ti; gwinegr a bustl a gefaist ti i'w yfed. Mae dynion i mi fel angylion Duw; yr ydwyt ti yn fy naddu i wrth y fodfedd, ond mae pob ergyd yn ei le. Canaf am drugaredd, canaf am farn hefyd, canaf." Yr oedd ei boenau yn cynyddu tua'r dyddiau olaf, yn enwedig tua'r hwyr. Clywyd ef amryw weithiau yn gweddio, gan ddywedyd, "Arglwydd Iesu, dere heno, dere heno. O Arglwydd, maddeu os ydwyf yn pechu wrth hyn yma, canys yr wyf yn credu y deui, yn dy awr dy hun y deui." Yn agos i'w oriau olaf, dywedodd wrth ei wraig, yr hon oedd yn sefyll wrth ochr ei wely, yn wylo yn chwerw, a'r dagrau yn llifo dros ei gruddiau, "Y mae angau yn gweithio ynof, na wyla ddim, na wyla ddim, O fy mhriod, canys mi a wn fod fy mywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw."

Bu farw ar y 26ain o Fedi, 1827, yn 80 mlwydd oed. Gwisgwyd ei gorph â'r amwisg yr hon a brynasai efe er ys deng mlynedd yn ol. Daeth tyrfa fawr o bobl i'w angladd; traddodwyd pregeth yn y ty cyn cychwyn â'r corph allan, gan Mr. Richard James, oddiar Bren. 22: 20: "Wele, mi a'th gymeraf di ymaith at dy dadau, a thi a ddygir i'th fedd mewn heddwch." Wedi dybenu codwyd y corph. Yr oedd wedi rhoddi gorchymyn i ganu yr holl ffordd, os caffent nerth; a dywedodd, "Mi fyddaf finau yn canu heb dewi byth. Gwnaethpwyd yn ol ei orchymyn, er ei fod yn beth anarferol yn mhlith y Bedyddwyr; a chafwyd nerth i ganu am amryw filldiroedd; a phan ddaethant i dy cwrdd Llanwenarth, traddodwyd pregeth briodol gan y Parch. F. Hiley, oddiar y testyn ag oedd wedi ei orchymyn yn ei glefyd; a chladdwyd ei gorph yn mynwent y ty crybwylledig, ar yr 28ain o Fedi, 1827. Yr oedd dydd ei gladdedigaeth yn un hynod iawn o barth yr oedfaon gwlithog a gafwyd, lluosogrwydd anarferol y dyrfa a ymgasglasant i'w hebrwng, a'r wedd sobr a thrist oedd ar wynebau ei gymydogion, a phawb o'i frodyr, o herwydd y golled a gafwyd trwy syrthiad milwr dewr yn myddin Iesu.

---

## NODWEDDION Y GWIR BWLPUD.

GAN Y PARCH. FRED. EVANS (EDNYFED).

### PENOD I.

Mae yr eglwys wedi profi ei hun ar bob adeg yn gyfeilles i addysg. Mae wedi cefnogi dan bob amgylchiad ysbryd ymchwiliad. Nid yw yn gyfrifol am ymddygiad rhai, a alwant eu hunain yn Gristionogion, y rhai a gyplant anwybodaeth a defosiwn, ac a gadwant y werin mewn tywyllwch dudew fel ag i'w hanalluogi i ganfod a dirnad anfadwaith yr offeiriaid. Nid yw yr eglwys wedi ei brawychu gan ymffrost gwyddonwyr amheus, y rhai sydd wedi taflu gweddi dros y bwrdd, a chymysgu yr Anfeidrol â phethau gwael y llawr. Y mae'r haul yn rhy uchel yn y ffurfafen i awel oer y gauaf chwythu arno, ac y mae hyn yn ddarlun cywir o sefyllfa haul gwybodaeth yn ffurfafen foesol y byd. Nid oes gan Gristionogaeth ddim i'w ofni oddiwrth ymlediad gwybodaeth; yn wir, amcana i gynyddu cylchrediad

pob math o lenyddiaeth iachus. Ymegniodd rhai gorseddau i lethu gwybodaeth, rhuodd y teirw Pabol yn ffyrnig er ei dychrynu, ond iaith y Pwlpud Cristionogol oedd, "Llwydded, llwydded yn y blaen." Nis gellir tynu darlun ystlymyn ond mai y tywyllwch yw ei gartrefle. Condemnir anwybodaeth gan gymdeithas, ac y mae'r dydd wedi cerdded yn rhy bell iddo gael ei oddef yn yr areithfa, a bydd y pwlpud yn y dyfodol yn berffaith rydd oddiwrtho. Mae y ffordd i'n hathrofeydd mor rhydd o rwystrau fel nad oes gan bregethwyr a gweinidogion ieuainc yr oes hon unrhyw esgusawd dros waith bongleraidd yn y pwlpud. Pe pregethwn ar y pwnc hwn, cymerwn fy nhestyn o 1 Cor. 3 : 21, 22. Un o nodweddion y gwir bwlpud yw:

I. Deall. "*Ai Paul?*"

Credwyf mai dyma un o nodweddion penaf pregethu anghydmarol Apostol mawr y Cenedloedd, a dyma un o deithi enwog y gwir bwlpud yn yr oes hon. Mae yr oes yn hawlio hyn, ac ni oddefa i'r areithfa gael ei hiselhau gan anwybodaeth a diffyg chwaeth. Gwna un eglwys (?) ei hoffeiriaid yn ddysgedig, ond ceidw ei haelodau mewn tywyllwch; rhaid i hyn fyned heibio, canys y bobl a fynant rywbeth heblaw ychydig o wybodaeth glasurol; rhywbeth mwy nag "ychydig o Ladin a llai o Roeg." Mynant wybodaeth gyflawn, deall clir, synwyroldeb llwyr, yr hyn yw gogoniant amryw o'n hareithfeydd yn y dyddiau rhyfedd presenol. Mewn un ystyr ymddibyna nerth llawer pwlpud ar anwybodaeth y gwrandawyr, ond ni ddylai hyn fod; canys rhaid i nerth y gwrandawyr ddyfod o ddeall a gwybodaeth y pwlpud. Gwneler y sedd a'r areithfa yn drigleoedd dealltwriaeth. Mae yna wahaniaeth dirfawr rhwng yr hyn a eilw rhai pobl *ysgolheigdod*, a gwir wybodaeth. Yr ydoedd pysgotwyr Galilea yn ddynion plaen, deallus a gwybodus, a phan y derbyniasant y comisiwn oddiwrth eu Hathraw mawr, yr oeddent yn hyddysg yn y gwirioneddau mwyaf aruchel. Yr oeddent oll yn berffaith barod i'w gwaith. Gofynai rhywun, "Pa beth yw y moddion goreu i ddyddori cynulleidfa ddifater?" Yr atebiad oedd, "Rhoddwch i'r gynulleidfa rywbeth gwerth sylw." Yn amser yr apostolion ordeiniwyd diaconiaid er eu rhyddhau o ddyledswyddau arbenig, ond dysgwyliwyd mwy oddiwrthynt fel pregethwyr. Yn bresenol rhyddheir y gweinidogion gan y diaconiaid a'r *trustees* o gyflawni llawer o ddyledswyddau, ond dysgwylir mwy oddiwrthynt fel pregethwyr. Mae newyddiadur y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg yn offeryn hynod iawn, ac yn gyfrwng hynod effeithiol i drosglwyddo gwybodaeth i bob cyfeiriad. Trinir pynciau gwleidyddol gan ein masnachwyr; siaradir yn ddeallgar gan ein crefftwyr ar bynciau gwyddonol; dadleuir yn feistrolgar gan lafurwyr ar bynciau duwinyddol yr oes; ac y mae yn rhaid i'r pregethwr nid yn unig fod yn gyfartal iddynt, ond yn mhell o'u blaen.

Mewn duwinyddiaeth, dylai y pregethwr fod yn annhraethol fwy hyddysg na'i wrandawyr; os nad ydyw, byddai yn anrhydedd i'r weinidogaeth pe cefnai arni, ac y manwl chwiliai am ryw faes arall. Dysgwylir i'r meddyg fod yn fwy cyfarwydd mewn physigwriaeth nag mewn morwriaeth; dysgwylir i'r cyfreithiwr esbonio Blackstone yn rhwyddach nag egluro Newton; a dylai y pregethwr fod yn fwy cartrefol yn y pwlpud nag yn y farchnad neu'r ffair.

Mae gan lawer wybodaeth hynod

brin o'r Groeg; carant siarad am nodweddion arbenig yr Hebraeg; soniant am brydferthwch a symlrwydd y *gwreiddiol;* amcanant esbonio Llyfr y Datguddiad trwy nerth *algebra,* ond nis gallant yn ei byw esbonio penod, darnio adnod er ei gweled yn ei holl ranau, neu bregethu pregeth ddeallus a nerthol. Creda rhai pobl os y gallant ddefnyddio y *Lexicon,* ysgwyd esgyrn Homer, Virgil, Sallust, Cicero, &c., o flaen llygaid y gwrandawyr, eu bod wedi gwneyd mwy nag a wnaeth Ezekiel yn ystod ei fywyd; meddyliant eu bod yn hynod ddysgedig, eithr wedi y cyfan nid ydynt yn bregethwyr goleuedig, ac ni fedrant brofi fod gair Duw yn llymach na chleddyf dau-finiog. Yr oedd Paul yn siaradwr syml, ac yn ymresymwr cadarn. Ni wnaeth arddangosiad rhodresgar o'i ddysgeidiaeth, ond plygodd yr oll yn isel wrth y groes, a gwnaeth i'w holl adnoddau fel ysgolhaig ei wasanaethu fel un yn benderfynol o beidio gwybod dim ond "Iesu Grist, a hwnw wedi ei groeshoelio." Bydd y pregethwr goleuedig yn berffaith gyfarwydd â phob ffaith a damcaniaeth, pob dygwyddiad a darganfyddiad, a ddeuant mewn cysylltiad â duwinyddiaeth; parod fydd i gyfarfod a'r Ellmyn rhydd-feddyliol ar ei dir ei hun, y Ffrancwr amheuol, y Gwyddel ofergoelus, yr *Yankee* bydol, a phrofi iddynt waelder y sylfaen ar yr hon yr adeiladant, a chyfeirio eu meddwl a'u serch at bethau teilwng o gariad y galon a nerth y meddwl. Ymddifada yr hudoledig o'r cleddyf â'r hwn yr ymegnia dori y cysylltiad a fodola rhwng rheswm a ffydd, ac yn ei le dyry iddo ffon gadarn gref ar yr hon y gall orphwys yn dawel a digyffro, a gweled ar yr un adeg berffaith gydgordiad rhwng gwirioneddau gogoneddus y datguddiad Dwyfol a galluoedd enaid dyn. Siaradwyd pethau celyd iawn am y pwlpud, ond nid heb reswm ar adegau. Dyma eiriau y synwyrol Benjamin Franklin: "Yn awr meddylia pob offeiriadyn bychan mai dyledswydd pawb o fewn cyrhaedd yw eistedd dan ei weinidogaeth bitw ef." Am y gwir bwlpud, y mae wedi ei anrhydeddu gan hyd yn nod anffyddwyr. Parchai Voltaire enw Bossuet, a darllenai ei bregethau; a theithiai Hume filldiroedd lawer i glywed Whitfield yn cyhoeddi "anchwiliadwy olud Crist."

Er cael allan fedrusrwydd y meddyg, nid ydych yn ymddibynu yn llwyr ar ei radd-lythyrau a'i freintebau; felly gyda golwg ar y pregethwr. Rhaid i'r meddyg ddangos ei allu yn yr ystafell lle y gorwedda y claf, a rhaid i'r pregethwr ddangos ei nerth yn y pwlpud, o flaen cynulleidfa o saint a phechaduriaid. Edrycha y byd goleuedig gyda mwy o bleser ar y teitlau, S. E., (Siaradwr Eglur,) ac Y. C., (Ymresymwr Cadarn,) nag ar D. D., oblegid gall y ddwy lythyren hyn sefyll mewn llawer o engreifftiau dros "Dyn Dwl," "Duwinyddwr Dilun," "Daroganwr Dibwynt," &c. Gofyna yr oes oddiwrth y pwlpud, feddwl iachus, gwefusau syml, calon dwym, gwirioneddau ymarferol, a meddyliau cysegredig. Er rhoddi i'r oes yr hyn a hawlia, rhaid i'r pregethwr lafurio yn galetach na'r meddyg, y cyfreithiwr, y cerddor, y crefftwr, y masnachwr, ïe, yn galetach na neb arall. Yr hwn a edrycha ar y bywyd gweinidogaethol fel bywyd esmwyth, a wna gamsyniad enbyd.

Dywed rhywun fod yn rhaid i'r pwlpud fod "fel y wialen fellten (*lightning rod*), yr hon ni niweidir trwy ei pherthynas â'r awyr i'r hwn yr ymestyn, yr hon ni ddifwynir â'r ddaear,

yn yr hon yr ymguddia yn rhanol, ond yr hon a arweinia y goleuni fry i'r tywyllwch isod, ac a bura y cymylau fry ac a wefreiddia y ddaear isod, yr hon a saif ddydd a nos gan gyfeirio bob amser at y nefoedd." Y pwlpud, ac nid tai yr aelodau, sydd i fod yn sedd gallu y gweinidog. Na fydded i'w ymweliadau ymyraeth â'i waith yn y pwlpud. Os na ellir gwneyd rhai aelodau deimlo dyddordeb yn yr eglwys heb dalu ymweliad mynych a hwynt, yna gadawer iddynt fyned i'w lle ei hunain, canys nid yw eu presenoldeb yn yr eglwys ond melldith mewn modd anuniongyrchol. Dylai y pregethwr fod yn fugail; dywed rhai y dylai fod yn efengylwr; ond hyn mi a wn, dylai fod yn alluog fel pregethwr, hyd yn nod ar draul gosod o'r neilldu waith bugail ac efengylwr. Rhaid i bob peth fod yn is-raddol i'r gwaith goruchel o bregethu "efengyl gogoniant y bendigedig Dduw." Ein Gwaredwr yw ein Hathraw, ac fel y darfu iddo ef gynhyrfu meddwl y werin, nid â meddyliau cyffredin, gwirioneddau dibwys, ond â meddyliau mawrion a gwirioneddau aruchel. Y fath gynddelw a gafodd y dysgyblion am dair blynedd. Y fath athraw a gafodd y pysgotwyr! O, dair blynedd o addysg digyffelyb!! Pwy feiddia ddweyd mai pregethwyr cyffredin oeddent wedi y fath gwrs o addysgiaeth? Yr oedd pregethwyr yr oesoedd boreuaf yn wybodus, ïe, yn ddysgedig. O'r bumed hyd y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg, nid oedd pregethwyr goleuedig a dylanwadol ond bychan mewn nifer, a dyma yr amser y daeth y fath ddywediadau yn gyffredin, "Mor anwybodus ag offeiriad," "Anwybodaeth yw mam defosiwn," "Gwyr ein hathrawon crefyddol fwy am dynu gwinoedd o gostrelau, nag am dynu gwybodaeth o lyfrau," medd un a fuasai fyw yn amser Luther. Ni fydd hyn yn gymwysiadol at y gwir bregethwr. Dywed Francis Wayland y dylai "y bregeth fod y testyn wedi ei ddadblygu, a'r testyn y bregeth wedi dwyshau." Cofier fod yn rhaid i *ddeall* fod yn un o brif nodweddion y gwir bwlpud.

---

## "FY NUW."

GAN Y PARCH. C. H. SPURGEON.

[Allan o bregeth a draddodwyd ganddo yn y Metropolitan Tabernacle, Llundain, nos Iau, Mawrth 30, 1876. Cyfieithiedig yn benodol i'r WAWR.]

PSALM XCI. 2.

I. Gadewch i ni feddwl am *y ddau air hyn yn nghyd.* Ac i ddod atynt, gadewch i ni weled pa bryd y maent wedi dygwydd yn yr hanes cysegredig. Gadewch i ni ystyried rhai o'r adegau mwyaf hynod ar ba rai y darfu plant Duw arfer y geiriau hyn yn nghyd, ac y dywedasant, "Fy Nuw."

Yn gyntaf, *Dyma gyffes foreu y dychweledig ieuanc.* Yr engraifft a ddygwn yw Ruth, yr hon a ddywedodd yn serchog wrth Naomi, "Canys pa le bynag yr elych di, yr af finau, ac yn mha le bynag y lletyech di, y lletyaf finau; dy bobl di fydd fy mhobl i, a'th Dduw di fydd fy Nuw inau." Y penderfyniad diweddaf yna ydoedd gyfaddefiad o gyfnewidiad ysbrydol. Gallasai fod yn benderfynol o letya ac aros gyda ei mam-yn-nghyfraith, ac na fuasai nemawr yn y peth, ond pan y daeth i hyn—"a'th Dduw di fy Nuw inau," yna yr oedd gobaith ei bod wedi ei gwaredu drwy ras Duw o gaethiwed eilun-addoliaeth, ac wedi dod i roddi ei hymddiried o dan adenydd y Jehofah, y Duw byw. O, ddychweled-

igion ieuainc anwyl, os yw yr Arglwydd wedi dangos i chwi eich cyflwr pechadurus, ac wedi eich arwain chwi at Iesu Crist, i ganfod bywyd ac iachawdwriaeth, chwi a ddeuwch yn mlaen, a rhoddi eich hunain i'r Arglwydd, gan ddywedyd, "Byddaf yn was i ti, canys fy Nuw ydwyt." Bydd i chwi yn nesaf roddi eich hunain i'r eglwys yn ol ewyllys Duw, ac hysbyswch yr eglwys eich bod yn gwneyd felly, oblegid o hyn allan y bydd Duw yr eglwys a Duw yr Arglwydd Iesu Grist yn Dduw i chwi. Eich bod yn bwriadu cartrefu gyda phobl yr Arglwydd, a byw a marw gyda hwy, oblegid eu Duw hwy yw eich Duw chwi.

Mae rhai o honoch chwi a argyhoeddwyd yn ddiweddar, neu yn proffesu eich bod felly; yr wyf yn hyderu fod eich proffes yn drwyadl wirioneddol; ond byddwch yn sicr o chwilio eich hunain. A ydych wedi cymeryd Duw yn Dduw i chwi? Nid i fod yn enw yn unig i chwi, nac fel gair cysegredig i ganu yn ei gylch, neu weddio yn ei gylch, ond fel Duw gwirioneddol i chwi. A yw Duw mewn gwirionedd eich *Duw?*—oblegid os ydyw, efe a reola eich enaid, efe a ddarostwng eich holl ysbryd, ac a ysgwyd ei deyrnwialen dros eich holl galon. Nid oes unrhyw ddyn wedi ei wir ddychwelyd hyd nes y byddo i Dduw gymeryd ei le iawn mewn perthynas iddo ef. Mae y drygionus yn anghofio Duw; mae gwyr Belial yn herio Duw; mae yr anffyddiwr yn gwadu Duw; ond mae plentyn Duw a Duw yn *eiddo* iddo, yn plygu i'w awdurdod, ac yn rhoddi iddo orsedd ei galon. Nid ydyw yn rhoddi i'r Arglwydd ail le, ac yn goddef i hunan fod yn gyntaf, oblegid byddai hyny yn dwyfoli hunan, ac yn difrio yr Arglwydd; ond mae efe yn gwneyd Duw i fod yn *Dduw;* hyny yw, yn gyntaf a chyfan mewn awdurdod a gallu. Mae hyn yn arwydd sicr o wir ddychweliad, pan mae Duw yn *Dduw* yn eich enaid. Fel yr ydwyf wedi dweyd yn barod, nid yw Duw yn Dduw i lawer iawn; nid ydyw ond enw, a dim mwy iddynt hwy: ond pan y mae yn dod yn *Dduw* —ac mae hwna yn air mawr—pan y cymer y lle y mae y Creawdwr, y Gwaredwr, y Duw, i gymeryd, yna mae yr enaid wedi ei gyfnewid yn wir. Yn awr, pa un a argyhoeddwyd ni ddoe, neu a ydym wedi adnabod yr Arglwydd er's ugain, deg-ar-hugain, neu ddeugain mlynedd, yr wyf yn hyderu y gallwn gyfarch ein mam, yr eglwys, a dweyd fel Ruth wrth Naomi, "yn mha le bynag y lletyech di y lletyaf finau; dy bobl di fydd fy mhobl i, a'th Dduw di fy Nuw inau."

Gellir ystyried y geiriau hyn, yn y lle nesaf, fel *adroddiad o grediniaeth y Cristion.* Yr wyf yn tybio yma nid yn unig ei gyffesiad cyntaf o hono, ond ei adroddiad dilynol o hono. Dyma ydyw ein credo a chyffes ein ffydd. Cymerwch Thomas fel eglurhad. Mae efe wedi bod yn bur amheugar. Thomas, druan! ymddengys iddo gael gormod o ymenydd, a rhy ychydig o galon; yr oedd efe bob amser am ymladd ei ffordd drwy gwestiynau dyrys, ac am ateb gwrthddadleuon taeogaidd. Pe buasai byw yn awr, os na fuasai gras Duw wedi ei wellhau, buasai yn dduwinydd o "*feddwl diweddar,*" yn frawd beirniadol, yn awgrymu mwy o ddwfnbynciau nag a fedrai pawb eraill o honom eu hegluro. Rhaid iddo ef gael amlygiadau, olion a phrawfiadau, neu chreda ef ddim; ond y mae efe yn cael cydsynio â'i ddymuniadau, ac y mae y Gwaredwr yn caniatau iddo roddi ei

fys yn ol yr hoelion, a'i law yn ei ystlys, a phan y gwnaeth efe felly, y mae Thomas, trwy resymeg ddyeithr, ond bendigedig, yn tynu casgliad o dduwdod Crist o'i glwyfau. Efe oedd y cyntaf, yr wyf yn credu, a wnaeth hyny erioed, ond yn sicr nid y diweddaf; ac wedi penderfynu duwdod ei Arglwydd oddiwrth ei gorph, efe a waeddai, "Fy Arglwydd a'm Duw!"

Yn y dystiolaeth eglur a phendant hon am ddwyfoldeb ein Harglwydd, y mae pawb o honom yn cyduno. Mae yn gyffes galonog ffydd pob Cristion mewn perthynas i'r Arglwydd Iesu; nid oes dim lle i ddau feddwl ar y mater yna. Os oes unrhyw Gristionogion proffesedig yn y byd hwn nad ydynt yn galw Crist yn Dduw iddynt—wel, frodyr, y mae yn alarus genym am danynt, ac yr ydym yn gweddio ar i'r Arglwydd i roddi iddynt fywyd ysbrydol a goleuni; ond am danom ni, y *dyn* yr hwn a waedodd ar Galfaria, sydd "wir Dduw o wir Dduw" i ni, a hyny yn yr ystyr eangaf a dyfnaf. Fel mae yr angylion yn plygu o'i flaen, felly gwnawn ninau; yr ydym yn ei gyfrif yn *deilwng i dderbyn anrhydedd a gallu dwyfol.*

Y mae llawer o wahaniaeth barnau yn eglwys Dduw, a ellir eu goddef, ond y mae hwn tu draw i bob dadl, ac ni all byth fod yn fater i'w amheu. Yma y mae yn rhaid i'n gwrthwynebiad i gyfeiliornad fod yn gadarn ac yn ddealladwy. Edmygais sylw a wnaed unwaith yn llawen gan William Gadsby, pan ydoedd capel Undodol wedi ei gyfodi yn ymyl lle addoli i'r Bedyddwyr. Mae yr hanes wedi cael ei ddyweyd wrthyf fi, fod rhywun yn y *festri* mewn trallod mawr o herwydd yr amgylchiad, ac yn dweyd y fath wrthwynebiad trwm ydoedd. Dywedodd Gadsby, "Wel, ddyn, nid wyf fi yn gweled yr un gwrthwynebiad ynddo." "Ond yn sicr mae yn wrthwynebiad mawr, Mr. Gadsby; maent yn gwadu Duwdod Crist." "Beth, ddyn," ebai Mr. Gadsby, "nid yw hyna yn wrthwynebiad. Tybiwch eich bod yn cadw siop pobydd, ac yn gwneuthur bara da, a bod dyn yn dyfod ac yn agor siop nwyddau haiarn gyferbyn, a alwech chwi hyny yn wrthwynebiad? Na wnaech yn sicr, y mae yn llinell hollol wahanol." Ac felly y mae. Lle yr ydym yn pregethu dwyfoldeb Crist, dyna un linell o bethau; ond lle mae hyny yn cael ei wadu, ni allwn ei ystyried yn ffurf arall o Gristionogaeth, y mae yn beth arall yn hollol, mor wahanol ag a fyddai haiarn oddiwrth fara. Ni allaf weled pa fodd y gall Iesu Grist fod yn unrhyw beth ond un o ddau beth—naill ai yn Fab Duw neu ynte yn dwyllwr mawr, yr hwn a oddefodd i'w ddysgyblion feddwl am dano yn ddwyfol, a defnyddio rhinweddau ei gymeriad i ategu ei hawl; yn dwyllwr mwy oblegid ei fod yn meddu syniad moesol llednais, ac eto yn defnyddio rhinwedd ei hunan i gynorthwy ei uchelgais cableddus. Naill ai Duw neu ynte archdwyllwr mae yn rhaid ei fod. Frodyr, ni fynwn ddarnguddio pethau ar y mater yna. Mae caredigrwydd yn burion, ond mae gwirionedd yn dod yn gyntaf. "Yn gyntaf pur, wedi hyny heddychlawn," sydd yn rheol dda i'n barn am y fath faterion. Ar y pwnc o dduwdod ein Harglwydd, ni allwn am fynyd betruso; nid ydym yn unig yn credu am Iesu Grist ei fod yn Dduw, ond yr ydym yn anturio ein tynged dragywyddol ar y gwirionedd yna! Yr wyf fi yn ddyn colledig, yr wyf yn gwybod, ac i mi ni all fod dim ond distryw tragywyddol o wydd yr Arglwydd, os nad yw y Gwaredwr Crist, yn ddwyfol!

Ond *y mae efe yn ddwyfol.* Daliwn hyn yn nanedd pawb dynion fel cyffes ein ffydd—Iesu Grist, Mab y Goruchaf, gwir Dduw o wir Dduw, yw fy Arglwydd a *fy Nuw.* Fel hyn, ynte, *fy Nuw* ydyw cyffes ffydd gyntaf ac olaf y rhai ag sydd dan y cyfamod newydd. Mae yn ddywediad y baban mewn gras, a'r rhai sydd yn hynach Cristionogion.

Yn mhellach, fy mrodyr, mae y geiriau "*fy Nuw*" wedi bod yn cael eu defnyddio yn aml i osod allan *benderfyniad y credadyn pan y byddai wedi ei amgylchynu gan wrthwynebwyr ac erlidwyr.* Ardderchog y defnyddiodd Micaiah hen yr ymadadrodd hwn pan oedd y prophwydi gau yn ei amgylchynu. Prophwydi a honent fod yn ysbrydoledig a draethent eu horaclau, a dywedai Micaiah hen, "Fel mai byw yr Arglwydd, pa beth bynag a ddywed fy Arglwydd wrthyf, hyny a lefaraf." Dim llai na dim mwy a lefarodd efe, oblegid credai efe yn Jehofah fel ei Dduw, ac ymostyngai ei hunan yn hollol i reolaeth Jehofah. O, chwi y rhai a alwch eich hunain yn bobl i Dduw, byddwch barod bob amser i sefyll i fyny dros Jehofah, yn mha gwmpeini bynag y gallwch fod; canys y mae llawer o dduwiau a llawer o arglwyddi yn ein gwlad, y dydd hwn; ac mae tyrfaoedd o Gristionogion proffesedig wedi troi ymaith oddiwrth addoli Duw Israel. Y maent wedi gosod i fyny dduwiau newyddion, ac y mae y *Tragywyddol* yn cael ei ddiystyru. Dywedant wrthym mai datguddiad anolygus a garw ydyw yr Hen Destament; nad yw Duw Abraham, ac Isaac, a Jacob, mewn modd yn y byd yn Dduw eu dychymyg hwy, canys y mae efe yn rhy ddychrynfawr, yn rhy lymdost, yn rhy gyfiawn. Mae arnynt eisiau Duw mwy tyner ac addfwyn, a honant fod Iesu Grist wedi dadguddio duw hollol wahanol i Dduw yr Hen Destament. O, frodyr, yn hyn y maent yn cyfeiliorni yn fawr, oblegid yr Arglwydd nid yw yn newid, ac y mae efe yr un heddyw o dan yr efengyl, ag oedd efe ddoe o dan y gyfraith. Yr ydym ni yn credu yn Nuw Abraham, Isaac, a Jacob, "Duw yr holl ddaear y gelwir ef." Yr ydym ni yn addoli Duw Israel, y Duw a wnaeth y nefoedd a'r ddaear, Duw y Môr Coch, y Duw a lefarodd yn y daran o Sinai. Yr ydym ni yn credu na ddaeth Iesu Grist ddim i ddatguddio i ni Dduw newydd, ond i hysbysu i ni y Duw oedd o'r dechreuad. Yr eiddom ni yw cân Zacharias: "Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw Israel, canys efe a ymwelodd ac a wnaeth ymwared i'w bobl; ac efe a ddyrchafodd gorn iachawdwriaeth i ni, yn nhy Dafydd ei wasanaethwr; megys y llefarodd trwy enau ei sanctaidd brophwydi, y rhai oedd o ddechreuad y byd." "Y Duw hwn yw ein Duw ni byth ac yn dragywydd, efe a'n tywys ni hyd angau."

Ond ni allaf ymdroi yma. Rhaid i mi eich cael i sylwi yn nesaf, fod y geiriau hyn, "Fy Nuw" wedi gweinyddu y cysur mwyaf dichonadwy i blant Duw mewn amseroedd o drallodau dirfawr. Pan oedd ein hanwyl Arglwydd a'n Meistr yn ei gyfyngder mwyaf, pan oedd holl donau a llifeiriant cyfiawnder yn myned dros ei enaid, y cri a ddaeth oddiwrtho yn man eithaf ei drallod ydoedd, "Fy Nuw! Fy Nuw!" Gwir, ei fod yn cael ei ddilyn gan y gofyniad, "Paham y'm gadewaist?" ond eto ymddangosai yn cymeryd gafael yn Nuw fel gyda chydiad *dwy law,* pan y dywedai, "*Fy Nuw! Fy Nuw!*" Ni ddywedodd efe, "Fy nysgyblion;" yr oeddynt hwy oll wedi

ei adael ef. Ni allai efe alw yn mlaen ei fam a'i frodyr; yr oeddynt hwy yn analluog i ddyddanu. Ni allai yr un fraich angylaidd na dynol weinyddu i'w gynorthwyo; yr oedd efe yn unig yn nghrafangau angau, yn ddiborth a digymorth, wedi ei adael gan ddaear a nefoedd, ac wedi ei adael yn ysglyfaeth i alluoedd y tywyllwch; ond hwn—hwn oedd y cri a'i cadwai ef yn fyw, ac a roddodd nerth iddo i ddal hyd yn nod i'r diwedd. *"Fy Nuw,"* ebai efe, "nid ydynt wedi fy ysbeilio o honot ti. Fy Nuw, gwnaf eto apelio atat ti. Er dy fod yn cuddio dy wyneb, ac yn ymddangos fel yn fy ngadael, eto yr wyf yn gwybod dy fod o hyd yn eiddof, a daliaf afael arnat yn dyn hyd y diwedd." *"Fy Nuw, Fy Nuw!"* Ni fydd raid i chwi byth ddefnyddio y geiriau hyn yn y fath eithafion o ddyoddefiadau; ond os bydd i chwi byth ddod yn y dyfodiant i ddyfroedd dyfnion, bydded i chwi gael gras i ddweyd, "Fy Nuw!" canys os gwnewch, byddwch yn fuan yn alluog i floeddio, "Gorphenwyd."

"Fy Nuw," sydd nodyn cariad yn nyddiau heddwch, a bloedd rhyfel yn oriau brwydr; mae yn nerthol mewn amseroedd o lawenydd, ond y mae yn fwy grymus fyth ar nosweithiau galar. Y dyn yr hwn a all ddweyd "Fy Nuw," sydd gystadlydd addas i angau ac uffern. Gyda'r gwilied-air yna bydd iddo orchfygu pechod, a dadymchwelyd holl luoedd y byd, y cnawd, a'r diafol. Yn yr arwydd hwn gelli orchfygu; gwilied-air buddugoliaeth yw "Fy Nuw."

II. Gadewch i ni sylwi, yn fyr, yn yr ail le, beth yw ystyr y gair cyntaf hwn, *"Fy,"*—FY NUW. Yn mha ystyr a moddau y gall Duw fod yn eiddo i mi? "Mae ei drugaredd ar ei holl weithredoedd." Ni allaf amgylchynu ei haelfrydedd â chlawdd, neu osod terfynau i'w dosturi. Pa fodd, gan hyny, y gallaf ei alw yn eiddof? Gellir mapio a mesur y tiriogaethau eangaf; ond pa fodd y gallaf alw hwnw yn eiddo i mi, yr hwn ni allaf ei ddirnad? Os na ddichon fy meddwl ei amgyffred, a fydd i'm calon ei feddianu? Bydd, bydd, felly mae y testyn yn dweyd, "Fy Nuw." Mae cariad yn meddianu pethau na fedr rheswm gymaint ag edrych arnynt.

Eto, beth a dybia yr hawl hyf hwn? Beth, rhaid ei fod yn tybio hyn, yn mhlith pethau eraill. Yn gyntaf, fy *mod i yn ei feddu ef i fod yn Dduw i mi.* Pa dduwiau bynag a all fod gan eraill, Jehofah sydd Dduw i mi. I bwy bynag y gall Jehofah fod yn enw, y mae efe yn Dduw i mi; ac fel Tad, Mab, ac Ysbryd, tri pherson mewn un duwdod bendigedig, addolaf ef. Gall gael ei ddiystyru a'i wrthod; gall fod enwau eraill yn cael eu gosod i fyny i gystadlu ag ef; ond i mi—*i mi,* yr unig Dduw ydyw. Dymunwn eich bod chwi yn y gynulleidfa yn gallu dweyd oll ar unwaith, o eigion calon, ac yn y modd mwyaf hyglyw, "Gwnaed eraill fel y b'ont yn dewis, ond am danaf fi a fy nhŷ, nyni a wasanaethwn yr Arglwydd." Yr wyf yn gobeithio y bydd i chwi y dydd hwn addunedu eich hunain i fod yn bobl iddo, a chymeryd Duw Israel, Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, i fod yn Dduw i chwi. Mae hyna yn rhan o'r ystyr. Hawlio yr Arglwydd yn Dduw i chwi.

Ond, yn nesaf, mae y geiriau yn *tybio adnabyddiaeth bersonol o hono.* Venus, a Jupiter, a Bacchus, yr hen dduwiau hyny yn Groeg a Rhufain, yr ydym oll wedi siarad am danynt fel dychymygion a ffugion, ond fel duwiau sylweddol, ni wnawn gyfrif o honynt, nid

ydynt yn dduwiau i ni. Yr ydym wedi clywed hefyd am Juggernaut, ac am filoedd a miliynau o dduwiau Hindostan, ond ni feddwn un adnabyddiaeth o honynt hwy. Yr wyf wedi teimlo yn ddiolchgar pan y gwelais ddarluniau o Krishna a Siva, nad oeddynt yr un berthynas â mi. Y mae un duw gyda phen elephant, a duw arall gyda phen cath; yr wyf yn cael mwynhad wrth feddwl na fum i erioed ar amodau siarad â'r fath angenfilod, ac na allais erioed eu galw yn eiddo i mi Os ydynt yn dduwiau i eraill, nid ydynt i mi; nis adnabyddwn hwynt, diystyrwn eu henwau, a'u honiadau a anmharchwn. Ond frodyr, yr ydym yn adnabod EIN Duw. Mae yn wir na welsom ef erioed. "Nid oeddych yn gweled llun dim," meddai efe, "pan y llefarodd wrth ei bobl o ben Sinai. Ni chlywsom chwaith ei lais ef un amser, na gweled ei ffurf;" eto fel mae ysbrydoedd yn siarad wrth ysbrydoedd, yr ydym wedi gwybod am weithredoedd Ysbryd Duw ar ein hysbrydoedd; yr ydych chwi a minau yn gwybod y buom yn cael effeithio arnom gan ysbrydoedd y naill a'r llall. Y nos hon, tra yr wyf fi yn llefaru, mae fy ysbryd i yn dal cyfrinach a'ch hysbryd chwi, a'r eiddoch chwi a finau. I raddau pell, yr un ffordd mae yr Ysbryd Glan yn ei weithrediadau dirgelaidd yn dyfod i gysylltiad â'n hysbrydoedd ni. Nid ydym yn ei weled, yn ei glywed, yn ei flasu, na'i arogli; y cyfryw ydynt gyfryngau y twyllir ni ynddynt. Yr ydym yn ffurfio adnabyddiaeth ag Ef â'r gyneddf fewnol a digyfeiliorn a grewyd ynom ar adeg ein troedigaeth.

---

Dydd marchnad enaid yw dydd yr Arglwydd, ac nid dydd gloddest i'r corph.—*Toplady*.

## GORCHYMYNION MOESOL A PHENDANT.

GAN Y PARCH. B. W. THOMAS, HYDE PARK.

Arfera duwinyddion ranu y gorchymynion i ddau ddosbarth, sef gorchymynion moesol a gorchymynion pendant. Moesol yr ystyrir y Deg Gorchymyn, a rhestrir y ddeddf seremoniol, ac ordinhadau y Testament Newydd yn y dosbarth pendant. Credwn fod taenellwyr a Bedyddwyr yn cytuno yn y dosbarthiad hwn, a'u bod yn gwahaniaethu yn benaf yn y casgliad a dynir oddiwrtho. Pa un a'i gwneyd ufudd-dod llythyrenol i'r gorchymyn yn *fwy* neu yn *llai* pwysig mae y ffaith mai ordinhad bendant yw bedydd? Dichon fod cnewyllyn y ddadl fedyddiol, yn ei hagwedd bresenol o leiaf, yn y gofyniad hwn. Cymer y Bedyddwyr yr olwg flaenaf ar y cwestiwn, a'r taenellwyr yr olaf. Addefir heddyw gan bob dyn fedd gymwysder i draethu barn ar y pwnc, mai trochiad credinwyr oedd y bedydd a sefydlwyd gan Grist ac a arferwyd gan yr apostolion; ond dadleua taenellwyr nad yw y *dull* na'r *deiliaid* o nemawr bwys, gan mai ordinhad bendant yw bedydd. Dadleua y Bedyddwyr, o'r ochr arall, fod natur bendant y sefydliad yn gwneyd ufudd-dod llythyrenol yn fwy rhwymedig.

Gan fod y dosbarthiad hwn o'r gorchymynion yn dal y fath gysylltiad â dadl mor bwysig, efallai nad annyddorol nac anfuddiol f'ai sylw neu ddau ar y gwahaniaeth rhwng deddfau moesol a rhai pendant. Yn y gobaith hwn cynygiwn y sylwadau canlynol:

1. *Mae y rheswm o ddeddf bendant yn ewyllys benarglwyddiaethol y Deddfroddwr*, a heb fod o angenrheidrwydd yn hysbys i'r deiliaid; tra mae deddfau *moesol* yn sylfaenedig ar egwyddorion *hunan-amlwg* cyfiawnder a phriodoldeb.

Ni fynem awgrymu nad yw gosodiadau pendant Duw yn gyfiawn. Dylid sylwi hefyd fod deddfau *moesol* yn deilliaw o ewyllys Duw, ac na fyddent

yn gyfreithiau heb hyn. Ond mae yn aros, er hyny, fod rhesymoldeb yr olaf yn amlwg, ac yn apelio at farn a chydwybod y deiliad am ufudd-dod, tra y gall na fydd ond awdurdod noeth i gymell y flaenaf. Fel y talfyrir y ddeddf foesol gan ein Harglwydd, cynwysir hi mewn dau orchymyn: "Câr yr Arglwydd dy Dduw â'th holl galon, a châr dy gymydog fel ti dy hun." Mae eu rhesymoldeb mor eglur fel mai prin y byddai yr hwn na allai ei ddirnad yn ddeiliad cyfrifoldeb. Ond anfynych mae y rheswm o orchymyn pendant yn amlwg, ac nid eithriad yw ei fod yn hollol annirnadwy i'r sawl fydd yn ei dderbyn. Caniateir engraifft neu ddwy.

O berthynas i'r gorchymyn i barotoi dwfr neillduaeth (Num. 19: 1—10). Hawddach holi nag ateb gofyniadau fel hyn: Paham *aner* yn hytrach na llo gwrryw, neu oen, neu fyn gafr? Paham aner *goch*, yn hytrach nag un o ryw liw arall?

Meddylier eto am gyfarwyddyd Eliseus i Naaman. Paham y gorchymynwyd i'r gwahanglwyfus *ymdrochi* mewn *dwfr*, yn hytrach nag ymiro ag enaint neu olew? Paham yn yr *Iorddonen*, yn hytrach nag yn Abana neu Pharphar? Ond os ymdrochi yn yr Iorddonen raid, paham *seithwaith*, yn hytrach na thair neu ddeg o weithiau?

Hawdd fyddai ychwanegu engreifftiau; ond hyderwn fod yr uchod yn ddigon i egluro a phrofi ein gosodiad, a chyfiawnhau y nodiadau canlynol.

(*a*) Nad yw rheswm dynol yn alluog i farnu priodoldeb gorchymynion pendant, nac i ddirnad y pwysigrwydd o ufudd-dod llythyrenol iddynt. "Os nad y'm yn bedyddio fel y gorchymynwyd," ebai'r taenellwr, "nid oes egwyddor *foesol* yn cael ei pheryglu, a pha bwys all fod mewn ordinhad bendant?" Gan fod y Deddfroddwr mawr wedi gweled yn dda gadw y rheswm o'r dosbarth hwn o orchymynion iddo ei hun, nid oes ond ei Hunan mawr all farnu'r pwysigrwydd o wneyd fel y gorchymynwyd.

(*b*) Nis gall fod rheswm y tu allan i'r gorchymyn dros gyflawni'r weithred, neu'r gweithredoedd, a gymellir mewn gorchymyn pendant. Yn yr achos *hwn*, lle nad oes deddf nid oes dyledswydd, a lle nad oes dyledswydd, nid oes budd. Pe buasai Ior heb hysbysu ei ewyllys i ddynion yn y ddeddf foesol, buasai yn hollol resymol i ni garu yr Arglwydd ein Duw â'n holl galon, a charu ein cymydog fel ein hunain; a buasai yn anmhosibl i'r neb a wnai hyn lai na derbyn budd a gwir ddedwyddwch mewn canlyniad. Ac o'r tu arall, buasai peidio arfer y cariad hwn yn sicr o gynyrchu annedwyddwch.

Ond i'r gwrthwyneb, nid oes lles o wneyd yr hyn gymellir mewn deddf bendant, ond i'r rhai y gorchymynir iddynt. Yn ofer yr ymolchasai Naaman yn yr Iorddonen, nid yn unig seithwaith, ond saith ddengwaith a seithwaith, pe nad anfonesid ef; ac yn ofer y buasai'r dall, llygaid yr hwn irwyd gan ein Harglwydd â'r clai gwlychedig, yn myned ac yn ymolchi filwaith yn llyn Siloam, oni b'ai ei fod yn gwneyd hyny mewn ufudd-dod i orchymyn pendant un a gallu yn ei air i wneyd y weithred yn rhinweddol.

Cymwyser yr egwyddor at yr ordinhad o fedydd, a thybiwn y gwasanaetha i ateb dwy wrthddadl o eiddo ein gwrthwynebwyr. Cyhuddant ni yn fynych o osod gormod o bwys ar fedydd, a gofynant, "Pa rinwedd sydd yn nwfr y bedydd?" Atebwn nad ydym yn credu fod rhinwedd yn y dwfr, mwy nag yn nyfroedd yr Iorddonen neu lyn Siloam; ond gall fod rhinwedd yn ngair y Gwr sydd yn gorchymyn bedydd i'r credadyn edifeiriol. O'r tu arall, clywir baban-daenellwyr yn aml yn addef nad oes gorchymyn nac esiampl yn ngair Duw o fedydd babanod, ac ar yr un pryd yn dadleu fod y gorchymyn i fedyddio credinwyr yn rheswm digonol dros eu hymddygiad. Teimlwn ninau i'w hadgofio o'r ffaith mai y *gorchymyn* sydd yn cyfiawnhau ac yn rhinweddoli gosodiodau pendant, ac nad llai ofer bedyddio anghredadyn nag y buasai i Gehazi ymdrochi yn yr Iorddonen, neu i Elymas olchi ei lygaid yn Siloam.

2. Gwahaniaeth arall rhwng y ddau

ddosbarth hyn o ddeddfau yw, *Nad yw y pendant yn rhwymedig ond ar ran o'r byd moesol, a hyny dros amser terfynol;* tra mae y moesol yn rhwymedig ar *bawb bodau cyfrifol, yn mhob byd, ac yn oes oesoedd.*

Nid oes byd lle nad yw, ac ni ddaw pryd pan na fydd, yn ddyledswydd ar greaduriaid rhesymol garu Duw a charu ei gilydd, yn ol y ddau orchymyn mawr. Ond rhoddir gorchymyn pendant weithiau i un person yn unig; bryd arall i un teulu neu genedl; bryd arall i ddosbarth neillduol o bobl, yn cael eu nodweddu gan oed, rhyw, neu gymeriad.

Noah yn unig dderbyniodd orchymyn i adeiladu arch i achub ei dy rhag dyfroedd diluw, ac ni bu yn ddyledswydd ar unrhyw ddyn arall wneyd hyny. Abraham yn unig dderbyniodd orchymyn i aberthu ei fab yn boethoffrwm i Dduw, a buasai yn llofruddiaeth mewn unrhyw ddyn arall wneyd yr un peth. Ar Abraham a'i deulu, a'r *meibion* a enid iddynt, y gwnaed defod yr enwaediad yn rhwymedig; ac i blant Israel fel deiliaid y waredigaeth o gaethiwed gorthrymus yr Aipht, y rhoddwyd y gorchymyn i barotoi a bwyta y pasg. Ac ni fwriadwyd y defodau hyn i aros yn dragywyddol, eithr hyd gyflawnder yr amser.

Felly hefyd ordinhadau y Cyfamod Newydd; ni fwriadwyd hwynt i bawb yn ddiwahaniaeth, eithr fel pob sefydliadau pendant eraill, maent yn rhwymedig ar *ddosbarth* neillduol, yn cael eu hynodi gan gymeriad a ddesgrifir yn y gyfraith. Y rhai hyny ydynt yn edifarhau tuag at Dduw, ac yn credu yn yr Arglwydd Iesu Grist, a hwy yn unig, orchymynir i gymeryd eu bedyddio; ac mae cadw swper yr Arglwydd yn ddyledswydd orphwysedig ar gredinwyr bedyddiedig yn unig, ac arnynt hwy dros amser terfynol—"hyd oni ddelo."

Dysgwn wers neu ddwy oddiwrth y nodweddion hyn a berthynant i osodiadau pendant:

1. Gan mai dros amser terfynol eu gosodwyd, nid oes reswm dros ddysgwyl am rywbeth arall i ddod yn eu lle wedi i'w hamser gosodedig derfynu.—"Beth ddaeth yn lle'r enwaediad?" yw'r gofyniad a glywir yn fynych gan daenellwyr babanod. Ein hateb yw, "*Dim*, ar a wyddom ni; nid oes *eisiau* dim yn ei le; yr oedd wedi ateb y dyben mewn golwg wrth ei roddi, a'i ddyddiau wedi dod i ben, a chyda chant o sefydliadau pendant a seremoniau yr hen oruchwyliaeth, diflanodd ar derfyn oes y gyfundrefn i'r hon y perthynai.

2. Gan ein bod yn gweled nad yw gosodiadau pendant, fel y moesol, yn perthyn i bawb, eithr eu bod bob amser yn gyfyngedig i bersonau neu gymeriadau, y rhai a enwir neu a ddesgrifir yn y gorchymyn, ac mai i ddosbarth y gosodiadau pendant y perthyna bedydd, nid oes genym hawl i fedyddio ond y cymeriadau a ddesgrifir yn nghyfraith bedydd. Os gofyn neb pwy a ddylid fedyddio, gofynwn ninau, "Beth a ddywed yr Ysgrythyr?" Os nad yw deddf bedydd yn dynodi y rhai ydynt ddeiliaid priodol yr ordinhad, y mae yn wahanol i bob gosodiad pendant arall y gwyddom am dano. Ond y *mae* yn eu desgrifio. "Gwnewch ddysgyblion o'r holl genedloedd, gan eu bedyddio." * * * "Y neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig." "Os wyt yn credu." "Cynifer ag a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd." Y rhai hyn yn unig y'nt ddeiliaid bedydd. Nid llai priodol fuasai i Abraham gasglu oddiwrth y gorchymyn dwyfol i aberthu ei fab Isaac, y dylasai hefyd offrymu Ismael; neu i Isaac feddwl, gan fod Duw wedi gorchymyn i *Abraham* offrymu ei fab, y dylasai yntau wneyd yr un fath a Jacob ac Esau, nag ydyw i ddynion yn awr ddadleu oddiwrth fod yr Arglwydd wedi gorchymyn bedyddio *credinwyr*, y dylid hefyd fedyddio babanod.

---

Eglwys Crist.—Y mae eglwys Crist, yr hon sydd mewn rhan yn filwriaethus ac mewn rhan yn fuddugoliaethus, yn debyg i ddinas wedi ei hadeiladu o ddau tu i afon. Nid oes dim ond ffrwd angau rhwng gras a gogoniant.—*Augustus Toplady.*

# Amrywiaethau.

## Maer Cyntaf New York yn Gymro.

**Anfonwyd y llythyr dyddorol canlynol, yn nghyd a phapyrau gwerthfawr eraill, i ni i'w cyhoeddi (os dewisem) yn y WAWR, gan ein cydwladwr aiddgar, a'n brawd selog, D. L. Jones, Ysw., New York. Cymerwn y cyfle hwn i gyflwyno ein diolchgarwch iddo am danynt. Mae amryw bethau yn nodweddu y llythyr hwn ag sydd yn rhwym o'i wneyd yn ddyddorol i'n darllenwyr. Mae y llythyr yn esbonio ei hunan, ei natur, a'i amcan, fel nad oes angen am eglurhad pellach. GOL.**

PAUTUCKET, R. I., Mai 14, 1860.

AT DANIEL L. JONES, YSW., Efrog Newydd:

Yn gwybod rhywbeth am y dyddordeb a gymerwch mewn pob peth o darddiad a disgyniad Cymreig, caniatewch i mi alw eich sylw at engraifft ag sydd, yn fy marn i, yn haeddu sylw pobl eich dinas. Ychydig filldiroedd oddiyma, yn nhref gymydogaethol Seekonk, Mass., yr hon oedd unwaith yn rhan o Swansea, a gymerwyd ymaith o'r hen Reheboth yn 1667, ac a sefydlwyd gan bobl a ddaethant yn wreiddiol o Abertawe, yn Nghymru, y mae mynwent adfeiliedig, yn cynwys bedd un â gorphwysfan yr hwn yr ymwelais yn fynych, ac a feddyliais mor fynych a hyny nad oedd cyfiawnder wedi ei wneyd eto i'w haeddianau a'i goffadwriaeth.

Daeth Cadben Willett i Drefedigaeth Plymouth yn 1629. Yr oedd efe wedi ei addysgu mewn bywyd masnachol yn Holland, a daeth gyda cwmpeini Leyden y flwyddyn hono. Yr oedd efe yn ddyn o allu mawr, ac o gywirdeb diamheuol, ac ar farwolaeth Myles Standish a benodwyd i lywyddiaeth milwyr Plymouth, ac yr oedd iddo hefyd eisteddle yn llywodraeth y Drefedigaeth hono. Pan unodd trefedigaeth Seisonig â sefydlwyr Ellmynaidd eich Manhattan ieuanc, cyfododd rhwystr parthed cyfansoddiad eu sefyllfa wladol, a theimlasant oll yr angen am y fath ddyn nad oedd sefydliad Manhattan yn feddianol arno. Yn y dyryswch hwn anfonasant ddeiseb at lywodraeth Plymouth yn gofyn benthyg gwasanaeth Cadben Willett. Yr oedd efe yn hyddysg yn ieithoedd cymysg eich sefydliad ieuanc. Cydsyniwyd â'r cais, a gwastadhaodd eu dyryswch, ffurfiodd lywodraeth, a dewiswyd ef *eich Maer cyntaf;* ail-etholwyd ef yn unfrydol; ac ar ol dwy flynedd o addysgiaeth a gafodd eich dinas fabanaidd, i gyflwr y gallasai fyned ei hunan, a ymadawodd gydag ewyllys da a bendithion yr holl boblogaeth yn ei ddilyn, ac a ddychwelodd at ei ddyledswyddau yn llywodraeth ei drefedigaeth fabwysiedig.

Mae yr hen fynwent yn awr ar gael ei hadgyweirio, ac mae disgynyddion yn rhoddi rhagorach ceryg ar feddau eu hynafiaid. Mae William Vial, Ysw., o Providence, yn barod wedi cyfodi cofgolofn ddestlus i'w hynafiaid ef yn y fynwent grybwylledig. Mae bedd Cadben Willett wedi ei nodi â chareg arw, isel bris, sydd yn awr bron yn annarllenadwy gan amser, ac arni y darlleniad canlynol:

"MDCLXXIV.

*Here lyeth the body of the worthy* THOMAS WILLETT, ESQ., *who died August ye* iv., *in ye* lxiii. *year of his age, Anno* ——, *who was the first Mayor of New York, and twice did sustain the same.*"

Bu farw ei wraig Mary yn 1669, a chladdwyd hi wrth ei ochr.

Yn awr, syr, yn bod yn enedigol o'r dref sydd yn cynwys y bedd hwn, ac yn cymeryd dyddordeb mewn pob peth yn dwyn perthynas a'i hanes, yr wyf yn addef fy mod yn teimlo dyddordeb yn y bedd hwn, ag wyf yn analluog i'w foddhau, ac mae wedi fy nharo i pe byddai i chwi ddwyn y pwnc i sylw llywodraeth eich dinas, yn awr sydd fawr, llwyddianus a chyfoethog, (yr hon yn bresenol yr wyf yn credu sydd yn cynwys ychydig ddisgynyddion o'r cymwynaswr boreuol hwn i'ch prif ddinas,) y byddai iddynt ar unwaith orchymyn cofarwydd deilwng iddo, ac felly anrhydeddu eu hunain. Byddai careg wedi ei cherfio yn briodol, yr hon ellid gael yn y gymydogaeth hon am $5,000, yn llawn i fyny ag unrhyw un a fwriedir ei rhoi gan y rhai sydd yn

awr yn gwella y fynwent; a hyn i'ch dinas chwi a fyddai yn draul fechan, ond pwysig, mewn ffordd o anrhydedd presenol a hanes dyfodol.

Yr wyf yn credu i Cadben Willett gael ei eni yn Abertawe, Cymru, a bu yn byw yn Lloegr a Holland; ac yna ei adnabyddiaeth â'r ieithoedd, yr hyn yn ychwanegol at ei gymwysderau haeddfawr eraill, a'i gwnai ef yn berson addas i weinyddu y fath wasanaeth pwysig i'ch dinas henafol. Ac ni allaf beidio meddwl na fyddai i lywodraeth eich dinas ardderchog gydsynio yn llawen a'r awgrymiad uchod, pe byddai iddo gael ei ddwyn yn ddyladwy i'w sylw gan ryw ddinasydd cymwys fel eich hunan, ac yn enwedig un yn dod o'r wlad a roddodd enedigaeth i'r dyn teilwng hwn, a chymwynaswr eich dinas.

Yn hanes Bliss o Reheboth, tu dalen 269–72, yr hwn a ganfyddwch yn rhai o'ch llyfrgelloedd hynafiaethol ac hanesyddol, gallwch ddyfod o hyd i ryw gymaint yn ychwaneg o gyfeiriad ato ef, ac hefyd rai dyfyniadau o gofnodion yr amserau hyny yn taflu goleuni ar y gwr teilwng hwn o'r hen amser.

Yn barchusol, eich ufudd was,

S. Ç. NEWMAN, *Ach-Hanesydd.*

---

## "Dyma Finau."

*Mr. Gol.*—Dyma finau, yn mhlith eich lluosog ohebwyr, yn anturio gyru gair i'ch GWAWR addawol, gan obeithio na bydd yn anghydweddol âg ystyr arwyddol enw eich misolyn. Mae dau fater a gafael ganddynt mor rymus ar ein meddwl yn awr, fel y mae ein gwaith yn ysgrifenu atoch y tro hwn yn ddiddiolch i ni, am na allwn beidio. Y cyntaf yw y teimlad dwys a'r meddyliau amrywiol a ymrithiant ynom wedi darllen y rhifyn diweddaf o'r WAWR, am ymddiswyddiad y dyn mawr a hynod lafurus a llwyddianus, Dr. Price, Aberdâr, oddiwrth olygiaeth *Seren Cymru*. Wedi ysgrifenu y gair, gwelwn mai gwastraff ar bapyr a llafur bysedd oedd gosod yr enw Aberdâr i fewn, gan fod bywyd Mr. Price, can belled ag mae wedi myned heibio, yn llawn gorchestion athrylith ac egwyddor; a'r rhai hyn o gysylltiadau mor gyhoeddus, neillduol, amrywiol, a bendithiol i gymdeithas yn ei gwahanol agweddion, fel y mae yn gwbl ar ei ben ei hun. Drwg iawn genym, a dilys yw ei fod felly gan laweroedd y tu yma a thu draw i'r Werydd, feddwl fod y dirywiad yn ngolygon Dr. Price, y darllenasom am dano yn y WAWR, y fath fel y cwtoga gymaint ar faes ei lafur. Mae pethau llai pob dyn, yn ol eu cyswllt a'u llywodraethiad gan ei bethau mwy, yn neillduol ei bethau mwyaf, yn cynyddu yn ngraddeg pwysigrwydd. Gweision ffyddlon i feddwl Mr. Price fu ei lygaid; a chan i'w feddwl fod o gymaint gwasanaeth i'r byd, yr oedd ei lygaid o dan ei lywodraethiad felly hefyd. Nid i Mr. Price ei hun y byddai y golled o'i ddallineb, ond i raddau pwysig i'r byd Cymreig, yn neillduol i enwad y Bedyddwyr. Diau y teimla holl garedigion yr "hen ddull o fedyddio," i roi teyrnged o barch i'r llygaid hyny fuont yn chwilio tu dalenau hanesion hynafol, cyfrolau duwinyddol hen a diweddar, ac yn neillduol cof-lyfr *archives* teyrnas nefoedd, i gael defnyddiau i gyfansoddi ei "*Fapto a Baptizo.*" Nid heb barch i'r llygaid dan sylw y gall miloedd plant ysgolion y Bedyddwyr yn Nghymru fawr ei breintiau adrodd pynciau lluosog Mr. Price. Nid heb barch i'r llygaid soniedig y gall perchenogion cyfrolau o *Seren Cymru* edrych ar y glorian lenyddol hon, y bu Mr. Price am flynyddau, gydag annibyniaeth a chraffder meddyliol, yn ei dal mor wastad. Gadawn y mater hwn fan yma, rhag ofn i arwyr yr *anecdote*, a *boys* digrif ein gwlad feddwl ein bod yn pregethu pregeth angladd i lygaid Mr. Price, a hwythau, gobeithio, yn mhell oddiwrth haner marw chwaithach marw yn gwbl. Gobeithio y byddant nid yn unig i dorf luosog Aberdâr a'r cylchoedd, ond hefyd i Gymry y byd am yn hir, fel drws yn fwy na chil-agored. Mae llawer, os nad yr oll, a gyfodwyd fel fy hunan yn, ac yn agos i Aberdâr, yn teimlo rhwymedigaeth nid bychan i ysbryd hynaws, parod i wneyd da-

ioni Mr. Price, mewn amser ag oedd llawer o angen am dano; ond nid yw hyn yn y mesur lleiaf wedi llwgr-wobrwyo ein meddwl er ein gwneyd i osod yr ychydig o rinweddau Mr. Price a soniasom am danynt, mewn lliw rhy gryf; yr ydym yn onest, ac yn siarad iaith y galon. Boed i Mr. Price a llu o rai eraill allesid enwi, fy mharchus dad yn yr efengyl, Evans, Castellnedd; hefyd Mathetes ac eraill; boed iddynt, ychwanegaf, fyw yn hir a llwyddianus, ac ar ddiwedd y daith cryf-hyderwn y dywedant, "Myfi a ymdrechais ymdrech deg," &c.

Wel, dyma ni wedi cael cyhoeddiad i'r Bedyddwyr unwaith eto yn y wlad hon. Can belled ag y mae eich misolyn wedi ymddangos, Mr. Golygydd, gellir dyweyd am dano, "Fel blodeuyn y dâw allan." Gobeithio y prawf amser fod cymaint a hyna, a dim mwy o'r adnod uchod yn awgrymiadol o'i nodwedd a'i helynt. Bu misolion eraill gan y Bedyddwyr, yn ymgynyg am lenwi ystyr eu gwahanol enwau arwyddfawr cyn i'r WAWR gyfodi; a bu yn wir am danynt am dymor. Fel blodeuyn y daw allan; ond ysywaeth, fe brofwyd yn wir wed'yn am danynt oll, "efe a gilia fel cysgod, ac ni saif." Gobeithiwn o'n calon y bydd tynged y WAWR yn wahanol. Mae enw o ystyr arwyddol iawn ar y misolyn. Peth oddi uchod yn unig yw y wawrddydd yn naturiol; ac hyderwn y bydd y goleuni ysbrydol yn eich GWAWR chwi o darddiad nefol. Mae dylanwad adfywiol iawn gan y wawr naturiol; egyr amrantau llygaid miloedd meibion cwsg, a deuant o'u gorwedd-fanau at eu gorchwylion dyddiol. O'i blaen hi y ffoa creaduriaid rheibus i'w llochesau; a chyda y wawr y câ yr oen a chreaduriaid diniwaid eraill ymwared oddiwrth eu holl ofnau. Bydded y WAWR o Utica i gyfateb i'r wawr naturiol mewn ystyr ysbrydol. Dyma gyfleustra teg i'r Bedyddwyr ddangos a ydyw yn dda ganddynt am eu llenyddiaeth a'u hegwyddorion neillduol. Hyd yn hyn haedda y WAWR sel a gweithgarwch yr enwad drosti. Mae esgeiriau cryfion yn ei herthyglau, ac amrywiaeth dymunol yn nghyfuniad hanesion byrion yr Hen Wlad a'r wlad hon. Os yw fy llith wedi myned yn rhy faith, gwnewch a fynoch â hi. Arbedwch eich bodiau wrth dori y cyrn sydd arnynt; ac wrth dori ei gwallt arbedwch ei phen. Yr eiddoch, &c.,

*Uniondale.* LL. REES.

---

## Llythyr Doniol oddiwrth P. A. Mon

AT JOHN ROBERTS, CEIDIO, MON.

[Yr oedd Mr. Roberts yn ddyn cyfrifol yn mhlith y Bedyddwyr, ac yn un o brif gyfeillion Christmas Evans. Er ei fod mewn amgylchiadau da, byddai yn fynych mewn helbul o herwydd ei gyfrifoldeb am ddyledion addoldai y Bedyddwyr yn Mon. Dyled capel Llanerchymedd oedd yr helbul y tro hwn, yn Tachwedd, 1819.]

—

*Anwyl Frawd*—Derbyniais eich llythyr y boreu hwn. Mae'n rhyfedd genyf i chwi osod barn mor ddidrugaredd arnaf a'm hanfon i bregethu at y fath genedl mor annystywallt. Yr oedd yn llawer esmwythach ar St. Austin yn pregethu i'r pysgod, nag arnaf fi heddyw. Yn sicr ni ddarfu i chwi ystyried am boethder dwfr berwedig oddiar *datws*, neu am bwysau yr efail dân, neu am gignoethder y deng-ewin, neu ynte am lymder cilddanedd y fath epil melldigol. A ddymunech chwi gyfarfod ag arthes wedi colli ei chenawon, neu darw gwyllt wedi ei faeddu? neu lewpart o'r goedwig, a newyn arno? neu ynte ddiawles wedi tori yn rhydd o'i chadwynau? Nid oes genyf un gobaith yr arbedir chwi y tro hwn, oni ellwch chwi gael cenad urddasol ddigon i wynebu llys Baalsebub i eiriol drosoch yno, canys y mae y giwed aflan yma yn hollol o dan lywodraeth a chyfarwyddyd y tywysog hwnw. Yn eich goddefiad i mi arfer fy noethineb fy hun, yn unig y dihengais (trwy beidio a'u cyffroi am y llog a'r *notice*) a'm bywyd yn ysglyfaeth genyf. Wedi i mi osod fy hoedl yn fy llaw, nid oeddynt yn ymddangos yn waeth ar fy ymadawiad oddiwrthynt;

a chafodd y dwfr berwedig heddwch i feddalhau crwyn y tatws, yn lle *ysgaldien* fy nghroen i, am yr hyn y dylech chwi fod yn ddiolchgar; canys buasai raid i chwi dalu i'r doctor am fy ngwella, heb son gair am yr hyn fuasai raid i mi ddyoddef. Ni allent wneuthur nemawr cyn y *Session*, oni ymosodir ar y *personau*, yn lle ar y meddianau, ac yna odid y ceir twrnai a wna hyny heb eich rhybuddio yn garedig yn mlaen llaw, &c., &c. Ymwelaf â chwi cyn hir.

---

## Tyngedfen.

Tyngedfen sydd air o ystyr paganaidd. Tybia bron yr un peth a rheidrwydd a rhagluniaeth. Gydag eraill credai y Stoiciaid mewn tyngedfen—bod i ddygwyddiadau gwrs penodedig a digyfnewid; ond dalient hefyd fod y cwrs hwn yn tarddu o natur gynhenid pethau, a hyny yn y fath fodd anwrthwynebol fel na allai hyd yn nod Duw ei hun ei wrthdroi na'i newid. Yn ei ystyr mwy cymedrol a Christionogol, arferir y gair am ddygwyddiadau rhagluniaeth a fydd tu allan i'n rheolaeth.

Yn hanes gwledydd, pobloedd, ymerodraethau ac oesau, mor fynych y gwelir arwyddion o bresenoldeb tyngedfen! Nid yw gyda ei hawliau ffromus a gorfodol wedi bod yn ddyeithr i wlad rydd fel hon. Dywedwn gwlad rydd, oblegid y mae rheidrwydd a gorfodaeth yn swnio yn rhyfeddach mewn gwlad rydd nag yn yr hon lle y gall awdurdod fod mewn rhwysg. Daeth yma yn foreu. Cyn i'r pererinion lanio, ymlochesai, ni dybiwn, yn mhlith yr Indiaid, gan ymweled â hwynt yn ei thro yn nghôl y tymestloedd ac anadliadau gerwinol y gauafoedd, ac yn nghysgod pedwar-carnolion gwyllt yr anialwch. Modd bynag, gwelid arwyddion eglur o'i phresenoldeb yn mhlith y sefydlwyr Ewropaidd cyntaf yn Virginia. Cyn iddynt braidd gael amser i anadlu ar ol dyfod drwy ddyfroedd y fordaith, yr oedd ordeiniadau pendant tynged yn cael ei roddi iddynt mewn perthynas i'r llafur a ddysgwylid oddiwrthynt yn ol llaw. Gan hyny dyna'r bwyeill yn cael eu gosod ar y goedwig gref—dyna'r maes mawr yn dechreu cael ei glirio, a phwy bynag a wrthodai ufuddhau, ofnadwy oedd y canlyniadau. Wedi goroesi yr oesau, mae tyngedfen yn aros hyd y dydd hwn; ac mae ei hawliau mor ddi-droiyn-ol ag erioed.

Yn yr ysgol ddyddiol gellir canfod ymliwiadau gwibiog ysbrydiaeth tyngedfen megys yn ymwâu fel pelydr haul ar bared, ar ruddiau yr ysgolheigion ieuainc diniwaid, ac yn enwedig yr athrawydd. Gwelir mynych arwyddion o'i phresenoldeb ar heolydd ein trefydd. Clywir ei llais yn murmur masnach a thwrf garw trymllyd y cerbydau. Yn y wlad, drachefn, mae ei gweithrediadau yn hynod amlwg, ac y mae ei hordeiniadau yno yn gyffredin yn llym a manwl. Mae yr amaethwr yn dweyd yn iaith ei alwedigaeth ef, "Rheidrwydd a osodwyd arnaf." Os heb fod yn ddiystyr wrth fyned heibio i'n llaw-weithfeydd, yr haiarn *caled* a'r cotwm *meddal*, argraffant y syniad o reidrwydd yn ddwysach ar y meddwl. Onid yw tyngedfen yn yr ystyr yna o reidrwydd yn awgrymu yn eglur iawn, fod "yn y nef un mwy na ni," ac nad eiddo gwr ei ffordd? O. G.

---

## Bedydd.

Dywed y *Baptist Union*: Nid oedd y bedyddiad, ychydig amser yn ol, o amryw bersonau, gan y Parch. S. H. Tyng, Ieu., yr hwn sydd Esgobydd, ond un dygwyddiad o amryw yn ddiweddar, sydd yn dangos awyddfryd dysgyblion i geisio eu bedyddio yn y dull cyntefig, er eu bod yn dewis ymuno ag eglwysi eraill heblaw eglwysi y Bedyddwyr. Y mae y bedyddiadau hyn yn cymeryd lle yn fynych, ac y mae amryw o eglwysi wedi gosod bedyddfeydd o fewn eu haddoldai, a deallwn fod eraill yn dilyn eu hesiamplau. Y mae y tueddiad hwn at fedyddio trwy drochiad yn hynod ar amryw ystyriaethau. Yn y lle cyntaf, mae yn gydnabyddiaeth ar ran enwadau eraill, o ledaeniad syniadau y Bedyddwyr mewn perthynas i fedydd. Bu amser pan

oedd yn beth pur anghyffredin i berson pan yn ymuno ag eglwys nad oedd yn perthyn i'r Bedyddwyr, i geisio ei fedyddio trwy drochiad, a byddai y gweinidog naill ai yn gwrthod gweinyddu yr ordinhad yn y dull hwnw, neu ynte yn cydsynio yn anewyllysgar. Ond yn bresenol, mae y dygwyddiadau mor fynych, nes profi fod y gwrthwynebiad yn cilio yn esmwyth.

AP P. A. MON.

# Barddoniaeth.

### AR FIN YR AFON LONYDD.

Ar fin yr afon lonydd fe safai lodes lân,
(A'r Naiaid oedd yn chwareu ar lawr y graian mân,)
A dyma oedd y bwrdwn a ddaeth o'i chalon brudd,
Tra rhedai'r dagrau'n gyflym ar hyd ei llwydaidd rudd:—
"O! gwae i mi fy ngeni! nis gallaf fyw yn hwy,
Rhy erchyll yw fy nghyflwr, a marwol yw fy nghlwy:
Y bachgen hardd a ddenodd fy holl serchiadau'n llwyr,
Gan addunedu imi yn foreu ac yn hwyr,
Y byddai byth yn ffyddlon—yn wraig cawn iddo fod,
A hindda fyddai bywyd ein dau o dan y rhod.
Ond Och! fe droes yn dwyllwr, mae wedi 'ngadael i—
Wrandewai mo'm hymbiliau,—byth mwy ni chlyw fy nghri."

Ac yna trodd yn sydyn gan swn y daran gref,
A chrynu wnaeth gan ddychryn—"Och! dyna lais o'r nef,
Yn rhoddi imi rybudd rhag im' wynebu draw,
Y gosp i hunan-leiddiaid yn sicr iawn a ddaw."

Rhwng swn a thwrf taranau hi deimlai'n sicr fod,
Per-leisiau mwyn o'r afon i'w chlustiau hi yn dod;
A'u swyn effeithiodd arni mor gryf nes credai hi
Eu bod yn dweyd, "Oh tyred, O tyred atom ni;
Mae yma froydd hyfryd o dan yr afon hon,
A llonydd fydd dy galon, a thawel fydd dy fron;
Ni ddaw i'th flino yma byth feibion dynion mwy;
Ni fynwn ni gyfathrach â neb o honynt hwy."

Cymylau'n dduach aethant, y mellt uwchben yn gwau,
A'i bywyd oedd yn hongian yn awr wrth edau frau;
Ei rheswm ddiorseddwyd, yn wallgof aeth y fun,
I'r afon oer yn sydyn y taflodd hi ei hun!

Beth ddaeth o'r mab anffyddlon? oes heddwch iddo ef?
Yn gyfiawn tuag ato y delia Brenin nef;
Brathiadau dwys cydwybod a deimla nos a dydd,
Ac echrys gosp trag'wyddol yn aros iddo sydd!

AP P. A. MON.

### MOLAWD AMERIG.

Gwlad odiaeth glodadwy, ddyfradwy, dda frodir,
Un oleu amlygir, hi gerir i gyd;
Ymenyn a mwnau, adeildai a doldir
Roed iddi fel coron—cu aeron ac yd;
Afonydd o fwyniant ddylifant drwy lafur,
A chwyddo wna'i dyfroedd yn foroedd o hedd,
Rhagluniaeth a'n gwared rhag dyled, rhwyg dolur,
A'n gwlad a fyn fesur iawn gysur i'n gwedd.
O lanau'r Tawelfor hyd oror y Werydd,
O'r eigion i'r mynydd ymestyn y mae;
Nid dagrau caethweision wrteithiant ei meusydd,
Chwyrndaflwyd gormesiaeth i geunant y gwae;
Cyfiawnder argraffwyd ar leni'r ffurfafen,
A rhyddid ddwfn-gerfiwyd ar greigiau ein tir;
Tra ser yn addurno claer wyneb y wybren,
Ein gwlad gaiff ei haddef yn gartref y gwir.

BYRDWN.

Gwlad newydd, gwlad harddwych a gorwych ei gwawr,
Gwlad rhyddid, gwlad llawnder, gwlad mwynder, glod mawr;
Gwlad dyffryn a mynydd, gwlad lonydd, gwlad lân,
Gwlad ffrydiau llawenydd a chynydd a chân.

OWAIN GLYNDWR, sef
*Plymouth, Pa.* THOS. W. DAVIES.

### HUNANOLDEB.

Amlygwyd hwn yn ysbryd Cain
Pan laddodd Abel gyfiawn,
A'r un tueddfryd, lawer gwaith,
A fathrodd lawer tiriawn;
Mae yn y byd o oes i oes,
Ac mewn gwahanol foddau,

Yr *un* yw yr egwyddor gas,
Ond *llawer* ei heffeithiau.

Hunanol nwyd fu yn y nef,
Yn gweithio cwymp angylion,
A phan i'n daear ni y doent,
Bu hyny'n gwymp i ddynion;
Am uchel gais yn brydio'u bron
Collasant hwy Baradwys,
A myrdd o weithiau wedi hyn
Eilfyddwyd hyny'n gymwys.

Byddinoedd mawrion lawer gwaith
Arweiniwyd yn ormesol,
I'r gwaedlyd faes i foddio nwyd
Breninoedd uchel geisiol;
A chochwyd meusydd Cymru lân
A gwaed gwladgarol ddewrion
Pan fethrid ein hiawnderau ni
A'n rhyddid gan y beilchion.

A mwy a wnaeth yr ymchwydd falch
Wrth geisio temtio'r Cyfion,
Yr hwn a ddaeth o'i gariad mawr
A bywyd i farwolion;
Ond brwydrodd ef tra yn y byd
A pherson hunanolrwydd,
Ac er ei holl ddichellion erch,
Gorchfygodd ef yn ebrwydd.

Hen elyn penaf plentyn Duw
Yw hunanoldeb creulon,
Ac ymladd mae tra ar y llawr
Yn erbyn ei gynllwynion;
Ond gan fod Iesu,'n blaenor ni,
Ei hunan wedi 'i goncro,
Mae hyny'n wystl caiff y saint
Yr oruchafiaeth arno.

JOHN JONES (NATHAN).
*Ashton, Pa.*

---

**LLINELLAU**

*Ar Farwolaeth y Parch.* JOHN W. THOMAS, (*Ioan Glan Tysog*,) *Bevier, Mo.*

Dyma eto was i'r Iesu,
Wedi cwympo yn y gad,
Hyn yn eglwys y Bevier
A gynyrcha alar nad;
Naill ar ol y llall, heb arbed,
Angau gyda'i gledd a'u lladd,
Ioan Tysog, nid anenwog,
Myned dan ei ddyrnod ga'dd.

Yr arfogaeth ddarfu wisgo,
Taclus oedd am dano'n dyn,
A gair Duw ddefnyddiai'n fedrus,
Ni hebgorai'r pethau hyn.
Traethai'r drefn wrth bechaduriaid,
Daliai fyny faner hedd,
Aberth mawr y Groes bregethai,
A gwahoddai bawb i'r wledd.

Selog oedd o'i ddyledswyddau,
'N erbyn saethau uffern drist,
Gan ymdrechu yn mhob cyflwr,
Bu fel milwr da i Grist;
Ei hoff deulu 'nghyd a'i eglwys,
Tra y rhed eich dagrau'n lli,
Peidiwch wylo fel heb obaith,
Er fath golled gawsoch chwi.

Natur dyn a gym'rodd Iesu,
A bu farw o'i wir fodd;
Ffordd o'r bedd a phorth i'r nefoedd
Foreu'r trydydd dydd ddad-glodd;
'R hwn sy'n huno yn yr Iesu,
Yn y bedd yn wael ei wedd,
Duw a'i dwg ef i ogoniant,
I fwynhau trag'wyddol wledd.

*Coal Valley, Ill.* DAFYDD MORGAN.

---

**HEN SENEDD-DY OWAIN GLYNDWR.**

[*Buddugol yn Eisteddfod Meirion y Calan diweddaf.*]

Lle yr eisteddai Idris gynt,
A'i lygaid fel y dur,
I wylio gwyllt wibiadau'r mellt,
A sugno'r awel bur;
Wrth droed ei gadair fawr y saif
Henafol sedd Glyndwr,
Lle y gwefreiddiwyd Cymru oll,
Gan eiriau'r gymus wr.

Yma y curai 'i galon bur
Yn gynt oblegid trais;
Yma y bu gwroniaid glew
Yn gwrando ar ei lais;
A braidd na chrynai'r muriau pan
Oedd Owain yn ei sedd;
A chalon ddewr a braich ddi-gryn,
Cusanai fin ei gledd.

O! na chawn i fod yn dy le,
Senedd-dy, gwyn dy fyd,
Yn noddi dewrion Cymru gu,
A'i hocheneidiau drud;
Dy byrth a'th ddorau tystion y'nt
Dy fod di gynt mewn bri;
O! na chawn wasanaethu'm gwlad
Mor ffyddlawn a thydi.

---

**I'R "WAWR."**

Nodeb gwroldeb Giraldus—a'i waith
Yw y WAWR ddyddanus;
Noda rawn, ac nid yr ûs,
Iechyd athrawiaeth iachus.

Bwyd blasus, dibaid bleser—a ddeillia
O ddull y WAWR ganber,
Byrddau saig, heb urdd y ser,
Yn ildio i'w manylder.

*Dodgeville, Wis.* TREBOR.

SUSQUEHANNA. MESUR 6. 6. 8.

Cyd-fuddugol yn Eisteddfod Plymouth, Pa., Nadolig, 1871, gan D. D. DAVIES (*Alaw Elyrch*).

1. Plant caeth-ion Babilon, Ddont ad-re' o don i don, Cânt wledda'n llon, mae'r dydd gerllaw, Yn ngwydd eu Harglwydd da, O swn y byd a'i bla; O dded-wydd haf! Pa bryd y daw?

2. Dysgwyl-iwn ron-yn bach, Cawn dd'od yn gwbl iach, Can-iad-au hyf-ryd fydd heb ri'; A'u sylwedd fydd y gwaed, A ddyry lwyr iach-âd, A'r gon-cwest gaed ar Gal-fa-ri.

3. Mi wnaf fy nghartref mwy Dan gys-god marwol glwy', 'Does nodd-fa ar-all dan y nef, Na man i gael glan-had, Ond yn y ffyn-on rad O ddw'r a gwaed o'i ystlys Ef.

## HANESION CARTREFOL.

CYMANFA BEDYDDWYR SIR ONEIDA.

Cynaliwyd y gymanfa hon yn Utica, Bordwell, a Remsen. Cyfarfyddodd y gweinidogion a'r cenadon mewn cynadledd yn Utica, Mehefin 15, o dan lywyddiaeth y Parch. O. F. Parry, pan yr ail etholwyd yr hen swyddogion, sef Llywydd, y Parch. O. F. Parry; Ysgrifenydd, Mr. J. R. Thomas; Trysorydd. Mr. H. R. Jones. Ymdriniwyd ag amryw bethau pwysig a buddiol, a phasiwyd amryw benderfyniadau yn y gynadledd, dau o'r rhai sydd fel y canlyn:

1. Ein bod yn mawr lawenhau am fod ein brawd anwyl, y Parch. O. Griffiths (Giraldus), wedi cychwyn Y WAWR, er ein gwasanaethu ni fel enwad yn America; a'n bod yn dymuno iddo bob llwyddiant, gan ymrwymo i wneyd ein goreu er ei gefnogi, gan obeithio y bydd i bob Bedyddiwr trwy y Talaethau dderbyn y WAWR, talu am dani, ac ymdrechu cael eraill i fod yn dderbynwyr o honi.

2. Ein bod fel cynadledd yn ymostwng ger bron Duw mewn galar a hiraeth dwys ar ol ein dau frawd anwyl, defnyddiol, ac ymdrechol dros Iesu Grist, sef yr hen gewri enwog y Parchedigion W. Owens, Pittsburgh, a Wm. Morgans, Pottsville; ac yn gweddio ar Dduw am godi brodyr duwiol, talentog ac ymdrechol eto i lanw eu lleoedd.

Cafwyd cynadledd dra thangnefeddus ac heddychlawn. Yr oedd y moddion cyhoeddus fel y canlyn:—Pregethwyd yn Utica, gan y Parchn. J. Seth Jones, Remsen; H. C. Parry (Cefni), D. Rhoslyn Davies, Taylorville; ac O. F. Parry, Bordwell. Y Sul, y 18fed, pregethwyd yn Utica, gan D. Rhoslyn Davies; yn Remsen, gan Cefni; ac yn Bordwell, gan J. Seth Jones. Nos Lun, yn Bordwell, pregethwyd gan Cefni ei hunan. Dranoeth pregethodd D. Rhoslyn Davies, M. J. Williams, a J. Seth Jones. Yn Remsen, caed cyfeillach gyffredinol, a chredwn fod gwenau y nefoedd arnom. Pregethwyd yma gan y Parchn. D. Rhoslyn Davies, Cefni, Giraldus, a H. O. Rowlands. Cawsom gymanfa dda a llewyrchus. Bendithied yr Arglwydd lafur ei weision.

JOHN R. THOMAS, *Ysgr.*

---

CWRDD CHWARTEROL Y BEDYDDWYR YN NOSBARTH ISAF CYMANFA DWYREINBARTH PENNSYLVANIA.

Cynaliwyd y cwrdd hwn yn St. Clair, Pa., Mehefin 24, 25, 1876. Am 2 o'r gloch, ddydd Sadwrn, cafwyd cynadledd. Wedi ail ethol y Parch. J. T. Jones, Shenandoah, yn Llywydd, a'r Parch. D. S. Thomas, Ashton, yn Ysgrifenydd, siaradwyd ar amryw bethau buddiol. Wedi llawer o siarad, daethpwyd yn unol yn y penderfyniadau canlynol:

1. Ein bod yn galaru o herwydd ein bod wedi cael ein hymddifadu am byth o bresenoldeb ein diweddar hybarch dad, Wm. Morgans, Pottsville, yr hwn a fu am ddeugain mlynedd yn ffyddlon i eangu terfynau meddianol ein henwad, a sefydlu ac adeiladu eglwysi Bedyddiedig Cymreig yn y Dalaeth hon. Ond ar ol gorphen ei lafur, a gymerwyd i fwynhau ei wobr dragywyddol ei pharhad.

2. Wedi i'r brawd Thomas, Ashton, ofyn cyfarwyddyd pa fodd i ymddwyn tuag at berson ag sydd yn ymgeisydd am aelodaeth eglwysig, ac yntau yn briod â gwraig gwr arall, cafwyd llawer iawn o siarad ar y pwnc, ac yn wyneb ei fod yn wir bwysig, a bod angen am ei benderfynu, fel y byddo yr holl enwad yn gweithredu wrth yr un rheol, yn lle bod rhai eglwysi yn derbyn y cyfryw gymeriadau, ac eraill yn eu gwrthod, penderfynwyd,

Ein bod yn dymuno ar y gymanfa nesaf dynu rheolau pendant i gyfarwyddo yr holl eglwysi pa fodd i ymddwyn at y personau nad ydynt yn byw gyda eu priod, neu wedi priodi â phriod gyfreithlawn un arall.

3. Gan fod llawer o ardaloedd yn nghylch y gymanfa yn amddifad o weinidogaeth y gair, yn ol fel yr ydym ni fel enwad yn credu, a bod Cym-

deithas Genadol Gartrefol wedi ei sefydlu genym, ond hyd a wyddom, dim cymaint ag un bregeth Fedyddiedig wedi ei phregethu eto dan nawdd y Gymdeithas, dymunwn i'r gymanfa orchymyn i bwyllgor y Gymdeithas Genadol Gartrefol Gymreig benodi a thalu personau yn ol eu gallu, am ymweled ag ardaloedd angenus, i hau ein hegwyddorion yno, er helaethu terfynau teyrnas yr Arglwydd Iesu.

4. Ein bod yn cymell pob eglwys sydd am fod yn aelod o'r Cwrdd Chwarterol hwn i hyfforddi eu cenhadon a'u gweinidogion i gyfarfod â'u gilydd yn y gymanfa nesaf, i dynu allan reolau, gwaith, yn nghyda phenderfynu pa un ai yn nghanol y wythnos, neu ar ddiwedd a dechreu yr wythnos yw y goreu i'w gynal, er ei wneyd yn llwyddiant.

5. Fod y cyfarfod nesaf i fod yn Audenried, yr amser i'w benodi eto.

6. Fod gweithrediadau y cyfarfod hwn i'w hanfon i'r WAWR. Gohiriwyd hyd nes y cyfarfyddwn yn y Gymanfa yn Wilkesbarre, Pa.

*Y Cyfarfodydd Cyhoeddus.*—Am 7, nos Sadwrn, dechreuwyd y cyfarfod gan y Parch. R. Edwards, Pottsville, a phregethwyd gan y Parch. D. S. Thomas, Ashton.

Sabboth, am 8 yn y boreu, cyfarfod gweddi.

Am 10, darllen a gweddio gan y Parch. J. R. Jones, Minersville, a phregethwyd gan y Parchn. W. D. Thomas, Mahanoy City, a J. T. Jones, Shenandoah.

Am 2, agorwyd y cyfarfod gan Jones, Shenandoah, a phregethodd y brodyr Thomas, Ashton, a Jones, Minersville.

Am 6, cafwyd dau gyfarfod, un yn St. Clair, pryd y pregethwyd gan Thomas, Mahanoy, a Jones, Shenandoah; ac un yn Pottsville, pryd y pregethodd Thomas, Ashton, a Jones, Minersville. Credwn mai da oedd i ni gael y cyfarfodydd hyn, a bod yr Arglwydd yn ein plith yn bendithio. Gobeithio yr erys dylanwad y cwrdd arnom, a bydded i ni oll gofio fod yn rhaid i ni weithio tra yr ydyw yn ddydd.

D. S. THOMAS, *Ysg.*

COALBURGH, O.

*Mr. Gol.*—Nid ydyw y lle hwn wedi gadael yr Wyl Ganmlwyddol i fyned heibio yn ddisylw, sef y 4ydd o Orphenaf, heb wneyd rhyw arddangosiad bychan. Ac yn wir, credwn fod yr hyn a ddangoswyd genym, sef tair Ysgol Sabbothol y lle, yn well na dim a ddangosir yn Philadelphia mewn effaith; o herwydd nid oes dim a ddangosir yno a bywyd ynddynt, felly ni allant, o honynt eu hunain, wneyd da na drwg i neb.

Yn awr rhoddwn ychydig o hanes yr orymdaith odidog. Yr oedd yr ysgolion i gyfarfod am haner awr wedi 9 y boreu, yn ol trefn y pwyllgor. Cyfarfyddodd ysgol y B. ar yr amser penodedig, fel llu banerog, a phob athraw yn gofalu am ei ddosbarth, yn ol cynllun yr Arolygwr. Pedwar-dosbarth-ar-ddeg a gynwysai yr ysgol, yn gwneyd y cyfanrif yn 140; a chan mai ni oedd yr ysgol henaf yn yr ardal, cawsom y fraint o gario y blaen. Aethom allan, y naill ddosbarth ar ol y llall, o'r mwyaf i'r lleiaf. Y tu allan yr oedd y *band* yn ein haros, i'n blaenori o'r ardal i'r *pic-nic ground*, i gael gwledd o deisen frau a bras. Ac er cael trefn a heddwch, yr oedd chwech o hedd-ynadon wedi eu penodi, sef dau o bob capel; ac wedi cyrhaedd y lle, agorwyd y cyfarfod trwy weddi gan Mr. Swine; yna cafwyd tôn gan y *band*, ac adroddwyd gweddi yr Arglwydd gan y blaid Episcopalaidd; yn canlyn hyn cafwyd anthem gan W. Jones a'i barti, y B., sef "*Loud to the world proclaim.*" Wedi hyn darllenwyd gan Arolygwr y gwaith hanes annibyniaeth ein gwlad, yr hon yn ddiau sydd anwyl gan bawb sydd yn preswylio ar ei thiriogaeth eang a bras.

E. S. EDWARDS.

---

RIDGEWAY, WIS.

Mehefin 24, 25, cynaliwyd Cwrdd Chwarter gan y Bedyddwyr yn y lle hwn. Boreu y 25, am haner awr wedi wyth, cynaliwyd cynadledd. Dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd D. M. Powell. Dewiswyd y Parch. Wm. Jones, LaCrosse, yn Llyw-

ydd, ac R. D. Jones yn Ysgrifenydd. Cafwyd anerchiad byr ond cynwysfawr gan y Llywydd ar y modd i fyw yn weddaidd ac er anrhydedd i grefydd y groes. Siaradodd amryw o'r brodyr ar y mater. Mae y Cyfarfod Chwarterol nesaf i gael ei gynal yn Dodgeville, Wis.

Y brodyr a gymerasant ran yn y gwaith, oeddynt, D. M. Powell, Salem y Coed; M. Evans a Thos. Holland, Sardis, Dodgeville; Hughes, Picatonica; a Wm. Jones, LaCrosse. Cafwyd pregethu da, a gwrandawiad astud, eto nid ydym yn clywed am neb yn dywedyd, "Awn gyda chwi." R. D. J.

WEST SALEM, WIS.

Yr wyf wedi cychwyn o gartref er's tros fis o amser. Bum yn y gymanfa yn Oshkosh, lle y cyfarfum a'r brodyr Holland, Dodgeville; Evans, Springwater, a Jeffreys, o Iowa. Cawsom gyrddau da, gwrandawyr astud, y tywydd yn hyfryd, a'r dylanwad yn ddymunol. Aethum i a'r brawd Holland i Berlin i agoriad capel newydd. Mae yr ychydig ddysgyblion sydd yno yn teimlo yn adfywiol ar ol cael eu capel newydd; mae yn dy cyfleus i'r ardal; buont yn ddoeth yn arbed traul ddiangenrhaid wrth ei adeiladu. Maent wedi talu am dano braidd yn gwbl ar adeg ei agoriad.

Mae yn dda genyf weled yr eglwysi yn mhob man drwy y Dalaeth yn cael eu boddhau yn y WAWR, ac yn benderfynol o wneyd eu goreu drosti.—Barnaf fod y rhifyn diweddaf yn hytrach yn well na'r un arall ddaeth allan. Mae yn galondid mawr i weled cydweithrediad mor gyffredinol yn y gweinidogion a'r eglwysi drwy y Talaethau eraill, dros ein cyhoeddiad dyddorol. Diffyg o hyny sydd wedi bod yn achos aflwyddiant y *Glorian* a'r *Wasg*, yn ngyda'r *Seren* o'u blaenau. Gobeithiaf ein bod fel enwad wedi gweled y niwaid o hyny, a theimlo ein tlodi o fod heb un cyhoeddiad i'r fath raddau nes y byddom o hyn allan yn benderfynol o wneyd yr oll a allom i gefnogi y WAWR, fel y cynyddo ei goleuni fwy-fwy hyd haner dydd.

Mae swn y *mowers* i'w glywed yn mhob cyfeiriad; tua diwedd yr wythnos nesaf bydd y *reapers* yn tori i lawr y gwenith, &c. Mae y cnydau yn ymddangos yn lled dda drwy y Dalaeth, a'r amaethwyr yn teimlo yn weddol galonog. Mae y tywydd yn hynod gynes y dyddiau hyn, a'r ydau yn addfedu yn gyflym.

Yr eiddoch yn frawdol,
*West Salem.* WM. JONES.

NEWBURGH, O.

Da genym allu eich hysbysu, Mr. Gol., fod yr achos Bedyddiedig Cymreig yn fyw yn y lle hwn o hyd; a mwy na hyny, ein bod yn unol a chysurus. Cawn weinidogaeth y brodyr da Job a Breese, Cleveland, bob yn ail. Yr ydym yn gwerthfawrogi eu llafur. Drwg genym nad yw yr enwad cryfaf Cymreig yn y lle yn dangos y caredigrwydd a ddymunid tuag atom. Yn ddiweddar daeth yma gyhoeddiad un o'r gweinidogion i bregethu ar noson o'r wythnos, a rhoddwyd y cyhoeddiad yn llaw un sydd yn blaenori yn yr eglwys uchod, iddynt ei gyhoeddi nos Sul, ond ni wnaethant; yr hyn a ystyrir yn angharedig iawn; ac nid hwn oedd y tro cyntaf iddynt hwy ymddwyn fel hyn. Pa bryd y derfydd rhagfarn? Mor wahanol yr ymddygodd y Methodistiaid, gan iddynt hwy wneyd y cyhoeddiad yn hysbys, rhoddi eu cwrdd i fyny, a bod yn bresenol. BRAWD.

PENDERFYNIADAU O BARCH.

Mewn cyfarfod o eiddo y *Band of Hope* perthynol i eglwys y Bedyddwyr Neillduol, Hyde Park, Pa., Gorph. 17, 1876, mabwysiadwyd yn unfrydol y penderfyniadau canlynol:

*Yn gymaint* ag i Dduw yn ei ddoeth ragluniaeth gymeryd ein hanwyl frawd William Marshall o'n mysg—

*Penderfynwyd,* Ein bod yn teimlo fod marwolaeth y brawd William Marshall yn golled fawr i ni yn y *Band of Hope*, ac eto yn fwy i'w dad a'i fam,

a'i frodyr a'i chwiorydd; a chydnabyddir fod y *Band of Hope* a'r Ysgol Sul wedi colli un oedd bob amser yn barod i wneyd unrhyw beth a allasai gyda'r canu. Hefyd teimlwn ein bod wedi colli un o'r bechgyn mwyaf gobeithiol a feddai yr ardal, fel canwr, darllenwr, a chwareuydd.

*Penderfynwyd,* Tra yr ydym yn cydymdeimlo yn ddwys â thad a mam, brodyr a chwiorydd y brawd ymadawedig, ein bod yn cydgyfranogi â hwy yn y gobaith o aduno yn y cor fry, lle na bydd ymadael mwy, a lle bydd dedwyddwch pur yn cadw allan bob deigryn.

*Penderfynwyd,* Fod adysgrif o'r uchod yn cael ei rhoddi i dad a mam yr ymadawedig, ac i gael ei gyhoeddi yn y WAWR, y *Faner,* a'r *Drych.*

EVAN J. DAVIS, ISAAC B. MORGAN, THOS. E. WILLIAMS, *Pwyllgor.*

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Remsen, N. Y., Gorph. 2, dau o bersonau, gan y Parch. John S. Jones. Mae yr achos yma yn gwisgo agwedd mwy llewyrchus nag y gwelwyd ef er's rhai blynyddau.

Yn Coalburgh, O., Mai 28, bedyddiwyd tri ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. John W. James. Ac ni ddywedem ormod, fod un o honynt wedi bod yn dywysog yn nheyrnas y gelyn. Hyderwn y ca ras i fod yn dywysog yn y deyrnas nad yw o'r byd hwn. Dros yr eglwys,

E. S. EDWARDS.

Yn Newburgh, Ohio, Gorph. 2, un, gan weinidog y Bedyddwyr Seisonig.

---

*GANWYD—*

Yn Thomastown, O., Gorph. 1, 1876, mab i Mr. Edward Richards a'i briod. Gelwir ei enw ef David John.

Diofid fyddo oes Dafydd—a'i geinion
Yn gynyrch gwir grefydd;
A'i dad a'i fam, diwâd fydd,
Yn lloni mewn llawenydd. CYFAILL.

Yn Coalburgh, O., trydydd mab i Edward a Margaret Edwards. Gelwir y bychan Evan J. Edwards.

Yn Coalburgh, O., mab i Thomas a Sarah Gibbons. Ei enw yw Thomas Gibbons.

---

*PRIODWYD—*

Gorph. 4, 1876, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, Mr. Henry Price, Johnstown, a Miss Catharine Jenkins, o Nanticoke. Trydedd ferch Anthony Jenkins, Ysw., diweddar o Rhymni, D. C., ond yn awr o Richards' Mine, N. J., yw Catharine.

Rhawd Henry fu bryn anrhydedd—*hymen,*
Ca'dd gymwys ymgeledd;
Ei Gath'rine fo'n llawn rhinwedd,
Bywyd hardd a byd o hedd. I. DDU.

---

*BU FARW—*

Yn Ashton, Pa., Mehefin 2, Mary Ann, merch Mr. William Rees a'i briod. Ei hoed oedd 7 mlwydd a 5 mis. Bu farw o'r *diphtheria.* Claddwyd hi ddydd Sul, Mehefin 4, yn nghladdfa y Bedyddwyr yn Minersville. Gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parch. D. S. Thomas, Ashton. Heddwch i'w llwch.—*D. S. Thomas.*

Nos Sul, Gorph. 9, rhwng 9 a 10 o'r gloch, yn nhy ei nai, Mr. T. G. Jones, South Side, Pittsburgh, Mrs. Joys Jenkins, gwraig y Parch. David Jenkins, gynt o Ebensburgh, ond yn awr o Hubbard, O., yn 87 mlwydd oed. Buont yn briod am 53 o flynyddoedd. Yr oedd yr ymadawedig yn aelod gyda y Bedyddwyr. Bu gyda chrefydd am 57 o flynyddau, ac yr oedd yn un a berchid yn fawr o herwydd ei rhinweddau. Dydd Mawrth, yr 11eg, claddwyd hi yn mynwent y South Side, Pittsburgh, a gweinyddwyd yn y gwasanaeth crefyddol gan y Parchn. Thos. T. Evans, Elizabeth, Pa., Mr. Westfall yn Seisnig, Thos. Edwards (A.), Thomas D. Thomas (T. C.), a'r ysgrifenydd.—*J. Evans.*

MRS. MARY EVANS, PLYMOUTH, PA.

Merch ydoedd i Rees a Mary Williams, Royal Oak, Llangadog, Swydd

Gaerfyrddin, D. C. Yr oedd y rhieni yn aelodau selog o'r Eglwys Sefydledig. Ganwyd Mary yn Tach., 1799. Ymbriododd ag un Wm. Evans, o'r un lle, yn y fl. 1830, o'r hwn y bu iddi 7 o blant. Bu tri o honynt feirw yn fabanod, ond cafodd y fraint o fagu y gweddill i'w cyflawn faintioli. Yn y fl. 1833, symudodd o Langadog i Ystalyfera, Morganwg, ac oddiyno i Gwmtwrch, Brycheiniog, yn 1842. Claddodd ei phriod yn 1844. Daearwyd ei weddillion yn mynwent Eglwys Blwyfol Ystradgynlais. Symudodd ei mab hynaf, David, i'r America yn 1859, gan ymsefydlu yn Youngstown, O., o'r lle yr ymsymudodd i California yn 1860. Daeth Mrs. Evans i'r wlad hon yn y fl. 1860, a bu yn byw ar bwys Scranton, Pa., am ddwy flynedd, ac yna symudodd i Pittston yn 1862, lle yr arosodd hyd y fl. 1868, pryd y symudodd i Plymouth, o herwydd fod meddianau gan ei mab Dafydd yno. Tra yr ydoedd Mrs. Evans yn byw yn Pittston, cafodd deimlo gloes nad anghofiodd byth. Yr oedd William, ei bachgen ieuengaf, wedi bod allan yn y rhyfel, ac wedi cymeryd rhan mewn deuddeg-ar-hugain o frwydrau gwaedlyd, ac wedi dychwelyd adref yn iach. Ond yn nghanol ei nerth a'i iechyd, cwympodd careg arno yn y gwaith, a bu farw yn mhen 46 o oriau o'r effeithiau. Claddwyd ef yn barchus iawn yn mynwent yr Odyddion yn Pittston. Bu farw yn yr 22ain flwyddyn o'i oedran.

Yr oedd Mrs. Evans yn wraig ymdrechgar, a llafuriodd yn galed i godi ei phlant i fyny, y rhai a adawyd yn ieuanc a diamddiffyn i'w gofal, yn weddw a digynorthwy; ond magodd hwynt yn barchus. Fel y crybwyllwyd, bu Dafydd, y mab hynaf, yn California flynyddau. Yn awr yr oedd yn byw gyda ei fam yn Plymouth er's rhai blynyddau, ac yn dyner ac anwyl tuag ati yn ei hen ddyddiau. Mae efe yn byw yno yn bresenol. Mae Evan, yr ail fab, yn Virginia City, Nevada—bu yntau yn dda iawn i'w fam.

Mae Jacob W. Evans, yr ieuengaf yn fyw o'r meibion, yn byw yn Pittston, Pa., ac yn aelod defnyddiol, yn ddiacon da ei air, ac yn ysgrifenydd ymdrechgar a gweithgar yn eglwys Bedyddwyr Cymreig y lle. Yr oedd hoffder Mrs. Evans yn fawr iawn tuag at ei mab Jacob, a'i serch yntau yn fawr tuag at ei fam.

Aelod gyda y Presbyteriaid Seisnig yn Plymouth ydoedd Mrs. Evans er ys llawer blwyddyn; ac yr oedd yn gyflawn ac onest yn ei holl ymwneyd â dynion; yn gydwybodol gyda'i dyledswyddau crefyddol, ac yn selog dros ogoniant Duw. Bu farw yn Plymouth, o'r clefyd blin, y dyfrglwyf mewnol, ar ol cystudd byr, yn yr oedran teg o 76 ml. a 7 mis, ar y 15fed o Fehefin, 1876, a chladdwyd hi ar yr 17eg, yn mynwent yr Odyddion, yn Pittston. Gweinyddwyd yn effeithiol yn y ty cyn cychwyn, gan y Parch. E. Jenkins, Plymouth, ac wrth y bedd, pan y Parch. Isaac Davies, Pittston, yn absenoldeb y Parch. H. C. Parry (Cefni).

Gadawodd dystiolaeth dda ar ei hol. Pan yn gweled ei bod yn rhydiau yr afon ddu, gofynodd rhai o'r cyfeillion iddi, os oedd arni ofn y daith. Atebodd yn gryf a hyderus, nad oedd arni ddim ofn marw, ond bod ei ffydd yn gorwedd ar graig yr oesoedd, a bod yr Arglwydd Iesu yn derbyn ei hysbryd. Ac wedi iddi ddywedyd hyn yna hi a hunodd. Gorphwysed ei llwch mewn tawelwch, dan nodded angel Duw, hyd y boreu y gelwir hi i fyw byth gyda Christ, yn myd yr adgyfodiad gwell.

Yma'r hun, er mawr rinwedd—yn y llwch,
Un fu'n llawn brwdfrydedd;
Iddi oer bridd i orwedd,
O dwrw byd, ydyw'r bedd. CEFNI.

EDWARD R. FRANCIS.

Ganwyd ef ar fferm o'r enw Draenogan Mawr, Llanfihangel Traethau, Sir Feirionydd, G. C., Awst 17, 1826. Bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd, pan oddeutu 23 oed, a derbyniwyd ef i gyflawn aelodaeth o Eglwys Talsarnau yr un dydd. Mab ydoedd i Robert a Sarah Francis, o'r lle uchod. Symudodd gyda yr ysgrifenydd i America, yn 1851. Bu hefyd am beth amser gyda yr Ysgrifenydd a'i chwaer, Mary Evans, yn gwneuthur ei gartref yn Berlin, Wis.,

a bu yn ffyddlawn yn ngwinllan Crist tra yr arosodd yn Berlin. Oddeutu y fl. 1860 symudodd i Pittsburgh, Pa., a bu yn aelod o eglwys y Parch. Wm. Owen. Ymunodd mewn priodas â merch barchus o Ebensburgh, o'r enw Mary Ann Long. Bu am beth amser yn byw yn Ebensburgh, ac hefyd yn Johnstown, Pa. Symudodd oddiyno i Dawn, Mo., ac ymunodd ef a'i briod â'r eglwys Fedyddiedig yn y lle. Ond nid hir bu y brawd anwyl Edward yn mwynhau iechyd da yn y lle. Cafodd ef a'i deulu y cryd, a dilynwyd ef â rhyw glefyd arall, a throdd yn ddarfodedigaeth, a bu yn nychu ynddo am dros ddwy flynedd, yn analluog i ddilyn ei alwedigaeth; ond er fod y dyn oddiallan yn gwanychu yn raddol, yr oedd y dyn oddi mewn megys yn cael ei adnewyddu o ddydd i ddydd, yn ol pob ymddangosiad yn ei lythyrau ataf dan yr amgylchiad yn ystod ei afiechyd; a'i fod wedi ymgymeryd ag anogaeth Paul, sef rhoddi ei serch ar y pethau sydd uchod, ac nid ar y pethau sydd ar y ddaear, a'r rheswm o hyny oedd ei fod yn farw, a bod y bywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw. Ond er cymaint o garedigrwydd a ddangosodd ei briod a'i blant, yn nghyda'r frawdoliaeth a'r cymydogion caredig, trechodd angau y cyfan oll. Chwefror 28, 1873, ehedodd ei ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoddodd. Mawrth 2, hebryngwyd ei weddillion marwol i dy eu hir gartref. Gweinyddwyd yn yr angladd gan weinidog y lle a'r Parch. Richard Davies, Springwater, Wis. Gadwodd yr ymadawedig wraig a phump o blant i alaru ar ei ol. Bydded Arglwydd Dduw Israel yn nodded iddi hi a'i phlant yn y byd trallodedig hwn, yw dymuniad,

*Springwater, Wis.* R. D. Evans.

---

RHEOLAU UNDEB BEDYDDWYR OHIO.

Parisville, O.—Ceisiwyd genym gyfieithu Deddfau *Baptist Convention* Talaeth Ohio, y rhai a ddarllenwyd yn Nghynadledd Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Ohio, a Gorllewinbarth Pa., a cheisiwyd genym eu hanfon i'r *Wawr*, ac i rai o'r papyrau Cymreig, fel y gwel Eglwysi y Bedyddwyr a berthynant i'r Gymanfa, pa fodd i ymuno, a pha beth sydd yn gynwysedig mewn ymuno a'r *Convention Seisnig* yn y Dalaeth. Wele yn canlyn gyfieithiad llythyrenol o ddeddfau yr Undeb:

Erthygl I.—Gelwir y gymdeithas hon Undeb Bedyddwyr Talaeth Ohio.

Erthygl I.—Amcan yr Undeb hwn fydd cyfarwyddo Cenhadaethau Cartrefol.

Erthygl III.—Ni bydd i'r Undeb hwn feddu hawl, nac un gradd o lywodraeth, nac awdurdod ar un Eglwys na Chymanfa.

Erthygl IV.—Gwneir yr Undeb i fyny o gynrychiolwyr Eglwysi Bedyddiedig, cymdeithasau cynorthwyol a Chymanfaoedd yn y Dalaeth, ag a gyfranant i'w thrysorfa. Bydd gan bob eglwys o gant o aelodau, a than hyny, hawl i un cynrychiolydd; ac un cynrychiolydd ychwanegol am bob cant, neu ran o gant, ychwanegol o aelodau; pob cymdeithas gynorthwyol i un cynrychiolydd, a phob Cymanfa i ddau gynrychiolydd. Unrhyw berson yn rheolaidd mewn Eglwys Fedyddiedig yn y Dalaeth, a all ddyfod yn aelod blynyddol trwy dalu dolar; a thrwy dalu $30 ar un taliad, neu ar dri thaliad blynyddol, bydd i'r cyfryw aelodaeth barhau tra y dewisir cadw y gyfryw safle.

Erthygl V.—Cynwysa swyddogion y gymdeithas hon Lywydd, Is-lywydd, Ysgrifenydd Gohebol, Ysgrifenydd Cofnodol, a Thrysorydd—oll i'w hethol trwy goelbren (*ballot*); hefyd. 36 neu ychwaneg o Ymddiriedolwyr (*Trustees*, y rhai a etholir yn flynyddol, ac a gyfansoddant y Bwrdd Trefniadol (*Board of Managers*), y rhai a fyddant mewn awdurdod hyd nes ethol eu holynwyr, a'u hawdurdodi i'r swydd.

Erthygl VI.—Bydd i'r Llywydd, yr Is-lywydd a'r Ysgrifenydd, gyflawni y swyddogaethau perthynol i'w cylch. Bydd gan yr Ysgrifenydd Cofnodol ofalu am ohebiaethau y Bwrdd a'r Undeb, a chyflwyno y cyfryw weithrediadau i'r Bwrdd yn ei gyfarfodydd rheolaidd. Bydd raid i'r Trysorydd, cyn cymeryd ei swydd roddi hawl-rwym (*bond*), gyda sicrwydd boddhaol yn ol barn y Bwrdd y bydd iddo gyflawni ei swyddogaeth yn ffyddlawn, a chadw cofnodaeth reolaidd o'r derbyniadau a'r taliadau, a gwneyd mynegiad rheolaidd o'r unrhyw yn nghyfarfodydd y Bwrdd a'r Undeb.

Erthygl VII.—Bydd i'r Bwrdd gyfarfod bob tri mis, neu yn amlach os bydd yn angenrheidiol. Bydd gan swyddogion rheolaidd yr Undeb hawl i alw cyfarfod pan dybiant hwy yn angenrheidiol. Yn eu cyfarfodydd rheolaidd, bydd i'r mwyafrif o'r rhai fydd yn bresenol hawl i weithredu. Mewn cyfarfod neillduol bydd i 15 gyfansoddi cysbwyllawd (*quorum*). Bydd iddynt gyfansoddi eu cyfreithiau eu hunain, a bydd ganddynt gyflawn awdurdod i benodi cenadau (*missionaries*) a goruchwylwyr (*agents*), ac estyn cynorthwyon arianol; ac yn gyffredinol, yn absenoldeb cyfarfyddiad yr Undeb, bydd ganddynt hawl i weithredu mewn pob cysylltiad angenrheidiol yn gyson ag amcanion yr Undeb. Rhydd y Bwrdd adroddiad i'r Undeb o i weithrediadau yn ei gyfarfodydd blynyddol.

Erthygl VIII.—Ni chaniateir tynu arian o'r drysorfa, heb i'r archeb gael ei llawnodi gan Ysgrifenydd y Bwrdd.

Erthygl IX.—Bydd raid i gyfrifon y Trysorydd ganlyn adroddiad y Bwrdd i gyfarfod yr Undeb, ac i'w gyhoeddi gyda'r cyfryw adroddiad.

Erthygl X.—Cynelir y Gylchwyl Flynyddol ar y dydd Iau o flaen y pedwerydd Sabboth yn mis Hydref, yn y lleoedd y bydd yr Undeb yn penderfynu eu cynal. Pe digwyddai rhwystr fod yn ffordd y Gylchwyl ar y dydd crybwylledig, bydd gan y Llywydd hawl i nodi dydd o fewn cylch 30 niwrnod o'r amser rheolaidd, trwy roddi hysbysiad prydlawn a rheolaidd o'r cyfnewidiad.

Erthygl XI.—Bydd gan yr Undeb yn y Gylchwyl Flynyddol hawl i newid y deddfau hyn trwy bleidlais tair rhan o bedair o'r aelodau presenol, gyda'r ystyriaeth fod Erthygl III i'w chadw yn ddigyfnewid; gyda'r ystyriaeth hefyd fod rhybudd ysgrifenedig wedi ei roddi mewn cyfarfod blaenorol, o'r bwriad o gyfnewid neu wella, neu fod cyfnewidiadau neu welliant wedi ei gymeradwyo gan y Bwrdd.

*Parisville, O.* Cyfi. E. Morydal Evans.

## HANESION O GYMRU.

(O "Seren Cymru.")

### CYMANFA GERDDOROL BEDYDDWYR MON.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn Beaumaris, Mehefin 14eg, o dan arweiniad y Parch. William Harries, Aberdar, a llywyddiaeth y Parch. L. W. Lewis, Lerpwl.

Yr oedd *programme* y Gymanfa eleni yn cynwys y tônau canlynol (ac ychydig o dônau eraill i'r plant), sef "Rhaiadr," "St. Illtyd," "Ewing," "Apolos," "Alora," "Elina," "Ezra," "Rheidiol," "Tudno," "Calfaria," "Elliot," a Llanfair." Trodd y Gymanfa allan yn llwyddiant perffaith mewn ystyr arianol a chyflawniadol. Yr oedd caredigrwydd yr eglwys yn Beaumaris yn deilwng o'r ganmoliaeth uchelaf.

### COFGOLOFN Y PARCH. J. EMLYN JONES, A. C., LL. D.

O'r diwedd y mae cof-golofn ardderchog wedi ei gosod i fyny ar fedd y gwr enwog uchod yn mynwent henafol Nebo, Glyn Ebbwy. Dydd Llun, Gorph. 3ydd, yr oedd y seremoni o ddadorchuddio y gof-golofn yn cymeryd lle.

### RHODD DEILWNG.

Yn hanes Cymanfa y Bedyddwyr yn Brycheiniog, a gynaliwyd Mehefin 13, 14, yn Glasbury, y mae a ganlyn yn mhlith y penderfyniadau:

"Trosglwyddwyd cais yr eglwys yn Nantyffin, mewn perthynas i swm o £200 a adawyd iddi gan foneddwr yn y gymydogaeth i ofal pwyllgor detholedig, y rhai wedi clywed yr achos a gyngorent i osod yr arian *upon trust*, yn enw ymddiriedolwyr cymwys mewn cyfarfod rheolaidd i'r perwyl hwnw gan yr eglwys yn Nantyffin, ac i wneyd hyny heb oedi."

### ABERGWAEN.

Mae yr eglwys hon wedi cael y fraint o weled ei chwrdd jubili canmlwyddol. Codwyd y capel cyntaf yma yn y flwyddyn 1776, dan arolygiaeth y Parch. John Williams, Llangloffan, a Mr. Henry Morgan, Tregroes. Dywedir i Mr. Morgan ddwyn yr holl draul ei hunan. Bu y brawd Morgan am ychydig yn ddiacon yn Llangloffan. Yr oedd yn hynod am ei dduwioldeb trwy y cymydogaethau. Yr oedd yn berchen cyfoeth mawr, ond eto yn hynod hunan-ymwadol. Dywedir y byddai bob amser wrth gyfranu at y weinidogaeth yn gosod swllt ar y darn aur, er cuddio o olwg dynion ei rodd. Nid dyn am gael ei ganmol gan ddynion oedd H. Morgan. Bu pregethu yn Abertawe mor foreu a'r flwyddyn 1739. Dywed yr enwog Joshua Thomas mai pregethu yn Abergwaen yr oedd y Parch. E. Francis, Castellnewydd-Emlyn, pan y cymerwyd ef yn glaf o'r afiechyd y bu farw. Bu brodyr da ac enwog iawn yn weinidogion ar yr eglwys hon; yn mhlith eraill, Henry Davies, John James, J. Richards, R. Owen a J. Rowe. Gweinidog presenol yr eglwys ydyw y Parch. W. Jones, brodor o'r Gogledd, a mab i Alltyd Glan Maelor. Y mae Mr. Jones yn enwog fel pregethwr galluog ac efengylaidd, yn cael ei ystyried gan ei frodyr bron yn ddieithriad yn un o'r meddylwyr mwyaf gwreiddiol, ac un o'r pregethwyr mwyaf galluog. Y mae llwyddiant mawr wedi dilyn ei weinidogaeth yma er ei sefydliad, wyth mlynedd yn ol. Ond awn at hanes y cwrdd a gafwyd. Cynaliwyd ef nos Fawrth a dydd Mercher, Mai 30ain a'r 31ain.

Pregethwyd nos Fawrth gan y Parch. J. R. Jones, Llwynpia (gynt o Lerpwl), ac A. J. Parry, Cloughfold. Boreu dydd Mercher, am ddeg, wedi i'r brawd Mr. Thomas, Trelettert, ddarllen a gweddio, bu y Parchn. J. R. Jones ac A. J. Parry eto wrthi—Mr. Parry yn Saesneg. Am ddau o'r gloch, darllenwyd a gweddiwyd gan Mr. Davies, Harmony; a phregethodd y Parchn. Davies, Llangloffan, a James, Tabor. Am chwech, bu Mr. James, Tabor, yn ymdrechu â Duw am fendith; a Mr. Jones, Llwynpia, a Mr. Parry, Cloughfold, yn pregethu.

### "THE ROYAL BOUNTY FUND."

Da genym hysbysu ein darllenwyr fod y Prifweinidog, Mr. Disraeli, wedi gwneyd *grant* o £75 yn y flwyddyn o'r Drysorfa uchod i weddw a phlant y diweddar Dr. Emlyn Jones, fel arwydd o barch am ei lafur diflin, a'i athrylith fel bardd a llenor. Credwn mai dyma y tro cyntaf i Brif-weinidog y Llywodraeth ddangos y fath anrhydedd i athrylith Gymreig yn mherson gweinidog yr efengyl yn mhlith y Bedyddwyr. Dywedir mai i'r Parch. Lewis Evans, Casnewydd; W. Downing Evans (*Leon*), ac eraill o'n gwladwyr, y mae y genedl yn ddyledus am yr anrhydedd amlygedig i goffadwriaeth yr anwyl Emlyn. Y mae y brodyr da hyn wedi bod yn gweithio yn ddyfal am flynyddau i'r dyben o sicrhau swm o arian yn flynyddol i'r weddw a'r plant, ac y mae eu hymdrechion yn awr wedi eu coroni â llwyddiant.

Teilynga y brawd Lewis Evans barch a diolchgarwch y genedl a'r Bedyddwyr am ei ymroddiad a'i sel yn y gwaith da hwn, a gobeithio na fydd iddynt anghofio tanysgrifio yn *liberal* tuag at y dysteb sydd wedi bod ar droed am gymaint o amser i weinidog parchus y Deml.

### CYMANFA BEDYDDWYR MORGANWG.

Cynaliwyd hon yn Calfaria, Clydach, Meh. 21ain a'r 22ain. Cadwyd tair cynadledd, am 11 a 2 o'r gloch y dydd cyntaf, ac am 9½ yr ail foreu. Ar ol mawl a gweddi, yn y gyn-

adledd gyntaf, cafwyd anerchiad rhagorol a gwresog gan y llywydd, y Parch. H. Jenkins, Paran. Pasiwyd diolchgarwch calonog y gynadledd i'r llywydd am yr anerchiad, gyda dymuniad iddo gyhoeddi y cyfryw yn *Seren Cymru.* Yn ganlynol darllenwyd penderfyniadau y pedwar cwrdd chwarter am y flwyddyn gan yr ysgrifenydd, y rhai oeddynt yn 39 mewn rhif, a chadarnhawyd hwynt gan y Gymanfa. Yna darllenwyd y cyfrifon arianol gan y trysorydd, y rhai hefyd a gadarnhawyd gan y gynadledd. Yna cafwyd clywed cyfnewidiadau yr eglwysi am y flwyddyn gan yr ysgrifenydd. Yna pasiwyd penderfyniad unfrydol, fod dymuniad y gynadledd ar i'n brodyr a'n cyfeillion Rhyddfrydol yn Sir Benfro beidio bod yn llac yn eu hegwyddorion, ond glynu wrthynt, a'u dangos mewn gweithgarwch, &c., yn yr etholiad sydd ar y drws yn eu sir, trwy ddanfon digon o fwyafrif dros y Rhyddfrydwyr sydd yn sefyll er eu cynrychioli yn y Senedd-dy.

Penderfynwyd, * * * * *

4. Fod y Gymanfa hon yn teimlo yn ofidus yn ngwyneb cymeriad gweithrediadol y mesur, Addysg Elfenol, a ddygwyd i'r Senedd bresenol gan Argl. Sandon, yr hwn sydd yn darparu ar gyfer gorfodiad plant i fyned i'r ysgolion, ond heb ddarparu ysgolion anenwadol ar eu cyfer; ei fod yn gosod y gallu i orfodi yn nwylaw personau nad ydynt yn cael eu dewis trwy bleidlais; a gwaeth na hyny, yn nwylaw pwyllgorau, y rhai, mewn llawer lle, nid ydynt amgen llywyddion offeiriadol ysgolion sectaraidd; ac ei fod yn rhoi y gallu i'r ynad heddwch i anfon plentyn i'r *Industrial School* am absenoli ei hun, yr hyn sydd yn cymdeithiogi addysg â throsedd, ac mewn llawer achos yn archolli y rhiaint cydwybodol trwy eu plentyn; ac yn mhellach, trwy gynyddu y rhoddion at ysgolion enwadol, y mae yn eu gosod mewn amryw achosion, yn annibynol ar gyfraniadau gwirfoddol at eu cynaliad; ac yn tori addewid ddifrifol ag oedd y ddwy blaid yn y Ty Cyffredin yn rhwym iddi, sef nad oedd y rhoddion at ysgolion enwadol i fod yn ychwaneg na haner y treulion.

5. Fod copi o'r penderfyniad blaenorol i gael ei anfon i bob un o'r aelodau Seneddol perthynol i Morganwg, yn gystal a'r rhai a gynrychiolant y sir, a'r rhai a gynrychiolant y Bwrdeisdrefi, i alw arnynt i wneuthur a fedrant i effeithio diwygiad yn adraniadau atgas y Mesur Addysg sydd yn awr o flaen Ty y Cyffredin; ac os na lwyddant yn hyny, i arfer eu holl egni er ei atal i ddyfod yn ddeddf.

6. Ein bod fel gweinidogion a chenadon yr eglwysi perthynol i Gymanfa Morganwg yn teimlo yn wir ofidus i gael ar ddeall fod ein hanwyl frawd, y Dr. Price, yn dra gwael ei iechyd, ac felly yn dymuno datgan ein cydymdeimlad dwysaf â'r Dr. yn ei gystudd presenol; ac ein bod hefyd yn taer erfyn am iddo gael eto (os yr Arglwydd a'i myn) ei adferyd yn fuan i'w iechyd, nerth, a'i ddefnyddioldeb arferol.

*Y Cyfarfodydd Cyhoeddus.*

Am 7 o'r gloch, yn y capel, dechreuwyd gan y Parch. D. Jones, Pontrhydyfen; a phregethodd y Parchn. J. R. Jones, Llwynpia; E. Jones, Maesteg; a H. Jenkins, Paran.

Am 7, boreu dranoeth, dechreuwyd gan y Parch. E. Evans, Hirwaen; a phregethodd y Parchn. J. Vaughan, Merthyr, a J. P. Williams, Rhymni.

Am 10, ar y cae, dechreuwyd gan y Parch. T. Jones, Pendarren: a phregethodd y Parchn. O. W. James, Merthyr; E. Roberts, Pont-y-pridd; a W. Williams, Mountain Ash.

Am 2, dechreuwyd gan y Parch. W. Haddock, Cwmbwrla; a phregethodd y Parchn. J. W. Maurice, Blaen-cwm, a N. Thomas, Caerdydd.

Am 6, dechreuwyd gan y Parch. W. Jones, Philadelphia; a phregethodd y Parchn. L. Jones, Treherbert; J. Lloyd, Merthyr; a L. Evans, Casnewydd.

Yn ngwahanol gapeli y Bedyddwyr ac enwadau eraill, pregethwyd gan y gweinidogion canlynol ar nos gyntaf y Gymanfa, sef S. Jones, Trefforest; J. Jones, Cwmogwy; J. Williams, Porth; J. Evans, Cwmdar; G. Ll. Williams, J. Thomas, Tongwynlas; H. Harris, Casllwchwr; E. Roberts, Pontypridd; J. Parrish, Abercanaid; W. Williams, Mountain Ash; W. Samuel, Cwmbach; — Jones, Blaenllechau; W. L. Evans, Caerffili; O. John, Corntown; R. Evans, Gwaelodygarth; T. Humphreys, Cwmaman; D. Griffiths, Dowlais; L. Evans, Casnewydd; T. Jones, Pendarren; J. Roberts, Rhydfelen; J. Radcliffe, Pil; D. Davies, Abercwmboye; T. Davies, Aberaman; J. P. Williams, Pontlottyn; a W. Harris, Heolyfelin.

Cafwyd un o'r cymanfaoedd goreu yn mhob ystyr; y parotoadau yn dda gan yr eglwys a'r gweinidog, a'r pregethau yn rymus a gafaelgar dros ben. I'r Arglwydd y bydddo y gogoniant. B. EVANS, *Ysg.*

---

## Y GENADAETH DRAMOR.

### BURMAH.

*Llythyr oddiwrth Miss Walling, un o'r llafurwyr.*

Byddaf weithiau yn teimlo tuedd i gyffelybu fy hun i weithiwr mewn twnel, yr hwn a saif trwy y dydd yn yr un fan i guro ebill a ddelir gan ddyn arall. Efallai fod y prif beirianydd yn gweled yr holl waith wedi ei orphen yn ei holl ardderchogrwydd. Ond gofynwch i'r gweithiwr am ei lwyddiant, a chyfeiria at ddyrnaid o lwch y graig, yr hwn a olchir ymaith gan chwart o ddwfr. Ymddengys yn rhy ddiddym i'w grybwyll. Felly yr ymddengys yr eiddof finau i mi; er hyny crybwyllaf am rai o'r tyllau yr wyf yn helpu i'w tori:

Y cyntaf yw *duwioldeb.*—Gallwn deimlo fod yr Ysbryd yn hofran drosom. Nis gallwn ragfynegu am y canlyniadau; ni allwn ond gobeithio. Y mae yn edrych fel pe byddem i dderbyn y fendith.

Y nesaf at dduwioldeb yw *glanweithdra.*—Pan y cymharwn ein bechgyn a'n genethod â rhai o'r *jungle*, mae genym achos i gymeryd cysur. Mae yr ysgoleigion o dan reidrwydd i olchi eu siacedi bob dydd Sadwrn. Heddyw gwelais chwech oeddynt wedi esgeuluso y ddyledswydd hon; ond yr oeddynt agos oll yn y dosbarth newydd, ac nid oedd gan un o honynt ond un dilledyn, ac felly yn ei chanfod yn anghyfleus i'w olchi ar y tywydd oer hwn.

Mae *dealltwriaeth*, ni a obeithiwn, yn lledaenu. Y mae rhai o'r bechgyn hynaf yn ymddangos eu bod wedi cymeryd i fewn y drychfeddwl fod mantais mewn addysgiaeth. Diwylliaeth er mwyn diwylliaeth sydd eto yn mhlith pethau anhysbys yma. Y mae genym ddosbarth o rai newyddion mwy nag erioed—haner cant o enethod; mae eu llawn haner yn enethod bychain. Gellid tybied fod ysbryd plentynaidd iachusol yn eu plith. Pan y daethum i yma flwyddyn yn ol, poenid fi wrth weled mor sobr ac henwreigenaidd yr oedd y genethod bychain. Yn awr maent yn chwareu cymaint a ddymunwn iddynt. Meddant chwareuon bywiog, y rhai a wnant les i'w cyhyrau, a chyda eu gwaith a roddant iddynt ddigon o *ymarferiad.*

Crybwyllaf am un dygwyddiad bach. Un prydnawn Sabboth, clywais dwrf tebyg i swn taran yn y pellder, yr hwn a barhaodd am beth amser. Yn yr hwyr, clywsom ef i gyd, a thybiodd Mr. Carpenter y gallai fod gan y genethod bychain *hoeden* yn eu hystafell. Aeth allan, a pheidiodd y daran. Gwrandawent hwy, mi dybiwyf, ar dipyn o drinfa fechan. Yr hwyr nesaf, yn nghyfarfod gweddi y genethod, nid yn gynt nag yr aeth y gair allan yn rhoddi caniatâd iddynt weddio, nag y dyrchafodd Posekeh ei llais bychan, yn crynu gan deimlad edifeiriol; a dilynwyd hi gan hon a'r llall hyd derfyn yr awr, pryd nad oedd ond un o'r genethod mwyaf heb gyfleustra i weddio.

Y mae y bobl yma hefyd yn dysgu y ddyledswydd a'r pleser o RODDI. Gallwch fod wedi clywed fod ein trysorfa yn fyr. Yn nghyfarfod y gweinidog, gwnaeth Mr. Carpenter ddadblygiad llawn o'r mater, a galwodd arnynt am bum' cant o *rupees* yn ychwanegol at yr hyn oeddynt wedi roddi yn flaenorol. Darfu iddynt ysgwyddo y baich, ac mae yr arian wedi dod yn y fath fodd fel ag i roddi lle i obeithio y codant y cwbl.

Nid oedd yr ysgol ond bron wedi ei hagor, pan ganfyddwyd fod y reis yn fyr. Yr oedd triugain o eneuau wedi bwyta hyd y gwaelod cyn i ni fod yn hysbys o hyny. Achosodd Mr. Carpenter i lythyrau gael eu hysgrifenu at y gwahanol eglwysi, yn gofyn am ychwaneg o adnoddau. Ni ymddangosai neb yn achwyngar, neu yn dywedyd, "Y cais yw bob amser, *rhoddwch.*" Gadawodd dynion faesydd y cynhauaf, a daethant daith diwrnod i ddwyn rhoddion eu pentrefi; ni arosent i siarad am fynyd; gofynent am i'w rhoddion gael eu dwyn yn uniongyrchol o'r bad, fel y gallent hwy ddychwelyd ar unwaith, oblegid yr oedd y cynhauaf yn dyoddef yn eu habsenoldeb. Cafodd un gweinidog ei lythyr foreu Sabboth. Gofynid iddo i gasglu a dwyn ugain neu ddegar-hugain o fasgeidiau; yr oedd ef ei hunan wedi ei ddwyn, yn cymeryd gydag ef fachgen bychan i'w gynorthwyo, fel na fyddai i neb o'i ddynion gael eu cymeryd o'r meusydd. Dywedodd Mr. Carpenter wrtho, "Nid oes genych ond tri neu bedwar o'r pentref yma; paham y dygasoch gymaint?" "Ni ddaethum ag ef i'n bechgyn ni," oedd ei ateb ardderchog. "Dygais ef i'r ysgol i gyd." Pe byddai eu cyfoeth yn gyfartal i'w haelionusrwydd, ni fyddai i ni gael ein beichio. Ond y maent yn hynod o dlawd, ac y mae miloedd o erwau na chânt ddim o honynt y flwyddyn hon, o achos y llifogydd mawrion.

---

## NODION PERSONOL.

Ar yr 28ain o Fehefin, graddiodd Mr. Owen James, o Aberdar, D. C., yn Mhrif-ysgol Lewisburgh, Pa., a derbyniodd yr urdd B. A. Mr. James oedd ysgolaig goreu y *class.* Iddo ef y dyfarnwyd y *first honors*, ac efe a gafodd yr anrhydedd o draddodi y *valedictory addresses* ddydd y *commencement.* Brodor o Lanboidy, Sir Gaerfyrddin, yw Mr. James. Bu yn tori glo am bedair blynedd yn Aberdar. Chwe' mlynedd yn ol, drwy ddylanwad y Parch. Dr. Price, gadawodd Gymru, a chafodd dderbyniad i Brif ysgol Lewisburgh, lle y mae wedi bod hyd y mis diweddaf. Bwriada dreulio y tair blynedd nesaf yn Athrofa Dduwinyddol Crozier, ger Philadelphia, i ymbarotoi i'r weinidogaeth Gristionogol. Y mae Mr. James yn perthyn i'r Bedyddwyr.

Y mae y Parch. H. Gwerfyl James wedi symud ei deulu i Pittsburgh, Pa., a dechreu ar ei waith fel gweinidog ar yr eglwys Fedyddiedig Gymreig. Y mae yno faes eang a manteisiol i wneyd daioni. Dymunwn lwyddiant Mr. James yn maes yr hen wron enwog, y Parch. W. Owen. Ei Sul cyntaf yno oedd Gorph. 16.

Ar ein taith, galwasom gyda Mr. Samuel Job, Bethel Home, Cleveland, Ohio. Da genym ddeall ei fod yn ychwanegu o hyd yn ei barch a'i ddylanwad yn y lle. Heblaw fod Mr. Job yn llenwi ei swydd mor dda fel arolygydd y Bethel Home, y mae yn dra defnyddiol fel pregethwr. Pregetha i'r gynulleidfa Gymreig yn Cleveland, ac i'r eglwys Fedyddiedig yn Newburgh bob yn ail Sabboth â Mr. Breese.

# Y WAWR.

CYF. I.] MEDI, 1876. [RHIF. 6.

## "ANGAU YN Y CROCHAN."

GAN Y PARCH. E. MORDDAL EVANS.

Pan yn darllen newyddiaduron y dyddiau presenol, dygir i'n cof y chwildroadau rhyfeddol a gymerasant le mewn cysylltiad â gwleidyddiath a chrefydd yn Ewrop ac Asia, o ddyddiau yr apostolion hyd heddyw. Y cymylau duon sydd yn crogi uwchben Ewrop, mewn canlyniad i doriad y rhyfel presenol allan rhwng Twrci a Servia, a'n hadgofiant o'r uchelgais sydd o ganrif i ganrif wedi cochi dyffrynoedd mewn gwaed, ac wedi llanw ein byd â dychryn a galar. Arabia, lle bu Duw gynt yn arwain Israel, ac yn rhoddi cyfraith i Moses, sydd heddyw (ran fawr o honi) yn nghrafangau y Sultan. Yr Aipht, yn yr hon y gwnaeth Duw wyrthiau, pan oedd Israel yn gaethion, sydd heddyw dan deyrnged i Twrci. Palestina, y wlad oedd yn llifeirio o laeth a mel, am yr hon yr wylai Israel Duw pan yn yr Aipht a Babilon, sydd heddyw yn feddiant Twrci Fahometanaidd. Patmos, yr hen ynys gysegredig, yn yr *Ægean Gulf*, oddiyno ar draws Asia, heibio y fan lle yr oedd y saith eglwys gynt, ar draws yr amryfal wledydd, o Lydia, trwy Galatia, Ethiopia, Phrygia, Lycania, Pontus, Cappadocia, Armenia, a Mesopotamia—y gwledydd eang hyn y bu Paul yn planu egwyddorion Cristionogaeth ynddynt—erbyn heddyw ydynt dan ewinedd y Sultan, ac yn feithrinfa a magwrfa Mahometaniaeth. Dychwelwn yn ol ar hyd lanau deheuol y Môr Du, heibio Caercystenyn, trwy ranau eang o Ewrop, trwy Neapolis a Macedonia, hyd gwr eithaf Dalmatia, hen enwau lleoedd a gwledydd eang yn Ewrop ac Asia, sydd dra adnabyddus i'r hanesydd Ysgrythyrol, ydynt erbyn heddyw wedi eu colli yn nghanol ofergoeledd Mahometaniaeth. Eu hen ormeswyr wedi eu claddu, eu henwau wedi eu newid, eu hen ymerodraethau wedi eu llyncu, ac oll yn gorfod ymgrymu i, a llyfu traed y Sultan, ac wedi cymeryd crefydd y Prophwyd o Mecca yn lle crefydd y Groes, a llawer o honynt wedi troi i Eglwys Groeg, ac yn yfed cawl ail-dwym Eglwys Rhufain yno. Onid yw y byd a'i bethau yn gyfnewidiol?

"Y mae angau yn y crochan." Dywedodd Ymerawdwr Rwssia ychydig

flynyddau yn ol, fod ymerodraeth Twrci fel "dyn claf" ar ei wely angau; a gallem feddwl mai trugaredd i Ewrop ac Asia fyddai ei weled yn tynu ei anadl ddiweddaf. O flwyddyn i flwyddyn gwirioneddolir y geiriau, "Rhaid iddo ef gynyddu, ac i minau leihau." Rhaid i egwyddorion rhyddid orchfygu. Rhaid i'r Iesu a bregethwyd gynt yn Asia gael ei dderbyn yn ol. Rhaid i'r Iesu a groeshoeliwyd ar Galfaria, gael ei bregethu ar ben y mynydd byth-gofiadwy hwnw eto. Rhaid i'r Sultan farw, ac i'w enw bydru. Rhaid i deyrnas y Gwaredwr daflu Mahometaniaeth i gysgod ac ebargofiant. Y mae goleuni celfyddydol, gwyddorol, a gwleidyddol yn gynwysedig yn ngoleuni efengyl. Y mae "angau yn nghrochan" Twrci — angau gwladwriaethol yn ei chyfansoddiad crefyddol. Gwir y bydd farw ond cael amser, ond byddai yn drugaredd â hi ei chynorthwyo i fyned o'i phoenau, gan ei bod yn poeni eraill hefyd.

Y mae gwaed Servia yn llefain yn uchel am gydymdeimlad prif alluoedd Ewrop, ond nid oes neb yn gwrandaw yn drugarog arni. Dywed Rwssia mewn sibrwd, "Yr wyf yn methu cael lle i roddi fy mhawen arthaidd i lawr." A dywed Lloegr, "Y mae genyf ormod o waith i wylio Rwssia, rhag iddi fyned yn rhy gryf, fel nas gellir clywed fy rhuadau, oni welaf Rwssia yn rhoddi ei phawen ar droedfedd o dir." Gwyr penau coronog Ewrop pa beth yw urddas y goron, a'u hanrhydedd eu hunain, ond nis gwyddant pa beth yw anrhydedd dynoliaeth. Caiff Mahometaniaeth Twrci boenydio, a llabyddio, a llosgi, yn Servia, heb galon i gydymdeimlo. na neb yn gwaeddi, Atal dy law. Ond pe cyffyrddid â *dignity* rhyw grach-swyddog, neu droseddu rhyw ddeddf ddibwys, byddant oll ar y maes mewn diwrnod. Dywedir, os rhydd Rwssia law i barthu, a'r nodded a hawlia Servia oddiwrthi, y try Lloegr i gynorthwyo Twrci, i dreisio Talaeth nad oes gan Twrci hawl gyfiawn arni, a hono y Dalaeth fwyaf ddiniwaid yn holl Ewrop. Ni byddai hyny ond yr un peth ag a wnaeth Lloegr pan yn cynorthwyo caethfeistriaid America i gadw pedair miliwn o drueiniaid mewn cadwynau. Gall Lloegr roddi ei dwylaw ar diroedd nad ydynt yn perthyn iddi, ac nid oes ganddi glust i glywed dolefau mamau a phlant glanau y Danube.

Rhoddwn yma fras olwg ar faes y rhyfel, safle a sefyllfa y pleidiau. Dichon y byddai ychydig fanylion am Twrci yn fanteisiol, er fod yr enw yn dra adnabyddus i ni. Bydd gwybod ychydig am Twrci yn ein cyfarwyddo parth rhanau pwysig o'r byd a ystyrir yn Gristionogol a gwareiddiedig. Twrci yn Asia a gylchynir—yn ogleddol, gan y Môr Du; yn ddwyreiniol, gan Persia; yr orllewinol, gan Fôr y Canoldir; ac ymestyna ei hawliau yn ddeheuol hyd galon Arabia, ac ar hyd lanau deheuol Môr y Canoldir, gan gynwys yr Aipht. Cynwysa yr holl diriogaethau hyn, a chymeryd i mewn gwr gogleddol Môr y Canoldir, fil o filldiroedd o'r gorllewin i'r dwyrain, ac wyth gant o ogledd i ddeheu. Fel yr awgrymwyd eisoes, cynwysa y tiriogaethau hyn rodfeydd plant Israel, a maes llafur Paul a'r apostolion eraill —bron yr oll o'r gwledydd y sonir am danynt yn yr Ysgrythyrau. Trwy'r tiriogaethau sydd heddyw ar yr enw Twrci, yr ymddolena y Tigris a'r Euphrates i lawr hyd y *Persian Gulf.* Hen Fabilon a Ninefeh, ac, fel y tybir, gardd Eden, a llu o leoedd hynod

mewn hanesyddiaeth Ysgrythyrol, ydynt o fewn terfynau Twrci yn Asia. Nis gallwn fanylu mewn ysgrif fer fel yma ar y gwledydd hyn a'u sefyllfaoedd amrywiol mewn crefydd a moes. Eithr dywedwn nas gall Twrci fod mewn heddwch, tra bydd yn ei mynwes y fath amrywiaeth o ieithoedd, gwaed, a chrefyddau, yn gymaint a bod yr hen lwythau a chenedloedd fuont gynt yn flodeuog, heb anghofio eu traddodiadau, nac anghofio eu gwaed. Er fod y Sultan wedi astudio y ffordd i gadw heddwch, trwy drethu yn ysgafn, rhoddi rhaglaw yn yr Aipht, tywysogion ar Dalaethau eraill, ac esgobion Mahometanaidd i lywodraethu, ac yn goddef eu rhyddid a phen-rhyddid (dan amgylchiadau anhebgorol) i'w ddeiliaid Cristionogol a Mahometanaidd; a mynych y mae'r rhyddid hwnw yn tori allan yn benrhyddid, fel y mae y Sultan yn methu rhoddi i lawr derfysgoedd. Yn gymaint ag nad oes gobaith am heddwch i'r Sultan, tra yn dal Talaethau yn ei law, sydd wedi bod yn rhydd, ac yn ymladd am eu hannibyniaeth er's canrifau, heb un arwydd y rhoddant i fyny y syniad nes ei adenill neu farw. Dyna paham y mae'r byd Cristionogol yn beio'r prif alluoedd, gan fod yn ngallu y cyfryw i gadw trefn, tra y mae yn eglur fod yr ymrysonfâau yn Twrci Ewropaidd wedi troi yn erledigaeth grefyddol rhwng Mahometaniaid a Christionogion.

Dychwelwn i faes yr ymgyrch, sef Twrci yn Ewrop. Yn Ewrop (yn unig) y mae gan y Sultan dros ddau can' mil o filldiroedd ysgwâr, ac oddeutu deunaw miliwn o boblogaeth. Gorwedda Twrci yn Ewrop, yn gylchynedig—yn ogleddol, gan Rwssia ac Awstria; yn ddwyreiniol, gan y Môr Du; yn orllewinol, gan yr *Adriatic Sea* ac Awstria; yn ddeheuol gan Groeg a'r *Ægean Gulf* neu yr *Archipelago Islands.*

Y mae yn naturiol i'r Sultan ddal ei afael yn y rhanau Ewropaidd o'i diriogaethau, am mai dyma ei *frontier* ar derfynau Awstria a Rwssia yn Ewrop. Y mae o bwys hefyd i alluoedd Ewrop yn meddiant pwy y bydd Twrci Ewropaidd, yn gymaint ag mai trwy y *straits* sydd yn gwahanu Ewrop ac Asia y gall llongau fyned i mewn i'r Môr Du, o Fôr y Canoldir, fel y mae yr agoriad hwn yn feddiant i Twrci. Pe cawsai Rwssia feddiant o'r cyfryw agoriad, byddai yn dyblu ei chadernid; a phe cawsai Lloegr feddiant o'r cyfryw, byddai ganddi fantais ddwbl i wylio Rwssia, trwy gael mynedfa i'w llynges i ddyfroedd y Môr Du a glanau deheuol tiriogaethau Rwssia. Dyna paham y mae Rwssia yn gogwyddo i gydymdeimlo â Servia a glanau'r Danube. Diau y byddai Rwssia yn falch o weled y Sultan yn symud ei *dent* o Ewrop; tra mai gwell gan y galluoedd eraill weled y tiriogaethau yn meddiant y "dyn claf," Twrci—nid ar gyfrif y tiriogaethau, fe allai, ond ar gyfrif y fantais sydd gan y galluoedd i wylio yr Arth Rwssiaidd trwy yr agorfa i'r llynges i ddyfroedd y Mor Du.

Y mae Twrci yn Ewrop mor llawn o ysbryd annibynol fel y mae'r Sultan o angenrheidrwydd wedi eu rhanu yn Dalaethau tywysogol, fel y mae y rhan fwyaf o honynt yn hollol annibynol, ond eu bod i dalu trethi—swm neillduol i'r Sultan, ac anfon nifer neillduol o filwyr mewn adeg o ryfel tramoraidd.

Ugain mlynedd yn ol, yr oedd Rwssia yn estyn ei phawen, ac wedi ei gosod ar Moldavia a Wallachia; ond trwy ryfel y Crimea y rhyddhawyd y ddwy Dalaeth grybwylledig gan y galluoedd, fel yn awr y mae Twrci ar un llaw, a

Rwssia ar y llaw arall, i amddiffyn y cyfryw Dalaethau, y rhai ydynt dan yr un tywysog, ac a elwir yn awr Roumania. Yr holl rwymedigaeth sydd ar Roumania ydyw talu teyrnged i Twrci o $100,000 y flwyddyn. Cyffelyb hefyd yw cysylltiadau Servia a'r Sultan, yn nghyda thywysogaethau Bosnia, Montenegro, a Bulgaria.

Nid yw Montenegro ond tywysogaeth fechan o 100,000 o boblogaeth, a'i thir ydyw 1,801 milldir ysgwâr. Y mae poblogaeth Servia yn agos i filiwn a haner, ac yn dalaeth 21,160 milldir ysgwâr. Y mae poblogaeth Roumania yn bum' miliwn, agos, a'i thiriogaeth yn 46,489 milldir ysgwâr. Bosnia sydd dywysogaeth arall, 1,100,000 ei phoblogaeth, ac yn 26,831 milldir ysgwâr. Bulgaria sydd dywysogaeth o 3,000,000 ei phoblogaeth, ac yn mesur 38,765 milldir ysgwâr. Dyna brif dalaethau glanau y Danube, y rhai ydynt bron yn annibynol.

CREFYDD GLANAU'R DANUBE.

Yn gymaint a bod amrywiaeth cenedloedd, ceir o fewn y tiriogaethau amrywiaeth grefyddol; tra mai Eglwys Groeg sydd yn cymeryd y flaenoriaeth, a'r eglwys yn dal cysylltiad agos a'r wladwriaeth. Y mae Servia, Moldavia, Wallachia, a Montenegro bron yn hollol yn llaw y grefydd Roegaidd. Y mae Bosnia yn fwy cymysgedig, gan y cynwysa Iuddewon a llawer o Babyddion. Yn Bosnia y torodd yr erledigaeth bresenol allan rhwng y Cristionogion a'r Mahometaniaid; a diau mai'r gymysgfa a nodwyd yw un rheswm o hyn. "Pa bryd," meddir, "y taflodd Eglwys Groeg ei dylanwad hyd lanau y Danube?" Yn y bedwaredd ganrif yr oedd Eglwys Rhufain wedi ymledu, ac wedi sefydlu rhyw esgobaeth urddasol neu Bab bychan yn Caercystenyn. Pan syrthiodd y gallu Rhufeinig, cododd eiddigedd rhwng Patriarch Caercystenyn a'r Pab o Rufain, fel yn y flwyddyn 582 O. C., y tywalltwyd melldith Felix II. ar ben Henadur Caercystenyn, pryd y dechreuodd yr ymraniad rhwng Eglwys Rhufain ac Eglwys Groeg. Gwnaed ymgais amryw weithiau i'w hail-uno, megys yn 519, 733, 862 O. C., ond methai Rhufain a chael esgobion Caercystenyn i lyfu ei thraed, fel yr aeth y Groegwr a'r Rhufeiniwr yn mhellach bellach. Pan gymerwyd Caercystenyn gan y Tyrciaid, yn y flwyddyn 1453 O. C., aeth y fam Rufeinig a'r ferch Roegaidd yn mhellach bellach oddiwrth eu gilydd. Tra yr oedd Eglwys Groeg ac Eglwys Rhufain wedi cael gafael cryf yn Ewrop yn y seithfed ganrif, yr oedd Mahometaniaeth wedi lledu ei hadenydd trwy Asia, ac wedi trwytho Caercystenyn i raddau, fel y llithrodd Mahometaniaeth i mewn trwy Caercystenyn i diriogaethau glanau y Danube o ganrif i ganrif.

Er fod llawer o debygolrwydd cydrhwng Eglwys Groeg ac Eglwys Rhufain, eto y mae y Roegaidd yn rhagori llawer ar ei mam. Nid yw Eglwys Groeg mor gul-farn parth darllen y Beibl. Nid ydynt yn credu yn y purdan, nac yn gwahardd i'r offeiriaid briodi. Dichon fod Servia yn un o'r gwledydd mwyaf cymedrol o ran eithafion ofergoelus a nemawr o blant yr Eglwys Roegaidd. Pobl ryfedd am eu rhyddid yw'r Serviaid; canant ganiadau rhyddid, ac ymladdant am eu rhyddid. Ceir yr ysbryd hwn yn llanw Servia yn ei gwleidyddiaeth a'i chrefydd; a theimlir dylanwad Servia ar lanau y Danube, fel y mae cydymdeimlad y byd Cristionogol heddyw am chwareu

teg i Servia. Nid oes gan Henadur Caercystenyn un awdurdod ar Servia. Llywodraethir achosion crefyddol gan Henadur, eisteddle yr hwn yw Belgrade, y brif ddinas. Y mae yn Servia 700 o offeiriaid, un athrofa dduwinyddol, athrofa filwrol, coleg amaethyddol, 300 o ysgolion gwyddorol i fechgyn, a 13 i ferched, heblaw amryw sefydliadau cyffelyb, fel y mae addysg yn lledaenu yn Servia; a phe cawsai heddwch gan Fahometaniaid, a chan Twrci baganaidd, byddai yn debyg o wasgaru goleuni ar lanau y Danube.

Y cwr mwyaf gogleddol o Twrci yn Ewrop ydyw Roumania, yr hon dywysogaeth a ymestyna yn ogleddol rhwng Rwssia ac Awstria. Groegaidd yw crefydd y dywysogaeth hon hefyd. Fel y nodwyd, y mae yn 5,000,000 ei phoblogaeth. Y mae yn Roumania 6,000 o eglwysi. Yn rhanbarth Moldavia y mae 3,268 o offeiriaid, 491 o ddiaconiaid, 7,622 o offeiriaid yn briod, 60 o fonachdai, ac yn y fwyaf o honynt 1,300 o fonachod. Yn rhanbarth Wallachia y mae 36,638 o bersonau yn perthyn i deuluoedd yr offeiriadaeth; 10,-749 o ddiaconiaid, 9,500 o fonachod a monachesau, 202 o fonachdai. Dywedir fod rhyw swm aruthrol o feddianau gan yr offeiriaid yn Roumania.

O ran ffurf-lywodraeth, y mae'r tiriogaethau hyn i raddau ar gynllun Lloegr. Dosranir Servia i 17 o ddosbarthiadau neu siroedd, a chan bob sir ei huchaf-lys cyfreithiol, a chan bob sir hawl i gynrychiolydd yn y Senedd genedlaethol. Dosrenir y siroedd i 53 dosran, a dosparthir y rhai hyny i 1,152 o blwyfydd, a chan bob plwyf Ustus Heddwch a llys cyfraith. Perthyna y dywysogaeth i linach neillduol, a chan y tywysog hawl i nodi pump o swyddogion neu weinidogion i ofalu am faterion y llywodraeth, tra y mae'r senedd i ofalu am ffurfiad deddfau. Cyffelyb yw ffurf-lywodraeth Roumania, gyda saith o weinidogion.

Arwynebedd glanau y Danube sydd fynyddig iawn, gan mwyaf, ac archwiliadau yn profi fod yno gyflawnder o fwnau, ond heb eu gweithio ond i raddau bychan. Dywedir fod haiarn Servia yn rhagori ar haiarn y byd. Ceir plwm a chopr, arian ac aur, mewn gwahanol ranau. Dywedir fod cyflawnder o lo yn Bosnia.

Wele ni wedi rhoddi portread o faes y gwaed. Fel yr awgrymwyd eisoes mai yn Bosnia y mae'r terfysg a chigyddio'r Cristionogion wedi dechreu. Bellach y mae Bosnia yn llawn cythrwfl. Yn gymaint a bod byddinoedd Twrci yn ceisio adfer trefn yn y diriogaeth, y mae'r Mahometaniaid yn nghysgod y cyfryw amddiffyniad yn cyflawni eu hysgelerderau yno. Fel hyn y dywed brys-hysbysiad o faes y creulonderau, Gorphenaf 31, 1876, am ysgelerderau y Tyrciaid yn Bosnia:

"Y mae 300 o Gristionogion wedi eu poenydio a'u boddi yn mhentrefi Pervan a Timan—12 o wragedd wedi eu dryllio yn ddarnau yn Pavice—60 o blant wedi eu lladd dan gawodau o geryg yn Rathlovo—180 o ferched wedi eu treisio a'u llofruddio yn Sokolovo—3,000 o Gristionogion wedi eu llofruddio yn Prijedor. Teflir plant i fyny i'w dal ar y bidogau. Cyhoeddir gan Dervish Pasha, y cadlywydd Tyrcaidd, nad oes loches na noddfa i fod i'r Cristionogion."

Ar ol i haner can' mil, neu gan' mil, o Gristionogion Bosnia a rhanbarthau Twrci gael eu llofruddio gan Fahometaniaid, dichon y daw y galluoedd allan, pryd y mae dynoliaeth a'i hurddas wedi llefain er's misoedd am ymwared

o ryw fan. Er fod y Sultan wedi methu adfer trefn yn Bosnia, ac Ewrop yn gwybod am y cigyddio; gan nad yw Lloegr, na Rwssia, nac Awstria, na Germani, nac Itali, na Ffrainc, yn gweled y bydd yn un fantais bersonol iddynt hwy, gallant edrych yn amynеddgar ar ysgelerderau ag y mae dynoliaeth yn gwrido yn yr olwg arnynt. Y mae Servia, Montenegro, a Christionogion Bosnia yn ymladd am eu bywyd, a'r byd gwareiddiedig yn edrych arnynt, ac yn aros, er gweled pa un yw'r *butcher* goreu, a rhai o honynt fel pe yn barnu mai cigyddion Twrci ddylent gael cymorth. "Y gwanaf gwaedded, a'r trechaf treisied." Y mae'r Sultan yn casglu ei fyddinoedd o dri chyfandir—o'r Aipht a Tunis yn Affrica, o gyrau Asia, ac o Ewrop, i ymladd dros Fahometaniaeth ar ddaear Ewropaidd. Pwy wyr na thry Duw gynddaredd dyn i'w folianu, fel y rhyddhawyd y caethion yn America gan y cleddyf, ac y collodd y Pab ei allu tymorol gan ryfel Ffrainc a Prwssia, ac y dyrysodd holl gynlluniau uchelgais Napoleon III., pan daflodd ei hunan a'i gleddyf, wrth draed William, ar faes Sedan?

## NODWEDDION Y GWIR BWLPUD.

GAN Y PARCH. FRED. EVANS (EDNYFED).

### PENOD II.

Y nodwedd arall a nodwn yw:

II. HYAWDLEDD. "*Ai Apollos?*"—Nis gallwn feddwl am Apollos heb feddwl am hyawdledd, ïe, am hyawdledd y galon. Mae gan y teiliwr, yr hetiwr, y crydd, a'r wniadyddes, fwy i'w wneuthur er gwneuthur i fyny ambell i bregethwr (?) na gwir addysg a hyawdledd. Rhyfyg yn ambell un yw gwisgo *cadach* gwyn. Mor aml y dywed y gwrandawyr, "Gwyn fyd na bae ei bregeth mor lân a gwyn a'i *necktie.*" Perthyn'a y *wisg bregethwrol* i'r gorphenol, a chreda y byd yn awr mai nid côt ddu a neisiad gwyn a wna bregethwr. Meddyliai llawer un wrth edrych ar Cornelius Vanderbilt eu bod yn edrych ar esgob; nid oes ond un peth a'u gwnaent yn sigledig yn eu barn, sef ei fod yn gyru ceffylau cyflym, ac yn eistedd mewn cerbyd esmwyth; nid am nad oes gan bregethwr berffaith hawl i hyn, ond am y gofala yr eglwysi gadw y pethau hyn oddiwrtho. Credwyf y dylai y gweinidog efengylaidd edrych yn ddyfal i'w ymddangosiad allanol, ond ni ddylai y pwlpud fod ar un adeg yn lle i *adverteisio* gemau, dillad, neu fenyg *kid.* Fel hyn y dywed yr anfarwol Gowper:

"In man or woman, but far most in man,
And most of all in man that ministers
And serves the altar, in my soul I loathe
All affectation. 'Tis my perfect scorn,
Object of my implacable disgust.
What! will a man play tricks, will he indulge
A silly, fond conceit of his fair form
And just proportion, fashionable mien,
And pretty face, in presence of his God?
Or will he seek to dazzle me with tropes,
As with the diamond on his lily hand,
And play his brilliant parts before my eyes
When I am hungry for the bread of life?
He mocks his Maker, prostitutes and shames
His noble office, and instead of truth,
Displaying his own beauty, starves his flock.
Therefore avaunt, all attitude and stare,
And start theatric, practiced at the glass.
I seek divine simplicity in him
Who handles things divine."

Ac nid yw y "symlrwydd dwyfol" yma ond gwir hyawdledd; h. y., a chaniatau fod pethau eraill yn gyfartal. Rhaid i bregethwr, er bod yn wir hyawdl, feddu i raddau helaeth iawn nerth corphol. Rhaid iddo wrth fwy o gig eidion, a llai o deisenau poeth-

ion; mwy o awyr agored, a llai o oleuni lamp. Ambell waith y gwelir pregethwr yn welw oblegid gormod myfyrdod; ond yn fynych y gwelir ef yn angeuol ei wedd oblegid bwyd afiachus. Dylai pwlpudwr, yn anad neb, feddu mynwes lydan, pibellau gwynt perffaith, ysgyfaint cyflawn, haiarnaidd. Yn feddianol ar y trysorau hyn y mae ar y ffordd i fuddugoliaeth.

Wrth hyawdledd y pwlpud y meddyliwn, nid araeth drystfawr y bachgen yn yr ysgol, neu araethyddiaeth ffurfiol y banlawr; eithr siarad nerthol, goleu, yn meddu ar *berswadio* fel y dyben mawr mewn golwg. Y dyn hyawdlaf yw yr un a enill at y pur, a'r gwir, a'r da. Eithr wrth feddwl am fawredd y gwaith, parod ydym i ofyn, "Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" Martin Luther a ddywed, "Yr wyf yn awr yn hen, ac yr wyf wedi pregethu am flynyddau lawer, ond nis gallaf esgyn i'r pwlpud ar unrhyw adeg heb grynu gan wendid." Clywais yr areithiwr di-ail, John B. Gough, yn dweyd nad yw yn bosibl iddo ymddangos o flaen cynulleidfa o bobl heb deimlo gwendid mawr, ac os yw y fath gewri yn teimlo eu hannigonolrwydd, pa ryfedd am danom ni y corynod? Nid yw y gwir bwlpud yn rhydd o'r teimlad hwn, ac ymddengys i mi ei fod yn anwahanadwy gysylltiedig â hyawdledd. Unrhyw un a ddywed y pethau goreu, yn y dull goreu, sydd wir hyawdl. Nis anghofiaf byth bregeth (?) a glywais oddiwrth un a D. D. ar ol ei enw. Cymerodd fel ei bwnc, ddameg y Samariad Trugarog. Rhoddodd ddesgrifiad manwl o Samaria, darluniodd y ffordd o Jerusalem i Jericho, siaradodd am wisg yr offeiriaid, rhoddodd hanes llwyth Lefi, a chymerodd ddau fynyd cyn yr Amen i ddweyd am ein dyledswydd i rai mewn caledi ac angen. Pa wahaniaeth gan y bobl am Samaria a'r Samariaid? —pa fudd enaid a gafodd y gwrandawwyr o wisg yr offeiriad?—pa beth oeddynt well o gael desgrifiad manwl o'r heol o un ddinas i'r llall! Rhoddodd ûs i'r bobl, a dangosodd y gwenith. Cynygiodd geryg iddynt, ond dywedodd fod ganddo wyau. Darluniodd asglod, tra y newynai y bobl am "fara y bywyd."

Nis gall neb fod yn berffaith hyawdl os yn anwybodus o deithi y natur ddynol. Pan y tystia y bobl parthed y gweinidog newydd, "O, nid ydyw yn deall y natur ddynol," gwell iddo edrych am ryw gylch llafur gwahanol, canys y mae dydd ei angladd, fel pregethwr, wedi ei wneyd yn hysbys. Nis gall un pregethwr fod yn hyawdl os nad yw yn caru ei waith. Nid gwas cyflog yw i fod, ond gwir fugail. Nid gweithio am gyflog y mae, ond oddiar berffaith gariad. Rhaid iddo siarad o'i galon. Dyma lle y ceir dirgelwch llwyddiant a hyawdledd y fath ddynion a Kossuth, Cavour, a Garibaldi, mewn gwladlywiaeth; Gavazzi, Gough a Spurgeon, mewn crefydd a moes. Meddylier am foment am frenin areithwyr yr oesau, Demosthenes—tra y siaradai â'i dafod tanllyd a'i galon lawn, cyfodai yr Atheniaid ar eu traed, a dywedent gydag un floedd, "Codwn, ac awn yn erbyn Philip!" Talodd Philip warogaeth hynod i nerth ei areithyddiaeth; wedi iddo glywed son am ddylanwad annhraethol un o'i areithiau, dywedodd, "Pe y buaswn i yno, nid oes amheuaeth na pherswadiasai fi i gymeryd arfau yn fy erbyn fy hun." Beth gan hyny a all fod dylanwad hyawdledd y dyn sydd a'i galon yn orlawn o gariad, ei lygaid ar yr orseddfainc, ei draed ar graig y gwirion-

edd, ei wefusau ar dân sêl, ei galon yn hiraethu am iachawdwriaeth pawb, ei enaid yn dirdeimlo dros ddynoliaeth syrthiedig, a'i gawell saethu yn llawn? Dyma beth yw hyawdledd symlrwydd. Talodd David Crockett warogaeth neillduol i Daniel Webster, trwy ddweyd, "Darllenais eich araeth yn y newyddiadur, heb gymorth y Geirlyfr." Nid hyawdledd yw firwd o eiriau yn gymysgedig â swn. Mae iaith yr enaid bob amser yn syml a dealladwy, ac o ganlyniad yn nerthol. Gofynwyd i Robert Morris, un o law-nodwyr enwog "Datganiad Annibyniaeth," pa fath bregethu a hoffai, "Y fath," ebai, "a wna i ddyn fyned i gwr pellaf y sêt, gan gredu fod y diafol yn dilyn yn dyn ar ei ol." Siaraded calon wrth galon, ac yna cawn y fellten, a gwyddoch mai yn y fellten y mae y gallu, y hi sydd yn gwneyd y gwaith. Rhaid i'r pwnc danio yr areithwyr, a phwy bynag a esgyn yn gyfatebol i'w bwnc sydd hyawdl. Meddyliwch am y pregethwr; saif ar Galfaria, a Sinai o'r tu cefn iddo; o'i flaen y mae y groes yn ei holl wychder a'i gogoniant, ac efe a gyfyd ei lais, ac a ddywed, "Na atto Duw i mi ymffrostio ond yn nghroes ein Harglwydd Iesu Grist. Ni wna blodau celfyddydol y tro; rhaid cael y rhai a derfynant mewn ffrwyth. Mae y gwaith y mae y fath athrofeydd ag eiddo Lewisburgh, Crozer, &c., yn ei gyflawni y fath fel ag y dylem roddi ein cymorth sylweddol i'r fath sefydliadau. Po fwyaf a gânt hwy genym ni, mwyaf oll a roddant i ni. "George," ebe un o arglwyddi Lloegr wrth ei arddwr, "daw yr amser pan y gellir cynwys mewn llogell ddigon o achles at erw o dir." "Yr wyf yn credu hyny, fy arglwydd," ebai y garddwr, "a'r amser hwnw gellir cynwys yr holl gynyrch yn y llogell arall." Os ydym am i Ysgolion y Prophwydi wneyd eu gwaith yn fwy effeithiol, byddwn yn fwy ffyddlon iddynt, ac yn ddiau y gwnant lawer yn y cyfeiriad o anfon allan ddynion yn gwybod y ffordd i siarad.

Y nodwedd olaf a nodwn yn bresenol yw,

III. Dewrder. *"Ai Cephas?"*

Saif Paul dros ddeall, Apollos dros hyawdledd, a Cephas dros ddewrder. Rhaid i'r pwlpud fod yn llawn o galon, o aidd a dewrder, canys rhaid iddo ymladd â phechodau yr oes. Pregethir llai ar fodiau a thalcen y bwystfil, llai ar olwynion Ezekiel a rhyfeddodau Daniel, a mwy ar gelwydd, anonestrwydd, meddwdod, cybydd-dod, enllib, athrod, cenfigen, a phob math o aflanwaith. Rhydd y gwir bregethwr o'r neilldu "chwedlau gwrageddos," a thrinia yn nerthol a di-dderbyn-wyneb y fath bethau a rhagrith ac ymbleidio yn yr eglwys. Prif waith brenin yw llywodraethu mewn ysbryd doethineb; nid yw o un gwahaniaeth i'r deiliaid pa un a yw yn chwareuwr cardiau llwyddianus, neu yn eilliwr rhagorol, neu yn gerddor gwych; ond ymddibyna eu dedwyddwch a'u llwyddiant ar y modd y teyrnasa. Nid yw o fawr wahaniaeth i'r eglwys a'r gynulleidfa, pa un a all y pregethwr siarad mewn modd dysgedig am wynebau y cerubiaid, traethu mewn modd *doctoraidd* ar y dylif, dadleu yn feistrolgar ar yr "haul yn sefyll" yn amser Joshua; ond y mae o bwys iddynt pa un a yw yn ddewr a doeth yn ei ymdriniaeth â phechodau yr oes a'r feddyginiaeth. Rhaid pregethu *i'r* bobl yn ogystal ag o'u blaen; rhaid iddo adael llonydd i esgyrn hen elynion meirwon, a churo â'i holl nerth bob Goliah byw a ymesyd ar Israel Duw.

Rhaid iddo gondemnio pechod, damnio twyll-wyneb y rhagrithiwr, a dyrchafu gwirionedd. Rhaid i'r gwir bwlpud amlygu gwir ddewrder. Nid oes a fyno mursendod, anwrolaeth, ac ofnusrwydd â'r wir areithfa. Nid ydwyf yn cymeradwyo y dull a fabwysiedir gan rai pregethwyr Americanaidd o gyhoeddi testynau cyffrous er tynu y bobl at eu gilydd. Mae yn sawru o anmharch, ac os nad yw o anmharch, dengys orawydd y pregethwr am boblogrwydd. Yn awr ac yn y man, ceir gweled y fath hysbysiad a'r canlynol:

"Traddoda y Parch. Nicodemus Solomon, D. D., LL. D., M. A., D. O. N. K. E. Y., &c., gwrs o bregethau yn Eglwys yr Udgorn, ar gongl heolydd Ding-Dong a Mew-Mew, ar y testynau canlynol:—'Esgidiau Tragywyddol,' 'Rhubanau ar ol Cythreuliaid,' 'Hen Hetiau,' 'Crochan yn llawn Tyllau,' 'O, beth all y Mater fod?' 'Crafu Cefn y Diawl,' 'Goglais Pac o Angelion,' &c."

Gwell cau drws y capel, neu bregethu i'r *sexton* a'r sêtiau, na defnyddio y fath ddull *cheapjackyddol* er cael y bobl i wrando yr *udgorn mingorn mawr.* Yr ydym yn sefyll mewn angen am fwy o ysbryd Nathan, i ddweyd yn ngwyneb yr euog, bydded gyfoethog neu dlawd, doeth neu annoeth, "*Ti yw y gwr.*" Gallai dinas Washington roddi gwaith cyson i haner cant o'r fath. Cyfoded Ioan Fedyddiwr ar ei draed, a tharawed yn nglustiau y mawrion pechadurus, "Nid yw yn gyfreithlawn i chwi wneuthur hyn." Bu amser pan y crynai prif anffyddwyr Lloegr dan ddylanwad di-droi-yn ol yr areithfa; ond cofier hyn, *cewri* oedd y pregethwyr ar yr adeg hono. Nid eu gwaith oedd rhoddi *soothing syrups* i'w saint, (?) ond pregethu y gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir, a hyny yn y dull mwyaf hyawdl. Eled o'n plith wyr y menyg dnon, y neisiad wen, y *dandies*, a bendithier y weinidogaeth â dynion o feddwl annibynol, o ymadrodd cadarn, ac o onestrwydd calon. Disgyned ysbryd Huw Latimer arnom.

"I say the pulpit (in the sober sense
Of its legitimate, peculiar powers)
Must stand acknowledged, while the world shall stand,
The most important and effectual guard,
Support and ornament of virtue's cause."

Rhaid i'r pregethwr fod yn bersonol ac ymarferol. Nid yw bwledi yn cael eu gwneyd er saethu yr awyr, ac nid yw gwirioneddau y Beibl wedi eu hamcanu i ymgolli mewn cyffredinoldeb. Rhaid i lais yr areithfa fod yn blaen a gonest. Llawer llais a droir yn fud, ond dyma lais na ellir ei ddystewi; llawer gorsedd a syrthia, ond dyma orsedd a saif yn ddigryn; llawer goleu a ddiffydd, ond dyma oleuni a barha i loni calon y teithiwr, a chyfarwyddo y pererin ar ei daith; llawer a â allan, ond dyma fflam ddysglaer a bery yn ei dysgleirdeb, canys porthir hi gan olew o olewydd bryniau gwlad anfarwoldeb.

O! bwlpud ardderchog! amddiffyner di gan Hollalluawgrwydd; bendithier di gan gariad anfeidrol, a gogonedder di gan yr Ysbryd Tragywyddol.

## AI FELLY Y MAE?

"Rhyw *un* pwnc sydd yn gwahaniaethu y Bedyddwyr oddiwrth enwadau eraill. * * * Ni chaniata y Bedyddwyr fod dim yn fedydd Cristionogol ond tansuddiad (y credinwyr) mewn dwfr. Hyn ydyw asgwrn y gynen wedi bod, ac yn bod, &c."

Fel yr uchod yr ysgrifena fy hen gyfaill, y Parch. D. S. Thomas, yn rhifyn Gorphenaf o'r WAWR. Mor

bell ag mae a fyno Mr. Thomas â'r syniadau hyn, ni wnaethwn un sylw o honynt, canys y mae rhediad ei ysgrif yn dangos y golygai efe ei hun hwynt yn anghyflawn.

Ond mae y geiriau uchod yn ddangoseg (*index*) o syniadau anmherffaith miloedd o Fedyddwyr parth y gwahaniaeth gwreiddiol sydd rhwng yr enwad ac enwadau eraill—gwahaniaeth llawer mwy pwysig na *dull* bedydd. Yn wir, pe byddai ond yr olaf, yn hytrach nag *ymsectyddio*, neu ymwahanu, o'm rhan fy hunan, fel y drwg *llai*, pleidiwn adael dull bedydd i annibyniaeth yr eglwys yn yr hyn y'i gweinyddid. Nodwn rai gwahaniaethau hanfodol a gwreiddiol sydd rhyngom a'n chwaerenwadau:

1. Creda'r Bedyddwyr mewn eglwys hollol annibynol ar y wladwriaeth, a rhyddid i'r person i addoli ei Dduw yn ol ei gydwybod. Nid yw hwn *yn bresenol* yn nod gwahaniaethol ar y Bedyddwyr yn y byd Protestanaidd. Gall yr Annibynwyr, y Presbyteriaid, &c., honi mai dyna eu hegwyddorion hwythau. Cawn weled. Yn Scotland mae yr Eglwys Bresbyteraidd (tarddle yr eglwys) wedi bod am flynyddau, os nad yw yn parhau felly, yn Eglwys y wladwriaeth, a chysylltiad bywiol rhyngddynt.

Nid yw ein brodyr yr Annibynwyr wedi bod mor ffodus, er y bu agos i Cromwell eu gwneyd felly pan y treisiodd orsedd Lloegr. O dan lywodraeth y Puritaniaid yn y wlad, gwladlywiaeth y Presbyteriaid a'r Annibynwyr oedd, undeb yr eglwys a'r wladwriaeth; ac felly y bu hi yn Lloegr Newydd am flynyddoedd lawer; ac yn Maryland y Pabyddion oeddynt yn llywodraethu dan yr un wladlywiaeth.

O dan y Bedyddiwr Roger Williams, mewn sefydliad Bedyddiedig—Rhode Island—o dan ddylanwad egwyddorion y Bedyddwyr, y siglwyd cryd annibyniaeth yr eglwys a'r wladwriaeth, a'i efeilliad, rhyddid cydwybod neu ryddid crefyddol.

Tu allan i'r lle a'r dylanwadau hyn yr oedd pethau yn hollol wahanol. Daeth y tadau Puritanaidd i'r wlad hon i addoli Duw yn ol eu cydwybod, a thrwy offerynoliaeth deddf wladol, gorfodent bawb eraill i addoli yn yr un modd. Ffurfiasant ar y cyfandir newydd yr un gorthrwm crefyddol, yr un undeb atgas rhwng yr eglwys a'r wladwriaeth, yr un traws-arglwyddiaeth uwch cydwybod y person, ag y ffoisant o'r fam-wlad i'w ochelyd; a'r Bedyddwyr yn unig (gydag ychydig Gwaceriaid gwasgaredig) a sefydlasant yr ordinhadau tragywyddol yn y wlad hon, rhyddid crefyddol ac annibyniaeth yr eglwys a'r wladwriaeth. Nodau arbenigol a gwahaniaethol y Bedyddwyr ydynt y rhai hyn; ac i'r graddau mae enwadau eraill wedi mabwysiadu yr unrhyw, i'r graddau hyny maent wedi eu lefeinio ag egwyddorion neillduol y Bedyddwyr.

2. Gwir a ddywed Mr. Thomas, fod *dull bedydd* yn ein gwahanu oddiwrth ein brodyr; ond fe allai mai mwy hapus fuasai cyfeirio at yr egwyddor fawr sydd yn *gorwedd dan* y gwahaniaeth a wneir yn ngweinyddiad yr ordinhad—*nad oes gan berson, pab, nac eglwys, hawl uwchafol i'r Testament Newydd i leihau, i chwanegu, nac i gyfnewid natur, cenadaeth, nac ordinhadau y ffydd Gristionogol.* Beth sydd wedi amrywio dull bedydd yn mhlith Cristionogion? Yn sicr, nid am *na wyddis* beth oedd y dull cyntefig. Mae ysgolheigdod y byd o'r braidd *yn un* ar y pwnc. Tu allan i weithiau awdurol dadleuol, nid

yw *standard works* dysgeidiaeth ieithyddol ac hanesyddol yn gwahaniaethu parthed dull bedydd. Paham, ynte, yr amrywir y dull? Wel: amrywia y Pabyddion ef, am y credant fod gan y Pab, fel Pen yr Eglwys ar y ddaear, *hawl i gyfnewid ei hordinhadau*. Cyfnewidia ein brodyr o'r enwadau Protestanaidd y dull, am yr honant *nad yw o un pwys am y dull.* Mae'r Bedyddwyr yn trochi—trwy hyn yn gwadu *hawl* pab i gyfnewid, ac yn honi dyledswydd arbenigol pawb i gadw yn bur ordinhadau y ffydd *fel y derbyniasom hwynt gan Ben Mawr yr Eglwys.*

Nid oes i ni ddadl *dduwinyddol* â'r taenellwr a hona ei fod ef yn gweinyddu yr ordinhad yn ol y portread gwreiddiol o honi. Anghydwelediad parth deongliad iaith, a ffeithiau hanesiaeth sydd rhyngom ag ef; ond y dyn ddywed, "Yr wyf yn taenellu am nad oes *bwys* yn y dull, neu am fod genyf hawl i'w gyfnewid yn ol fy mympwy fy hunan. Rhwng y *taenellwr yna* a'r Bedyddiwr mae gwahaniaeth gwreiddiol, sylfaenol, anghymodol, a thragywyddol—gwahaniaeth ag y byddai yn anffawd grefyddol i edrych drosto. Mae yma egwyddor bwysig yn gorphwys—a roddir awdurdod, neu fympwy ddynol uwchlaw i, neu yn gyfochrog â rheolau pendant a datguddiedig y Beibl. *Dyna "asgwrn y gynen."*

3. Gwahaniaeth pendant a gwreiddiol arall sydd rhwng y Bedyddwyr a'r *holl fyd Cristionogol:* Mor bell ag y gwn i, y Bedyddwyr yw yr unig enwad sydd yn credu, ac yn ceisio gweithredu ar yr egwyddor y dylai *pob aelod o eglwys Dduw* ar y ddaear fod *wedi ei aileni* trwy ddylanwad yr Ysbryd Glan, ac yntau yn bersonol gydwybodol o hyny. Yr eglwys Fedyddiedig, meddaf, yw yr *unig un* sydd yn gweithredu oddiar yr egwyddor uchod.

*Prawf:* Edrycha'r byd Cristionogol ar yr ordinhad o fedydd fel drws i'r eglwys; fod y hedyddiedig yn dal rhyw fath o gysylltiad fel aelod o'r eglwys; o ganlyniad, pan y bedyddir baban mae yn aelod o'r eglwys; ac i'r rhai a wadant rinwedd ail-anedig i fedydd, mae'r baban, er yn aelod gorfodedig o'r eglwys, eto yn aros yn ei ystâd o euogrwydd a chondemniad cyntefig a naturiol. Gwir fod y rhai, fel y Pabyddion a'r Esgobaethwyr a honant ras ail-enedigol yn gysylltiedig â bedydd, yn osgoi y cyhuddiad hwn; ond pawb eraill o'r baban-daenellwyr maent yn gorwedd dano.

Yn yr amgylchiad hwn mae gwahaniaeth cyffredinol, nodedig, ac annhraethol bwysig rhwng yr eglwys Fedyddiedig a'i chwaer-eglwysi.

Edrychaf ar y tri gwahaniaeth a nodais fel rhai gosodol (*fundamental*) a gwreiddiol rhyngom a'n brodyr.

—

Fy mrawd y Golygydd—Fe allai, yn yr ysgrif frysiog ac afler hon, fy mod yn anfwriadol wedi gorliwio neu gamddarlunio egwyddorion a golygiadau y brodyr taenellyddol—ymdrechais beidio. Beth bynag am hyny, os wyf wedi gwneyd, bydd yn gyson iawn â'n hegwyddorion ni fel Bedyddwyr, i chwi roddi tu-dalenau y WAWR at wasanaeth unrhyw frawd o'u plith yr hwn dan ei enw priodol a gywira y camwri, ac a'n goleua yn wahanol. Wrth gymeryd mantais ar frawddeg o lith fy mrawd D. S. Thomas, nid oes neb yn fwy nag ef ei hun a werthfawroga y cyfeillgarwch cynes sydd rhyngom.

Yr eiddoch yn frawdol,

*Whitesboro, N. Y.* H. O. R.

# CYSYLLTIAD Y WEINIDOGAETH A'R EGLWYS.

GAN Y PARCH. JOHN EVANS, WESTERLY, R. I.

Nid yw y dyeithrwch ymddangosiadol a fodola rhwng yr eglwys a'r weinidogaeth yn briodol i drefniant pethau yn y cychwyniad. Y maent yn gydoesol a chyd-ordeiniedig. Y mae yn resyn mawr fod y fath ddrychfeddwl cyfeiliornus wedi cael bodolaeth erioed, a bod cymaint a broffesant Gristionogaeth yn edrych ar y ddwy fel pe byddent yn sefydliadau hollol wahanol ac arbenig. Cyfaddefir fod yna ychydig o ddyeithrwch, ond nid digon i gyfiawnhau y gwahaniaeth a gynwysir yn y termau *clergy a laity*. Anhawdd fyddai penderfynu pwy sydd gyfrifol am y gwahaniaeth hwn, pa un ai y bobl ai y pregethwyr. Efallai fod y ddau, ond sicr, fel yr honir gan Gibbon yn ei lyfr nodedig ar "Ddirywiad a Chwymp Rhufain," fod y weinidogaeth yn gyfrifol am gyfran bwysig o hono. Yr oedd y fath wahaniaeth yn ddyeithr i'r Rhufeiniaid a'r Groegiaid. Ei dad ydyw Pabyddiaeth, ac y mae yn un o golofnau cadarnaf Eglwys Rhufain. Y mae y fath wahaniaeth yn anesgusodol, ac yn farwol i gynydd a llwyddiant gwir grefydd. Er nad yw ond ymddangosiadol yn ein plith ni fel cenedl, eto y mae yn achos ofni fod yr eglwys a'r weinidogaeth yn sefyll yn rhy bell oddiwrth eu gilydd, ac yn edrych â llygad rhy ddrwgdybus y naill ar y llall, fel pe byddai "canolfur y gwahaniaeth" yn parhau yr un. Y mae cyfansoddiad yr eglwys gyntefig, llwyddiant Cristionogaeth, yn nghydag ymdrechion diorphwys gelynion yr efengyl yn galw yn y modd mwyaf difrifol ar grefyddwyr i alltudio o'u mynwes bob tyb o barthed i'r dyeithrwch hwn, a gweithredu fel rhai sydd yn gwybod mai olynwyr ydynt o'r un peiriant dyfeisiedig gan Dduw i gyflawni amcanion daionus a gogoneddus.

Y mae y berthynas a fodola rhwng y weinidogaeth a'r eglwys yn un agos neillduol. Nid gwiw i'r ardd gwyno yn erbyn y planigion a dyfant ynddi. Ei chynyrchion hi ydynt. Y maent yn wraidd a changenau, yn ddail a blodau wedi derbyn eu bodolaeth oddiwrthi, a llefarant yn uchel o barthed i'w gallu a'i chyflwr cynyrchiol. Deil y weinidogaeth a'r eglwys yr un berthynas. Yr eglwys ydyw y cynyrchydd, y weinidogaeth ydyw y cynyrchiedig. Planigyn ydyw wedi gwreiddio, blaguro, a thyfu yn ngardd yr eglwys, gan briodoli iddo ei hun natur ac ansawdd y tir a'i cynyrchodd; felly cymwys ydyw y ddiareb, "*Like people, like priest.*" Mae Duw, ar adegau neillduol, wedi codi dynion neillduol i gyflawni gwaith neillduol. Safant yn rhestr yr apostolion a'r diwygwyr. Cafodd Luther ei eni a'i fagu yn Eglwys Rhufain, ond ei ddyrchafiad i'r weinidogaeth ydoedd weithred neillduol o eiddo Duw. Cafodd ei godi er mwyn yr eglwys, o'r tu allan iddi. Magwrfa gweinidogaeth y dyddiau presenol ydyw yr eglwys. Y mae y gwaith o ddewis ei helfenau mwyaf cymwys, yn nghyda'u haddasu a'u gwrteithio wedi ei benodi iddi.

Yn y goleu hwn y mae yr eglwys yn y *lle cyntaf*, yn gyfrifol am gymeriad *moesol* y weinidogaeth. Wrth foesoldeb, yn y fan hon, y golygwn gariad at rinwedd, ac ymlyniad wrth wirionedd, elfenau anhebgorol angenrheidiol i weinidogaeth lwyddianus. Nid yn un oes o'r byd y dysgleiriodd y cymeriad gweinidogaethol yn fwy gogoneddus nag yn y ddwyfed-ganrif-ar-bymtheg.

Dyma gyfnod y cewri a'r dewrion yn mhob ystyr. Yn yr adeg hon, fel pob un arall, nid oes ond adlewyrchiad o gymeriad yr eglwys. Dyma yr amser y nodid y dirgel-fan gan liniau y gweddiwr, y gwlychid y gobenydd gan ddagrau taer-ddeisyfiad, y gwregysid y lwynau yn yr ymgyrch am ryddid cydwybod, ac yr aberthid bywyd a meddianau dros Dduw a'i wirionedd. Dyma yr oes y rhoddodd yr eglwys fodolaeth i weinidogaeth ag y mae ei dylanwad yn parhau hyd heddyw, ac ni ddiflana hyd derfyn yr oesoedd. Y mae y rhieni yn canfod eu delw yn y plentyn, ac yn gweled yn ei gyfansoddiad argraff y nwydau, y tueddiadau a'r arferion priodol iddynt hwy, wedi eu trosglwyddo iddo trwy gyfrwng natur. Gall yr eglwys edrych i'r weinidogaeth, a chanfod gyda'r cywirdeb mwyaf ogwyddiadau ei chalon wedi eu hargraffu a'i llaw ei hun. Rhoddodd yr eglwys fodolaeth i John Elias, Williams o'r Wern, a Christmas Evans, pan oedd ei henaid yn llosgi gan sêl dros ogoniant Arglwydd Dduw y lluoedd; ac yn mhwy y dadblygwyd yr un elfen yn fwy effeithiol nag yn mywyd dysglaer y tri gwron hyn. Os yw yr eglwys yn dymuno gweled safle foesol y weinidogaeth yn ymddyrchafu yn uwch ac uwch, bydded iddi ymlanhau oddiwrth bob llygredd, ac ymgysegru i burdeb a gwirionedd.

Am yr un rheswm y mae yn gyfrifol am gymeriad *meddylriol* y weinidogaeth. Wrth hyn yr ydym yn golygu, nid meddyleg dreiddiol, cof gafaelgar, rheswm cryf, a dysgeidiaeth ddwfn, gymaint a gogwyddiad barn a thueddiad syniad. Yr oedd Voltaire yn meddu un o'r *intellects* dysgleiriaf, ond aughymwys iawn fuasai i waith y weinidogaeth. Nid oes yr un cylch yn gofyn talentau mwy llachar na'r un gweinidogaethol. Medr ymffrostio hefyd yn eu meddiant gymaint ag unrhyw gylch, ond ofer ydynt oll os nad ydynt ar ogwydd priodol. Yr oedd meddwl Voltaire yn rhedeg yn hollol wrthwynebol i eiddo Duw. Yr oedd syniad ei feddwl yn tarddu mewn anghrediniaeth, ac felly yn elyniaethus i wirionedd pur. Paham, mewn rhai gwledydd a rhanau o wledydd, mae uniawngrededd duwinyddion yn llychwinedig â syniadau amheus, ac weithiau anffyddol? Onid yw hyn yn wir yn Germani, ac yn Ffrainc? Yn nes atom cawn fod y weinidogaeth Gynulleidfaol yn Lloegr Newydd yn dwyn nodau Undodawl. Hawdd ydyw cyfrif am hyn. Pe b'ai eglwys y Duw byw yn sefyll yn gadarn a diysgog, a'r Beibl yn ei llaw, gan ddweyd, "At y gair ac at y dystiolaeth," cedwid purdeb y ffydd, a sicrheid unffurfiaeth yn marn y weinidogaeth. Bwriad Duw ydoedd i bethau fod felly. Tra y mae meddyliau gweinion y mwyafrif o grefyddwyr o dan ddylanwad gwenwynllyd anffyddiaeth, a'n natur ystyfnig yn amddiffynol iddo, nid rhyfedd ein bod yn y dyddiau hyn yn gweled y pwlpud yn fynych yn cael ei droi yn gyhoeddfan yr hyn sydd yn groes i'r efengyl, ac yn cael ei ddefnyddio fel gwarchae gadarn cyfeiliornad. Tra y mae clust yr eglwys yn fyddar i wirionedd Beiblaidd, ac yn agored i ddadleuaeth, athroniaeth, ieithyddiaeth, cydmariaeth, a barddoniaeth y pregethwr, peidiwn synu os gwelir yr amser pan y teflir y Beibl allan o'n tai, a'n plant yn gwingo dan orthrwm pechod ac annuwioldeb. Y mae purdeb ein syniadau crefyddol dan ofal y rhai hyny a gyfansoddant eglwys Crist ar y ddaear.

Ar yr un sail yr honir fod yr eglwys yn gyfrifol am gymeriad *pregethwrol* y weinidogaeth. Rhaid ydyw y dyddiau hyn gael pregethwr o'r ffurf hon neu ffurf arall. Y mae nerth y ddadl yn troi nid gymaint ar y sylwedd a bregethir ag ar y dull o ddweyd, y llais, symudiadau y corph, a'r modd yr ymadroddir. Yr elfen fwyaf boblogaidd mewn pregethwr yn yr oes hon, ydyw y teimladol (*sensational*). Y prif offerynau sydd ganddo i chwareu arnynt ydyw y glust a'r llygad, ac y mae ei lwyddiant yn gyfartal i'w fedr i swyno y rhai hyn. Ail beth ydyw porthi y deall, a'r olaf beth ydyw adeiladu yr ysbryd. Y mae llanw yr addoldy ar y Sabboth yn fwy pwysig na chwanegu at wir aelodaeth yr eglwys. Y mae

talu dyledion dynion diamcan a gwastrafflyd yn fwy ei bwys na sefydlu y meddwl yn rhinweddau y groes. Fel moddion i weithio allan y fath ddrychfeddyliau, defnyddir pob desgrifiad o hap-chwareuon, ffeiriau, *lotteries*, &c. I gwblhau yr holl ddyfais, ceir pregethwr i ganu ei bregethau, ac nid eu traddodi—i wneyd y pwlpud yn chwareulawr, ae nid yn orsedd gwirionedd; ac os medra greu crechwen ar y gwyneb ac ysgafnder yn y galon, bydd wedi cyflawni yn ffyddlon y genadwri a ymddiriedwyd iddo. Yn holl ofynion Duw am burdeb a sancteiddrwydd, y mae yn ddieithriad yn apelio at yr eglwys, yr hyn a'n dysga mai pa faint bynag o ddaioni a gyflawnir trwy y weinidogaeth, a pha mor ogoneddus bynag ydyw ei dybenion, fod yn meddiant yr eglwys ddigon o allu i wrthweithio yr hyn sydd dda a chanmoladwy a phrysuro yr hyn sydd ddrwg a beius.

Y mae y cysylltiad rhwng y weinidogaeth a'r eglwys yn un o'r rhai pwysicaf, ac yn orlawn o'r canlyniadau mwyaf dymunol pan ei gwerthfawrogir yn briodol.

Y mae llwyddiant y ddau yn gyfartal i'r gradd y teimlir yr ymddibyniaeth yma y naill ar y llall. Dyma yr adeg y mae diwygiadau yn nodweddu cynteddoedd Seion, a'r plant a llaw mewn llaw a chalon wrth galon. Dyma yr adeg y mae gwinllan yr Arglwydd yn blodeuo ac yn dwyn ffrwyth, a charcharorion yn gorfoleddu mewn rhyddid.

Y mae yn ffaith nad oes dim fel y teimlad yma i gynyrchu elfenau gwir lwyddiant. O dan ei ddylanwad amlygir y *dyddordeb* dyladwy yn ngwaith gwir grefydd. Pa waith mawr a gyflawnwyd erioed heb fod gan y rhai a'u cyflawnai fwy neu lai o ddyddordeb ynddo. Onid hwn sydd yn gosod yni yn y darganfyddwr i wneyd ei anturiaethau ar ran gwybodaeth a gwareidddra yn llwyddiant? Onid hwn sydd yn gwneyd athrylith y myfyriwr yn fflam fyw tra yn chwilio celloedd athroniaeth am wirioneddau mwy gwerthfawr na'r aur? Onid hwn sydd yn creu brwdfrydedd yn nghalon y gwladgarwr tra yn amddiffyn iawnderau ei wlad, a nerth yn mraich y milwr tra yn ysgwyd ei gleddyf marwol uwchben ei elyn gormesol? Onid hwn sydd yn cadw y tân ar allor ffydd yn glir ac eirias, tra yr abertha y Cristion i'r Duw y mae yn garu? Dyddordeb ydyw bywyd crefydd yn gystal a masnach. Y mae yn ail i athrylith i gyrhaedd dylanwad ac enwogrwydd yn y byd. Y mae yn ail i ras i gyflawni gwrhydri moesol ac ysbrydol yn yr eglwys. Dyn wedi colli ei ddyddordeb mewn crefydd sydd "bren diflanedig, heb ffrwyth, dwywaith yn farw, wedi ei ddiwreiddio."

Y mae y teimlad hwn hefyd, fod y weinidogaeth a'r eglwys yn un, yn effeithio *cydweithrediad*. "Mewn undeb y mae nerth." Y mae y ddiareb hon wedi ei gwireddu ganoedd o weithiau, a gwireddir hi eto ar faes rhyfel ac yn nghyntedd heddwch, yn y deyrnas ac yn y teulu, yn y byd ac yn yr eglwys. Mor ddiffygiol ydyw yr eglwys o'r elfen hon, a rhyfedd mor ychydig a wneir i'w sicrhau. Mewn ystyr enwadol y mae llawer yn cael ei gyflawni tuag at gydweithrediad. Y mae y pleidiau a achoswyd yn fwyaf neillduol gan y rhyfel diweddar yn dyfod yn nês i'w gilydd. Nid oes achos ofni gymaint niwed oddiwrth y fath ysgariad a hwn, a'r un sydd i'w adwaen wrth deimlad a chalon. Megys y mae undeb a chydweithrediad y gwr a'r wraig yn taenellu mantell heddwch a llwyddiant dros yr holl fangre deuluaidd, felly y mae yr un cysylltiad rhwng y weinidogaeth a'r eglwys yn gynyrchiol o'r un ffrwythau godidog. Y mae dyeithrwch yn yr ystyr hwn yn cau gwefusau gweddi fel nas medrant lefaru, yn rhwymo llaw trugaredd fel nas gall weithredu, ac yn cloi calon haelfrydedd fel nas gall roddi o'i thrysorau cyfoethog. Bydded fod yr eglwys yn bywiocâu i'r teimlad fod y cysylltiad hwn yn agos, gan mai ar hyn yr ymddibyna ei llwyddiant a'i dedwyddwch. Bydded fod ymdrech ar ran y weinidogaeth i hyrwyddo y ffordd pan y bydd ymddiriedaeth lwyr ar ran y naill a'r llall yn y berthynas a wnaed

gan Grist, ac a amddiffynir gan Dduw er gogoniant ei enw a lles ei brynedigion.

## SYLFAENI CRISTIONOGOL YN SYLFAENI Y WERINIAETH AMERICANAIDD.

Sylfaen pob peth sydd dda, parhaol, a chynyddol mewn gweithrediad, ydyw Cristionogaeth. Pan ymddangosodd gyntaf yn y byd, dechreuodd cymdeithas newid ei gwedd er gwell. Y pryd hwnw tybid fod anghydraddoldeb cynhenid rhwng dyn a dyn, ac yr oedd y drefn gymdeithasol yn cael ei chario yn mlaen yn unol â'r dybiaeth hon. Penderfynid gwerth dyn wrth edrych arno fel aelod o'r wladwriaeth, ei wasanaeth iddi, a'i safle ynddi, fel pe dyben ei fodolaeth fuasai ei hurddasoli. Drychfeddwl paganaidd oedd hwn am ddyn. Ni allai yr athronwyr cyntefig doethaf ymgyfodi uwchlaw iddo. Ymdreiddiai ei ddylanwad drwy yr holl fyd paganaidd, gan osod ei liw a'i lun ar bob peth. Yr hyn a ystyrid yn bwysig yn ngolwg y wladwriaeth oedd, nid y dyn, ond y dinesydd; ac ni phetrusai ei hawlio yn hollol, yn gorphorol ac eneidiol. Os tueddai yr ymddygiad hwn i feithrin math o rinweddau gwleidyddol, a diwylliaeth personol o nodwedd a gyfrifid yn uchel, yn mhlith dosbarthiadau ag ydoedd yn ffafr y wladwriaeth, pwysai yn drwm ar y rhai yr oedd y wladwriaeth yn eu hesgeuluso—ar lafurwyr, celfyddydwyr, tlodion, carcharorion rhyfel, caethion a'r rhyw fenywaidd. Yr oedd dylanwad annymunol y farn isel hon am ddyn yn ei lawn rym pan oedd Rhufain yn anterth ei gogoniant a'i rhwysg. Yna ymddangosodd Cristionogaeth gyda ei hathrawiaeth ganolbwyntiol, yn dysgu fod dyn wedi ei greu ar ddelw Duw, a'i raglunio yn ddeiliad anfarwoldeb, yn cyhoeddi fod pob dyn yn ngolwg Duw yn gydradd. Priodolai i ddyn werth annibynol, ar wahan oddiwrth bawb a phobpeth. Achlysurodd y casgliad naturiol a phwysig fod dyn yn werthfawrocach na'r wladwriaeth, yr hon a ddylai gael ei llunio at ei wasanaeth. Aed o dan sylfaeni cymdeithas a ffurflywodraethau; daethpwyd i deimlo presenoldeb ysbryd newydd a gallu newydd yn y byd. Yr oedd yr ymdrechfa rhwng yr elfenau paganaidd a Christionogol yn galed. Yn ystod pedair canrif symudwyd cymdeithas wladwriaethol nid ychydig oddiar y sylfeini paganaidd tuag at rai Cristionogol. Cyfnewidiwyd llawer ar arwyddeiriau a deddfau Rhufain, ac yfwyd yn helaeth o ysbryd y grefydd newydd. Ond yn hir ar ol i Rufain syrthio, parhaodd paganiaeth o dan wahanol ffurfiau i ddylanwadu—yn enwedig y syniad fod dyn wedi ei fwriadu ar gyfer y wladwriaeth, swydd yr hon oedd llunio syniadau a gweithrediadau y lluaws. Parhaodd trawsarglwyddiaeth eglwysig a gwladwriaethol i orthrymu a marweiddio y meddwl dynol, nes o'r diwedd y cynhyrfodd y diwygiad ysbryd ymchwiliad a gweithgarwch yn mynwes yr eglwys.

Wedi i'r bywyd newydd gychwyn yn nherfynau crefydd, ymdreiddiodd yn fuan i gyfeiriadau eraill. Daeth y galluoedd newyddion a ddygwyd i ymarferiad i weithredu ar wrthddrychau mewn meusydd newyddion eangach. Ymledodd yr awyrgylch yn mhob cyfeiriad, ac fel yr oedd ysbryd ymchwiliadol yn enill tir, deuai gwladyddiaeth i dynu mwy o sylw. Yn y cyfamser ymddangosodd dosbarth uwchraddol o feddylwyr, y rhai a ddalient fod y wladwriaeth i fodoli er mwyn dyn; mai amcan y llywodraeth ddylai fod gweinyddu cyfiawnder, amddiffyn iawnderau, a gofalu am les y cyffredin. Yn mhlith y rhai hyn yr oedd George Buchanan o Scotland, dyn o gymeriad dysglaer, dysgedig, o gyrhaeddiadau mawrion mewn pethau gwleidyddol. Daliai efe, mewn llyfr a ysgrifenodd, fod breninoedd i dderbyn eu hawdurdod oddiwrth y bobl, y rhai feddent yr hawl i alw yn ol yr unrhyw. Cymhellai efe egwyddorion rhyddid a llywodraeth rydd, gyda grym a brwdfrydedd digyffelyb i neb o'i flaen. Yn Ffrainc, cawn Hubert Lauquet o nodweddau tebyg. Yn ngrym gwres ei ysbryd rhyddfrydig, taranai yn ddiarbed yn

erbyn anghyfiawnder a thraws-arglwyddiaeth, gan hyf ddadleu dros iawnderau y bobl, a'u hawl i fod yn rhydd oddiwrth orthrwm a thrais. Cyhoeddodd eraill yn Ffrainc, yn y cyfnod hwn, gynyrchion o gyffelyb ysbryd; ond nid oedd cymdeithas yn addfed eto i roddi derbyniad i'w daliadau. Braidd yr aethai heibio haner canrif cyn i gampwyr perthynol i'r ysgol hon oleuo awyrgylch wladyddol Lloegr. Yn eu plith yr oedd John Milton wedi ei lwyr feddianu gan ysbryd y diwygiad, yr hwn a amddiffynodd y gosodiad ardderchog, fod rhyddid yn hawl gynhenid dyn, a rhoddodd i'r byd ei resymau cryfion a digyffelyb dros ryddid ymadrodd mewn gwlad. John Locke hefyd a ddysgodd yr unrhyw athrawiaeth wrth ddadleu yn groew iawnderau y ddynoliaeth. Bu ef mor llwyddianus wrth ddal a gosod allan ysbryd rhyddfrydig ei oes, yn ei waith ar *Lywodraeth*, fel ag y daeth y cyfryw yn safon plaid wleidyddol gref. Ymledodd dylanwad ei ysgrifeniad yn agos ac yn mhell.

Yn yr amddiffyniad a'r gefnogaeth ddigyffelyb yn eu hysgrifeniadau a'u gweithrediadau a roddodd gwyr fel Milton a Locke dros ac o blaid rhyddid crefyddol ac egwyddorion gwerinol ar un llaw, ac yn eu hymosodiadau diarbed ar, a'u condemniad llwyr o ddrygau trawsarglwyddiaethol penaduriaid a phreladiaid eglwysig cysylltiedig â hwynt ar y llaw arall, y cawn esboniad teg a phrawfion diymwad y cydsaif egwyddorion gwerinol ag argyhoeddiadau dynion o'r cymeriadau uchelaf o ran talent a rhinwedd. Yr oedd y gwyr hyn o'r iawn ryw, ac oblegid gwerth eu gwasanaeth wrth amddiffyn iawnderau dynol a mawredd eu dylanwad, hawliant le yn mhlith ser y boreu dysgleiriaf y weriniaeth Americanaidd.

Pan oedd syniadau newyddion yn cynhyrfu y cyhoedd, a nifer yr arweinwyr poblogaidd yn lluosogi, a'r elfenau gwerinol yn cael eu gwneyd yn barhaus yn fwy hysbys yn Lloegr, darfu i amryw lywodraethau ganiatau trwyddedau er meddianu tiriogaethau yn y Gorllewin i gwmniau ac unigolion, y rhai oeddynt yn amcanu sefydlu trefedigaethau yno. Yr oedd y mwyafrif o'r trefedigaethwyr yn sectariaid selog o ran eu crefydd, ac oddiwrth ysbryd yr oes yr oeddynt yn fynych yn gul eu barnau, a mynych yn anhywaeth yn eu gweithrediadau. Ond pa un bynag ai Puritaniaid, fel yn Lloegr Newydd; neu Esgobaethwyr, fel yn Virginia; neu Babyddion, fel yn Maryland; neu Grynwyr, fel yn Pennsylvania, oeddent, meddent oll mewn pethau gwleidyddol yr un cariad at ryddid, ac ufuddhaent oll i'r un traddodiadau hanesyddol, a thueddiadau greddfol, fel ag yr oeddynt yn ymffurfio yn gyrph gwladwriaethol. Esgeulusent hen ffurfiau gwleidyddol y lleoedd y cawsent eu geni ynddynt, a chynwysent egwyddorion rhyddfrydig mewn ffordd ac i raddau gwahanol i ddim a welsid yn yr hen oesoedd, neu yn eu hoes eu hunain. Mabwysiadai pob sefydliad y rheol fod y mwyafrif i lywodraethu. Safid dros gynrychiolaeth, yr etholfraint, y fwrdeisdref, y cyfarfod cyhoeddus, y cynull-dy cyffredinol, prawf drwy reithwyr, a'r *habeas corpus;* mewn gair, arferent hunan-lywodraeth. Y mae rhagymadrodd i ddeddf foreuol Americanaidd yn rhedeg fel hyn—"Mwynhad rhydd o'r fath iawnderau, hawliau a breintiau ag y mae dynoliaeth, gweddeidd-dra a Christionogaeth yn galw am danynt, fel yn ddyledus i bob dyn yn ei le, a chyfartaledd, heb rwystr neu atalfa."

GOMERYDD.

---

Y MAE rhagluniaethau Duw weithiau yn debyg i destynau tywyll nas gallwn eu hesbonio, ond y maent oll yn cyflawni ei fwriadau a'i addewidion ef. —*John Mason.*

Y MAE rhagluniaeth *gyffredinol* yn bod, yr hon sydd yn tywys ac yn llywodraethu pob peth megys un gyfundraeth; ac y mae rhagluniaeth *neillduol*, yr hon sydd yn cyrhaedd at bob bôd unigol, yn rhestrau bodau deallgar, ac at bob gronyn o ddefnydd yn y bydysawd, oblegid y mae pob rhan o'r greadigaeth o dan ofal gwyliadwrus Duw. (Mat. 10: 29, 30.)—*Samuel Davies.*

# Amrywiaethau.

## Mesur Rhydd mewn Mesur Caeth.

Wele gynygiad i droi y ddau benill anghydmarol canlynol o waith William Williams, Pant-y-celyn, ar ddull cywydd, Awst 3, 1826:

A oes neb o'm hen gyfeillion
A ddaw 'n dawel gyda mi,
Ac a orwedd wrth fy ochr
Obry yn y ddaear ddu?
A yw cyfaill ddim ond hyny,
Colli dagrau, newid gwedd,
Pan fo'r pridd, a'r clai, a'r ceryg,
Arna'i 'n cwympo yn y bedd?

O, ynfydrwydd, O, ffolineb,
I mi erioed i roi fy mryd
Ar un tegan, ar un gwrthddrych,
Welais eto yn y byd!
Pan ddel angau chwi ffowch ymaith,
Da i mi fod genyf Dduw,
Ffrynd ddaw gyda 'm wedi 'm farw,
Hwnw garaf tra b'wyf byw.

CYWYDD.

Oes yn awr saif, syn yw'r son,
Un o fy holl gyfeillion
Gyda mi heb fy ngadael
I gyd yn fy mhridd-dy gwael?
Ai dagrau 'chydig digrawn,
A newid gwedd ydy' gawn
Mewn tôn, ai dim ond hynu
Gaf lle y ces gyfaill cu,
Pan fo'r pridd yn fy mhriddo
Yn y glyn a'm rhoi dan glo?
Mor fl n y bu'm ffolineb,
Gwela'i 'nawr i'm ga'lyn neb,
A rhoi fy serch anerchyd,
I mi erioed r i fy mryd,
Ar un moddion, pe meddyd,
Ar un gwrthddrych gwych i gyd!
A'i law ing pan ddel angau,
Chwi a ffowch ymaith i'ch ffau;
Da odiaeth pryd hyn ydyw,
Dyma ddeil, fod i mi Dduw
A ddaw, 'rol myn'd i'r ddaear,
Gyda mi i weini ar
F'enaid—mi garaf fy Nuw
Tra bwy' i byw, tra bo byd.

P. A. MON.

## William Penn.

Ganwyd William Penn yn ninas Llundain, ar y 14eg o Hydref, 1644. Derbyniodd ei addysg yn Rhydychain. Ei dad ydoedd y Llyngesydd enwog Penn, yr hwn oedd fawr yn ffafr y brenin a'i berthynasau. Yr oedd er yn ieuanc yn hynod am ei dalentau dysglaer a'i dduwioldeb dirodres. Tra yr oedd efe eto yn fyfyriwr, clywodd un o'r Crynwyr yn pregethu, a dylanwadwyd yn fawr ar ei feddwl. Ymneillduodd ef ac amryw eraill o'r myfyrwyr o'r Eglwys Sefydledig, addolent ar wahan, a chawsant eu troi ymaith o'r athrofa am y trosedd o anghydffurfiaeth. Yn ofer yr ymdrechodd tad Penn ei enill yn ol. Yn mhen amser gwrthododd dynu ei het yn mhresenoldeb y Llyngesydd, ac hyd yn nod y brenin. Cafodd ei droi ymaith o'i gartref. Anfonwyd ef i Ffrainc, lle y daeth yn foneddwr gwych ar ol bod yno ddwy flynedd. Ar ol ei ddychweliad ymgymerodd a myfyrio y gyfraith yn Llundain hyd ymddangosiad y pla mawr yn 1665. Anfonwyd ef i'r Iwerddon yn 1666 i arolygu etifeddiaeth ei dad yno, ond galwyd ef yn ol yn fuan, am y rheswm ei fod yn cyfeillachu â Chrynwyr. Wedi ei droi eto o dy ei dad, daeth yn bregethwr teithiol gyda y Crynwyr, ac enillodd lawer o ddysgyblion. Dyoddefodd lawer o'i wawdio a'i garcharu o herwydd "cydwybod;" a phan yn bedair-ar-hugain oed, ysgrifenodd ei waith clodfawr a elwid, "Heb Groes, heb Goron," tra yn y carchar o achos anghydffurfio ag Eglwys Loegr. Rhyddhawyd ef yn 1670, ac yn fuan wedi hyny daeth i feddiant o etifeddiaethau mawrion ei dad, yr hwn a fuasai farw y flwyddyn hono. Parhaodd i ysgrifenu a phregethu mewn amddiffyniad i egwyddorion ei blaid, ac aeth i Holland a Germani i'r dyben hwnw yn 1677. Yn Mawrth, 1681, llwyddodd Penn gyda Charles II. i gael tiriogaeth yn America yn rhodd, yr hwn sydd eto ar ei enw; ac yn mhen dwy flynedd wedi hyny ymwelodd â'r drefedigaeth a sefydlasai. Sefydlodd Philadelphia—"dinas cariad brawdol"—tua diwedd yr un flwyddyn; ac yn mhen pedwar-mis-ar-hugain yr oedd dwy fil o sefydlwyr yn ymgartrefu yno. Dychwelodd Penn yn ol i Loegr yn 1684, a thrwy ei ddylanwad gyda y brenin llwyddodd i gael rhyddhad i dri-chant-ar-ddeg o Grynwyr oeddynt y pryd hwnw mewn

carcharau. Oblegid ei gyfeillgarwch personol â James, dilynydd Charles, yr hwn y pryd hwnw oedd wedi ei yru o'r orsedd, cafodd ei garcharu oddiar amheuaeth ei fod yn bleidiol iddo, a'i amddifadu o'i hawliau i'w etifeddiaethau. Adferwyd y rhai hyny yn ol iddo yn 1694; ac yn 1699 ymwelodd eto â'r drefedigaeth Americanaidd, ac arosodd yno ddwy flynedd. Wedi hyn prysurodd i Loegr i sefyll yn erbyn cynyg y Senedd i ddifodi cyfraith hawl-dirol yn America. Ni ddychwelodd byth yn ol. Tarawyd ef gan y parlys; terfynodd hyny ei fywyd ef ar y 30ain o Orphenaf, 1718, yn 74 ml. oed. Anwylid Penn yn ddirfawr gan yr Indiaid, ac y mae yn werth sylw, na chollodd y barbariaid ddyferyn o waed Crynwr erioed. Gymaint y mae hyny yn ei ddweyd am Penn a'i ymddygiad tuag atynt! COFNODYDD.

---

## Cyfaddefiad Gonest.

*Mr. Gol.*—Barnwyf nad annheilwng o'ch cyhoeddiad llewyrchus fydd ymddangosiad a ganlyn ynddo:

Syr Arthur Penrhyn Stanley, Deon Westminster, ar ei waith ar Palestina, &c., tra yn ceisio penodi ar y fan y bedyddiwyd Crist yn yr Iorddonen, a dybia fod y lle yn uwch i fyny na'r man y mae y pererinion yn myned wrth y miloedd bob blwyddyn ar amser neillduol ac yn ymsuddo yn yr Iorddonen er cof am fedyddiad Crist, sef ar gyfer Jericho. Mae ef yn barnu fod y llanerch lle y bedyddiwyd ein Gwaredwr yn agos i'r man y croesodd Jacob wrth ddychwelyd o Mesopotamia. Mae yn barnu hyny oddiwrth yr hanes a roddir am Iesu yn dyfod o Galilea at Ioan i'w fedyddio ganddo. Ar ol penodi yn ei feddwl y fan, mae yn sylwi fel y canlyn:

"Yma, mae yn debyg, y dechreuodd yr ordinhad gysegredig hono sydd ar ol hyny wedi myned drwy'r holl fyd, drwy fedydd-fanau (*baptisteries*) mawrion y De, a'r eglwysi Dwyreiniol, eithr yn raddol a leihaodd i lestri bychain y Gogledd a'r Gorllewin. Y soddiad dan y dwfr a ddiflanodd i ychydig o ddefnynau, yr hyn drwy ddoeth ymarferiad o ryddid Cristionogol, sydd yn awr yn y rhan fwyaf o'r eglwysi yn brif gynrychiolydd ffrydlif lawn yr afon ddisgynedig."

Yn awr, Mr. Gol., pe buasai yr uchod wedi ei ysgrifenu gan Fedyddiwr, ni fuasai yn peri i mi synu wrth ei ddarllen, ond mae fod un o brif ddynion y taenellwyr, mewn dysg a thalent, wedi ei ysgrifenu, yn peri i mi ryfeddu wrth ei ddarllen, oblegid yn y cyfaddefiad uchod gallwn weled, pe na buasai y Testament Newydd yn ein dysgu, fod un o ordinhadau yr Arglwydd Iesu wedi ei chyfnewid gan ddynion. Y gofyuiad naturiol yn y fan yma ydyw, Pwy yw yr adyn meidrol sydd wedi meiddio cyfnewid gorchymyn Duw Anfeidrol heb un caniatad i wneyd hyny? Onid yw gwneyd hyn yn dyfod a dyn neu gorph o ddynion yn agored i'r gwaeau a gyhoeddir yn y benod olaf yn y Beibl ar y sawl a dyno oddiwrth, neu a ychwanego at y pethau a ysgrifenwyd yn llyfr Duw? Onid yw ymarferyd unrhyw ddefod grefyddol ddaeth i fodolaeth drwy gyfnewid gorchymyn Duw, yn gwneuthur dyn yn gyfrifol mewn rhan o bechod y sawl a'i cyfnewidiodd? Heblaw hyny y mae yn amddifadu dyn o bob grym i wrthsefyll y sawl a ryfygo gyfnewid pob gorchymyn arall; fel y sylwa Dr. Johnson, "fod gan y Pabyddion gystal hawl i gyfnewid y swper ag sydd genym ni i gyfnewid y bedydd." Mae yn gofyn cymaint o awdurdod i gyfnewid un gorchymyn dwyfol ag sydd yn ofynol i gyfnewid cant.

Mae'r Archesgob Kendrick hefyd yn gwneuthur cyfaddefiad cyffelyb. Dywed mai "y prif bethau mae cyfnewidiad wedi cymeryd lle ynddynt yn yspaid yr oesoedd aethant heibio, ydyw y dull o weinyddu bedydd a swper yr Arglwydd, yn nghyda dysgyblaeth y penyd. Yr oedd (meddai) y dull difrifol o fedyddio ar y cyntaf drwy drochiad. Mae'r eglwys yn honi hawl i reoleiddio yn ol ei barn gyfiawn bob peth sydd yn dal perthynas â gweinyddiad y sacramentau."—(Gwel *Appleton's N. A. Encyclopedia.*)

Gellir enwi lluaws o rai eraill sydd yn cyfaddef y cyfnewidiad yn y bedydd. Oddiwrth y cyfaddefiadau uchod oddiwrth daenellwyr mor enwog, gwelwn fod bedydd wedi ei gyfnewid gan awdurdod ddynol, a thrwy hyny wedi colli ei holl ogoniant.

Mae sylw arall ddylid wneyd ar y cyfaddefiadau uchod, sef mai "ymarferiad doeth o ryddid Cristionogol" achosodd y cyfnewidiad. Mae dau sylw y dylid eu nodi yn y lle hwn; un ydyw, Os ymarferiad o ryddid ydyw y cyfnewidiad, mae genym hawl i ofyn, Pwy roddes iddynt y rhyddid? Peth arall, os yw y cyfnewidiad yn gynyrch doeth ymarferiad, yna yr oedd y gorchymyn dwyfol, cyn ei gyfnewid, yn ffol. Dyma engraifft feiddgar o ddynion llygredig yn cymeryd arnynt fod yn ddoethach na Duw. Pa ryfedd ein bod wedi clywed lawer gwaith fod bedydd yn anweddus, ac yn beryglus, &c. Pa bryd y daw dynion i beidio cellwair â gorchymynion Duw, a rhoddi y gogoniant priodol iddo mewn ufudd-dod ewyllysgar?

Sylwn hefyd ar bwysigrwydd bodolaeth y Bedyddwyr. Mae llawer a garent, efallai, weled y byd heb un Bedyddiwr ynddo, heb wybod beth fyddai y canlyniadau o hyny i'r byd. Dywedodd Neander fod dyfodol i'r Bedyddwyr. Mae gwaith gan Dduw i'r Bedyddwyr nad oes neb arall a all ei gyflawni ond hwy yn unig. Yr wyf yn cyfeirio at y gorchwyl o wrthsefyll y gallu Pabaidd. Mae Duw yn bwriadu dyfetha y dyn pechod, sef y gyfundrefn Babyddol, âg ysbryd ei enau, sef gweinidogaeth yr efengyl; goleuni dysglaer y gwirionedd sydd i ddadymchwelyd teyrnas y tywyllwch, sydd wedi bod yn y byd am gymaint o ganoedd o flynyddoedd, ond nid oes neb wedi gallu, ac nid oes neb a all yn y dyfodol wrthsefyll y gallu Rhufeinig ond y Bedyddwyr. Mae yn anmhosibl i unrhyw gorph o ddynion sydd yn gorfod cyfaddef eu bod yn ymarfer ag unrhyw ddefod ddynol sydd wedi cael bodolaeth trwy gyfnewid gorchymyn dwyfol byth wrthsefyll y Pab o Rufain; gallai herio bob corph arall o grefyddwyr i'w wrthsefyll, a dyweyd wrthynt yn ddig, "Iacha dy hun." Gan hyny, frodyr, bydded i ni ymgadw rhag ymlygru gydag unrhyw ddysgeidiaeth, fel y gallom fod yn offerynau yn llaw Duw i yru o'r byd holl egwyddorion teyrnas y tywyllwch.

Mae yn debyg y bydd y byd taenellyddol yn cymeryd safle arall i geisio gwrthsefyll y Bedyddwyr, sef dadleu hawl dyn i gyfnewid gorchymyn Duw. Byddai yr un mor hawdd iddynt wneyd hyny ag a fyddai dangos yn y Testament Newydd yr hyn nas rhoddwyd erioed i mewn ynddo.

*Wisconsin.* W. J.

---

## Aberth Crist.

Yr aberth bendigaid ar yr hwn y gorphwys yr enaid crediniol sydd nid o waed anifeiliaid fel cynt, ond gwerthfawr waed Crist. Anfeidrol ragoriaeth gwerth y gwaed hwn ydoedd llinelliad yr awdwr at yr Hebreaid, yn ngyferbyniaeth urdd Aaron ag urdd Melchisedec. Pa le bynag yr oedd hawliau yr aberth ymarferol, yr oedd tybiaeth yn ffynu am werth perthynasol yr aberth cynygiedig. Aberthau gwael, diwerth, oeddynt ffieidd-dra ac ysgymun-bethau. Y rhai derbyniol oeddent yr anifeiliaid gwerthfawr, diniwed, a gwasanaethgar i ddyn.

Y mae fod dyn yn aberthu, yn gydnabyddiaeth o haeddiant cosp. Mae y dybiaeth, yr ystyr, i'w olrhain i'r sefydliad cyntefig, ac yn ymgorphori mewn dau olygiad, sef mai anmhosibl oedd heddychu â Duw heb aberth o werth, a hwnw yn lân a dianaf. Y golygiad o ddiniweidrwydd sydd eglur, am nas gall pechadurusrwydd ac anmhuredd roddi iawn dros bechadurusrwydd ac anmhuredd. Felly rhaid wrth rinwedd a gwerth yn rhodd; rhoddi i Dduw yn briodol nis gellir, canys "eiddo yr Arglwydd y ddaear a'i chyflawnder, y byd ac a breswylia ynddo." Maddeu pechod heb iawn sydd groes i sanctaidd a chyfiawn lywodraeth Duw; a byddai y gwael a'r diwerth yr un mewn effaith a bod heb iawn o gwbl.

Pa werth, gan hyny, oedd hyd yn

bod yn yr anifeiliaid gwerthfawrocaf yn gyfwerth a'r trosedd? Nid oeddent ond arwyddluniol o'r hyn oedd wir werth. Yn aberth Crist y mae cyfwerth cyfartal i ofynion cyfiawnder; trwy hwn y maddeuir pechod; ac er parhau i faddeu, parha y gwerth yr un. Cynwys aberth Crist fwy nag oedd yn aberthau y gyfraith, ac y mae ei effeithioldeb yn gyfartal i'r gwahaniaeth, am mai aberth dynol ydoedd. Cyhoeddiad dedfryd marwolaeth ar ddyn oedd yn dangos cyflawniad trosedd, a chyfiawnder yn hawlio'r bywyd. Felly rhoddiad Crist fel bod dynol yn aberth a etyb ofynion cyfiawnder am bechod, gan fod y bywyd dynol yn yr un natur a'r troseddwr, ac yn fwy o werth na'r anifeiliaid. Purdeb difrycheulyd sydd yn mwyhau, yn codi gwerth yr aberth. Nid troseddwr yn dyoddef er rhybudd i eraill oedd efe; nid oedd ganddo ran yn y trosedd; nid oedd yn weithredol euog; nid oedd ganddo ran yn y cyngrair euog cyhuddol cysylltiedig a throsglwyddiad llwgr moesol, y cyfryw a etifeddasom ni trwy rinwedd ein cyswllt ag Adda. Ni ddaeth efe o lwynau Adda. Pe bae ef o lwynau Adda byddai yn llygredig, yn agored i gosp, a deiliad cyfrifoldeb. Nid oedd efe o'n hiliogaeth trwy linach naturiol. Eithr daeth ef i'n hiliogaeth trwy gymwysiad corph. Yr oedd ei genedliad yn sanctaidd, uwch-naturiol, dihalog a didoledig oddiwrth bechaduriaid. Had Abraham a gymerodd efe; felly y corph cymwysiadol, had Abraham, a roddodd efe yn aberth gwirfoddol dros y ddynoliaeth. Ond yr hyn sydd yn cario gwerth yr aberth i'w lawn uchder (os priodol galw uchder ar beth sydd uwchlaw pob uchder), ydyw, ei fod yn waed Crist cyflawn, eneiniog Duw, a Iachawdwr dyn, Duw a dyn; rhaid oedd hyn, gan na allai natur ddwyfol waedu a marw; ond person dwyfol a allai; y person sydd un, gweithredoedd a dyoddefiadau y ddwy natur a berthynant i'r un person, a dywedir am danynt yn gydgyfnewidiol a chydgyfranogol. Dywed yr apostol yn arbenigol, "Yr hwn trwy yr Ysbryd tragywyddol a offrymodd ei hun yn ddifai i Dduw;" hyny yw, i Grist trwy, neu yn ol ei natur ddwyfol, yr Ysbryd tragywyddol yma; ac yn Rhuf. 1 : 4, "Yn ol Ysbryd sancteiddiad a offrymodd ei hun yn ddifai i Dduw." Dim llai na hyn a gyfansoddai aberth rhinweddol i dynu ymaith bechodau. Tywalltwyd y gwaed er golchi ymaith bechod ac aflendid; tarawyd y Mab; eglurwyd cyfiawnder Duw, agorwyd diangfa i'r euog heb ei gospi. Yma y cafodd Duw le i argraffu ei enw yn gyflawn, sef "Duw cyfiawn ac Achubydd,"—trwy yr hwn y mae "yn cymodi y byd ag ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau."

Cysylltiad agos, anwahanol y ddwy natur yn Nghrist Iesu, yr hanfodol undeb o ran person a gwaith, sydd yn rhoddi penderfynolrwydd i ffydd ymddibynu arno am fywyd.

Gwisgodd ei natur ddynol â chymeriad dwyfol, a thrwy yr undeb personol hwn yr ydym yn gallu rhoddi iddo addoliad dwyfol heb eilun-addoliaeth.

Yn undeb ei ddwy natur y cafodd ei arteithiau le i'w dyfnderoedd, a'i dirgeledig nerthoedd, mwy nas gallai bôd meidrol ei ddyoddef. Ni feiddiaf (fel y gwna rhai), anturio profi pa un a allai natur ddwyfol trwy ewyllysgar ymostyngiad, ddyoddef ai na, y mae y tragywyddol ddyfnion foroedd yn rhy beryglus i fôd meidrol anturio ei gwch bychan iddynt. Digon yw cyd-dystiolaethu a'r canwriad, "Yn wir Mab Duw oedd y dyn hwn."—IFOR EBBWY.

---

Dygwyddodd i ddyn tlawd a chanddo deulu mawr, dori ei goes, a thrwy hyny ei amddifadu o foddion gras; felly cynaliwyd cyfarfod gweddi yn ei dy. Arweiniwyd y cyfarfod gan y diacon Brown. Ar ganol y moddion curwyd yn uchel ar y drws, ac wrtho safai bachgen gwladaidd, yr hwn a ofynodd am y Diacon Brown, a dywedodd wrtho, "Nis gallai fy nhad ddyfod i'r cwrdd, ond mae wedi anfon ei weddiau, ac y maent allan yn y drol." Dygwyd hwynt i mewn yn ffurf tatws, cig eidion, cig moch, corn, &c. Terfynwyd y cyfarfod heb y fendith apostolaidd arferedig.

## CELF A GWYDDOR.

TROI ANIALDIR YN FOR.—Y mae ymchwiliad wedi awgrymu y posiblrwydd o droi dyfroedd Môr y Werydd, a dyfroedd Môr y Cadoldir, i mewn i anialwch mawr Sahara, yn ngorllewinbarth Affrica. Y Ffrancod sydd wedi awgrymu parth Môr y Canoldir. Ond ymddengys fod McKenzie, a ddarganfu y posiblrwydd parth troi môr y Werydd, yr hwn sydd ar adael Llundain am gyfandir Affrica, i wneuthur yr ymchwiliadau angenrheidiol parth troi Môr y Werydd i'r iseldir mawr rhwng dyffryn Bella a Timbuctoo. Y mae efe yn dra chadarn yn y syniad y gellir gyda naw milltir o gamlas mewn hyd ddwyn prif ddinas Affrica gyhydeddol o fewn chwech neu saith niwrnod o fordaith o afon Thames.

Y SULTAN AT Y FRENINES.—Dywedir i'r diweddar Sultan, ar amgylchiad neillduol, anfon captain un o'i brif longau i fyned i Loegr at y Frenines, ar neges drosto ef. Cychwynodd y llong mewn rhwysgfawredd dan gyfarwyddyd Pilot Twrcaidd. Aethant yn weddol tra ar Fôr y Canoldir; ond rhoddodd y captain y fordaith yn ngofal y pilot yn hollol, a chollasant eu hunain mewn niwl. Boreu teg a ddaeth a chyngorwyd y captain i ganlyn llong oedd ar ei mordaith i Loegr; ond y noson gyntaf collwyd hono, a chafwyd golwg ar long arall, a chanlynwyd hono am chwe' diwrnod, pryd y daethant i olwg tir, ac i lanau prydferth. Gofynwyd iddynt beth oedd eu neges? "Daethom yma a chyfarchiad y Sultan i'r Frenines." "Pa Frenines?" meddid. "Y Frenines Victoria, wrth reswm; onid ydym yn Lloegr?" "Na, nid yn Lloegr, ond yn New York yr ydych." Dywedir fod hyn yn berffaith wir.

YSBYTY AR OLWYNION.—Y Teutonic a'r Knight Orders yn Hungary, yn ddiweddar, a anfonasant gerbydres i'r arddangosfa yn Brussels; neu mewn gair arall, ysbyty (*hospital*) ar olwynion cerbydau, at wasanaeth meddygon a chlwyfedigion yn y fyddin. Cynllun-iad y gerbydres a gyflwynwyd gan Urdd y Knights o Malta, sydd gynwysedig o 15 o wageni, a deg o honynt wedi eu cyfaddasu i gludo 100 o glwyfedigion. Cerbyd arall i'r meddyg, ac arall i gadw ymborth, gyda lle cyfleus i gadw gwin, rhew, &c.; cerbyd arall at goginio; cerbyd arall i gludo y gwasanaethyddion, llestri, &c.; a'r olaf yn cynwys llyfrgell at wasanaeth y clwyfedigion. Y goleu a'r awyriad sydd yn nen y cerbydau, fel y gellir cadw allan yr awyr oer. Y mae Urdd Malta wedi rhoddi archeb am ddeg o'r cerbydau, y rhai fyddant yn ddigon i gynwys 1,000 o glwyfedigion mewn amgylchiad o ryfel. Cynllunydd y gerbydres yw Baron Munday, prif feddyg yr Urdd. Arddangosai hefyd ddirwynydd (*crane*), yn nghyd ag amryw offerynau a pheirianau i godi a symud y claf gyda gwelyau crogedig, a lleoedd i'r clwyfedigion eistedd neu orwedd, fel y bydd achlysuron yn galw. Fel hyn y trosglwyddir y clwyfedigion o faes y gwaed hyd ymyl y rheilffyrdd.

Gwelwn mai nid yn America yn unig mae celfyddyd yn myned ar gynydd.

FFYNON ORLIFAWL.—Suddwyd ffynon gerllaw Elgin, Ill., i'r dyfnder o 800 troedfedd. Llifeiria y dwfr o honi i'r graddau o farilaid bob chwe' eiliad.

DYFNDER MOR Y WERYDD.—Y mae ymchwiliadau diweddar wedi cadarnhau mai o fewn 90 gr. i St. Thomas mae'r Werydd ddyfnaf. sef 11,625 troedfedd. Yn yr ymchwiliad diweddaraf, cafwyd mai o fewn 5 gradd i Ieddo y mae y môr Tawelog ddyfnaf, sef 11,850 tr.

PELLEBYR YN AFFRICA.—Ellmyn o'r enw Gleger yw prif oruchwyliwr pellebrol y Saudan, yr hwn sydd newydd gwblhau y llinell o El Oleyd, ac wedi agor swyddfa yn y lle diweddaf, yr hyn sydd yn cysylltu y byd, ac yn tynu newyddion o ganol a chalon cyfandir Affrica.

CAMLAS SUEZ.—Trwy agoriad y gamlas hon, sydd yn cysylltu y Môr Coch â Mor y Canoldir, byrheir y daith i India rai canoedd o filltiroedd. Y mae'r pen sydd yn y Môr Coch yn agos iawn i'r lle y dywedir i Israel groesi. Y pellder rhwng y ddau fôr ydyw 100 milltir, trwy anialwch diffrwyth, lle nad oedd dim yn tyfu, na nemawr gawodau o wlaw yn disgyn; ond er pan agorwyd y gamlas y mae cawodau yn disgyn bob rhyw bythefnos, a'r ddaear dywodlyd yn dechreu tyfu ar lanau y gamlas. Onid yw gwareiddiad yn addurno gwyneb y ddaear, ac hefyd yn cyfnewid yr hin-dymeredd?

## PANT TEG. M. 6. 8. 6.

Gan THOMAS J. DAVIES. 1875.

O Dduw, rho im' dy hedd, A gol - wg ar dy wedd, A
maddeu 'n awr fy meia - au mawr, Cyn 'r elwy' lawr i'r bedd;
Ond im' gael hyn nid ofna'i 'r glyn, Na cholyn angau 'n hwy;
Dôf yn dy law i'r ochr draw, Heb
friw na braw ryw ddydd a ddaw, Uwch - law pob loes a chlwy'.

# Barddoniaeth.

## MARWOLAETH.

Gwae! gwae sy'n adsain trwy holl uffern ddofn,
Pechod sydd yno mewn maintioli llawn,
Yn gyflawn gorff o d'wllwch,—marwol drem,
Sydd ar y wlad, ac angau yn ei rwysg;
Marwolaeth mewn ffurf ryfedd yma sydd;
Nid mynwent ydyw uffern, eithr bro,
A chaddug yn ei thoi, a'i lluoedd oll
Yn marw! marw! marw! marw byth!
A byth yn gorphen marw, ac o hyd
Yn suddo! suddo! yn y tonau tân.
Dywedir mai rhyw garchar rhyfedd yw,
A dywed rhai mai llyn o frwmstan llosg,
A myrdd o ddamnedigion yno sydd
Yn boddi! boddi! boddi yn eu gwae,
A byth yn gorphen boddi. Onid gwlad
Yw trigfan colledigion, lle mae nos
Marwolaeth yn gorchuddio gobaith dyn,
A holl breswylwyr hon yn brwydro 'n wyllt;
Rhyfel trag'wyddol yno 'n ffynu sydd,—
Pob melldith—cynen, gormes, a rhegfeydd,
Yn gwneyd y nos yn dduach! dduach fyth!
Nid oes rhyfeloedd mewn un hanes gwlad,
Yn ddigon gwaedlyd, ac ofnadwy ddu,
I bortreadu brwydrau gwaedlyd hon;
Ni chlywyd dolef mamau mewn un oes
Mor dorcalonus ag yw dolef myrdd
O ddamnedigion sydd mewn rhyfel gwyllt,
Yn marw, a methu marw, eto oll
Yn farw i bob dedwyddwch, a phob hedd,
A phob llawenydd wedi ffoi dros byth;
Yno mae angau yn ei freiniol wisg,
Ac ar ei orsedd yn ei ddychrynfeydd,—
O oes i oes yn feddw ar ddynol waed,
Ei ddanedd haiarn mewn rhinciadau erch.
Pwy! pwy a saif yn erbyn y fath deyrn?
A drochodd gledd yn ngwaed pob gwron cryf
A welwyd ar y ddaear a phob dyn?
Pwy ddaw i frwydr?—Pwy a hoga gledd
I daraw angau 'n farwol?
Ust! mae un
Yn Eden ac yn Mozra—Iesu yw!
Ust! mae'n dod o'r frwydr, ac yn hardd,
A gwaed ei elyn angau ar ei wisg;
Rhoes uffern a marwolaeth dan ei draed;
Mae'n dod a'u hagoriadau gydag Ef,
Ac angau yn garcharor dan ei law;
A'r nef yn holi, "Pwy?—pwy yw?—pwy yw?
Bu dri diwrnod a thair nos yn llawn
Yn nhir y gelyn; ond fe ddaeth i'r lan
Yn gynar iawn ar foreu 'r trydydd dydd,
Ac anfarwoldeb yn sirioli ei wedd,—
Anllygredigaeth yn belydrau byw,
Yn nofio yn ngoleuni bythol fyd,
A'r Iesu yn goblygu lleni'r nos,
A phelydr dwyfol yn ymdreiddio hyd
Gudd ystafelloedd angau, nes yw'r glyn
Yn oleu.
Dacw'r Cristion pur yn myn'd
Yn nerth hen fuddugoliaeth Calfari,
I lawr i ystafelloedd oer y bedd,
Ac edrych mae yn mlaen trwy niwl y glyn,
Yn mlaen! yn mlaen! i'r trag'wyddoldeb pell,
Ac wele obaith yn ymdoni 'n wawl;
Hen fuddugoliaeth waedlyd Bozra gynt
Wnaeth angau 'n gymwynaswr, ac a droes
Y byd fel pe na byddai angau mwy,
A gwnaeth y bedd yn gynes i'w holl blant.
Nid ydyw 'r haul yn diffodd pan â lawr,
Na'r ser yn diffodd pan ymguddiant hwy,
Mae angau 'n well nag einioes i blant Duw;
Einioes a bâr ddibyniant ar y llwch,
Ond angau ddwg y Cristion at ei Dduw;
Einioes sydd gwmwl rhwng y nef a'r llawr,
Ond angau ydyw'r porth i wlad y dydd;
Einioes yw'r gadwen sydd yn dal y saint,
Ond angau yw'r adenydd sy'n ei ddwyn
O wlad y tonau i drag'wyddol hedd;
Iesu sy'n adlewyrchu ar y glyn,
Mae'r bedd yn dywyll heb oleuni 'r groes.

*Paris, O.* MORDDAL.

## I'R ARDD.

Tyred bellach fy awenydd,
Awn i syllu ar yr ardd,
A'r teg lwybrau glân, graianaidd,
Rhwng y llwyni gwyrddion hardd;
Awn at wely y perlysiau,
Dyma degwch, pwy all lai
Na molianu gyda'r adar,
Ac awelon tyner Mai.

Hardd frenines decaf daear
O dan goron bendith Duw
Wedi ei gwisgo yn mhrydferthwch
Natur a chelfyddyd yw;
Blodau swynol, ffrwythau peraidd,
Afalau melus fel y gwin;
Mefus pêr a'r eirin sugnant
Faeth ei bronau llawn o rin.

Gwenu wna y wawr arianaidd
Pan yn deffro 'r blodau fyrdd,
A dyfera 'r cwmwl maethlawn
Lesol wlith i'w gwely gwyrdd;
Ei chofleidio wna yr huan
Gyda'r gwlith a gwres ei fron;
Dringa 'r egin tyner, egwan,
Tua'r nef yn iach a llon.

Hoff fagwrfa iachus lysiau,
Mamaeth dirion anwyl yw,
Ar ei bronau tyner, maethlawn,
Mae planhigion teg yn byw;
Hi bereiddia'r awel dyner,
Gwna hi'n felus fel y gwin,
I gario ymaith dan ei hedyn
Ei haroglau llawn o rin.

Dan gysgodion twmpath gwyrddlas
Plyga 'r lili dlos ei phen,
Gwrida'r rhosyn wrth roi cusan
Ar ei thyner wefus wen;

Hithau 'n wylaidd guddia'i gwyneb
  Gyda'i gorchudd gwyrdd mewn braw,
Fel rhyw forwyn bur ddiniwed,
  Pan ofyna llanc ei llaw.

Llanerch anwyl, gysegredig,
  Palas paradwysaidd hardd,
Cartref cyntaf y ddynoliaeth,
  Berffaith Eden, dyna'r ardd;
Yno y cyhoeddwyd dedfryd
  Diwedd einioes yn y pridd,
Ac o'i bedd yr adgyfododd
  Adda 'r ail y trydydd dydd.

*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

---

Y BWTHYN LLE 'M GANWYD.

Fe'm ganwyd i mewn bwthyn clyd,
  Ger nant o loywaf dd'wr,
Lle treuliais ddyddiau mebyd oes,
  Yn mhlith y plant a'u stwr;
Chwareuais ganwaith gylch y fan,
  Yn blentyn gwridgoch, iach,
Gan wrando cân yr adar mân,
  A swn y gornant fach.

Yn gysegredig iawn yw'r fan
  O hyd i'm meddwl i,
Fe dreigla'r deigryn dros fy ngrudd,
  Wrth feddwl am a fu;
O na chawn fyn'd i roddi tro
  I wel'd y llanerch hardd,
Ac eistedd enyd ar fy hynt
  Dan frigau coed yr ardd.

Er byw yn ngwlad machludiad haul,
  Yn mhell o'm magawl wlad,
Hiraethlon ydwyf hyd yn hyn
  Am wel'd hen fwth fy nhad;
Wyf benderfynol, doed a ddêl,
  Os byw a fyddaf fi,
O fyn'd i Walia draw i wel'd
  Y fan y'm ganwyd i.

Gerllaw i'r lle mi garwn wneyd
  Fy medd mewn isel bant,
Cydblethed ag awelon chweg
  Furmurawl swn y nant;
Yn ngwanwyn teg y flwyddyn hir,
  Uwch ben fy marwol ran,
Boed i friellau Ebrill gu
  Addurno 'r ddystaw fan.

*Taylorville, Pa.* W. T. JOHN.

---

CRIST YN WYLO UWCH BEN JERUSALEM.
[LUC XIX. 41].

Iesu Grist yn wylo welaf!
  Am ba achos, holi 'rwyf?
Tywallt dagrau mae'r un goraf!
  O! am beth y teimla' glwyf?

Ef, sy'n ffynon pob dedwyddwch,
  Dawdd dan bwysau teimlad prudd;
Perchen nef a'i holl hyfrydwch
  Heddyw sydd yn wlyb ei rudd.

Nid am fai o'i eiddo 'i hunan
  Wyla Mab Jehofa mawr,
Gwn mai pechod adyn aflan
  Ddygodd alar du i'r llawr;
Eto rhyfedd! mae'r dihalog
  Yr un ddull ag euog gwael,
O dan wasgfa calon ddrylliog,
  Hanes hyn a hoffwn gael.

Rhaid fod pwys pan wylai'r Ceidwad,
  A thosturi 'n llenwi 'i fron,
Ymysgaroedd twym ei gariad
  A enynai 'r adeg hon;
Iē, 'i galon uwch Caersalem
  Holltai o dan deimlad gwyl;
Meddu 'r cyfryw, O, na byddem,
  I'w ddarlunio gyda hwyl.

Nid yw'n syndod, erbyn cofio,
  Iddo wylo uwch y lle,
'R hwn arferai 'i Dad fendithio,
  A phrif fan ei neges e'.
Barn y.asid ar Sodoma,
  A dinasoedd eraill lu;
Ond wrth wel'd y ddinas yma,
  O, fe wylai Iesu cu!

Wylo o gariad wnelai Iesu,
  Iē, wylo o gariad pur,
Efe 'n cynyg eu gwaredu,
  Hwythau am ei ladd mewn cur;
Dwyfol lid yn prysur groni
  I ymollwng am eu pen—
Ar y bobl fu Duw 'n hoffi,
  Iē, ar y ddinas wen.

Prawf a ro'es wrth wylo yno
  O'i dosturi at y byd,
Ac mor anhawdd ydyw ganddo
  Droi i'w gosbi unrhyw bryd;
Wel, os wylodd Iesu tirion
  Draw yn ddwys o'n hachos ni,
Oni ddylem roddi coron
  Ar ei ben ac uchel fri?

IEUAN DWYFACH.

---

CYSTUDDIAU PRESENOL.

Os ydwyf fi yma mewn cystudd,
  A chroesau yn dygwydd i'm rhan,
Mae'r Iesu yn Feddyg digonol,
  O'i gariad rhydd gymorth i'r gwan.
Gan hyny, er trymed fy nhrallod,
  Mi blygaf dan driniaeth ei law,
Ac yna fy nghystudd presenol
  Yn fythol lawenydd a ddaw.

*Coal Valley, Ill.* DAFYDD MORGAN.

## HANESION CARTREFOL.

CYMANFA Y BEDYDDWYR YN WILKES-BARRE, PA.

Cynaliodd Bedyddwyr Cymreig Dwyreinbarth Pennsylvania eu Cymanfa Flynyddol yn Wilkesbarre, Awst 26, 27, 28. Cafwyd cymanfa hynod lewyrchus. Rhoddodd yr Annibynwyr a'r Methodistiaid fenthyg eu capelydd gyda chroesaw, y rhai a lenwid ar yr un pryd gan wrandawyr astud. Am 10 a 2, ddydd Sul, pregethwyd yn y goedwig gerllaw, i dyrfaoedd mawrion. Yr oedd y bobl yn gyson yn ymddangos wrth eu bodd yn gwrando yr efengyl. Ymdriniwyd yn y cynadleddau yn unol a deheuig âg amryw faterion ydynt yn dwyn cysylltiad agos â dysgyblaeth eglwysig bur. Llywyddid yn y cyfarfodydd cyhoeddus gan y Parch. J. P. Harris, (Ieuan Ddu,) ac yn y cynadleddau gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Taylorville. Ceir hanes manylach eto.—Gol.

### *BEDYDDIWYD—*

Yn Dawn, Mo., cawsom yr anrhydedd o weled un dyn ieuanc yn talu ufudddod i'r ordinhad o fedydd. Yr oedd wedi bod yn aelod yn hir gyda'r M. C. Y mae agwedd gysurus ar yr eglwys, a chapel hardd i addoli, a chalon gan y bobl i weithio. Mae y wlad yn gwisgo agwedd hardd, a llwyth o fendithion toreithiog i gynal dyn ac anifail.—*S. M. Thomas.*

Yn Bevier, Mo., Awst 13, 1876, cawsom yr hyfrydwch o weled tri o bersonau yn cael eu bedyddio yn ol y dull apostolaidd. Gweinyddwyd gan y Parch. S. M. Thomas, Dawn. Da genym allu hysbysu fod y gwaith da yn myned ar gynydd yn y lle hwn. Mae yma bump eraill yn aros am yr un fraint. Mae yma swn cynwrf yn y gwersyll.—*J. C. Williams, Ysg.*

Yn Danville, Pa., gan y Parch. John J. Morris, Nanticoke, ar broffes o'u ffydd yn Iesu Grist, dau berson, sef Joshua Evans a John Hughes. Sabboth Awst 20, am 3 o'r gloch yn y prydnawn, ymgynullodd tyrfa fawr ar lan yr afon i weled yr ordinhad yn cael ei gweinyddu yn ol y dull cyntefig. Teimlem na fuasai y brawd Morris yn cael ei ddymuniad ar yr adeg hono, sef cael haner cant i waeddi allan, "Ha wyr, frodyr, pa beth a wnawn ni?" Gwnaed sylwadau grymus gan y gwr Parchedig oddiwrth 2 Cor. 13 : 8.—*W. Francis.*

### *GANWYD—*

Yn Minersville, Pa., Mehefin 5ed, merch i David a Jemima Evans; gelwir ei henw hi Jemima.

Yn Delaware, ger Minersville, Mehefin 24, 1876, mab i Henry a Mary Parcels; gelwir ef Willie Owen.

### *PRIODWYD—*

Gorph. 1, 1876, gan y Parch. J. T. Jones, yn ei dy ei hun, Mr. John Jones a Miss Mary Rogers; y ddau o Shenandoah City.

Awst 12, 1876, yn Johnstown, Pa., gan y Parch. D. J. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. Henry R. Harris a Miss Kate James; y ddau o'r lle uchod. Mae y ddau yn aelodau gyda'r Bedyddwyr yn Johnstown.

Awst 21, 1876, yn Mahanoy City, gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Isaac Jervis a Miss Maggie Evans; y ddau o'r lle uchod.

### *BU FARW—*

Gorph. 7, 1876, yn Minersville, Pa., o'r darfodedigaeth, Llewelyn Hopkins, gynt o'r Argoed, D. C., yn 54 mlwydd oed. Ail tranoeth, (sef y Sabboth,) daeth torf luosog yn nghyd i gludo ei ran farwol i fynwent y Bedyddwyr Cymreig yn y lle hwn. Gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol gan y Parchn. A. Myers, yn Saesoneg, a J. R. Jones, yn Gymraeg, a thraddodwyd y bregeth angladdol yn y capel, hwyr yr un

dydd, gan yr olaf. Bu yr ymadawedig yn aelod parchus gyda'r Bedyddwyr am flynyddoedd, a glynodd wrth ei broffes hyd angau. Ac er na welir ef mwyach yn yr eglwys filwriaethus yma, credwn ei fod yn yr eglwys orfoleddus. Gadawodd briod tyner, plant anwyl, perthynasau cynes, a llu o gyfeillion mynwesol ar ei ol i alaru o herwydd ei golli o'u plith.—*Ap Ieuan.*

Yn Minersville, Pa., o'r diphtheria, dau o blant anwyl Rebecca, gweddw y diweddar Isaac Dando, o'r lle hwn.

Bu farw Thomas bach, Mehefin 16, yn 5 mlwydd a 3 mis oed. A'r dydd canlynol y tynodd Annie anwyl ei hanadl olaf, a hi yn 10 mlwydd a 3 mis oed. Prydnawn y 19eg, daeth tyrfa luosog o bobl i'w cynhebrwng, a chladdwyd hwy yn mynwent y Bedyddwyr Cymreig yma. Gosodwyd y ddau fach i orwedd wrth ochr gweddillion eu tad, yr hwn a'u rhagflaenodd tua dwy flynedd. Yr oedd arwyddion amlwg o dosturi at y weddw alarus i'w ganfod yn ngwynebau y bobl oll. Gofaled yr Arglwydd am dani hi a'r un bach sydd yn weddill dan ei gofal.

Yn Minersville, Pa., Mehefin 3, 1876, Caroline, merch i John E. ac Ann Morgans, yn 2 flwydd ac 11 mis oed. A chyn ymgasglu o'r bobl i angladd Caroline fach tranoeth, wele un arall o'r plant wedi marw o'r un clefyd, sef y diphtheria. Ei enw oedd Elias, ac yr oedd yn 5 ml. oed. Claddwyd y cyntaf ar y 5ed, a'r diweddaf ar y 7fed, yn nghladdfa y Bedyddwyr Cymreig yn Minersville. Gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol gan y Parch. J. R. Jones.

Yn Carbondale, Pa., Gorph. 26ain, yn 59 oed, Sarah Davies, anwyl briod Daniel Davies, diacon parchus yn eglwys y Bedyddwyr yn Carbondale. Aelod gyda'r Annibynwyr ydoedd Mrs. Davies, ac yn hynod barchus gyda'r frawdoliaeth hono. Yr oedd yn nodedig am ei charedigrwydd i ddyeithriaid o bregethwyr o bob enwad. O ran tueddfryd crefyddol cryf, anfynych y caed ei rhagorach. Gwyddai hefyd beth oedd meithrin y cyfryw. Dangosodd oddefgarwch mawr yn ei chystudd. Claddwyd hi ar yr 28ain, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. L. Williams, Greenfield, a R. Williams, o Utica gynt.—*Ll. R.*

Yn Brier Hill, ger Youngstown, O., Gorph. 18, 1876, y brawd anwyl a hoff, William R. Jones, yn gyflawn 60 oed. Yr oedd yn enedigol o Pont-y-pool, Sir Fynwy, D. C. Ymfudodd i'r wlad hon yn y fl. 1849, efe yn nghyda'i wraig a merch. Rhoisant eu hunain i lawr yn Talmadge, a buont yno am ryw gymaint o amser, yna symudasant i Brier Hill; ond yn fuan wedi dod yma claddodd ei wraig a'i ferch. Yn 1855 ymbriododd drachefn â gwraig weddw o'r enw Elizabeth Buwick, yr hon a fu yn dyner iawn o hono hyd ei fedd. Cafodd ein brawd iechyd da trwy ei oes, hyd y ddwy flynedd ddiweddaf o'i fywyd. Ni wnaeth ond ychydig o waith yn y ddwy flynedd olaf, ond ni bu arno eisiau dim. Oddeutu mis cyn ei farwolaeth cafodd yr *erysipelas* yn ei ben, nes collodd un o'i olygon, ac yn y diwedd dyrysodd ei synwyrau. O! gymaint a ddyoddefodd y ddau ddiwrnod olaf, nes i angau ddod a'i symud o fyd y gofid i'r orphwysfa fry. Ymunodd ein brawd ag eglwys Fedyddiedig Trostnant, Pontypool, a bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd, gan un o'r enw Daniel Williams. Daliodd gyda ei grefydd am yr yspaid o 35 mlynedd, a'i gymeriad heb ei lychwino. Bu yn ffyddlon a diwyd trwy bob tywydd, yn yr Hen Wlad a'r wlad hon. Yr oedd gair da iddo gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Yr oedd yn un ag oedd yn cymdeithasu llawer â'i Dad nefol. Bu yn ddiacon am flynyddoedd yn eglwys Youngstown, yn gyfaill calon i'r gweinidog, yn wrandawr bywiog, ac yn Gristion didwyll. Dywedai ychydig ddyddiau cyn iddo ymadael, "Frawd, nid oes genyf ddim i bwyso arno ond haeddiant Iesu. Y mae genyf obaith, ond mae ofn yma hefyd." Felly ymadawodd ein brawd o'n byd ni, am fyd gwell. Ar yr 20fed ymgasglodd lluaws o'n cydgenedl ac eraill i'w angladd, pryd y gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd, ac un o weinidogion y

Methodistiaid Wesleyaidd, o'r enw House, yn Saesoneg, yn hynod o bwrpasol. Claddwyd ef yn mynwent Brier Hill. Yr Arglwydd a ofalo am y weddw alarus.—*David Probert.*

---

COFIANT WM. H. PARRY, SCRANTON, PA.

Mae y Cadben John Parry a'i briod yn aneddu er ys llawer o flynyddoedd yn Llandudno, G. C., ac yn aelodau parchus o'r eglwys Fedyddiedig yn y dref hono. Mab iddynt hwy oedd gwrthddrych y nodiadau hyn, yr hwn a gollodd ei fywyd trwy foddi tra yn ymdrochi yn y *Roaring Brook*, gerllaw Scranton, Pa., prydnawn dydd Llun, Mehefin 19, 1876.

Ganwyd Wm. H. Parry yn Llandudno, Tach. 14, 1849, ac nid oedd yn llawn 27 oed pan orphenodd ei yrfa ddaearol. Yr oedd yn meddu corph cadarn, iach, a lluniaidd; tymer fywiog, hapus, a hawddgar neillduol, a galluoedd meddyliol cryfion; ac amlwg oedd ei fod wedi ei freintio âg addysg a diwylliant boreuol rhagorach na'r cyffredin. Pan tua 12 oed, prentisiwyd ef gyda'r diweddar frawd Richard Hughes, *druggist*, Bangor. Diau iddo dalu sylw manwl i'r cyfarwyddiadau a dderbyniodd gan Mr. Hughes, oblegid daeth yn gyfferiwr rhagorol, ac yn llawer o fferyllydd.

Tra yn Bangor arferai wrando gair y bywyd yn nghapel y Bedyddwyr yn y lle; ac yno, tua'r flwyddyn 1863, ei bedyddiwyd, gan y diweddar Barch. J. D. Williams, fel y tybiwn.

Ryw amser yn 1868, aeth ef a perthynas iddo i Demerara, British Guiana, South America, ac wedi bod yno tua 15 neu 18 mis, dychwelodd i Gymru, a phriododd ar y 27ain o Ragfyr, 1869. Bu wedi hyny yn dilyn ei alwedigaeth yn Liverpool yn benaf, hyd wanwyn 1872, pryd yr ymfudodd ef a'i briod i America, ac y sefydlasant yn Pittsburgh, Pa.; ond ar gais taer, ac addewidion teg oddiwrth gyfferiwr Cymreig, symudasant i'r lle hwn yn 1873.

Ar sail llythyrau cymeradwyol oddiwrth yr eglwys Fedyddiedig Gymreig yn Pittsburgh, derbyniwyd hwynt yn aelodau o'r Jackson St. Baptist Church, Hyde Park, o'r hon y mae *Mrs.* Parry yn awr yn aelod, ac mewn undeb ffyddlon â'r hon y parhaodd ein brawd hoff hyd derfyn ei daith.

Yn ngwanwyn 1874, ar gymeradwyaeth a thrwy ddylanwad Mr. T. Phillips, a'r diweddar Ddr. Davies ac eraill, dewiswyd y brawd Parry yn *steward* y Lackawanna Hospital, Scranton, a chyflawnodd ddyledswyddau anhawdd a lluosog y swydd bwysig hono i foddlonrwydd cyffredinol. Anfynych *iawn* y bydd dyn mewn cylch amlwg a chyfrifol yn boddloni *pawb*, yn enwedig pan fydd y pawb yn llawer, ac yn perthyn i wahanol ddosbarthiadau a chylchoedd cymdeithas. Ond er i mi glywed a darllen barnau llaweroedd yn ystod y ddwy flynedd y daliodd ef y swydd grybwylledig, ni ddygwyddodd i ni weled na chlywed ond y ganmoliaeth uchelaf iddo o bob cyfeiriad.

Dywedodd cadeirydd y Bwrdd Cyfarwyddwyr, yn nghlyw yr ysgrifenydd, a chyhoeddwyd y sylw yn mhapyrau y ddinas, fod adroddiadau misol y *stewart* Parry o gyfrifon arianol a threulion y sefydliad, yn gynlluniau (*models*) o drefnusrwydd, eglurder, a chywirdeb; ac na chlywodd ef erioed yn ngyfarfodydd y Bwrdd, na chan unrhyw un o'r aelodau, ar unrhyw amgylchiad, un gair ond canmoliaeth i Mr. Parry, a'r boddlonrwydd llwyraf yn ei oruchwyliaeth. Llefarai y meddygon am dano fel un yn meddu cymwysderau nodedig at y rhanau hyny o'i ddyledswyddau a ddeuent yn fwyaf neillduol dan eu sylw hwy; a chanmolai ymwelwyr o bob dosbarth drefnusrwydd a glanweithdra yr adeilad, ymddangosiad glan a chysurus y cleifion, a hawddgarwch moesgar a boneddigaidd y *steward.*

Ond er ei dalentau a'i ddiwylliant, er ei hawddgarwch a'i burdeb, er ei fedrusrwydd a'i ffyddlondeb, er ei holl rinweddau a'i ddefnyddioldeb, y mae heddyw yn ei fedd. Do, bu farw Wm. H. Parry, yn nghanol ei ddyddiau, ei haul a fachludodd cyn cyrhaedd haner dydd. Yn sydyn ac annysgwyliadwy, yn llawn iechyd, a nwyfiant, a gobeith-

ion, efe a symudwyd o'r swydd a lenwai mor anrhydeddus, o gymundeb yr eglwys a'i gwerthfawrogai ac a'i carai mor fawr; o freichiau lluaws o gyfeillion mynwesol, nifer y rhai a gynyddai bob dydd, ac o fynwes ei briod anwyl a ffyddlon, yr hon a'i carai ef ac a gerid ganddo fel y câr un ei enaid ei hun. "Yn nghanol ein bywyd yr ydym mewn angau," am hyny byddwn barod.

Cafodd ein hanwyl frawd gladdedigaeth anrhydyddus iawn. Gwasanaethodd y *Board of Directors of the Lackawanna Hospital* fel *pall-bearers* ar yr amgylchiad, a dygasant y treulion oll. Dilynwyd yr hyn oedd farwol o Wm. H. Parry i gladdfa y Cymry yn Hyde Park, gan dorf mor luosog a pharchus ag a anrhydeddodd goffadwriaeth unrhyw ddinesydd yn Scranton er's llawer dydd. Gweinyddwyd yn y ty, ac wrth y bedd gan yr ysgrifenydd.

Boed i Farnwr a Phriod y weddw, a Thad yr amddifad, ymgeleddu a chysuro ein chwaer anwyl a'i hunig blentyn bychan, yn nglyn wylofain, gan eu harwain yn dyner a diogel i gyflawn feddiant o'r wlad nad â ei haul i lawr. Bendithied a dyddaned yr Arglwydd y rhieni a'r perthynasau hiraethlawn yn Nghymru. Yr *ydym* yn galaru, ond nid fel rhai heb obaith. B. W. T.

## HANESION O GYMRU.

(O "Seren Cymru.")

### GOSOD CAREG GOFFAOL SYLFAEN CAPEL Y BEDYDDWYR YN LLANDRINDOD.

Cafodd careg goffaol sylfaen y capel uchod ei gosod i lawr ddydd Gwener, Mehefin 30ain, gan J. P. Severn, Ysw, Penybont, yn ngwydd cynulleidfa fawr iawn. Adeiledir y capel â phriddfeini Ruabon a'r Sarn, a dysgwylir y ca ei orphen erbyn y Nadolig, neu ddechreu y flwyddyn nesaf. Ystyrir cael y capel hwn yn gaffaeliad mawr i'r Bedyddwyr yn y lle.

### CYMANFA ARFON.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn Port Dinorwic, ar yr 20fed a'r 21ain o Orphenaf. Cynrychiolwyd yr eglwysi yn lled dda yn y cynadleddau, y rhai a arweiniwyd o dan lywyddiaeth y Parch. J. Spinther James. Yn mhlith y penderfyniadau yr ydym yn cael a ganlyn:

Ein bod, wedi gwrandaw anerchiad gan y Parch. Ishmael Evans (W.), Bangor, a Mr. R. Hughes, Llanberis, oddiwrth Ddosbarth Deml, Arfon, yn nghyd ag anerchiad gan y Parch. J. J. Williams, ar ran Cymdeithas Lwyrymataliol y Bedyddwyr, yn adnewyddu ein cymelliad dwysaf i holl eglwysi y Gymanfa osod eu gwynebau yn benderfynol yn mhob modd dichonadwy yn erbyn anghymedroldeb a meddwdod.

Tystiolaethid fod y Gymanfa hon wedi bod yn un lled lwyddianus.

### ANGHYMERADWYO TEITLAU.

Yn Nghyfarfod Tri misol Mynwy, yr hwn a gynaliwyd yn Blaenau, Gwent, Gorph. 25ain a'r 26ain, pasiwyd y penderfyniad canlynol:

Fod y gynadledd hon yn anghymeradwyo unrhyw frawd ag sydd yn gwisgo teitl, megys LL. D., &c., wrth ei enw, pan nad yw yn deilwng o hono. Y mae y fath ymddygiad yn hollol annheilwng ac anonest, ac yn dangos balchder a gwagedd plentynaidd. Ac heblaw hyn y mae y fath ymddygiad yn ddiraddiad i'r weinidogaeth, ac yn warthrudd i'n henwad.

### ORDEINIAD GWEINIDOG YN LLANGYNIDR.

Gorph. 17eg, cynaliwyd cyfarfodydd yn y lle uchod er ordeinio Mr. W. James, o Athrofa Hwlffordd, i gyflawn waith y weinidogaeth. Y gweinidogion fuont yn gweinyddu oeddynt, Dr. Davies, Hwlffordd; Parchn. John Jones, Felinfoel; Edwards, Aberhonddu, a Davies, Aberaman. Cwrdd llewyrchus.

### AP ARWYSTL.

Y mae Mr. Hughes (*Ap Arwystl*), sef mab i'r Parch. H. W. Hughes, Dinas, yn cadw *Grammar School* yn Trefforest, Mynwy, ac yn parotoi dynion ieuainc i'n hathrofeydd, ac i gylchoedd eraill.

PRIF-YSGOL LLUNDAIN.—Y mae Mr. Thos. Davies, myfyriwr yn Athrofa Pontypwl, wedi pasio ei arholiad am y *first* B. A. yn y lle uchod.

GALWAD I FYFYRIWR.—Y mae eglwys henafol Wauntrodau wedi rhoddi galwad i'r brawd D. E. Jenkins, o Athrofa Llangollen, i'w bugeilio; ac y mae yntau wedi cyduno â'u cais.

GALWAD I FYFYRIWR.—Y mae y brawd R. C. Roberts, o Athrofa Llangollen, wedi derbyn galwad gan eglwys Seisonig Pembroke Dock.

GALWAD I WEINIDOG.—Mae yr eglwys Fedyddiedig yn Siloam, Machen, wedi rhoddi galwad i'r Parch. S. P. Edwards, Bargoed; ac

y mae yntau wedi derbyn yr alwad, a bydd yn dechreu ar ei weinidogaeth ar y 13eg o Awst.

GALWAD I WEINIDOG.—Y mae eglwys barchus Llanfihangel, Crugcorney, wedi rhoddi galwad unfrydol i'r Parch. R. L. Evans, Cendl, i ddyfod i'w bugeilio, ac y mae yntau wedi ateb yn unol â'i dymuniad, ac i ddechreu ar ei faes newydd y 1af o Fedi.

## CENADOL.

### FFAITH HYNOD YN HANES CENADAETH.

[*O'r Religious Herald.*]

Tua phum'-mlynedd ar-hugain yn ol, cychwynodd cwmni o ddynion ieuainc o Damascus i Jerusalem. Nid aethant yn mhell cyn iddynt gael eu hamgylchu gan fintai o wyr ceffylau, dan arfau, y rhai a orchymynasant iddynt aros. Dywedodd blaenor y fintai wrthynt y gallasent fyned yn mlaen yn hollol ddiofn, na fuasent yn gwneyd un niwed iddynt, os buasent yn rhoddi i fyny un o'u nifer, dyn ieuanc o'r enw Randall, yr hwn ni chawsai ei niweidio os buasai yn dyfod gyda hwy yn heddychol. Er fod y telerau yn galed, cydymffurfiwyd â hwy; a'r olwg ddiweddaf gafodd ei gyfeillion arno oedd ei weled yn marchogaeth ar gefn ceffyl braf, yn cael ei arwain gan farchwr blaenor y llwyth, Sheik Bedouin, o'r llwyth Le Arish, yr hwn lwyth fynychaf a auafai yn nghylchoedd Damascus; ac yn yr haf symudent tua'r deheu neu y dwyrain, er cael porfa a dwfr i'w hanifeiliaid. Cymerwyd y dyn ieuanc i babell y blaenor Sheik, ac er ei fawr syndod canfyddodd fod yno wledd fawr yn ei aros. Beth y mae hyn yn arwyddo? Yr oedd Arzalia, merch y blaenor, Sheik, wedi gweled y dyn ieuanc, ac wedi syrthio mewn cariad ag ef, a hon oedd y wledd briodasol. Priodwyd y dyn ieuanc ag Arzalia. Nid oedd yn bosibl iddo ddianc. Gwiliwyd ei babell yn y nos, a'i berson yn y dydd, am flynyddau, rhag iddo ddianc. Ymddengys ef ac Arzalia yn berffaith hapus. Ganwyd plant iddynt. Nodweddid eu bywyd teuluol gan garedigrwydd, hynawsedd, a gwir gariad. Yn fuan meistrolodd Randall iaith y llwyth, sef yr Arabaeg, a'r wraig yr un modd yr iaith Saesonaeg. Dysgwyd eu plant yn y ddwy iaith. Yn awr pwy yw y Randall hwn? Y mae ei dad yn byw yn Swydd Oneida, Talaeth Efrog Newydd, yr hwn ni welodd wyneb ei fab Randall erioed. Y mae y tad yn awr tua 70 mlwydd oed. Dygwyd ef i fyny yn mhlith yr Indiaid; teithiodd drosodd a throsodd drwy ddyffryn y Mississippi gyda helwyr ei lwyth, er chwilio am bysgod a helwriaeth. Pan oedd yn un-ar-hugain oed, dywedodd blaenor ei lwyth wrtho, y byddai yn well iddo ddychwelyd at y dynion gwynion, oblegid gallai fod yn fwy o ddyn yn eu plith hwy nag yn mhlith yr Indiaid. Dychwelodd, priododd Gymraes, a thra yr oedd hi yn ymweled â'i perthynasau yn Nghymru, ganwyd y bachgen hwn. Gan i'w fam farw yn fuan wedi ei enedigaeth, arosodd ef yn Nghymru, ac yr oedd yn awr yn myned ar daith drwy S r a, cyn dychwelyd i America, pan gymerwyd ef gan y Sheik, ac y gorfodwyd ef i briodi ei ferch. Yr oedd ei fam yn aelod gyda'r Bedyddwyr, a bedyddiwyd yntau yn Nghymru, cyn id o gychwyn tua'r dwyrain.

Pan dderbyniwyd ef i deulu y Sheik, gorfu iddynt dderbyn ei grefydd yn ogystal a'i berson. Drwyddo ef daeth ei wraig yn Gristion. Yr oedd ei dad-yn nghyfraith yn ffafriol i'w grefydd. Addysgwyd y plant yn ofn yr Arglwydd. Wedi i'r Sheik farw, cymerwyd ei le gan ei fab, Randall. Y mae yr oll o'r llwythau cylchynol yn ffafriol i'r grefydd newydd, ac wedi ymrwymo i'w hamddiffyn gyda'u cleddyfau. Y mae lluaws wedi eu bedyddio, a chanoedd o blant wedi eu haddysgu yn egwyddorion gwir grefydd.

Ond yr oedd yno fynach Mahometanaidd selog iawn dros ei ffydd, yr hwn am hir amser a fu yn ceisio codi gwrthwynebiad ac erledigaeth; ymdrechodd daflu bechgyn Randall o'u swyddi o dan Lywodraeth Twrci. Gan iddo fethu yn hyn, trodd yn erbyn merch yr estron, cyhuddodd hi o ddewiniaeth, a gwrthgiliad oddiwrth y wir ffydd. Dygwyd hi o flaen yr awdurdodau, lle yr oedd cant a phedwar-a-deugain o Sheiks, a phrif ddynion y wlad, i ateb cyhuddiadau a beryglent ei bywyd. Wedi i'r cyhuddiadau gael eu dwyn yn mlaen, ac iddynt gael eu sicrhau trwy dystion oreu y gallent, galwyd arni hi i'w hateb drwy ei heiriolwr. Hithau, er nad oedd ond 14 mlwydd oed, mewn gwisg weddaidd, yn y modd mwyaf tawel ac ymddiriedol a atebodd, "Hybarch dadau, rhoddaf atebiad personol." Yna, gyda gwresawgrwydd, ffydd a gallu, yn dal y Beibl yn ei llaw, ac yn fynych yn darllen rhanau o hono, gwnaeth amddiffyniad teilwng o apostol. Wedi iddi orphen, yr oedd y farn yn unfrydol o'i phlaid, ac ymrwymodd prif ddynion y llwythau i amddiffyn pawb Cristionogion a feddylient ac a deimlent fel Rosa. Ond yr oedd yr hen fynach yn llawn o ysbryd dial, ac yn penderfynu, os oedd yn bosibl, cymeryd bywyd y ferch. Yr oedd y prawf yn mis Hydref, 1872. Yn mis Mehefin, 1873, tra yr oedd Rosa mewn coedwig, yn dysgu 42 o ferched bychain y ffordd i'r nefoedd, daeth yr hen fynach mewn modd llechwraidd, a chymerodd fywyd y ferch. Aeth y gwyr meirch cyflymaf ar ei ol, daliwyd ef, a phrofwyd ef, a lladdwyd yntau. Ond y mae y gwaith yn cynyddu, y gwirionedd yn ymledu, a phenod ryfedd yn hanes llwyddiant yr efengyl wedi ei darganfod.

*Greenville, Pa.* *Cyf.* J. T. GRIFFITHS.

O. Y.—Gwelais hanes yn ddiweddar fod gan Randall eglwys o dros dri chant o aelodau, a bod Mrs. Randall mor ffyddlon, a bron mor ddefnyddiol a'i gwr yn yr eglwys.

## NODION EGLWYSIG.

MR. GOL.—Carem yn fawr gael gofod o'ch newyddiadur clodwiw i'r dyben o hysbysu y lluaws, fod eglwys y B. yn Coalburgh, ar ol ceisio lawer gwaith, o'r diwedd wedi cael gweinidog, sef y brawd Charles Jones, Morris Run, Pa., yr hwn a ddechreuodd yn ei faes newydd Awst 13, 1876. Hyderwn y bydd ei ddyfodiad i'n plith yn fendith i'r eglwys, yn ogoniant i Dduw, ac yn achubiaeth i lawer o bechaduriaid o'r newydd, o herwydd ni ellir clywed heb bregethwr.

Yr eiddoch dros yr eglwys,
EDWARD S. EDWARDS.

—Da oedd genym ganfod eglwys Niles, O., wedi dychwelyd i'w "thy ei hun," ar ol bod o hono am dymor drwy drais y "dysgyblion." Dalied afael ynddo rhagllaw. Yn awr y mae y Parch. D. C. Thomas (*Cristopher Bach*) yn gwasanaethu iddynt fel gweinidog, ac yn dra chymeradwy yn eu plith.

—Ar hyn o bryd, mae amryw o Fedyddwyr yn byw ac yn gweithio yn Girard, Ohio. Ar y Suliau mae ganddynt, mewn undeb ag eraill, Ysgol Sul, cyfarfodydd gweddio, a phregethu yn achlysurol. Yno yn awr y mae y brodyr, Richard Evans, gynt o Niles, a Levi Rees, &c. Frodyr anwyl, ai nid oes modd ffurfio eglwys i'r Bedyddwyr yna? Yn ddiau dylai fod yn Girard well cyfleusderau i'r Cymry i addoli nag sydd yno yn bresenol.

—Mae yr eglwys yn Sharon, Pa., wedi ymadnewyddu llawer yn ddiweddar oddiwrth yr hyn y mae wedi bod am gryn amser. Y gweinidog yn awr yw Thomas Thomas, o Ashland gynt. Mae efe yn frawd da, ac yn weithiwr difefl yn ngwinllan ei Arglwydd. Drwg genym nad yw ei iechyd wedi bod yn dda er's tro.

—Ymadael o Vienna, Ohio, mae llawer o'r frawdoliaeth, o herwydd sefyllfa farwaidd masnach yn y lle, ac oblegid hyny mae yr eglwys yn myned yn fechan a digalon, a'r brawd anwyl Pierce, y gweinidog, yn dechreu anesmwytho.

—Oddeutu 16 milltir o Pittsburgh, Pa., ar ymylon yr afon Monongahela, mewn lleoedd o'r enw Dravosburgh, McKeysport a McKeansport, mae niferoedd o Fedyddwyr yn trigianu, ond heb le o'r eiddynt eu hunain i addoli. Da genym ddeall fod amryw o honynt yn barod yn aelodau yn eglwys Chatham Street, Pittsburgh, ac eraill yn fuan yn myned i ymaelodi yn yr un lle. Yn McKeysport, yn ddiweddar, daethom i adnabyddiaeth â Mr. a Mrs. Price. Mae Mrs. Price yn chwaer i'r enwog Lleurwg. Gerllaw McKeansport mae Mr. Morgan, brawd i'r Parch. W. D. Morgan, yn arolygwr ar waith alcan. Mae bugail newydd Chatham St. wedi dyfod o hyd i'r praidd gwasgaredig hyn, ac eraill, ac yn amcanu eu corlanu oll yn ddioed, os oes modd yn y byd.

## Beth wnaeth yr Ysgol Sabbothol.

Y fath bethau daionus mae hon wedi effeithio mewn llawer ardal! Yn hen wlad ein tadau, heb fod yn mhell iawn yn ol, gwelid ugeiniau a chanoedd o Gymry yn ymgasglu at eu gilydd ar y Sabbothau i fyned trwy amryw gampiau a chwareuon isel, y rhai erbyn hyn sydd wedi hollol ddiflanu, a hyny i raddau helaeth iawn drwy ddylanwad daionus yr Ysgol Sabbothol. Pan fyddo y sefydliad daionus mewn bri dyladwy mewn ardal, mae ei dylanwad bendithiol bob amser yn ganfyddadwy ar foesau y lle. Mae dylanwad yr Ysgol Sabbothol ar yr eglwys eto yn hynod iachusol. Hyn sydd sicr, pan y byddo'r eglwys yn ddiwyd ac effro gyda dysgu y plant, fod bywyd cyffredinol ynddi. O'r tu arall, os bydd yn ddifater a diofal gyda hyn, bydd difrawder drwy ei holl gorph. Mor hynod fawr ydyw cyfrifoldeb athrawon ac athrawesau! Maent yn hau hadau mewn meddyliau a chalonau ieuainc fyddant yn ffrwytho wedi eu marw hwy. Pwy yw y mwyafrif sydd yn gwneyd i fyny ein heglwysi heddyw? Onid rhai wedi eu himpio o'r Ysgol Sabbothol? Y rhai mwyaf gweithgar yn cario yr arch tua thir eu gwlad, a fagwyd ar ei bronau hi. Pwy yw ein cenadon hedd?—onid rhai a feithrinwyd gan yr Ysgol Sul? Yno y dechreuodd eu talentau ymagor a dysgleirio. Clywsom un o'n cenadon tramor yn dyweyd un tro, fod yr Ysgol Sabbothol yn un o'r moddion mwyaf effeithiol i efengyleiddio y byd paganaidd.

Gan fod y fath effeithiau daionus yn deilliaw o'r Ysgol Sabbothol, ymdrechwn yn egniol o'i phlaid. "Hyfforddia blentyn yn mhen ei ffordd, a phan heneiddio nid ymedy â hi.

*Hyde Park.* THOS. HOPKINS.

## Undeb y Glo-feistriaid yn Ddrylliau

Wrth edrych ar ddrylliad Undeb y Glo-feistriaid diweddar, gwelwn fod prif gwmniau glo y wlad yn New York, y dydd o'r blaen, wedi gwerthu tua haner miliwn o dunelli o lo. Yr oedd y prisiau yn rhestru o un i ddwy ddolar y dunell yn îs na rhai a geid am yr un gwahanol fathau o lo yn ystod yr Undeb. Nid yw yr arwerthiant hwn, efallai, ond rhagarweiniad i eraill o'r un natur—un canlyniad o'r gwerthiantau hyn o angenrheidrwydd yn mhrisiau y glo. Effeithiai hyn yn niweidiol ar gwmniau bychain. Gyda golwg ar atalfa y gweithiau mawrion, dybyna hyny yn hollol ar y galwad fydd am lo, a'r cyflenwad o hono. Un canlyniad da o hyn fydd sefydlu prisoedd mwy cydweddol â gostyngiad prisoedd mewn adranau eraill o fasnach. Heb fod yn hir, tebygol yw y bydd mwy o alwad am lo oddiwrth gorfforiaethau gweithfaoedd meteloedd haiarn, &c., gan y gallant yn well ei brynu; drwy hyny daw mwy o waith i'r mwnwyr, druain, sydd yn awr yn dyoddef mor drwm yn ngwahanol barthau y wlad. Hyderwn y bydd i hyny gymeryd lle yn fuan.

## GWLADYDDOL.

—Yn mhen ychydig bydd y Cyfreithydd Cyffredinol Taft yn ymgymeryd â'r gwaith o areithio yn mhlaid Hayes a Wheeler, yn Ohio.

—Mae y *Cincinnati Commercial* yn tybio y byddai yn well i bwyllgor cenedlaethol y Democratiaid ofyn i Mr. Tilden "gamu i lawr ac allan."

—Clywwyd o un carchar arall—hwnw yn Rutland, Vt. Pleidleisiodd y carcharorion, 23 dros Tilden, ac un dros Hayes. Yr *un* Gwerinol nid yw yn rhwym am drosedd camweddus, ond yn y ddalfa am ddyled.

—Hysbysiad o Constantinople, gyda'r pellebyr, a ddywed fod cyngor o'r llys-weinidogion a mawrion yr ymerodraeth wedi cyhoeddi Abdul Hamud yn Sultan Twrci, yn lle Murad.

—Yn ol yr *Evening Post*, cyhoeddodd y boneddwr yr hwn y mae gofal cynullfan y Democratiaid yn New York arno, ddydd Llun, y byddai i'r Pwyllgor Cenedlaethol i gymeryd mesurau i ateb y cyhuddiadau diraddiol yn erbyn eu hymgeisydd, mor fuan ag y byddai i elynion y blaid "dreulio allan eu hadnoddau, a diweddu eu hymosodiad." Dywedodd person arall cysylltiedig a chyfrinfa Tilden, na thybia ef y cyffyrddai y pwyllgor ddim a'r mater, am nad oedd yn gorwedd o fewn cylch eu harolygiaeth hwy.

—Rhaid i'r Democratiaid gael rhywbeth i'w ddweyd yn erbyn y Llywodraethwr Hayes, ac felly maent yn ei feio am gyflwyno i'r Gydgyngorfa ddeiseb triugain o'i etholyddion yn erbyn lleihau yr arian cylchredol. Efallai eu bod yn meddwl y dylasai efe wrthod iddynt yr hawl i ddeisebu.

—Y mae'r wlad hon wedi cael Arlywyddion anfedrus ac annheilwng, ond erioed un anonest. Mae y blaid Ddemocrataidd fwy nag unwaith wedi rhoddi i'r wlad weinyddwr cyfreithiau yr hwn a reoleiddid yn fwy gan bleidiadaeth na chan wladgarwch. Ymsuddodd i ddinodedd am Arlywydd, fel yn achos Pierce, ac ymddiriedodd allu i ddyn mor wanaidd a chyfnewidiol na wyddai wahaniaeth rhwng ffyddlondeb a bradwriaeth, fel yn achos Buchanan. Ond ni wnaeth y blaid Ddemocrataidd *hyd yn hyn* sarhau y syniad cenedlaethol am weddusrwydd, a gwneyd ein ffurf-lywodraeth yn ddiareb a gwarthrudd yn marn cenedloedd eraill, drwy osod i flaenori y weriniaeth ddyn wedi ei lychwino â chyhuddiadau ar seiliau cryfion yn erbyn ei gymeriad a'i gywirdeb personol. Yn ffortunus, nid yw Mr. Tilden yn Arlywydd, ac nid yw yn debyg o fod yn un. O'r waredigaeth yna, modd bynag, nid ydym i ddiolch i'r Democratiaid. Mae cy-

huddiadau erchyll o dwyll a hoced yn cael eu dwyn yn ei erbyn gan y *Times*, New York, ar hyn o bryd.

—Ymddengys pethau yn y De yn anffafriol i degwch a chyfiawnder yn yr etholiad dyfodol. Mae yr Arlywydd wedi cael ei foddloni mor dda oddiwrth hysbysiaeth gredadwy yn meddiant y Llywodraeth, o fwriad yr hen elfen wrthryfelgar i gario y Talaethau Deheuol drwy dwyll a gorthrech, fel y mae wedi penderfynu cymeryd mesurau terfynol a grymus i rwystro gweithredoedd anghyfreithlawn, megys ag y gwnaeth i ddistrywio eu byddinoedd ar y maes. Dywedir fod y Democratiaid, tra yn teimlo mai hwn oedd y cyfle diweddaf i ymarfogi yn hyf, wedi ffurfio minteioedd drwy y De yn mhob man, yn gynwysedig o hen filwyr y gwrthryfel, a mileiniaid diddeddf, gorchwyl y rhai fydd myned o amgylch y wlad a gweithredu er dychrynu y boblogaeth o liw. Parotoir cyhoeddiad i'w roddi allan pan fydd angenrheidrwydd, yn gosod allan hyfforddiad o'r anfadweithiau, y rhai fydd wedi cyrhaedd y Llywodraeth, gan ddatgan dyledswydd y llywodraeth i amddiffyn y bobl dduon yn eu iawnderau; yn cyngori pob dinasydd gwyn i ymgadw oddiwrth weithredoedd afreolus, ac arwydda benderfyniad i roddi y cyfreithiau mewn grym.

## NODION PERSONOL.

—Bu yr eglwys yn Coalburgh, Ohio, yn ffortunus wrth sicrhau y Parch. Charles Jones, M. A., diweddar o Morris Run, Pa., yn weinidog iddi. Mae wedi dechreu ar ei weinidogaeth yno yn gynar y mis diweddaf.

—Y mae un o'r gweinidogion mwyaf gweithgar a fedd yr enwad yn awr yn Nghymru wedi ei benodi yn olynydd Dr. Price fel golygydd *Seren Cymru*, sef y Parch. John Jones, Felinfoel, Llanelli.

—Y mae y Parch. D. R. Jones, Youngstown, Ohio, wedi symud i Frostburgh, Maryland, er dechreu Awst, i weinidogaethu i'r eglwys yn y lle. Mae llawenydd o'i ddyfodiad.

—Brawd sydd yn dra llafurus a llwyddianus yn bresenol yw y Parch. Wm. R. Jones, Houtzdale, Pa. Mae yn ddiweddar wedi sefydlu eglwys i'r Bedyddwyr yn y lle, yr hon a rifa eisoes oddeutu triugain o aelodau, ac mae capel helaeth, hardd a chadarn ar ganol ei adeiladu. Bydd yn barod i addoli ynddo yn fuan.

—Mae y Parch. Jonathan Miles Jones ar hyn o bryd yn gwasanaethu yr eglwys yn Braidwood, Ill. Da fyddai genym glywed fod iechyd y brawd hwn y fath, fel y gallo ymgymeryd a gweinidogaethu yn sefydlog ar ryw eglwys.

—Deallwn fod W. B. Jones, Ysw. (*Ap P. A. Mon*), wedi dod i drigianu i Brooklyn. Bydd yn llawenydd gan lawer ddeall fod ei iechyd yn gwellâu mewn canlyniad.

—Ar ei daith i'r Centennial, gwnaeth y Parch. E. Edwards, Webster, N. Y., ei lwybr yn gyfleus fel ag i fod yn bresenol yn Nghymanfa y Bedyddwyr yn Wilkes-Barre, Pa. Cafodd dderbyniad gwresog. Pregethodd amryw droion, yn y ddwy iaith, gyda hwyl a derbyniad mawr. Da oedd genym ei weled, ac yn edrych cystal.

—Diolchwn i'r brawd William Jones, Wis., am ei ohebiaethau; byddant bob amser yn dderbyniol. Galwn sylw at ei ysgrif fer, ond cynwysfawr, yn y rhifyn hwn. Parotoed ein darllenwyr eu hunain i wrando hefyd ar yr hyn fydd ganddo i'w ddyweyd yn ein rhifyn nesaf.

—Yr ydym yn dysgwyl gohebiaethau yn fuan bellach oddiwrth y brawd galluog Thos. Holland, Dodgeville, Wis. Nac oedwch, frawd; gwelwch fod y Parch. W. Jones yn mhlith ein gohebwyr, a Threbor, eich cymydog, yn cofio am danom. P'le mae'r brawd Meredydd Evans? Hoffem gael gair oddiwrtho yntau, yn rhyddieithol neu farddonol, neu bob un o'r ddau.

—Ymwelodd y Parch. Fred. Evans (*Ednyfed*) ag Utica ddiwedd Awst, gan beri gwên ar lawer gwyneb, a llawenydd mewn llawer calon. Dydd Sul, pregethodd yn hwyliog mewn tri man—yn y boreu, yn nghapel Dr. Corey, yn Saesoneg; yn nghapel Dr. Gwesyn Jones am ddau, a chyda y B. yn yr hwyr, yn Gymraeg. Darlithiodd hefyd nos Lun, yn Gymraeg, yn y lle olaf; a nos Fawrth yn nghapel Dr. Corey, yn Saesoneg. Mae yn edrych mor llon a bywiog ag erioed.

—Un dydd Sadwrn, pan oedd y Parch. C. H. Spurgeon yn dra phrysur yn ei fyfyrgell, galwodd dyn yn ei dy, gan daer ddymuno cael ei weled, ac ymddyddan ag ef. Wedi i hyn gael ei wneyd yn hysbys i'r pregethwr mawr, dymunai am gael gwybod pwy oedd yr ymwelydd. Aeth y genad ato, a dywedodd fod Mr. Spurgeon eisiau gwybod pwy ydoedd. Yntau a atebai, "Gwas i Grist." Atebodd y gwr parchedig yn ol, "Dywedwch wrtho fy mod ar hyn o bryd yn rhwym gyda'i Feistr.

// Y WAWR.

CYF. I.] HYDREF, 1876. [RHIF. 7.

## ANFFYDDIAETH YR OES A'R FEDDYGINIAETH.

GAN H. C. PARRY (CEFNI).

Peniad beiddiol! A ellir yn deg a chyfiawn, mewn ysbryd rhydd, ymchwiliadol, a hollol annibynol ar unrhyw syniadau anwyl, farnu agwedd ysbrydol yr oes yn gyfryw ag a gyfiawnha goleddiad y fath syniad am dani, ag a'n harwain i gredu fod anffyddiaeth yn nodweddiad iddi? Er trallod a galar yr ydym wedi clywed llawer am anffyddiaeth yr oes yn y blynyddau diweddaf hyn. A oes gwirionedd yn y fath awgrymiad? Onid all fod yn ddychymyg gorofal iawngredol? Gall fod yn freuddwyd penboethni dallbleidiol, pryd nad oes yr un o wirioneddau dwyfol a thragywyddol y datguddiad sanctaidd mewn perygl. Dadl rhai cyfeillion yw, y gall y syniad newydd y dychrynir rhagddo, mewn un adeg, fel meddwl gwrth-Feiblaidd ac anffyddol, ddyfod, mewn adeg arall, yn wirionedd iawngredol. Profant eu gosodiad trwy gyfeirio ein sylw at syniadau a dderbynir yn gyffredinol gan y Cristionogion, er's llawer blwyddyn bellach, fel meddyliau iawngredol, ond a wrthodid fel syniadau anffyddol gan ddynion da, dysgedig, a duwiol yn yr oes o'r blaen.

Pell ydym o gredu fod pob syniad newydd, pa mor feiddgar bynag y gall fod, yn arogli anffyddiaeth. Nid allwn ddarllen ysbryd anffyddol yn llewyrch pob goleuni newydd a gynygir i ni ar hen wirioneddau y Beibl. Rhy brin y gallwn weled argoelion anffyddiaeth mewn haeriadau damcaniaethol a filwriant yn erbyn tystiolaethau pendant y Datguddiad Dwyfol mewn perthynas i rai pethau o bwys. Nid ydym mor barod i dderbyn y syniad fod pob peth newydd yn sawru o anffyddiaeth. Yr ydym yn gwybod fod pethau chwerwon wedi eu bwrw at eu gilydd gan ddynion da iawn, yn amseroedd y dadleuon poethion rhwng yr Arminiaid a'r Calfiniaid, a rhwng yr Uchel-Galfiniaid a'r Is-Galfiniaid neu y Fulleriaid, yn nyddiau y Parchedigion J. Roberts, Llanbrynmair, a R. Jones, Wern; a rhwng y Bedyddwyr a'r Sandemaniaid, yn nyddiau Jones, Ramoth; a rhwng y trochwyr a'r maban-daenellwyr trwy yr oesau. Pell ydym o edrych ar y

naill neu y llall o'r pleidiau hyn yn llychwinedig ag unrhyw deimlad, heb son am syniad, anffyddol. Rhaid teimlo fod y naill neu y llall yn gamsyniol, er nad yn anffyddol. Yr oedd y naill a'r llall o'r pleidiau hyn yn seilio ei chred ar yr Ysgrythyrau dwyfol, er eu bod yn gwahaniaethu am ystyr ffurf ymadrodd y Beibl mewn perthynas i'r pwnc mewn dadl. Yr oedd "gwreiddyn y mater" i'w gael yn y Llyfr Dwyfol, er eu bod hwy yn methu plethu y cangau. Mae gwahaniaeth hanfodol rhwng camsyniad neu gyfeiliornad mewn barn mewn perthynas i ryw bwnc Ysgrythyrol, a gwadiad neu amheuaeth o ddwyfoldeb yr Ysgrythyrau Sanctaidd, yr hyn ydyw hanfod anffyddiaeth. Nid teg, fel yr ymddengys i ni, ydyw rhesymu gwirionedd syniad o natur anffyddol, oddiwrth y gwrthwynebiad a gyferfydd oddiwrth iawngredwyr, ar y sail fod syniadau iawngred o ran natur wedi bod, un adeg, yn cael eu gwrthwynebu gan iawngredwyr fel syniadau cyfeiliornus. Nid am eu bod wedi cael eu gwrthwynebu gan iawngredwyr y daeth y syniadau hyny yn wirionedd Beiblaidd, ond oblegid eu bod yn wirionedd Beiblaidd heb eu hadnabod y gwrthwynebid hwynt gan iawngredwyr yr oes hono. Nis gall gwrthwynebiad roddi elfen newydd yn nghymeriad unrhyw syniad; ac nid yw fod iawngredwyr yn gwrthod syniad, yn profi fod y syniad hwnw yn ddwyfol. Rhaid i bob syniad ddwyn ei gymeriad ynddo ei hun, yn annibynol ar ymddygiad tuag ato; a chydgordiad syniad a thenor tôn yr Ysgrythyrau sydd yn profi ei ddwyfoldeb, ac nid ymddygiad neb tuag ato. Pan y dywedwn syniad dwyfol, y deallwn wirionedd. Nid all dim fod yn wirionedd heb fod yn ddwyfol. Duw yw ffynonell pob gwirionedd, ac o hono ef y tardd pob gwirionedd. Gall diafol a dyn drwg ddyweyd gwirionedd, ond dwfr glân yn rhedeg drwy bibell aflan ydyw. Nid o gariad at y gwirionedd, ond er mantais iddo ei hun y dywed y fath gymeriad unrhyw wirionedd. Mae Duw yn datguddio gwirionedd i ddyn mewn tair ffordd: Cyfatebiaethol (*analogical*), megys y datguddiad a roddir o hono mewn natur. Gosodedigaethol (*inherent*), megys y datguddiad a roddir o hono mewn cydwybod. Pendant (*absolute*), megys y datguddiad a roddir o hono yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Yn y ffordd gyntaf, mae y gwirionedd i'w gasglu a'i enill trwy gyferbynu pethau â phethau, a thynu y casgliad. Yn yr ail, mae y gwirionedd i'w gyrhaedd trwy gyd-darawiad y cynhyrfiad (*emotion*), a chymeradwyaeth y synwyr moesol. Yn yr olaf, mae y gwirionedd i'w gael trwy ddatganiad syniadau syml. Nid all yr un o'r ffyrdd hyn fod yn milwrio yn erbyn y llall, oblegid y mae y naill a'r llall yn ddwyfol, a'r gwirionedd i'w gael ynddynt a thrwyddynt. Nid all y gwirionedd a ddysgir mewn natur fod yn groes i'r gwirionedd a ddysgir trwy gydwybod; ac ni ddichon y gwirionedd a ddysgir yn y naill a'r llall o'r ffyrdd hyn fod yn groes i'r gwirionedd a ddysgir yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd.

Mae Duw wedi gadael i'r gwirionedd mewn natur i'w gael yn ol mesur galluoedd naturiol y meddwl dynol; felly nid yr un faint o wirionedd peth a ddysgir yn nheml natur i bob dyn. Mae y gwirionedd mewn cydwybod i'w gael yn ol mesur purdeb moesol y dyn; felly nid all datguddiad cydwybod o'r gwirionedd fod yn berffaith, ond i'r natur anllygredig. Mae y gwirionedd mewn Datguddiad Dwyfol i'w gael yn

annibynol ar gymwysder naturiol neu foesol dyn fel amod, yn mhellach na'r hyn a'i gwna yn gyfrifol ger bron Duw.

Nis gall natur fod yn safon gwirionedd i neb ond i'r deall perffaith. Nid all cydwybod fod yn safon gwirionedd i neb ond i'r natur foesol ddihalog. Rhaid, ynte, edrych am safon gwirionedd mewn rhyw ffurf o ddatguddiad uwchlaw rheswm dynol, tu hwnt i amgyffredion meddwl dynol, ac annibynol ar gymwysder dynol.

Y datguddiad pendant hwn a geir yn y Beibl, a geir yn y Beibl yn unig. Y Beibl, gan hyny, ydyw unig, digonol, a pherffaith reol ffydd ac ymarferiad crefyddol i ddyn ar y ddaear.

Mae dyweyd fod Duw wedi rhoddi Beibl da i bagan, Beibl gwell i Iuddew, a'r goreu i'r Cristion, yn ddyweyd ffolineb. Ni roddes Duw ond un Beibl erioed, a'r Beibl hwnw i bob dyn. Amlygiad o feddwl Duw i'r byd ydoedd yr Hen Destament, a gynwysai ffurf o grefydd i'r Iuddew, ac i bob dyn a ddymunai wneyd derbyniad o honi; ac amlygiad helaethach o feddwl Duw ydyw y Testament Newydd, a gynwysa ffurf o grefydd i'r Cristion, ac i bob dyn a ddymuna wneyd derbyniad o honi.

Pe buasai dau Feibl yn bod, un i'r Iuddew a'r llall i'r Cristion, ni buasai rhwymedigaeth ar yr Iuddew i gredu yr efengyl. Gan nad yw y Testament Newydd ond perffeithiad y datguddiad a roddwyd dan yr Hen Destament, ni all y ddau Destament fod ond un Beibl, a hwnw yn cynwys datguddiad perffaith o ewyllys Duw i'r byd. Rhoddes Duw ei feddwl yn y llyfr hwn; ond gwadwn iddo roddi ei feddwl erioed i awdwyr Beiblau y paganiaid. Nid yw yr holl syniadau da, yr egwyddorion rhinweddol, a'r rheolau uniawn sydd ynddynt, ond adlewyrchion meddyliau dwyfol llyfrau yr Hebreaid a'r Cristionogion. Nid allai y digelwyddog Dduw fod yn awdwr i'r *Vedas* a'r *Alcoran*, ar un llaw, tra yn awdwr i'r Testament Newydd, ar y llaw arall. Gwrthuni ydyw y fath syniad. Rhaid i ni naill ai derbyn y Beibl fel unig ddatguddiad dwyfol, neu ymwrthod â phob datguddiad. Dyna hanfod anffyddiaeth. Mae cydnabod llyfrau eraill o'r un gwerth, awdurdod, ac ysbrydoliaeth a'r Beibl, ar unwaith yn gwadu anffaeledigrwydd, a gwadu anffaeledigrwydd y Beibl yw gwadu ei ddwyfoldeb. Nis gall dwyfoldeb ffaeledig fod. Os yw y Beibl yn anffaeledig, y mae yn berffaith; nis gall anffaeledigrwydd anmherffaith fod.

Beth ydyw anffyddiaeth, ynte? Gwadiad dysgeidiaeth y Beibl fel safon anffaeledig a pherffaith gwirionedd mewn crefydd, wrth ba un y profir cywirdeb ffydd ac uniondeb ymddygiad. Lle na chydnabyddir hyn, anffyddiaeth sydd yno. Anffyddiaeth ydyw gwadiad o'r posiblrwydd o ddatguddiad o wirionedd uwchlaw yr hyn y gellir rhoddi rheswm drosto. Mae gwirioneddau datguddiedig y Beibl oll felly. Pethau ffydd ydynt. Nid yw hyny yn rheswm dros eu gwrthod fel gwirioneddau dwyfol, mwy na gwrthod credu ein bodolaeth ein hunain, yr hyn sydd oll yn ddirgelwch tu hwnt i'n holl amgyffredion. Cyn y gwrthodwyf gredu yr hyn sydd uwchlaw rheswm, rhaid i mi gael rheswm dros gredu nad all dim uwchlaw rheswm fodoli. Mae pob syniad a ellir ei gynwys mewn rheswm, o angenrheidrwydd yn llai na rheswm; yna nid yw ddwyfol; a'r hyn nid yw ddwyfol nid all fod yn rhwymedigaethol ar ddyn. Pe gallem gynwys Duw, byddem, o angenrheidrwydd, yn fwy

nag ef; yna ni byddai arnom rwymau i'w addoli. Rhaid i ddyn llygredig yn y fuchedd hon gael gwirioneddau uwchlaw rheswm i'w lywodraethu, i'w gymell, a'i foddhau. Gwrthod y syniad hwn ydyw anffyddiaeth. Onid yw y syniad hwn yn cael ei wrthod, ei ddirmygu, a'i wawdio? Onid yw gweinidogion yr efengyl yn dysgu yn groes i'r syniad hwn? Onid yw y wasg yn llawenychu yn nghyflafan y syniad hwn? Onid yw syniadau Tyndal, Darwin, a Channing, yn cael eu hau ar feusydd llenyddiaeth gydag egni ac edmygedd mawr? Dywed un fod natur yn hollalluog! Dywed y llall fod dyn yn ddadymblygiad o'r bwystfil! Dywed y trydydd nad yw Iesu Grist ond dyn yn unig! Ond ai hynyna yw dysgeidiaeth yr Ysgrythyrau ar y pynciau hyn? Daw yr Unifersaliad yn mlaen a dywed nad oes uffern dragywyddol i gospi pechod! Ai dyna yw dysgeidiaeth y Beibl? Eto ceir y wasg yn lledaenu y syniadau anffyddol yna, dan rith rhyddid y wasg. Faint o eneidiau ieuainc sydd yn cael eu gwenwyno bob blwyddyn trwy ddarllen y fath gynyrchion! Mae ysbryd anffyddol yr oes yn gwaghau addoldai y tir, yn lladd yr Ysgolion Sabbothol, ac yn gwywo prydferthwch yr eglwysi.

Os na ddaw rhyw adfywiad mawr ar achos y gwirionedd, bydd yr oes sydd yn codi yn oes o anffyddwyr! Mae tuedd pobl ieuainc ar ol pob ynfydrwydd, a llygredigaeth. Gwrthddadleuant bregethau, dirmygant gyngorion, a gwawdiant weddiau. Ffrwyth hadau anffyddol yw hyn. Mae y dirmyg a fwrw y wasg ar weinidogion y cysegr, yr enllib a'r difriaeth a deifl ar y dynion goreu, i foddio gelynion crefydd, yn nghyda'r colofnau agored a egyr i syniadau gwenwynig cyfeiliornwyr o ffordd y gwirionedd, wedi cyrhaedd yr amcan yn dda i gau pob capel, mudanu pob pregethwr, a throi y wlad yn genedl o anffyddwyr.

Cauer llygad rhag gweled hyn os myner! Neu, ynte, dirmyger a gwawdier y ffaith! Ffaith ydyw! Pa beth ydyw y feddyginiaeth? Pwy sydd yn yn gofyn? Os Cristion difrifol sydd yn gofyn, atebwn, Dychweliad cyffredinol yr eglwysi at y Beibl. "At y gair ac at y dystiolaeth." Ymwrthoder â phob peth mewn crefydd ond a ddysgir yn y Gair Sanctaidd. Os cydnabyddir un peth mewn crefydd heb fod yn ddwyfol yn gydwerth a'r hyn sydd ddwyfol, gellir cydnabod pob peth dynol yn gydwerth â'r dwyfol. Dyna ddrws i anffyddiaeth. Sêl pleidiau crefyddol dros fympwyon dynol yn eu harferion, yn eu *driftio* i gymeryd y pethau dynol hyny mor bwysig a'r gwirionedd ei hun, a agorodd y drws i'r anffyddiaeth dinystriol hwn i ymlifo dros y tir. Rhaid cau y drws eto. Yr unig ffordd i'w gau ydyw dychwelyd at y Gwirionedd Dwyfol. Dywed y gwawdwyr anffyddol hyn, "Nad oes perygl y cyll y gwirionedd y tir," a "bod y gwirionedd yn sicr o lwyddo." Pa le mae y gwirionedd a fu yn eglwysi Asia? Mae rhyw rai fel Jannes a Jambres yn sefyll yn erbyn Moses, yn sefyll yn erbyn y gwirionedd. Mae rhyw rai "yn atal y gwirionedd mewn anghyfiawnder." Ceir rhywrai "yn llygru y gwirionedd." Gelwir pob Cristion i ddyfod allan i "gynorthwyo y gwirionedd." Darllener y Beibl yn mhob teulu. Dysger y Beibl yn mhob Ysgol Sabbothol. Arferer y Beibl yn mhob eglwys. Na chreder, na ddysger, ac na arferer dim, ond gwirionedd y Beibl, mewn un eglwys, un blaid, nac un cyfundeb. Bydd hyny yn "agor y

pyrth fel y del y genedl gyfiawn i mewn, yr hon a geidw wirionedd." Yna daw "y gwylwyr i weled lygad yn llygad." "A chwi a gewch wybod y gwirionedd, a'r gwirionedd a'ch rhyddha chwi."

## ROGER WILLIAMS YN GYMRO AC YN FEDYDDIWR.

GAN Y PARCH. D. RHOSLYN DAVIES.



Yn Nghymru ac America y mae enw Roger Williams yn air teuluaidd. Y mae felly yn America ar gyfrif y ffaith mai efe roddodd gychwyniad i'r rhyddid gogoneddus sydd er ys rhai canrifoedd yn cael ei fwynhau o fewn ei therfynau; ac yn Nghymru, am mai Cymro ydoedd, ac mai gwaed y Brythoniaid oedd yn rhedeg drwy ei wythienau. Yr oedd ei rieni yn byw yn nhreftadaeth hynafiaid ei dad yn Maestroiddyn, yn mhlwyf Cynwil Caio, yn Sir Gaerfyrddin. Yn aml y cyfeirir at ei enw gyda pharch ac edmygedd o bwlpudau holl wledydd cred. Yn mysg gwroniaid megys Wickliffe, Luther, Melancthon, ac eraill, nid y lleiaf, ar lawer cyfrif, ydyw enw anwyl yr hen wron Cymreig. Y mae Roger Williams, ar gyfrif yr egwyddorion gogoneddus a goleddai ac a amddiffynai mor ddewr, yn nghyda'r dyoddefiadau dirfawr yr aeth trwyddynt, yn sefyll heddyw o flaen y byd Protestanaidd yn un o brif wroniaid yr ail-ganrif-ar-bymtheg. Nid oes gan yr un genedl wrthddrych teilyngach i ymffrostio ynddo na'r gwron goleuedig a duwiolfrydig hwn. Hoff ydyw pob cenedl o ymffrostio yn ei gwroniaid ei hun. Na feier ni y Cymry am gadw ychydig o dwrw y'nghylch cymeriad mor ddysglaer a chysegredig a'r anfarwol Roger Williams. Y mae yn anhawdd weithiau i genedl gael hawl yn ei heiddo ei hun; ond llawen genym ydyw fod ein holl haneswyr yn caniatau i genedl y Cymry gyflawn hawl ar Roger Williams. Profa hyn fod y rhesymau dros mai Cymro ydoedd, yn gryfion a lluosog. Credwn fod cenedloedd eraill wedi mynu clod ac anrhydedd oddiwrth goffadwriaeth llawer gwron enwog a berthynai yn gyfiawn i genedl y Cymry; a chredwn hefyd ein bod fel cenedl yn rhy barod i estyn ein bysedd ar ol personau anheilwng, gan eu cyhoeddi yn ddisgynyddion o linach y Brythoniaid. Gwneir hyn yn aml pan nad oes genym un sail i hyny, a thra y mae y personau y cyfeirir atynt ar yr un pryd yn digllawn wrthdystio yn erbyn ein honiadau. Eithr am Roger Williams, y mae pob hanesydd o bwys yn dweyd yn groew a phendant mai Cymro oedd efe, ac fod genym fel cenedl berffaith hawl ynddo fel y cyfryw. Nid wyf fi o nifer y rhai hyny a fynant fod pob John Rowlands a phob John Jones, &c., yn Gymry, oddieithr eu bod yn dyfod allan ac addef hyny eu hunain. Yr ydym ni y Cymry yn rhy ffol ar y pen hwn. Mynwn waeddi yn ein cy-

hoeddiadau mai Cymro yw hwn a hwn, gan mewn gwirionedd nad oes dyferyn o waed, na gwreichionen o egwyddor Gymreig yn perthyn i'r cyfryw. Pwy bynag ydyw, os nad yw yn ddigon o Gymro i wneyd y ffaith yn hysbys ei hun, ni waeth genyf fi beth ydyw, ond iddo beidio bod yn Mollie Maguire. Nis gall fod amheuaeth yn ein meddwl nad ymfalchiodd Roger Williams ganoedd o weithiau yn y ffaith ei fod yn Gymro; y mae nodweddion ei fywyd a'i gymeriad yn profi hyny; ac oni bae ei fod yn byw gynifer o flynyddoedd o flaen ei oes, byddai genym wrth law ffeithiau i gadarnhau hyn. Wn i ddim pa un ai byw o flaen ei oes ynte ar ol ei oes, sydd yn peri lleiaf o ofid i ddyn, oblegid os dygwydd iddi fod fel hyn, bydd naill ai yn wrthddrych malais a chenfigen, neu yn wrthddrych gwawd a thosturi. Byddwn ddiolchgar ein bod fel yr Americanwr, yn cael byw gyda yr oes. Eithr un yn byw *o flaen* ei oes oedd Roger Williams, ac y mae y ffaith hon wedi bod yn achlysur i falais a chenfigen guddio oddiwrthym lawer o ffeithiau gwerthfawr cysylltiedig ag ef yn moreu ei oes. Pe buasai wedi bod yn ddigon gwasaidd a rhagrithiol i aberthu ei egwyddorion crefyddol ar draul gwasanaethu dynion hunanol ac uchel-geisiol, diau y buasai genym gyflead cryno o lafur a bywyd Roger Williams o'i gryd hyd ei diriad ar draethell Lloegr Newydd. Ond boddlon ydym mai fel hyn y bu, oblegid trwy fyned rhagddo yn ffyddlon i'w argyhoeddiadau, sicrhaodd i'w enaid mawr wynfydedigrwydd tragywyddol, a bu yn fil mwy o fendith i'r byd nag y gallasai fod mewn un ffordd arall. Ac fel y mae cenfigen bob amser yn sicr o ladd ei pherchenog, felly y bu gyda choffadwriaeth gelynion mwyaf penboeth Roger Williams. Y mae enwau a choffadwriaeth y gelynion hyn wedi myneb i ebargofiant er ys oesau, tra y mae enw Roger Williams mor fyw heddyw ag erioed. Bod yn elyn i Roger Williams oedd bod yn elyn rhyddid, ac erlid Roger Williams oedd erlid egwyddorion puraf a phenaf y grefydd Gristionogol.

Oni ddylai cenedl y Cymry ymfalchïo mai trwy sêl, gweithgarwch, a phenderfyniad di-ildio Roger Williams y gosodwyd i lawr gareg sylfaen un o'r llywodraethau mwyaf cynyddfawr a rhyddfrydig a welodd y byd erioed? Ychydig feddyliai pan yn chwareu hyd lechweddau Cymru, yn Sir Gaerfyrddin, mai trwy ei offerynoliaeth ef yr oedd hadau pur efengyl y Ceidwad i gael eu gwasgar yn anialwch mawr y byd newydd. Mae yn drueni ein bod mor brin o ffeithiau am y gwron anfarwol hwn cyn ei diriad yn America, oblegid diau fod rhan foreuol ei oes yn llwythog o ddygwyddiadau, ac yn orlawn o wersi gwir fuddiol. Byddwn ddiolchgar am yr hyn sydd genym, a dangoswn ein parch i'w goffadwriaeth trwy ei edmygu am yr hyn a wnaeth ac a ddyoddefodd. Y mae yn werth i'w gofio, wrth feddwl am fywyd Roger Williams, mai trwy lafur a dyoddef y mae pobpeth gwerthfawr a theilwng yn cael ei sicrhau. Edrychwn pa le y mynwn, ni a gawn fod y gosodiad hwn yn wir. Y mae pob bendith a fwynhawn wedi costio yn ddrud i rywrai. Mae y bara beunyddiol a gyfrenir i'r myrddiynau sydd ar y ddaear, yn cael ei gasglu trwy ymdrech a llafur. Mae y cynyrchion meddyliol gwerthfawr a dysgedig ag sydd o fewn ein cyrhaedd wedi costio i'w hawduron chwys gwyneb a chalon. Y mae'r tangnefedd, y drefn, a'r rhyddid gwladol a chrefydd-

ol ag y mae gwledydd gwareiddiedig yn eu mwynhau yn bresenol, wedi eu dwyn oddiamgylch trwy yr egni, y llafur, a'r dyoddefaint mwyaf synfawr ac aruthrol. Costiodd ei ymdrechion yn erbyn traddodiadau Pabyddol i Martin Luther oes o fywyd peryglus. Am godi i fyny yn erbyn cyfeiliornadau a phechodau ei oes, bu John Bunyan yn ei garchar am ddeuddeng mlynedd. Ac am anufuddhau i drefniadau yr eglwys wladol, a chyhoeddi rhyddid cydwybod, costiodd i Roger Williams fywyd o alltudiaeth.

Ni ddadblygwyd y nodwedd Gymreig yn fwy gwirioneddol yn mywyd neb erioed nag yn Roger Williams. Yr oedd ei ysbryd gwresog, annibynol, a rhyddfrydig, yn tystio ei fod o'r un gwaed a'r hen Frythoniaid dewrion a fagwyd rhwng mynyddoedd Cymru. Nid oes cenedl dan yr haul ag sydd wedi dangos mwy o gasineb tuag at drais a gorthrwm, ac wedi tystio yn uwch mewn gair a gweithred yn erbyn gormes caethiwus ei gelynion. Un o'r dewraf a'r mwyaf di-ildio yn y cyfeiriad hwn oedd Roger Williams. *Mynodd* ryddid pan yr oedd pawb eraill yn methu. Safodd dyn Duw dros y gwirionedd yn un o'r dyddiau cyfyngaf fu arno erioed.

Eithr tra yr ydym fel cenedl yn cyduno i hawlio Roger Williams yn un o honom, a chenedloedd eraill yn ddieithriad yn boddloni i ni wneyd hyny, y mae yn rhaid i rai gael anghytuno mewn perthynas i wirionedd sydd wedi ei benderfynu gyda lluoedd o ffeithiau diymwad, sef mai Bedyddiwr ydoedd. Bu mor ffodus a chael addysg o'r radd flaenaf, fel y crybwyllasom yn yr ysgrif flaenorol, naill ai yn Cambridge neu Oxford, ac iddo, am amser byr, wedi hyny, fyfyrio y gyfraith; ond gan fod tuedd naturiol ei feddwl a'i galon yn ei arwain i wynebu ar faes arall, ordeiniwyd ef yn weinidog ar eglwys fechan dan nawdd yr Eglwys Sefydledig. Nis gwyddom faint o amser y bu yn troi yn y cylch hwn yn Lloegr, ond y mae yn amlwg nad oedd yn faith. Yma, eto, nid oedd ei enaid yn cael digon o le i weithio fel y dymunai. Teimlai fod ei gylch yn gyfyng, ac fod ganddo yn ei galon drysorau y dymunai gael cyfleustra i'w dangos i'w gydfforddolion. A chan y credai fod gwell mantais i gyrhaedd hyn yn y byd newydd, y mae yn gadael ei fam-wlad i chwilio am fan yn yr hwn y c'ai lonydd i arllwys allan gynwysiad ei feddwl cyfoethog. Ond buan y cafodd ei argyhoeddi nad oedd fawr o fantais wedi ei sicrhau ganddo yn yr anturiaeth hon o'i eiddo.

A ganlyn ydyw tystiolaeth y Parch. J. M. Cramp, yn yr hon y mae Mr. Knowles yn cyduno:

"Yr oedd gweinidogaeth Roger Williams yn Salem, ychydig cyn ei alltudiaeth, yn dra annerbyniol gan rai o'i wrandawyr, ar gyfrif ei wrthwynebiad parhaus i'r awdurdodau gwladol yn ymyraeth mewn materion crefyddol; dywedent ei fod yn cymell arnynt syniadau a dueddent i ffafrio ail-fedyddiaeth (*anabaptism*). Wrth hyn ni olygent, yn ddiau, ychwaneg na'i fod yn dysgu mai peth personol oedd crefydd, ac y rhoddai y fath bwysigrwydd ar dduwioldeb personol fel ag i'w wneyd yn hanfodol i aelodaeth eglwysig, yr hyn a filwriai yn erbyn golygiadau bedyddwyr plant. Eithr yn fuan wedi ei sefydliad yn Providence, daeth y pwnc o fedydd o dan ystyriaeth fanwl a difrifol. Pa fodd y dechreuwyd hyn, a pha gynllun a fabwysiadwyd i gario yn mlaen yr ymchwiliad, sydd yn anhysbys i ni. Ond, beth bynag, y canlyn-

iad fu i ddeuddeg o ddynion cyfrifol gyhoeddi eu hunain yn Fedyddwyr mewn daliadau. Yna dechreuasant ymholi yn nghylch pa bryd y gallasent gael eu bedyddio, gan nad oedd un gweinidog Bedyddiedig yn eu plith. Ofnent y byddai gyru i Loegr am un yn aflwyddianus, ac yr elent hefyd i draul wrth wneyd hyny nad oeddynt ond anmharod iawn i'w chyfarfod, ac heblaw hyn byddai yn rhaid oedi y peth yn hir iawn. Mewn trefn i ddyfod allan o'r dyryswch hwn darfu iddynt fabwysiadu yr unig gynllun a ymddangosai yn bosibl dan yr amgylchiadau. Dewisasant un o'u plith eu hunain, sef Mr. Holliman, i fedyddio Mr. Williams, yr hwn wed'yn a fedyddiodd y lleill. Cymerodd hyn le yn Mawrth, 1639. Ffurfiwyd yno eglwys yn uniongyrchol, ar yr hon y dewiswyd Mr. Williams yn weinidog."

Wrth gyfeirio at yr amgylchiad hwn a gymerodd le yn Providence, y mae yr *American Cyclopedia* yn nodi engraifft arall gyffelyb a gymerodd le yn Holland, fel y canlyn:

"Efelychwyd y drefn a fabwysiadwyd gan Smyth a Hellwys, yn Holland, gan rai o diriogaethwyr Providence, yn eu gwaith yn gweinyddu yr ordinhad o fedydd yn eu mysg eu hunain. Mr. Holliman, lleygwr, yn gyntaf a fedyddiodd Mr. Williams, yna bedyddiodd Mr. Williams Mr. Holliman yn nghyda deg eraill. Fel hyn y sefydlwyd yr eglwys Fedyddiedig gyntaf yn America."

Ychwanegwn dystiolaeth un ysgrifenydd pwysig arall, sef y Parch. William Gammell, A. M., yr hwn fu yn athraw yn Brown University:

"Fel yr ydym wedi sylwi eisoes, cafodd ei ordeinio yn weinidog gan esgob perthynol i'r Eglwys Sefydledig yn Lloegr, a chyn ei ymadawiad â'r wlad hono yr oedd wedi ei sefydlu yn bregethwr plwyfol. Ond wedi ei diriad yn Massachusetts, darfu iddo, fel y rhan luosocaf o'r duwinyddion Puritanaidd, fabwysiadu trefn y Cynulleidfaolwyr o addoli, ac er iddo, tra yma, gael ei gyhuddo o goleddu syniadau a dueddent at ail-fedyddiaeth, eto bernir fod y cyhuddiad yn cael ei wneyd yn benaf ar gyfrif ei ddaliadau parth rhyddid crefyddol. Ystyrid fod mwy o duedd yn ei syniadau i greu anghydfod yn yr eglwysi, nag i goleddu egwyddorion y Bedyddwyr. Tua'r amser hwn yr oedd llawer o'r tiriogaethwyr yn dechreu amheu awdurdod Ysgrythyrol bedydd babanod; ac, yn wir, bob bedydd a weinyddid trwy daenelliad. Er mai nid Roger Williams oedd y blaenaf i fynwesu y daliadau newyddion hyn, eto y fath oedd ei ysbryd annibynol, fel mai efe oedd y cyntaf yn Lloegr Newydd i'w dwyn allan i ymarferiad. Nis gwyddom pa resymau a'i cymellodd i gymeryd y cam hwn. Ond hyn a wyddom, iddo gael ei lwyr argyhoeddi mai peth diangenrhaid a diwerth oedd bedydd babanod, ac iddo, yn Mawrth, 1639, gael ei fedyddio trwy drochiad, yn ol trefn y Bedyddwyr, gan Ezekiel Holliman, yr hwn oedd ddinesydd parchus yn Providence. Yna Roger Williams a weinyddodd yr un ordinhad ar Mr. Holliman, yn nghydag eraill o'r tiriogaethwyr, y rhai a gyd-unasant ar unwaith i ffurfio yr eglwys Fedyddiedig gyntaf ar gyfandir America."

Y mae genym dystiolaethau eraill wrth law, ond credwn fod yr uchod yn ddigonol i foddloni pob darllenydd diragfarn. Mewn gair, nis gallasai dyn o nodweddion neillduol Roger Williams lai na bod yn Fedyddiwr. Yr oedd yn perthyn iddo ormod o anni-

byniaeth meddwl, ormod o onestrwydd calon, a gormod o dreiddgarwch ymchwiliadol i ymfoddloni ar ddim ond a dynai allan o air y digelwyddog Dduw. Mynodd ysgwyd ymaith bob gwegi traddodiadol, ac ni fynai na rhan na chyfran mewn dim ond a gredai fod o osodiad dwyfol. Ac fel y bu Ioan yn sefyll i fyny yn niffaethwch Judea, gan alw ar y bobl i gredu yn Oen Duw, felly yntau oedd y cyntaf a bregethodd edifeirwch a maddeuant pechodau, yn ol y drefn apostolaidd, yn niffaethwch mawr cyfandir eang America.

Ni ddywedwn mai Roger Williams oedd y Bedyddiwr cyntaf o ran barn, a roddodd ei droed ar dir America. Mae yn ddiameu fod Bedyddwyr egwyddorol wedi dyfod drosodd yn y *Mayflower*, ond y fath oedd erledigaeth y dyddiau hyny, fel na feiddient wneyd eu daliadau parth bedydd yn hysbys. Gwyddent yn dda beth fu tynged Whitman, Huss, Bennett, a llawer eraill. Eithr wedi alltudiaeth Roger Williams, ac i'r eglwys fechan yn Providence gael ei chorpholi, cafodd y Bedyddwyr fan a chartref diogel i ffoi iddo rhag llid gelynion. Ac nid yn nepell o derfynau Rhode Island, mor foreu a'r flwyddyn 1663, yr oedd eglwys o Fedyddwyr Cymreig mewn lle a elwid Rehoboth, sef yr eglwys Gymreig gyntaf a welodd y tiriogaethau.

Bu i wroldeb a gweithgarwch egniol Roger Williams dros egwyddorion pur y Testament Newydd, beri i luoedd eraill ddyfod allan a chyhoeddi eu hymlyniad diymollwng hwythau wrth yr unrhyw egwyddorion. Ac er gwaethaf yr Eglwyswyr hyny oeddynt wedi gwisgo mantell Gynulleidfaol, parhaodd egwyddorion y Bedyddwyr i enill tir yn gyflym.

Erbyn heddyw gallwn gyfrif fod yn y Talaethau Unedig yn agos i ddwy filiwn o Fedyddwyr; a phe cyfrifem aelodau a gwrandawyr yn nghyd, cawn fod eu rhif yn dyfod i fyny i chwe' miliwn. A phan gofiwn fod Roger Williams wedi cymeryd rhan mor flaenllaw yn nadgysylltu yr eglwys a'r wladwriaeth yn y wlad hon, yn nghyda chyhoeddi mor ddifloesgni na fynai na rhan na chyfran yn nhraddodiadau Pabyddol yr eglwys, pa ryfedd fod ei goffadwriaeth yn aros mor anwyl a chysegredig yn nghalonau y rhai hyny a amddiffynant egwyddorion ac ordinhadau pur yr eglwys apostolaidd?

Parhawn i barchu ac edmygu coffadwriaeth Roger Williams, ac hefyd i yfed yn helaeth o'r ysbryd bendigedig hwnw a'i galluogodd i sefyll mor ddewr o blaid y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint.

---

## Y BEDYDDWYR A'R ANNIBYNWYR.

GAN Y PARCH. WILLIAM JONES, WISCONSIN.

Gwelais ysgrif yn y *Drych* am Awst 3, oddiwrth y brawd talentog, y Parch. H. O. Rowlands, yn arwyddo awydd i gael undeb rhwng y Bedyddwyr a'r Annibynwyr. Mae ysbryd tangnefeddus yn ddymunol mewn byd ac eglwys, a diameu mai gwir yw yr hen ddywediad, mai mewn undeb y mae nerth. Credwyf, fel y sylwa y brawd, fod yr holl ymraniadau a gymerodd le yn y grefydd Gristionogol wedi bod yn nerth i anffyddiaeth, ac yn wendid i deyrnas Crist. Megys y bu rhanu un iaith i wahanol ieithoedd yn waith Duw i beri rhwystr i orchwyl drwg, felly mae rhanu y grefydd Gristionogol yn fân raniadau wedi bod yn waith y diafol i rwystro gwaith da, sef efengyleiddio y byd.

Sonia ein gohebydd am uniad gwahanol enwadau crefyddol, y rhai nad oes syniadau sylfaenol yn eu gwahanu. Yr wyf wedi methu erioed a deall pa fodd y mae i ni benderfynu pa bethau ydynt egwyddorion sylfaenol crefydd. Pwy all dynu llinell rhwng y pethau sylfaenol a'r pethau ansylfaenol. Pan yr oedd Luther a Melancthon yn ceisio asio y Protestaniaid a'r Pabyddion â'u gilydd, yr oedd y ddau athraw duwinyddol hyny yn mhell iawn oddiwrth gyduno â'u gilydd am bethau pwysig a sylfaenol crefydd. Yr oedd Melancthon yn barod i roddi heibio gyfiawnhad drwy ffydd, yr angenrheidrwydd am weithredoedd da er iachawdwriaeth, nifer ordinhadau yr eglwys, &c., fel pethau dibwys (*immaterial*), a hyny er mwyn undeb rhwng y pleidiau, tra yr oedd Luther yn dychrynu wrth feddwl am y fath beth. Ac mae yn debyg y byddai yr un mor anhawdd cael dynion i gydweled am bynciau sylfaenol crefydd yn awr ag oedd y pryd hyny; oblegid y mae Luther a Melancthon yn y byd yn mhob oes. Ymddengys i mi fod credu yr oll a ddywedodd, ac ufuddhau i'r oll a orchymynodd Crist, yn rhwym o fod yn egwyddorion sylfaenol crefydd. Cynygia y brawd R. ar fod nifer cyfartal o'r ddwy ochr i gael eu dewis i benderfynu y gwahaniaeth sydd rhwng y ddau enwad, drwy ieithyddiaeth (*philology*) a hanesyddiaeth, yn nghylch dull a deiliaid bedydd, sef y pethau, o'r hyn lleiaf y prif bethau, y mae y ddau enwad yn gwahaniaethu rhyngddynt. Ond y mae y pynciau hyny wedi eu penderfynu eisoes mor gadarn ag y gellir eu penderfynu mewn perthynas i ystyr y gair *baptizo*, yr hwn air ddefnyddiodd Crist a'i apostolion mewn cysylltiad a'r ordinhad o fedydd. Mae holl gorph, dysgedig ac annysgedig, y Bedyddwyr, o un ochr, yn tystio yn unfrydol mai trochi, suddo, claddu, ydyw ei feddwl, ac nad ydyw mewn un modd yn golygu taenellu. O'r ochr arall, mae prif ddysgedigion y cyrph taenellyddol yn addef yn llawn mai trochi yw meddwl y gair. Dichon yr amheuir hyn gan y taenellwyr; o ganlyniad mae yn angenrheidiol i mi brofi fy nhystiolaeth. Enwaf y dysgedigion penaf fedd y byd taenellyddol, mewn gwahanol oesau, oblegid dysgeidiaeth sydd i brofi gair perthynol i iaith estronol. Dyna Chalmers, Chambers, a Campbell; ni fagodd Scotland erioed ddynion uwch mewn dysg a gwybodaeth na'r rhai hyn. Dywed y cyntaf, yn ei sylw ar Rhuf. 6 : 4 : "Meddwl gwreiddiol y gair bedydd yw trochiad; ac er ein bod ni yn ei ystyried yn bwnc dibwys pa un a weinyddir ef yn y dull hwn neu drwy daenelliad, eto nid ydym yn amheu nad y dull cyffredinol o'i weinyddu ydoedd drwy soddiad yr holl gorph dan y dwfr." Chambers a ddywed: "Yn yr amseroedd cyntefig yr oedd yr ordinhad hon, sef bedydd, yn cael ei gweinyddu drwy drochiad, megys y mae hyd heddyw yn yr eglwysi Dwyreiniol, yn ol meddwl gwreiddiol y gair.—(Gwel *Cyclopedia.*) Dr. Campbell a ddywed: "Mae y gair *baptizein*, yn ol yr awdwyr clasurol a chysegredig, yn golygu suddo, trochi, ac mae bob amser yn cael ei ddeall yn yr ystyr hwn.—(Gwel ei Nodiadau ar y T. N., Cyf. II., tu dal. 20.)

Ni gymerwn eto dri neu bedwar o Germani i ffurfio ein cyngor. Luther sylwa: "Mae bedydd yn arwyddo marwolaeth ac adgyfodiad. Yn cael fy nghynyrfu gan y rheswm hwn, mi a fynwn i'r rhai a fedyddir i gael eu llwyr suddo tan y dwfr, yn ol meddwl y gair

ac arwyddocad yr ordinhad, fel yn ddiamheuol y sefydlwyd hi gan Grist." Melancthon a addef: "Mae bedydd yn weithred drwyadl, sef soddiad." Michaelis a ddywed: "Y weithred allanol a orchymynodd Crist yn y bedydd ydyw trochiad dan y dwfr; hyn mae y gair *baptizo* yn ei feddwl, fel y cydsynia pob un sydd yn deall y Groeg. Yr oedd bedydd yr Iuddewon drwy drochiad; felly hefyd yr oedd bedydd Ioan; ac nid oes yr un amheuaeth beth bynag, nad oedd y Cristionogion cyntaf yn bedyddio yn yr un modd."

Deuwn yn awr at ddysgedigion Lloegr, a dechreuwn gyda Chymanfa Westminster, yn cynwys tua 50 o weinidogion dysgedig. Yn eu sylw ar Rhuf. 6: 4, dywedant: "Yn yr ymadrodd hwn mae yr apostol yn ymddangos yn cyfeirio at yr hen ddull o fedyddio, yr hwn oedd drwy soddi y rhai a fedyddid, ac megys eu claddu dan y dwfr." Greenfield gaiff siarad nesaf; dywed ef: "Mai y gair trochi, neu yr hyn sydd yn cyfateb iddo, a ymddengys yr unig air a ellir yn briodol ei ddefnyddio fel cyfieithiad o'r gair Groeg *baptizo*." Jeremy Taylor sylwa: "Nid taenellu oedd dull yr eglwys gyntaf, eithr trochi, yn ol meddwl y gair bedydd yn ngorchymyn ac esiampl ein Hiachawdwr bendigedig." Parson ddywed: "Mae yn ddirmygus meddwl fod i'r gair *baptizo* unrhyw feddwl priodol arall ond trochi."

Yn awr caiff dysgedigion America ddweyd eu meddwl ar ystyr y gair. Dr. Athar ddywed: "Prif feddwl y gair ydyw suddo, trochi; a'i ail feddwl, os bu iddo un erioed, a gyfeiria mewn rhyw ffordd neu gilydd at yr un drychfeddwl; taenelliad sydd yn llwyr allan o'r cwestiwn." Proff. Stuart addefa: "*Bapto* a *baptizo* a olygant trochi, suddo, claddu mewn unrhyw wlybwr. Mae *lexicographers* o unrhyw gyfrif yn cyduno ar hyn."—(Gwel Stuart ar Fedydd, tu dal. 51, 147–149.)

Gwelaf yr aiff fy ysgrif yn rhy faith, onidê gellir lluosogi yr enwau yn gyfrol fawr. Yn awr dyma ddynion o ran dysg a gwybodaeth, na chynyrchodd Scotland, Germani, Lloegr, nac America, nac un wlad arall, eu gwell a'u rhagorach, ac oll yn cyfaddef yn rhwydd ac yn rhad mai ystyr priodol y gair *baptizo* ydyw trochi. Ond rhag i mi basio heibio hen wlad fy nhadau, enwaf Richard Robert Jones (Dic Aberdaron), yr hwn nad oedd yn perthyn i'r Bedyddwyr, eto yn ieithyddwr nodedig. Cyfieitha ef y comisiwn: "Gwedi myned gan hyny, gwnewch yr holl genedloedd yn ysgolheigion, gan eu trochi hwynt i enw y Tad, a'r eiddo y Mab, a'r eiddo yr Ysbryd Glan, ac wele yr wyf gyda chwi yr holl ddyddiau hyd gyflawn ddiwedd y byd." Yn ngwyneb y pethau hyn dywedaf, Os nad yw y pwnc hwn wedi ei benderfynu eisoes, rhaid i ni gael *council* i benderfynu pa un a gododd yr haul yr haf diweddaf ai peidio.

Sylwa ein brawd dysgedig fod eisiau penderfynu y pwnc yn hanesyddol hefyd. Wel, boddlawn ydym i farn y byd taenellyddol ar y pen hwn eto. Nid wyf yn gwybod, ac nis gwyr neb arall, am neb sydd yn sefyll yn uwch fel haneswyr eglwysig na Mosheim a Neander. Y cyntaf a ddywed: "Yn y ganrif hon (y gyntaf) yr oedd bedydd yn cael ei weinyddu mewn lleoedd cyfleus tu allan i'r cynullfaoedd cyhoeddus, drwy drochi yr ymofynwyr yn drwyadl mewn dwfr. Yn yr ail ganrif, yr ymofynwyr am dano a drochid yn hollol, yn enw y drindod sanctaidd, yn ol gorchymyn y Gwaredwr."—(Gwel Cyf. I., tu dal. 84, 87, 88.) Neander ddywed: "Bed-

ydd a weinyddid ar y cyntaf drwy drochiad, ac mae llawer o gydmariaethau St. Paul yn cyfeirio at y dull hwn o'i weinyddu. Mae y trochiad yn arwydd o farwolaeth, ac o gladdu gyda Christ. Dyfod allan o'r dwfr sydd yn arwyddo adgyfodi gyda Christ; ac wrth gymeryd y ddau yn nghyd gosodant allan yr ail-enedigaeth, marwolaeth yr hen ddyn ac adgyfodiad i fuchedd newydd. Gyda golwg ar ddull bedydd, yr oedd mewn cydffurfiad â'r sefydliad gwreiddiol, a'r arwydd cyntefig a gyflawnwyd trwy drochiad, fel arwydd o drochiad trwyadl i'r Ysbryd Glan, a'n bod wedi ein trwyadl dreiddio ganddo. Am y dull cyntefig o fedydd nis gall fod un amheuaeth beth bynag nad oedd yr ordinhad yn cael ei gweinyddu trwy drochiad. Y dull o drochi yn y ganrif gyntaf oedd tu hwnt i bob amheuaeth drwy yr holl eglwysi."—(Gwel Hanes yr Eglwys, tu dal. 197, Cyf. I., tu dal. 110.) Gieseler hefyd a ddywed: "Dygwyd y dull o daenellu i mewn er mwyn yr afiachus."—(Gwel Hanes yr Eglwys, Cyf. III., tu dal. 274.)

Mae yr uchod yn ddigon i brofi i bob dyn rhesymol y pwnc yn hanesyddol. Fe wel y darllenydd nad oes eisiau un *council* i brofi pa fodd y dylid bedyddio, yn hanesyddol nac yn ieithyddol. Mae son am *compromisio* o'r ddwy ochr gyda golwg ar orchymynion Crist yn ofnadwy o ddychrynllyd. Os gorchymynodd Crist, fe orchymynodd yn eglur, yna nid oes le i *gompromisio;* ond os na orchymynodd Crist, yna nid oes angen un *council.* Ni ddylai y gair *compromise* gael dyfod o fewn terfynau deddfau Duw, ac mae yr ymadrodd, "rhanu llwythau Jacob," yn swnio yn rhy Iuddewig i gael ei ddefnyddio gan ddysgawdwr Cristionogol.

Y pwnc sydd i'w benderfynu gan y *council,* os ceir ef, nid pa beth yw bedydd, oblegid gwyddom bobpeth yn nghylch hwnw, gan ein bod wedi ein dysgu gan ddysgedigion o'r ddwy ochr, ond yn hytrach penderfyner pa un a ydyw gorchymynion Crist i'w cadw fel y gorchymynodd ef, neu ynte a ellir eu cadw mewn rhyw ddull y gwelom ni yn dda. Os penderfynir o blaid y gosodiad olaf, yna mae yr Annibynwyr ar gystal tir a'r Bedyddwyr. Os gellir actio y Pab o Rufain drwy newid gorchymynion Pen Mawr yr Eglwys, fel ag i'w gwneyd yn fwy cyfleus, yn fwy gweddus a chyfaddas i bob amgylchiadau, yna gellir gwneyd math o *gompromise;* ond os na roes Brenin Seion y fath hawl i un bod meidrol i newid deddfau y Duw anfeidrol, yna gwell yw gwneyd fel y dywed Moses wrthym, "Arno ef y gwrandewch yn mhob peth a ddywedo efe wrthych, a phob enaid ni wrandawo a ddyfethir o blith y bobl." Y ffordd y darfu i Noah foddhau Duw wrth wneyd yr arch, ydoedd, gwneyd fel y gorchymynodd Duw. Felly hefyd y gwnaeth Moses. "Gwel," meddai Duw, "am wneuthur pob peth yn ol y portread a ddangoswyd i ti yn y mynydd." Ni bu ond un ffordd i gyflawni gorchymyn pendant, ac nid oes ond un ffordd i gyflawni gorchymynion pendant y Testament Newydd, a'r ffordd hono ydyw gwneyd fel y gorchymynodd Crist. Dyna'r unig ffordd i ddangos parch i'r Iesu; a ffordd effeithiol i ddangos anmharch iddo ydyw newid ei orchymynion, a gwneyd fel yr ewyllysiom ein hunain. Mae'r dyddiau yn prysuro pan y bydd holl draddodiadau dynol wedi cwympo o flaen gorchymynion dwyfol, fel Dagon o flaen arch Duw Israel; gwnaed pawb sydd yn caru Crist ei oreu i brysuro yr adeg drwy

bregethu y gwirionedd, amddiffyn y gwirionedd, byw yn ol y gwirionedd, a gweddio dros y gwirionedd, yna ni gawn wobr y gwirionedd yn y pen draw, ac ni ofyna neb i ni, Pwy a ofynodd hyn oddiar eich llaw chwi?



[Yr uchod sydd ddarlun o gapel hardd a helaeth y Spring Gardens, Philadelphia, yn yr hwn y mae ein cydwladwr hoffus, y Parch. B. D. Thomas yn gweinidogaethu. Mae yr eglwys sydd yn addoli ynddo yn sefyll ar flaen y rhes yn mhlith eglwysi mwyaf lluosog a llewyrchus y Bedyddwyr yn "Ninas y Cariad Brawdol." Am Mr. Thomas, mae yn dra adnabyddus (er nad yw ond dyn ieuanc eto), yn Nghymru yn gystal ag yn America, fel pregethwr hyawdl, grymus, a phoblogaidd iawn.

Y mae yn gweinidogaethu i'r eglwys hon er ys rhai blynyddoedd bellach, ac yn parhau yn hynod dderbyniol a llwyddianus. Mae gan yr enwad amryw weinidogion eraill yn y ddinas a ystyrir yn gewri y pwlpud, ond nid ydym yn meddwl ein bod i ystyried y Cymro cywir galon o Narberth, Swydd Benfro, yn ol i neb o honynt. Yr ydym yn llefaru fel hyn am ein bod yn adnabod Mr. Thomas yn dda. Gyda hiraeth calon yr adgofiwn yn awr yr amser dedwydd a dreuliasom gyda ein gilydd yn yr Athrofa yn Hwlffordd. Ac y mae yn ddywenydd genym gael y cyfle hwn i roddi o flaen ein darllenwyr ddarlun o'i gapel, ac hefyd yr erthygl ddyddorol a ganlyn o'i eiddo.—GOL.]

## Y BEDYDDWYR YN YSTOD Y GANRIF DDIWEDDAF.

GAN Y PARCH. B. D. THOMAS, PHILADELPHIA.

Ni fu y wlad hon fyw gymaint erioed yn y gorphenol ag yn ystod misoedd y ganmlwydd hon. Ei harwyddair hyd yn hyn sydd wedi bod, "y dyfodiant." Yn hoenusrwydd ei hieuenctyd braidd yr ymostyngai hyd yn nod i gymeryd trem o'r tu ol iddi. Gweddill-bethau y cymerir yn awr ddyddordeb mawr ynddynt, a deflid o'r neilldu fel yn annheilwng o sylw am fynyd. Troion ac amgylchiadau a adgofir yn awr gyda brwdfrydedd ac a fawrygir mewn areithiau tanllyd a mydraeth gain, oeddynt hyd yn hyn yn cael aros yn ddifeddwl am danynt yn mhlith hanesion llychlyd y pethau a fu.

Byddai yn hynod ddyddorol yn ddiameu, ac yn wir gydnaws a'r ysbryd sydd yn cyniwair drwy feddyliau y cyhoedd ar yr adeg foddhaus hon pe arosem gyda y llwyddiant nodedig a ganiatawyd i ni fel pobl yn ystod y can' mlynedd aethant heibio. Ni ddygwyddodd dim yn gyffelyb iddo yn hanes yr oesau; ac ni allwn fwynhau y safle uchel hon heb deimlo yn llawen ac yn ddiolchgar.

Ond yr wyf yn awyddus i roddi ger bron darllenwyr y WAWR ychydig sylwadau a fo yn dangos daioni mawr Duw tuag atom fel enwad. Yr wyf yn cydnabod gyda boddhad y llwyddiant sydd wedi dilyn ymdrechiadau pobl Gristionogol o bob enw. Yr wyf yn llawen am yr holl gynhyrfiadau dwyfol a deimlodd cymdeithas—am yr holl ddylanwadau adgenedliadol a fu yn gweithredu ar galonau dynion. Yr wyf yn credu yn gadarn fod Cristionogaeth wedi gwneyd mwy er llesoli ein gwlad nag unrhyw foddion arall, ïe, na phob moddion eraill yn nghyd. Yr ydym fel cenedl yn fwy dyledus i'r dy-

lanwad a darddodd allan o'n heglwysi nag ydym i'r cyfreithiau a darddasant o'n deddfwneuthurfäau. Ac nid yn ein heglwysi yn unig mae Cristionogaeth wedi bod ar waith; mae pob rhinwedd cymdeithasol, pob syniad o anrhydedd ac o haelfrydedd, pob dadblygiad dynol mewn cymeriad, pob hawddgarwch mewn tymer ac ysbryd, yn ffrydiau o'r ffynon ddwyfol ac haelfrydig hon. Dylem gan hyny lawenychu yn ddiffuant yn y llwyddiant ag a ganiatawyd yn rasol i symudiadau crefyddol y ganrif a basiodd.

Ond amcanwn yn yr ysgrif fer hon i adolygu y gorphenol, nid yn unig o safle grefyddol, ond yn fwyaf neillduol gyda golwg ar ein cynydd a'n dylanwad fel enwad.

Mae yn anmhosibl i ni fyfyrio ein hanes fel enwad, ein gweithgarwch a'n cynydd heb fod dan argraff o ddaioni Duw. Yr ydym ni mewn cymhariaeth i gyrph eraill o Gristionogion, wedi bod yn dyoddef oddiwrth anfanteision, y rhai o ran amser a lle sydd yn awr yn anhawdd eu sylweddoli. Am flynyddau cawsom ymladd ein ffordd i fyny drwy amryw anhawsderau dirfawr. Yn hanes foreuol ein gwlad, er bod yn Fedyddiwr yr oedd yn rhaid dyoddef gogan, gwawd, ac erledigaeth o'r fath chwerwaf. Mae yn ffaith hanesyddol ddarfod i'r Bedyddwyr ddyoddef yr erledigaeth fwyaf creulawn ac anghyfiawn oddiar law Episcopaliaid Virginia a Phuritaniaid Lloegr Newydd; ac y mae'n rhaid y bu i'r ffaith hon filwrio yn fawr yn erbyn ein llwyddiant, a'n gosod o dan anfanteision dirfawr mewn cymhariaeth i enwadau eraill, yn flaenorol ac yn ddilynol i gyhoeddiad annibyniaeth.

Gallwn, pa fodd bynag, o'n safle uchel bresenol, orfoleddu yn y gorthrymderau hyny a'r cyffelyb, oblegid ni wnaethant ond gwasanaethu i egluro yr egwyddor hono,

> "*Gwir* **lethwyd i'r ddae'r eto gwyd,**
> **Blynyddau annherfynol Duw iddo sydd."**

Y mae yn ol-dremiad calonogol, ein bod, er yr holl anhawsderau a'r anfanteisiôn a gyfodent oddiwrth wrthwynebrwydd i'n hathrawiaeth a'n harferiadau crefyddol, wedi cynyddu yn ystod un ganrif, o fod ddim mwy na 25,000, i lu yn rhifo 1,815,300. Mae ein rhif, am y rhan fwyaf o'r cyfnod a nodwyd, wedi cynyddu dros 50 bob dydd. Yn 1774, nid oedd ond yn unig un Bedyddiwr am bob 90 o'r boblogaeth, ond yn 1870 yr oedd un am bob 27. Fel hyn mae y cynydd wedi bod yn fwy cyflym na chynydd y boblogaeth.

Mae yn anmhosibl i ni adolygu y fath hanes a hyn heb deimlo diolchgarwch calon. Mae yn ddangoseg (a chymeryd pob peth i ystyriaeth) heb ei chyffelyb yn hanes yr eglwys Gristionogol.

Nid yw ein henwad wedi bod ar ol i'r rhai blaenaf mewn sel genadol. Y Cristion cyntaf, mewn cyfnod diweddar, a ymaflodd yn ystyr llawn y comisiwn gogoneddus hwnw, "Ewch i'r holl fyd a phregethwch yr efengyl i bob creadur," oedd yn Fedyddiwr. Y gwroniaid cyntaf a wynebasant gyfyngderau ac amddifadrwydd llafur cenadol mewn gwledydd estronol, yn mhlith gwylltiaid ac anwariaid, oeddynt rai o'r un ffydd a ninau. Y cyfieithiadau cyntaf o fendigaid Air Duw i ieithoedd paganaidd, a wnaed gan genadon i'r Bedyddwyr. Hwy fuont y rhai blaenaf mewn anfon yr efengyl i wledydd pellenig y ddaear, lleoedd llawn o drigfanau trawsder ac anwybodaeth. Y Gymdeithas Genadol gyntaf i'r Bedyddwyr, a sefydlwyd yn y wlad hon, oedd yn y flwyddyn 1814. Ac er yr holl anhawsderau anwahanol gysylltiedig ag efengyleiddio gwlad newydd, tori i lawr hen uwchafiaeth tybiedig dosbarthiadau, a gyru ymaith o'u noddfaau hen gredoau a thraddodiadau, y mae genym heddyw yn y maes cenadol aelodaeth yn rhifo 57,883 fel ffrwyth uniongyrchol ein gweithgarwch cenadol, gyda bendith Duw. Yn nygiad oddiamgylch y gwaith mawr hwn treuliwyd gan y Bedyddwyr Americanaidd swm o ddim llai na $16,000,000.

Mae ein Cenadaeth Gartrefol yn gyffelyb, wedi cyrhaedd safle ardderchog. Mae Bedyddwyr y Talaethau Unedig wedi codi, yn ystod yr haner canrif diweddaf, tuag at y dyben o wasgaru

gwybodaeth o Grist drwy diriogaethau amddifaid Gogledd America, y swm o chwe' miliwn o ddoleri.

Yn ychwanegol at hyn dymunem grybwyll, er dangos bywyd a chynydd yr un a'r unrhyw ysbryd, fod genym yn 1870, yn y Talaethau Unedig, 12,859 o gapeli, gyda chyfleusderau i gynwys 3,997,116 o addolwyr, a chyfanswm gwerth yr holl dai ydoedd 39,229,221 o ddoleri.

Mae y swm hwn ar wahan i dai y gweinidogion, &c., y rhai ellid eu hystyried yn werth dwy filiwn o ddoleri yn ychwanegol.

Mae cyfraniadau ein henwad yn y ffordd hon wedi darparu cyfleusderau i un ran o ddeg o holl boblogaeth y wlad, neu i un ran o ddeg o holl boblogaeth y wlad, neu i un ran o wyth o rai dros bum' mlwydd oed, neu i un ran o saith o rai dros ddeng mlwydd oed. Os cymerwn i ystyriaeth rai ieuainc iawn, yr hen, y cleifion, y rhai fo yn gofalu am y dosbarthiadau hyn, mae y Bedyddwyr wedi darparu cyfleusderau i un ran o chwech o'r holl boblogaeth a ddichon fodd yn y byd fyned i le o addoliad.

Mae y ffeithiau hyn yn gyfryw ag sydd yn dweyd llawer, a phan y cofiwn gymaint oedd gan ein henwad i'w wneuthur er cyrhaedd y fath bethau gogoneddus, mae genym resymau teilwng i ryfeddu a llawenychu.

Gallem ystyried yn mhellach yr egni grymus a'r dealltwriaeth uchel a nodweddodd ein hymdrechiadau er hyrwyddo addysg dduwinyddol a chyffredinol. Yn 1776, Coleg Rhode Island oedd yr unig sefydliad addysg o dan reolaeth y Bedyddwyr yn y tair trefedigaeth ar ddeg, a ddaeth y pryd hwnw yn Dalaethau Unedig America. Heddyw mae holl werth sefydliadau addysg Bedyddiedig yn y wlad hon dros unmiliwn-ar-ddeg o ddoleri. Mae hyn yn llefaru yn uchel am gynydd yr enwad mewn ystyron pwysig.

Rhaid peidio meddwl fod hyn mewn un modd yn adroddiad cyflawn a dihysbyddol o'n gweithgarwch enwadol. Mae amrywiol ffyrdd drwy ba rai mae ein haelfrydedd a'n rhyddfrydigrwydd wedi gweithio allan na ddarfu i ni gymaint a'u crybwyll yn yr adolygiad anmherffaith a rhanol hwn. Mae symiau mawrion wedi eu cyfranu at Gymdeithasau Americanaidd a Thramor y Bedyddwyr, yr Undeb Beiblaidd, a moddion dyngarol a daionus eraill na allaf yn awr eu henwi.

Bydded iddo gael ei ddal yn y meddwl na ddarfu i ni gyfeirio at ein llenyddiaeth enwadol, yr hwn na fu mewn un wedd ar ol i hawlio y lle uchelaf mewn teilyngdod.

Ac yn awr, pan yr ydym yn dechreu canrif arall o weithgarwch o blaid ein hegwyddorion, o dan amgylchiadau mor ffafriol a chalonog, bydded i ni feddu penderfyniad diysgog i fod yn ymdrechol yn y dyfodol i arwain lluoedd Duw i diriogaethau mwy ardderchog, i feusydd eangach, i egnion mwy trylwyr ac ymosodol, i weithredoedd mwy tyner o ddyngarwch, i ffyddlondeb mwy di-ildio dros ein Meistr, i uwchafion o rinweddau mwy nefol, ac i ragoriaethau Cristionogol mwy addurnol, ac felly gyflawni gwaith yr hwn a'n galwodd i'w wasanaeth, ac a'n hanfonodd i'r holl fyd, i bregethu yr efengyl i bob creadur, gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glan—a'r hwn a roddodd i ni y sicrwydd holl-ddigonol hwn, y bydd iddo fod gyda ni bob amser hyd ddiwedd y byd.

---

## Y DIWEDDAR PHILIP L. DAVIES.

GAN J. EDRED JONES.

Yn fuan ar ol marwolaeth y brawd anwyl uchod, penderfynodd ei gyfeillion a'i edmygwyr i alw cyfarfod coffadwriaethol, hwyr Awst 12, 1875, yn addoldy y Trefnyddion Calfinaidd ar heol y 13eg, dinas Efrog Newydd; a phenodwyd y brawd J. Edred Jones, Utica, i roddi anerchiad ar yr achlysur, a'r canlynol ydyw sylwedd y cyfryw anerchiad:

Pan fu farw un o freninoedd enwog Ffrainc, flynyddoedd lawer yn ol, claddwyd ef gyda pharch a rhwysgfawredd

anghyffredin. Ar ddydd yr angladd, cludwyd y corph i'r Cathedral, lle yr oedd holl wychder a mawredd Ffrainc wedi ymgynull yn nghyd, a'r adeilad mawr wedi ei orchuddio gan arwyddnodau galar. I weinyddu yn y gwasanaeth crefyddol, yr oedd un o brif enwogion y deyrnas, enw yr hwn fel pregethwr oedd yn adnabyddus trwy yr holl fyd Cristionogol. Cododd yn araf ar ei draed, edrychodd am foment ar yr arch gostfawr, yna ar y gynulleidfa luosog yn ei gwisgoedd drudfawr wedi ei llwytho i lawr gan addurniadau o aur, perlau, a gemau gwerthfawr. Safai felly yn fud, yn synedig, fel pe wedi ei baraleisio am rai mynydau; yna, tra'r dagrau yn golchi ei ruddiau, cododd ei olygon i fyny, a dywedodd mewn llais isel, ond eglur, y geiriau cynwysfawr hyn: "Nid oes neb yn FAWR ond Duw; nid oes dim yn SICR ond angeu."

Amgylchiad sobr ydyw marw! A chyda phwyll, dwysder a difrifoldeb, y dylem sengi bob amser yn nghymydogaeth y bedd. Gobeithio mai yn y teimlad hwn yr ydym ni wedi ymgynull yma heno. Yr ydym wedi dyfod at ein gilydd i gyfnewid meddyliau, i ddatgan y golled a gawsom yn marwolaeth ein hanwyl frawd a chyfaill Philip L. Davies, ac i ddangos ein parch i'w enw a'i goffadwriaeth, yn gystal a'n cydymdeimlad dwfn â'i deulu amddifad, ïe, amddifad iawn heno, yn awr eu hadfyd a'u trallod.

Ar ymadawiad cydnabod a chyfeillion, y gofyniad cyntaf a wneir yn gyffredin yw, Pa fodd y bu farw? Ond yn fy marn i, nid yw o gymaint pwys i ni wybod pa fodd y me dyn yn *marw* a pha fodd y mae wedi *byw*. Y mae bywyd rhinweddol yn sicr o derfynu mewn angeu dedwydd. Felly yr *eulogy* goreu i ddyn yw ei fywyd personol, ac nid yw unrhyw ymdrech o eiddo eraill tu allan i hyny ond ymgais ofer i addurno yr aur, i baentio y lili. Yna y gofyniad naturiol yw, pa fath ddyn oedd ein brawd ymadawedig? Beth oeddynt nodweddion ei gymeriad? Mewn atebiad i hyn, ni a edrychwn arno heno mewn goleu triphlyg: y dyn, yr efengylydd, a'r Cristion.

Fel dyn, aelod o gymdeithas, rhaid i ni edrych arno mewn mewn amryw, a gwahanol gysylltiadau. Daw i mewn yma y *teuluaidd*. Man cysegredig iawn yw yr aelwyd, ac nid yw ond *impertinence* yn gyffredin i agor drws y neuadd, a thynu yn ol y llen er cael golwg ar ei dirgelion hi. Ond yn aml y mae digon o'r cyfrinion teuluaidd yn eglur i'r cyhoedd, nes gallant ffurfio barn lled gywir am amgylchiadau yr aelwyd. Yn y cysylltiad hwn gwyddom ddigon am ein brawd i allu dyweyd ei fod yn briod da, gofalus, caredig, a darbodus, ac yn dad llawn o gariad a thynerwch at ei anwyliaid. Cafodd yntau o'r ochr arall ei fendithio â chydmar hynod o bwyllog, synwyrol, a chymwys i drin ei amgylchiadau teuluaidd. Felly yr wyf yn credu fod eu bywyd wedi troi allan yn llwyddiant o ran heddwch a chydweithrediad.

Mewn ystyr *gymdeithasol*, yr oedd yn gyfaill didwyll a phur. Ni chefais erioed le i feddwl fod ynddo ddim rhagrith, twyll, dichell, malais a dauwynebogrwydd. Cariai ei galon yn ei law, a daliai y llaw hono yn agored i bob un teilwng o honi.

O ran ysbryd a theimlad, gogwyddai at y llawen a difyr yn aml, yn neillduol pan yn nghwmpeini ei gyfeillion mynwesol. Yr oedd ei lygad bywiog, ei chwerthiniad iachus, ei atebion ffraethbert, ond nid cellweirus, yn brawf digonol o hyn.

Yr oedd ganddo galon fawr ac haelionus, a gorchwyl anhawdd iawn fuasai iddo ef ddyfod byth yn gyfoethog, tra fyddai plant tlodi ac angen yn byw o'i amgylch. Cefais i y pleser o fwynhau llawer o'i gymdeithas am rai blynyddau, yn neillduol y pedair blynedd diweddaf, a chefais fod ganddo bob amser ei olygiadau pendant ar bob pwnc a ddygid ger bron, pan yn nghymdeithas ei frodyr, ac amddiffynai y cyfryw syniadau mewn ysbryd teg a boneddigaidd, ac nid yn ymhongar, trahaus, a gormesol. Y tro diweddaf y cefais y pleser o'i gyfeillach oedd y Sabboth cyntaf yn Mehefin diweddaf (1875). Yr oedd yn yr areithfa y boreu hwnw, ond arall oedd yn pregethu. Yn y

prydnawn, swm a sylwedd ein hymddyddan oedd am bregethu yr iachawdwriaeth fawr, a phethau pwysig yr oes dragywyddol—oriau rhy anhawdd i mi eu hanghofio tra cof yn cadw ei sedd.

Fel *efengylwr* y mae amryw o'i nodweddion neillduol yn ymgynyg i'n sylw, megys,

*Gwreiddiolrwydd ei ddrychfeddyliau.*—Bu yn fyfyriwr diwyd a chaled o'r dydd yr ymgysegrodd i waith y weinidogaeth hyd yr awr yr analluogwyd ef gan afiechyd a phoenau. Fel y sylwyd ddydd ei angladd yn Camden, os mwnwr oedd galwedigaeth boreu ei oes, yr hyn nid yw yn un dianrhydedd, ni thaflodd y gwaith o ran ei *enw* heibio mewn oedran addfetach, canys treuliodd weddill ei oes yn fwnwr ysbrydol. Ei hoff, ei bleserus waith oedd

**"Treiddio i mewn i holl ddirgelion cyngor Duw."**

Nid oedd dim yn ei waith yn dangos arwynebolrwydd, ond yr oedd pob peth yn dwyn profion o lafur mawr, manwl a difrifol. Nis gallai ef fyned yn anmharod i'r areithfa. Elai i fewn i fwngloddiau y drefn fawr, a dygai allan o'i thrysorau bethau newydd a hen, er maeth ac adeiladaeth ei wrandawyr. Y mae yn ofynol llafurio, cloddio am drysorau gwerthfawr. Gallwn gasglu faint a fynom o geryg ar yr heolydd, y caeau a'r bryniau. Pethau hawdd eu cael ydynt, felly maent yn gydmarol ddiwerth; ond os mynwn yr aur, yr arian, y perlau, gyda thrysorau gwerthfawr eraill, hwy a gostiant bryder a llafur mawr i ni. Nid pethau arwynebol, hawdd eu cael, ydyw "dyfnion bethau Duw." Mae yn ofynol "chwilio am dânynt fel am drysorau cuddiedig." Ac yn hyn o waith, cloddiai ein brawd yn ddyfnach, a chwiliai yn fanylach na llawer o'i gyfoedion, enwau y rhai sydd wedi eu cofrestru yn uchel ar lechresau enwogion y dydd.

Yr oedd *tlysni ei gyfansoddiadau* yn dwyn ein sylw. Mae argraff llaw celfyddydwr ar ei holl weithiau—maent yn llawn taclusrwydd, ac nid aflerwch. Dichon nad oedd y cyffredin yn iawnbrisio hyn; ond nis gallai y craffus, y darllengar, a'r myfyriwr, lai na gweled a gwerthfawrogi y nodwedd yna. Un peth yw gweithio, ïe, gweithio yn *galed* hefyd; ond peth arall yw troi allan waith fydd yn hawlio sylw ac edmygedd y dosbarth goreu o gymdeithas. Yr wyf yn cofio yn dda glywed hen weinidog yn Nghymru yn dywedyd flynyddau yn ol, ei fod ef yn pregethu pob pregeth o Genesis i Datguddiad. Y mae llawer yn gallu dyweyd pob peth, ond heb ddyweyd nemawr, os dim, i bwrpas yn y diwedd. Ond pwnc mawr yw gallu dwyn *coflaid* i ddymuniadau, a *baich* i gof a chalon o drysorau y nefoedd, a hyny mewn ychydig o frawddegau tlysion. Mae darllen cyfansoddiadau argraffedig ein brawd, yn Gymraeg a Saesoneg, yn profi y gallai ef wneyd hyn.

Y mae *ysgrythyroldeb ei bynciau* yn swyno meddwl pob Cristion. Dyna ei hoff feusydd, meusydd llawnion a thoreithiog yr Ysgrythyrau. Ni welais erioed ddim yn tueddu ynddo at y *sensational*, dim amcan at *witticism* yn ei bregethau, nac un ymgais at *glaptraps* er ceisio goglais clustiau merwinllyd yr oes. Gallai ef yn fwy na llawer o bregethwyr Seisonig y dydd ddyweyd gyda Paul, "Ni fernais i mi wybod dim yn eich plith ond IESU GRIST, a hwnw wedi ei groeshoelio." Nid wyf yn cofio i mi glywed pregeth o'i enau erioed heb fod yn llawn o Grist croeshoeliedig. Cof genyf pan oeddwn yn fachgen ieuanc yn Athrofa Pontypool, i hen ddiacon penwyn yn eglwys Penygarn ddywedyd wrthyf ar ol pregethu yno ar foreu Sabboth, "Fy mrawd ieuanc, gofala er dy fywyd i gadw'r defaid o gwmpas y groes—mae porfa yno." Yr oedd y bugail da a gofalus, Philip, wedi deall y dirgelwch yna yn drwyadl er's blynyddau—cadwai ei braidd o hyd o gylch y groes!

Yr oedd *gwresogrwydd ei deimladau*, wrth bregethu, yn tanio eraill. Nid yn aml, os erioed, y gwelwyd ein brawd yn oer a dideimlad yn yr areithfa. Y mae yn wir mai nid bob amser y cafodd ef y ffordd yn glir, ffurfafen ei deimlad yn ddigymylau, a'i fynwes yn berwi gan gariad a sel; ond yn y cyffredin yr oedd gwresogrwydd ysbryd

yn ei nodweddu fel gweinidog da i Iesu Grist. Credai, *teimlai*, am hyny llefarai.

Hyn yw dirgelwch mawr llwyddiant y weinidogaeth erioed, a diffyg o hyn a sicrha aflwyddiant. Mae hanes Cristionogaeth yn profi nad yw ei phregethiad llwyddianus yn ymddibynu cymaint ar ddysgeidiaeth mewn gwahanol ieithoedd, a doethineb mewn celf a gwybodaethau gwyddonol, ag ydyw ar galon Cristion yn berwi gan gariad at Dduw ac eneidiau dynion. Os trwythir y bregeth mewn gweddi a dagrau, nis gall fod yn ddiddylanwad nac yn aflwyddianus. Yr hwn a fyno ddeffro eraill, rhaid ei fod yn effro ei hunan, a'r hwn a fyno daflu gwreichion y cariad dwyfol i fynwesau ei wrandawwyr, rhaid fod y cariad hwnw yn llosgi yn ei fynwes ei hun, am nas gall neb roi ond sydd ganddo, na chyffroi neb ond i'r graddau y byddo yn teimlo ei hun.

Pan ydoedd pregethu teithiol yn boblogaidd yn Nghymru, daeth gweinidog enwog o'r Gogledd ar ei daith i'r Deheudir. Anfonodd ei gyhoeddiad i ffermdy cyfrifol yn Llanwenarth, Mynwy, gan nad oedd gan yr eglwys yno le i addoli ar y pryd. Daeth y bobl yn nghyd yn lluoedd o bob cyfeiriad, ac amser dechreu yr oedfa hwyrol oedd yn agoshau. Yr oedd y pregethwr yn y parlwr wrtho ei hun, fel y meddylid. Anfonodd meistr y ty y forwyn i alw y gwr dyeithr at ei waith. Pan yn sefyll wrth ddrws yr ystafell, clywodd yr eneth siarad uchel a difrifol oddi fewn, a dychwelodd at ei meistr i adrodd y ffaith. "A ddeallest ti beth oedd yr ymddyddan?" ebe gwr y ty. "Mi glywais y pregethwr yn dweyd fwy nag unwaith," ebe hithau, "nad elai efe allan at y bobl heno oddieithr i'r llall ddod gydag ef," &c. "O, ai ïe," ebai'r meistr, "os oedd hi wedi myned i'r *pitch* yna, fe ddaw y ddau yma toc, a chawn deimlo eu presenoldeb." Fe ddaeth y ddau, a mawr fu y llwyddiant. Cafodd mwy na chant o eneidiau droedigaeth fel ffrwyth yr oedfa hono.

I'r graddau y coronwyd llafur ein hanwyl frawd Davies â llwyddiant, yr wyf yn hollol gredu mai hyn oedd ei ddirgelwch, ac nid oes un amheuaeth ynof nad oedd ef, ar y cyfan, yn sefyll fel un o bregethwyr goreu yr enwad yn y wlad hen; fel pregethwr *Beiblaidd*, y mae yn ddiddadl ei fod. Fel y cyfryw yr oeddym yn falch o hono yn ei ddydd; ac er iddo huno, bydd ei enw da a'i goffadwriaeth yn adlewyrchu anrhydedd arnom fel cenedl am amser maith i ddyfod. Dywed yr *Examiner and Chronicle*, yr wythnos hon, pan yn cofnodi ei farwolaeth: "The death of the Rev. P. L. Davies is a serious loss to the denomination, which he served with no ordinary measure of fidelity and ability. His ministry was a blessing to the church he served, and justified very high hopes of his future success." Yr oedd ein brawd yn ddyn llawn o rinweddau da, yn ysgolhaig gwych, yn bregethwr galluog, medrus, talentog a dylanwadol, ond uwchlaw, i goroni y cwbl, yr oedd yn *Gristion*, yn ystyr helaethaf y gair. Bu fyw oes hir o ddefnyddioldeb mewn ychydig o flynyddau. Y mae llawer yn marw yn blant, er mewn henaint teg, tra mae eraill wedi treulio oes faith o ddefnyddioldeb pan nad yw blynyddau eu hoes ond yn ychydig mewn rhifedi. Felly ein brawd.

Wrth ddweyd hyn oll am dano, nid ydwyf, ar un cyfrif, am ei osod allan fel un perffaith. Yr oedd iddo ef, fel eraill, ei wendidau, ei ffaeleddau, a'i gamsyniadau; ond pan mae'r Tad nefol yn maddeu ac yn anghofio, mae yn anweddus iawn i ni i edliw, danod, ac adgoffa. "Dim am y marw ond sydd dda." Y mae dyn i'w fesur wrth ei ragoriaethau, ac nid wrth ei ffaeleddau. Y mae'n wir fod yr *engineer* yn mesur y *beam* wrth ei fan gwanaf, ond rhaid mesur cymeriadau dynol wrth eu pwyntiau cryfaf.

Cafodd ein brawd gystudd mawr; bu mewn adfyd a phoenau blinion am amser hir; ond dyoddefodd yn amyneddgar fel Cristion. Y mae'n dygwydd yn aml fod yr eneidiau puraf yn dyfod allan o'r cystuddiau chwerwaf, fod creithiau yr ystorm i'w gweled ar y cy-

meriadau mwyaf mawreddog, fod y merthyron yn fynych wedi gwisgo mentyll eu coroniad pan yn dysgleirio gan dân, a bod y trallodus a'r dyoddefgar yn cael yr olwg flaenaf ar byrth y Gaersalem newydd trwy eu dagrau. Mae'r ".blin gystuddiau," a'r "tragywyddol bwys gogoniant," yn lled agos i'w gilydd. Diangodd Philip o afael poen a chystudd trwy borth marwolaeth! O'r braidd y gallaf gredu iddo ein gadael am byth, eto y mae'r ffaith yn aros, y mae wedi marw!—marw yn nghanol ei waith, a chyn cyrhaedd uchder ei enwogrwydd. Marw ar haner dydd bywyd! Marw pan oedd ei fawr angen ar ei weddw alarus a'i amddifaïd bychain. Iĕ, marw pan nas gallai'r eglwys na'r byd hebgor un mor gymwys i'w swydd. Ond yr oedd yn *addfed*, a chymerwyd ef i le mwy cydnaws â'i gymeriad. Aeth yn ogoneddus i ogoniant, ac y mae heno lawer calon yn barod i lefain allan:

O, Grist, na fyddai'n bosibl
  I ni y fynyd hon
Gael trem ar ein hanwyliaid
  Sydd yna ger dy fron,
I wel'd pa wedd sydd arnynt,
  A gwrando ar eu cân
Am faddeu, ac am olchi
  Yn rhiniau'r afon lân.

Ond er fod gan lawer o honom fwy o gyfeillion yn y nef nag ar y ddaear erbyn hyn, mae'n dda fod llen rhyngom a hwy. Buasai cael un olwg arnynt yn ein hanaddasu i'r bywyd hwn. Fy mrawd, rhedaist yr yrfa, cedwaist y ffydd, a gorphenaist dy waith. Ffarwel bellach am enyd fechan.

---

# Amrywiaethau.

---

## Diarebion gan Dafydd Phillips,

COALBURGH, OHIO.

---

Y tebygrwydd sydd rhwng bywyd dyn iachus a'r bywyd crefyddol yw, anadla y cyntaf heb yn wybod iddo, a gweddia y llall yn yr un fath.

Tebyg yw gwr talentog i berllan heb gau o'i hamgylch, os bydd heb wyliadwriaeth briodol.

Tebyg yw pregeth dda i bren afalau yn plygu o dan ei ffrwyth, bwyd i enaid; a phregeth wael i bren a dim arno ond dail, yn cadw y tir yn segur.

Tebyg yw gwr gwybodus heb ras, i flodau ar feddau—marwoldeb oddimewn.

Y tebygrwydd sydd rhwng y rhagrithiwr a'r aderyn caethiwus—chwenycha yr hyn sydd oddi allan yn hytrach na'r hyn sydd oddi fewn. Yr annhebygrwydd sydd rhyngddynt—mae yr aderyn wedi ei gaethiwo gan arall, a'r rhagrithiwr ganddo ei hunan, drwy ffoledd ei feddwl. Y galon sydd fwy ei thwyll na dim.

Y mae y rhagrithiwr yn debyg i'r pren ci (*dog-wood*), yn flodeuog, yn galed i'w dori, yn wenwynig i'r dwylaw i'w drafod pan yn tyfu. Priodol y dywed yr apostol, Gochelwch y rhagrithwyr.

Y cychwyniad cyntaf i ddyn gyrhaedd gwybodaeth, yw cydnabod ei anwybodaeth — credu y gall ddysgu drwy roddi ei alluoedd ar waith parhaus a phriodol.

Cofiant y cyfiawn sydd fendigedig; pan ddywedir fod coffadwriaeth y cyfiawn yn fendigedig, meddylir fod y ffeithiau oedd gysylltiedig a'i fywyd yn llesol ac anrhydeddus yn nghyfrif y rhai a'i cofiant.

Y mae llawer o bethau y mae yn ddyledswydd arnom eu hanghofio; ac wrth wneuthur felly, ymdebygwn i'r hwn sydd yn cuddio beiau fel na wel neb hwynt byth. Ac, o'r tu arall, y mae pethau y byddai yn bechadurus ynom eu hanghofio. Enw da sydd fendigedig, ond enw yr annuwiol a bydra. Dylem gofio y naill am ei fod yn dda, ac anghofio y llall am ei fod yn ddrygionus. Uniondeb egwyddor bywyd sydd yn rhoddi hawl i goffadwriaeth gysegredig—wedi marw yn llefaru eto. Felly os ydym am anfarwoli ein hunain ar dudalenau llyfr rhinwedd, ymdrechwn am gymeriad da.

## Hanesion Byrion

AM Y DIWEDDAR BARCH. WM. OWEN, PITTSBURGH.

Ryw dro pan oedd y Parch. William Owen yn pregethu yn Pittsburgh, daeth dwy ferch ieuainc i'r capel mewn brys mawr, nes tynu sylw y gynulleidfa yn gyffredinol, ac efe a ataliodd bregethu. Ar ol ychydig ddystawrwydd dywedai, "Yr ydwyf yn rhyfeddu paham yr ydych chwi oll fel cynulleidfa yn sylwi ar y ddwy ferch ieuanc ddaeth i fewn yn ddiweddar; yr ydych yn edrych arnynt fel pe byddai cyrn ar eu penau; nid wyf fi yn gweled dim arnynt yn wahanol i ferched eraill." Fe gymerodd y cyfryw ofal pa fodd i ddyfod i'r addoliad rhagllaw.

CYFARWYDDIADAU I BREGETHWYR.

Adroddwyd wrthyf gan aelod o'r eglwys oedd dan ofal y brawd Owen, eu bod yn y gynadledd yn Ohio, am i Owen i roddi cyfarwyddiadau i'r gweinidogion mewn perthynas i bregethu. Yr oedd ef yn anewyllysgar i wneyd; ond dywedai y Llywydd y dylasai ufuddhau i'r penderfyniad oedd wedi cael ei basio am iddo wneyd. Codai Owen ar ei draed, a dywedai, "Mi ddywedaf ychydig wrthot ti, Rees. Yr wyt ti yn meddu llais peraidd rhagorol, ac yr ydwyt yn canu yn dda wrth bregethu; ond yr ydwyt yn canu pan na ddylit. Ni ddylid canu pan yn son am fod rhai yn myned i golledigaeth, a phan yn cyhoeddi bygythiadau Duw yn erbyn pechaduriaid; ond mae canu yn briodol pan yn cyhoeddi yr addewidion, ac am iawn y groes.

Yr wyt ti, Daniel, yn cyfansoddi yn dda, ac mae genyt ti iaith dda; ond yr ydwyt yn gwaeddi gormod yn nechreu dy bregeth, nes ydwyt yn lladd dy hun; ac erbyn y rhan olaf o dy bregeth yr ydwyt yn methu gwneyd ond ychydig. Cymer bwyll yn y dechreu, fel y gelli fod yn nerthol tua'r diwedd.

Am danat ti, Shadrach, mi dy glywais di yn pregethu y bregeth flaenaf a bregethaist, a hono oedd yr oreu a glywais i genyt ti erioed. Yr wyt ti, pan yn pregethu, yn edrych ar dalcen y ty cwrdd, ac yr ydwyt yn pregethu fel pe byddit yn siarad â thalcen y ty cwrdd; cymer bwyll, a gwna bregethu i'r bobl." Erbyn hyn yr oedd Shadrach wedi cynhyrfu, a gofynai, "Beth oedd yn y bregeth ddarfu i mi bregethu yma allan o le?" Eisteddodd Owen i lawr. Codai brawd arall ar ei draed a dywedai, "'Doedd dim neillduol yn y bregeth y cyfeiriwyd ati allan o le, ond dylasid ei gosod hi ar y blocyn, a'i thori yn y canol â'r fwyell, buasai felly yn ddigon hir i wneyd dwy yn lle un." Dichon y gall rhywun gael cyfarwyddyd yn yr hyn a ddywedwyd.

METHU TARO'R CEILIOG.

Pan oedd yr ysgrifenydd a'r brawd Owen wedi myned i Palmyra i bregethu, yr oeddem yn aros y nos, ac yn y dydd yn fwyaf neillduol, yn nhy Mr. William Davies, yr hwn oedd yn briod â Mary, chwaer y Parch. Wm. Owen. Galwodd Mary ar ei brawd, a gorchymynodd iddo i ddala un o'r ieir erbyn ciniaw. "Rhaid i mi gael *corn*," meddai Owen, "i roi i'r ieir cyn y galla' i ei dala nhw." Ar ol cael *corn* galwai hwy at ei gilydd, ac yr oedd yno lawer o rifedi. "Wel," meddai Owen, "pa un wna i daro a'r pren yma?" Dywedai'r ysgrifenydd, "Taraw yr un mwyaf." "Iẽ, mi darawaf y ceiliog mawr yna." Yn mhen ychydig dyma y pren yn cael ei daflu at y ceiliog gyda nerth; ond yr oedd ef yn iach a diangol. Ffwrdd yr aeth yr haid bluog, gan wneyd eu goreu o'u hadenydd, gan glochdran mor uchel nes oedd y lle yn swnio. Gorfu i ni fod heb y ceiliog y diwrnod hwnw; yr oedd Owen wedi tarfu yr ieir fel nad oedd modd myned yn agos atynt. Dywedai Owen nad oedd modd i neb allu taro y ceiliog hwnw. Gallai ef bregethu yn well nag y gallai daro ceiliog erbyn ciniaw.

Y SAESONAEG.

Dywedai y brawd Owen ryw dro fod y Saesonaeg fel pechod, yr âi ef dros yr holl ddaear.

*Birmingham.* T. EDWARDS.

# Barddoniaeth.

## TYMESTL MOR GALILEA.

Palestin deg, bu'th fryniau heirdd
Yn cymell cân y sanctaidd feirdd,
A dawn eu hysbrydoliaeth wir
Fu fel yn nefoleiddio 'th dir;
Bu'th lawr yn droedfainc engyl gwawl
A'r Iesu cu, hyn sy'n rhoi hawl,
It' wisgo cain lawryfau clyd,
Gogoniant mawredd gwledydd byd.

Gogwydda'r haul i'r 'llewin aur,
Mewn gosgordd o gymylau claer;
A'r lloer ymddringai gwrlid têr,
Yr wybren, tlos chwareufa 'r sêr;
Dych'mygaf wel'd draw, draw bryd hyn,
Long fach ar fôr Tiberias lyn;
A'i dwylaw dewr berorai gân,
Neu hwyrol salm " merch Seion lân."

Y gwynt a gysgai 'n nghol y graig,
A llyfnion oedd glas donau 'r aig,
A'r chwâon fel mewn llesmair hedd,
Yn gorwedd ar ei wydrawg wedd;
A'r gloywon sêr a'r lleuad lon
Yn falch o'u llun yn nrych ei don;
Gwan ddarlun oedd o fynwes un
Oedd yn y llong mewn esmwyth hûn.

Y llong ymlithrai 'n dawel 'mlaen,
A throsti lleni 'r nos ymdaen;
Ust! clywch, cyfodi mae y gwynt,
Ac â dan chwiban idd ei hynt;
Pa beth! oes mwy na th'w'llwch nos
Yn duo yr wybreni tlos?
Oes, oes, edrychwch, wele mae
Y nef yn feichiog gan ddu wae!

A'r cadben waeddai, " Oll i'r bwrdd,
Ffyrnigo mae'r ystorom wrdd;
I lawr a'r hwyliau, brysiwch, dewch,
Galonog wyr, na lwfrhewch;"
Ust! clywch ruadau 'r corwynt cref,
Mae'n siglo daear faith a nef,
Mae fel mewn cyngrair â holl nerth
Elfenau gwae a dinystr certh.

Y berwawg fôr a'i donau ban
Ysgydwa'r llong fel deilen wan;
Ac yn ei lid ewynawg gwrdd,
Ymrolia dros ei gwall drefn fwrdd;
Drwy'r bygddu yr ymwibiai'r mellt,
A'r praff hwylbreni gracia'n ddellt;
O, adeg brudd! pwy draetha ofn
Y gwyr oedd ar y waneg ddofn?

Ymrithia angau ar ei frig,
A bedd agored oedd ei ddig;
Magnela'r daran, rhua'r aig,
A'i ffrom gynddeiriog fala'r graig;
Tân egni calon ddewr pob gwr
Yn awr a droai fel llyn dw'r;
Uwch, uwch ai'r storm, tarana fyd!
Ond Iesu gysga 'n drwm o hyd.

Mewn braw un o'r dysgyblion cun
A redai i ddeffro y Duw ddyn,
A llefai, " Cadw, cadw ni,
Neu'n beddau fydd gwaelodion lli'."
Ar hyn fe godai'r Iesu mawr,
O'i ael pelydrai dwyfol wawr,
Gan ddweyd, " O, chwi, o 'chydig ffydd,
Gall Duw droi'r nos dywylla 'n ddydd.

Mae'r storm a'r holl elfenau certh
Yn llaw yr hwn fu'n rhoi eu nerth;"
A d'wedodd wrth y mor a'i ru,
" Bydd dawel aig," ac felly bu;
A thybiwyf i'r hen gorwynt cref
Gael teimlo nerth ei eiriau ef;
Y mellt a'r daran oedd uwch ben
Roi'r maes i'r sêr a'r lleuad wen.

Ymdoddai'r gwynt yn esmwyth chwa,
A'r llong i'w hynt fendigaid â;
Cenadon oeddynt ar eu taith,
A theimlent 'nawr fwy sêl i'r gwaith,
Sef lledu yr efengyl glyd,
O fôr i fôr hyd eithaf byd,
Ac enw'r gwr dawela'r fron,
Fel nerth y gerth ystorom hon.

TANGNEFEDDWR.

## Y NOS.

Fendigaid nos, mae gorsedd dy deyrnasiad
Fel pe'n dwysâu gwynebpryd ang y cread;
O! ddwysder prudd sy'n llawn o'r pur a'r dwyfol,
Y dwysder sy'n rhoi tafod i'r arddunol,
A gallu i hyawdledd mud i ddatgan
Gogoniant Duw, yr hwn lywydda'r cyfan.
Y nos mae natur mwyaf cysegredig,
A huthredd bythol mwyaf dyrchafedig;
Mae trem pob bryn a mynydd ban henafol,
Y nos yn ymagweddu 'n addoliadol;
A rhaiadr crychwyn fel pe'n canu cynghan,
Gysegrol anthem gynghaneddol anian;
A'r ffynon fach o fron y goedwig unig,
A lawenha fod iddi hithau odlig,
Ac sydd yn hyglyw yn anthem beroriaethol,
Y mân ffrydlifoedd darddant o'r Anfeidrol.
Hoff natur bur mor hawdd yr adeg yma,
Gael syniad pur, mawreddog, am Jehofa
Anffyddwyr gyda threm yr huan godant,
Ac am y byd, y byd yr ymddyddanant.
O! henffych nos sy'n tewi pob daearol lafar,
Ag aur y nefoedd i eneinio'r ddaear,
A dagrau gwlith i olchi ymaith olion,
Diystyr draed fu'r dydd yn mathru 'i cheinion.
Mae rhywbeth cydnaws yn awelon lleddfol,
Y nos a bardd, ac â barddoniaeth nefol;
A rhywbeth sy'n eangu ein syniadau,
A'n coda 'n uwch, yn uwch, i burach nenau,
I olwg haul nad oes machludiad iddo,
Ac nad yw'r bedd yn tynu 'i gwmwl drosto,
A phwy a wyr nad llygaid dysglaer engyl,

Yw'r ser yn edrych arnom drwy y cymyl.
Dydd yw y nos sy'n rhoi i WYDDOR gynydd,
A nos yw dydd athrofa yr athronydd.
O, ddaear, saf, saf ar olwyn fawr dy echel,
Neu daw y wawr i dori 'th heddwch tawel;
Am ti sy'n agor breinlen hardd y nefoedd,
A seliwyd gan ddeddf-roddwr mawr y bydoedd.
A beth yw'r bodau sy'n sirioli 'th nenau,
Ond tlysau gemog i oreuro 'th fronau;
A d'weyd am Ior a'i berffaith ogoniantau,
Canolbwynt ter y dirif gyfundrefnau,
Droellant drwy y gwagle 'n gylchoedd lleufer,
O gylch ei orsedd Ef pawl eu hysplander.
O! hynaws nos, y mae dy ardderchawgrwydd
Yn presenoli delwedd o sancteiddrwydd
Y Bod mae'r nen yn ysgrifenu 'i enw
A phin o dân ar dy wybreni gloyw.

PHILANDER.

---

## PENILLION

*A gyfansoddwyd wedi clywed am farwolaeth* MRS. SARAH DAVIES, *anwyl briod* DANIEL DAVIES, *diacon parchus yn eglwys y Bedyddwyr, Carbondale, Pa.*

Llawer dd'wedwyd am yr angau
Gan athrylith fawr pob oes,
Llawer ymdrech ymgymerwyd
I ddarlunio 'i farwol loes;
Er yr oll am dano dd'wedwyd,
Bro tywyllwch yw yn llwyr;
'R hwn aeth dan ei ddyrnod farwol
Yw y goreu 'm dano wyr.

Dyhysbyddwyd geiriau cryfaf
Er cael enw iddo llawn;
Hefyd golygfeydd dychrynllyd
Anian, er ei wel'd yn iawn;
Ond tu faes i ysbrydoliaeth,
Goror dywell yw y bedd;
Carchar angau, pwy ddarlunia?
Lle di-boen a lle di-hedd.

Wedi plygu pen i angau,
Myrdd sy'n gorwedd dan ei law,
Fuont gynt yn addurn bywyd,
Rhodient, rhedent yma a thraw;
Llai na'r gallu mawr anadlodd
'Fewn i ddyn ei einioes wiw,
Ni allasai wedi 'r ergyd
Gadw 'n hwy ar dir y byw.

Cysur mawr yn ngwyneb angau
A'i ergydion trwm difeth,
Ydyw'r meddwl ei fod yntau
Idd ein Harglwydd o dan dreth;
A cha'i thalu 'n drwm ei hunan,
Pan yr udgorn rydd ei lef,
A'r arch Iesu pan farchoga
Yn ei rwysg ar gant y nef.

Sarah Davies er ei chladdu,
Yn y byw gyffroad mawr,
Glyw y rhwygiad yn y ddaear,
Mwy ni erys yn y llawr;
Yn y llais oddiar y cwmwl
'Nebydd lais ei Phrynwr mad,
'R hwn a'i dygodd i'r cyfamod,
Ac a'i golchodd yn ei waed.

Daniel Davies, ymgysurwch,
Achos mawr i hyny sydd,
Gwir i'ch golli priod yma,
Engyl ca'dd yn ngwlad y dydd;
Nid am byth mae'r ymwahaniad,
Cewch gyfarfod eto 'ch dau
Yn mhlith tyfra o rai tebyg,
Oll yn lân oddiwrth eu bai.

Yn eich meddwl, frawd, ymgodwch,
Nesu mae eich noswyl chwi,
Diwyd gweithiwch enyd fechan,
Gallu 'r nef fydd eto o'ch tu;
Chwithau blant, na wnewch anghofio
Ddilyn Iesu Grist bob cam,
Dyna'r modd cewch gyd gartrefu
Yn y diwedd gyda'ch mam.

LL. REES.

---

## I'R "WAWR."

Fe dorodd gwawr oleu wawr,
'Nawr gwelwn bethau cudd,
Cynyddu wnelo 'i goleu,
Nes dod fel canol dydd;
Rhown chwareu teg i'r goleu—
I'r mwyn belydrau mad,
I fod o fendith fythol
I Gymry trwy y wlad.

Mae'r WAWR yn haeddu 'i chynal,
Mae talent wrth y llyw,
Gohebwyr sydd yn barod
I'w chadw 'n nhir y byw;
Os marw ga o eisiau
Cael modd i ddwyn y draul,
Adnebir y Bedyddwyr
Yn hynod enwad gwael.

*Uniondale, Pa.* LL. REES.

---

## YR ENETH AMDDIFAD.

Draw, draw, ar ddydd ystormus, oer,
Ar noethlwm draeth yr aig
Lle taflai'r tonau gwyllt eu poer,
Ar ddanedd certh y graig,
Eisteddai carpiog eneth dlawd,
Heb nawdd rhag rhewllyd hin,
A thra yn ymson ei blin ffawd,
Hyn ydoedd geiriau 'i min,
"Paham y chwythai'r corwynt cryf mor erch
Ar babell ddinawdd, lom, amddifad ferch?"

Yr haul a dafla'i nawnol fri
Ar leni cudd yr hwyr,
A'r dydd oedd yn ymdoddi i'r
Ddu bruddaidd nos yn llwyr,
Pryd gwelai'r unig eneth dlos
Mai marw oedd ei rhan;

Er hyn ail dd'wedai 'n nghlust y nos
  Y geiriau hyn yn wan.

Ond uwch taranai 'r corwynt bar,
  Ac uwch ymchwyddai'r lli',
A dwys edrycha'r brudd-loer ar
  Ei hoer weddillion hi,
Lleurae'n gerfiedig ôl ei llaw
  Yn mhang ei holaf awr,
Yn aros fel i'r oesau ddaw,
  A'r geiriau hyn ar lawr.

*Coalburgh, O* MORGAN P. REES.

---

## HANESION CARTREFOL.

### CYMANFA DWYREINBARTH PENNSYLVANIA

*A gynaliwyd yn Wilkesbarre, Luzerne Co., Awst 26—28, 1876.*

Y GYNADLEDD.

Am 10 o'r gloch, boreu dydd Sadwrn, agorwyd y gynadledd trwy ddarllen rhan o'r Ysgrythyr a gweddi gan y brawd A. J. Morton. Wedi darllen y llythyrau oddiwrth yr eglwysi, ac ysgrifenu enwau y cenadon apwyntiedig i ffurfio corph y gynadledd, ail-etholwyd D. Rhoslyn Davies, Taylorville, yn Gymedrolwr, a J. P. Harris, Nanticoke, yn Ysgrifenydd.

*Penderfynwyd*, 1. Ein bod yn derbyn eglwys Johnstown i'r Gymanfa, drwy lythyr oddiwrth Gymanfa Ohio. Hefyd yn derbyn y brawd David J. Evans, gweinidog yr eglwys, yn aelod o'r Gymanfa, drwy yr unrhyw awdurdod.

2. Ein bod yn derbyn y brawd B. James, Summit Hill, yn aelod o'r Gymanfa, drwy lythyr gollyngdod o Gymanfa Wisconsin.

3. Ein bod yn derbyn y brawd John R. Jones, Minersville, (diweddar o Pomeroy,) yn aelod o'r Gymanfa, drwy lythyr o Gymanfa Ohio.

4. Ein bod yn estyn gwahoddiad i'r brodyr ymweliadol i gyd-eistedd a chyd-ymgyngori gyda ni. Y brodyr canlynol yn wyddfodol: O. Grifflths, Utica; Ebenezer Edwards, Efrog Newydd.

Am 2 o'r gloch, agorwyd y gynadledd drwy weddi gan y brawd B. James, Summit Hill. Gwrandawyd ar fynegiad y brawd D. S. Roberts, Hyde Park, Ysgrifenydd *fund* gweddw, ac amddifaid ein diweddar frawd P. L. Davies. Mae ffugyrau y brawd B. Hughes, y Trysorydd, fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| Hyde Park . . . . . . . . | $12 53 |
| Mahanoy . . . . . . . . . | 2 00 |
| Ashland . . . . . . . . . | 5 00 |
| Wiconisco . . . . . . . . | 3 19 |
| Wanamie . . . . . . . . . | 1 25 |
| Taylorville . . . . . . . . | 4 75 |
| Audenried . . . . . . . . | 2 85 |
| Parsons . . . . . . . . . | 2 50 |
| | $34 07 |

Ceir cyfrifon gwerthiad arluniau ein hanwyl frawd eto, gan y Trysorydd, yn nghyda'r elw oddiwrth hyny.

6. Fod pwyllgor y *Centennial Endowment Fund* i aros yn eu swydd—D. Rhoslyn Davies yn Drysorydd, a J. P. Harris yn Ysgrifenydd.

Y LLYTHYR YSGAR.—PEN. 11*eg*.

Adroddwyd mynegiad y pwyllgor drwy H. C. Parry, y Cadeirydd, a chafodd y pwyllgor ei ryddhau.

7. Cynygiwyd gan y brawd Morton, "Ein bod fel Cymanfa yn datgan ein barn, yn ol ein deall o Air Duw, a lles yr eglwysi, fod amlwreicaeth dan unrhyw amgylchiad, yn groes i grefydd bur a heddwch canlynwyr Crist." Mabwysiadwyd y penderfyniad.

8. Ein bod yn cymell yr eglwysi i gario allan y penderfyniad uchod.

9. Fod B. Hughes, Hyde Park, i barhau yn Drysorydd y Genadaeth Artrefol Gymreig.

10. Ein bod yn ail ethol y brodyr canlynol yn bwyllgor ar y Genadaeth Gartrefol Gymreig, sef y brodyr Morton, Jenkins, Plymouth; a B. Hughes.

11. Ein bod yn neillduo yr wythnos gyntaf yn mis Tachwedd, i weddio am dywalltiad helaethach o'r Ysbryd Glan ar ein heglwysi, gan ddechreu y Sabboth cyntaf yn y mis.

*Pwyllgor ar Urddo i waith y Weinidogaeth.*

12. Fod y pwyllgor fu yn gwasanaethu y flwyddyn ddiweddaf i barhau yn y swydd, sef y brodyr J. P. Harris,

Nanticoke; Thos. Jones, Wilkesbarre; A. J. Morton, Upper Lehigh; Thos. Watkins, Pittston; T. B. Lewis, St. Clair; Wm. Evans, Taylorville.

Boreu Llun, am 8 o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddi gan y brawd Theophilus Jones, Wilkesbarre.

13. Ein bod yn gwrthod cais Maurice Evans, Plymouth.

MARWOLAETH W. MORGANS, POTTSVILLE.

14. Ein bod fel Cymanfa yn teimlo galar a cholled ar ymadawiad y brawd anwyl, Wm. Morgans, Pottsville, oddiwrth ei waith at ei wobr, yr hyn sydd elw iddo ef; ac yn diolch i Ben mawr yr Eglwys am lafur maith a llwyddianus ein brawd i ni fel Cymanfa. Hefyd yn penderfynu fod y brawd A. J. Morton i ysgrifenu y cofiant, yn unol a dymuniad ein brawd ymadawedig.

"Y WAWR."

15. Ein bod yn mawr lawenhau fod ein hanwyl frawd O. Griffiths wedi ymgymeryd a dwyn allan gyhoeddiad at wasanaeth ein henwad Cymreig yn y wlad hon. Yr ydym yn mhellach yn y modd mwyaf dwys yn cymell yr eglwysi a'n cyfeillion i roddi pob cefnogaeth i'r WAWR siriol sydd yn awr yn fisol yn ymweled â ni.

16. Ein bod yn galw sylw yr eglwysi at y pwnc o ail gychwyn y Cyfarfod Chwarterol yn Sir Luzerne—yr eglwys sydd am gael y cyfarfod cyntaf i wneyd hyny yn hysbys i'r Ysgrifenydd.

*Pwyllgor Achwyniadol Schuylkill a Carbon.*—R. Edwards, Pottsville; J. H. Prichard, Ashland; John R. Jenkins, Minersville; Septua Jones, Audenried; a T. J. Snook, Upper Lehigh.

*Luzerne*—D. S. Roberts, Hyde Park; H. P. Davies, Kingston; Samuel Davies, Parsons; D. Davies, Wilkesbarre; ac Isaac Davies, Pittston.

17. Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal gyda'r eglwys yn Ashland.

18. Fod eglwys Plymouth yn cael caniatâd i gasglu drwy gylch y Gymanfa eleni.

19. Ein bod yn dychwelyd ein diolchgarwch diffuant i'r eglwys Fethodistaidd a'r un Gynulleidfaol yn Wilkesbarre am eu sirioldeb a'u cydymdeimlad a'u cynorthwy yn mhob ystyr i ddwyn yn mlaen y Gymanfa yn anrhydeddus.

Derbyniodd y Pwyllgor a[illegible]ddiad i waith y Weinidogaeth gais y[illegible]glwys yn Kingston.

*Penderfynwyd*, Fod y brawd James R. Price i gael ei neillduo i gyflawn waith y weinidogaeth, yn fugail y frawdoliaeth yn Kingston.

Gohiriwyd hyd y Gymanfa nesaf yn Ashland.

Y MODDION CYHOEDDUS.

J. P. Harris, Nanticoke, yn Arweinydd.

Awst 25, y nos cyn y Gymanfa, pregethodd y brawd D. J. Evans, Johnstown.

Y 26ain, nos Sadwrn, darllenodd a gweddiodd y brawd Ed. Jenkins, Plymouth, a phregethodd y brodyr John R. Jones, Minersville, oddiar Dat. 22: 1, a D. J. Evans oddiar Heb. 2: 3, ac E. Edwards, E. N., oddiar Ioan 6: 48.

Y 27ain, am 8½, cynaliwyd cyfarfod gweddi er ymbarotoi i waith y dydd, a chafwyd arwyddion fod Duw gyda ni.

Am 10, yn yr awyr agored, dechreuwyd y gwasanaeth gan y brawd W. D. Thomas, Mahanoy, a phregethodd y brodyr O. Griffiths, Utica, oddiar Mat. 3: 7, 8, a H. C. Parry, Pittston, oddiar 2 Pedr 1: 1.

Am 2, dechreuwyd yr oedfa gan y Parch. —— Thomas (M. C.), Wilkesbarre, a phregethodd y brodyr E. Jenkins, oddiar 1 Cor. 1: 23, &c., E. Edwards (Seisnig), oddiar Ioan 1: 29, ac A. J. Morton, oddiar Ioan 19: 19.

Am 6½, yn addoldy yr Annibynwyr, gweddiodd y brawd J. J. Morris, Nanticoke (diweddar Jermyn), a phregethodd y brodyr T. G. Jones, Wanamie, oddiar Dat. 21: 1, D. Rhoslyn Davies, Taylorville, oddiar Rhuf. 8: 2, ac A. J. Morton oddiar Mat. 1: 1.

Yr un amser, yn addoldy y Methodistiaid, pregethodd y brodyr E. Edwards ac H. C. Parry.

Yr un amser, yn Kingston, pregethodd y brawd D. J. Evans.

——, Yn Parsons, y brodyr W. D. Thomas, Mahanoy, a Ll. Rees, Uniondale.

Am 2, yn addoldy y Bedyddwyr, dechreuodd y brawd W. Davies (Coleg Lewisburgh), a phregethodd y brodyr D. S. Thomas, Ashton, oddiar Ioan 1: 1—5, B. E. Jones, Wiconisco, oddiar 1 Bren. 17: 8—16, a Ll. Rees, oddiar Mat. 7: 13—14.

Am 7, yn addoldy yr Annibynwyr, gweddiodd y brawd D. J. Evans, pregethodd y brodyr L. Roberts, Ashland, oddiar Mat. 16: 18, 19, W. D. Thomas, oddiar Esa. 2: 2—4, a B. James, Summit Hill, oddiar Rhuf. 8: 34.

Cafwyd Cymanfa ragorol, pawb yn ymddangos wrth eu bodd yn gwrando, ac yn mwynhau gwirioneddau yr iachawdwriaeth. Hyderwn y teimlir ei dylanwad drwy yr eglwysi, fel y byddo y gogoniant i enw y Gwaredwr.

J. P. HARRIS, *Ysgr.*

---

KINGSTON, PA.

*Urddiad y Parch. James R. Price yn Fugail ar yr Eglwys Fedyddiedig yn Kingston.*—Dydd Llun, am 2 o'r gloch, cyfarfuwyd yn addoldy yr Annibynwyr. Y brawd J. P. Harris, Cadeirydd y Pwyllgor, yn Arweinydd. Dechreuwyd drwy ddarllen a gweddio gan y brawd Isaac E. Davies, Pittston. Holwyd yr ymgeisydd yn fanwl am y gobaith oedd ynddo ei fod yn Gristion—ei gymellion i bregethu, a'i olygiadau ar bethau sylfaenol y grefydd Gristionogol. Y brawd J. P. Harris yn holi, ac yn cyfyngu y gofyniadau i'r pynciau a led amheuir gan rai o dduwinyddion y dyddiau presenol. Atebodd Mr. Price yn foddhaol, yn fyr a phwrpasol, a chafwyd ei fod yn uniawngred ar byncciau y grefydd Gristionogol. Offrymwyd yr urdd-weddi, gydag arddodiad dwylaw yr henuriaid, gan y brawd Ed. Jenkins, Plymouth; deheulaw cymdeithas gan y brawd D. Rhoslyn Davies, Taylorville; siars i'r gweinidog ieuanc gan y brawd Theophilus Jones, Wilkesbarre; ac i'r eglwys gan y brawd H. C. Parry, Pittston.

Am 7, cyfarfod drachefn yn yr un lle, pryd y pregethwyd yn rymus ac effeithiol gan y brodyr Davies, Parry a Jenkins. Da yw bod yma, oedd iaith calon y gynulleidfa luosog.—*Yr Ysgrifenydd.*

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Bevier, Mo., Sabboth y 17eg o Fedi, cawsom y fraint o weled tri o bersonau yn cael eu trochi yn ol gorchymyn Pen mawr yr eglwys. Gweinyddwyd gan y Parch. S. M. Thomas, o Dawn. Da genym hysbysu fod yma eraill yn aros yr un fraint. Ein dymuniad yw, fel eglwys, am i bobl Bevier fod yn foneddigaidd, fel y Bereaid gynt, i chwilio yr Ysgrythyrau, a yw y pethau hyn felly.—*J. C. W.*

---

*PRIODWYD—*

Yn Mineral Ridge, Medi 15, gan y Parch. J. W. James, yn nhy Thomas Owens, Ysw., tad y briodasferch, Mr. David Joseph a Miss Margaret Owens, ill dau o'r lle uchod.

Yn Nanticoke, Pa., Medi 21, 1878, gan y Parch. J. P. Harris (Ieuan Ddu), John D. Williams a Rachel Williams, ill dau o Nanticoke.

Yn Mahanoy City, Medi 9, 1876, gan y Parch. W. D. Thomas, Mr. Joseph Yates a Miss Mercie Perfet, y ddau o'r lle uchod.

Yn Minersville, Pa., Gorph. 24ain, 1876, gan y Parch. J. R. Jones, Mr. Richard Mainwaring a Miss Lizzie Watkins, y ddau o'r lle uchod.

---

*BU FARW—*

Yn y Gap, ger Minersville, Penna., Awst 20, 1876, David, plentyn i Thomas a Mary Evans, yn 8 mis a 19 o ddyddiau. Claddwyd ef ail tranoeth yn mynwent yr Annibynwyr; gweinyddwyd gan y Parch. J. R. Jones.

Yn Minersville, Pa., Awst 23, 1876, o'r *diphtheria*, Rahel, merch fechan i William a Martha Edwards, yn 5 ml.

a 3 mis oed; claddwyd hi yn *cemetery* y dref, a gweinyddwyd gan y Parch. J. R. Jones.

Yn Delaware, ger Minersville, Pa., Awst 31, 1876, yn 43 mlwydd oed, Mrs. Sarah Jones, anwyl briod Thomas Jones; ei chlefyd oedd cancr yn y cylla. Yr oedd yr ymadawedig yn aelod parchus a ffyddlawn gyda'r Bedyddwyr er's rhai blynyddau, a dyoddefodd gystudd trwm am dros bedwar mis o amser, yn hynod amyneddgar. Gweddïodd yn daer yn ei chystudd am gymeradwyaeth gyda Duw yn yr Anwylyd bendigedig. Ac wedi difrifol gyngori ei phriod hoff a'i phlant galarus i fyw yn dduwiol yn y byd sydd yr awr hon, yn nghyda'u cyflwyno oll i ofal Tad y trugareddau, hi a hunodd yn dawel yn yr Iesu, gan fod yn ddiogel yn mreichiau ei cheidwad anwyl. Brydnawn y Sul canlynol daeth torf fawr i'w hangladd, a daearwyd ei rhan farwol yn mynwent y Bedyddwyr, a gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol yn yr angladd, a phregethwyd ar yr achlysur hwyr yr un dydd, gan yr ysgrifenydd. —*J. R. Jones.*

Yn Minersville, Pa., Medi 13, 1876, o'r *typhoid-pneumonia*, Mrs. Ann Davies, cydmares anwyl Edward Davies, yn 33 mlwydd oed. Perthynai ein chwaer ymadawedig i'r dosbarth llariaidd a mwyn yn mhlith y gwragedd, yr hyn oedd yn addurn i'w phroffes. Meddai ar ddigon o ffydd i ddyweyd wrth wynebu y glyn, "Y mae genyf *fi* Geidwad." Ail tranoeth i'w marwolaeth ymgynullodd llu o geraint a pherthynasau i'w hebrwng i dy ei hir gartref, yn mynwent yr Annibynwyr. Gweinyddwyd gan y Parchn. J. P. Morgans, College Lewisburgh, a J. R. Jones.—*Ap Ieuan.*

Yn Minersville, Pa., Medi 4, 1876, yr hen frawd parchus, Joseph Harrison, yn 66 mlwydd oed. Ceir byr-gofiant o hono mewn rhifyn dyfodol.

Awst 15, 1876, yn y *Crossing*, 14*th Ward*, Cleveland, Ohio, ein hanwyl frawd David R. Jones, gynt o Bomaen, Dowlais, D. C., yn 47 mlwydd oed. Yr oedd yn aelod ffyddlon a gweithgar, ac yn ysgrifenydd eglwys y Bedyddwyr yn Newburgh, a cholled fawr i'r eglwys oedd ei golli; ond credwyf fod ein colled ni yn enill iddo ef. Yr oedd yn un o'r dynion mwyaf di-dderbyn wyneb a gonest a welais erioed, a'i eiriau diweddaf oeddynt, "Nid oes genyf ddim i bwyso arno ond Iesu Grist, yr aberth mawr." Ail tranoeth daeth torf yn nghyd i gludo ei ran farwol i'r *depot*, i gwrdd â'r *train*, 9 o'r gloch y boreu. Claddwyd ef yn Johnstown, Pa., a phregethwyd pregeth angladdol iddo, nos Sabboth, y 27ain, gan Mr. Samuel Job, oddiar y geiriau yn Salm 27 : 5. Yr oedd yn bregeth wir dda a phwrpasol. Gadawodd ein hanwyl frawd wraig a chwech o blant i alaru eu colled ar ei ol. Bydded i Dad yr amddifaid a phriod y weddw nerthu ein hanwyl chwaer yn ei thrallod. Yr ydym yn galaru, ond nid fel rhai heb obaith.—*Edward Jones.*

Yn Johnstown, Pa., Medi 6, 1876, o'r *diphtheria*, Minerva Watkins, merch i George a Mary Ann Watkins, yn 8 mlwydd, 6 mis, a 5 diwrnod oed. Mae hyn wedi bod yn chwerw i'w mam gystuddiol wrth symud yr un anwyl mor sydyn. Dim ond ychydig ddyddiau y bu yn glaf. Mae ei mam, druan, mewn cystudd blin er ys dros bedair blynedd. Yr Arglwydd yn ei diriondeb a'i cysuro. Prydnawn dydd Gwener, yr 8fed cyfisol daeth torf fawr yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol, pryd y gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd.—*D. J. Evans.*

Chwefror 12, 1874, yn y *9fed Ward*, Alleghany City, Pittsburgh, Mrs. Margaret Rees, yn 57 mlwydd a 7 mis oed. Gwraig ein hanwyl frawd Job Rees, yn awr o Cleveland, Ohio, ydoedd. Ymfudodd y teulu i'r wlad hon yn y fl. 1842, o Nant-y-glo, Swydd Fynwy, D. C. Cafodd ein hanwyl chwaer ei bedyddio ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn y lle uchod, yn absenoldeb y gweinidog, gan y Parch. Edward Oliver. Bu yn Gristion gloew trwy ei hoes. Yr oedd yn un o'r gwragedd mwyaf siriol a charedig tra y bu hi byw; yr oedd ei thy yn agored, a'i

bwrdd wedi ei hulio â thrugareddau er diwallu angenrheidiau gweision Iesu. Yr oedd pob pregethwr a brawd a ddeuai i ardal Pittsburgh yn gwybod am dy Job Rees a'i briod hawddgar. Clywais yr anfarwol Owens, o Pittsburgh, yn pregethu ei phregeth angladdol, ac yn rhoddi y cymeriad uchaf i'n chwaer fel Cristion. Yr oedd yn heddychol, tawel, a dirodres, yn well ganddi oddef cam na chodi cweryl. Gweithiodd yn galed gyda'i phriod i godi twr o blant yn anrhydeddus. Gadawodd bump i alaru ar ei hol; mae dwy o'r merched yn aelodau ffyddlawn yn eglwys y Bedyddwyr yn Johnstown; ac y mae'n dda genym ddyweyd fod y rhai hyn yn efelychu eu tad a'u mam dduwiol. Bydded Duw yn nodded ac amddiffynfa iddynt hwy a'u tad, yr hwn sydd wedi ei adael fel Abraham wedi colli ei anwyl Sarah. Claddwyd ein hanwyl chwaer yn Allegheny Cemetery; gweinyddwyd yn y ty ac wrth y bedd gan y diweddar Barch. William Owen, Pittsburgh. Heddwch i'w llwch hyd y boreu pan y daw yr Iesu yr hwn a garodd ac a wasanaethodd mor ffyddlon, i'w galw o'r llwch at ei gwobr.—*D. J. Evans.*

Yn Coalburgh, Ohio, Awst 11, 1876, bu farw, ar ol hir gystudd, ein hanwyl frawd John Jenkins, yn 46 mlwydd oed, a chladdwyd ef y Sul olynol, pryd y gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchedigion D. Nicholas, J, T. Jones, Shenandoah, Pa., a'r ysgrifenydd. Bu yr ymadawedig yn grefyddol yn ddidor am 22 o flynyddau. Dechreuodd ei yrfa grefyddol yn Goginan Sir Aberteifi, dan weinidogaeth y Parch. D. Jenkins. Yno y bu yn dra defnyddiol fel athraw yn yr Ysgol Sul, areithiwr ar wahanol achlysuron, a chasglwr at ddileu dyled y capel. Fel areithiwr, gydag ychydig yni, gallasai fod yn y rhes flaenaf, gan ei fod yn naturiol yn barablwr croew, siaradwr llyfn, a Chymreigydd da. O weithiwr, yr oedd yn dra hyddysg yn yr Ysgrythyrau; nid yn fynych y ceid ei gyfartal. Yr oedd yr ymadawedig yn un yn dechreu yr achos Bedyddiedig yn Coalburg. Trwy y 12 mlynedd a dreuliodd yn y wlad hon, ac ystyried amgylchiadau, bu yn ffyddlon, gweithgar, a haelionus gyda'r achos crefyddol. Yr oedd yr eglwys hon yn agos at ei galon. "O Arglwydd, cadw y dynion ieuainc gyda dy achos," oedd un o'i ddeisyfiadau olaf. Gobeithio y caiff ieuenctyd yr eglwys gofio hyn, ac ymdrechu byw yn ol deisyfiad ein brawd.

Mae gweddw a chwech o blant yn galaru ar ol priod mynwesol a thad tyner. Hyderwn y try y bechgyn, fel y tad, y fam, a'r ferch, i godi y groes a chanlyn Crist. Gellir dyweyd am y tad, ei fod wedi rhedeg yn dda, cyrhaedd y nod, a derbyn y wobr. Bydded felly am yr oll o'r teulu.—*C. Jones.*

DAMWAIN ANGEUOL.

Yn Nanticoke, Pa., Awst 12, cyfarfyddodd William T. Williams, bachgen 18 oed, â'i ddiwedd yn sydyn iawn. Fel yr oedd efe wrth ei alwedigaeth yn rhedeg *car* glo o dan y ddaear, drwy ryw esgeulusdod mawr, ni roddwyd y rhybudd arferol iddo fod yr ergyd ar fyned fyned allan—taniodd y pylor ar ei waith yn dyfod yn mlaen, chafodd William ei gario adref wedi ei anafu mor drwm, ac angeuol, fel na fu yn alluog i siarad gair a'i dyner fam. Yr oedd yn hollol anymwybodol o bob peth; ni wnaeth ond ocheneidio yr ychydig oriau a gafodd i anadlu ar y ddaear.

Yr oedd y bachgen hwn wedi cofio ei Greawdwr yn nyddiau ei ieuenctyd. Bedyddiwyd ef gydag amrai eraill ar eu proffes o'u ffydd yn Mab Duw, ddiwedd y flwyddyn ddiweddaf, ac ymunodd â'r eglwys yn Nanticoke. Yr oedd yn hynod addawol, a'i fuchedd yn deilwng o'i broffes. Mawr hiraethir ar ei ol gan dad a mam, brodyr a chwiorydd —llu o gyfeillion, a'i gyfoedion crefyddol. Daearwyd ei weddillion marwol yn Green Cemetery, hyd foreu mawr adferiad. Y Parch. J. P. Harris yn gweinyddu.

Yr oedd William yn fab i Evan T. Williams ac Elizabeth ei briod, brodorion o Aberystwyth, Ceredigion. Ymfudasant i'r wlad hon o Abersychan, D. C., saith mlynedd yn ol; daethant

i Taylorville, a symudasant i Nanticoke er's dwy flynedd bellach. Bydded i'r Arglwydd yn ei drugaredd a'i ras gysuro y teulu oll. Amen.—*Cyfaill.*

**Ein William yr anwylyd,—ar alwad**
**Daw'r rhelyw i fywyd ;**
**O'i gafell gul e gyfyd,**
**O lawr y bedd uwchlaw 'r byd.**
**BRAWD.**

BYR-GOFIANT Y CHWAER MARY PHILLIPS, HYDE PARK.

Dylasai fod dau beth arbenig mewn golwg wrth ysgrifenu hanes bywyd brodyr neu chwiorydd yn Nghrist, sef dangos gallu gras Duw yn dwyn dynion pechadurus—yn farw mewn ystyr ysbrydol—i flaguro mewn sancteiddrwydd; ac hefyd dangos y rhinweddau hyny ag y maent yn eu harfer, er efelychiad cyffredinol.

Ganwyd a magwyd gwrthddrych y coffa hwn yn Llanymddyfri, Sir Gaerfyrddin, D. C., yn y flwyddyn 1816. Merch ydoedd i Daniel ac Elizabeth Rees, aelodau parchus a chymeradwy gan yr Annibynwyr yn y lle crybwylledig. Bu Mrs. Phillips yn aelod o'r un eglwys yn moreu ei hoes; yno yr oedd y teulu yn addoli eu Duw; ond gadawodd gartref ei mebyd pan yn dra ieuanc, a symudodd i Sir Frycheiniog. Dywed Mr. Phillips, "Yn y flwyddyn 1841 y daethum i adnabyddiaeth â hi. Yr oedd yn wir grefyddol, ac amryw bethau ynddi yn tynu fy sylw yn arbenig. Yr oedd am sancteiddio y dydd Sabboth yn y modd mwyaf manwl; ystyriai nad oedd i fod yn ddydd i rodiana; nid oedd yn foddlawn i rodio gyda mi ar ddydd yr Arglwydd." Fel arall y mae yn gyffredin yn y dyddiau hyn, hyd yn nod gan grefyddwyr. Aml ydynt yr ymweliadau Sabbathol, yr ymddyddanion marchnadol, y gloddest ac esgeuluso moddion gras—gwneyd dydd yr Arglwydd yn was bach dyddiau yr wythnos: ond ni fu ein hanwyl chwaer yn euog o'r pethau hyn. Hefyd, yr oedd yn dra gochelgar ar ei *throed* a'i *thafod.* Ymarweddai yn deilwng o'i phroffes, a chadwai ffrwyn yn ei genau yn ngwydd byd ac eglwys—dyma rinwedd gwerth ei gofnodi, er esiampl i eraill.

Priodwyd hi â Daniel Phillips yn 1843, yn eglwys blwyfol Llywel, ger Trecastell, gan yr offeiriad, Mr. Parry, yn ngwydd Duw, ac o flaen y meddyliwr galluog a'r pregethwr dylanwadol Mr. Parry, yn nghyda llu o dystion.

Yn y flwyddyn 1845 symudasant i Ferthyr Tydfil, Morganwg. Yr oedd eu bywyd crefyddol yno fel yr aderyn yn ehedeg o gangen i gangen heb orphwysfa—yn cloffi rhwng dau feddwl—weithiau aethai hi a'i phriod i wrandaw i gapel yr Annibynwyr, bryd arall i gapel y Methodistiaid; hoffent yn fawr i wrandaw ar Mr. Aubrey, y *Wesleyan* talentog; yn achlysurol aent i gapel y Bedyddwyr, ond yr oedd ynddynt lawer o ragfarn yn erbyn bedydd yr enwad hwnw, fel pawb eraill sydd wedi eu geni a'u magu ar yr aelwyd daenellyddyl. Ond (ebe Mr. P.) credem y pryd hwnw mai John Roberts (gloff) o'r Tabernacl, oedd y pregethwr goreu yn Merthyr o lawer, ac felly glynu a wnaethom wrth ei weinidogaeth ef, ac enillwyd ni i'r ffydd Gristionogol drwy Air Duw a gorchymyn ac esiampl Crist. Cafodd gwrthddrych ein coffa ei bedyddio ar broffes o'i ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, yn mis Mai, 1849, a pharhaodd yn ffyddlon hyd awr ei datodiad; felly y cafodd yr ysgrifenydd hi yn mhob amgylchiad. Pan gan afiechyd a gwendid corphorol yn methu myned i dy yr Arglwydd, eto ymhyfrydai yn nghyfeillach y rhai a farnai hi oeddynt yn ddysgyblion Crist, oddiwrth eu hymarweddiad allanol. Yr ydwyf (ebe hi) yn ddiolchgar iawn i'r brodyr da sydd yn arfer galw i'm gweled pan yn wanaidd a methiantus. Yr wyf yn ddiolchgar i'r brawd O. Griffiths (Giraldus) a'r brawd J. P. Harris (Ieuan Ddu) am eu caredigrwydd a'u gwasanaeth yn gweini ar y lleiaf o ddysgyblion Crist. Yr oedd yn falch bob amser i weled gwyneb y Cristion pur, a'r cymeriad gloew. Ond er pob ymdrech a charedigrwydd cymydogion a pherthynasau, a dyfais meddygon, canodd yn iach i'r byd hwn a'i ofidiau, a gorphwysodd oddiwrth ei llafur pan ar fin 60 mlwydd oed.

Gadawodd briod a dau o blant, a llu

o berthynasau, i alaru ar ei hol. Dydd caled i'n hanwyl frawd oedd dydd y ffarwelio am byth i gyfarfod ar y ddaear, wedi bod yn briod am 33 o flynyddau. Diau ' gwelodd lawer ystorm—llawer cwmwl ar fordaith bywyd yn yspaid yr amser crybwylledig; ond yr oeddynt yn llywio'r cwch wrth gwmpawd Rhagluniaeth yn hynod o lwyddianus.

Symudasant i'r wlad hon o Abercanaid, yn 1865, a daethont i Hyde Park ar y 3ydd o fis Mai, yn yr un flwyddyn. Y mae nifer luosog yn Hyde Park heddyw yn dystion o fywyd ac ymarweddiad ein hanwyl ymadawedig chwaer. Do, bu farw Mrs. Phillips, a chladdwyd ei rhelyw marwol mewn gobaith o adgyfodiad gwell, y brawd Ebenezer Lloyd yn gweinyddu, a phregethwyd y bregeth angladdol oddiar Ioan 14 : 3, gan y brawd J. P. Harris, yn unol a dymuniad y perthynasau.

Ymgysured yr oll o'i pherthynasau yn yr Arglwydd, yr hwn eto a'i hadgyfyd ar ei ddelw yn y boreu a ddaw.

CYFAILL CALON.

*** Dymunir ar *Seren Cymru* godi yr uchod.

MARWOLAETH MRS. MARY JONES.

Ar ddydd Gwener, Medi 15fed, bu farw y chwaer anwyl uchod, yn 74 ml. oed, yn ninas Utica, E. N. A chan ei bod yn un o ragorolion y ddaear, mae yn weddus, ac yn angenrheidiol, dyweyd gair yn mhellach am dani, nag yn unig groniclo ei marwolaeth.

Merch ydoedd i Humphrey Roberts a Mary ei wraig, o'r Ty-uchaf, Llanarmon, Sir Gaernarfon, G. C. Yr oedd ei thad yn bregethwr, a bu am flynyddau yn weinidog ar eglwys y Sandemaniaid yn Criccieth. Yn y flwyddyn 1832, symudodd ef a'i deulu i'r wlad hon; ond gan fod gwrthddrych ein sylwadau wedi priodi, ac ymsefydlu yn y byd, arosodd hi ar ol gyda'i phriod. Sefydlodd y teulu, ar ol ei ddyfodiad yma, tua chymydogaeth Remsen, lle y prynasant fferm, a bu Humphrey Roberts farw yn mhentref Remsen, mewn oedran teg. Er ei fod yn ddyn da, a diau yn Gristion didwyll, eto yr oedd ei olygiadau crefyddol y fath, nad allai o gydwybod fwrw ei goelbren i blith un o'r eglwysi oedd yn ei ymyl. Ond er na ddarfu iddo ymuno yn ffurfiol ag un eglwys yn ystod ei arosiad yma, ymdrechodd, er hyny, i fyw yn grefyddol, yn ol ei olygiadau am ei ddyledswydd tuag at Dduw a dyn. Clywodd yr ysgrifenydd droion fod H. Roberts yn ddyn o alluoedd meddyliol cryfion iawn, a'i fod yn hynod am ei wybodaeth helaeth o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Yr ydym yn dyweyd cymaint a hyn am dano er dangos fod y plant wedi eu dwyn i fyny i ddeall a pharchu y Gair dwyfol o'u mebyd.

Crybwyllasom fod Mary wedi priodi yn Nghymru. Enw ei gwr oedd Robert Thomas, Ty-yn-y-nant, Llanllyfni, yr hwn oedd ddyn a fawr berchid gan ei gydnabod. Bu iddynt chwech o blant; ond bu Mr. Thomas farw, gan adael ein chwaer i ofalu am ei theulu bach lluosog. Yr oedd hwn yn ergyd caled iawn, ond nid hollol ddiles, canys bu yn foddion, mewn rhan, i'w dwyn i bwyso ar Farnwr y weddw a Thad yr amddifaid, a hi a'i cafodd yn llanw ei addewid yn dymorol ac yn ysbrydol. Gwnaeth hithau yn y cyfnod hwn broffes gyhoeddus o hono fel Ceidwad ei henaid. Bedyddiwyd hi gan y Parch. Robert Jones, Llanllyfni, tua'r flwyddyn 1840, ac ymunodd a'r eglwys dan ei ofal; dyna'r pryd yr ymaflwyd ynddi gan Grist, ac nis gollyngodd ei afael nes ei chludo adref i dangnefedd.

Nid hir iawn fu ei harosiad yn ngwlad ei genedigaeth ar ol hyn, oblegid yn 1841 casglodd ei hychydig eiddo at ei gilydd, ac yn nghwmni ei hamddifaid bychain cychwynodd am wlad y Gorllewin, a glaniodd yn ddiogel, gan gael ei rhieni yn llwyddianus eu hamgylchiadau yn eu cartref newydd. Nid hir y bu yma cyn i Morris Jones, yr hwn oedd amaethwr cyfrifol yn Steuben, weled fod ynddi rinweddau neillduol i wneyd gwraig werthfawr. Ymbriodasant, a chyn hir cawn hwy yn gadael Sir Oneida am ddyffryn bras a chynyrchiol Attica, yn Sir Wyoming, yn y Dalaeth hon. Gan fod y ddau yn gref-

yddol, rhoddasant eu hunain yn aelodau o eglwys y Bedyddwyr yn y lle. Bu tri o blant o'r briodas hon, un o'r rhai a fu farw mewn canlyniad i niweidiau a dderbyniodd yn mrwydr waedlyd Cold Harbor, yn ystod y gwrthryfel.

Yn 1858, bu Morris Jones farw, gan adael ein chwaer yn weddw unwaith eto. A chan ei bod erbyn hyn yn dechreu teimlo pwys blynyddau ei hoed, a bod ganddi ddau o feibion yn fasnachwyr cyfrifol yn Utica, penderfynodd ddychwelyd yma i dreulio gweddill ei hoes. Rhoddodd ei hun yn aelod o eglwys y Bedyddwyr Cymreig ar ar Broadway, lle y bu yn ffyddlon a defnyddiol yn mhob ystyr, yn ol ei gallu a'i chyfleusderau. Perchid ac anwylid hi yn fawr gan yr holl frawdoliaeth, ac nid bychan yw'r galar sydd yn yr eglwys ar ei hol. Ac nid rhyfedd hyn, oblegid yr oedd ynddi lawer o rinweddau eglur. Yr oedd yn ddeallus yn yr Ysgrythyrau. Yr oedd didwylledd ei chrefydd uwchlaw amheuaeth; yr oedd ei ffyddlondeb, hyd yn nod mewn henaint, yn deilwng o efelychiad rhai llawer ieuengach. Yr oedd yn hynod am ei phwyllder, ei harafwch, ei chariad at dangnefedd, ei thymer garedig a hynaws, a'i hymdrech i lesoli pawb o'i chwmpas. Felly yr oedd iddi air da gan bawb, yn gystal a chan y gwirionedd ei hun.

Cafodd gystudd mawr am wythnosau cyn ei marwolaeth. Dyoddefodd boenau dirfawr, ond yn hynod o amyneddgar; a phan ddaeth yr alwad yr oedd hi yn addfed i'r cyfnewidiad mawr. Nid oedd ystormydd geirwon cystuddiau, poenau dirdynol, na henaint, yn gallu siglo ei hymddiried yn ei Cheidwad—yr oedd ei gafael yn rhy dyn. Cydiodd yn ei law Ef yn foreu, a thywysodd y llaw hono hi yn ei horiau olaf ar hyd llwybrau gwastad-lyfn i lan yr afon, lle yr oedd tawelwch mawr yn teyrnasu; a phan ddaeth y foment iddi groesi drosodd, fe

"Hedodd ei hysbryd, heb loes nac ochenaid,
Fel baban yn cysgu yn ngwydd ei anwyliaid."

Cafodd fyw i weled ei phlant wedi cyrhaedd sefyllfaoedd cysurus mewn bywyd; mae tri o honynt yn fasnachwyr cyfrifol yn y ddinas hon; ond yr hyn a wasgai fwyaf ar ei meddwl oedd eu cadwedigaeth dragywyddol. Am hyn y siaradai yn fynych a'r ysgrifenydd, a gwyddom ei bod yn a[illegible]r gweddio yn aml ac yn daer ar i Dduw roddi iddynt drysorau ysbrydol a'u gwnelai yn gyfoethog am byth. A phwy a wyr na fydd i'r had da a hauwyd yn ngwlith cyfnos bywyd, dyfu eto yn fuan yn gnwd toreithiog.

Dylem grybwyll wrth ddiweddu hyn o nodion, iddi gael claddedigaeth parchus y Sabboth canlynol i'w marwolaeth. Gweinyddwyd yn yr angladd, yn nhy ei mab hynaf, Thomas R. Thomas, ac yn y fynwent, gan y brawd J. Edred Jones, yn cael ei gynorthwyo gan y brawd E. Edwards; ac ar brydnawn Sabboth, Medi 24ain, pregethodd y brawd Jones bregeth angladdol iddi yn eglwys y Bedyddwyr Cymreig, o'r hon yr oedd yn aelod, i gynulleidfa luosog o alarwyr. Pwy a leinw le y fam hon yn Israel? BRAWD.

---

## BWRDD Y GOLYGYDD.

*Y Cymanfaoedd yn Nghymru.*—Ymddengys na ddaeth i ran neb bron o weinidogion Mon ac Arfon i bregethu yn eu Cymanfaoedd eleni. Mae hyn yn destyn ysgrif finiog, wengar, yn *Seren Cymru* yn ddiweddar. Nid yw yr achos o hyn yn cael ei ddadguddio. Gellid tybied nad yw pethau wedi dygwydd yn foddhaol. Awgryma yr ysgrifenydd na ddylasai pethau fod felly. Cymer blaid (os ydym yn deall) y gweinidogion. Ni phetrusa gyfeirio at y treulion mawrion yn nghwrs blynyddau o gael gweinidogion o bell i'r Cymanfaoedd. Gall un daioni ddeilliaw o godi fel hyn y pwnc i sylw, sef arwain at ddiwygiad. Nid oes dadl nad oes eisiau er's llawer blwyddyn. Yn y lle cyntaf, mae gormod o bregethu bron o'r haner. Wedi cael tipyn o gynadledd foreu y diwrnod cyntaf,

dechreuir, fy mhobl anwyl, gyda y pregethu, oblegid mae nifer luosog yn dysgwyl am yr anrhydedd! Ie, dechreuir ddau o'r gloch, gyda thri llefarwr, hyd yr oriau meithion fo yn diweddu hwyr yr ail ddydd, pryd y bydd yn gyffredin nifer y pregethau wedi cyrhaedd o ugain i ddeg-ar-hugain, a chymeryd yr oll i mewn cysylltiedig â'r Gymanfa. Yn awr gofynwn, pa reswm a ddichon fod mewn peth fel hyn? Pa ddaioni all ddeilliaw o'r fath eithafion? Gellid ateb yn ddibetrus, fod llawer o niwed mewn amryw ddulliau a moddau; nid yn y pregethu, cofier, ond yn y fath fynychu pregethu. Mae dylanwad y pregethu yn cael ei golli, oblegid pa natur ddynol a fedr ddal o dan y fath ddyweyd a chyffroad heb lwfrhau, a rhoddi ffordd? Yn nesaf, fel yn ganlyniad naturiol o'r hyn a nodwyd, mae talentau rhy gyffredin yn cael gormod o ryddid. Drwg genym ddyweyd, ond y mae yn wir, fod sefyllfa pethau wedi myned i'r fath ddirywiad a chyffredinedd, nes peri i ni feddwl am y rhedegfeydd, &c., a gymerasant le, ac ydynt mor boblogaidd yn y dyddiau hyn—ymryson am bregethu, ac ymryson wrth bregethu! Annheilwng, yn wir, o'r areithfa Gristionogol! Rhyddid i bob llefarwr dibrofiad a difedr, yn enwedig os medr floeddio, ac os oes ganddo fymryn o "ddawn." Dawn yn wir! Lle mae anrhydedd y weinidogaeth efengylaidd? Lle mae y bobl sydd yn barod i ofyn gyda chryndod, pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn? Dilys yw fod llifeiriant mawr y pregethu cymanfaol wedi dyfod mewn rhan helaeth wrth golli "hen hoelion wyth" y weinidogaeth. O'u colli daeth trai mawr; wed'yn dyma lanw mawr, gan gludo pob ysgafnion gydag ef. Gofynwn, beth a wneir? Beth a wneir? Beth sydd eglurach na'r hyn sydd i'w wneyd? Rhodder y lle i'r rhai mwyaf cymwys—y rhai goreu ellir eu cael o bell ac agos. Myned i son am dreulion i benderfynu y pwnc! O flaen pob peth bydded i anrhydedd Crist a'i groes fod mewn golwg yn ein huchelwyliau; ac ymswatied pawb o honom o'r golwg i roddi lle i rai a fedrant ddangos y cyfryw oreu o flaen cynulleidfaoedd gwrandawgar.

---

*Cynadleddau y Gymanfa yn Wilkes-barre, Pa.*—Nid anfynychyr achwynir ar ein cynadleddau cymanfaol. Dywedir yn erbyn gwerth penderfyniadau, &c. Bydd y bai yn cael ei roddi am beidio eu gweithio allan. Mae y bai mewn gwirionedd y rhan amlaf ar y cynadleddau. Y fagnel rymus sydd yn taflu yn mhell. Nid yw grym llawer cynadledd yn cyrhaedd yn mhellach na throthwy drws ty yr ymgynulliad. Mae bai y pryd hwnw ar y cynadleddau. Credwn fod y cynadleddau yn Wilkesbarre eleni yn eithriad i'r cyffredin. Ni phetruswn ddyweyd fod deheurwydd ymdriniaeth â gwahanol faterion dan sylw yn deilwng o unrhyw gorph o gynrychiolwyr. Yr oeddym wrth ein bodd yn gwrandaw ar ein brodyr yn siarad mor fedrus ac aiddgar.

Yn mhlith pethau eraill, bu y pethau canlynol dan sylw: Y llythyrau oddiwrth yr eglwysi—Pwy sydd i gael y Gymanfa nesaf?—Amlwreiciaeth—Yr hyn a ddywedai Dr. Jenkins, Hengoed—Y pwyllgorau—Y WAWR—Ystadegau, &c., &c. Mae yn llawenydd i bob un sydd yn caru llwyddiant achos y Gwaredwr weled y gydwybod gymanfaol yn ysu cymaint gan sel dros anrhydedd ty ein Tad.

---

*Pregethau Mr. Spurgeon o'r tu Allan.*—Mae Mr. Spurgeon wedi dechreu ar gwrs o bregethau i allanolion. Ar hwyr Sabbothau neillduol, mae ei wrandawyr cyson i aros gartref, neu fyned i leoedd eraill; a rhai na fyddont yn myned i unrhyw fanau eraill yn cael eu gwahodd i'r Tabernacl. Mae y cyntaf o'r cyfarfodydd hyn wedi cael ei gynal, ac yr oedd y Tabernacl yn orlawn ar yr achlysur. Cyn rhoddi allan ei destyn, sylwodd y pregethwr mawr fod y bregeth yn hollol efengylaidd, a gofynodd, os oedd rhai yn mhlith y gynulleidfa wedi derbyn Crist, ac yn llawenhau ynddo, i weddio am i fendith ddisgyn ar y gwasanaeth. Yr oedd y bregeth yn sylfaenedig ar iachâd Æneas gan Pedr,

a gofnodir yn Act. 9: 33, 34. Y geiriau y traethai yn fwyaf neillduol arnynt oeddynt, "Mae Iesu Grist yn dy iachau di." Iesu Grist a'i groes yw cnewyllyn pregethau y dyn hynod a llwyddianus hwn. Traetha ar allu Crist i *achub*, ac i *gynal*.

---

"*Teithi Llenyddiaeth Grefyddol.*"—Dyma enw y gwaith llenyddol diweddaf o eiddo Gladstone. Lle y traetha ar fateroliaeth, gwelir a ganlyn: "Mae materoliaeth yn canfod mewn mater waelod a ffynonell pob peth ag y sydd. Efallai mai athrawiaeth o athroniaeth yw hyn yn briodol a phenodol, yn hytrach nag un yn cyffwrdd â chrefydd. Yr wyf yn feddianol ar ry ychydig o'r deddfau a'r terfynau y drychfeddwl i siarad gyda hyder. Yn ein byd ymarferol cyflwynir i ni wrthddrychau a nerthoedd materol; a chyflwynir i ni hefyd wrthddrychau a nerthoedd yn cynwys yr hyn sydd yn hollol wahanol mewn ffurf a gweithrediad i fater. Os felly, ar sylfaen materoliaethol y gallwn gael 'Hamlet,' a 'Macbeth,' 'Gwaith Aristotle,' 'Y Gau Ddwyfawl,' 'Efelychiad o Grist,' 'Yr Efengylau a'r Epistolau.' Gall yn y byd anweledig fod yn bosibl i gyfodi ar yr un sylfaen yr oll ag mae duwinyddiaeth wedi ei ddysgu i ni; ac fel hyn gwna materoliaeth ysgwyd llaw ag iawn-grediniaeth."

Ymddengys gan hyny, hyd yn nod a chaniatau gosodiadau materoliaeth, na fydd i'r casgliad a dyna mewn un wedd i ddilyn, yn gymaint a bod materoliaeth, yn ol ei dull o drafod pethau, yn rhwym o gydnabod ffeithiau. Yn awr, y ffeithiau ydynt, fod y fath beth ag a elwir yn allu meddyliol ryw fodd yn dyfod i fodoli yn y greadigaeth—yn gyfansoddiad yn amlygu yn ei ffordd ei hunan yr effeithiau mwyaf hynod ar dir materoliaeth. Os yw mater yn cynyrchu cymaint o bethau a ymddengys uwchlaw iddo, ac o natur wahanol yn y byd hwn, paham na all wneyd yr un fath, a mwy, yn y byd arall?

---

Y mae yn haws darllen dyn wrth ei *droed* nag wrth ei *wyneb*.

## CELF A GWYDDOR.

---

FFORDD NEWYDD O EMBALMIO CYRPH.

Dyma fe—arch annhreiddiadwy—un na ollwng wlybwr, yn nghyd a sylweddau neillduol a gynyrchant ddadfeiliad buan; nid, modd bynag, a bydra, a'r hwn ni all ddianc o'r amgaufa. Rhoddir yn yr arch *phosphate of lime*, yr hwn a fedd yr effaith a nodwyd, heb feddu arogl annymunol. Sicrheir y gellir agor eirch yn mhen pum' mlynedd heb un arogl ddrwg yn bod. Honir y gellir, drwy ddilyn y dull hwn, bentyru eirch mewn ystafelloedd cyfyng heb berygl oddiwrth unrhyw fath o darthiad neu dawch afiachus, ac felly gwneyd embalmio cyrph personau a gleddir mewn ystafelloedd tanddaearol yn ddiangenrhaid.

SYMUD LLE'R GYR-DROELL MEWN AGER-LONGAU.

Man arferol y gyr-droell hyd yma yw tu ol i'r llong. Yn awr, modd bynag, mae cynllun newydd yn cael ei berffeithio i'w gael yn y canol, o dan y llong. Bydd cafnle pwrpasol i'r gyr-droell, yn dyfnhau yn raddol ol a blaen bellder o ddeg-troedfedd-ar-hugain. Os dygwydd niwed i'r gyr-droell, gellir ei hamgau oddiwrth y dwfr, a'i thrwsio pan ar ganol y weilgi. Beth nesaf?

---

—Y mae Cyngrair mawr i'w gynal yn fuan gan yr Eglwys Babaidd yn Ffrainc. Un o'i brif bynciau fydd tynu allan gyfarwyddyd i newyddiaduron y byd. Beth fydd nesaf?

—Y mae cynllun newydd yn cael ei ddwyn i weithrediad yn Rhufain, sef cychwyn newyddiadur anffaeledig. Fe fydd Cardinaliaid yn mhlith y golygyddion, a phrif swyddogion yr Eglwys Babaidd trwy Ewrop yn gohebu iddo.

—Cyfarfu idiot cyfoethog ag idiot tlawd ar yr heol y dydd o'r blaen yn agos i Boston. "Eleazer," ebe'r cyfoethog wrth y tlawd, "Eleazer, ffwl wyt ti—ffwl, ffwl," gan estyn ei wddf a'i wep. "Mi wn, mi wn," meddai Eleazer, "ond yr wyt ti yn ffwl, ac heb wybod mai ffwl ydwyt."

# Y WAWR.

CYF. I.] TACHWEDD, 1876. [RHIF. 8.


## LLEURWG.

Wrth edrych dros hanesyddiaeth y ganrif ddiweddaf, canfyddir yn ddigon eglur gan y llygadgraff, mai yr ûs, ac nid y grawn, fynychaf, sydd ar wyneb poblogrwydd personol—y rhai a ddaethant i fodolaeth mewn noswaith, fel bwyd y barcud; ac yn yr un gymaint o adeg, sef eu bywyd, diflanasant heb un cysgod o'u hol. Disgynasant i fro dystawrwydd heb adael dim yn arosol i'r genedl a ddaw, ond sail tywodlyd ac adeiladaeth ddychymygol. Ac nid rhyfedd hyn; o herwydd cyn y gall mawredd personol fod yn gymeradwy gan y meddyliol, rhaid fod treiddgarwch dwfn wedi ei ymarferyd, agwedd deilwng wedi ei hamlygu, a llesiant cyffredinol y werin yn gymellydd i'r oll. Er hyn, dywedwn y gall y pethau yna fod mewn meddiant, a chael eu dadblygu a'u ffurfio yn marn y lluaws, heb yn gymaint a'u gweled na'u teimlo gan yr achosydd neu y gwrthddrych ei hun. Ceir engraifft o hyn yn yr anfarwol John Foster; a beiddiwn ddweyd mai gwell treulio oes er llesiant dynoliaeth, heb dderbyn y gymeradwyaeth a haeddir, a byw yn yr oesoedd a ddaw, nag ymddibynu ar udganiad o'n blaen, a dim ond rhodres yn sail. Mae dynion gwir fawr yn debyg i dyfiant y dderwen. Fe dyf y *poplar* mewn ychydig o flynyddoedd; ond am y dderwen, rhaid iddi hi fwrw allan a chordeddu ei gwreiddiau, drwy soddi yn ddofn i'r ddaear, ac yna dros ugeiniau o flynyddoedd, ac oesoedd, mae hi yn gallu herio rhuthriadau y gwynt a'r ystorm. Dyna Virgil, y bardd Rhufeinig, dros flynyddoedd o'r golwg, er bod rhai llawer llai eu cyrhaeddiadau yn yr amlwg; ond eto yr oedd ef yn gwreiddio fel bardd, nes iddo yn un o'i fugail-ganeuon agor calon yr amerawdwr; ac mewn diwrnod, o ganol tlodi, cafodd afael ar gyfoeth, trwy ddychwelyd iddo dreftadaeth ei dadau yn wobr am ei lafur; ond bu farw yn nghanol ei ddyddiau. Eto mae cynyrch ei feddwl treiddgar yn aros hyd heddyw, er fod y wlad y ganwyd ef ynddi â'i gogoniant wedi diflanu, nes y mae hi erbyn heddyw fel tiriogaeth wedi ei chyfyngu i ororau culion, a dim ond ei henw (Rhufain) yn unig i ddadblygu ei mawredd cyntefig a'i llywodraethyddiaeth gyffredinol.

Yr ydym wedi synu a rhyfeddu am wrthddrych ein penawd i'r llith bres-

enol, ei fod wedi ei adael gan ei genedl ei hun heb gymaint a chydnabyddiaeth benodol gyhoeddus. Nid mewn modd tystebawl yr ydym yn golygu, ond dadblygiad o hono fel un o ddynion mwyaf galluog ein cenedl yn y 19eg ganrif, a'i gymeryd yn holl amgylchedd ei fywyd cyhoeddus dros y 30 mlynedd diweddaf. Erbyn heddyw mae'r enw "Lleurwg" yn Nghymru, fel enw Dickens yn Lloegr, yn "air teuluaidd," fel nad oes yr un person yn Ngwalia ag y mae y Cymro cynes-galon yn teimlo mwy o wres tuag ato na Lleurwg.

Fel *pregethwr*, mae bob amser yn deall ei destyn a'i gyfadnodau, ac yn profi ar unwaith fod meistr y gynulleidfa o'n blaen, fel nad ydyw yr oes bresenol wedi codi dyn rhagorach am dreiddgarwch meddyliol, coethusrwydd ieithyddol, a dylanwad cyffredinol, na Lleurwg.

Fel *bardd*, pe buasai wedi cyfyngu ei alluoedd i'r awen (a mab i'r awen ydyw) fe fyddai yn arweinydd y genedl cyn hyn; ac nid oes eisiau ond darllen ei awdl ar "Paul o flaen yr Areopagiaid yn Athen," i egluro y mwnglawdd mawr meddyliol barddonol yr oedd yn gallu tynu o hono. Y mae y darluniad mor fyw a phe byddai yr apostol o'n blaen, pan yn dadblygu ei athrylith ger bron ysgolheigion a thalent penaf yr oesoedd mynedol, a dywedwn, y dyfodol. Gwelwn ferthrwydd ei gorph, estyniad ei law; teimlir nerth ei fyrlymiad ymadroddol, ei allu ymresymiadol, a'i ddadblygiad o'r grefydd newydd, nes gorlwytho ei wrandawyr â syndod, fel nad oes dim yn fwy byw, treiddgar, a chywir mewn unrhyw iaith.

Fel *llenor*, pwy sydd wedi llafurio mwy yn y dosbarth hwn? Mae ei draethodau ar bron bob testyn yn iaith ei fam; a phan y byddo rhywbeth o werth yn mhlith y Saeson, pwy mwy parod a phenderfynol i anrhegu ei genedl, y Cymry, â'r cynyrch hyny na Lleurwg? "Llaw-lyfr Dr. Angus," ei erthyglau ei hun ar "Freniniaeth Crist," ei bamphledyn anghydmarol ar "Fedydd drwy Drochiad," &c., &c., nad oes eisiau ymhelaethu arnynt ar hyn o bryd.

Fel *darlithiwr* y mae fwyaf adnabyddus drwy yr holl Dywysogaeth, er, yn ngolwg yr ysgrifenydd, nid ydyw yn rhagori fwy yn y dull hwn nag un o'r doniau eraill, ond yn unig fod amgylchiadau pethau mor gryf nes ei arwain i'r rhediad hyny, a'r llifeiriant mor gryf fel yr oedd rheidrwydd arno i farchogaeth y don neu ynte suddo; ac y mae fel y cyfryw yn sefyll yn uwch o'i ysgwyddau i fyny na'r holl ddarlithwyr eraill yn mhlith pob enwad yn y Dywysogaeth; a gallwn ddyweyd oddiar farn ddiduedd a chydwybodol, wedi gwrando ar ragorolion y Saeson yn un o brif drefydd ein gwlad, a hyny dros flynyddau, nad oedd un gymaint perchenogwr yr esgynlawr a Lleurwg.

Yn *wladwriaethol*, nid oes yr un gweinidog yn Nghymru na Lloegr wedi gwneyd mwy yn y ffordd hono na Lleurwg; a phan y byddo ornest etholiadol yn ymddangos yn y pellder, nid byth y torchir y llewys heb fod Lleurwg yn arwain yr ymgyrch. Saif yn y rhes flaenaf fel pleidiwr rhyddid crefyddol a gwladol; a phwy mwy selog, a'i lais yn uwch dros Ddadgysylltiad nag ef? Gall pob dinas, tref a phentref, o Gaerdydd i Lanelli, brofi hyn.

Ond nid ydyw Lleurwg yn dysgleirio yn un man yn fwy na chartref. Fel dinesydd, y mae ei barch yn fawr iawn,

a'i glod yn uchel. Er profi hyn, safwn ar ben boreu ar risiau y *Museum* yn Llanelli, ac edrychwn i lawr i'r heol sydd o'n blaen yn gwynebu y deau-orllewin. Gwelwn ddyn yn dyfod i'r golwg, yn troedio mor ysgafn a'r plyfyn, a'i fraich aswy o dan aden ei *frockcoat* o frethyn du, a'i het (nid *Jim Crow*, fel y mae arfer llawer y dyddiau hyn,) a'i ben dipyn naill ochr, ei wyneb tua'r llawr, a'i fraich dde yn symud fel cranc agerbeiriant; ac mewn ychydig coda ei ben i fyny, ac yna mae y *nodio* yn dechreu o bob ochr i'r heol. Yn y fan y mae ar ein pwys yn siglo llaw, ac fel ysgyfarnog i mewn ag ef i lyfrgell y dref. Treulia ychydig o amser yno, ac wedi iddo gael ei longyfarch gan bawb tu mewn, ffwrdd ag ef, a ninau yn camu yn gyd-ochrog; a chan ei bod yn ddydd Iau—dydd marchnad Llanelli—cawsom hamdden i weled y symudiadau i gyd, er i mi deimlo i raddau, gan feddwl na chelswn weled y farchnad cyn nos. Er mor lledan oedd yr heol, dyna un yn pen-ogwyddo, y llall yn croesi, a Lleurwg wedi ei amgylchynu, ond ffwrdd ag ef o'r canol i'r ochr arall er mwyn siarad â rhywun oedd yn codi ei law man draw, ac yna wele un arall yn codi ei het mewn man arall, nes yr oeddwn yn credu y buasai yr allwedd yn nghlo porth y farchnad cyn ei chyrhaedd. O'r diwedd dyma ni i fewn i'r lle, ac y mae pawb yno yn adnabod Lleurwg.

Fel *gweinidog*, gall ymffrostio ei fod yn weinidog ar un o eglwysi goreu Sir Gaerfyrddin, a hyny dros fwy nag ugain mlynedd. Hefyd, nid oes harddach capel na Seion, Llanelli, o Lundain i Hwlffordd. Y mae yn ddigon eang, dybygem, i gynwys tua deunaw cant o bobl; y mae *vestry* eang un ochr, a thy anedd y borthores yr ochr arall, y mwyaf tlws a threfnus a welsom erioed. Gadewch i'r darllenydd ddychymygu ei hun ar nos Sabboth yn mis Mai yn cerdded at y capel mewn heol yn llawn o ddynion byw, a'u tynfa i Seion. Cyrhaeddwyd y capel cyn pryd; ond yr oedd ugeiniau i mewn o'n blaen. Gyda bod y llaw ar yr awrlais yn dangos chwech o'r gloch, gwelir dyn tua chanol oed, melynliw ei wyneb, ei wallt a'i farf yn dechreu gwynu, ac yn tueddu i'r moel, ar ei draed, a'r llyfr hymnau yn ei law. Wedi i swn yr organ dewi, rhodda rif y penillion allan, sef yr 175, yn hyglyw, a darllena yr emyn fel y gall bardd sydd yn deall ei ddarllen. Yna dyna y darllen, na chlywwyd ei ragorach erioed oddiar esgynlawr. Hyn drosodd, cawsom weddi, yr hon oedd yn hollol heb eiriau mawrion boliog. Wedi hyny rhoddir emyn arall allan, a thyna y gynulleidfa ar eu traed fel gallt o goed, a'r dyrfa weithiau yn drech na'r organ, a da oedd hyny. Hyn drosodd, rhodda y gweinidog y testyn allan mewn llais uchel,—"Tywysog llu yr Arglwydd y daethum I allan." A yn araf at ei destyn, a'r rhagymadrodd yn arwain at y geiriau, fel yr oedd yn hawdd gwybod y cyfeiriad, a thyna ef ar y testyn—rhanau dealladwy cyffredin, a'r oll yn dangos Iesu Grist fel amddiffynydd ei eglwys; dyna i chwi berlyn o athrylith o'r dyfroedd puraf, a'r farn yw fod meistr cynulleidfa o'n blaen, a'r dyrfa luosog yn hongian wrth ei wefusau. Weithiau gwelir ef yn rhwbio ei ddwylaw, ac ar y pryd arall gwelir ef yn cordeddu un llaw yn y llall, a'u symud fel pe wedi eu hasio yn nghyd; ond pan yn dangos buddugoliaeth y Tywysog, dyna ei ddwylaw yn rhydd, a'i fraich ddeheu yn cael rhoi tro gron o amgylch y

Beibl, yn dangos mai dyna arf y Tywysog, a'i fod i gael yr holl ddaear o dan ei awdurdod, a chyda hyn dyna yr "Amen," wedi pregethu dros dri chwarter awr yn eglurhaol, doniol, ac effeithiol iawn. A dyma ddiolch dystaw yn dylifo dros y wefus, fod y gwas hwn i Grist yn aros hyd y dydd hwn, a'i nerth heb dreulio fwy na 18 mlynedd yn ol, ond yn unig ei fod yn deall yn well i ranu ei nerth. Fel gweinidog, y mae wedi derbyn eneidiau yn seliau bendith am ei lafur yn yr ugain mlynedd hyn. Mae Seion, Llanelli, wedi estyn lled ei phabell a chortynau ei phreswylfeydd, fel yr oedd iddi dair o ferched cyn i Moriah gael ei sefydlu yn eglwys, yr hon yw y gangen olaf hyd yn hyn; a diamheu genyf, os caiff y gwas hwn aros dros ychydig eto, y bydd eisiau adeiladu capel arall, ac eglwys yn barod i ryw weinidog arall o'r De neu'r Gogledd i fod yn gydgyfranog o lafur Lleurwg. Felly y byddo hi, medd pawb drwy yr eglwysi yn Nghymru. Nid yn unig y mae Lleurwg yn boblogaidd fel dinesydd a phregethwr, ond y mae yn wir boblogaidd fel gweinidog. Mae yn byw yn mynwes ei eglwys, a'i eglwys yn ei fynwes yntau; a chymaint ydyw sêl y brodyr a'r chwiorydd yn Seion—rhai o honynt yn rhesu yn uchel yn y lle mewn cymeradwyaeth yn ogystal a meddiant—fel nad oes dim a'u gwahana oddiwrtho ond angau.

*Ei gyfeillgarwch a'i hunan-ymwadiad.*—Nid ar unwaith y ffurfia gyfeillgarwch; ond ar yr olwg gyntaf ymddengys fel yn mhell. Tebyg i'r aur ydyw Lleurwg; pa fwyaf yr ymdrafodir ag ef, dysgleiriaf y mae yn ymddangos. Mae llawer i weinidog ieuanc wedi meddwl mai llew ydyw: ond wedi ymrwbio ynddo cânt ef yn oen; a gallwn ddweyd nad oes neb yn Nghymru yn byw yn mynwes gweinidogion ieuainc yn fwy na Lleurwg. Efe ydyw enaid pob cymdeithas, bydded hi deuluol neu gyffredin; ei ystoriau ffraeth, ei chwerthiniad hapus (fel nas gall neb chwerthin fel Lleurwg), ei gof llwythog, a'i ffordd ddeniadol o lefaru, yn nghyd a'i atgasrwydd at bob rhith o dwyll, sydd wedi ei wneyd yn gymeradwy yn ngolwg pob math o ddynion. Ni chlybuwyd fod Lleurwg wedi bostio ei hun erioed, na dweyd yn anmharchus am unrhyw frawd. Os enill mewn eisteddfod, dim son am hyny; os pregethu nes haner boddi cynulleidfa mewn syndod, dim ail adrodd; os darlithio nes byddo adeiladau eangaf ein gwlad yn siglo o dan gymeradwyaeth y gwrandawyr, dim udganu o'i flaen; os eistedd mewn pob cyfeisteddfod o bwys perthynol i'w dref, a'i gyngor yn cael ei geisio gan bob rhyw ddosbarth o ddynion, ni welir Lleurwg ar flaenau ei draed, ac ni fyn ganmoliaeth. Mae yn foddlon treulio, a chael ei dreulio, mewn dystawrwydd, fel ei Feistr bendigedig o'i flaen. "Ni phâr glywed ei lef yn yr heol."

Fel priod, y mae y mwyaf twym-galon; fel tad y mwyaf tyner, eto penderfynol, fel y mae ei blant hyd yn hyn yn anrhydedd iddo; fel cymydog, y mwyaf parod; ac fel Cristion, y mwyaf didwyll; ac erbyn hyn mae ei enw yn llu ynddo ei hun. Y mae wedi gwylied symudiadau y dref boblogaidd y mae yn byw ynddi, a hyny yn grefyddol, gwladol, a chymdeithasol, fel erbyn heddyw cawn y ddiareb, "Llanelli i Lleurwg, a Lleurwg i Lanelli."

Wel, nid peth bach yw bod yn weinidog dros ugain mlynedd ar eglwys fawr fel Seion, a llwyddiant anghyffredin yn dilyn, nes erbyn heddyw y mae

hi yn llawen fam plant. Rhaid fod y gweinidog wedi canfod llawer o gyfnewidiadau—un to wedi ei symud, ac un arall wedi dod; y cryf a'r heinyf wedi myned yn eiddil a dinerth; y canol oed yn heneiddio; yr henafgwyr a'r henafwragedd wedi myned i ffordd yr holl ddaear, oddiwrth eu gwaith at eu gwobr; y plant wedi priodi, a theuluoedd ar eu henwau; llawer i brofeswr gobeithiol wedi myned yn llongddrylliad arno; cyfeillion ymddangosiadol wedi troi yn elynion, a chanoedd o'r iawn ryw wedi codi yn eu lle. Eto y gweinidog anwyl yn fyw ac yn iach, a'i lais ar furiau Seion mor gryf ac effeithiol ag erioed. Boed iddo lawer o flynyddoedd eto i fyw, a phan y bydd i hwyrddydd ei waith ei ddal, y caiff glywed llais mwynaidd Meistr y winllan yn dweyd, "Da was, da a ffyddlon," &c. Hyn yw dymuniad miloedd yn Nghymru, heblaw

*Cymru.* SCOPEO.

---

## SABBOTH OLAF LUTHER.

### RHAN I.

Ar foreu y chweched Sabboth wedi'r ystwyll yn y flwyddyn 1546, yr oedd yn gynhwrf mawr yn Eisleben, a thyrfaoedd yn prysuro drwy bob heol tuag at eglwys St. Andrews. Canai'r clychau yn fawreddig eto yn siriol. Yr oedd Martin Luther wedi dychwelyd i'w dref enedigol. Daethai yno ar ryw negesau eglwysig am ychydig o wythnosau. Unwaith yn ychwaneg yr oedd pobl Eisleben i glywed taranau y llais nerthol hwnw ag oedd wedi cynhyrfu y byd. Un o'r emynau dewisedig i'w canu oedd yr enwog, "*Eine feste Burg;*" a gwnai deng mil o leisiau cryfion Ellmynaidd i furiau yr hen eglwys grynu wrth adseinio fod Duw yn noddfa a nerth i'w bobl yn amser trallod, a bod gair yr Arglwydd yn aros yn dragywydd. Esgynodd Luther i'r areithfa gyda chamrau a arwyddent wendid; ond fel yr elai yn mlaen gyda gweddio yn daer ar ran eglwys y Duw byw, ymddangosai fel yn cryfhau. Yr oedd yn gweddio mewn gwirionedd â llefain cryf a dagrau. Yr oedd efe wedi byw er mwyn daioni yr eglwys, ac yr oedd efe yn foddlawn marw er ei mwyn. Darllenodd yn destyn Mat. 11 : 25—30, lle mae Iesu yn diolch i'w Dad am iddo guddio y pethau hyn oddiwrth y doethion a'r deallus, a'u datguddio i rai bychain; a diweddai gan anog y blinderog a'r llwythog i ddyfod ato am orphwysfa. Dywedai Luther "fod yr efengyl yn guddiedig oddiwrth rai galluog y ddaear hon. Dewisodd Crist ei ddysgyblion o blith y tlawd a'r isel. Yn ein dyddiau ni pan y tynodd ymaith y gorchudd oddiar ei wirioneddau dwyfol, gwnaeth hyny drwy offerynoliaeth 'tlodion y byd hwn.' Efe a adawodd y Pabau a'r Cardinaliaid gyda'u gwinoedd a'u gwleddoedd. Datguddiodd ei ffyrdd i'r gwaelion. Nid oeddym yn haeddu dim oddiar ei law, ond galwodd efe nyni o'i ras hunan-gynhyrfiol i wybodaeth y gwirionedd. Nid oedd efe yn gofyn am benyd; nid oedd efe yn bygwth cosbau y purdan. Efe a symudai ymaith ar unwaith y baich oddiar yr enaid trwm-lwythog. Ei lais oedd, 'Deuwch.' Nid yw yn dyweyd, Ewch at yr offeiriaid, a phrynwch drysorau yr eglwys; ond efe a ddywed, 'Deuwch ataf fi.' Nid yw ei iau yn drwm, ac yn llethu yr enaid, ond mae yn ysgafn ac esmwyth, ac yn peri llawenydd, sirioldeb, a thangnefedd i'r hwn a'i cymer arno."

Fel yr ai Luther rhagddo yn y dull hwn am amser, torai allan o'r diwedd gydag angerddoldeb mawr, a thrachefn suddai dan arwyddion amlwg fod ei nerth yn pallu. Eb efe, "Hyn a llawer ychwaneg a ellid ei ddweyd oddiwrth y geiriau, ond yr wyf yn rhy wan, ac yn y fan hon rhaid i mi dewi." Yn awr rhedai murmur drwy y gynulleidfa, yn arwyddo cydymdeimlad dwfn ag ef. Ni chlywsid yn awr ond yn unig adsain wan o'r llais taranllyd hwnw a ysgydwasai y ddaear. Daeth Luther i lawr o'r areithfa, ac wrth fyned allan prin yr oedd yn alluog i gerdded yn groes i'r heol i'r ty yn yr hwn yr oedd yn bwriadu aros am dymor gyda ei dri mab a Justus Jonas. Ryw dro yn y prydnawn daeth Melancthon yno i edrych am ei gyfaill, yr hwn erbyn hyn oedd rywfaint yn well. Yr oedd y dref, o dref Ellmynaidd, yn bur dawel. Yr oedd yr ystyriaeth fod Luther yn glaf wedi dwyseiddio hyd yn nod trigolion bywiog Eisleben.

"Agorwch y ffenestr yna," meddai Luther, "a gadewch i mi edrych am unwaith yn ychwaneg ar olygfeydd dyddiau fy ieuenctyd." Ocheneidiai Melancthon, ac ymddangosai fel pe buasai rhywbeth neillduol ar ei feddwl, ac y dymunasai siarad, ond yr oedd efe yn rhy drwm ei feddwl; dodai ei law eiddilaidd ar ei dalcen mawr, gan sefydlu ei olygon mewn rhan ar ei gyfaill claf, ac mewn rhan ar y llawr. Yr oedd yn dywydd rhewllyd, a'r wybren yn glir a dysglaer. Gwelid y ser yn dyfod allan, un ar ol un, ac yn taflu eu llewyrch mwynaidd ar benau y tai. "Gwelwch," ebe Luther, "fel y mae llewyrch y lleuad yn lleddf belydru ar dŵr y *Stadt Kirche*. Ar ol llafur, daw gorphwysdra. Dywed y prophwyd, 'a bydd goleuni yn yr hwyr.' Eisleben," ebe Luther, "Eisleben anwyl!" A chan droi at ei feibion, dywedai, "Fy mhlant, dysgwch ymarfer diwydrwydd a gonestrwydd. Y bobl gyffredin ydyw nerth yr ymerodraeth. Heb eu breichiau cryfion hwy byddai y ddaear yn ddiffrwyth. Yr wyf yn diolch i Dduw am i mi gael fy nysgu i weithio a'm dwylaw, ac i ychwanegu cynildeb at ddiwydrwydd. Tu draw i'r bryniau acw sydd yn awr braidd yn weledig, y gorwedd gwastadeddau Mansfeld. Yno yn y coedwigoedd arferai fy nhad dori coed, a chariai fy mam (Duw a fendigo ei henw) y coed ar ei chefn i'w gwerthu i'r cymydogion, fel y cawsent fwyd i'w plant. Anfonodd fy nhad fi i'r ysgol, lle y dysgwn Lladin yn nghorph y dydd, ac yn y prydnawniau cyfeiriwn fy nghamrau gyda fy mam i'r goedwig, gan ddychwelyd gyda'r hwyr a fy maich ar fy nghefn. Yr oedd yn amser caled y pryd hwnw, ond mae Duw yn gwneyd cefnau ar gyfer beichiau. Pan oeddwn yn bedair-ar-ddeg oed aethum i Magdeburg, fel y gallwn fyned i ysgol y *Franciscan*. Ni allai fy nhad fy nghynorthwyo, ac yr oedd yn rhaid i mi gardota fy mara. Y flwyddyn ddilynol anfonwyd fi i Eisenach, ac yno darparodd Duw ar fy nghyfer fel y darpara ar gyfer y gigfran. Gwaeddais arno, a rhoddodd efe i mi ymborth. Wedi dysgu fy ngwersi, awn allan a chanwn garolau o flaen drysau tai pobl dda Eisenach, a rhoent fara i mi i'w fwyta. Yr oedd fy ffydd yn cael ei dwyn i brawf yn aml; ond yr oeddwn yn parhau i fod yn ymddiriedol yn rhagluniaeth Duw. Dywedai rhai pobl weithiau, "Martin, ti ddyhiryn bychan, paham yr wyt yn cadw twrw fel hyn yn ymyl ein drws?" Ac yna rhedwn ymaith gan ofni fod Maer y dref yn myned i fy rhoddi yn y

carchar. Un diwrnod yr oeddwn bron a rhoddi i fyny yr ysbryd mewn anobaith. Yr oeddwn wedi canu o flaen drysau tri thy, ac wedi cael fy ngorchymyn i fyned ymaith, y naill ar ol y llall. Suddai fy ysbryd ynwyf, a safwn ar ganol yr heol yn llonydd. 'O Dduw,' meddwn, 'a raid i mi roddi fy nghobeithion i fyny o gael dysg, siomi fy nhad tlawd, a dychwelyd i helpu fy mam i gario coed o'r goedwig?' Yr oeddwn yn hollol foddlawn os hyny oedd ewyllys Duw. Ond gweddiwn ar i Dduw drefnu yn wahanol. Ar y mynyd hwnw agorwyd y drws, a dyma lais caredig yn galw arnaf i ddyfod i mewn. Yr anwyl Ursula ydoedd hon, gwraig Conrad Cotta. Mae y ddau yn awr yn derbyn eu gwobr yn Mharadwys Duw. 'Martin,' ebe Ursula, 'yr ydwyf wedi clywed eich bod chwi wedi cael eich troi ymaith yn waglaw oddiwrth y tai gerllaw. Yr wyf wedi eich gweled yn yr eglwys yn fynych; deuwch i mewn i'r ty, fel y caffoch genym rywbeth i'w fwyta.' Yr oeddwn yn grefyddol, Duw a'i gwyr, a gallwn ganu. Cymerodd yr anwyl Cottaiaid fi i'w ty, ac i Dduw y bo'r diolch, a bu i mi fyw gyda hwy yn Eisenach fel pe buaswn blentyn iddynt."

Ar ol gwneyd yr adroddiad hwn am dymor ei ieuenctyd, yr oedd Luther ychydig yn flinedig. Dygwyd lluniaeth iddo, ac ar yr eiliad hwn daeth Pomeranus i mewn.

"Croesaw Bugenhagai," ebai Luther, a'i wyneb claer yn gloewi gan wên, "yr oeddym yn eich dysgwyl yn gynt." "Buaswn wedi dyfod yn gynt," ebe Pomeranus, "oni b'ai fod genyf waith i'w drefnu erbyn y cyfarfodydd yfory."

Ychwanegai Luther, "yr wyf newydd fod yn adrodd i fy mhlant y modd yr arweiniodd Duw fi, ac y gofalodd am danaf yn fy ieuenctyd."

Ebe Pomeranus, "Mae ei lwybrau yn y dyfroedd dyfnion, ac nid yw ei ffyrdd yn ddealladwy eto; cymylau a thywyllwch sydd o'i amgylch ef, a'i farnedigaethau ef ydynt ddyfnion iawn!"

"Ond mae goleuni i'w gael yn y tywyllwch," ebe Luther; "dim ond neithiwr diweddaf y breuddwydiais, a gwelais yr anghrist Pabyddol yn eistedd ar ei orsedd, ac yn ymddyrchafu goruwch pob peth a elwir yn Dduw neu a addolir; a chenedloedd y ddaear yn plygu i lawr ger ei fron, ac yntau yn rhoddi ei draed ar yddfau y cedyrn. Ymddangosai yr archoll farwol wedi gwellhau, ac unwaith yn ychwaneg yr oedd y bwystfil yn meddu llywodraeth ar y ddaear. Arweiniwyd fi yn fy ngweledigaeth dros yr un helyntion ag a welais yn fy ieuenctyd pan anfonwyd fi i Rufain. Nyni fonachod diniwed a dreuliem ein hamser mewn penydiau poenus, ac yr oeddym yn byw ar ymborth gwael. Ein gwledd oreu ydoedd ysgadan sych a bara llwyd. Ond tu draw i'r Alpau yr oedd ffordd lydan a hawdd i'r nefoedd, ffordd oedd yn arwain drwy wlad gyfoethog a phrydferth, yn yr hon yr oedd gwleddoedd breision a gloddestau plygeiniol. Yr oedd y mynachod wedi eu gwisgo â sidan, a'u hystafelloedd wedi eu llorio â marmor, ac ar ddyddiau Gwener, pan yr ymprydient, yr oedd eu bwrdd yn orchuddiedig â danteithion ddigon da i frenin neu ymerawdwr. Ond yr oedd pryfyn llygredigaeth wrth wraidd y cwbl. Yr oedd y dynion yn eu calonau wedi peidio credu yr efengyl. Nid oedd eu crefydd ond enw; nid oeddynt yn meddu ar ddigon o amynedd hyd yn nod i ddarllen yr offeren gyda

gweddeidd-dra cyffredin, ac ni pharchent neb fel dynion o synwyr ond y rhai a alwent Gristionogaeth yn chwedl. Priodol y gallai Pomeranus ddweyd fod barnau Duw yn ddyfnion, gan ei fod yn cosbi dynion am eu hanffyddlondeb drwy gymeryd ymaith eu goleuni, yn rhoddi i'r hwn sydd ganddo, ac yn cymeryd oddiar yr hwn nid oes ganddo, ïe, yr hyn sydd ganddo."

Gogwyddai Luther yn ol yn ei gadair, goddiweddid ef eto gan ei boenau; a phan bron wedi myned i lewyg, adroddodd eiriau yr hen Jacob, "Am dy iachawdwriaeth di y dysgwyliais, Arglwydd."

"Ac mae'r iachawdwriaeth yna wedi dod," ebai Melancthon, gan ymaflyd yn mraich Luther, a'i gynal ef i fyny gan ei fawr wendid.

"Duw Jacob a fu ein noddfa," ebai Pomeranus.

"Fy ngobaith am y diwygiad," ebe Melancthon, "yw, nid am ei fod yn brotestiad tywysogion daearol yn erbyn traws-arglwyddiaeth y Babaeth, ond am ei fod yn sylfaenedig ar fywyd crefyddol. Lle mae Ysbryd yr Arglwydd yno mae rhyddid, ac yno mae gwirionedd. Dyna'r ysbryd sydd wedi bod yn arwain ein hanwyl frawd Martin; a'i freichiau a'i ddwylaw a gryfhasant drwy ddwylaw grymus Dduw Jacob. Gwaredodd fi unwaith drwy ei weddiau taer a llwyddianus oddiwrth ddrws Hades. Yr oeddwn yn cymeryd taith i Hagenow, ac yn Wamar aethum yn glaf; yno daeth Luther o hyd i mi yn gorwedd ar wely heb wybod bron oddiwrthyf fy hun. Troai at y ffenestr gan alw ar Dduw Sabaoth â llef nerthol am fy adferiad. Yna gan wasgu fy llaw, dywedai, 'Philip, bydd yn galonog, ni byddi farw ond byw.' Yr oeddwn ar lawr o ran meddwl yn gystal a chorph, oblegid credwn yn sicr fod anfoddlonrwydd Duw yn gorphwys arnaf am fy mhechodau, ond efe a'm cysurai gan fy sicrhau o drugaredd anfeidrol Duw, ac nad yw efe yn ymhoffi yn marwolaeth yr un annuwiol."

Ymsiriolai calon Luther unwaith eto wrth glywed Philip yn siarad am yr amlygiad hwn o ddaioni Duw. Ebai efe, "Bu gair Duw yn llusern i'm traed ac yn llewyrch i'm llwybrau. Arweiniodd Duw fi ar hyd ffordd nad adwaenwn. Profodd fi fel y profir aur. Cefais fy mreintio yn fawr drwy gael rhieni crefyddol. Yr oeddynt yn meddu colliadau, oddiwrth ba rai y mae Duw yn ei drugaredd yn awr wedi eu gwaredu. Ond yr oedd fy nhad yn onest, cynil, a diwyd. Yr oedd yn gas ganddo fywyd segur y monachiaid, ond adwaenai y pur o galon yn mha le bynag y byddent. Yr oedd fy mam yn wir yn wraig dduwiol, yn esiampl gan bawb a'i hadwaenai; a'i gofal blaenaf ydoedd dyferu ofn Duw i fy nghalon ieuanc, yr hwn yw dechreuad doethineb. Yr wyf yn cofio yn dda weddïau fy nhad hyd yr awr hon. Taer yr erfyniai ar Dduw am i mi bob amser ddal mewn cof ei enw sanctaidd, a bod yn offeryn i hyrwyddo llwyddiant y gwirionedd yn y byd. Crybwyllais i mi gael fy nysgu yn ofn yr Arglwydd. Yr oedd hyn yn iawn, ond nid oedd yr ofn hwnw gyda mi yn un o barch. Weithiau yr oedd yn ddychryn; canlyniad oedd o'r ofergoeledd oddiwrth yr hwn yr ydym yn awr wedi ein gwaredu. Ofnwn enw Crist ei hun. Yr oeddwn yn adnabod Duw yn unig fel barnwr a dialydd. Pan y crybwyllid enw Iesu, ni syniwn am dano fel un hawddgar y dylaswn ddynesu ato, ond fel un llidiog, o bresenoldeb yr hwn y dylaswn gadw draw, ac oddiwrth olyg-

on hollwybodol yr hwn y dylaswn ddianc ymaith. Parhaodd y meddyliau hyn i lynu gyda mi nes i mi dyfu i fyny i oedran. Yr oeddwn o duedd grefyddol, a fy mhrif hyfrydwch oedd yn ngherddoriaeth gysegredig yr eglwys. Ni esgeuluswn un amser weddio yn ddyddiol ar Dduw pob gras, ac er na feddwn arweinydd arall, eto yr oedd dychryn fel yn gorwedd tu cefn i fy holl grefydd. Cefais lawer o dreialon, ond buont oll yn is-wasanaethgar i arddangos daioni Duw, ac i wneyd fy ffordd yn oleu fel haner dydd. Mae Duw yn rhoddi i bob credadyn gareg wen, ac ar y gareg wen enw newydd wedi ei ysgrifenu, yr hwn nad edwyn neb ond yr hwn sydd yn ei dderbyn.

## TWYLL OFFEIRIADAETH.

GAN Y PARCH. A. WILLIAMS, GARN, CYMRU.

Mae dosbarth o ddynion i'w cael, y rhai na charant gael eu hadnabod na'u cyfarch ond wrth yr urdd-enw "offeiriaid." Honant iddynt eu hunain uwchafiaeth ar eu cyd-ddynion mewn peth cysegredig, gan geisio eu perswadio i gredu eu bod hwy yn dal agosach cymundeb a'r nefoedd na neb arall, ac yn meddu hawl i wasanaeth na feiddia neb arall ymwneyd ag ef heb wneyd eu hunain yn agored i anfoddlonrwydd y Goruchaf.

Ein gwaith yn yr ysgrif hon fydd gwneyd ymchwiliad i'r pwnc uchod, ac edrych a oes sail yn y Gair Dwyfol i'r fath ymhoniad ag a wneir gan y dosbarth hwn. Pan geir dynion yn ymyraeth â phethau mor gysegredig, yn sefyll rhwng y pechadur a'i Dduw, a thrwy hyny beryglu ei iachawdwriaeth, dylai y rhai sydd yn credu ac yn proffesu pethau gwahanol ac amgenach roddi llafar i'w barn, dynoethi eu twyll, a dwyn eu cyfeiliornadau i oleuni y dydd. Ni ddylid cymeryd eu gair hwy yn dystiolaeth derfynol ar fater mor bwysig heb ymofyn pa beth a ddywed yr Ysgrythyr. Hon yw ein safon i brofi'r ysbrydion, ai o Dduw y maent.

I. *Ymofynwn pwy sydd a hawl ganddynt i'r teitl o "offeiriad" o dan yr oruchwyliaeth bresenol.*—Mae y term "offeiriad" yn un o'r geiriau mwyaf cyffredin yn y Beibl; dygwydda tua deg-ar-hugain o weithiau yn y Testament Newydd, a llawer mynychach yn yr Hen. Nid ydym yn bwriadu son am yr offeiriaid gau a phaganaidd y crybwyllir am danynt yn y Gyfrol Ddwyfol; ond cyfyngwn ein sylwadau i'r rhai a neillduwyd i'r swydd gan Dduw. Rhifedi y dosbarthiadau hyn ydyw y pedwar canlynol:

1. *Yr offeiriaid Iuddewig, y rhai a wasanaethent yn y cysegr dan y gyfraith.*—Gan fod offrymu ac aberthu mewn arferiad yn flaenorol i ffurfiad y genedl Iuddewig yn llywodraeth annibynol, yr oedd y drychfeddwl o offeiriad yn bodoli yn flaenorol i osodiad Aaron a'i feibion yn y swydd; oblegid y mae offrymu ac aberthu yn dermau sydd yn tybied offeiriaid. Y mae y drychfeddwl gan hyny mor hen a gwaith Cain ac Abel, Noah ac Abraham, yn aberthu i'r Arglwydd. Nid yw y swydd offeiriadol er hyny yn dyfod i oleuni clir a diamheuol hyd nes y sefydlwyd teulu Aaron, o lwyth Lefi, ynddi, yn mhlith plant Israel.

Yr oedd hon yn swydd nad oedd hawl gan neb i ymyraeth â hi oddieithr fod Duw mewn modd neillduol a chyhoeddus yn eu dewis iddi. Am hon y mae yr awdwr at yr Hebreaid yn son pan yn dweyd "nad oes neb yn cymer-

yd yr anrhydedd hwn iddo ei hun, ond yr hwn a alwyd gan Dduw megys Aaron." Cafodd Aaron a'i feibion eu galw a'u neillduo i'r swydd hon gan yr Arglwydd. (Gwel Ex. xxviii.) Cawsant eu gwisgo, eu heneinio, a'u cysegru iddi yn ngwydd holl gynulleidfa Israel er mwyn dangos iddynt nad oedd hawl gan neb arall i ymwthio iddi. Cawn engreifftiau yn y Gair Dwyfol o farn ddisymwth yn disgyn ar bersonau o herwydd ymyraeth â'r swydd hon, a grwgnach yn erbyn y swyddogion. Hyn oedd trosedd mawr Corah, Dathan, ac Abiram yn ngwersyll Israel pan yr agorodd y ddaear ei safn ac y llyncodd hwy yn fyw i fol uffern. Cafwyd prawf diymwad y pryd hwn oddiwrth flodeuad gwialen Aaron yn mhabell y dystiolaeth, mai efe a'i feibion oedd dewisedig yr Arglwydd i'r swydd. (Gwel Num. xvi. xvii.) O herwydd ymyraeth â gwaith yr offeiriad hefyd y cafodd y brenin Uzziah ei daro â gwahanglwyf anfeddyginiaethol yn ei dalcen, fel y bu gorfod arno roddi ei freniniaeth i fyny, ac ymneillduo o fysg dynion dros y gweddill o'i oes. (Gwel 2 Cron. xxvi.) Dengys yr engreifftiau hyn fod y fath gysegredigrwydd yn perthyn i'r swydd offeiriadol fel yr oedd pwy bynag fuasai yn ymyryd â hi yn annibynol ar osodiad dwyfol yn gwneyd eu hunain yn agored i anfoddlonrwydd y Goruchaf.

2. *Melchisedec.*—Gan fod Melchisedec a'r Arglwydd Iesu yn dal perthynas mor agos â'u gilydd, fel cysgod a gwrthgysgod, dywedwn yr hyn a fwriadwn am danynt o dan yr un penawd. Ychydig o hanes y dyn rhyfedd hwn sydd ar gael, a hyny yn ddiau sydd yn cyfrif am y lluaws barnau a fodolant yn ei gylch, llawer o ba rai sydd yn ddychymygion gwylltion a disail. Nis gallwn wneyd yn well yn bresenol na chadw o fewn terfynau y Beibl, ac ymlwybro yn araf yn ngoleuni yr ychydig wybodaeth sydd genym.

Yr oedd Melchisedec yn frenin Salem, ac yn offeiriad y Duw Goruchaf. Cawn ei hanes gyntaf yn Gen. xiv., lle y dywedir iddo gyfarfod ag Abraham yn dychwelyd o ladd y breninoedd, ac iddo ei fendithio, a derbyn degwm ganddo o'r hyn oll a feddai, yr hyn oedd yn profi ei fod yn uwch nag ef, oblegid "yr hwn sydd leiaf a fendithir gan ei well."

Yr ydym yma yn cael golwg ar Abraham yn cynrychioli y llwyth ag oedd i dderbyn degwm gan holl feibion Israel, yn teimlo fod rhywun mwy a rhagorach nag ef yn ei bresenoldeb, yr hwn oedd yn teilyngu degwm hyd yn nod gan yr offeiriad ei hun.

Sylwn yn mhellach ar yr hyn a awgrymir gan yr awdwr at yr Hebreaid am dano.

(1.) Ei neillduad i'w swydd yn annibynol ar gysylltiad perthynasol. Cyn cael derbyniad i'r swydd offeiriadol, yr oedd yn rhaid i ddyn brofi ei berthynas naturiol ag Aaron. Heb roddi prawf o hyn nid oedd a fynai â hi o gwbl. Ond am Melchisedec, nid oedd ei dad na'i fam, na neb o'i achau yn perthyn i'r llinach offeiriadol; nid oedd iddo na blaenorydd nac olynydd perthynasol yn y swydd. Yr oedd yma gyfrynguad goruwch-naturiol yn ei ddewisiad iddi, yn annibynol ar unrhyw berthynas gnawdol.

Yr oedd Melchisedec yn hyn yn debyg i Fab Duw; nid o'r llwyth offeiriadol yr hanodd y Ceidwad, ond o lwyth Judah—"Canys hysbys yw, mai o Judah y cododd ein Harglwydd ni, am yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim tuag at yr offeiriadaeth." Yr

oedd Crist felly yn offeiriad yn ol urdd Melchisedec, ac nid yn ol urdd Aaron.

(2.) Ei arosiad parhaus yn ei swydd. Yn ei gysylltiad â'i swydd y dywedir ei ei fod heb "ddechreu dyddiau na diwedd einioes." Fel *dyn* yr oedd iddo bob un o'r ddau; ond nid fel dyn yn gymaint y sonir am dano yn yr hanes, ond yn y cymeriad o swyddog, sef offeiriad i'r Duw Goruchaf. Mae ef a'i swydd mewn undeb â'u gilydd yn y crybwylliad cyntaf a wneir am dano, ac felly y parha heb neb yn ei ddilyn. Mae yn hyn eto yn debyg i Fab Duw. Efe oedd y cyntaf a'r diweddaf o'r llwyth y perthynai iddo i wasanaethu fel offeiriad mawr ar dy Dduw; a chan ei fod ef i aros ynddi byth, diangenrhaid i neb arall geisio ymwthio iddi. Nid yw ymyriad yr offeiriaid Pabaidd, &c., â'r swydd hon yn ddim amgen na chysegr-yspeiliad, ac ymgais beiddgar i geisio difreintio Mab Duw o'r teitl a enillodd iddo ei hun wrth farw ar y groes.

(3.) Cysylltiad yr offeiriadaeth â'r freniniaeth. Yr oedd Melchisedec gyda'i fod yn offeiriad, yn frenin ar Salem. Nid oedd yr orsedd, y goron, a'r deyrnwialen yn perthyn o gwbl i lwyth Levi; perthyn i Judah oedd y deyrnwialen, a chydrhwng ei draed ef yr eisteddai y deddfwr; ond yn mherson Melchisedec, dyma frenin Salem ac offeiriad y Duw Goruchaf yn cydgyfarfod.

Mor gyflawn mae y cysgod hwn yn cael ei lenwi yn yr Arglwydd Iesu. Gwrandawer ar y prophwyd Sechariah yn ei ddarlunio: "Wele y gwr a'i enw *Blaguryn;* o'i le hefyd y blagura, ac efe a adeilada deml yr Arglwydd; ïe, teml yr Arglwydd a adeilada efe; ac efe a ddwg y gogoniant, ac a eistedd ac a lywodraetha ar ei freninfainc; a bydd yn offeiriad hefyd ar ei freninfainc; a chyngor hedd fydd rhyngddynt ill dau." (Pen. vi.)

Iesu yw y brenin sydd yn llywodraethu yn nghalonau y saint ar y ddaear, ac efe hefyd yw yr offeiriad mawr sydd yn dadleu eu bywyd ger bron y Tad yn y nef.

Dyma'r goron a'r feitr, yr orsedd a'r allor, y thuser aur a'r deyrnwialen hedd yn meddiant yr un gwr. Mae sylwedd mawr y cysgodau yn llenwi y darlun hwn hyd at yr ymylon, a chwaneg hefyd.

3. *Adnabyddir y saint yn gyffredinol wrth yr urdd-enw hwn.*—Nid oes genym un engraifft fod yr apostolion yn cael eu hadnabod wrth y teitl hwn ar gyfrif eu swydd, ac ar wahan oddiwrth eraill; offeiriaid ydynt hwy yn yr un ystyr a phawb eraill o blant yr Arglwydd.

Mae Paul, wrth ysgrifenu at y saint yn Ephesus, yn rhoddi rhestr o'r swyddogion osododd Crist yn yr eglwys: "Efe a roddes rai yn apostolion, a rhai yn brophwydi, a rhai yn efengylwyr, a rhai yn fugeiliaid ac yn athrawon."—(Pen. iv.) Nid oes yma son am offeiriaid, ac nis gellir meddwl fod un o'r enwau uchod yn gyfystyr a'r term hwnw. Os oedd offeiriaid yn gwneyd i fyny rai o swyddogion yr eglwys foreuol, nis gellir cyfrif am waith Paul yn eu gadael allan yn y fan hon.

Rhydd yr apostol amryw gyfarwyddiadau i Timotheus a Titus gyda golwg ar y cymwysderau angenrheidiol i gyflawni swydd esgob a diacon; ond nid oedd y cyfeiriad lleiaf at y swydd offeiriadol, na chymwysder iddi, a'r unig reswm a ellir ei roddi am hyny ydyw, na fwriadwyd iddi fodoli.

Pan gyferchir yr eglwysi gan yr apostolion, galwant eu hunain yn "frodyr,"

yn "weision," yn "wasanaethwyr," yn "apostolion," yn "genadon," &c., ond nid un amser yn offeiriaid. Mae dystawrwydd y gweinidogion crefyddol cyntaf o ethryb y swydd hon yn brawf diymwad mai dynion llygredig oddiar uchder eu ffroen a balchder eu calonau, ddarfû ei ddyfeisio mewn oesau diweddarach; a lle bynag y gwelir yr ymyrwyr hyn yn llywodraethu ar gydwybodau eu cyd-ddynion, yno y mae cartref creulonder, a chynullfan gormes a thrais. Nid rhyfedd pe byddai trugaredd Duw wedi blino, ei amynedd wedi treulio allan, a'i ddigofaint barnol yn cael ei dywallt arnynt am ladrata oddiar ei anwyl Fab yr hyn nid yw yn deilwng i neb ond efe.

Gelwir Cristionogion mewn amryw fanau yn "offeiriaid," ac awgrymir hyny mewn lleoedd eraill oddiwrth y gwasanaeth a briodolir iddynt. (Gwel 1 Pedr 2: 5—9; Heb. 8: 15; Dat. 1: 6; 5: 10; 20: 6.) Gwelir oddiwrth y cyfeiriadau uchod fod pob gwir gredadyn yn dyfod i hawl o'r undeb hon yn rhinwedd ei berthynas â Christ, yr offeiriad mawr.

II. *Sylwn ar y gwasanaeth sydd yn dyfod i ran y saint fel offeiriaid.*—Nid yw plant yr Arglwydd yn cael eu hadnabod wrth unrhyw enw nad yw y syniad o wasanaeth yn cael ei gyfleu ynddo, megys "milwyr," "rhedegwyr," "adeiladwyr," &c. Dengys yr enwau hyn wasanaethgarwch crefyddwyr iddynt eu hunain, i'w cyd-ddynion, ac i'w Duw.

Felly hefyd, fel offeiriaid sanctaidd, y mae ganddynt eu dyledswyddau cysegredig i'w cyflawni. Sylwn ar rai o honynt:

1. *Maent i aberthu.*—Cyn i bechod wneyd ei ymddangosiad nid oedd eisiau aberth nac aberthu. Yr oedd dyn yn gallu dal cymundeb digyfrwng â Duw; yr oedd ei natur bur a'i gymeriad sanctaidd yn ei alluogi i edrych yn ngwyneb ei Greawdwr gyda chydwybod ddirwystr. Ond oddiar y pechod, mae yn angenrheidiol iddo wrth gyfryngau; rhaid cael aberthau pan yn agoshau at Dduw i gyflwyno gwasanaeth iddo.

Nid oedd goruchwyliaeth yr aberthau yn darfod pan fu Crist farw; nid diddymu yr aberthau ddarfu'r Gwaredwr, ond newid eu natur. Yn lle dwyn anifeiliaid fyrdd i gysylltiad â chyllell lem y swyddog Iuddewig, rhaid i bob Cristion offeiriadu arno ei hun, gan "roddi ei gorph yn aberth byw, sanctaidd, a chymeradwy gan Dduw." Mae Crist yr aberth difai wedi rhoddi terfyn bythol ar aberthau meirwon y gyfraith; mae yr holl wasanaeth mwyach i fod yn rhesymol wasanaeth, yn llawn bywyd, ac o natur ysbrydol. Mae y drafferth o chwilio'r meusydd am y glanaf a'r brasaf o anifeiliaid, wedi ei arbed yn y pridwerth a gafwyd yn "Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Yr oll a ofynir yn bresenol ydyw dibyniad arno, a llwyr ymroddiad yn gyrph ac eneidiau i'w wasanaeth. Mae yr ymadrodd, "roddi o honoch eich cyrph yn aberth byw," yn cymeryd i fewn yr oll o'r dyn, yn bersonol a pherthynasol; mae ei eiddo, ei amser, a'i lafur, a'i alluoedd, i fod dan dreth i achos y Meistr mawr. Mae llwyddiant crefydd a chysondeb crefyddwyr yn galw am hyn; mae yr Arglwydd yn cyrhaedd ei amcanion gogoneddus yn yr efengyl trwy offerynau a moddion neillduol. Yr offerynau yw ei blant, a'r moddion yw y gwasanaeth a gyflawnir ganddynt. Ni fydd crefyddwyr yn gyson â hwy eu hunain os na fydd ymdrech a llafur yn nodweddu

eu bywyd; oblegid pa ddyben dymuno "Deled dy deyrnas," heb gynorthwyo mewn modd arianol y cymdeithasau sydd wedi eu sefydlu er ei llwyddiant?

Os mynir gweled deiliaid yr Ysgol Sabbothol yn dyfod yn aelodau defnyddiol yn eglwys Dduw, rhaid peidio gwarafun amser, llafur ac amynedd, i'w dysgu yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd; os am weled pechod yn cilio, annuwioldeb yn diflanu, sancteiddrwydd yn ffynu, a Duw yn cael ei ogoneddu, rhaid galw ar ein henaid a'r cwbl sydd ynom i faes yr ymdrechfa.

2. *Y saint sydd i ofalu am sancteiddrwydd ty Dduw.*—Rhan o ddyledswydd yr offeiriaid gynt oedd trefnu y cysegr yn nghyda'i holl ddodrefn, cadw tân i losgi yn wastadol ar allor y poeth offrwm, chwilio a glanhau y rhai gwahanglwyfus, trwsio a goleuo y lampau, yn nghyda gweinyddu mewn amryw buredigaethau. Mae dyledswyddau y saint yn gyffelyb, ond mewn ystyr uwch a mwy ysbrydol. Hwy sydd i ofalu fod pob sothach ac anmhuredd i gael ei garthu allan o'r eglwys, na byddo i ddeddfau y ty i gael eu hanwybyddu, iawn weinyddiad yr ordinhadau, dwyn yr afreolus i gyfrif, nerthu'r gweiniaid, a chysuro'r ffyddloniaid. Dylai fod eu cariad at eu gilydd ac at Dduw fel tân dwyfol yn cynesu eu calonau, a pheri iddynt ymdoddi i'w gilydd, nes eu gwneyd yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu'r Arglwydd.

Pe ceid pob crefyddwr i ystyried ei ddyledswydd, i adnabod ei le, a gwneyd ei oreu dros ogoniant yr achos yn y cylch y byddo yn troi ynddo, nid hir y byddid cyn gorfodi y rhai a gam enwir yn offeiriaid y dyddiau hyn, i chwilio am swyddogaethau eraill mwy cyfaddas i'w galluoedd, a mwy teilwng o'u personau; a diau mai dyma pryd y ceid gweled pechaduriaid wrth y lluoedd yn gadael eu ffyrdd drygionus, ac yn dychwelyd at yr Arglwydd. Llefarydd ein calon fyddo, "Er mwyn Seion ni thawaf, ac er mwyn Jerusalem ni ostegaf, hyd onid elo ei chyfiawnder hi allan fel dysgleirdeb, a'i hiachawdwriaeth hi fel lamp yn llosgi."

3. *Maent i offrymu gweddiau.*—Mae hon eto yn ddyledswydd a braint sydd yn perthyn, nid i ryw bersonau neillduol, ond i bob Cristion yn ddiwahaniaeth. Nid yw ein gweddiau i fod yn gyfeiriedig at neb llai na Duw, na thrwy neb llai na'r Cyfryngwr sydd rhwng Duw a dynion, "y dyn Crist Iesu." Mae y syniad fod Pabau yr ochr hyn, a seintiau ymadawedig yr ochr draw, yn cyfryngu rhwng y pechadur a'i Dduw, yn wrthun ac anysgrythyrol. Digon i'r naill yw dwyn eu baich eu hun, ac i'r llall ydyw canmol y drefn a'u dygodd i'r gogoniant.

Mae pob Cristion yn meddu hawl i fyned i lygad y ffynon ei hun i dynu dwfr y bywyd i'w enaid. Mae didwyll laeth y gair y cymhellir ni i'w chwenych yn meddu mwy o faeth er cynydd ysbrydol eneidiau dynion na holl ddefodau glasdwraidd Pabyddiaeth yr oesau. Gall pob Cristion yn rhinwedd ei undeb a'r offeiriad mawr sydd ar dŷ Dduw, fyned yn hyderus a diofn i mewn i'r cysegr ei hun i ddadleu ei fywyd ar sail yr aberth drud.

Meddwn hefyd yr anrhydedd o ddwyn achos ein cyd-ddynion at orseddfainc y gras. Gorchymyn yr Arglwydd Iesu i'w ganlynwyr ydyw fod iddynt weddio dros eu gelynion; a rhoddodd y gorchymyn hwnw mewn gweithrediad ei hun wrth fyw ac wrth farw. Un o'i weddiau olaf ar y groes oedd dros ei elynion, ac erys y weddi hono mewn grym tra fyddo Cristion yn y byd, a phechadur heb ei achub. Mae yn myned trwy argraffiad newydd yn mhob calon newydd a ddygir i garu y gwr a'i hoffrymodd hi yn gyntaf. Gall y tad duwiol ddwyn achos ei fachgen drwg a'i gymydog annuwiol at orsedd gras, a'r gweinidog yr un modd ei gynulleidfa; os nad oes tramwyfa oddiwrth y saint i galonau pechaduriaid, dylem ddiolch fod y ffordd yn rhydd at Dduw, ac oddi wrtho ef mae ffordd agored i galonau dynion.

Mwy o daerineb mewn gweddi am y dylanwadau nefol fyddo yn nodweddu eglwysi Crist yn mhob man y dyddiau hyn.

---

Dyro ateb arafaidd i ofyniad prysur.

## YMADRODDION Y CREAD, A DYN HEB DDEALL.

GAN Y PARCH. E. MORDDAL EVANS.

Y mae dyn yn naturiol ymholi am y dechreuad—am ddechreuad pob peth—ac nis gellir ei atal i ymresymu. Anwybodaeth sydd yn arwain dyn oddiwrth Dduw, eithr y mae gwybodaeth a rheswm yn dwyn dyn a Duw yn nes at eu gilydd. Y mae yn naturiol i ddyn ymresymu; dysga ymresymu cyn dysgu siarad; rheswm sydd yn dysgu dyn i siarad. Breuddwydia am sefyllfa ddyfodol cyn dysgu siarad; rheswm sydd yn ei arwain i dremio ar sefyllfa ddyfodol. Wele Hindw yn eistedd ar lethr bryn, mewn tiriogaeth fras yn nghororau'r India, heb erioed glywed am ddatguddiad. Nid oes haul yn tywynu iddo ond haul natur; nid yw ei ffurfafen yn cael ei goleuo ond gan oleuni gwanaidd y lloer a'r ser; nid oes ganddo Dduw i siarad ag ef oddieithr llafar anian. Yma y mae'n myfyrio, myfyrio a myfyrio: y greadigaeth yn orphwyllog ramantus, y nef yn annhraethadwy ogoneddus, ac yntau yn ymgolli yn nghanol gorphwylledd y golygfeydd. Y mae ei iaith yn anmherffaith, ei amgyffred yn fyr, a'i wybodaeth yn brin; ac er teimlo ei hun yn greadur rhyfedd a damweiniol, eto efe a ymhola am yr *achos*, yn yr olwg ar yr *effaith*.

Nid yw dysgu celfyddyd amgen na dynwared natur. Pan yn son am natur, golygwn agweddau y byd allanol; pan yn son am anian, golygwn y bywyd sydd yn y greadigaeth faterol. Y cerddor cyntaf oedd yr aderyn, a'i ddynwared ef a wna dyn. Y mae canu yn naturiol iddo, ac nid oes eisiau athraw i'w addysgu. Y mae'r arlunydd (*artist*) yn ddyledus i'r hen athrawes hon am ei hyfforddiadau. Trodd dyn ei gefn ar yr haul, a thynodd yr haul amlinelliad o hono mewn cysgod ar y ddaear. Edrychodd dyn ar y lloer yn ei hagwedd gariadlawn yn dawnsio yn y llyn: y lloer yn gwenu ar ei gwyneb ei hun yn ngwydr-ddrychau y moroedd, pan nad oedd gwydr-ddrych arall mewn bodolaeth. Yr haul a'r lloer ydynt dad a mam y gelfyddyd o arlunio, a phan â dyn at y gwaith, nid ydyw yn gwneyd ond yr hyn a wnaeth ei hen athrawes o'i flaen. Pan geisia dyn addurno adeiladau a phalasau ag amliwiau, â yn gyntaf i'r ardd, i blith y blodau, ac yma y gwel wahaniaeth lliw y rhosyn, y pomgranad, a'r lili, ac yntau a geisia eu dynwared. Weithiau ceir plant yn gallach na'u rhieni, a mynych y gwelir yr egwyddor-was yn rhagori ar ei feistr; ond saif natur ar ei phen ei hun. Hon fu yn paentio gyntaf erioed, ond nid oes neb o'i phlant wedi rhagori arni. Pa arlunydd erioed a baentiodd flodeuyn prydferthach na'r lili? Pa gerddor erioed a gyfansoddodd gân bereiddiach na chân yr eos? Gosododd Duw yr athrawes ar ei gorsedd, ac anfonodd ddyn i fod yn ddeiliad ei llywodraeth. Ei gorsedd hi yw yr agosaf i orsedd yr Anfeidrol o bob gorsedd; ei theyrnwialen yw gallu ei Chreawdwr a'i Duw; a'i deddfau ydynt, "Bydded" yr hwn "sydd yn taenu y gogledd ar y gwagle, ac yn crogi y ddaear ar ddim."

Y mae greddf a deddf wedi dysgu dyn i siarad mewn rhan, ac wele y mae yn meddwl, ymresymu, a siarad. Yn ngofal ei athrawes y mae wedi dadblygu celfyddyd a gwyddor, a theimla awydd myned rhagddo bellach. Y mae ei grebwyll fel eryr a'i draed yn rhwym wrth y ddaear. Ysgydwa ei adenydd, ond y mae'n methu ehedeg. Y mae wedi archwilio y cread, ac yn sychedig am wybod a oes byd arall, a chrwydra ei ddychymygion mewn ymchwil tragywyddol. Y pellder mawr sydd rhwng dyn a byd ysbrydol, a gogoniant yr anweledig, yw hanfodiant barddoniaeth. Pan deimla dyn awydd addurno dyffrynoedd, mynyddoedd, a moroedd, rhaid iddo droi at ei athrawes, Natur, i fenthyca *termau* cyfaddas a nerthol, ac wele'r greadigaeth fud yn siarad, fel "pan aeth Israel o'r Aipht"—"Y môr a welodd hyn, ac a giliodd; yr Iorddonen a drodd yn ol. Y mynyddoedd a neidiasant fel hyrddod, a'r bryniau fel wyn defaid. Ofna di, ddaear, rhag yr Arglwydd, rhag Duw Jacob; yr

hwn sydd yn troi y graig yn llyn dwfr, a'r gallestr yn ffynonau dyfroedd." Yn natur y mae'r cydmariaethau, y darluniau, a'r portreadau, fel nas gellir gosod y gweledig allan heb eu cymorth; a pha faint mwy y rhaid i ddyn wrth ei chymorth pan yn siarad am yr anweledig a'r anfeidrol? Pan ddywed dyn fod y goedwig yn ysgwyd, y mae yn siarad iaith syml; ond pan ddywed fod y goedwig yn dawnsio, y mae yn siarad barddoniaeth. Gelwir y *term* yn *draws-ymddwyn*, mewn rheitheg. Pan ddywedir fod y môr yn aflonydd, dyna ymadrodd diaddurn; ond pan ddywedir fod y môr yn berwi, yr ydym yn siarad yn farddonog. Y dwfr yn y crochan sydd yn berwi, ond y mae cyffro tragywyddol y môr fel dyfroedd berwedig. Pan ddywedir fod y ser yn goleuo y ffurfafen, dyna iaith syml; ond pan ddywedir fod miliwn o lampau yn addurno nen palas Caergwydion, yr ydym yn siarad barddoniaeth.

Cymerwn fras olwg ar rai o brif syniadau barddonog y Beibl. Gosodir yr Anfeidrol allan fel bod materol, gan ffugyrau barddonog. "Ysbryd yw Duw," sydd yn llanw y cread. Byddai llai na Duw yn anfeidrol ry fach, a pherson mwy na Duw yn dragywyddol anmhosibl. Oni b'ai barddoniaeth, byddai yn anmhosibl i greadur meidrol ffurfio drychfeddwl am Dduw, ac am yr anweledig a'r ysbrydol. Y rhai hyn ydynt y gwydr-ddrychau a rydd datguddiad i ni, i syllu ar bethau byd arall. Pe cymerem y Beibl yn llythyrenol, byddem mor blentynaidd a'r bachgen hwnw a ofynai i'w fam, "Ai Duw a greodd y wenynen?" A phan atebodd yn gadarnhaol, gofynai y bachgenyn, "Pa fodd y gallodd Duw roddi colyn y wenynen yn ei le heb gael ei fys wedi ei frathu?" Nid oes ond plentyn neu wallgofddyn a geisiant ddyfalu pa fath ffurf sydd i'r Anfeidrol—pa fath lygaid, neu pa fath ddwylaw. "Nid oes gan ysbryd gnawd ac esgyrn."

Yr ydym yn ymholi yn mha ran o'r greadigaeth y mae'r nefoedd. Pan yn gweddio, yr ydym yn dyrchafu ein golygon i fyny, a phan y mae Cristion yn gweddio yn Australia, y mae yntau yn edrych i fyny. "I fyny y mae'r nefoedd," ond "fyny" ein gwrthdraedolion sydd i gyfeiriad gwrthgyferbyniol i'n nefoedd ni. Bodolaeth goleuni a roddodd i ni y syniad am leoliad y nefoedd. Y ser ydynt waith bysedd yr Anfeidrol, ac yr ydym yn dychymygu ac yn dysgwyl fod Duw yn nghanol ei weithredoedd. Yn gymaint a bod goleuni yn anhebgorol i ddedwyddwch cymdeithas, ac yn hyfryd i'r llygad weled yr haul, yr ydym yn chwilio am breswylfod Duw, a nefoedd y nefoedd, yn mro y goleuadau—yn y pellderau draw, heb gofio fod Duw yn ein hymyl. Dywedir yn yr Ysgrythyrau fod y nefoedd yn wlad ac yn ddinas. Gwyddai Israel pa fath wlad oedd Canaan, a pha fath ddinas oedd Jerusalem. Rhaid cael gwrthddrychau agos atom, cyn y gellir dwyn llawenydd ysbrydol a thragywyddol i gylch ein hamgyffredion—pethau yr ydym yn eu gweled, eu teimlo, a'u mwynhau. Cyn y gallwn ffurfio un math o syniad am ddedwyddwch ysbrydol, rhaid cael benthyg y dedwyddwch daearol mwyaf perffeithiedig, i bortreadu y cyfryw. Gallwn dynu darlun o'r nefoedd fel gwlad, neu ddinas, neu deml, neu balas. Gallwn mewn dychymygion dynu darluniau o Dduw, o angylion, seintiau, a cherubiaid, ond byddai yn briodol i ni roddi mewn llythyrenau breision oddi tanynt, "GWAWD—MOCKERY." Nid oes yn y nefoedd na meini, na themlau, nac afonydd, na ffrwythau yn tyfu, na chôr yn canu, na thelyn yn chwareu, eithr dedwyddwch yn cael ei bersonoli. Perffeithrwydd Duw, seintiau, ac angylion, yn boddi dychymyg creadur meidrol.

Uffern, fel y mae ffugyrau y Beibl yn ei gosod allan, sydd "lyn digofaint Duw," "llyn yn llosgi gan dân a brwmstan." Ni raid cael brwmstan llythyrenol i gyfansoddi uffern—dyn allan o gyrhaedd gobaith am drugaredd—mae y syniad o dragywyddol anobaith, yn ddigon i greu uffern mewn amrantiad yn ei fynwes; a phe teflid yr anobeithiol golledig i ganol seintiau y gwawl, byddai y gwawl yn dywyllwch iddo ef;

byddai y dydd yn nos, a'r nefoedd yn uffern.

Tynir darluniau o angau. Amgylchiad yw angau; ond y mae barddoniaeth wedi ei bortreadu, nes y mae angau yn berson byw yn y dychymyg. Gosodir angau allan fel person hagr, neu ysgerbwd o ddyn, heb lygaid i weled dagrau, na chlust i glywed ocheneidiau, eithr a chanddo safn lydan i lyncu plant gwragedd.

Y mae anallu dyn mewn cnawd i amgyffred y gweledig a'r anweledig, yn galw am wisgoedd barddoniaeth, ac addurniadau rheitheg. Yn yr addurniadau hyn y mae cyfeiliornadau ac ofergoeledd wedi cymeryd achlysur, ac wedi heigio yn mhlith cenedloedd gwaraidd ac anwaraidd. Y mae derbyniad rhanol, a gwybodaeth anmherffaith o ddwyfol ddatguddiad, ar ran oes neu genedl, yn arwain y gyfryw genedl yn naturiol i fynwesu syniadau ofergoelus am ymddangosiad ysbrydion.

Mae bodolaeth un bod anweledig yn awgrymu bodolaeth miliwn. Y mae ymddangosiad un angel gynt, yn awgrymu y posiblrwydd i angylion ymddangos yn ein hoes ni; ac y mae eu bod wedi eu gweled, yn awgrymu y gellir eu gweled genym ninau.

O bob gwlad, nid oes un wedi ei henwogi ei hun i'r un graddau a Groeg yn ei Chwedloniaeth; ac i raddau helaeth, yn marddoniaeth Groeg y mae ei chwedlau a'i duwiau yn llechu. Dywedent fod y nefoedd a'r ddaear wedi ymbriodi, ac mewn canlyniad, i lu o dduwiau gael eu cenedlu. Y cyntaf o'r duwiau oedd Chāos, a chanddo ef yr oedd holl hadau anian. Yr oedd gan y Groegiaid dduwiau i gynrychioli gwrthddrychau gwrrywaidd natur; ac hefyd dduwiesau i gynrychioli egwyddorion, doniau, a dygwyddiadau y greadigaeth. Pan welid mellt, a phan glywid taranau, dywedid fod llid duw y taranau yn cael ei gynhyrfu, ac ymgrymid ger bron y duw hwnw hyd nes lleddfu ei gynddaredd. *Mars* oedd duw rhyfel; ac mewn brwydrau dychrynid rhagddo. Duw y dyfnderoedd a barai i'r moroedd heigio pysg a chreaduriaid, ac i'r tonau dragywyddol ymgynhyrfu.

Yr oedd gan y Celtiaid syniadau tra chyffelyb i'r Groegiaid. Galwent *God of Thunder* y Groegiaid yn "Taran," ac edrychent ar eu duw "Taran" megys yr edrychai y Groegiaid ar en *God of Thunder*. Addolai y Groegiaid yr egwyddor rhinwedd fel duwies, a chyfodasant deml i Rinwedd yn nglŷn wrth deml anrhydedd, fel nas gellid myned i deml Anrhydedd heb fyned drwy deml Rhinwedd; hyny yw, yn ol natur pethau, nis gellid cyrhaedd anrhydedd heb gyflawni rhinweddau.

Yr oedd gan y Groegiaid *naw* o dduwiesau cerdd, yn ol dosbarthiadau barddoniaeth. Pan genid clod arwr, dywedid mai'r dduwies Galiope oedd yn nerthu'r bardd. Derbyniodd Galiope ei henw o'r gwreiddair Gal, Galia, neu Gwalia, oddiar hoffder y beirdd Celtaidd o farddoniaeth arwrol. Cerddi arwrol oedd rhan fawr o farddoniaeth y cyn-feirdd Cymreig. Felly yr oedd gan y Groegiaid dduwiesau yn cynrychioli y gerdd yn y naw amrywiol agweddau o'i heiddo.

Nis gallwn dybied fod beirdd ac athronwyr Groeg yn edrych ar y duwiesau hyn yn amgen na ffrwyth dylifiad ffrwd dychymyg gwyllt a gorphwyllog, i'r hwn eithafion y mae iaith farddonog a ffugyrau ymadrodd yn naturiol arwain y bardd. Pan bersonolai barddoniaeth y gwynt, addolid ef gan y werin; pan bersonolai yr awenydd y daran, ymgrymai y werin ger ei bron; pan bersonolid cynddaredd, edrychai y werin arni fel duwies; a phan wisgid rhinwedd fel boneddiges gan holl brydferthwch iaith, edrychai yr anneallus arni fel duwies, trwy gymeryd yr iaith flodeuog am ymadroddion syml. Pan edrychom ar Chwedloniaeth Groeg yn yr un goleu ag yr edrychai ei hathronwyr arni, gwelir hi yn gyfundrefn ogoneddus a gynyrchwyd gan ddychymyg a chrebwyll yn ngwaith dyn yn dadblygu celf a gwyddor,—crebwyll a darfelydd yn ymgais at ymsynied mawredd yr Anweledig. Nid yw awen orphwyllog yn cael y ffrwyn ar ei gwar, hyd nes cael ei hun yn ngwydd-

fod Anfeidroldeb, yn myfyrio ar dragywyddol hanfod, yn plymio ac yn mesur eang derfynau byd ysbrydol.

Y mae gwaith barddoniaeth yn priodoli tafodau i'r greadigaeth fud, a bywyd i wrthddrychau meirw, yn rho'i achlysur i ofergoelion, fel mai y cenedloedd mwyaf barddonog o ran ansawdd eu meddyliau sydd fwyaf ofergoelus, tra yn amddifad o oleuni datguddiad, a diwylliant gwareiddiad. Fel yr oedd efengyl yn lledaenu, a gwybodaeth yn cynyddu, y ciliai y bwganod o ynys Prydain; ac mae'r bwganod bron oll yn mhlith y pethau a fu, erbyn heddyw.

Y mae cyffroadau natur, megys mellt a tharanau, daeargrynfâau, *volcanic eruptions* Ætna a Vesuvius, &c., wedi rhoddi achlysur i anwybodaeth flurfio y syniadau mwyaf ofergoelus. Priodolir arwyddion amryfal, ac olion daeargrynfâau i achosion goruwch-naturiol. Fe fu, ac y mae cenedloedd yn Ewrop yn hygoelus gredu mai tân uffern sydd yn cael ei chwythu yn *eruptions* y mynyddoedd tanllyd. Yn Norway a Sweden dywedir mai y *dwarfs* neu y "tylwyth teg" oedd yn gwatwar y llais dynol yn yr adlais (*echo*). Ond rhydd y Groegiaid eglurhad arall ar yr adsain, sef, mai un o'r duwiesau a siomwyd mewn serch, sydd beunydd yn crwydro ac yn adrodd yr hyn y mae yn glywed.

"Canwyllau cyrff" a "*Jack-o'-lantern*," "*Will-o'-the-wisp*," a "*Spunkie*" y Sais, ydynt o'r un hiliogaeth. Nid ydynt amgen na *phosphurated hydrogen gas*, yn dyfod i gyffyrddiad â'r awyr sych, a thrwy hyny yn tanio yr hyn a gynyrchir gan ddadansoddiant llysiau, neu ddadansoddiant cnawd anifeiliaid mewn lleoedd corsiog. Gynt ystyrid enyniad y cyfryw yn arwyddion angau. Canwyll wen a ragflaenai farwolaeth benyw, a chanwyll goch a ragflaenai wryw. Ond y mae gwybodaeth y gwyddorau wedi argyhoeddi dyn o'r gwir achos.

Y cylchoedd a elwir cylchoedd y tylwyth teg, nid ydynt amgen na *phosphate of potash*, megys *mushrooms*, yn maethu y ddaear, ac yn lledu yn gylch, flwyddyn ar ol blwyddyn, fel y cynyd ac y tyf y ddaear dan faeth y cyfryw, gan eangu y cylch yn raddol.

Y mae rhinwedd ffynonau wedi eu priodoli i allu a dylanwadau goruwchnaturiol, tra mai yn ansawdd fferyllol (*chemical*) y dwfr y mae'r rhinwedd. Mawr fu y son am ffynon Tegla, ffynon Gwenffrewi, a ffynon Elian. Gosodid y melldithiedig yn ffynon Elian, trwy ymgynghori ag offeiriad y ffynon; a phan argreffid y syniad ar feddwl y truan ei fod yn ffynon Elian, yr oedd y syniad yn ofnadwy, a llawer un a wywodd yn y darfodedigaeth, gan y syniad ei fod yn ffynon Elian.

Clywsom lawer o son am "aderyn y corph." Yr aderyn hwn sydd yn arogli y claf, ac yn dyfod heibio gan daraw ei aden yn erbyn y ffenestr. Tarawyd llawer ffenestr gan yr aderyn hwn, lle byddai dyn claf, a'r claf yn gwella eilwaith. "Cwn anwn," neu "Gwn bendith y mamau," nid yw amgen na'r gwynt yn chwibanu yn y cymoedd, a rhwng certh-glogwyni a chreigiau.

Un rhyfedd yw cyfeiliornad, ac un rhyfedd yw ofergoeledd, gan fod y cyfryw yn esgor ac yn heigio cyfeiliornadau. Rhydd athroniaeth resymau dros lawer o ddygwyddiadau yn natur a briodolir i ddylanwad ysbrydion, a dylanwadau goruwch-naturiol—pren afalau yn blodeuo allan o amser; dallhuan yn ysgrechian; ci yn udo; ceiliog yn canu yn ei glwyd yn nhrymder nos; iar yn canu fel ceiliog. Gynt gwnaed defnydd o'r cyfryw fel arwyddion angau. Aeth pobl Llandrillo allan yn un dorf i ladd gwiber fawr oedd yn y coed, a phob un a'i arf. Ond erbyn dal y wiber, nid oedd "gwiber Llandrillo" ond ceiliog *pheasant*.

Fel yr awgrymwyd, y mae tuedd mewn llawer o'r hanesion Ysgrythyrol i fywiogi dychymyg dyn, megys plâau yr Aipht; y ddewines o Endor yn adgyfodi Samuel; ymddangosiad angylion; gweledigaethau a breuddwydion prophwydoliaethol; y dysgyblion yn dychrynu pan rodiai yr Iesu ar y môr, gan dybied mai ysbryd ydoedd. Dywedodd yr Iesu nad oedd "gan ysbryd gnawd ac esgyrn." Ac y mae

Ysgrythyr, athroniaeth, a rheswm, yn ein dysgu fod ysbryd yn anweledig i ddyn mewn cnawd.

Nid y Cymry yn unig sydd wedi ymdroi mewn ofergoeledd. Y mae gwahanol genedloedd Ewrop yn eithafol ofergoelus—o leiaf wedi bod felly. Yr Ellmyniaid, y Ffrancod, y Saeson, y Gwyddelod, a'r Ysgotiaid, a feddent eu chwedlau, eu "tylwyth teg," a'u bwganod, fel ninau. Ac wrth ddarllen chwedlau gwahanol genedloedd, cawn fod yr un ofergoelion wedi ffynu trwy Ewrop ac Asia, a'r syniadau am fwganod yn dra chyffelyb, yr hyn a brawf fod gan ansawdd llenyddiaeth, ffugyrau iaith, ac ehediadau barddoniaeth gwahanol genedloedd, yn nghyda chyffroadau natur, a gweithrediadau deddfau y greadigaeth, ddylanwad mawr, fel achlysuron a arweiniant y meddwl ar grwydr.

---

## ADOLYGIAD.

### Pamphledyn Newydd ar Daenelliad.

Yr uchod sydd bamphledyn o dan *ffug-enw*, ar daenelliad, ac yn erbyn bedydd trwy drochiad, o swyddfa y *Cenhadwr*, cyhoeddiad misol yr Annibynwyr yn America. Ymddangosodd ei gynwysiad yn ddiweddar yn y *Cenhadwr*, a chan ei fod mor ragorol, ac yn derfynol ar y pwnc, ail-gyhoeddwyd ef yn y ffurf hon, i'r dyben, mae'n debygol, i fod yn *text-book* ar fedydd, i bob Annibynwr drwy y wlad. Nid oes angen gwneyd ond dyfyniadau byrion o hono er dangos beth ydyw.

FFORDD "HAWDD" Y PAMPHLEDYN.

"Nid oes modd gwneyd hyny drwy drochi, ond mor *hawdd* y gallesid gwneyd hyny drwy daenellu."

"Mae yn rhaid cael rhywrai cryfach na Phaul i drochi, ond mor *hawdd* y gallasai Paul er ei fychandra a'i wendid, daenellu."

"Felly mae yn rhaid ei gadael, neu gael gweinidog o eglwys arall; ond mor *hawdd* y gallasai Mr. Jacob ei thaenellu."

[Er prawf o'r gosodiadau egwyddorol uchod, darllener Matthew 7: 13, 14, "Ewch i mewn trwy y porth *cyfyng*," &c.]

Matthew 19: 23—"Yna y dywedodd yr Iesu wrth ei ddysgyblion, Yn wir y dywedaf i chwi, mai yn *anhawdd*," &c. Eto: Matthew 19: 21, "Os ewyllysi fod yn berffaith, dos gwerth yr hyn sydd genyt," &c. Luc 13, 24—"*Ymdrechwch* fyned i mewn trwy y porth *cyfyng*."]

GOSODIAD MAWR Y PAMPHLEDYN.

"Mae Jerusalem a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen yn myned at Ioan i'w bedyddio ganddo."

[Y casgliad: Gan fod Jerusalem a holl Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen yn myned at Ioan i'w bedyddio, h. y., eu taenellu, yr oeddynt gan hyny oll yn daenellwyr. Wel, os felly, taenellwyr a groeshoeliodd yr Arglwydd Iesu Grist.]

BEIBL Y PAMPHLEDYN.

"*Fy* rheswm," "Mi feddyliwn *i*," "Wel, nid wyf *fi* i fod yn y weinidogaeth, neu ynte nid yw trochi yn iawn," "Yn profi i *mi*," "Wel, wel, meddwn wrthyf fy *hun*," "Mae yn rhwystr mawr i *mi*," "Yn beth anmhosibl yn fy ngolwg *i*," "Darllenais am weithiau mawrion Solomon," "Darllenais am y cynwrf a gododd Pontius Pilat," "Yn beth annichonadwy yn fy ngolwg i," "Mae yn anhawdd iawn genyf gredu," "Yn beth annhebyg iawn yn fy ngolwg i," "Mae yn anhawdd iawn genyf fi," "Yr wyf yn methu yn lân a gweled," "Yn fy myw nis gallaf weled," "Yn fy myw ni welaf gymaint a chysgod," "Yr wyf yn teimlo anhawsder anorfod, braidd," "Fy ymchwiliadau," "*Bum* yn teimlo unwaith y gofyniad hwn yn penderfynu y pwnc am byth," "Yr wyf yn teimlo anhawsder mawr hefyd i syrthio i farn y trochwyr," "I mi y mae gwadu nad yw plant yn yr *holl genedloedd* yr un fath," "Yn cau allan yn llwyr yn fy ngolwg i," "Mae genyf lawer o waith i ddwyn fy meddwl yr un farn a hwy," "Bum yn teimlo unwaith," "A phwy wyf fi i ymladd yn erbyn Duw?" "Rhaid i mi

gyfaddef yn y fan hon fod yna ofyniad arall," "Yn dyfod yn ddystaw lechwraidd i'm calon," "I mi mae y cyhoeddiad hwn fel adsain," "Yr wyf fi yn gweled," "Y gwir am dani yn fy ngolwg i," "Nid allaf fi feddwl eu gwrthod," "Ac felly ni allaf feddwl cofleidio," "I mi mae yn hawdd iawn," "Yn annheg iawn yn fy marn i," "Yn wir nis gallaf gredu yn wahanol."—[Sylwer mor bur mae Beibl y pamphledyn yn dal o hyd.] "Och, dyma anhawsder eto i mi fwyta credo y trochwyr," "A dyma atalfa ar fy ffordd inau i'w gredu," "Yr wyf yn methu yn lân a gweled paham," "Nid allaf finau ei gydnabod," "Yn ol fy nhyb i efallai nad yw yn iawn," "Yn anhawdd iawn i mi lyncu eu daliadau," "Mae yn atalfa fawr i mi feddwl uno â hwy byth," "Mae yn ddrwg o galon genyf ddweyd hyn," "Ai tybed y maidd neb fy meio i?" "A minau yn rhyw ddygwydd credu Paul o'u blaen hwy," "Yr wyf yn cael gormod o waith," "Och a fina! dyma Sian Jones." [Wel, wel, y *fi fawr* a Sian Jones yn Feibl.] "Ond mae hyn yn fy ngolwg i yn brawf," "O, mae hyn yn anhawsder mawr ar fy ffordd," "Yn atalfa fawr i mi fyned trosodd atynt," "Mae yn anhawsder wedi bod ac yn bod mor fawr yn fy ngolwg," "Yr wyf er's amser bellach," "Yr wyf wedi darllen prif awdwyr yr enwad," "Rhaid i mi addef eu bod wedi fy swyno," "Wedi dyfod ataf fy hun, ac i'm synwyrau," "Wel, wel, a raid i mi ddyweyd nid oes gobaith." [Na raid, na raid, tybed, chwiliwch ychwaneg.] "Yr wyf fi yn barod, er y pethau hyn oll," [I gymeryd eich bedyddio?—os felly, da iawn.] "Ond yr wyf yn barod, o herwydd y pethau uchod, i gydnabod eu bedydd." [Gwell na dim.] "Ymddengys i mi," "Nad ydyw yn anhawdd i mi gredu." [Druan o honoch.]

CHWAETH Y PAMPHLEDYN.

"Bobl anwyl! dyma le i dynu darlun, os fel hyn yr oedd! A allwn ni feddwl am foment eu bod yn newid eu dillad yn yr awyr agored, yn ngwydd y tyrfaoedd o bob ystlen? [Yn mha le y cawsoch y drychfeddwl llednais yna? campus ei chwaeth.] Os nad oeddynt yn newid eu dillad, arswydus—[Arswydus o wlyb ydych yn ei feddwl, fe allai]—oedd ar y gwyr a'r gwragedd yn Sychar, a'r miloedd wrth yr Iorddonen, a'r tair mil ar heolydd Jerusalem."

CYSONDEB Y PAMPHLEDYN.

"A minau, er chwilio a chwilio, yn methu yn lân a chael un gorchymyn i neb gymeryd ei fedyddio, [Wel, dyma hi eto,] ond gwelaf *un* gorchymyn, a dim ond *un* trwy yr holl Destament i gyd yn nghylch bedydd."

TOSTURI Y PAMPHLEDYN.

"Os y trochwyr sydd yn iawn, mae hyn yn resyn." [Yn resyn! ydyw, am danoch oll, ac yn enwedig am bawb a gymer ei dwyllo gan bamphledyn fel hwn.]

---

# Amrywiaethau.

## Gwr Glew am Wneyd Arian yw'r Iuddew.

Ceir Yankee yn lew am wneyd *wooden nutmegs* (per-gnau o goed). Ceir y Swiss yn lew am wneyd oriorau (*watches*). A phwy yn drech na'r Indiad am wneyd gleiniau? Un glew yw'r Ellmyn am wneyd *lager beer*. Enwog yw y Gwyddel am ei *shillalah*. A phwy yn drech na'r Sais, Yspaenwr, Twrc, a'r Americanwr, am redeg i ddyled? Am yr Iuddew, ei brif nod ef ydyw gwneyd arian. Dyna Shylock, nid dyn du ydoedd, ac nid Sais ychwaith, ond Iuddew barfog, glân. Beth am dano? Gwnai hwn ddirwasgu bargeinion ar ddynion mewn angen am arian, nes y gwelwyd hwy wedi hyny o'r herwydd, a'u hesgyrn, mewn ystyr fasnachol, yn ddrylliau mân; ac yntau o'u clwyfau yn sugno ei gysur, llawenydd, a chân.

*Rothschild*—Nid Yankee yw yntau ychwaith, ond Iuddew glew am wneyd arian. Y mae hwn a'i *agents* yn wasgaredig drwy y gwledydd—o hyd ar eu gwyliadwriaeth am gyfleusdra i wneyd y *pile* yn fwy. Y mae ganddo un *agent*

yn Efrog Newydd, yn derbyn tâl blynyddol o $100,000, ac heblaw hyn yn cael cyfran o'r enillion. Enw yr *agent* ydyw August Bellmont. Nid Scotchman yw yntau hefyd, ond Iuddew glew am wneyd arian.

Beth a ddaeth o'r holl aur ag oedd yn y wlad hon pan y torodd y rhyfel allan? August Bellmont a'i prynodd, gan mwyaf. Beth wnaeth y creadur o hono wed'yn? Prynodd *bonds* y llywodraeth ag ef, a gofalodd i'r *bonds* gael eu cadw yn rhydd o'r dreth, er mwyn cyfleusdra i fwyhau y *pile.* Un glew yw'r Iuddew am wneyd arian. Nid yw yr Iuddew un amser yn gofyn arian ar log—gosod ar log yw ei gelfyddyd ef. Ni cheir ond anfynych gan yr Yankee roi arian ar log; ond ceisio arian ar log y mae ef. Dilynwch yr Iuddew, o'r amser y dymchwelwyd y byrddau er's talm yn Jerusalem hyd y dydd heddyw, ceir ef o hyd yn cyfnewid arian, yn rhoddi ar log; a'r canlyniad yw fod rhai o'r teyrnasoedd cryfaf, yn ogystal a'r Unol Dalaethau, bron yn gaeth, *in bonds* gan yr Iuddewon. Gwr glew am wneyd arian yw'r Iuddew.

*Niles.* CHRISTOPHER BACH.

---

## Y Cybydd.

GAN Y PARCH. D. T. PHILLIPS, DIWEDDAR O PORTHYCAWL, CYMRU.

[Dernyn i'w adrodd yn yr Ysgol Sabbothol.]

Gwrandewch, wrandawyr, ar gymeriad a nodau y cybydd. Nid oes genyf ddim yn gymeradwyol i ddweyd am dano, ond yn hollol i'r gwrthwyneb. Y mae yn cael ei amgylchynu gan lawnder, ond yn byw yn brin. Cynildeb y geilw efe hyny, ond cybydd-dra ydyw. Medr fyw mewn palas hardd, ond tebycach yw ei anedd i dwlc mochyn. Dylai gadw digon o weision a morwynion ar ei ystâd, ond y cyfryw ydyw ei ysbryd gwasgfeuol fel y gorfoda lai na haner y nifer priodol i gario'r gwaith yn mlaen. Dylai y rhai sydd yn ei wasanaeth gael eu talu yn deilwng am eu llafur caled, ond lletha hwynt yn y modd creulonaf. Dylent gael ymborth cymwys, ond er arbed arian ceisia y nwyddau gwaelaf. Myn brynu y tê rhataf, y siwgr llwydaf, y blawd melynaf, y ddiod feinaf, a'r tato duaf, ac felly yn y blaen. Y mae wedi ymarfer cymaint â'r nwyddau hyn ei hun, nes y mae wedi ymgynefino â hwynt; ond dyna sydd waethaf, ei fod yn gorfodi ei wasanaethyddion i ymborthi ar y fath foehyneiddiwch. Onid yw yn abwydyn gwael a distadl? Ei ddillad ydynt lwyd a charpiog—digon tebyg wedi eu prynu mewn siop *second hand* er's blynyddoedd lawer. Anhawdd gwybod lliw ei het—rhyw gymysgfa o goch a du ydyw—ie, dyna fe, het gochddu! Y mae pob rhan o'i wisgoedd budron, o'i esgidiau tyllog i'w het gymysgliw, ac yntau, yn mron ffarwelio â'u gilydd. Y gwirionedd yw, y mae yn destyn siarad gan yr holl blwyfolion, ac yn ffieidd-beth gan bawb.

Ond ni chaniata amser i mi fel hyn i sylwi yn fanwl arno yn y golygiad hwn. Rhaid brysio i ddarlunio y creadur diras a dideimlad mewn ystyr gymdeithasol a chrefyddol. Y mae yn ofnadwy i astudio ei gymeriad yn y golygiadau hyn. Nid yw yn briod, am nas gall daflu arian ymaith am fodrwy fechan, a threulion eraill sydd yn nglyn â phriodas. Ofna hefyd y byddai ei wraig ddewisedig yn rhy wastraffus o'i arian, felly penderfyna mai y llwybr diogelaf a doethaf yw byw yn sengl. Cymwysiadol iawn y canodd y bardd am dano:

> "Yr hen lanc a'i grafanc ryfedd,—a welir
> Yn wael yn ei anedd;
> Yn byw heb fenyw fwynwedd,
> Yn eilun byw ar lan bedd."

Beth yw eich barn chwi, wragedd, am ddeiliad o'r fath yn byw o dan deyrnasiad ein brenines Victoria? Oni chareech fod ar y *jury* i benderfynu ei achos?

Symudwn gam yn mhellach. Gofynwch iddo brynu tocyn at ryw achos da. Oh'r brenin anwyl! dyna wefl! Yr ydych o'r diwedd wedi cyffwrdd â'r man tyneraf sydd yn perthyn iddo, sef ei logell. Dywed y cybydd nas gall fforddio *talu* am fyned i gyfarfod, pa mor uchel bynag fyddo amcan y cyfarfod hwnw. Talu *swllt* am fyned i wyl de, yn ol ei farn ef, sydd hollol afresymol. Os dygwydd iddo fod mor hael a phrynu tocyn, gofala am i'w fol

gwaneus gael mwy na gwerth ei arian, fel nad yw yn werth crefu arno. Os bydd chwech neu swllt i dalu am glywed un o'n prif areithwyr yn darlithio, yn ffug-sancteiddiol baldorddu ei fod, yn hollol anysgrythyrol i godi tal am glywed darlith yn nhy Dduw—y dylid casglu ar ddiwedd yr oedfa, a gadael pob un at ei ryddid i gyfranu yr hyn a ewyllysio, mewn trefn, wrth gwrs, iddo ef gael taflu dernyn tair ceiniog ar y ddysgl, neu yn wir gael y ddarlith am ddim.

Os cynelir Eisteddfod, dyben yr hon yw dyrchafu chwaeth yr oes, a chefnogi ieuenctyd i ymarfer eu galluoedd, ni welir ef byth yn bresenol. Gwastraff ar arian, yn ol ei dyb ef, yw gwobrwyo personau am ysgrifenu rhyw bwt o draethawd diwerth, neu rigwm o benill dienaid, a chefnogi crytiau a chrotesau i fyned yn mlaen yn eu hunanoldeb wrth ymarfer â'r egwyddor o ganu.

Ond gwaeth na'r cyfan, y mae y creadur dichwaeth a diffrwyth hwn yn proffesu crefydd. Ceir y gofid mwyaf oddiwrtho yn eglwys y Duw byw. Os dymunir yn daer arno i gyfranu at ryw achos teilwng, megys adeiladu addoldy newydd, ateba nas gall fforddio i gydsynio â'r fath gais—fod yr hen gapel yn ddigon da, ond adgyweirio ychydig arno. Os ceisir rhywbeth at adgyweirio yr addoldy, y mae ganddo ateb parod—y gwna yr hen dy cwrdd y tro fel y mae—fod ein cyndeidiau yn medru addoli ynddo, ac y dylem ninau ymfoddloni arno—mai balchder yn unig sydd yn cynhyrfu eglwysi i adeiladu capelau newyddion, neu effeithio cyfnewidiadau ar yr hen.

Os dymunir arno i gyfranu ychydig yn rhagor at y weinidogaeth, edrycha yn syn, gan ddywedyd, mai'r peth gwaethaf fedr eglwys wneyd yw codi cyflog y gweinidog—mai goreu oll pa dlotaf y cedwir ef, er iddo gael ei gadw yn ostyngedig, ac fel y byddo yn hawddach ei drin; ac os dygwydd i gyllid yr eglwys gynyddu, y dylai hyny fod yn rheswm digonol iddo ef ac eraill i gyfranu llai. Rhydd y crefyddwr arwynebol ac annheilwng hwn rôt y mis at y weinidogaeth, a thystia nas gall gyfranu mwy. Nid yw braidd yn angenrheidiol i mi hysbysu, ar ol yr hyn a ddywedwyd, nas gwelir enw "Llygad y geiniog" byth mewn un *report* am danysgrifiad tuag at unrhyw gymdeithas deilwng.

Wrth derfynu, beth feddyliech, wrandawyr, am y fath gymeriad? Dychymygaf mai eich ateb unfrydol yw, y dylai gael ei wrthod gan bob gwas a morwyn—ei ddiaelodi yn ddibetrus o eglwys Dduw—ei ysgymuno o gymdeithas bodau rhesymol, a'i alltudio i anialwch Siberia, neu ryw wlad anghysbell arall, i fwyta ei ewinedd—rhywle, rhywle o olwg dynion! Os parha yn yr ysbryd hwn, bydd raid iddo wynebu gorsedd barn Duw yn y cymeriad o ynfyd, heb ddim yn ei feddiant ond enaid i'w golli a'i ddamnio am dragywyddoldeb. Ariangarwyr! chwi addolwyr y ddelw aur! os oes rhai o honoch yma yn fy ngwrando, er mwyn eich enaid gwerthfawr ac anfarwol, cofiwch eiriau sobr y Meistr Mawr, "Pa lesâd i ddyn os ennill yr holl fyd, a cholli ei enaid ei hun? Neu pa beth a rydd dyn yn gyfnewid am ei enaid?"

"Duwioldeb ydyw'r elw,
A phob peth ganddi hi
Sy'n eisiau ar y ddaear,
Ac yn y nefoedd fry;
Mae'n meddu ar addewid
O'r bywyd sydd yn awr,
A'r hwn sy'n para hefyd
I drag'wyddoldeb mawr."

---

## Y Diodty.

GAN D. P. PHILLIPS, COALBURGH, O.

Y mae'r diodty yn fagl yr oes, yn gyngorfan y diafol, yn eisteddfa gwatwarwyr, yn farchnadfa eneidiau, ac yn brif ffordd i ddinystr. Ynddo y dangosir gweniaith o'r radd fwyaf, y ffalsder mwyaf cadnawaidd, a'r heddwch mwyaf ffugiol. Ynddo y ceisir mwynhau bywyd; ond trwyddo y collir ei elfenau. Ynddo yr adeiledir castelli mewn siarad; ond trwyddo y tynir i lawr yn weithredol. Ynddo yr addawa dyn iddo ei hun gyfoeth lawer; ond trwyddo yr amddifedir yn sylweddol o etifeddiaeth deg. Ynddo y porthir ar gibau; ond trwyddo y newynir enaid.

Dyben cerddi y diodty yw yspeilio cynwysiad y llogell, boddi swn magnelau y diafol, a sïo cydwybod i gysgu ar liniau Bacchus. O!'r diodty, diodty! pa hyd y byddi yn garchar anghyfreithlawn i ddynolryw, ac yn llynclyn gobeithion yr oes! Pa bryd y derfydd dy ddylif dinystriol, ac y gollyngir dy garcharorion yn rhydd? a pha bryd y digonir di â gwaed dynol? Yr wyt fel y bedd, ni elli ddywedyd digon. Y mae dinystr yn gerfiedig ar bob peth o fewn dy furiau. Y mae cynwysiad dy wydrau yn pigo fel neidr, ac yn brathu fel sarph. Y mae'r duwch moesol sydd o fewn dy furiau yu dystiolaeth yn erbyn dy fynychwyr. Y mae'r gwaed sydd yn gorchuddio dy loriau, fel gwaed Abel gynt, yn dyrchafu ei waedd yn erbyn dy fynychwyr a'u gweithredoedd, nes cyrhaedd clustiau yr hwn sydd yn preswylio yn y nefoedd.

Chwi ieuenctyd, blodau gardd natur, safon gobaith y byd yn y dyfodol, na wariwch eich arian am yr hyn nid yw fara, a'ch llafur am yr hyn nid yw yn digoni. Na aberthwch gorph ac enaid ar allor y rhai sydd yn byw ar bechod y wlad, ond llwyr-ymwrthodwch â'r dwfr lliwiedig, a rhoddwch eich llaw yn llaw dirwest, a hi a'ch ceidw yn ddiogel, ac a'ch tywys ar hyd canol llwybrau sobrwydd.

---

## Penbleth yn Nghymru

*Gyda "Bedydd Plant ac Aelodaeth Eglwysig."*

GOFYNIADAU YN Y "TYST A'R DYDD" AM HYDREF 6, 1876.

1. A ydyw plant yn ddeiliaid addas i holl ordinhadau Duw?

2. A oes engraifft yn y Testament Newydd o hyny?

3. I ba ddyben y bedyddir plant, os nad ydynt i fwynhau holl freintiau plant Duw?—*Rhiwiog.*

Wrth roddi y gofyniadau, dywed y gofynwr:

"Yr ydym ni, fel Annibynwyr, yn dal fod pob plentyn yn ddeiliad addas bedydd, ac ar yr un pryd yn dal bedydd yn ordinhad sydd yn perthyn i'r eglwys yn unig. Felly, gan mai ordinhad i'r eglwys yw, yna mae yn naturiol i ni gasglu y dylai pob plentyn ag 'a fedyddir gael ei ddwyn i fyny yn yr eglwys; neu ynte i ba ddyben y gwneir eu bedyddio, os na ddysgir iddo hefyd gadw deddf Duw yn ei galon?"

Oni fyddai yn well i'w brodyr yn America eu cynorthwyo i drafod y mater dyrys hwn, ac i ateb y cwestiynau, yn ngoleuni y gwirionedd—*os oes modd.*

---

# Barddoniaeth.

### CYFLWYNEDIG

I MR. A MRS. EDWARD DAVIES, SOHO, PITTSBURGH, PA., AR FARWOLAETH EU HANWYL FERCH, MRS. HEILOR.

Pan y genir dyn i ofid,
Trafferth, galar, ing a phoen,
Y mae'r teulu oll yn unfryd
Yn cydganu gyda hoen;
Ond ar adeg ei farwolaeth,
Pan mae'n myn'd o'i rwymau'n rhydd,
Y mae dagrau heilltion alaeth
Yn dylifo dros bob grudd.

O!'r fath ddybryd anghysondeb!
Canu wrth wel'd angel gwyn
Wedi dod i golli 'i burdeb
A'i drybaeddu yn y glyn!
Ond pan gedy ef fyd pechod,
Ing ac alaeth leinw'r fron,
Braidd na chablant enw'r Duwdod
Am ei ddwyn o'r fuchedd hon!

O! gyfeillion, p'am yr wylwch
Mor ddiatal am eich merch?
Tra mae hi yn ngwlad dedwyddwch,
Wedi cwrdd â phlant ei serch!
Cewch ei gweled hi a'i Rachel,
Hefyd George a'i Mary Ann,
Gyda'r Iesu fry ar oriel
Ucha'r nefoedd yn y man.

Peidiwch wylo deigryn bellach
Yn eich galar ar ei hol,
Ië, peidiwch cwynfan mwyach,
Ni ddymuna ddod yn ol;
Y mae hi yn well ei chyflwr,
Fry uwch colyn, ing a phoen,
Ac uwch cyrhaedd cledd pob bradwr,
Yn ngymdeithas Duw a'r Oen.

Ah! bu angau'n agos atoch,
Pan yn dwyn eich merch i ffwrdd!
Taflodd ei ddu gysgod drosoch,
Ond ni chafodd wys i'ch cwrdd!
Ond er hyny mae e'n dyfod
Er eich tori chwi i'r bedd,
Llefwch heddyw am adnabod
Crist yn Geidwad er eich hedd.

*Pittsburgh, Pa.* H. GWERFYL JAMES.

### ENGLYNION

*A Gyfansoddwyd ar Gyfarfyddiad a fy Nghyfaill Cynwal a'i Briod ar yr Heol, yn Utica, y tro Cyntaf ar ol eu Priodas.*

Pwy rai ydyw y pâr odiaeth—a welaf
Yn wylaidd eu tremiaeth?
Am eu gwedd hwy, i'm gwydd ddaeth,
Oes y mae naws amheuaeth.

N' wirionedd *pwy* y rhai yna—hefyd,
I'n cyfer a nesa?
Cynwal 'n wir, a'i!—cynil, na!
Ai tybed, pwy ateba

Hyny? wel, ie, wir, Cynwal yw—ai wraig,
Yr hon sydd hardd fenyw
Dda, a'i gwefr yn ddigyfryw,
Heb hon ni wnai "ddechreu byw."

Ha! y nhw eu dau 'n enw dyn—ydynt,
Osodwyd mewn rhwymyn;
Iē, osodwyd yn sydyn,
'R oeddwn i o'r si yn syn.

Cerwch, a cenwch, Cynwal—hyn fythol
Ni fetha eich cynal,
Yn goeth ac yn ddoeth i ddal
O nodwedd ddianwadal.

Hawddamor! o'r dydd yma—da ichwi,
Boed iechyd, boed bara,
Boed drwy hyn *fyd* heb draha,
O law'r Ior, o liw'r eira.

GIRALDUS.

### CYDYMDEIMLAD.

Cydymdeimlad!—Beth yw hwnw?
Hunan brofiad mewnol dyn,
Cura 'i galon dros y gwelw,
Tra mewn erch gyfyngder blin;
Dagrau gloewon dros y gruddiau,
Yn arwydd cydymdeimlad byw,
Calon gydia wrth galonau,
Nid estronol deimlad yw.

Weli di y Cristion siriol
Yma'n byw mewn galar dir,
Er ei guro, eto'n wrol
Ac er bod mewn ymdrech hir;
Ffrydio mae rhyw fyrdd o ddagrau,
Gan eneinio ei gyd-ddyn,
Ar ei ran mewn taer weddiau,
Tra mewn erch gyfyngder blin.

Cofia ddyn, O! paid a gwgu,
Bydd yn dirion wrth dy frawd,
Bydd yn gymorth, gwna ddaioni,
Paid a thaflu arno wawd;
Cyfnewidiol iawn yw amser,
Cymysgedig teg a loes,
Tra yn nghanol dirmyg lawer,
Rhoddir help i ddwyn y groes.

Os am weled darlun bywiol
O bur deimlad, llwyraf, cun,
Hwn ganfyddwn yn y Dwyfol
Pan y wylodd dros wael ddyn;
Wrth y bedd bu'n cydymdeimlo,
Gyda dagrau ar ei rudd;
Uwch Caersalem bu yn wylo
Am ei chyflwr tost a phrudd.

*Ashton, Pa.* NATHAN.

### AFON ANGAU.

Trwm meddwl fod afon i'w chroesi
Wrth adael yr anial lle'r y'm,
'R wy'n ofni wrth feddwl am dani,
Nis gallaf amgyffred ei grym;
Yn derfyn i'r bywyd mae'r afon,
Man safodd myrddiynau cyn hyn,
Mewn dychryn wrth ganfod argoelion
Mor anhawdd myn'd trwyddi a'i glyn.

Gofidiau a gefais wrth geisio
Myfyrio pa fodd yr af fi
Drwy ddyfroedd yr afon heb suddo,
A'm cludo i lawr gyda'r lli';
Gan hyny mi roddaf i'r Iesu
Fy hunan yn gyfan i gyd,
Mae ganddo i'm gwared y gallu,
I gadw y daeth ef i'r byd.

Mae Iesu fy Ngheidwad yn gwybod
Trwy brofiad fawr ddyfnder ei dw'r,
Yn gadarn y gwnaeth ef ei gwaelod,
Af trwyddi yn rhinwedd y Gwr.
Neb arall ond Iesu,'r galluog,
Digonol i gynal y gwan,
A'm harwain drwy'r afon ddu, donog,
Yn ddiogel cyrhaeddaf y lan.

*Upper Lehigh, Pa.* R. THOMAS.

### EMYN.—Y BEIBL.

A pheraidd gân clodforwn Dduw,
Am roddi 'n rhad i ddynolryw,
O'r nef oleuni clir,
I'n cyfarwyddo ar ein taith
Drwy yr anialwch dyrys, maith,
I'r addawedig dir,

O, gyfrol anwyl! ynddi cawn
Faes ëang, o drysorau 'n llawn,
Mwy gwerthfawr nag aur coeth;
Wrth chwilio yn y gair dilyth
Y tlawd wneir yn gyfoethog byth,
A'r gwirion wneir yn ddoeth.

Am hyny geiriau pur ein Duw
Fydd ein hyfrydwch tra f'om byw,
A'n cysur yn y glyn;
Pan elo 'r eang fyd ar dân,
A'i gedyrn gaerau 'n chwilfriw mân,
Saif gair ein Duw pryd hyn.

*Utica, N. Y.* J. D. MORGAN.

# YSTADEGAU CYMANFA DWYREINBARTH PENNSYLVANIA, 1876.

| EGLWYSI. | Ysgrifenwyr yr Eglwysi. | Gweinidogion. | Swydd. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derb. trwy Lyth. | Goll. trwy Lyth. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif yr Aelodau | Canolrif yr Ysgol Sul. | Arian yr Ysgrifenydd. | Arian Traul y Gymanfa. | At y Genadaeth Dramor. | At y Genadaeth Gartrefol. | At y Gartrefol Gymreig. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Ashland | T. M. Davies | L. M. Roberts | Schuylkill | 11 | 3 | 7 | 9 | 5 | | 70 | | $1 00 | $2 00 | $5 00 | $5 00 | |
| Arnot | | | | | | | | | | | | | | | | |
| Ashton | John E. Jenkins | D. S. Thomas | Carbon | 6 | 2 | 6 | 1 | 1 | 1 | 67 | 100 | 50 | 1 81 | | | |
| Audenried | B. D. Evans | B. Nicholas, *a.* | Carbon | | 4 | 5 | | 5 | | 56 | 154 | 1 00 | 1 00 | | | |
| Carbondale | J. W. Edwards | | Luzerne | | | | 2 | | | 30 | 30 | 1 00 | 2 00 | | | |
| Danville | Wm. Rees | | Montour | 2 | 1 | 2 | 1 | | 2 | 40 | 48 | 1 00 | | | | |
| Frostburgh | J. Hatten | D. R. Jones | Maryland | 8 | | 1 | | 4 | | 101 | 120 | | 2 00 | | | |
| Hyde Park | B. Hughes | *E. Lloyd* | Luzerne | 23 | 16 | 10 | 21 | 7 | 6 | 346 | 500 | 2 00 | 8 00 | | | |
| Jermyn | S. Morgan | | Luzerne | 2 | 4 | 6 | 9 | 2 | 1 | 25 | 50 | | | | | |
| Johnstown | | D. J. Evans | Cambria | | | | | | | | | | | | | |
| Kingston | W. J. Samuel | Jas. R. Price | Luzerne | 4 | 7 | 10 | 2 | 5 | 1 | 60 | 75 | 1 00 | 5 00 | 3 27 | | |
| Mahanoy | Ed. T. Morgan | W. D. Thomas | Schuylkill | 1 | 2 | 4 | 4 | 2 | 2 | 91 | 90 | 1 00 | 2 00 | | | |
| Minersville | J. R. Hughes | J. R. Jones | Schuylkill | 11 | 5 | 5 | 3 | 3 | 1 | 72 | 90 | 1 00 | | | | |
| Morris Run | | | | | | | | | | | | | | | | |
| Nanticoke | J. Williams | J. P. Harris | Luzerne | 27 | 11 | 4 | 7 | 5 | 3 | 123 | 122 | 1 00 | 2 28 | 6 50 | | |
| Olyphant | Evan Miles | B. E. Bowen | Luzerne | 4 | | | 1 | 2 | 1 | 45 | 52 | | 1 00 | | | |
| Parsons | T. R. Thomas | | Luzerne | 8 | 13 | 2 | 2 | 9 | 1 | 75 | 90 | 1 00 | 4 00 | 4 69 | | |
| Pittston | J. W. Evans | H. C. Parry | Luzerne | 7 | 3 | | 3 | 4 | 2 | 135 | 170 | 1 00 | 1 00 | 7 98 | | |
| Plymouth | J. W. Powell | Ed. Jenkins | Luzerne | 9 | 8 | 21 | 14 | 10 | 2 | 130 | 171 | 1 00 | 2 00 | | | |
| Pottsville | W. T. Jones | R. Edwards, *a.* | Schuylkill | 8 | 2 | | 3 | 5 | 3 | 39 | 25 | | | | | |
| Providence | Ll. Roberts | | Luzerne | 1 | 3 | | 3 | 7 | 2 | 36 | 48 | 1 00 | | | | |
| Shenandoah | Ed. Capper | J. T. Jones | Schuylkill | | 4 | 2 | 4 | 1 | | 45 | 80 | 1 00 | 1 00 | | | |
| Slatington | J. J. Roberts | *J. B. Roberts* | Lehigh | | | | | | | 17 | 55 | 1 00 | | | | |
| St. Clair | T. B. Lewis | | Schuylkill | 5 | | | 3 | 3 | 2 | 53 | 50 | 2 00 | | | | |
| Summit Hill | Jos. Richards | B. James | Carbon | | 1 | 2 | 1 | 12 | | 29 | 45 | 1 00 | 1 00 | 2 00 | | |
| Taylorville | D. M. Davies | D. R. Davies | Luzerne | 48 | 17 | 1 | 4 | 3 | | 145 | 180 | 1 00 | 2 00 | 8 00 | | |
| Wanamie | Daniel Davies | T. G. Jones | Luzerne | 1 | 2 | 1 | 4 | 4 | | 13 | 71 | 1 00 | | | | |
| Upper Lehigh | J. M. Powell | A. J. Morton | Luzerne | 3 | 4 | 4 | 1 | 5 | | 95 | | 1 00 | 4 00 | | | |
| Wiconisco | J. T. Davies | B. E. Jones | Dauphin | 11 | 7 | 1 | 1 | 4 | | 82 | 95 | 50 | 1 50 | 5 00 | 5.00 | |
| Wilkesbarre | D. J. Thomas | | | 3 | 11 | 9 | 7 | 5 | | 64 | 70 | 1 00 | | 7 12 | | |

*Pregethwyr Cynorthwyol*—Yn Hyde Park, E. Lloyd; Nanticoke, Isaac Williams; Pittston, J. E. Davies; Plymouth, V. Richards; Shenandoah, E. A. Williams, Ed. Capper; Slatington, J. B. Roberts.

*Myfyrwyr yn yr Athrofa.*—Frostburg, J. F. Richards; Hyde Park, W. F. Davies; Mahanoy, T. P. Lewis; Plymouth, Thos. P. Morgan, D. H. Evans.

*At y Gymdeithas Addysgiadol.*—Mahanoy, $10; Wiconisco, $5.

Arwydda y llythyren *a*, yn y daflen, weinidogion heb fod yn sefydledig.

---

## HANESION CARTREFOL.

---

### AGORIAD CAPEL Y BEDYDDWYR YN DAWN, MO.

Ar y Sabboth cyntaf yn Hydref, agorwyd capel newydd y Bedyddwyr yn Dawn. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parchn. G. T. Webster, o Falls City, Nebraska; Hugh X. Hughes, gweinidog yr Annibynwyr yn Dawn; a'n parchus weinidog, Samuel M. Thomas. Yr oedd y capel yn orlawn am ddeg ac am ddau, a chafwyd cyfarfodydd bendithiol, a hir i'w cofio. Rhoddodd y brodyr yr Annibynwyr a'r Methodistiaid eu cyfarfodydd heibio am y dydd, felly yr oedd Cymry Dawn yn un dyrfa hardd. Mae y capel yn 24 wrth 36, ac yn 12 tr. o uchder, ac wedi costio yn agos i wyth gant o ddoleri. wedi ei orphen, ac yn ddiddyled cyn ei agoryd, felly ni chasglwyd ar y dydd at hyny.

Mae yr eglwys hefyd yn gref, ac mewn agwedd addawol iawn, a gobeithio na fydd i bresenoldeb y Gwr, perchen y ty, byth ymadael oddiwrthym. Mae y brawd Samuel M. Thomas ar daith tua'i hen gartref, Pittsburgh, Pa., ar hyn o bryd, ond yr ydym yn ei ddysgwyl yn ol yn fuan, gan ein bod yn dirgel gredu ei fod yn foddion i wneyd llawer o ddaioni yn ein plith, ac yn Bevier, Mo., hefyd. Yr ydym yn hyderus am ei weled yn ein plith eto. Mae genym Ysgol Sabbothol o 30, canolrif. Llwyddiant fyddo ar yr efengyl yn mhob man. HUGH TUDOR.

---

### BROOKFIELD, OHIO.—GALWAD I WEINIDOG.

BARCHEDIG OLYGYDD—Er mor galed a gwasgedig y mae yr amser wedi bod gyda ni yn y parth hwn yn ystod y tair blynedd diweddaf, nid ydyw eto wedi diffodd y wreichionen leiaf o'r cariad sydd yn bodoli yn mynwesau canlynwyr Mab Duw at y weinidogaeth efengaidd, na dyhysbyddu ffynonellau eu haelfrydedd.

Mae yr eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn wedi rhoi galwad i'r brawd David B. Davies i ddyfod i'w bugeilio, ac y mae yntau wedi eu hateb yn gadarnhaol. Nid wyf yn sicr eto pa bryd y cymer yr *ordination* le.

JOHN MORGANS.

---

### CAPEL NEWYDD SPRINGWATER, WAUSHARA CO., WIS.

Mae yn y lle hwn gapel newydd wedi ei adeiladu yn ddiweddar gan y Bedyddwyr Cymreig; a'r hyn sydd yn dda, y mae wedi talu am dano. Mae y casgliadau ato fel hyn:

| | |
|---|---|
| Yn waith ac arian o fewn yr eglwys | $237 00 |
| Cymydogaeth Spring Water | 37 23 |
| Parch. Mr. Palmer | 5 00 |
| Seiri Pine River a Wautoma | 49 65 |
| Berlin a'r Coed | 130 00 |
| Oshkosh a Nekimi | 42 50 |
| | $578 43 |

Mae deg dolar ar law eto at godi *fence*, &c., ac ychydig addewidion heb ddod i mewn.

Rhoddwn anogaeth i'n brodyr y Bedyddwyr yn y Dwyrain, neu gyfeiriadau eraill, fo yn teimlo awydd symud am gartref a ffarm, i ddyfod yma cyn prynu mewn lle arall yn y Dalaeth, i edrych a barnu. Yr eiddoch dros yr eglwys, ROBERT D. EVANS,

*Spring Water P. O., Waushara Co. Wis.*

GALWAD I WEINIDOG.

Yr ydym ni fel eglwys yn Bevier, Mo., wedi rhoddi galwad i'r Parch. Samuel C. Pierce, o Vienna, Ohio, i ddyfod atom i'n bugeilio yn yr Arglwydd; ac y mae yn llawen genym hysbysu ei fod yntau wedi derbyn yr alwad, ac wedi dechreu ar ei wenidogaeth er yr 8fed o Fedi.

O. Y.—Dylaswn nodi fod Mr. Pierce wedi cymeryd gofal yr eglwys yn New Cambria hefyd, yn rhanol â Bevier.—*J. C. W.*

---

*Eglwys Pittsburgh.*—Y mae oddeutu triugain o aelodau wedi eu chwanegu at yr eglwys Fedyddiedig Gymreig yn Pittsburgh er pan y mae y Parch. H. Gwerfyl James yno.

---

*BEDYDDIWYD—*

*Pittston, Pa.*—Da genym hysbysu trwy gyfrwng y WAWR, fod yr achos goreu yn myned rhag ei flaen yn y lle hwn, trwy fod Seion yn esgor ar ei meibion a'i merched, a'r deyrnas nad yw o'r byd hwn yn cynyddu yn ei deiliaid. Prydnawn Sabboth, Hydref 22, 1876, ymgasglodd tyrfa luosog o edrychwyr parchus at lan y fedyddfa. Wedi cael anerchiad galluog gan y Parch. H. C. Parry (*Cefni*) ar Fedydd Cristionogol, cawsom y fraint o weled ein parchus weinidog yn bedyddio tair chwaer, ac un brawd ar ei broffes o'i ffydd yn Mab Duw. Yr oedd y gweinyddiad yn ogoneddus, a'r côr yn canu tra yr oedd yn gweinyddu. Erbyn 6 o'r gloch, yr oedd y capel yn orlawn; ac ar ol pregeth nerthol ac effeithiol iawn, gweinyddwyd yr ordinhad o swper yr Arglwydd, a derbyniwyd y bedyddiedigion i gymundeb yr eglwys mewn symledd a llawenydd calon, a chwanegwyd naw at yr eglwys; a'n dymuniad yw ar yr Arglwydd i barhau i lwyddo llafur ein hanwyl weinidog.—*Jacob W. Evans.*

*Kingston, Pa.*—Sabboth, y 15fed o Hydref, cawsom y fraint o weled dau o ddeiliaid yr Ysgol Sabbothol yn dilyn ein Harglwydd trwy y dyfrllyd fedd. Gweinyddwyd gan y Parch. James R. Price, ac y mae eraill yn aros am yr un fraint.—*T. D. D.*

Y Sul, Medi 24ain, yn Brookfield, O., gan y Parch. Mr. Thomas, Sharon, bedyddiwyd un ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, ac adferwyd dau.—*John Morgans.*

Yn Frostburgh, Md., Sabboth, Hydref 15fed, claddwyd tri gyda Christ yn y bedydd. Gweinyddwyd gan y Parch. D. Rhys Jones. Mae yr achos Bedyddiedig Cymreig yn gwisgo agwedd lewyrchus yn y lle hwn yn bresenol—y gynulleidfa yn lluosog, a'r eglwys yn lluosogi. Angharedig iawn oedd i'r Bedyddwyr Seisonig omedd rhoi benthyg eu bedyddfan i ni i weinyddu y bedydd rhag-grybwylledig. Modd bynag, cafwyd lle cyfleus yn y dyfroedd gerllaw, pryd y gweinyddwyd yn weddus ac mewn trefn.—*Brawd.*

*Audenried, Pa.*—MR. GOL.—Credwn eich bod yn ymhyfrydu mewn trosglwyddo newyddion da trwy gyfrwng eich cyhoeddiad; ac yn wir, yr ydym yn falch, ac yn ymffrostio ynddo, o herwydd ein hamddifadrwydd o gyhoeddiad misol at wasanaeth yr enwad. Yr ydym yn gobeithio y caiff y WAWR bob cefnogaeth gan y Bedyddwyr Cymreig trwy y Talaethau Unedig, ac y cawn ychydig o hanes gweithrediadau yr enwad, yn nghyd a llawer o bethau eraill. Y mae genym yr hyfrydwch o'ch hysbysu, ein bod ni yma wedi cael golygfa fendigedig ar y dydd a nodwyd uchod, sef gweled y parchus frawd L. M. Roberts, Ashland, yn bedyddio 5 o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Am 2 o'r gloch cyfarfyddwyd yn y capel, yna ffurfiwyd yn orymdaith drefnus, a chychwynasom i lawr i Honey Brook, lle y mae llawer o ddyfroedd; ac wedi galw am osteg ar lan y dwfr, cawsom ychydig sylwadau ar y gair *bapto* a *baptizo* gan y brawd Roberts, ac amryw farnau dysgawdwyr ar y pwnc. Yr oedd yn bresenol lawer o blith gwahanol genedloedd yn gwrando yn astud, a phob gweddeidd-dra yn cael ei ddangos. Ar ol gweddi fer, a chanu, gweinyddwyd yr ordinhad yn

ogoneddus. Yr olygfa harddaf ar y ddaear yw gweled dynion yn mlodau eu dyddiau yn canlyn yr Oen. Da genym hysbysu fod yr achos crefyddol yma yn gwisgo agwedd lewyrchus.—*B. D. Evans, Ysg.*

---

*PRIODWYD—*

Medi 16, 1876, yn nhy D. S. Davies, Ysw., tad y briodasferch, gan y Parch. E. Morddal Evans, Mr. D. Hughes a Miss Carrie M. Davies, oll o Paris, O.

**I Carrie â Hughes mae cywir hawl—rhad Ion**
**Ar hyd oes fwyneiddiawl;**
**A gwenau nef ogonawl—a gaffont,**
**A hir y gwleddant ar fyd rhyglyddawl.**
—*Gabintwr.*

Medi 27, 1876, yn nhy y briodasferch, gan y Parch. Wm. Jones, Wis., Mr. John W. Hughes a Miss Mary E. Roach, y ddau o Ridgeway, Wis.

---

*BU FARW—*

Medi 29ain, yn Hametown, Summit Co., Ohio, John Evans, mab ieuengaf Daniel W. a Margaret Evans, yn bum' wythnos a 4 diwrnod oed. Claddwyd ef y Sabboth canlynol yn mynwent yr High Church. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. Iago W. James. Pregethodd yn Saesoneg oddiwrth 1 Cor. 7: 31.

**"Ei fywyd ef a wywodd—do, ieuanc**
**Flodeuyn e syrthiodd;**
**Ond i wynfyd o'n hanfodd**
**Yr aeth i fyw wrth ei fodd."**
**W. J. Davies.**

Medi 23ain, bu farw y brawd ffyddlon ac anwyl, Theophilus Evans, o Wilkes-Barre, Pa. Daeth y brawd Evans i'w ddiwedd trwy i ddamwain gymeryd lle yn y gwaith glo lle yr oedd yn gweithio. Tua phump o'r gloch prydnawn, pan ar adael ei waith, yr oedd yn aros i'r ergyd fyned allan, er saethu y glo; ond gan ei fod yn meddwl fod y *fatchen* wedi methu tanio y pylor, aeth yn ei ol i gael gwybod yr achos o'r methiant, ond yn anffodus aeth yr ergyd allan, a tharawodd Evans yn ei ben gyda y fath nerth, fel y bu farw yn y fan.

Ganwyd Theophilus Evans yn agos i Login, Swydd Gaerfyrddin, yn y fl. 1844, ac felly yr oedd yn 32 ml. oed. Cafodd ei fedyddio gan y diweddar Barch. James Walters, ac ymunodd â'r eglwys yn Login pan yn 15 oed, lle y bu yn aelod am rai blynyddau. Symudodd oddiyno i ardal Aberdar, a chymerodd ei le fel aelod yn eglwys Pen-y-pownd, dan ofal Dr. Price, a bu yn aelod yno rai blynyddau. Yn y fl. 1866, ymunodd mewn priodas â Miss Ann Williams, Aberaman; ac yn 1870, ymfudodd ef a'i briod i'r wlad hon. Ar ol bod yn Wilkes-Barre ryw gymaint o amser ymunodd â'r eglwys, yr hon oedd dan ofal yr ysgrifenydd, o'r hon y bu yn aelod ffyddlon hyd ddydd ei farwolaeth. Bu i'r brawd Evans a'i briod saith o blant, ond maent oll wedi marw—tri o honynt o fewn blwyddyn i farwolaeth eu tad, fel nad oes ond y weddw wedi ei gadael ar ol.

Dydd Mawrth canlynol, daeth lluaws o'r cymydogion yn nghyd i weinyddu y gymwynas olaf i weddillion ein brawd. Gweinyddwyd yn y ty, yn y capel ac ar lan y bedd, gan y Parch. T. Jones, Wanomie, a'r ysgrifenydd.

Diau genym fod y brawd Evans yn ddyn crefyddol, nid yn unig mewn proffes, ond o ran egwyddor a theimlad yn ofni Duw, ac yn caru y Ceidwad, ac yn selog o blaid achos Mab Duw, fel yr oedd yn mwynhau crefydd yn ei fywyd, a marw iddo yn elw.

THEOPHILUS JONES.

*Wilkes-Barre.*

COFIANT MR. EVAN M. JONES,

*Diacon o Eglwys y B., Hyde Park, Pa.*

Wrth ddarllen y Gair Dwyfol, dysga ni fod bywyd y duwiol yn hawlio sylw y werin, calon y gynulleidfa, a theimlad y frawdoliaeth. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig."—Diar. 10: 7. Un o'r cyfiawnion ydoedd, ac o ran hyny ydyw gwrthddrych ein cofiant; a gellir dyweyd, tra y bu ef byw yn y cnawd, mai bendigedig ydoedd yn ngolwg ei gymydogion; ac er ei fod wedi ymadael â'r ddaear, eto y mae ei goffadwriaeth yn aros yn fendigedig yn myn-

wes pob brawd a chwaer yn eglwys Iesu Grist, o Fedyddwyr, yn Hyde Park; a chredwn ei *fod* yn fendigedig yn nghyfrif a barn brodorion treiddgar gwlad y gwawl.

Gan mai â'i fywyd crefyddol, yn benaf, y mae a fynom yn hyn o linellau, dechreuwn yn agos i'r fan a'r adeg y dechreuodd, neu y cychwynodd ef. Yn y flwyddyn 1849, pan oedd ein gwrthddrych yn 30 ml. oed, aeth i'r gyfeillach grefyddol at y Bedyddwyr yn Nghaersalem, Dowlais, D. C.; ac heb fod yn faith wed'yn, bedyddiwyd ef gan yr anfarwol, y Parch. W. Davies, gweinidog yr eglwys. Wedi iddo fod yno yn aelod amrai flynyddoedd, daeth yr eglwys i'r penderfyniad o'i osod yn ddiacon; ac ar gais y frawdoliaeth, aeth ef, yn nghyd ag eraill o'r hen frodyr i Moriah, Dowlais. (Mae yn debyg mai dyna adeg dechreuol eglwys Moriah.) Bu yn ddiacon yno am naw mlynedd, sef hyd at yr adeg y daeth drosodd i'r wlad hon. Hefyd, deallwn ei fod hyd ddydd ei farwolaeth yn un a'r ymddiriedolwyr ar berchenogaeth (*property*) eglwys Moriah.

Awst, 1866, ymfudodd o Dowlais i Youngstown, Ohio; ac yn Rhagfyr, yr un flwyddyn, symudodd o Youngstown i Hyde Park. Y mae lluaws wrth symud o'r naill fan i'r llall yn dueddol i adael rhywbeth ar eu hol; ac fel rheol, crefydd fydd y peth hwnw, ond nid felly Evan Jones. Er iddo ef symud o'r naill wlad i'r llall, ac o'r naill Dalaeth i'r llall, ni adawodd ei grefydd ar ei ol; yr oedd hi wedi gwreiddio ynddo; mewn gair, yr oedd hi yn rhan o hono, fel y buasai yr un can hawdded iddo adael ei galon ar ei ol a gadael ei grefydd. Yr oedd ef yn eiddo Crist, a Christ yn eiddo yntau. Felly yr oedd ef a Iesu, gwrthddrych crefydd, wedi megys ymdoddi y naill i'r llall, fel nad oeddynt ddau, ond *un*. Ni allasai adael crefydd.

Wedi iddo fod yn Hyde Park am ysbaid o wyth mlynedd, yn llanw ei gylch fel aelod, daeth angen ar yr eglwys i ychwanegu rhif y diaconiaid, a gwelodd y frawdoliaeth fod Evan Jones yn un ag oedd yn meddu ar gymwysder i'r swydd; felly penodwyd ef yn nghyd ag eraill i'r swydd gan yr eglwys, a swyddogwyd hwynt i'r swydd ar nos Sabboth, gan y gweinidog, y Parch. D. W. Morris. Bu cryn siarad am y cyfarfod hwnw yn ol llaw, a dywediad braidd bawb a fu yno am dano ydoedd, "Ni fuom mewn cyfarfod rhyfeddach erioed, yr oedd yr hen Forris yn odiach nag arfer." Wel rhaid, meddwn inau, ynte, ei fod yn *od*. Yn y *charge* dywedai, "fod rhai gweinidogion yn yr areithfa yn debyg i offeiriaid o eira, a bod *rhai* diaconiaid fel clogwyni o iâ, ond yr wyf yn gobeithio am danoch chwi bethau gwell," &c. Clywais wrthddrych ein cofiant ar ol hyny yn adrodd y teimlad yr oedd ef ynddo pan yn eistedd o dan ddyrnau yr efengylaidd Mr. Morris yn y cyfarfod cyfeiriedig. "Wyddoch chwi beth," meddai, "teimlais yn ddwys pan aethum at grefydd, ac wedi hyny, pan y'm gosodwyd yn y swydd ddiaconaidd yn Dowlais, ond nid oedd i'w gymharu i'r teimlad y tro hwn, canys pan oedd Mr. Morris yn dyweyd fod rhai diaconiaid fel clogwyni o iâ, dymunaswn fyned o'r golwg; ni wyddwn bron pa le yr oeddwn." Y mae Morris a Jones wedi ymadael—aeth y blaenaf i'r Hen Wlad, a'r olaf i'r wlad well. Beth bynag, gwnaeth Jones benderfyniad y pryd hwnw, tra y parhasai ei iechyd, i beidio bod fel diacon yn debyg i "glogwyn o iâ;" a gellir ychwanegu, iddo weithio allan ei benderfyniad. Ond Ow! ychydig fu ei ddyddiau, o herwydd cyn pen blwyddyn a haner wedi ei swyddogi yn eglwys Hyde Park, derbyniodd lythyrau o law amser a drosglwyddwyd gan wefrau Rhagluniaeth, yn ei rybuddio i ymadael. Yr oedd llythyr y ddaear yn hawlio gwaghau y babell, i'r dyben o'i hadnewyddu; ac yr oedd llythyrau y nefoedd yn ei hysbysu fod ty tragywyddol yn ei aros, a bod yr Arglwydd am iddo ddyfod yno i fyw. Gwir, bu ein brawd lawer o 5 mis cyn deall y llythyrau, a'r pryd hwnw mynegwyd ei fod ar ymadael; yna rhoddodd gyfarwyddiadau angenrheidiol i'w briod; mynodd y plant yn nghyd, a rhoddodd gyngorion dwys i'r

oll o honynt. A'r noson olaf galwodd am Thomas ei fab, yr hwn a fedyddiwyd yn ddiweddar, i'w ymyl, ac O, fel y gwasgodd at ei ystyriaeth y pwysigrwydd o fyw bywyd crefyddol. Dywedodd wrtho bron yn ngeiriau Jacob, "Wele fi yn marw, a bydd Duw gyda chwi." Dywedodd ei fod yn teimlo eisoes ei hunan yn yr afon. "Ond," meddai, "y mae y ffordd yn berffaith glir." Dranoeth, yn foreu (Medi 1, 1876), pan yn 57 mlwydd oed, ymadawodd o'r ty o glai i'r ty tragywyddol. Medi 5ed, daeth tyrfa luosog i'w angladd. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan yr ysgrifenydd, oddiar Jos. 23: 14. Yr Arglwydd a fyddo yn athraw i'r plant a'r weddw, ein hanwyl chwaer yn Nghrist.

Yn mhellach, ddarllenwyr hynaws, rhoddwn ger eich bron rai o nodweddau nefol y brawd ymadawedig. Wrth wneyd hyn, nid ydym am i chwi synied ein bod yn meddwl ei fod yn berffaith, da i gyd heb ddim drwg. "Heb ei fai, heb ei eni." Ond faint bynag ei ddiffygion, barn y lluaws am E. Jones ydyw, mai hen frawd da ydoedd.

Yr oedd yn ffyddlon i roddi ei wasanaeth pan fyddai angen. Byddai yn mhob cwrdd. Yr oedd yn cofio liawer o'r Beibl, a gwnai ddefnydd o honynt; ac ar y cyfan, yr oedd yn meddu syniadau addfed ar bynciau ymarferol y grefydd Gristionogol. Dipyn yn rhyddfrydig ydoedd, a thrwy hyny byddai yn wahanol i rai o'i gyd-swyddogion. Ymhyfrydent hwy glywed y gweinidog yn ymdrin â'r rhanau negyddol o'r Beibl am bechadur, tra ei fwyd a'i ddiod ef ydoedd yr efengyl yn ei chymelliadau, &c. Hoffai rhai o honynt hwy glywed y pregethwr yn dyweyd am y pechadur, "Ni all, ni all;" ond yr oedd yn well ganddo ef glywed y pregethwr yn datgan, "Gall, gall." Aur-afalau oddiar bren efengyl iddo ef ydoedd yr adnod hono a'i chyffelyb—"Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch."

Y mae ef wedi myned; ond caniatewch i mi ddyweyd hyn, fy mrodyr, Efengyl, efengyl gyflawn roddodd Iesu, ac na atto Duw i chwi na minau gyfyngu arni.

Gweddiwr dystaw, ond gafaelgar, ydoedd. Fel cyngorwr, araf a difrifol, gymaint felly fel y gallesid tybied ei fod yn pwyso ac yn ystyried pob gair a draethai. Dywedai ei syniadau yn weddol glir, a diofn; ond nid ymhyfrydai, fel rhai, yn y gorchwyl o ddolurio teimladau neb, beth bynag. Arferai siarad yn barchus am yr hwn a'i bedyddiodd. Rhyw dair wythnos cyn ei fyned, tra yr oeddwn yn ymddyddan ag ef, yn mysg pethau eraill, o barth ei fab, yr hwn a fedyddiwyd genyf ychydig fisoedd yn ol, meddai, "Y mae Thomas, fel finau, yn meddwl yn uchel am yr hwn a'i bedyddiodd. Yr oedd rhai yn dyweyd hyn a'r llall am yr enwog Mr. Davies, ond ni ellais i erioed eu credu." "Yr oeddych yn parhau i'w garu trwy y cwbl, ynte?" meddwn. "Ei garu!" meddai, "oeddwn, yr oeddwn yn caru y ffordd a gerddai."

Cas ganddo ydoedd y dyn hwnw a garia wên ar ei wyneb, a brâd yn ei galon. Ac mewn gwirionedd, trueni o'r fath fwyaf yw fod y fath Judasiaid yn gallu gweithio eu ffordd i aros a byw yn eglwys Dduw.

Rhinwedd arall yn y brawd Evan Jones ydoedd, casâu yr hyn yr ymhyfrydai rhai ynddo, sef gwneyd pob peth o un gweinidog ar draul darostwng y llall. Y mae y fath arferiad yn hollol annynol, ac anysgrythyrol; ond y mae yn hyfrydwch genyf allu dyweyd am ein gwrthddrych, ei fod ef, fraich ac ysgwydd, ie, gorph ac enaid, yn erbyn yr arferiad gwrthun. Ond er ei holl rinweddau, ac er mor anhawdd ydoedd i'w deulu a'r eglwys ei hebgor, wedi 27 mlynedd o drafaelu yn ffordd y Brenin Iesu, ac un deg o'r cyfryw yn y swydd ddiaconaidd, wele, efe a aeth i ffordd yr holl ddaear. Gadawodd y *dressing-room* am geinwych balas Paradwys, lle yr erys yn hawddamor bresenoldeb ei Arglwydd am dragywyddoldeb. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig."

T. AB DEWI.

Medi 14, 1876, bu farw Margaret Lewis, priod David Lewis, neu Margaret

Jones yn ol enw ei thad, o'r darfodedigaeth, gan adael priod a thri o blant, a pherthynasau eraill, i alaru ar ei hol. Yr oedd ein chwaer yn enedigol o Lanelli, Sir Frycheiniog, D. C. Bu hi a'i phriod yn byw gyda'u gilydd 44 o flynyddoedd, a chawsant eu bendithio a 12 o blant, tri o'r rhai sydd yn fyw, sef Thomas, William a Lewis.

Cafodd ein chwaer y fraint o ddilyn crefydd Crist pan yn ieuanc. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw pan yn 16 oed, gan y Parch. Edward Oliver. Derbyniwyd hi yn aelod o eglwys Nebo, Penycae, lle bu hi a'i phriod yn aelodau am amryw flynyddoedd. Ac oddiyno yr ymfudasant i'r wlad hon, 28 mlynedd yn ol, gan ymsefydlu yn Pottsville, Pa., am ychydig; ac oddiyno i Weathersfield, Ohio, lle y treuliodd y gweddill o'i hoes.

Gellir dyweyd am ein chwaer ei bod yn Gristion trwyadl, o fywyd difrycheulyd, yn wraig rinweddol a gofalus, yn fam dyner, yn gymydoges addfwyn, barod a charedig, dystaw, a hynod o ddison am dani, a phawb o'i chydnabod yn meddwl yn fawr o honi. Yr oedd mewn rhinwedd yn esiampl i lawer. Yr oedd yn meddwl pob peth o grefydd. Nid oedd fel llawer, yn caru siarad am grefydd yn unig, ond yn caru byw crefydd allan. Darllenai lawer ar ei Beibl; yr oedd yn ffyddlon i fynychu moddion gras, yn Sabbothol ac wythnosol, tra y caniataodd ei hiechyd. Yr oedd yn esiampl i lawer mewn ffyddlondeb a diwydrwydd, a bydded i'n brodyr a'n chwiorydd ei hefelychu. Yr oedd yn hynod o ddystaw; ni arferai siarad yn fach am eraill yn eu habsenoldeb. Yr oedd yn casâu anghydfod, a phell ydoedd rhag gwneyd y drwg yn waeth, ond yn hytrach ei ddiffodd. Diau y cofir ein chwaer yn aml ac yn fyw yn nheimlad y rhai a'i hadwaenai, a bydded i'w gweddiau gael eu hateb tra yn malurio yn llwch y bedd, ar ran ei hanwyl blant, trwy iddynt gael golwg ar hawddgarwch a chymwysder Crist, Ceidwad digonol ar eu cyfer, nes eu henill i gredu ynddo, a phwyso arno am fywyd.

Cafodd gystudd hir, ond yn gweithredu tragywyddol bwys gogoniant iddi, ac ymadawodd mewn perffaith dangnefedd, a'i phwys ar Iesu—hunodd ynddo. Cwynai am nad allai honi ei hawl ynddo yn well; ond erbyn heddyw mae y cymylau wedi gwasgaru, ac nid oes dim tywyllwch rhyngddi â thy ei Thad. Gall ganu ffarwel â chystudd, ac ofn, ac "angau dychrynllyd a'r bedd, a hithau 'n ddiangol o'u cyrhaedd, yn nofio mewn cariad a hedd."
"Henffych i'r dydd cawn eto gwrdd,
Yn Salem fry oddeutu'r bwrdd."

Yr ail ddydd ar ol ei hymadawiad, ymgasglodd tyrfa luosog o'i chyd-genedl i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol, pryd y gweinyddwyd ar yr amgylchiad gan yr ysgrifenydd. Yr Arglwydd a ofalo am ei phriod galarus, yn nghyd a'i phlant, ac a'u gwnelo yn barod erbyn y delo yr alwad ar eu hol, yw dymuniad D. PROBERT.

Medi 11. 1876, yn Youngstown, O., bu farw merch fechan i James a Mary Ann Aubrey, yn 13 mis oed, o'r pâs. Gweinyddwyd yn y claddedigaeth gan y brodyr D. Probert a Mr. Haus, gweinidog y M. E. Yr Arglwydd a roddodd; efe gymerodd ymaith.

---

## GWLEIDYDDOL.

### YR ETHOLIAD AGOSHAOL.

Fedyddwyr Cymreig, gwrandewch! Cofiwch *votio* dros Hayes a Wheeler. Na arosed un dinesydd o honoch gartref ar ddydd yr etholiad. Gwnewch eich goreu dros eich hochr. Mae y Democratiaid drwy y wlad yn effro ac yn weithgar. Beth! a gaiff y Gwerinwyr fod ar ol? Mae y canlyniadau yn wir bwysig. Mae yn amser ail i amser toriad y rhyfel allan. Os llwydda yr hen wrthryfelwyr i gael y llywodraeth i'w llaw, mae yn anhawdd dweyd beth fydd y canlyniadau. Mae *Harpers' Weekly* am Tach. 4, yn gosod allan eu llwyddiant mewn gwedd fygythiol iawn. Mae ganddo lun clorian—yn un pen i hwnw mae bara y werin, ac yn y pen arall mae hawliau gwrthryfelwyr y De, sef "dychweliad yn ol

enillion eiddo a gymerwyd ymaith (*slaves*), $9,000,000; ystorfeydd a ddefnyddiwyd neu a ddyfethwyd, $1,206,163,000; *rent* carchar Andersonville, a gwasanaeth eiddo, &c., $1,205,163,000; treth y cotwm, &c., $68,092,000; y cyfanswm, $2,503,622,386.

Mae y symiau mawrion uchod yn y darlun mewn ffurf bwndeli aruthrfawr, yn pwyso un pen i'r glorian hyd y llawr, a'r *bara* yn y pen arall i fyny yn rhywle.

Arwyddair mynych y Democratiaid yn awr yw y *Solid South.* Maent fel yn sicr o hyn; ond dengys *Harpers'* mewn *llun* arall beth a dybia hyny fel yma: *The* $OLID $OUTH. Sylwer ar y ddwy S.

Sonir am "gyfnewidiad" (*change*)—byddai hyn yn wir yn gyfnewidiad!!

---

PENOD FACH WLADYDDOL.

Mae natur llywodraeth y wlad hon y fath, meddir, fel mae yn rhoddi ar y mwyafrif o'i dinasyddion, bob yn ychydig o flynyddau, ddyledswyddau ydynt yr agosaf o ran eu cysegredigrwydd a'u pwysigrwydd i'r dyledswyddau dyledus arnom i Dduw ei hunan; oblegid yn nesaf i'n Tad yn y nefoedd mae ein tad-wlad ar y ddaear.

Gan fod rhinwedd yn gyffredinol, a llwyddiant a daioni ein cyd-ddynion yn dibynu i raddau helaeth ar weinyddiad y llywodraeth, a chan, drwy natur ein sefydliadau, fod etholiadau swyddogion i hyny yn cael ei ymddiried i'r bobl, felly, pan mae etholiad y prif swyddwr yn dyfod ger bron, mae dyledswydd hynod o bwysig yn dyfod i'n rhan.

Nid oes gan un dyn hawl i gymeryd hyn yn ysgafn. Nid oes gan un dinesydd hawl i gadw draw oddiwrth bleidleisio o herwydd y pethau annymunol cysylltiedig ag ef. Nodwn ddau ocheliad. Dylai pob dyn ofalu na adawa i'w deimladau wyrdroi ei ddealltwriaeth. Yn aml, nwydau sydd yn cael y trechaf ar adeg fel hon. Bydded eich arafwch yn hysbys i bob dyn. Gofaler hefyd i gadw cydwybod ddirwystr. Na wneler dim dros blaid, na feiddid ei wneyd yn unigol. Megys na ddywedwch gelwydd drosoch eich hunain, na ddywedwch gelwydd dros neb arall. Ond mewn ffordd gyfreithlon a da, wrth ethol swyddogion, Na fyddwch yn nyled neb o ddim.

---

## CYMRU.

TYSTEB I'R PARCH. R. JONES, LLANLLYFNI.

Mae yr eglwys yn Llanllygni wedi dod i'r penderfyniad i wneyd tysteb i'r Parch. R. Jones, eu gweinidog, er dangos eu parch iddo, am ei lafur a'i sel i'w gwasanaethu trwy lawer o anfanteision yn nghorph deugain mlynedd. Rhag i neb dramgwyddo, mae y dysteb yn agored i bawb fo yn ewyllysio rhoddi ati.

Frodyr yn Llanllyfni, yr ydych i'ch canmol yn fawr.

MARWOLAETH GWEINIDOG.

Ar y 3ydd o Hydref, bu farw y Parch. Morgan Phillips, gweinidog yr eglwys Fedyddiedig yn Aberaman, D. C. Yr oedd dydd ei angladd, Hydref 7fed, yn ddiwrnod trwm, meddir, drwy yr holl ardal. Dywedir fod Mr. Phillips yn bregethwr da, ac yn weithiwr llafurus iawn gyda yr achos. Bu yn gweinidogaethu am ddeng mlynedd yn Aberaman, a dwy flynedd cyn hyny yn Tabor, Bryn Mawr.

---

## CELF A GWYDDOR.

*Peiriant Gwefryddol i Bleidleisio.*

Yn Paris mae dyn o'r enw Monsieur J. Morin yn ddiweddar wedi cynllunio peiriant i bleidleisio. Amcanir drwyddo i rwyddhau yn fawr y gwaith o bleidleisio. Bydd yn gwneyd y gwaith yn *llawer* cyflymach, ac yn *llawer* gonestach, drwy nad all yr un person *votio* ddwywaith, &c. Ac hefyd yn llawer mwy didwrf a diberygl. Dywedir fod y peiriant yn hynod o syml, ac yn cael ei weithio yn hollol gan wefr. Mae y peiriant yn cael ei wneuthur ar archeb yn Paris, am bris rhesymol. Oni fydd-

ai y peiriant hwn yn ddefnyddiol iawn yn America, lle mae cymaint o waith o'r fath, ac yn fynych gymaint o dwyll ac annhegwch, ac ymosodiadau mewn cysylltiad ag ef?

*Darganfyddiad Damweiniol.*

Adrodda Arglwydd Chelmford fod cyfaill iddo unwaith yn gwasanaethu ar achos mordwyol, yn yr hwn ymddangosai ddarfod i lestr fod yn cael ei gyru o flaen rhuthrwynt cryf, pryd y trowyd hi yn hollol ar ei hochr. Y dadleuydd yn anwybodus o faterion mordwyaeth, a ofynodd i'r morwr, yr hwn oedd yn y *witness-box*, pa fodd y bu iddynt beidio gostwng y *top-mast?* Atebodd y tyst gyda gwên watwarus—"Pe buasai i chwi wybod cymaint am y môr ag wyf fi, gwyddech nad yw hyny yn rhyw waith hawdd iawn." Parodd hyn i'r dadleuydd droi ei sylw at y pwnc, a dyfeisiodd offeryn i ostwng y frig-hwylbren, ar yr hwn y cafodd *batent*, a chafodd 20,000 o bunau o elw oddiwrtho, yr hyn ellid ei alw yn ddarganfyddiad damweiniol.

*Ffordd y Mellt.*

Dywedir fod hysbysiadau gyda y gwefr-hysbysydd o dan y Werydd yn teithio yn gyflymach o'r dwyrain i'r gorllewin nag o'r gorllewin i'r dwyrain.

*A yw Tymestloedd yn Croesi y Werydd?*

Mr. Ley a ddywed nad oes ond ychydig o dymestloedd yn croesi y Werydd o America i Ewrop. Y rhai y gellir dyweyd fod dim o'u heffeithiau yn cyrhaedd ydyw y rhai mwyaf gogleddol.

---

## At Ioan Einon, Aquaville,

*Awdwr "Y Bedydd Cristionogol."*

Yn gymaint a'ch bod yn dadleu fod taenellu mor hawdd, yn hytrach na throchi, ac am hyny mai taenellu sydd iawn, hoffa y WAWR gael atebion cyhoeddus genych i'r gofyniadau *hawdd* a ganlyn:

1. Ai dull cyffredin Duw yn ei ddaioni i ddynion, yw trefnu iddynt a gofyn ganddynt yr hyn ymddengys y mwyaf *hawdd* iddynt?

2. Ai y modd *mwyaf hawdd* yn unig yw eich *rheol chwi* eich hun o weithredu ar bob achlysur, a chyda phob peth a gyflawnir genych?

3. Onid trwy ddewis y ffordd *fwyaf hawdd* i fyw, mae personau diegwyddor yn ymgymeryd a *gamblio*, gwneyd *counterfeits*, &c.?

4. Pa un hawddaf *trochi* y credadyn ewyllysgar, ynte taenellu yr anghredadyn anewyllysgar, ieuenctyd drwg eu cwrs, a phlant afreolus, ie, "yr holl genedloedd"?

5. Onid yw yn eithaf posibl i rai o'ch gweinidogion chwi fod yn y fath gyflwr "afrosgo, diymadferth, o herwydd gwendid," fel nad all *daenellu pawb?*

6. A fuasai fod un darlun yn hawddach i'w wneuthur nag un arall, yn safon gywir i farnu ei ragoriaeth arno?

---

## DYDDANION.

"Ni all un dyn wneyd dim yn erbyn ei ewyllys," ebe athronydd. "Yn wir," ebe Pat, "'roedd genyf fi frawd, yr hwn a aeth i'r carchar yn erbyn 'i 'wyllys; 'n wir, fe aeth."

Awdwr poblogaidd, yn ysgrifenu am y pellebyr tanweryddol a ymsynia, a fydd y newyddion a anfonir trwy y dwfr hallt yn ffres ai peidio.

"Mae yn brawf o weithrediad dirgel y meddwl dynol," ebe dysgawdwr, "pan y dygwydda dau ddyn newid hatiau, fod yr hwn a gaffo y waelaf y cyntaf bob amser i ganfod y camgymeriad.

"A ydwyt ti wedi ardystio dirwest?" "Ydwyf, a da genyf hyny." "Wel, oni ddywedodd Paul wrth Timotheus am arfer ychydig win er mwyn ei gylla a'i fynych wendid?" "Do syr," ebai y dirwestwr newydd, "ond nid Timotheus yw fy enw i."

Atebiad merch i'r gofyniad, Beth yw neidr? "Peth sydd yn gynffon i gyd, i fyny at y pen."

# Y WAWR.

CYF. I.] RHAGFYR, 1876. [RHIF. 9.

## *BYDD FFYDDLON I'R GWIR.*

Bydd ffyddlon i'r gwir, ac na fydd sigledig,
  Iddo gweinydda er dyoddef pob gwawd;
Drosto ymladda, pregetha'n frwdfrydig,
  Er d' alw yn dwyllwr, beth bynag dy ffawd;
Ymddengys myn Duw i'r ffwrnes ei brofi,
  O'i brofi drwy dân y gwelir ei werth;
Yn dy ffydd ynddo bydd gyson a gwisgi,
  Bydd ffyddlon i'r gwir, ti deimli ei nerth.

Duw ynddo lefara, ei lais Ef ydyw,
  Fel Moses y llechau derbynia mewn parch;
Ei garu boed i ti, a'i ofni 'n ddiledryw,
  Ymdrecha gael eraill i wneuthur ei arch;
Boed yn golofn dân i'th arwain yn ddiogel,
  A'i ddysglaer belydrau oleuo dy wedd;
Wrth deithio yr anial, os isel neu uchel,
  Bydd ffyddlon i'r gwir—bydd loew dy gledd.

Y byd hwn erioed anmharcha 'i brophwydi,
  Rhai cyntaf o'r saint a labyddiodd mewn hoen;
Ond er eu gwregysu â than â phob anfri,
  Parhasant yn gadarn nes myned o'u poen;
Merthyron a seintiau newyddion sydd eisiau
  I iawni y gŵyr, a phleidio yr iawn,
Nes trechu gorthrymwyr, a datod cadwynau,
  A'r gwir yn rheoli yr holl ddaear lawn.

W. C. B., *Cyf.*

## ARGLWYDDIAETH EIN CEIDWAD.

GAN Y PARCH. EBENEZER EDWARDS, WEBSTER, N. Y.

Tybiem nad afreidiol galw sylw at yr athrawiaeth fawr a phwysig hon. Diau fod angen dysgu dynion yn "ngwybodaeth ein Harglwydd." I hyn y rhoddwyd i ni "Destament Newydd ein Harglwydd Iesu Grist."

Penodwyd Pedr, dybygem, i osod pwyslais ar y gwirionedd hwn, a hyny, fe ddichon, am mai efe oedd fwyaf hwyrfrydig i ddeall a chydnabod hyn. *Efe* a "geryddai" yr Athraw Mawr; fel offeryn yn llaw Satan y gwnaeth hyn. (Gwel Mat. 16: 21–23.) *Efe* a osododd ei awdurdod yn erbyn ei Arglwydd

fel hyn: "Ni chei di olchi fy nhraed i byth." (Ioan 13 : 8.) Dywedwch fod ganddo barch i fawredd person Iesu; ond wedi'r cwbl, gwell fuasai talu gwarogaeth gymwys i'w Arglwyddiaeth ef. Pan ddywedai yr Arglwydd wrth Pedr, "Canlyn fi" (Ioan 21 : 20–22), rhaid oedd iddo ddadleu yn lle ufuddhau. Tystiodd drosodd a throsodd y *diwrnod hwnw*, ei gariad at yr Arglwydd, eithr nid cynt y daeth y gorchymyn o enau'r Iesu na'r "*ond*" o enau Pedr—"*Ond* beth a wna hwn?" Felly gorfu i'r Arglwydd ei geryddu fel yma, "Beth yw hyny i ti?—canlyn di fi," neu mewn geiriau eraill, "Gwna yr hyn a ofynir genyt; goddef i mi fod yn ben." Wedi dyfodiad yr Ysbryd Glan y mae yn amlwg fod Pedr yn deall Arglwyddiaeth y Ceidwad yn llawer amgenach a gwell. Pregethai "ddarfod i Dduw wneuthur yn *Arglwydd* ac yn Grist yr Iesu." Erbyn hyn hawliai fod y Gwr a hoeliwyd ar y bryn "yn *Dywysog* ac yn Iachawdwr;" a phan ysgrifenodd ei Epistolau yr oedd wedi dyfod yn gryn ysgolhaig yn y wybodaeth o "ein *Harglwydd* a'n Hiachawdwr Iesu Grist." Ni ddichon i'r darllenydd craffus fethu gweled fod y dysgybl hwn yn crybwyll yn aml anarferol am "Grist Iesu yr *Arglwydd*." Yn ei lythyr olaf cawn ymadroddion fel hyn: "Ein *Harglwydd* a'n Hiachawdwr Iesu Grist," "yr *Arglwydd* a'r Achubwr Iesu Grist," "yr *Arglwydd* a'r Iachawdwr." Mae yr ymadroddion diweddaf yma, tra y maent yn *nodweddol* o'r ail lythyr, yn *neillduol i'r rhan yma* o'r Ysgrythyrau; ni cheir hwynt yn un lle arall. Hynod a gogoneddus y ffaith, y "dichon Duw" wneyd o'r dyn mwyaf anmharod i gydnabod athrawiaeth fawr Arglwyddiaeth y Ceidwad, *brif amddiffynydd* yr athrawiaeth hono!

Yn ein hoes a'n gwlad, ïe, ysywaeth, yn mysg darllenwyr y Testament Newydd, a dichon yn mhlith derbynwyr y WAWR, ceir dynfon yn hwyrfrydig neillduol i *gydnabod* Arglwyddiaeth ein Ceidwad, ac i ymddwyn yn gydweddol â'r cyfryw gydnabyddiaeth. Y mae y Bedyddwyr yn dal eu bod yn selog dros yr athrawiaeth hon, ac mai eu sel yn y cyfeiriad yma sydd yn achosi iddynt ddywedyd cymaint, a dyoddef cymaint dros orchymynion eu Harglwydd a gosodiadau Pen yr Eglwys. Eu harwyddair yw, "Gwrandewch *arno Ef*."—Gyda mwy o gysondeb na Robert Hall, dybygant, da ganddynt osod pwyslais ar y *charge* a roddai y gwr enwog hwnw i weinidog oedd ar gael ei urddo i'r swydd gydag Annibynwyr Lloegr: "You will not be silent on the *precepts* from an apprehension of infringing on the freedom of the gospel, nor *sink the character of the Legislator in that of the Saviour of the church*." Yr wyf fi yn Fedyddiwr, ac yn Fedyddiwr caeth-gymunol, o herwydd fy mod yn credu yn *Arglwyddiaeth* fy Ngheidwad, ac am roddi i Iesu ei le fel Deddfroddwr a Brenin, yn ogystal ag fel Iachawdwr. *Yn hyn*, o leiaf, yr wyf yn dal fy mhen yn uchel yn mysg fy nghyd-fforddolion tua'r farn, ac *am hyn* yr wyf yn hawlio parch hyd yn nod oddiwrth y rhai a wahaniaethant oddiwrthyf mewn barn ac arferiad. Da fyddai genyf allu teimlo yr un hyfdra yn ngwyneb "*pob gair* a ddaw allan o enau Duw." Ys dywed y Salmydd, "Yna ni'm gwaradwyddid pan edrychwn ar dy *holl orchymynion*." Daw cyngor Dafydd i freninoedd a barnwyr yn ddigon addas i ninau, "Byddwch *synwyrol; cymerwch ddysg; gwasanaethwch* yr *Arglwydd!*" Truenus meddwl fod ein Gwaredwr yn gorfod cwyno fel yma, "*Paham* yr ydych yn fy ngalw i yn Arglwydd, Arglwydd, ac nid ydych yn gwneuthur y pethau yr wyf fi yn eu gorchymyn i chwi?"

O'r tu arall, os gofynir, Paham y mae ein Harglwydd yn hawlio arglwyddiaeth drosom? Y mae yr ateb wrth law, fel hyn: Yn *gyntaf*, am mai "Duw ein Hachubydd" yw ein Harglwydd Iesu. Yn *ail*, am iddo ein hachub drwy ei waed. Yn *drydydd*, am ei fod yn Arglwydd pawb a phobpeth ar ein rhan. Ychwanegwn ychydig ar y tri pheth hyn.

1. Fod Iesu ein Gwaredwr yn DDUW, ac *am hyny yn teilyngu bod yn Arglwydd arnom*. Chwareu teg i'r dynion sydd yn gwadu yr Arglwyddiaeth *ar gyfrif*

*eu gwrthodiad o'r Dwyfoliaeth* a briodolir i'r Gwr o Nazareth. Nid "yr iachawdwriaeth sydd yn Nghrist" yw yr eiddynt hwy, ac felly ni raid iddynt wrth brofiad Thomas, "Fy Arglwydd a'm *Duw*." Y mae golygiadau isel am y cyflwr colledig yn achosi golygiadau isel am Geidwad y rhai colledig. Y mae meddwl anghywir am yr afiechyd moesol yn cenedlu meddwl anghywir am *Iachawdwr* pechaduriaid. I ba beth y ceisiwn Geidwad mwy na dyn, onid yw yr "iachawdwriaeth gymaint" a holl adnoddau Duw? Os diwygiad dynol a daearol yw diwygiad pechadur, paham na ddichon diwygiwr dynol a daearol ei ddwyn i ben? Pa raid cael "yr Arglwydd o'r nef" i godi dynion i'r nefoedd, os yw yn eu gallu hwynt eu hunain wneyd ysgol digon hir a digon diogel i'r moesolddyn, a *wnaed felly drwy fedr dyn*, ddringo hyd y drydedd nef? (Gwel Eph. 4: 9, 10.)

Ar y llaw arall, os cydolygwn â D'Aubigne, "Nid oes i'r ddaear Achubydd, *onid yw ei haehubydd yn* DDUW." Ac os cyd-ddywedwn â'r Apostol Ioan, "DUW *oedd y Gair*," onid gresyn i *ni* omedd ei gyffesu ef yn *Arglwydd*, ac ymostwng i'w orchymynion ef? Gair cyntaf a diweddaf pob gwir gredadyn ddylai fod, "*Arglwydd*, pa beth a *fyni di* i mi ei wneuthur?

2. Fod Iesu yn teilyngu bod yn ARGLWYDD arnom, *am iddo roddi ei hun drosom*. Fel engraifft o'r dull y mae yr Ysgrythyr yn siarad â'r rhai a gredasant yn y Ceidwad, cymerer y testynau hyn: "Oni wyddoch . . . nad ydych yn eiddo eich hunain?" "Eiddo Crist ydych," "Gwisgwch am danoch yr *Arglwydd* Iesu Gsist," "Pa un bynag yr ydym ai byw, i'r *Arglwydd* yr ydym yn byw; ai marw, i'r *Arglwydd* yr ydym yn marw; am hyny pa un bynag yr ydym ai byw ai marw, *eiddo* yr Arglwydd ydym." Os dywed Paul, "gwasanaethwr (*slave*) Iesu Grist," oni ddylai pob Cristion fod? Priodol iawn yw i'r "rhai a brynodd" fod yn *eiddo* iddo! Gweddus ar bob cyfrif yw i *ni* roddi ein gwasanaeth i'r hwn a'i "rhoddes ei hun drosom!" Os efe yw "Crist ein bywyd ni," yn bendifaddeu dylem ni fyw iddo ef! Ac efe wedi ein prynu *a'i waed*, a ydyw yn ormod iddo ein llywyddu *a'i Air?* Dylai ein cariad at ein Hachubydd gael ei wireddu drwy ac *yn* ein ufudd-dod i'n Harglwydd! "O *cherwch* fi, cedwch fy ngorchymynion," meddai efe. Y mae ei ofynion mor eang, a'i hawliau mor gaeth, fel y cyfrifid ef yn orthrymwr hyd oni dderbynir ef fel *cyfaill* pechaduriaid. Y mae ei "faich yn ysgafn," fel "ein Harglwydd," pan dderbyniom ef fel "ein Iachawdwr," eithr hyd hyny, *tyrant* fydd i ni! Yr hwn a olchwyd yn ei waed ef sydd yn dywedyd o'r galon,

"O, llefara, addfwyn Iesu,
Mae dy eiriau fel y gwin!"

Felly cawn yr angel yn cyfeirio at ddyfodiad a hawliau maban Bethlehem fel hyn: "Ganwyd i chwi *Geidwad—hwn* yw Crist yr *Arglwydd*." Gwyn fyd y rhai a allant anerch Iesu megys yr anerchai efe ei Dad, "Da genyf wneuthur dy ewyllys di, *O fy Nuw*, a'th gyfraith sydd o fewn fy nghalon." "Y mae genym ni feddwl Crist," ac y mae efe yn ein dal yn gyfrifol am yr hyn oll a gredwn, a ddywedwn, ac a wnawn, mewn cysylltiad a'r eglwys, "yr hon a brynodd efe â'i waed ei hun." Un sylw pellach:

3. Fod Iesu yn teilyngu yr Arglwyddiaeth arnom ni *am ei fod yn Arglwydd pawb a phob peth ar ein rhan*. Darllener tystiolaeth yr Apostol yn Eph. 1: 20—23, ac, yn ei hymyl, goddefer i mi ofyn, Onid rhesymol i'r hwn sydd "yn ben uwchlaw pob peth i'r eglwys," fod "yn ben ar bawb *yn* yr eglwys?" Pan roddwyd y gorchymyn i bregethu yr efengyl i bob creadur, i'r dyben o gasglu yn nghyd "genedloedd y rhai cadwedig," dywedai ein Gwaredwr a'n Tywysog, "Rhoddwyd i mi bob awdurdod yn y nef ac ar y ddaear," ac, ar sail fod ei air yn ddeddf ar *ran Seion*, drwy bob cwr o'r bydysawd eang, ystyriai nad gormod oedd gofyn fod i'w air ef fod yn ddeddf yn Seion—"gan ddysgu iddynt gadw pob peth ar a orchymynais i chwi." Os oes "ganddo ar ei wisg ac ar ei forddwyd enw wedi ei ysgrifenu, Brenin Brenin-

oedd ac Arglwydd Arglwyddi," y mae yn resyn i'r un o deulu y ffydd beidio dywedyd mewn *ymddygiad*, pan na feiddiai osod hyny mewn geiriau, "Yr wyf yn foddlawn i Iesu fy achub rhag angau, fy ngolchi a'm cannu yn ei waed, a byw bob amser i eiriol troswyf, *ond*, er y cwbl, rhaid i mi fyw fel y mynwyf, o leiaf tra y byddwyf ar y ddaear! Os *rhaid* plygu i'w awdurdod ef yn y nef, yr wyf yn penderfynu bod yn feistr arnaf fy hun hyd angau boed a fyno!" Atolwg, a oes i ni hawl i gyfarch Iesu fel "ein Hiachawdwr" tra y byddom yn ei wrthod fel "ein Harglwydd?" Onid yw yr Ysgrythyr yn *cysylltu* y ddau beth hyn a'u gilydd, a'r "hyn a gysylltodd Duw na wahaned dyn." Fy mrodyr anwyl, na chyfeiliornwch, ac na thwyller chwi!

Boreu dedwydd i'r eglwys a'r byd hefyd yw hwnw y cenir am dano mor fynych,

"Teyrnas Anghrist gaiff ei dryllio,
Iesu yn *Frenin* yn mhob man."

Yn sicr ni byddai bendith fwy yn ein dydd na gweled Cristionogion o bob enw yn gosod eu gwarau o'u gwirfodd o dan iau yr Iesu hwn. Y mae efe ar bob cyfrif yn *teilyngu hyn*, ac yn y modd egluraf yn *hawlio hyn;* a phan gydnabyddir ei hawl gan ei ddeiliaid oll, *yna "yr holl ddaear a fydd lawn o'i ogoniant ef.*"

---

## YSBRYD CYTHREULIG.

GAN AP P. A. MON.

Mae'n syndod fod yr ysbryd cythreulig yn parhau cyhyd yn ei gysylltiad ag Eglwys Rhufain. Buasai dyn yn meddwl fod yn bryd bellach i'r eglwys hynafol hon ymwrthod â'i wasanaeth, a'i fwrw allan o'i chysegr. Wedi bod o wasanaeth dirfawr yn y byd mewn adeg pan oedd dysgeidiaeth bron yn gyfyngedig i'w therfynau, a'i dylanwad yn erbyn drygedd dynolryw yn cael ei gydnabod yn gyffredinol, y mae bellach er's rhai canoedd o flynyddoedd yn rhwystr i ymlediaeniad rhyddid, ac yn faen tramgwydd ar ffordd ymddadblygiad y meddwl dynol a'i annibyniaeth yn ei ymchwiliadau i weithredoedd Duw natur, yn gystal a'r hyn sydd uwchlaw pob peth arall, sef y *Magna Charta* dwyfol, yr hwn a sicrha i ddyn y rhyddid o ddewis y dull a'r modd y byddo iddo wasanaethu Duw.

Buasid yn meddwl i Hanesyddiaeth ddysgu gwers bwysig ac ymarferol i'r Babaeth. Nid oes gobaith mwy iddi ddysgwyl i frenin neu frenines Lloegr grynu am fod y Pab yn bygythio rhyddhau deiliaid Prydain oddiwrth eu ffyddlondeb i'w teyrn; neu, y daw brenin Ffrainc byth eto i Rufain, ac ymwaseiddio trwy aros ar ei ddeulin drwy gydol y nos wrth ddrws y Tad sanctaidd, i erfyn ei faddeuant am wneyd yr hyn oedd groes i'w feddwl a'i ewyllys. Nid yw hyd yn nod y Pab mor ffol a dysgwyl dychweliad y dyddiau dedwydd hyny!

Ond beth am agwedd gwledydd Pabyddol yn y blynyddoedd diweddar hyn? Proffesa y Pab gredu fod pawb tu allan i Eglwys Rhufain yn ddamniedig byth! Dysg yr eglwys hyn i'w meibion—"*the sons of the church.*" Mae y merched yn cael y fraint o gael eu cynwys yn y *meibion*, fel mae dynes yn y *dyn*, gyda ni—dynoliaeth, yr holl hil ddynol. Felly argreffir yn ddwfn ar feddwl y Pabydd natur ei ddyledswydd oddiwrth sefyllfa echrydus pawb nad ydynt "o fewn yr Eglwys." Gwyddom am rai o ffrwythau yr addysg felldigedig hon. Yr ydym oll yn rhwym o gydnabod fod cadwedigaeth yn alluadwy yn yr Eglwys Babaidd, er yr holl ddrygioni y mae wedi bod yn euog o honynt. Y mae yr enwau, yn ddynion ac yn ferched, sydd yn perarogli dalenau hanesyddiaeth, trwy y gweithredoedd mwyaf bendigedig, yn profi fod iachawdwriaeth yn gyrhaeddadwy o fewn Eglwys Rhufain. Y mae llenyddiaeth gysegredig hefyd yn ddyledus i Babyddion—a phe na wyddem mai Pabyddion oedd awdwyr rhai darnau duwiolfrydig, ni ddeallem hyny oddiwrth eu hysgrifau, mwy nag a ddeallem mai Undodydd oedd Channing, wrth ddarllen ei gyfrolau.

Ond mae yr "ysbryd cythreulig" yn

yr Eglwys Babaidd er hyny. Ac yn wir, y mae llawer ysbryd annymunol yn holl eglwysi cred; eithr nid wyf yn meddwl fod yr ysbryd *cythreulig* yn yr un o honynt, oddieithr yn yr hen "fam eglwys" yn unig.

Dengys agwedd y gwledydd Pabyddol wrthweithiad cryf yn erbyn yr ysbryd hwn. Y mae hyd yn nod Awstria, ac yn neillduol Itali—Itali, mamaeth y Cardinaliaid—wedi ymryddhau i fesur helaeth oddiwrth ddylanwad y Pab. Yn Rhufain ei hun y mae gan y Bedyddwyr addoldy, bron dan aden y Vatican! Ymrithiodd yr "ysbryd cythreulig" yn union yn ymddygiad yr offeiriadaeth tuag at y dysgybl cyntaf oddiwrth Babyddiaeth at y Bedyddwyr; ac nid oes yr amheuaeth lleiaf na fuasai ei fywyd wedi myned yn aberth i gynddaredd ei gyd-frodyr, oni b'ai gwyliadwriaeth ofalus ei gyfeillion. Yr oedd gormod perygl ymyraeth dim ag ef yn gyhoeddus, ond ymdrechwyd yn mhob modd ei gael i le dirgel, o dan yr esgusodiad o ddadleu ag ef yn nghylch ei olygiadau newyddion. Ac unwaith bu bron a chael ei dynu i ystafell, yr hon a arweiniai (fe ddeallwyd wedi hyny) i gelloedd tanddaearol. Unwaith yno, ni welsai oleu dydd byth mwy.

Mewn araeth ryfeddol am ei hyawdledd, a draddodwyd yn Senedd Spaen, dros ryddid crefyddol, gan Babydd, dywedodd wrth ddybenu, "Am danaf fy hun, nid oes arnaf ofn rhyddid crefyddol. Os yw y Babaeth yn sylfaenedig ar *wirionedd*, hi saif, ac ni all Protestaniaeth wneyd dim niwed iddi. Yr wyf fi dros ryddid, rhyddid gwladol a chrefyddol!"

Mewn gwirionedd, mae yr holl wledydd fu fwyaf dan ddylanwad y Babaeth, yn taflu eu hiau drom oddiwrthynt, ac o herwydd hyny y mae llygaid y Babaeth ar y wlad eang hon. Penderfyniad y Babaeth yw teyrnasu yn America. Cyhoeddir hyny yn ddigon difloesgni gan ei gwasg. "*Those whom the gods would destroy, they first make mad.*" Nis gellir esbonio dallineb y Babaeth i ddim ond i dynged y duwiau. Y maent wedi eu gwallgofi. Nid yw yn dysgu dim oddiwrth hanesyddiaeth, ond cyfrwysdra, dichell, a baweidd-dra. Y mae cleddyf Nemesis yn hongian wrth edau frau iawn uwch ei phen; ac efallai mai yn ein dyddiau ni, ac yn y wlad hon, y bydd iddo gael ei dori ymaith.

Yr hyn a'm cynhyrfodd i ysgrifenu yr uchod, oedd darllen am un a adwaenwn, pan oedd yn fachgen, flynyddau yn ol, yn byw yn ninas New York. Yr oedd rhywbeth yn gynesol ac addfwyn dros ben yn ei dymherau, ac o ran ei feddwl yn dra duwiolfrydig, Yr oedd ei dad yn un o'r marsiandwyr mwyaf llwyddianus, ac wedi ymneillduo i fyw ar ei gyfoeth. Tueddwyd ef pan yn bymtheg oed i ymuno â'r Babaeth, yr hyn oedd yn ofid i'w rieni, o herwydd Protestaniaid oeddynt hwy. Ond cymaint oedd ei ddifrifoldeb a'i sel grefyddol, fel yr anfonwyd ef i Rufain i berffeithio ei ddysg. Wedi hyny dychwelodd i New York ac urddwyd ef yn offeiriad. Casglodd lyfrfa nad oedd ei chyffelyb ond gan y tadau Jesuitaidd. Yn mis Tachwedd, 1863, daeth yn adnabyddus â barddones ieuanc. Buont yn cyd-ddysgu hyawdledd, ac felly yr oeddynt yn nghwmni eu gilydd yn aml. Syrthiodd yr offeiriad ieuanc mewn cariad dwfn a'i gyd-efrydydd; ac er iddo ddyoddef arteithiau dwys yn ei ymdrechfa rhwng ei ddyledswydd a'i serch, y canlyniad fu iddo briodi yn ddirgelaidd, a byw o dan enw newydd. Diflanasant o New York, ac yn mhen amser derbyniodd boneddiges lythyr oddiwrth y wraig ieuanc, o San Francisco, yn ei hysbysu o ddedwyddwch swynol ei bywyd. Ni chlywyd dim am danynt gan eu cyfeillion yn New York am ysbaid hir, ac o'r diwedd dyma *delegram* yn dyweyd fod yr offeiriad wedi marw o'r darfodedigaeth yn Santa Cruz.

Yr oedd yr offeiriad cyn priodi wedi astudio yn ddyfal y sefyllfa o unigrwydd (*celibacy*), ac wedi ei argynoeddi mai twyll hollol oedd y ddyfais hono, ac nad oedd dim rhwymedigaeth wirioneddol ynddi.

Ond nid cynt y deallwyd fod yr offeiriad wedi priodi, nad ymrithiodd yr

"ysbryd cythreulig," ac nis gadawodd y creadur nes ei ladd. Mewn oesau a aethant heibio, buasai erledigaeth a chosb yn cymeryd llwybr gwahanol, mwy uniongyrchol. Dyma a wnaeth yn yr amgylchiad presenol; erlidiodd yn llechwraidd, yn fawaidd. Yn fuan ciliodd cyfeillion y pâr ieuanc oddiwrthynt yn New York. Aethant hwythau i California. Dilynodd yr ysbryd hwynt yno. Yr oedd iechyd y gwr ieuanc yn gwanychu. Symudwyd i Santa Cruz, er mwyn tymeredd yr hinsawdd. Yr oedd symudiadau yr offeiriad yn cael eu dilyn yn ddibaid o'r naill le i'r llall, fel nas gallai fyned i unlle heb deimlo ei fod yn cael ei wylied yn barhaus. Yr oedd yr "ysbryd cythreulig" fel ei gysgod, ac yr oedd effaith yr ymwybodolrwydd o hyn yn bwyta ei fywyd ymaith. Yr oedd ganddo beth eiddo, a bu yn masnachu—unwaith cyhoeddodd newyddiadur. "Ond o'r mynyd," ebai ei weddw, "y daeth yr offeiriad Pabyddol (yr ysbryd cythreulig ar wedd y gweinidog), i mewn i'n tŷ, gan lefaru yn hyf a chydag awdurdod, 'y mae ein dirgelwch yn adnabyddus,' ni fu lwyddianus mewn masnach." "Er y cyfan," ychwanegai, "yr ydym wedi byw mewn cariad â'n gilydd, nes i afiechyd ei gymeryd ymaith. Yr wyf wedi ysgrifenu at ei dad, ond nis gwn pa fodd yr edrycha arnaf wedi marw fy ngwr. Y mae y rhan fwyaf o'm cyfeillion yn New York wedi fy ngwadu yn hollol."

*Poor thing!* A'r unig drosedd—ordinhad Duw yw priodas—a gyflawnodd y ddau hyn oedd priodi! O! ysbryd melldigedig!—y mwyaf cythreulig o holl ellyllon y fall fawr. Nid yw oes y merthyron wedi myned heibio eto.

## DYNOLIAETH BERFFAITH
## Yn Hawlio Breintiau Cyfatebol i'w Chyflwr.

GAN H. C. PARRY, "CEFNI."

Mae dynoliaeth yn gynyddol. Nid ar unwaith y cyrhaeddai gyflwr o berffeithrwydd. Rhaid iddi fyned drwy wahanol gyfnodau, a bod yn ddarostyngedig i amrywiol ddysgybliadau, cyn y cyrhaeddai o'r MEDDYL-DDRYCH (*ideal*) i'r SYLWEDDOL (*real*). I weled dynoliaeth yn yr *ideal*, rhaid i ni ymdaflu yn ol i'r Meddwl Dwyfol, oesau dirifedi cyn creu y dyn cyntaf erioed; oblegid nid ydoedd "y dyn cyntaf o'r ddaear yn ddaearol," ond "ffurf yr un oedd ar ddyfod," sef "yr ail ddyn, yr Arglwydd o'r nef." Ynddo ef yn unig y ceir dynoliaeth yn *actual* yr hyn ydoedd yn y Meddwl Dwyfol yn *ideal*. Yn yr *ideal* mae dynoliaeth yn gynddrychiad (*representation*) mor fawr, mor aruchel, mor ogoneddus, o allu, awdurdod, a daioni, fel y gosodir hi i lywodraethu ar yr holl greadigaeth. "Ti a ddarostyngaist bob peth dan ei draed ef. Canys wrth ddarostwng pob peth iddo, ni adawodd efe ddim heb ei ddarostwng iddo." Dyna ddynoliaeth yn yr *ideal*. Yn yr *actual* y mae yr achos yn ei gysylltiad â dynoliaeth gasgliadol (*collective humanity*) yn dra gwahanol i hyn. Nid yw y ddynoliaeth yn y *gweithredol* yn sylweddoli y ddyloliaeth feddylddrychol. "Ond yr awrhon nid ydym ni eto yn gweled pob peth wedi eu darostwng iddo." Ni welwyd hyny hyd yn nod yn Adda, ond i fesur a graddau anmherffaith, annghyflawn iawn, wrth yr hyn y ceir ef yn yr *ideal*. Yr oedd Adda yn ei gyflwr o berffeithrwydd cyn y cwymp, mor bell yn ol o fod yn sylweddoli y ddynoliaeth feddylddrychol, ag yw y ffurf neu bortread o sylweddoli y gweithredol.

*Ffurf* neu *figure* oedd y ddynoliaeth yn Adda o'r ddynoliaeth yn yr *ideal*, ac nid ei sylweddoliad yn yr *actual*. Yn Nghrst, yr Ail Adda, y ceir hyny. "Eithr yr ydym ni yn gweled Iesu, yr hwn a wnaed ychydig yn îs na'r angelion, o herwydd dyoddef marwolaeth, wedi ei goroni a gogoniant ac anrhydedd, fel trwy ras Duw y profai efe farwolaeth dros bob dyn." Ynddo ef mae dynoliaeth yr *ideal* yn cael ei sylweddoli yn yr *actual*. "Felly hefyd y mae yn ysgrifenedig, Y dyn cyntaf Adda a wnaed yn enaid byw, a'r Adda diweddaf yn ysbryd yn bywhau. Eithr

nid y cyntaf yr ysbrydol, ond yr anianol; ac wedi hyny yr ysbrydol. Y dyn cyntaf o'r ddaear yn ddaearol, yr ail ddyn yr Arglwydd o'r nef." Daeth Iesu Grist a dynoliaeth berffaith i'r byd, yn cyfateb yn hollol i'r *ideal*—dynoliaeth nefol. Dynoliaeth ddyrchafedig at bethau nefol mewn syniadau, serchiadau, a theimladau; "Mab y dyn yr hwn sydd yn y nef," sydd i fod yn gynllun a safon moesol i'r rhywogaeth ddynol, yn nadblygiad ei natur ysbrydol. "Fel y mae y daearol, felly y mae y rhai daearol hefyd; ac fel y mae y nefol, felly y mae y rhai nefol hefyd. Ac megys y dygasom ddelw y daearol, ni a ddygwn hefyd ddelw y nefol." Dyna y ddynoliaeth yn ei pherffeithrwydd. Cyn cael dynoliaeth i'r cyflwr hwn, rhaid iddi fyned drwy wahanol ddadblygiadau, o'r plentyn hyd y dyn perffaith. I'r dyben hwn, trefnodd a gosododd Duw wahanol gyfundraethau dysgyblaethol i ddysgu dynoliaeth yn foesol ac ysbrydol. Dan y gwahanol oruchwyliaethau hyn, caed rhyw gymeriad mawr a neillduol, yn sefyll i fyny yn safon dynoliaeth ac yn athraw dynion.

Ni ddysgwylid yr ymddyrchafai dynoliaeth i'r ysbrydol, yn uwch na'r safon hwnw, dan y ddysgeidiaeth hono. Darllenwn am Enos "yn galw ar enw yr Arglwydd," yn athraw crefyddol i'r byd; ac am Enoch "yn rhodio gyda Duw," yn gynllun o fywyd rhinweddol i'r byd. Un uwch na'r rhai hyn ydoedd Noah, "pregethwr cyfiawnder." Yr oedd dynoliaeth yn cynyddu; ond nid allai gynyddu i fod yn fwy na'r safon a osodid iddi, a'r ddysgeidiaeth a gyflwynid iddi, gan y cymeriadau mawrion hyn.

Mwy na neb a fuasai o'i flaen ydoedd Abraham. Dygwyd trwyddo ef ddysgeidiaeth newydd i'r byd; fel "y bendithid holl deuluoedd y ddaear yn ei had ef." Gellid cymharu dynoliaeth i blentyn yn dechreu cerdded ac yn dechreu siarad, dan y cyfamod Abrahamaidd. Pethau plentyn o ddynoliaeth, neu ddynoliaeth yn ei chyflwr plentynaidd, oedd y pethau a roddid iddi dan y cyfamod, neu y gyfundraeth hono o addysg ysbrydol, "yr enwaediad." Nid oedd cyfundrefn reolaidd o addoliad cymdeithasol wedi ei sefydlu eto. Rhaid cael cymeriad mwy na welodd y byd eto, i fod yn safon ac yn athraw dynoliaeth, cyn y gellid sefydlu cyfundraeth reolaidd o addoliad cymdeithasol, a chynllun bywyd dysgyblaethol ar y ddaear.

Cyfododd Duw y cymeriad mawr hwnw, na fu yr un o'i flaen, na yr un ar ei ol, hyd Ioan Fedyddiwr, mor fawr ag ef, *Moses*. Trwyddo ef y rhoddwyd y gyfraith i'r byd. Bwriadwyd a chymwyswyd y ddeddf at gyflwr y ddynoliaeth, mewn sefyllfa is-raddol ac anmherffaith o ddadblygiad ysbryd. Yn y cyflwr hwn rhaid oedd dysgu dynoliaeth trwy reolau pendant (*maxims*), hyd nes y deuai yn alluog i ddirnad egwyddorion bywyd uwch a pherffeithiach. Gelwir y rheolau a'r defodau hyn gan yr apostol, yn "ymgeleddwyr a llywodraethwyr" (*tutors and governors*). Yr oeddynt i barhau hyd yr amser a osodid gan y Tad; ond wedi ateb eu dyben, yn mherffeithiad y ddynoliaeth, yr oeddynt i'w rhoi heibio; ac egwyddorion cymwys i gyflwr dynoliaeth berffeithiach yn cymeryd eu lle. (Gal. 4 : 1—8.) Yma y dysg yr apostol anghymwysder "egwyddorion llesg a thlodion" y ddeddf, i gyfarfod a chyflwr perffeithiach dynoliaeth dan yr efengyl. Y gymariaeth a ddefnyddia ydyw hyn: Tad doeth a da yn trefnu i'w fachgen cyn cyrhaedd oedran etifedd, i fod "dan ymgeleddwyr a llywodraethwyr." Yn y cyflwr hwn, "nid oes rhagor rhyngddo a gwas, er ei fod yn arglwydd ar y cwbl." Pan y daw y bachgen i'w oed, rhyddheir ef oddiwrth awdurdod "yr ymgeleddwyr a'r llywodraethwyr;" dyrchefir ef o'r cyflwr gwasaidd hwnw, a gosodir ef yn nghyflawn feddiant o'r etifeddiaeth. Yr addysg a gynwysir oddiwrth y ffaith ydyw, Fod cyflwr y mab fel etifedd yn hawlio rhywbeth uwch na'r hyn a wnaed iddo pan nad oedd "rhagor rhyngddo a gwas." Mae dynoliaeth berffaith yn hawlio breintiau cyfatebol i'w chyflwr. Nid yr un pethau ag oedd yn cyfateb i'w chyflwr Iuddewig a

wna y tro iddi yn ei chyflwr Cristionogol, oblegid y mae Crist, MAB DUW, y ddynoliaeth nefol neu ddwyfol, "yr ail ddyn, yr Arglwydd o'r nef," "yn nghyflawnder yr amser," wedi ein rhyddhau oddiwrth gyfraith y *maxims*, a'n dyrchafu i feddiant o egwyddorion ysbrydol, "Ysbryd Mab Duw." Nid llywodraeth "egwyddorion y byd," eithr rhyddid meibion, yw ein rhan dan drefn y mabwysiad, yr hon a dderbyniasom trwy Iesu Grist. "Ac o herwydd eich bod yn feibion, yr anfonodd Duw Ysbryd ei Fab i'ch calonau chwi, yn llefain, Abba, Dad. Felly nid wyt ti mwy yn was, ond yn fab; ac os mab, etifedd hefyd i Dduw trwy Grist." Yr oedd enwaediad ar faban wyth niwrnod oed yn gymwys i gyflwr y ddynoliaeth Iuddewig, i'w ddysgu mai plentyn ydoedd eto; ond ni wna *taenelliad babanod* y tro i gyflwr y ddynoliaeth Gristionogol; oblegid nid all hyny ei dysgu mai mab ac etifedd yw. Rhaid cael rhywbeth mwy, uwch, a chyflawnach, i ateb i gyflwr dynoliaeth berffaith—rhywbeth yn dangos genedigaeth i gyflwr newydd o berthynas â Duw trwy Iesu Grist. Mae bedydd y crediniol yn dysgu hyny, "Canys chwi oll ydych blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu; canys cynifer o honoch ag a fedyddiwyd yn Nghrist, a wisgasoch Grist." Yn y bedydd dangosir dynoliaeth gyflawn, yn honi ei pherthynas ysbrydol â Duw yn Nghrist; ac yn hawlio ei rhagorfreintiau, "fel etifedd yn ol yr addewid."

Beth ydyw y breintiau a hawlia dynoliaeth yn y cyflwr hwn o berffeithrwydd? Bod yn rhydd oddiwrth y ddeddf, a dyrchafiad i urddas mab ac etifedd i Dduw. Mae Iesu Grist yn edrych ar ddynoliaeth mewn tri chyflwr o ddadblygiad ysbrydol, yn cael ei chynrychioli gan dri chymeriad mawr, y prophwyd, *Ioan*, a CHRIST. "Eithr pa beth yr aethoch allan i'w weled? ai prophwyd? ïe, meddaf i chwi, a mwy na phrophwyd." Mae y prophwyd, yma, yn golygu urdd o ddysgawdwyr, yn cyrhaedd o Moses i waered hyd y Bedyddiwr; swydd y rhai oedd galw y bobl at gyfraith Moses. Nid oedd yn codi yn uwch na Moses; eithr, yn briodol, yn cynrychioli Moses. Yr oedd Moses, neu y "prophwyd," yn gymeriad mawr—yn safon uchel—a'i ddysgeidiaeth yn dyrchafu dynoliaeth yn uwch nag eiddo neb o'i flaen; eithr yr oedd Ioan Fedyddiwr yn gymeriad mwy na y "prophwyd," yn safon ysbrydol uwch, a'i ddysgeidiaeth yn rhagorach na neb a fu o'i flaen. Yr oedd yn dyfod "yn ffordd cyfiawnder," yn "genad o flaen gwyneb" Duw, yn "darparu pobl barod i'r Arglwydd." "Yn wir, meddaf i chwi, ni chododd yn mhlith plant gwragedd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr." Yr oedd ef yn ddigon mawr i ddwyn i mewn deyrnas nefoedd ar y ddaear, ac i derfynu byth weinidogaeth y prophwydi. "Canys yr holl brophwydi a'r gyfraith oedd hyd Ioan." Terfynodd ei weinidogaeth ef oruchwyliaeth y *maxims*, a dygodd i fewn oruchwyliaeth y *principles*—"Bedydd edifeirwch er maddeuant pechodau." Yr oedd dynoliaeth yn uwch yn Ioan nag yn neb arall a fu erioed o'i flaen. Yr oedd bron a chyrhaedd ei pherffeithrwydd; a'i ddysgeidiaeth mor berffaith, fel nad oedd lle i'w pherffeithiach, heb fyned i mewn i ddysgeidiaeth Mab Duw ei hun. Yr oedd yn *introducio* i hono—"yn pregethu teyrnas nefoedd."

Yr oedd dynoliaeth yn addfedu i ddatguddiad *perffeithiach* o'r dwyfol a'r ysbrydol. Caed hwnw yn Nghrist. Dygodd Iesu Grist ddynoliaeth ddwyfol i'r byd. Y mae efe yn fwy nag Ioan, yn safon uwch dynoliaeth, ac yn athraw perffeithiach ei ddysgeidiaeth. Wedi ei gael ef, cafwyd dynoliaeth yn y gweithredol, yn sylweddoli dynoliaeth feddylddrychol, yr *actual* yn *realizio* yr *ideal*. Y peth oedd dynoliaeth yn meddwl Duw, ydyw hi yn Nghrist; ac ynddo ef y ceir dynoliaeth yr hyn y bwriadwyd iddi fod; felly mae Iesu Grist yn fwy nag Ioan—yn safon perffaith, yn athraw perffaith, ac yn gynllun perffaith dynoliaeth. Yr hyn ydyw dynoliaeth yn Nghrist ydyw dynoliaeth i fod, yn mhob dyn. Yr hyn ydyw hi yn Nghrist a fydd hi byth yn holl blant Duw. "Oblegid y rhai

a ragwybu, a ragluniodd efe hefyd i fod yn un ffurf a delw ei Fab ef; fel y byddai efe yn gyntafanedig yn mhlith brodyr lawer." Yr hyn ydyw y ddynoliaeth yn Nghrist ydyw yr hyn y cydnabyddir ei bod yn y Cristion hefyd. Maethu a pherffeithio y ddynoliaeth ydyw amcan dysgeidiaeth yr efengyl. "I berffeithio y saint i waith y weinidogaeth, i adeilad corph Crist; hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist; fel na byddom mwyach yn blantos yn bwhwman, ac yn ein cylcharwain â phob awel dysgeidiaeth trwy hoced dynion, trwy gyfrwystra i gynllwyn i dwyllo." (Ephes. 4: 11—16.)

Y ddynoliaeth berffaith yn Nghrist yw defnydd dynoliaeth berffaith y credadyn. Mae Iesu Grist yn safon dynoliaeth berffaith, yn gynllun dynoliaeth berffaith, ac yn ddefnydd dynoliaeth berffaith.

Y cwestiwn, gan hyny, yw, pa fodd y trosglwyddir elfenau dynoliaeth Crist i'r saint, ac y daw y crediniol yn gyfranog o'r elfenau hyny, fel y ffurfir ynddo y ddynoliaeth berffaith yr hon sydd yn Nghrist? Atebir hyn mewn dwy ffordd; sef, trwy ddysgu Crist; ac hefyd, trwy dderbyn o'i ysbryd ef. Pan yn dysgu Crist, yr ydym yn dysgu person. Un peth ydyw dysgu cynyrchion y dyn; peth arall yw dysgu y dyn. Dysgu person yw myned i mewn i natur fewnol y dyn, ac ymgydnabyddu â'r elfenau mawrion a ffurfiant ei gymeriad. Dysgu Crist yw ymgydnabyddu ag elfenau tragywyddol natur ysbrydol Crist, nes y cenedlir cydymdeimlad rhinweddol â'i natur ef yn natur ysbrydol y dyn; yr hwn yw dechreuad, *germ*, y natur Gristionogol. "Fy mhlant bychain, y rhai yr wyf yn eu hesgor drachefn, hyd oni ffurfier Crist ynoch." Trwy ddysgeidiaeth yr efengyl y ffurfir Crist yn y dyn. "Canys pe byddai i chwi ddeng mil o athrawon, er hyny nid oes i chwi nemawr o dadau; canys myfi a'ch cenedlais chwi yn Nghrist Iesu trwy yr efengyl." Hefyd, rhaid derbyn o ysbryd Crist mewn trefn i fod yn gyfranog o'i natur ysbrydol ef. "Ac o herwydd eich bod yn feibion yr anfonodd Duw ysbryd ei Fab i'ch calonau chwi, yn llefain, Abba, Dad." Dyna beth mawr, ysbryd Mab Duw yn y galon! Mae ysbryd y ddynoliaeth berffaith sydd yn Mab Duw yn egwyddor fyw dynoliaeth berffaith y Cristion. Y mae y ddynoliaeth mor berffaith yn Nghrist ag yw yn y bwriad dwyfol; ac y mae'r saint yn cael eu cynrychioli yn Nghrist mor berffaith ag y byddant byth yn weithredol; ac hefyd, mae elfenau dynoliaeth berffaith mor wirioneddol yn y saint ag ydynt yn Nghrist. Un corph sydd, ac un ysbryd, megys ag y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedigaeth; un Arglwydd, un ffydd, un bedydd; un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll. Eithr i bob un o honom y rhoed gras, yn ol mesur dawn Crist." Y ddynoliaeth berffaith yna yw y ddynoliaeth Gristionogol; neu y natur ddynol wedi ei dyrchafu i'r ysbrydol trwy ras Duw yn Nghrist. Nid dewisiad Duw yn Nghrist ydoedd sefydlu yr ordinhad o fedydd—trochi y crediniol mewn dwfr ar broffes o'i ffydd yn y Drindod Lân—eithr angenrheidrwydd natur pethau. Mae dynoliaeth berffaith *ideal* y Tad, yn *actual* yn Nghrist y Mab, ac yn cael ei ffurfio yn y credadyn gan yr Ysbryd Glan, yn cael ei harddangos yn medydd y crediniol. "Gan eu bedyddio hwy yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan."

Rhaid i'r ddynoliaeth mewn cyflwr fel hyn gael rhywbeth uwch, a mwy ysbrydol, i arwyddo ei chyflwr urddasol, fel mab ac etifedd i Dduw trwy Grist, na'r hyn oedd yn gymwys iddi yn ei chyflwr is o was, dan y ddeddf. Rhaid iddi gael rhywbeth a'i dengys yn ei llawn faint, ac nid yn blentyn mwy. Ei dangos yn blentyn yr oedd yr enwaediad; a'i dangos yn blentyn mae taenelliad babanod yn ei wneyd. Troi yn ol at "egwyddorion llesg a thlodion" ydyw arfer taenelliad babanod—y *maxims* cnawdol—yn lle myned yn mlaen gyda'r egwyddorion dwyfol. Nid all taenelliad babanod byth sylweddoli yr enwaediad. Newid *toys* y plant fyddai hyny. Plentyn oedd y

ddynoliaeth Iuddewig; ac yr oedd enwaediad ar fabanod yn ateb i'w chyflwr. "Gwr perffaith, at fesur oedran cyflawnder Crist" yw y ddynoliaeth Gristionogol; ac y mae y bedydd Cristionogol yn ei ddangos felly.—Rhaid rhoi y *toys* heibio. "Pan aethum yn wr mi a roddais heibio bethau bachgenaidd." Dirmyg ar Grist, fel safon dynoliaeth berffaith, yn gystal a cham-ddarluniad o gyflwr urddasol dynoliaeth Gristionogol, ydyw taenelliad babanod, fel ffug-ddefod grefyddol. Clytio yr ysbrydol â'r cnawdol ydyw; a cheisio gwthio corph y dyn perffaith i ddillad y baban bychan! "Y corph sydd o Grist." Bedyddiwyd Crist, y dyn perffaith, ond ni thaenellwyd ar Grist y baban; a gwrthuni yw taenellu ar Grist eto, yn mherson y baban. Rhodder eiddo Crist i Grist, ac ymwrthoder a phethau llesg, tlodion a disail, fel arferion crefyddol. "A ydych chwi mor ynfyd, wedi i chwi ddechreu yn yr ysbryd, a berffeithir chwi yr awrhon yn y cnawd?" "Awn rhagom at berffeithrwydd."

---

**DWFR BYWIOL.**

Dwfr bywiol, dwfr bywiol! rho drem,
Gwel! doif sychedig, ddiwahan,
Hyd ffyrdd cras bywyd yn myn'd oll
Ar alwad pleser, "hoen a chân,"
A gwefus llosg a dwylaw cryn,
Y gwpan demtiol yfant hwy;
Melus yw ei chynwys; ond, Och!
Eu henaid sydd mewn syched mwy.

Dwfr bywiol, dwfr bywiol! yn awr
Cynygia duwiau cyfoeth mad
Bentyrau lu o felyn aur
I dori syched pawb heb wâd.
Addewid wael! gobeithion gau!
Ar hyd ffordd dinystr treiglant lawr,
Yr aur grafangant dry yn llwch,
A'u henaid sydd mewn syched mawr.

Dwfr bywiol, dwfr bywiol! beth yw?
Uchelgais dd'wed mewn uchel fôst,
"Arwrol gampau, anfarwol glod,
Yn *sicr* a dyr eich syched tost."
Yn aiddgar iawn hwy ddringant fry,
I gael y gamp, ac at y nod,
O hyn yr yfant gwpan lawn,
Pery'r syched, ni phaid a bod!

Dwfr bywiol, dwfr bywiol! medd UN,
A'r hyn a ddywed ef a bair;
"Oddiwrthyf fi mân ffrydiau byw
Sy'n rhedeg allan yn fy Ngair;
Y ffrydiau eraill gwenwyn y'nt,
Y ffrydiau *hyn* y'nt bur, ddilyth,
O honynt yfwch bawb yn rhad,
Ac ni sycheda'ch henaid byth."

Ie, Waredwr, diolchus de'wn
'N awr atat, Ffynon bywyd bur,
Ein gwefus llysg, ein nerth a ball
Gan drallod, pech, a phob ryw gur;
O, gariad mawr, ddangosaist in',
Wrth fyw a marw yn ein lle,
Ti roddaist in' ddwfr bywiol, gwir,
Digona hwn, can's daeth o'r ne'. B. B.

---

## CHWILIO YR YSGRYTHYRAU.

GAN Y PARCH. W. D. THOMAS, MAHANOY.

Rhoddwn rai rhesymau dros chwilio yr Ysgrythyrau.

Mae y ffaith fod y Beibl *mor effeithiol ar y byd* yn gyffredinol, yn gymelliad cryf ar bawb i'w chwilio. Tyner llinell ar y ddarlun-len o amgylch y gwledydd mwyaf moesgar, goleuedig a galluog. Pa rai ydynt? Atebwn, onid y rhai sydd yn darllen ac yn chwilio fwyaf ar y Beibl ydynt? Tyner y llinell eto o amgylch y rhai sydd flaenaf mewn gwybodaeth, purdeb a gallu. Pa rai ydynt hwy? Ai y sawl sydd a'r Beibl yn eu meddiant, ond yn ei gadw rhag y werin? Gresyn fod dynion i'w cael yn gwneyd eu goreu i gadw gair Duw oddiwrth y bobl! Ond ceir *rhai* mewn ambell fan, er gwaethaf y Pab a'i holl weision, yn mynu yr hawlfraint hon iddynt eu hunain. Dygwyddodd i offeiriad Pabyddol yn yr Iwerddon yn ddiweddar, gael allan fod un o aelodau ei eglwys yn darllen y Beibl, a cheryddodd ef yn llym am iddo feiddio darllen llyfr a waherddid mor benodol, a hyny gan awdurdod mor uchel. Dechreuodd y dyn gyfiawnhau ei hun yn ngwyneb y cyhuddiad, trwy alw sylw at gynwysiad y Llyfr, a'r athrawiaethau pur a ddysgid ynddo. Gwnaeth hyn yr offeiriad yn llawer gwaeth, a dywedodd wrth ddarllenwr y Beibl, gyda llid mawr, nas gallesid deall athrawiaethau y llyfr hwn ond gan y dynion dysgedig, a bod yr anwybodus yn eu gwyro i'w dinystr eu hunain. "Ond," meddai y

dyn, "yr wyf wedi derbyn awdurdod i ddarllen y Beibl." Synodd yr offeiriad at hyn, a gofynodd, gan bwy? oblegid ystyriai mai yn llaw y Pab yr oedd allwedd rhyddid a chydwybod pawb, ac felly fod yn rhaid i hwn hefyd i gadw ei lygaid oddiar y llyfr. "Wel, dyweded y Pab a fyno," meddai, "mae Iesu Grist yn fwy na phawb, a'i orchymyn ef yw, "Chwiliwch yr Ysgrythyrau," &c. Yr oedd y rheswm hwn yn ormod i allu yr offeiriad ei droi yn ol.

Ond mae miloedd lawer, er yn meddu y manteision mwyaf ffafriol i'w chwilio, yn eu hesgeuluso!

Mae gan y Beibl, ar wahan oddiwrth ei ysbrydolrwydd, fwy o hawl ar sylw ac edmygedd dynion na holl lyfrau y byd gyda'u gilydd. Cawn ynddo ystorfa o'r lenyddiaeth fwyaf goethedig; ffynonell egwyddorion puraf moesoldeb; a'r syniadau mwyaf aruchel am ryddid a chyfiawnder. Am hyny chwiliwn yr Ysgrythyrau. Colled annirnadwy yw bod heb eu gwybod.



Mae y dylanwad sydd gan yr Ysgrythyrau ar gymeriad y dyn yn rheswm cryf dros eu chwilio. Y Beibl yw un o offerynau penaf iachawdwriaeth yr enaid; mae dan wraidd holl foddion gras. Caniatawn fod ffydd yn anhebgorol angenrheidiol, eto mae ffydd yn dyfod trwy glywed, a chlywed trwy Air Duw.

Esbonir y pwysigrwydd o chwilio y y Beibl, yn hynod effeithiol ac eglur yn hanes troedigaeth yr eunuch galluog o Ethiopia. Yr Ysgrythyr oedd y prif offeryn yn ei ddychweliad ef. Trwy y cyfryw daeth yn gredadyn, ac y bedyddiwyd ef. (Act. 8: 27, &c.)

Mae gweddi braidd yn hollalluog. Mae hi yn esgyn i'r nefoedd; eto mae yn gorfod cael ei thraed ar ysgol yr addewidion. Mae yr amrywiol raddau yn iachawdwriaeth yr enaid yn cael eu cyrhaedd trwy ddylanwad cyffredinol Gair Duw; ac yn aml, trwy offerynoliaeth ymadroddion neillduol, yn gwneyd argraff ddwfn ar y meddwl. Mae argyhoeddiad o bechod yn cael ei wneyd yn y ffordd hon yn fynych; gair yr Arglwydd yw yr "ordd" sydd yn dryllio, a'r "tân" sydd yn toddi y galon gareg. Hefyd, y gair fel moddion sancteiddhad. "Sancteiddia hwy trwy dy wirionedd, dy air sydd wirionedd," meddai Iesu wrth ei Dad.

Yn y gair y dadblygir cymeriad yr Anfeidrol; ac wrth ei chwilio y tueddir ni i'w edmygu; a'r canlyniad fydd i ni gael ein trawsffurfio gan ysbryd y gwirionedd i'w ddelw sanctaidd ef.

Trwy y gair, fel offeryn yn llaw yr ysbryd, yr ydym yn dyfod i wybod ein bod yn wan, ac yn cael ein cryfhau. Yma y dysgir ni y modd yr ydym yn cael ein temtio, ac y cawn allan y ffordd i orchfygu profedigaethau. Ceir un prawf nodedig o hyn yn y frwydr fawreddog hono yn yr anialwch rhwng Cadben mawr ein Hiachawdwriaeth a'r diafol. Pan oedd Iesu yn defnyddio cleddyf llym dau-finiog yr Ysbryd, yr oedd Satan yn gorfod gadael y maes yn golledwr. Mae yr un mor ddefnyddiol ac effeithiol i ninau eto. Gwyn ei fyd y dyn yr hwn yn adeg y frwydr sydd a'i gleddyf wrth ei ochr, ac yn

gwybod y ffordd i'w ddefnyddio; a gwae yr hwn sydd a'i gledd yn rhydu yn y wain.

Yn ngwyneb yr uchod, mae ein manteision yn lluosog, a'n cyfrifoldeb yn fawr. Nis gellir dirnad y niwed a gawn ni, na'r dirmyg a roddir ar Dduw wrth ein bod yn esgeuluso chwilio yr Ysgrythyrau. Pan fyddo y deiliad yn derbyn llythyr oddiwrth y brenin, y mae yn ei ddarllen yn fanwl, ac yn ymdrechu ei ddeall yn llwyr, yn enwedig os bydd yr ohebiaeth yn cynwys pethau o bwys iddo ef. Felly dylai yr hwn sydd yn cydnabod Duw yn ben, wneyd gyda'r datguddial dwyfol.

Un o brif nodweddion y dyn da, meddai Dafydd, yw, ei fod yn myfyrio yn nghyfraith yr Arglwydd ddydd a nos, &c. "Preswylied gair Crist yn helaeth ynoch, yn mhob doethineb," medd yr apostol. Mae yr hyn a ddywed Ioan (Dat. 1 : 3), am ran o'r Beibl, yn gymwysiadol i'r oll o hono: "Dedwydd yw yr hwn sydd yn darllen, a'r rhai sydd yn gwrando geiriau y brophwydoliaeth hon, ac yn cadw y pethau sydd yn ysgrifenedig ynddi."

---

## SABBOTH OLAF LUTHER.

RHAN II.

"Pan oeddwn yn fyfyriwr yn Erfurth," ychwanegai Luther, "gosodwyd fi ar wely yn glaf, a chredwn fod fy niwedd yn agos, ond offeiriad oedranus yn dyfod i mewn a ddywedai wrthyf fod y groes yn cael ei rhoddi i'r rhai y mae Duw yn eu caru, ac os byddai i mi gael lles trwyddi, y gallwn fyw er dyddanwch i lawer o galonau. Yr oeddwn yn parhau o dan grefydd ofn, pryd y'm goddiweddwyd gan dymestl ar fy ffordd i Erfurth. Disgynai y daranfollt wrth fy nhraed, a theflais fy hun ar fy ngliniau, gan dybied fod fy awr olaf wedi dod. Y pryd hwn y gwnaethum adduned a'm harweiniodd i ymadael â'r byd ac ymgyflwyno i fynachdy yr Awstiniaid. Nid oeddwn eto wedi dysgu gwybod beth oedd crefydd meddwl iachus. Gyda yr ysgrepan ar fy nghefn aethum drwy y dref i gardota bara ac wyau i'r mynachdy, ac aethum drwy yr holl reolau celyd a manwl perthynol i'r urdd, ond nid oedd i mi heddwch oddi mewn. Ni welwn ddim o fy mlaen ond rhyw ddysgwyl ofnadwy am farnedigaeth ac angerdd tân. Y pryd hyny y daeth Staupitz, o goffadwriaeth fendigedig, ataf, a dywedai, 'Frawd Martin, paham yr ydych mor drallodedig?' Dywedais wrtho fod pechod yn rhy gryf i mi, a fy mod yn ofni marwolaeth dragywyddol. Dywedodd wrthyf, 'Edrychwch i archollion yr Iesu, ar y gwaed a dywalltodd efe drosoch. Nid yw Duw yn ddigllawn wrthych. Y chwi sydd yn ddigllawn wrth Dduw.' Dyddanwyd fi ryw gymaint, ond dechreuais anobeithio. Edrychais allan ar y byd, a dywedais wrthyf fy hun nad ydyw ffyrdd Duw yn deg. Nid allwn edrych i mewn i ddirgelwch bodolaeth, ac ymwneyd Duw â dynion. Daeth Staupitz ataf eto, a dywedodd, 'Frawd Luther, edrychwch ar archollion Crist; ni allwn ddeall Duw allan o Grist; ynddo *ef* mae yr Arglwydd wedi dyweyd, Chwi a ganfyddwch beth ydwyf a pheth a geisiaf.' 'Staupitz, rhoddwch i mi y Beibl yr hwn wyf yn arfer gario bob amser gyda mi. Ynddo yr wyf yn canfod i ni brynedigaeth drwy ei waed ef, a bod Duw yn maddeu pechodau yn rhad.' Yr oeddwn wedi darllen yn y Prophwyd 'fod y cyfiawn yn byw trwy ffydd,' ac ymddangoswn fel yn sylweddoli hyny. Ond nid oedd y profiad o'r maddeuant hwnw yn dod ar unwaith; anfonwyd fi i Rufain, ac yno y gwelais yr hysbysiad y gwnaethai y Pab ganiatau maddeuant i unrhyw un a wnai ar ei liniau esgyn grisiau Pilat.

Yr oeddwn o hyd mewn dyryswch gyda yr hen ofergoelion. Ceisiais wneyd yr esgynfa, ond ar ol llafur hir dechreuais amheu lles y dull hwn o faddeu; a geiriau y prophwyd a ddeuent gan adseinio i fy nghlustiau fel pe buasent yn cael eu llefaru gan lais o'r nef, 'Y cyfiawn a fydd byw trwy ffydd.' Yr athrawiaeth yna ydyw dinystr arglwyddiaeth Rhufain ar gydwybodau dynion. Gadewch iddynt unwaith wybod fod Duw yn maddeu pechod

heb dâl na phenyd, a syrth rhagfuriau crynedig Rhufain yn bendramwnwgl i lawr."

"Ai nid ydych wedi clywed," ebe Pomeranus, "y newyddion bygythiol? Mae y Pab a'r Ymerawdwr wedi ymgyfamodi i ddistrywio pawb ag ydynt wedi derbyn y ffydd Ddiwygiedig. Mae y Cyngor a ymgynullodd y flwyddyn ddiweddaf yn Trent wedi rhoddi allan ei anathema yn ein herbyn, ac yn awr mae milwyr Germani i uno i'n distrywio gyda galluoedd Rhufain Babaidd."

"Nid y tro cyntaf," ebe Luther, "i Herod a Philat fyned yn gyfeillion. Y Pab, gyda ei holl fost ysbrydol, nid yw ond gallu daearol, ac yn terfysgu yn erbyn eneiniog Duw, fel y terfysga gorthrymwyr gorchfygedig yn eu llid. Hwn yw nod yr Anghrist mawr, yn proffesu bod yn allu ysbrydol, ac yn arfer gorfodaeth. Teyrnas Crist, nid yw o'r byd hwn. Pe buasai y Pab a'i amddiffynwyr yn weision Crist, ac yn cynrychioli ei deyrnas, ni fyddai iddynt ymladd; byddai cleddyf Pedr byth yn ei wain. Ond mae y diafol er's amser hir wedi gosod ei eisteddle yn Eglwys y Pab; nid yw mwyach yn eglwys i Grist. Gall dyddiau tywyllwch ddyfod eto ar y ddaear; gall y saint fod yn ychydig; gallant gael eu hymlid i'r coedwigoedd, a'u gyru i leoedd diffaeth, i addoli Duw mewn tyllau ac ogofâu y ddaear. Ond mae gwirionedd Duw yn ddiogel. Mae gwir eglwys Dduw yn ddiogel. Ein tynged ni yw bod yn dlawd, ac eto yn gwneyd llawer yn gyfoethog; yn marw, ac wele byw ydym."

"O!" ebe Melancthon, "na fuasai iddynt roddi i ni Gyngor Cyffredinol amser maith yn ol, a chaniatau i ni y diwygiad sydd yn awr yn hanfodol er bodolaeth yr eglwys."

"Na ddysgwyliwch ddim oddiwrth y Cyngor," ebe Luther, "gwnaethum i apelio at Gyngor, nes yr adnabum natur y dynion sydd yn llywodraethu eglwys Rhufain. Pan oeddwn yn garcharor yn y Wartburg, yr oedd genyf amser i feddwl. Temtiai y diafol fi yn ddychrynllyd. Cymerodd afael ynwyf gyda phoenau uffern; ond llefais ar Dduw, a gwaredwyd fi. Daeth y diafol ataf unwaith, a dywedai, 'Martin, yr wyt yn ynfyd i ymladd gyda y rhai ag sydd gymaint yn gryfach na thi; gad y Pab yn llonydd, a rhoddaf i ti fywyd Cardinal, wedi ei amgylchynu â moeth a phleser.' Ond yr oeddwn wedi dysgu i beidio cyflafareddu gyda y diafol. Safai gerllaw y mur gydag ysgyrnygiad ar ei wyneb, tra yr oeddwn yn cyfieithu gair bendigedig Duw i iaith fy nghenedl. Mae y diafol yn casâu y gair hwnw, a dymunai fy nychrynu rhag myned yn mlaen gyda'm gwaith. Dywedais wrtho, 'Satan, cerdd ymaith!' Chwerthinodd arnaf, carcharor digymorth yn cael ei ymlid gan Babau ac Ymerawdwyr. 'Diafol a'th gymero ymaith,' meddwn; ond nid oedd un diafol gwaeth nag ef i'w gymeryd ymaith. 'Dal dy ben i fyny, ynte, Satan,' meddwn, ac o'm llaw ddehau dyma y botel inc yn clecian yn erbyn y mur. Mewn unigedd gallwn gyfarfod y diafol. Ar ol i'r Iesu ddarfod ymprydio yn yr anialwch, yr ymddangosodd y temtiwr. Ond mewn unigedd hefyd y gallwn gyfarfod â Duw, ac yfed yn helaethach o ffynon gwirionedd tragywyddol. Yn y Wartburg cadarnhawyd fi yn ffydd yr efengyl. Hyd yn hyn yr oeddwn wedi amddiffyn fy hun rhag Anghrist, ond yn awr daethai yr amser yr oedd yn rhaid i Anghrist gael ei wrthwynebu."

"Oedd yn dda," ebe Pomeranus, "i roi i'r bobl air Duw, a gadael iddynt ddarllen drostynt eu hunain. P'le bynag mae dynion wedi cael ffordd rydd at y Beibl, mae gallu Rhufain wedi bod yn wanaidd."

"Gwir," ebe Luther, "nid ydym yn unig. Nid ydym yn ddechreuwyr unrhyw grefydd newydd; yr ydym ni yn myned yn ol i'r hen lwybrau, ac ni fu adeg yn hanes yr eglwys pryd nad oedd ganddi ddynion y rhai oeddynt dystion i'r Gristionogaeth syml ag mae Rhufain wedi ei llygru. Ni fu gwlad ein tadau erioed yn wirioneddol Babyddol; nid yw ysbryd y Teutoniaid yn cytuno gydag eiddo y Lladinwyr. Yr ydym ni yn caru rhyddid, hyd yn nod i'w derfynau eithaf. Mae y saint

Germanaidd oll yn meddu bywyd mewnol, fel pan y gorfodid hwy i blygu i awdurdod allanol, gwnaethant hyny dan wrthdystiad, a chyda syniad o atalfa. Sylwer ar fywydau ac ysgrifeniadau y bendigedig Eckart, y gogoneddus Tauler, y sanctaidd Thomas à Kempis, a'r daionus John Wessel. Edrycher ar y cwmpeini gwynfydedig, y rhai o dan yr enw "Brodyr o Gyflwr Cyffredin," a gadwasant lusern y gwirionedd yn fyw yn Germani. Ni fuom erioed mewn heddwch â Rhufain. Fel cenedl, yn mherson yr Ymerawdwr, darfu i ni ymdaeru yn hir â gallu Rhufain, ond mewn ystyr llawer mwy dwfn, fel pobl yn drwythedig gan ysbryd crefydd, yr ydym wedi bod mewn rhyfel wirioneddol â'r ysbryd sydd yn rheoli yn Rhufain, yn ei grynswth. Gall y Pab feddu ei weision yn Germani, ond nid all y genedl Germanaidd byth eto fod yn ddarostyngedig i Rufain Babyddol."

Yr oedd y prydnawn yn awr wedi cerdded yn mhell. Dychwelodd Bugenhagen a Melancthon, ond Justus Jonas, yn meddu llety yn yr un ty, a arosodd ychydig yn hwy gyda Luther. Wrth ei feibion efe a ddywedai, "Dylaswn fod wedi ysgrifenu llythyr at eich mam; mae yn dysgwyl clywed oddiwrthyf bob dydd; rhaid i chwi ysgrifenu yn foreu yfory." Gan droi at Jonas, dywedai Luther, "Frawd Justus, nis gallaf byth ddiolch digon i Dduw am fy mywyd priodasol. Mae rhywbeth yn ddwyfol yn holl gysylltiadau y bywyd dynol. Nid wyf yn gofyn am farnedigaeth arall ar Rhufain, ond yr hyn sydd yn canlyn am ei hymyriaeth â deddfau Duw ei hun, nid yn unig yn natur, ond yn yr Ysgrythyrau. Y mae Kate wedi bod yn wraig dda, ac yn fam dda. Bendigedig fyddo y diwrnod yn yr hwn y gwnaeth Duw, trwy ddwylaw Pomeranus, ni yn un. Yr ydym wedi byw mewn heddwch; y mae hi wedi bod yn gynorthwyydd yn y rhyfel yn erbyn pechod, ac yn nghyd yr ydym wedi cyrchu yn mlaen gan geisio coron cyfiawnder. Yr wyf yn dysgwyl y bydd i fy mhlant gofio esiampl eu mam anwyl, fel yr wyf fi gyda serch anfarwol yn trysori fy adgofion o fy mam."

Bu farw Luther cyn i Sabboth arall ddod. Yr oedd yn myned i'r cynadleddau bob dydd, ac er ei fod yn cael adegau o wasgfeuon, nid oedd neb yn meddwl ei fod i farw mor fuan. Ar y 17eg o Chwefror yr oedd mor sal fel yr oedd ei gyfeillion yn deisyf arno i beidio myned o'r ty hyd nes y byddai yn wirioneddol well. Amser swper ymddyddanai lawer am angau a thragywyddoldeb.

"Luther," meddai un, "a fydd i ni gael adnabyddiaeth o'n gilydd yn y byd arall?"

"Paham nad?" ebai Luther, "paham y derfydd y cof os bydd ymwybodolrwydd yn parhau?"

Ar ol ychydig efe a ddywedai ei fod yn bur wan, a'i boenau yn waeth nag erioed; ond os gallasai gael haner awr o gysgu meddyliai y gwnelsai ryw gymaint o les iddo. Aeth i'w wely, a chysgodd am awr a haner. Oddeutu un-ar-ddeg efe a ddeffrodd, a chan edrych ar ei gyfeillion, efe a ddywedai, "Beth! a ydych yma eto?—ai ni fydd i chwi fyned a chymeryd gorphwysdra?" Dywedent y byddai iddynt aros ychydig yn hwy. Yna Luther a lefai allan, "I'th ddwylaw Di y gorchymynaf fy ysbryd, Tydi a'm hachubaist i, O Arglwydd Dduw y gwirionedd. Gweddiwch bawb o honoch, anwyl gyfeillion, ar ran efengyl ein Harglwydd; gweddiwch am i'w theyrnasiad ymledu i bob cyfeiriad." Yna efe a gysgodd am oddeutu awr. Pan ddeffrodd, efe a ddywedai, "Yr wyf yn teimlo yn sâl; yr wyf yn meddwl yr arosaf yma yn Eisleben; dyma yw y lle y'm ganwyd." Efe a gerddodd o amgylch yr ystafell, ac yna gorweddodd i lawr, a rhoddwyd nifer o ddillad a chlustogau drosto, er ei chwysu, ond ni chawsant yr effaith hwnw arno. Gweddïai, gan ddyweyd, "O, fy Nhad, tydi Dduw ein Harglwydd Iesu Grist, Tydi ffynonell pob cysuron, yr wyf yn diolch i ti am ddatguddio i mi dy anwyl Fab, yn yr hwn yr wyf yn credu, yr hwn a bregethais, a arddelais, ac a wnaethum yn hysbys, yr hwn a gerais ac a glodforais, a'r hwn y mae'r Pab

a'r annuwiol yn ei erlid. Yr wyf yn gorchymyn fy enaid i Ti, O Arglwydd Iesu Grist. Yr wyf ar ymadael â'r corph daearolhwn; yr wyf i gael fy symud o'r bywyd hwn, ond yr ydwyf yn gwybod y caf aros yn dragywydd gyda Thi. I'th ddwylaw Di yr wyf yn gorchymyn fy ysbryd, Tydi a'm gwaredaist, O Dduw fy iachawdwriaeth."

Yna efe a syrthiodd i hûn anymwybodol. Pan y deffrodd, Justus Jonas a ddywedai, "Barchedig dad, a ydych chwi yn marw yn gadarn yn y ffydd a ddysgasoch?

Agorodd ei lygaid, a chyda golwg sefydlog ar Jonas, a atebodd, "Ydwyf." Yn fuan ar ol hyn daeth anadlu yn fwy anhawdd, nes o'r diwedd yr ymadawodd ei ysbryd.—"*Day of Rest*," *Llundain*. J. W. BLACKMORE.

---

## ÆNEAS.

GAN Y PARCH. CHARLES H. SPURGEON.

**[Allan o bregeth a draddodwyd ganddo ar brydnawn dydd yr Arglwydd, Gorph. 16, 1876, yn ei Dabernacl, pan roes y gwrandawyr cyson eu lle i ddyeithriaid o wrandawyr i lenwi y ty.]**

ACTAU 9: 32—35.

Daeth Pedr i Lyda, a chafodd un oedd yn dwyn yr enw clasurol o Æneas; nid milwr galluog, modd bynag, ond dyn tlawd parlysig, yr hwn oedd wedi cael ei gaethiwo i'w wely am wyth o flynyddau meithion. Wrth weled yr olwg wanaidd oedd ar y dyn, teimlodd Pedr gynhyrfiadau yr Ysbryd, a chan syllu arno fel ag y gorweddai yno, a ddywedodd, "Æneas, y mae Iesu Grist yn dy iachau di, cyfod a chyweiria dy wely." Yn cael ei gyffyrddyd gan yr un Ysbryd a ysbrydolai yr Apostol, credodd y dyn y genadwri—credodd ddarfod i Grist ei iachau ef, a chyfododd ar unwaith a chyweiriodd ei wely, ac yn ddisymwth yr oedd yn berffaith iach. Yn awr gadewch i ni glywed rhywbeth yn nghylch y dyn hwn. Nid ydym i glywed Virgil yn canu "arfau a'r dyn," ond yr ydym i adael i Luc i ddweyd wrthym am y dyn a'i Waredwr.

I. Mae yn eglur iawn fod y dyn *yn wirioneddol glaf*. Pe na buasai yn *wirioneddol glaf*, buasai y dygwyddiad ger ein bron oll yn ddarn o dwyll—yn rhith a ffug-honiad o'r dechreu i'r diwedd; ond yr oedd efe yn anobeithiol afiach. Yr oedd wedi bod yn cael ei wylio yn bryderus gan ei gyfeillion am wyth mlynedd, ac yr oedd mor hollol barlysig fel na fu iddo yn ystod yr holl wyth mlynedd hyny adael ei wely, yr hwn oedd wedi myned mor galed a chareg dano. Yn awr, gan nad oes dim lle i wellhad mawr oddieithr fod afiechyd mawr, felly nid oes lle i ras mawr Duw oddieithr fod pechod mawr. Ni ddaeth Iesu Grist i'r byd i achub pechaduriaid ffugiol, ond pechaduriaid gwirioneddol; ni ddisgynodd ychwaith o'r nefoedd i geisio y rhai nad ydynt yn glaf gan bechod, oblegid "nid rhaid i'r rhai iach wrth feddyg," ond efe a ddaeth i geisio y rhai ydynt yn drwyadl afiach, ac i roddi iddynt iachâd gwirioneddol. Nid drwg dychymygol ydoedd afiechyd y dyn hwn, oblegid ni allai symud; yr oedd ei ddwylaw a'i draed wedi eu hollol baraleisio. Os oedd yn unrhyw aelod radd o symudiad, nid oedd ond cryniad gwanaidd yn unig, yr hwn a arwyddai yn hytrach wendid cynyddol na nerth arosol. Yr oedd efe yn amddifad o bob nerth. A ydych chwi felly wrth natur, fy nghyfaill, mewn ystyr ysbrydol? Yn sicr, yr ydych chwi felly; ond a ydych chwi wedi canfod hyny allan? A ydyw Ysbryd Duw wedi gwneyd i chwi deimlo na allwch wneuthur dim yn iawn ar wahan oddiwrtho ef, a'ch bod yn hollol wedi eich distrywio a'ch paraleisio, oddieithr i Iesu Grist allu eich hachub chwi? Os felly, na anobeithiwch, oblegid eich bod yn teimlo mor ddychrynllyd, mae eich henaid wedi ei archolli; yn y gwrthwyneb, dywedwch wrthych eich hun, "Dyma le i drugaredd ynwyf fi. Os bu ar enaid erioed eisiau iachad, mae arnaf fi. Dyma lecyn i allu dwyfol i weithredu arnaf fi, canys os bu enaid erioed yn wan a pharlysig, yr ydwyf fi yn wirioneddol yr enaid hwnw." Cymer gysur yn y gobaith y bydd i Dduw wneyd esgyn-

lawr o'th lesgedd ar yr hwn yr amlyga ei allu.

Yr oedd y dyn wedi bod yn y parlys am *wyth mlynedd.* Y mae parhad afiechyd yn elfen ddychrynllyd ynddo. Efallai nad yw yr eiddoch chwi yn afiechyd wyth mlynedd, ond wyth-ar-hugain, neu wyth-a-thri-deg, neu wyth-a-phedwar-deg, neu wyth-a-saith-deg; efallai i chwi fod wyth-ac-wyth-deg mewn caethiwed o dano. Wel, bendigedig fyddo Duw, ni all rhif y blynyddoedd a dreuliasom ni mewn pechod rwystro trugaredd Duw yn Nghrist Iesu i'n gwneuthur yn iach. Y mae genych ddyled fawr iawn i'w thalu, tra nad oes gan un arall ond un fechan, ac ychydig yn gymharol yn ddyledus arno; ond mae bron mor hawdd i'r gofynwr ysgrifenu "*talwyd*" yn ngwaelod y *bill* mawr a'r un llai. Ac yn awr, gan fod ein Harglwydd Iesu Grist wedi gwneyd iawn digonol, y mae mor hawdd i Dduw i faddeu anwireddau pedwar ugain mlynedd a phechodau plentyn wyth mlwydd. Gan hyny nac anobeithiwch. Gall Iesu Grist wneyd y fath ag wyt ti yn iach, er hyd yn nod i'th galon a'th ddealltwriaeth fod yn hir wedi eu paraleisio gan bechod.

Yr oedd afiechyd y dyn yn un a gyfrifid gynt yn bod, a thebygol yn awr, yn *hollol anfeddyginiaethol.* (Pwy a fedr adferyd dyn parlysig?) Ni allasai Æneas adferyd ei hunan, ac nid oedd gan un meddyg dynol yn unig ddim i'w wneyd drosto.

Anwyl wrandawyr, a ydyw Ysbryd Duw wedi gwneuthur i chwi deimlo fod archoll eich enaid yn anfeddyginiaethol? A ydyw eich calon yn glaf? A ydyw eich dealltwriaeth wedi ei dywyllu? A ydych yn teimlo eich holl natur yn barlysig gan bechod, ai nid oes meddyg? O! yr wyf yn gwybod nad oes neb yn mhlith dynion, oblegid nid oes balm yn Gilead, nid oes yno physigwr; ni fu erioed, neu buasai merch fy mhobl wedi ei gwellhau o'i niwed er's amser mawr yn ol. Nid oes meddyg enaid ond yn Nghalfaria; dim balm ond yn nghlwyfau y Ceidwad. Os ydych yn teimlo fod eich henaid yn glaf anfeddyginiaethol, a bod yr achos yn ddiobaith os na fydd i anfeidrol ras gyfryngu, yna mae yn dda genyf eich bod yma heno. Mae yn dda genyf fod y fath un ag Æneas yn bresenol. A ydych yn gwybod mai y gwaith mwyaf pleserus ar y ddaear ydyw pregethu i'r rhai fo yn gydwybodol mewn angen am Waredwr. Arferai Mr. Whitfield ddweyd y gallai efe ddymuno pregethu drwy y dydd a'r nos i'r rhai a wyddent yn wirioneddol fod arnynt eisiau Crist. Yr ydym yn rhwym o bregethu i bob creadur, canys dywedodd ein Meistr, "Pregethwch yr efengyl i bob creadur" o dan y nef; ond O, pan y gallwn gael cwlwm o eneidiau newynog, mae yn waith rhwydd a phleserus i'w porthi hwynt â bara y nefoedd: a phan fo calonau yn sychedig, mae yn waith melus i estyn allan y dwfr bywiol, oblegid maent oll yn awyddus i'w gymeryd.

II. *Gwyddai y dyn hwn, Æneas, rywbeth yn nghylch Iesu;* onidê, pan y dywedodd Pedr, "Mae Iesu Grist yn dy iachâu di," gallasai Æneas ofyn yn ddifrifol beth oedd yn ei feddwl, ond ni allasai weithredu yn synwyrol yr hyn nad oedd yn ei amgyffred. Ni allasai fod wedi credu yr hyn ddywedasai Pedr, oblegid ni allasai fod wedi deall ei feddwl. Geiriau yn unig ni allant fod yn llesol; rhaid iddynt bob amser drosglwyddo goleuni yn gystal a swn, neu ni allant feithrin ffydd. Pan ddywedodd Pedr, "Æneas, mae Iesu Grist yn dy iachâu di," nid oes amheuaeth genyf nad oedd Æneas yn cofio yr hyn oedd wedi ei glywed o'r blaen am Iesu Grist, a'i fywyd a'i angau rhyfedd. Yn awr, rhag y dygwydd bod un yn y gynulleidfa hon ag nad yw yn adnabod Iesu Grist, ac nad yw yn deall pa fodd y mae yn alluog i iachau eneidiau yn glaf gan bechod, gadewch i mi yn fyr adrodd yr hen ystori drosodd eto.

Mae "Iesu Grist," yn ol y cyfieithiad Saesneg, yn tybio "Iachawdwr eneiniedig." Pwy ydyw ef? Mae yn Fab y Goruchaf, gwir Dduw o wir Dduw, a phan oeddym yn golledig mewn pechod, efe yr hwn a elwir yn Fab Duw, a roddodd o'r neilldu ei wisg fwyaf dwyfol, a daeth yma yn deb-

yg i ni yn y cnawd a'r gwaed gwael hwn; yn y preseb y gorweddodd fel maban, ac ar fynwes gwraig y pwysodd yn blentyn gwanaidd. Y Duw yr hwn a estynodd allan y nefoedd fel pabell i drigo ynddi, ac a gloddiodd sylfeini dwfn y ddaear, a ddaeth i lawr i'r ddaear i gymeryd arno ei hun ein natur ni, ac i gael ei eni o wraig. O, ymostyngiad heb ei fath, ddarfod i'r Anfeidrol ddod yn blentyn, a'r Daw tragywyddol i ddirgelu ei hunan mewn ffurf baban. Cyflawnwyd y rhyfeddod hwn fel y'n hachubid ni. Wedi dod yma, bu Arglwydd yr angelion fyw ryw ddeg-mlynedd-ar-hugain neu rywbeth felly yn mhlith dynion; treuliodd y rhan foreuaf o'i fywyd fel mab y saer, yn ufudd i'w dad; ac yr oedd efe drwy ei holl fywyd daearol yn ufudd i'w Dad. Duw. Yn gymaint nad oedd gyda ni ddim cyfiawnder, canys yr oeddym wedi tori y gyfraith, yr oedd efe yma i wneuthur cyfiawnder drosom, ac efe a wnaeth felly. Ond yr oedd angen hefyd am iawn, oblegid yr oeddym wedi pechu, a hawliai barn Duw gosb am bechod. Daeth Iesu i mewn fel y Meichniydd a'r Dirprwywr yn lle meibion dynion euog. Diosgodd ei gefn yn noeth i fflangell cyfiawnder, ac agorodd ei fynwes i'w bicell, a bu farw fel y byddai pechaduriaid fyw—"y cyfiawn dros yr anghyfiawn, fel y dygai ni at Dduw." Yn awr, wedi byw a marw fel hyn, dodwyd ei gorph ef yn y bedd, ond efe a gyfododd drachefn ar y trydydd dydd, ac mae yn fyw eto; a thrwy y dyn hwn, Crist Iesu, yr hwn a gyfododd oddiwrth y meirw, y pregethir i'r cenedloedd faddeuant pechodau; oblegid, ar ol deugain niwrnod, yr Iesu hwn, yr hwn a fu farw ac a gladdwyd, a esgynodd i'r nefoedd yn ngwydd ei ddysgyblion, a esgynodd nes y cuddiodd cwmwl ef allan o'r golwg, ac mae yn awr yn eistedd ar ddeheulaw Duw y Tad, gan ddadleu haeddiant ei waed, yn eiriol dros bechaduriaid ar iddynt gael eu cymodi â Duw. Yn awr, frodyr, dyma ydyw yr ystori sydd genym i'w hadrodd i chwi, gyda'r ychwanegiad fod yr Iesu hwn yn dyfod eto i farnu y byw a'r meirw, oblegid y mae efe yn Arglwydd pawb oll. Y mae efe yr awrhon yn Gyfryngwr wedi ei appwyntio gan yr anfeidrol ogoneddus Jehofa, yn meddu awdurdod ar bob cnawd, fel y rhoddai efe fywyd tragywyddol i'r rhai oll a roddwyd iddo gan Jehofah; a hyn yr ydym yn ei ddeisyf arnoch i ystyried, rhag pan y daw fel barnwr, y condemnir chwi ger ei fron. Yr oedd Æneas wedi clywed mwy neu lai o'r ffeithiau mawrion hyn; yr oedd hanes y Duw ymgnawdoledig wedi cyrhaedd ei glustiau drwy ryw foddion neu gilydd, ac yr oedd Æneas wedi deall, er nad oedd Iesu Grist yn yr ystafell, ac nad oedd ond yn unig Pedr ac ychydig gyfeillion yno, ac er nad oedd Iesu Grist ar y ddaear, ond wedi myned i'r nefoedd, eto yr oedd ei allu ar y ddaear yr un peth a chynt. Efe a wyddai y gallai Iesu gyflawni gwyrthiau o'r nefoedd yn gystal a phan oedd yma ar y llawr. Deallai y gallai yr hwn a wellhai o'r parlys pan yma, wellhau y parlys yn awr wedi ei esgyniad i'w orsedd. Ac felly credodd Æneas yn Iesu Grist oddiwrth yr hyn a glywsai, gan yn unig ymddiried ynddo ef am iachad. Trwy gyfrwng y ffydd hono gwnaed Æneas yn iach.

Arosaf yn ddifrifol ar y pwynt hwn am fynyd neu ddwy. Yr wyf yn hyderu fod pawb o honoch chwi yn y gynulleidfa hon yn gwybod hanes Iesu Grist yn cael ei groeshoelio. Clywsoch hyn ar y Sabboth, o'r areithfa. Mae eich plant yn canu am hyny pan y deuant adref o'r Ysgol Sul. Mae genych Feibl yn mhob ty, a darllenwch "yr hen, hen ystori" yn iaith syml ond aruchel ein cyfieithiad rhagorol ni; ond O, os bu i chwi ei chlywed a'i gwybod, pa fodd nad ydych wedi tynu oddiwrthi yr un casgliad ag a dynwyd gan y dyn parlysig, tlawd hwn? Pa fodd nad oes genych ffydd? Mae Iesu yn fyw, mae yn eistedd ar fynydd Seion, mae yn derbyn pechaduriaid tlodion eto. Mae Iesu yn fyw, "wedi ei ddyrchafu i fod yn Dywysog ac yn Iachawdwr, i roddi edifeirwch i Israel, a maddeuant pechodau." Gall eich iachau yn awr yn gystal a phe buasech

yn ei gyfarfod ef ar yr heol, neu ei weled ef yn sefyll wrth eich drws yn curo am dderbyniad. Dymunwn ar Dduw i'r casgliad hwn gael ei dynu genych chwi oll.

III. Daethom mor belled, a bod y dyn yn glaf, a'i fod yn gwybod rhywbeth am Grist. Ac yn awr daeth y pwynt mwyaf pwysig o'r cwbl; *credodd y dyn yn yr Arglwydd Iesu.* Dywedodd Pedr wrtho, "Æneas, mae Iesu Grist yn dy iachau di." Nid credu yr oedd y dyn yn Pedr fel y meddyg, oblegid, sylwch, nid yw Pedr yn dyweyd unrhyw beth am dano ei hunan. Fel nad oedd gan y dyn hwn ffydd mewn unrhyw allu tybiedig yn dyfod oddiwrth Pedr, llawer llai fod ganddo ffydd ynddo ei hun, nid edrychai chwaith iddo ei hun am obaith. Ni ddywedodd wrth Pedr, "Ond nid wyf yn teimlo nerth digonol i wellhau." Ni ddywedodd ychwaith, "Yr wyf yn meddwl fy mod yn teimlo gallu digonol i ysgwyd ymaith y parlys hwn." Ni ddywedodd y naill na'r llall. Cymerodd cenadwri Pedr ef ymaith oddiwrtho ei hunan. Ydoedd, "Æneas, mae *Iesu Grist* yn dy wneyd di yn iach." Nid fod genyt ti egnion yn dy gyfansoddiad. Na, Æneas, yr wyt yn barlysig; ni elli wneuthur dim, ond mae *Iesu Grist* yn dy wneyd di yn iach."

Dyna oedd gan y dyn i gredu; ac mae yn llawer iawn o'r hyn y rhaid i chwi hefyd, fy ngwrandawyr anwyl, ei gredu. Gyda ei ffydd, yr oedd Æneas yn meddu y dymuniadau a ddangosasant mai nid anturiaeth yn unig ydoedd, ond crediniaeth gadarn ymarferol. O, na fyddai pechaduriaid yn bryderus am gael eu hachub! O, na fyddai y dyn digllawn acw yn dymuno cael ei wella o'i dymer ddrwg! O, na fyddai y dyn cybyddlyd acw yn dymuno cael ei wella o'i drachwant! O, na fyddai i'r dyn anianol acw ddymuno cael ei wella o'i aflendid! O, na fyddai i'r meddw acw ddymuno cael ei wella o'i ormodedd! O, na fyddai dynion eisiau mewn gwirionedd cael ymwared oddiwrth eu pechodau! Ond na; ni fu i mi erioed glywed am ddynion yn cyfrif dafaden wyllt yn berl; ond y mae llawer yn edrych ar eu pechodau fel pe byddent emau, y rhai a gedwir ganddynt fel trysor cuddiedig, fel y gwnant golli y nefoedd yn gynt nag ymadael â'u pleserau cnawdol. Yr oedd Æneas eisiau cael ei wneyd yn iach, ac yr oedd yn barod i gredu pan y llefarodd Pedr wrtho yn nghylch Iesu Grist. A pheth ddarfu Æneas gredu? Credodd—a boed i chwi gredu yr un pethau! Yn gyntaf, y gallai Iesu ei iachau *ef*, ei iachau *ef*, Æneas. John Brown, a ydych chwi yn credu y gall Iesu Grist eich iachau chwi? Nid wyf yn gofalu, John, beth yw eich ffydd yn nghylch achos eich gwraig; yn nghylch eich hunan, mae arnoch chwi eisiau ffydd; mae Iesu Grist yn alluog i'ch hachub *chwi*—chwi, Æneas; chwi John Brown; chwi, Thomas; chwi, Sarah; chwi, Mary; Mae efe yn alluog i'ch hachub *chwi.* A ellwch chwi gydio yn hyna, ac ateb, "Ydyw, mae efe yn alluog i'm hachub i!"

A chredodd Æneas fod Iesu Grist yn alluog i'w achub *yn y fan a'r pryd hwnw*, yn hollol fel yr oedd. Nid oedd wedi cymeryd cwrs o foddion; nid oedd wedi bod o dan drydaniaeth i gryfhau ei ewynau, a'i barotoi i gael ei wella; ond credodd y gallai Iesu Grist ei achub heb un parotoad, fel yr ydoedd, ar y pryd, yn uniongyrchol, gydag iachawdwriaeth bresenol. Pan y meddyliwch yr hyn yw Crist, a'r hyn mae wedi ei wneuthur, ni ddylai fod yn anhawdd i gredu hyn. Ond yn wirioneddol mae yn rhaid i allu Duw gael ei ddatguddio cyn y bydd i'ch henaid gredu hyn i iachawdwriaeth. Eto y mae'n wir y gall Crist feddyginiaethu, a gall feddyginiaethu ar unwaith. Beth bynag fo y pechod, gall ei wella. Crybwyllais gyfres o bechodau bron yn awr. Brech goch balchder, gwahanglwyf ffiaidd cnawdolrwydd, cryd crynedig anghrediniaeth, parlys cybydddod—gall wella y cwbl, ac â gair, yn uniongyrchol, am byth, yn hollol, yn awr. Iē, bechadur, gall eich iachau *chwi yn awr.* Credodd Æneas hyna. Credodd, ac fel y credai, gwnaeth Iesu

ef yn iach. O! yr wyf yn dymuno i mi heno allu pregethu yr efengyl yn y fath fodd, fel y byddai i'm Harglwydd a'm Meistr arwain llawer o anghredinwyr i gredu ynddo. O, Ysbryd Glan, gweithia di gyda y gair! Bechadur, a oes arnat ti eisieu maddeuant? Mae Crist wedi ei weithio allan. Bydd i bob pechod a wnaethoch gael ei faddeu i chwi er mwyn ei enw, os ymddiriedwch yn Iesu. A ydych yn gweled eich pechodau fel byddin fawr yn eich hymlid chwi? A ydych yn meddwl y bydd iddynt eich llyncu i fyny yn fuan? Bydd i Iesu Grist, os credwch ynddo, wneyd diwedd arnynt oll. Yr ydych wedi darllen yn Exodus y modd yr ymlidiodd Pharaoh a'i fyddinoedd lwythau Israel, ac yr oedd y bobl mewn dychryn mawr; ond yn foreu dranoeth nid oeddynt mwyach yn ofnus, canys cymerai Miriam ei thympan, a gwragedd Israel aethant allan ar ei hol hi â thympanau ac â dawnsiau; a hwy a ganasant, "Cenwch i'r Arglwydd, canys gwnaeth yn ardderchog; bwriodd y march a'r marchog i'r môr." Un o'r nodau mwyaf aruchel yn y gân ryfedd hono, oedd hwn: "Y dyfnderau a'u gorchuddiodd hwynt; ni adawyd o honynt gymaint ag un." Y llancesau a gymerasant i fyny y sain, gan ganu, "Dim un, dim un, dim un." Yn awr, os credwch yn Iesu, bydd i holl fyddin eich pechodau gael eu cuddio yn môr ei waed, a chana eich henaid, "Y dyfnderau a'u gorchuddiodd hwynt; ni adawyd o honynt gymaint ag un." Y fath a fydd eich cân heno, os galluogir chwi i gredu yn Iesu Grist, Mab croeshoeliedig Duw,

Ond na thybiwch ein bod yn pregethu yn nghylch maddeuant o bechodau yn y gorphenol yn unig, oblegid os gallai dyn gael ei bechodau yn yr amser a basiodd wedi eu maddeu, a myned yn mlaen fel o'r blaen, byddai o gymaint a hyny yn waeth iddo. Maddeuant pechod, heb waredigaeth oddiwrth ei allu, a fyddai yn hytrach yn felldith na bendith; ond yn mha le bynag mae pechod yn cael ei faddeu, mae Duw yn tori gwddf ei allu yn yr enaid. Sylwer, nid ydym yn dweyd wrthych y bydd i Iesu Grist faddeu y gorphenol, ac yna eich gadael i fyw yr un bywyd ag o'r blaen; ond yr ydym yn dweyd hyn wrthych: beth bynag yw y pechod sydd yn awr yn afiechyd i chwi, gall Iesu eich gwella o hono. Gall eich hachub oddiwrth arferiad a gallu gwneuthur a meddwl drwg. Ie, gall eich gwneuthur yn greadur newydd, a pheri i chwi gael eich geni drachefn. Gall eich gwneuthur chwi i garu y pethau a gasaech unwaith, a chashau y pethau ag oeddych unwaith yn eu caru, a throi cwrs eich syniadau i gyfeiriad hollol wahanol. Gwelwch Niagara yn llamu i lawr o'i huchder aruthrol, a dywedwch, "Pwy fedr ei hatal?" Ond gall fy Meistr, ac os bydd iddo ef siarad wrth Niagara eich cnawdolrwydd chwi, a dyweyd, "Paid a'th gynwrf!" arafa ar unwaith; ie, os gorchymyn efe i ddyfroedd dymuniad lamu i fyny yn lle i lawr, byddwch mor llawn o gariad at Grist ag oeddech unwaith yn llawn o gariad at bechod. Gwnaeth efe i'r haul sefyll, a pheri i'r lleuad i aros ar fryn Gibeah; a gall wneyd pob peth. Oni lefarodd efe y byd allan o ddim? Ac onid all efe greu calonau newyddion ac ysbrydoedd uniawn yn eneidiau dynion a fuont unwaith yn mhell oddiwrtho drwy weithredoedd drwg? Medr wneyd felly, a bendigedig fyddo ei enw, efe a wna; mae byd y meddwl gymaint dan ei lywodraeth a'r un materol. Os wyt ti yn credu, O ddyn, gallaf ddyweyd wrthyt ti, fel y dywedodd Pedr wrth Æneas, "Mae Iesu Grist yn dy iachâu di."

IV. Wel, yn awr, gadewch i ni fyned heibio; yn nesaf, *gwnaed y dyn yn iach.* Nid oedd dim twyll yn ei gylch; gwnaed ef yn iach, ac yn iach yn y fan a'r pryd. Dim ond tybiwch am fynyd beth a fuasai y canlyniad pe na buasai wedi ei wneyd yn iach. Y fath ddianrhydedd a fuasai i Pedr ddyweyd, "Æneas, mae Iesu Grist yn dy iachâu di;" ond Æneas yn gorwedd yn y parlys fel o'r blaen. Buasai pawb yn dywedyd, "Mae Pedr yn gau dyst." Wel, yn awr, ni ddywedaf fod yn rhaid i bregethwr yr efengyl weled eneidiau

yn cael eu hachub, neu ei fod yn gau dyst. Ni ddywedaf hyny, ond dywedaf, os byth y bydd i fy ngweinidogaeth, drwy Dduw, i beidio achub eneidiau, rhoddaf hi i fyny; canys ymddengys i mi, os na fydd i ni ddwyn eneidiau i Grist, nid ydym ni bregethwyr yn werth i ddim. Y fath ddianrhydedd a fuasai wedi cael ei ddwyn ar enw Iesu pe na buasai y dyn yn cael ei wneyd yn iach. Tybiwch, fy anwyl gyd-bechadur, pe baech chwi yn credu yn Iesu Grist, ac eto heb eich hachub, beth wed'yn? O, nid wyf yn hyderu tybio felly, oblegid y mae braidd yn gabledd i'w ddychymygu, ond eto ystyriwch hyn am fynyd. Credu yn Iesu Grist, a pheidio bod yn gadwedig! Yna efe a dorodd ei air, neu collodd ei allu i achub—yr un o honynt nid ydym yn foddlawn i ganiatau am eiliad. Os wyt yn credu yn Iesu Grist, mor sicr a'th fod yn fyw mae Iesu Grist wedi dy achub. Dywedaf wrthyt un peth—os wyt yn credu yn Iesu Grist, ac wedi dy ddamnio, bydd i mi fod yn ddamniedig gyda thi. Tyred! peryglaf fy enaid ar y gwaelod yna, mor sicr ag y bydd i ti beryglu yr eiddot ti, canys os cyll yr Arglwydd Iesu Grist un enaid sydd yn ymddiried ynddo, cyll yr eiddof fi! ond ni wna byth, ni all byth.

Yn awr, crynhoi y cwbl i fyny: hyn sydd genych chwi i'w wneuthur, bechadur, mewn trefn i fod yn gadwedig, dim ond credu yn Iesu Grist. Gwelais ferch ieuanc o America yn y *vestry* ychydig amser yn ol, yr hon a ddaeth i mewn mewn pryder mawr i wybod ffordd iachawdwriaeth; a dywedais wrthi, "Onid ydych yn ei gweled?—os ymddiriedwch yn Nghrist, yr ydych gadwedig." Dyfynais yr Ysgrythyrau a ddysgant y gwirionedd mawr hwn, gan eu hegluro iddi, nes yr agorodd yr Ysbryd Glan ei llygaid; daeth y goleuni ar ei gwyneb yn y fan, a dywedodd, "Yr wyf yn ei gweled; yr wyf yn ymddiried yn Nghrist a'm holl galon; ac yr wyf i gredu fy mod wedi fy achub, oblegid fy mod yn ymddiried yn Iesu, a'i fod ef wedi addaw achub pechaduriaid?" "Ydych," atebwn, "Yr ydych yn gorphwys ar y graig yn awr." "Yr wyf yn teimlo," meddai, "dangnefedd dwfn yn dechreu yn fy enaid, ond nid allaf ddeall pa fodd y gall hyn fod, oblegid yr oedd fy nhaid yn perthyn i Bresbyteriaid yr hen ysgol, a dywedodd efe wrthyf iddo fod chwe' blynedd cyn iddo allu cael tangnefedd, a ddarfod iddo gael ei roddi yn y gwallgofdy, oblegid yr oedd mor druenus." "O! ïe, nid oes genyf un amheuaeth nad oes y fath engreifftiau yn dygwydd. Mae rhai yn myned ddwy-fil-ar-bymtheg o filldiroedd o amgylch yn unig i groesi yr heol, ond nid oes un angen am hyny. Dyma fe—'Mae y gair yn agos atat, yn dy enau, ac yn dy galon; os wyt yn credu â'r galon yn yr Arglwydd Iesu Grist, ac â'th enau yn ei gyffesu, cadwedig fyddi.'"

---

## AT Y PARCH. H. O ROWLANDS.

*Anwyl Frawd*—Nid yw rhybudd o un niwed hyd yn nod pan na bydd perygl. Rhywbeth o natur rybuddiol yw fy epistol hwn atoch. Yr ydych chwi yn ieuanc, a minau yn hen, ond er hyny yr ydych yn llawer mwy dysgedig na mi, a mwy eich talent a'ch gwybodaeth mewn llawer cyfeiriad. Ond er y cwbl, gwyddoch fod yn hawddach, fel peth cyffredin, *drapio* yr ieuanc na'r hen. Mae eich cyfaill o Remsen gyda chwi yn debyg fel y clywais Stephens (Tanymarian) yn Oshkosh, pan yn dyweyd wrth eglwys yr Annibynwyr eu dyledswydd at eu gweinidog—rhybuddiai hwynt i beidio bod fel pobl Llanbedr gyda merlod pan eisiau eu dal. "Bydd pobl Llanbedr," meddai, "yn dangos y ceirch i'r merlod, ond yn cuddio y ffrwyn o'r golwg nes cael gafael ynddynt, wedi hyny rhoddid y ffrwyn yn eu penau, ond cedwir y ceirch oddiwrthynt." Yn lled debyg, mae eich cyfaill o Remsen yn ymddyddan yn gyfeillgar a thyner, gan geisio genych ond rhyw ddau beth bychan yn ei feddwl ef, sef addef fod taenelliad yn fedydd rheolaidd, ac eistedd mewn cymundeb gydag ef a'i frodyr taenellyddol. Ond ai hyny fyddai yr oll a'u boddlonai hwynt? Nage,

fawr. Dywed *Iorthryn Gwynedd* yn ei lyfr a gam-enwir "Colofn y Gwirionedd," tu dal. 369, mai "pechod mawr yw peidio cyflwyno plant i Dduw drwy fedydd." Felly, frawd, byddai yn rhaid i chwi daenellu plant; ac os na wnaech, byddech yn euog o bechod mawr, ac o herwydd hyny nis gallech gael cymundeb gyda Iorthryn Gwynedd; ond dichon y gall ef ganfod adnodau dros gymuno gyda phechaduriaid mawr, fel y mae yn canfod rhai dros daenellu plant. Yn tu dal. 372 o'r "Golofn" mae'r awdwr yn dweyd fod y geiriau *bapto* a *baptizo* yn arwyddo taenellu mor gryf, os nad llawn cryfach na throchi, ac mai ynfyd yw y dyn a geisia ei wadu. Yn awr, frawd Rowlands, os na fedrwch chwi ystwytho eich meddwl i gredu peth fel yna, yr ydych yn ddyn ynfyd yn nghyfrif Iorthryn; a phwy a wyr faint o filoedd eraill o Independiaid a'ch cyfrifa yn ynfyd, ac o herwydd hyny nis gallech gael cymundeb gyda hwy, oblegid nid oes un rheol i gymuno gydag ynfydion.

Fy mwriad, frawd, yn y llith hon, yw dangos yr angenrheidrwydd o eistedd i lawr a bwrw y draul, A allwn ni fel Bedyddwyr, ddyfod byth yn ddynion call, a pheidio bod yn ynfydion mwy, drwy beidio credu fod *baptizo* yn golygu taenellu mor gryfed a throchi. Peth mawr yw ymdrechu yn deg i wneyd unrhyw beth. A fedrwch chwi gredu fod y gair *oer* yn arwyddo *poeth*, a'r gair *goleuni* yn golygu *tywyllwch*, a'r gair *gwyn* yn arwyddo *du*, a'r gair *trochi* yn arwyddo *taenellu*, a'r gair *immersion* yn arwyddo *sprinkling*, a'r gair *baptizo* yn arwyddo *taenellu?* Os na fedrwch gredu yr olaf, yr ydych yn ddyn ynfyd, ac o herwydd hyny nis gall yr Independiaid roi cymundeb i chwi gyda dim cysondeb. Efallai, gan eich bod yn ieuanc mewn dyddiau, nad yw yr amser yn rhy bell i ddymchwelyd y dyn pechod, ac y cewch y fraint o fod yn offeryn yn llaw Duw i wrthsefyll Pabyddiaeth, a'i ddarostwng. Gofalwch, frawd, i gadw eich nerth, a pheidiwch byth a'i golli drwy addef fod taenelliad yn fedydd rheolaidd. Mor gynted yr addefech daenelliad yn fedydd, byddai raid i chwi beidio trochi neb fyddai wedi ei daenellu; ac os gwnaech, byddech yn gyfiawn haeddu yr enw a roddwyd yn anghyfiawn ar y Bedyddwyr, sef Ail-fedyddwyr; ac nis gallech byth ddweyd gair yn erbyn y Pab am newid gorchymynion Crist.

Hyn mewn gwir barch atoch, anwyl frawd, oddiwrth eich brawd yn yr efengyl,

*Wisconsin.* WM. JONES.

## At Olygydd y Cenhadwr.

*Mr. Gol.*—A fyddwch chwi mor garedig a chaniatau i mi ofyn drwy gyfrwng y WAWR, i olygydd y *Cenhadwr Americanaidd,* A gaf ddefnyddio tu dalenau ei gyhoeddiad i ateb rhesymau Ioan Einon dros daenelliad, yn rhifyn Hydref. Gall ateb drwy y WAWR os bydd yn dewis; a chymeraf ei ddystawrwydd yn arwydd na bydd caniatâd.

Fy rheswm dros ewyllysio cael anfon fy atebiad i'r *Cenhadwr* ydyw, fel y caffai yr un darllenwyr weled y ddwy ochr.

*Wisconsin.* WM. JONES.

## Adolygiad y Wasg.

"YR ARWEINYDD CYFLYM," *gan y Parch.* SAMUEL WILLIAMS (Gwentydd Fardd). Ail Argraffiad.

Mae y llyfryn bychan wedi ei gyfaddasu i ysgolheigion ieuainc yr Ysgolion Sabbothol Gymreig. Cynwysa 24 o wersi, o'r A B C i ddarllen-wersi. Ychwanegiad gwerthfawr at yr argraffiad newydd hwn o'r llyfr yw yr ychwanegiad o gynlluniau sillebol newyddion a geir ynddo. Dywed Cefni, "Yr Arweinydd Cyflym," gan y Parch. Samuel Williams, ydyw y llyfr bychan goreu a welais erioed i ddysgu plant i ddarllen Cymraeg." Byddai yn werth i bob ysgol ei arfer, a'i arfer ef yn unig, os am ddysgu y plant yn gyflym, yn gystal ac yn gywir, i ddarllen yr iaith Gymraeg. Mae y gwersi yn briodol ac eglur, ac wedi eu trefnu yn syml ac athronyddol.

Am hysbysiad pellach, gwel yr *advertisement* ar yr amlen.

## GWILYM. M. 6. 4. (M. 28.)

Budddugol yn Eisteddfod Iforaidd Kingston, Pa., Mawrth 17, 1876.

Gan THOMAS J. DAVIES, Olyphant, Pa.

Daeth ffrydiau mel - us iawn Yn llawn fel lli', O ffrwyth yr

arfaeth fawr, Yn awr i ni; Hen iachawdwriaeth glir, Aeth

dros y crin - dir cras; Bendithion amod hedd, O, ryfedd ras!

# Barddoniaeth.

## MOSES YN MARW.*

*Allan o Arwrgerdd Fuddugol y Parch. H. Gwerfyl James, ar Moses.*

Duw anian fawr yw Duw ein iachawdwriaeth,
A'i holl weithredoedd feddant gyfatebiaeth;
Un mis ar-ddeg sy'n myned bob mynydun,
Er dwyn oddiamgylch fis cynhaua'r flwyddyn!
"Blodeuyn y glaswelltyn" gaiff feddianu
Y flwyddyn oll, er mwyn *un awr* o wenu!
A rhydd Duw'n aml einioes faith a garw,
Yn unig er mwyn dysgu dyn i farw!
Gan fod *un awr* o'n horiau gwerthfawr olaf
Yn fwy ei phwys na'n *holl flynyddoedd* cyntaf!
Anfonodd Moses am lawn ddeugain mlynedd,
I wlad yr Aipht i feithrin ei amynedd,
A deugain eraill i anialwch Midian,
Gan fod yn Athraw iddo ef ei Hunan,
Er ei gymwyso yn Arweinydd addas
I Israel nwydwyllt, gyfnewidiol, ddiras—
Am ddim ond deugain trwy y certh anialwch,
I wlad y tangnef, ac i wlad yr heddwch.
A chafodd einioes o *chwech-ugain mlynedd*
Er dysgu marw *mewn un eiliad* ryfedd!

* * * * * *

Cadd bobpeth a geisiodd gan Dduw trwy ei fywyd,
Ond myned i Ganaan yn ol ei awyddfryd;
Ymbiliodd am hyny—ei galon oedd yno,
Trwy ystod ei fywyd, yn nghwsg ac yn effro;
Ond am iddo bechu, ni chadd ei ddymuniad,
Mae'r Arglwydd yn cosbi pob pechod yn wastad;
Ac hefyd ei Arglwydd a'i carai yn ormod
I'w adael i fyned i weled eilunod,
Yn cael eu haddoli gan ei genedl ei hunan,
Gan wawdio'r Jehofah yn nghanol gwlad Canaan!
Yr hyn fyddai'n sicr o enyn ei nwydau,
Nes tori'r ddeddf foesol fel torodd y llechau!
A threfnodd Duw'r cariad yn nhrefn ei raglun-iaeth
I gadw'r Deddfroddwr rhag ail brofedigaeth.

Er na cha'dd fyn'd iddi, fe gafodd ei gweled,
A gweled yr Arglwydd yn gwirio'i adduned;
A'i enaid foddlonodd ar weled ei "chyrau,"
A mwg ei dinasoedd yn codi'n gymylau
Amryliw, ysblenydd, i ardal Caergwydion,
Gan droelli, a chwareu'n yr hwyrawl awelon;
Ei natur adlonodd trwy'i pheraidd aroglau,
Ar edyn yr awel a lenwent ei ffroenau;
Nes syrthiodd ar Pisgah i lesmair ysbrydol,
A gwelodd well Canaan na'r Ganaan ddaearol.
Mae gwir ysbrydolrwydd yn llenwi'r awyrgylch,
'R hwn donir gan edyn angelion o'i amgylch,
Y rhai ddaethant yno yn filiwn o filoedd,
I'w wel'd yn *gwedd-newid* ar drothwy y nefoedd!
Erioed ni theimlasant gyffelyb ddyddordeb,
Wrth ddisgyn i'r ddaear o fro tragywyddoldeb,
Oblegid ni thybient cyn iddynt wel'd Moses,
Y gall'sai dyn farw heb fraw yn ei fynwes!
Ond Moses ddiosgodd ei wisg o ddynoliaeth,
Heb ing, braw, na dychryn, na chysgod o alaeth;
Ac er mor deneued oedd clustiau'r angelion,
Ni chlywsant ochenaid yn esgyn o'i galon;
Ac nid oedd ond engyl a Duw yn edrychwyr,
Pan unodd ei anadl ddiweddaf â'r awyr!
Fel gynt, y diosgodd Elias ei fantell,
Mae'n diosg marwoldeb mewn goleu ystafell,
Yn nghanol gwyn gwmwl, gan gael ei arwisgo
A'r wisg a ddarparodd trugaredd Duw iddo.
Ac felly o uchder gogoniant daearol
Esgynodd ei enaid i'r gwynfyd trag'wyddol,
Tra'i gorph ef a gladdwyd gan Dduw a'i angylion,
A'i feddrod drachefn o olwg marwolion.

* Mae y dernyn hwn i'w adrodd yn Eisteddfod Pittsburgh, y Nadolig nesaf.

## FFARWEL Y FLWYDDYN.

"Ffarwel," meddai'r flwyddyn ar derfyn ei thaith,
"Mae'm tymor i fyny—gorphenais fy ngwaith;
Mae'm llaw wedi oeri gan henaint, fy ffrynd,
Ac nid oes un fynyd i'w cholli—rwy'n myn'd.

"'Rwy'n gwel'd fy nhad Amser yn sefyll o draw,
Yn mhorth trag'wyddoldeb amneidia â'i law,
I ddangos mai yno y rhaid i mi fyn'd,
Ffarwel, 'does dim aros—ffarwel i ti, ffrynd.

"'Rwy'n cofio y Gwanwyn yn dod â'i law wen
I wisgo prydferthwch o amgylch fy mhen,
Ond wele'r prydferthwch i gyd wedi myn'd,
'Does dim byd yn aros—ffarwel i ti, ffrynd.

"Doi'r Haf wedi hyny â'i geinion di-ri';
Bu'r adar yn tywallt eu moliant i mi;
Ond gwywodd y ceinion—mae'r gân wedi myn'd
Yn gnul oer marwolaeth—ffarwel i ti, ffrynd.

"Yn adeg cynhauaf cyfrenais yn hael,
Fy Nuw oedd yn rhoddi, a thithau yn cael,
Ac felly cyfrenais y cyfan cyn myn'd,
'Rwy'n marw'n ddigyfoeth—ffarwel i ti, ffrynd.

"Daeth Gauaf o'r diwedd i welwi fy mhryd—
Y Gauaf! hen angau blynyddoedd y byd:
Mae chwys oer marwolaeth, 'nawr cyn i mi fyn'd,
Yn rhew ar fy ngruddiau—ffarwel i ti, ffrynd.

"Mi gedwais dy gyfrif bob dydd a phob awr,
Beth bynag a wnaethost mae'r cyfan ar lawr;
Ffarwel, nes bo amser yn marw—rwy'n myn'd,
Cawn eto wneyd cyfrif—ffarwel i ti, ffrynd.

**"Ce'st lawer o roddion erioed o'm llaw i,**
**Ond llaw wag a marwol yn awr a gei di;**
**Mae'r awrlais yn tincian fy nghnul—rhaid yw myn'd—**
**Mae'r bysedd ar ddeuddeg—ffarwel iti ffrynd."**
**—*Mynyddog.***

## HANESION CARTREFOL.

### CWRDD SEFYDLIAD.

Ar yr 11eg, 12fed, a'r 13eg o Tachwedd, cynaliwyd cwrdd yn eglwys Chatham Street, Pittsburgh, Pa., er sefydlu y Parch. H. Gwerfyl James yn weinidog yno. Pregethodd y brodyr Ebenezer Edwards, New York, a Fred. Evans (Ednyfed), bedair gwaith yr un, Mr. Jenkins, Hubbard, a Dr. Pearson, Pittsburgh, unwaith yr un. Rhoddodd Edwards y *charge* i'r gweinidog; Jenkins, i'r eglwys; ac Ednyfed, i'r deg diacon newydd, y rhai a urddwyd trwy osodiad dwylaw gan Mr. James. 116 oedd rhif yr aelodau pan ddaeth Mr. James i'r lle, ond maent yn awr yn rhifo 176, ac wyth yn y gyfeillach eto.

### *BEDYDDIWYD—*

Yn Thomastown, Ohio, Sabbŏth, y 19eg o Tachwedd, 1876, cawsom y fraint o weled dwy chwaer yn cael eu trochi, ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, yn ngwydd torf o edrychwyr. Gweinyddwyd gan ein parchus weinidog, J. T. Jones, yr hwn sydd newydd ddechreu gweinidogaethu yn ein plith. Gobeithiwn y bydd y bedydd hwn yn flaenffrwyth o gynhauaf toreithiog yn ein plith yn y dyfodol.—*E. R.*

### *PRIODWYD—*

Hydref 21, 1876, gan L. M. Roberts, yn ei dy ei hun, Mr. Henry Eid a Miss Mary Ann James, y ddau o Ashland, Pa.

### *BU FARW—*

Yn Irwin Station, Hydref 31, 1876, Mrs. Margaret James, yn 62 mlwydd oed, ar ol dwy wythnos o gystudd. Gorphenodd ei gyrfa gan bwyso ar Iesu, yr hwn a broffesodd yn agos i dair blynedd yn ol. Gallaf ddyweyd am y chwaer anwyl hon, er mai taith fer oedd ei thaith grefyddol, ei bod yn un o ffyddloniaid Seion. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan yr ysgrifenydd, yn Irwin Station, a'i merch a'i hwyres cyn ei marw. Galwodd ei merch ati, gan ddyweyd wrthi am lynu yn ffyddlon gyda chrefydd Iesu. Yna dywedai, "Dyma fy nghysur i heddyw; mae fy enaid yn pwyso arno. Y gofid penaf sydd yn fy mlino yw na buaswn wedi dechreu yn gynt gyda ei waith. Dyma gyfaill a lŷn pan mae pawb eraill yn methu.

'Iesu, Iesu, 'rwyt ti'n ddigon,
Yn y dwr ac yn y tân.'"

Felly bu farw gan bwyso yn dawel ar Graig yr Oesoedd. Yr oedd ein chwaer yn weddw er ys 13 mlynedd. Enw ei gwr oedd William James. Ddeg mlynedd yn ol symudodd o'r wlad hon o Cendl, Sir Fynwy, D. C., gyda ei merch Margaret, a John Davies, ei gwr. Cafodd gladdedigaeth parchus iawn. Yr oedd yno luaws o bob enwad wedi dod i dalu y gymwynas olaf iddi. Anfonwyd am ei chyn-weinidog o Johnstown i weinyddu ar ddydd ei hangladd, yn ol yr hyn a ddymunasai chwech wythnos cyn ei marwolaeth, pan yn ddigon iach. Cafodd ei dymuniad. Gweinyddwyd yn y ty ac wrth y bedd gan y brawd T. T. Evans a'r ysgrifenydd.

*Johnstown.* D. J. EVANS.

### BENJAMIN R. WILLIAMS, HYDE PARK, PA.

Mab oedd y trengedig i Mr. Henry Williams, a'i briod, y rhai ydynt er ys blynyddoedd yn trigianu yn Hyde Park. Y mae iddynt chwech o blant yn awr yn fyw. Benjamin oedd yr ieuengaf. Ganwyd ef yn Pittston, Pa., Gorph. 27, 1857. Hyd y gwyddom, ni hynodwyd ei ddyddiau boreuol gan unrhyw ddygwyddiadau na nodweddion neillduol, heblaw ei fod yn barchus ac ufudd i'w rieni. Cafodd amryw bylau o glefyd trwm a pheryglus; ond arweiniodd Llaw Anweledig ef trwy

beryglon aneirif mebyd a maboed, fel y tyfodd i fyny yn ddyn ieuanc golygus a gobeithiol. Ffurfiodd yr ysgrifenydd adnabyddiaeth ag ef tua phedair blynedd yn ol, tra y gorweddai yn glaf mewn twymyn, ac yn annhebyg o wellhau. Ond gwelodd Rhagluniaeth yn dda ei adferyd, ac o hyny allan adwaenem ef fel gwrandawr cyson ac astud yn nghynulleidfa, ac fel aelod ffyddlon o Ysgol Sul y Jackson Street Baptist Church.

Tua dechreu Ionawr diweddaf, dechreuodd fynychu y cyrddau gweddi wythnosol. Yn fuan wedi hyny deallwyd ei fod yn llafurio dan argyhoeddiad dwys o'i euogrwydd a'i berygl fel pechadur, a'i angen am Waredwr, a chyn hir deallodd a derbyniodd yn galonog drefn rasol Duw i gadw pechaduriaid; ac ar y 18fed o Chwefror efe a fedyddiwyd ac a dderbyniwyd yn aelod o'r eglwys uchod.

Pan ddywedodd wrth ei fam ei fod wedi aros yn ol yn y gyfeillach, ac y dywedodd hithau mewn atebiad, nas gallasai wneuthur dim oedd well, os oedd yn ddifrifol, a'i bod yn gobeithio ei fod wedi ystyried yn bwyllog yr hyn yr oedd yn ei gylch, efe a atebodd, nad oedd heb ragfeddwl llawer am y symudiad pwysig, a'i fod yn benderfynol, trwy gymorth Crist, i fod yn ffyddlon hyd y diwedd. "*I am determined it shall be for life, mother.*" Ac felly y bu. Byr fu ei yrfa grefyddol—ychydig gyda chwe' mis—ond hynodid hi gan y fath ffyddlondeb difai, difwlch a diflin, a'r fath ymroddiad penderfynol, fel nad amheuai neb o'r frawdoliaeth nad oedd Benjamin wedi myned trwodd o farwolaeth i fywyd.

Yr oedd ynddo awydd cryf am ddyfod yn alluog i wneyd llawer o ddaioni fel aelod eglwysig; a chan ei fod yn darllen yr Ysgrythyrau yn gyson a meddylgar, ac yn cymeryd rhan yn holl ymarferiadau ysbrydol yr eglwys, gobeithid y deuai, os ca'i fyw, yn aelod tra defnyddiol. Ond yn hyn siomwyd ef a ninau, "Canys gostyngwyd ei nerth ar y ffordd, a byrhawyd ei ddyddiau; ie, ei ddyddiau a ddarfuent fel mwg, ac fel cysgod y ciliasant." Yr oedd yn hollol iach foreu dydd Llun, Medi 4ydd, a thra yn cymeryd ei foreufwyd ymddyddanai yn hapus â'i fam am freintiau y dydd blaenorol, ac am yr hyfrydwch ddysgwyliai ei gael yn y cwrdd gweddi cenhadol hwyr y dydd hwnw. Ond prin yr oedd wedi dechreu ei ddiwrnod gwaith nag y cyfarfyddodd â damwain mor niweidiol fel y bu farw am ddeg o'r gloch y nos hono. Yr hyn a wnai yr amgylchiad yn chwerwach fyth, dygwyddai ei dad fod oddi cartref ar y pryd.

Tra yr oedd yr ysgrifenydd ar ymweliad ag ef, rhwng 2 a 4 o'r gloch y prydnawn, ymddyddanai yn siriol a chalonog; a phan ofynwyd iddo, a oedd crefydd yn gweinyddu iddo gysur yn awr, atebodd yn fyr ond penderfynol, ei bod, a pha beth bynag a ddygwyddai, fod pob peth yn dda, gan fod y Graig o dan ei draed. Ychydig yn ddiweddarach, dywedodd wrth ei fam, na ddylai ymofidio ar ei ol ef, gan fod y cwbl yn iawn, a chraig ansigledig dan ei draed. Fel hyn y dysgwyliem y buasai Benjamin farw pa bryd bynag y cymerai hyny le, gan nad amheuem wirioneddolrwydd ei dröedigaeth.

Cafodd ein hanwyl frawd gladdedigaeth barchus ac anrhydeddus iawn, yr hwn a gymerodd le prydnawn dydd Iau, Medi 7. Wedi darllen a gweddio yn y ty, symudwyd i gapel y Bedyddwyr Cymreig, a gweinyddwyd yno gan y Parch. E. R. Lewis (Callestr), y Parch. Theophilus Jones, a'r ysgrifenydd. Yr oedd yn amlwg oddiwrth luosogrwydd y dyrfa, a'u gwedd barchus a theimladol, fod ein brawd ieuanc hoff a'r teulu galarus yn barchus iawn yn yr ardal. O'r eapel hebryngwyd yr hyn oedd farwol o B. R. Williams i gladdfa'r Cymry yn Hyde Park. Gweinyddwyd wrth y bedd gan y Parch. D. E. Bowen, a chanodd y côr yr emyn Saesneg, "Rock of Ages," ac yna cauwyd y bedd ar weddillion un, er nad oedd ond ieuanc, oedd eisoes wedi gorchfygu angau, ac wedi myned i lawr i'r afon yn mreichiau yr Adgyfodiad a'r Bywyd, mewn gwir ddiogel obaith o fuddugoliaeth ar y bedd.

*B. W. T.*

ELIZABETH M. EVANS, PITTSTON, PA.

Ganwyd Mrs. Evans yn Merthyr Tydfil, D. C., yn y flwyddyn 1814. Enwau ei rhieni oedd Edward a Jannet Evans. Ymbriododd ag un Morgan Evans, yn y flwyddyn 1837, a buont fyw yn Merthyr hyd y flwyddyn 1854, pryd y symudodd hi a'i phriod i Aberdar; ac yn mhen blwyddyn cafodd ei gwr ei ddiwedd, gan ei gadael yn weddw, a chwech o blant bychain o dan ei gofal, i wynebu ar y byd, fel yr oedd ei chyfrifoldeb yn fawr. Nid hir y bu ein chwaer cyn cael ergyd arall, twy i angau ymweled â'i theulu, a chymeryd un o'i phlant ymaith, a chwanegodd hyn eto at ei thrallod. Ond bu Rhagluniaeth yn dyner iawn o honi trwy yr holl amser, i'w galluogi i godi ei phlant. Byddai yn aml yn diolch i'r Arglwydd am ei fod wedi ei chynal a'i galluogi i godi ei phlant heb weled eisiau dim arnynt, ond digon cyfyng yn aml.

Bedyddiwyd hi gan y Parch. Benjamin Evans, Heol-y-felin, Aberdar, yn y fl. 1856, lle y bu yn aelod ffyddlon a gweithgar; ac yn y flwyddyn 1862, ymfudodd hi gyda ei phlant i America, a sefydlodd yn Providence, Pa., lle y treuliasant bedair blynedd, ac enillodd serch a pharch mawr iddi ei hun yn mynwes yr eglwys; ac yn y flwyddyn 1866, symudodd i Pittston, Pa., lle y treuliodd weddill ei dyddiau, ac ymaelododd yn yr eglwys yno, gan enill iddi ei hun enw da.

Yr oedd yn ein hanwyl chwaer lawer o rinweddau gwerth eu cofnodi, ac yn deilwng o efelychiad, gan hyny bywgreffir nodweddion plant yr Arglwydd, a mynegir eu pethau goreu, gan adael i'r brychau fyned ymaith, a chladdu eu gwendidau yn y llwch. Nid wyf am ddyweyd nad oedd ffaeleddau yn ein chwaer; O, na, ond yr oedd ei rhinweddau yn gor-bwyso ei ffaeleddau. Yr oedd ei sel a'i diwydrwydd gyda chrefydd yn werth i'w cadw o fedd ebargofiant; ac er ei bod wedi marw, mae ei ffyddlondeb eto yn llefaru wrthym ni; a gellir dywedyd am yr hen chwaer hon yn Seion, mai crefydd oedd y peth agosaf at ei meddwl bob amser. Nid oedd byth yn fwy dedwydd na phan y byddai yn siarad ar ryw bwnc ysgrythyrol. Yr oedd yn darllen llawer iawn ar ei Beibl, ac nid hyny yn unig, ond yn ei ddeall i raddau helaeth iawn. Yr oedd yn Gristion dysglaer, a mam dyner a gofalus iawn; yn gymydoges dirion, addfwyn a chymwynasgar. Yr oedd yn cael gair da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Yr oedd yn wraig synwyrol, ddoeth, a rhesymol, tu hwnt i'r cyffredin; fel cymydoges yn onest, dystaw a dymunol; ac fel aelod eglwysig yn ffyddlon a diwyd, a chyson yn yr ymarferiad â moddion gras, cyhyd ag y gallodd. Nid byth y gwelid ei lle yn wag yn yr eglwys. Cafodd gystudd hir. Ei hafiechyd oedd y darfodedigaeth, ond dyoddefodd y cwbl yn amyneddgar hyd y diwedd. Bu farw mewn tangnefedd, a'i ffydd wedi ei sylfaenu ar Graig yr Oesoedd, a'i llygaid yn gweled ei iachawdwriaeth Ef. Erys ei choffadwriaeth ar ei hol yn fendigedig yn yr eglwys hon. Hunodd ein hanwyl chwaer yn yr angau Hydref 6, 1876, yn 62 mlwydd oed, gan adael pump o blant a llu o berthynasau i alaru ar ei hol. Yr oedd yn cartrefu gyda ei hanwyl ferch, Mary, a derbyniodd bob tynerwch. Yr oedd yn anmhosibl i blant ddangos mwy o barch nag a wnaeth y plant hyn i'w mam.

Dydd Sul canlynol, daeth torf luosog yn nghyd i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol, i'w hebrwng i dy eu hir gartref. Claddwyd hi yn mynwent yr Odyddion, Pittston, a gweinyddwyd yn y ty cyn cychwyn, ac ar lan y bedd, gan y Parch. H. C. Parry, yn effeithiol iawn, a dyma un o'r angladdau mwyaf parchus a welwyd yn y lle hwn, ac yr oedd llawer o ddagrau yn disgyn oddiar ruddiau ei chyfeillion, ar ol claddu chwaer mor anwyl, a mam yn Israel. Traddodwyd pregeth angladdol nos Sabboth, Hydref 22ain, yn y capel, gan y Parch. H. C. Parry, oddiwrth Mat. 13: 43—"Yna y llewyrcha y rhai cyfiawn fel yr haul yn nheyrnas eu Tad," &c. Yr oedd yn un o'r pregethau goreu a glywsom erioed ar y fath amgylchiad; y traddod-

iad yn nerthol anarferol, a'r capel yn orlawn o wrandawyr parchus, a gwelid arwyddion fod y gynulleidfa yn teimlo yn ddwys dan ddylanwad y genadwri. Wel, gorphwysed ein chwaer yn dawel, a chwythed yr awelon yn dyner dros ei beddrod hyd foreu caniad yr udgorn diweddaf, yw gwir ddymuniad yr ysgrifenydd,

JACOB W. EVANS.

---

## Ystadegau Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Ohio a Gorllewinbarth Pa., 1876.

| Eglwysi. | Swydd. | Gweinidog. | Ysgrifenydd. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Derb. trwy Lyth. | Goll. trwy Lyth. | Diarddelwyd. | Bu Farw. | Rhif Presenol. | Rhif. Ysg. Sab. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Pittsburgh, Pa. . . . . . | Alleghany | H. G. James | H. W. Jones | 12 | 13 | 5 | 9 | | 1 | 128 | |
| Parisville, Ohio . . . . . | Portage | E. M. Evans | E. T. Davies | | 2 | 1 | | | 2 | 70 | 40 |
| Youngstown, O. . . . . | Mahoning | | J. M. Evans | 7 | 5 | 7 | 5 | | | 102 | |
| Weathersfield, O. . . . . | Trumbull | D. Probert | W. B. James | 2 | 4 | 4 | | 6 | | 43 | 45 |
| Mineral Ridge, O . . . . | Trumbull | J. W. James | Wm. Farr | 1 | 2 | 2 | 11 | 9 | 1 | 126 | 100 |
| Niles, O. . . . . . . . | Trumbull | | W. Williams | | 3 | 1 | | 3 | | 34 | |
| Coalburgh O. . . . . . | Trumbull | C. Jones, B.A. | E. S. Edwards | 6 | 2 | | 2 | 2 | | 73 | 100 |
| Church Hill, O. . . . . | Trumbull | | D. T. Griffiths | 2 | 5 | 2 | 12 | 4 | 1 | 65 | 90 |
| Hubbard, O. . . . . . . | Mahoning | | T. E. Parry | | | 3 | 6 | 4 | 1 | 35 | 30 |
| Thomastown, O. . . . . | Summit | J. T. Jones | E. Richards | 1 | 3 | 1 | 13 | 3 | | 59 | 70 |
| Sharon, Pa. . . . . . . | Mercer | T. Thomas | J. Devereux | 4 | 10 | 5 | | 11 | | 49 | |
| Wheatland, Pa. . . . . . | Mercer | D. Nicholas | T. T. Burns | 3 | 3 | 3 | 5 | | | 33 | |
| Vienna, O. . . . . . . . | Mahoning | S. C. Pierce | W. Richards | 2 | 7 | 1 | 3 | 13 | | 25 | 45 |
| Sawmill Run, Pa. . . . . | Alleghany | | | | | | | | | | |
| Brookfield, O. . . . . . | Mahoning | | D. Jeremiah | 3 | 1 | 5 | 1 | 1 | 1 | 57 | 90 |
| Newburgh, O. . . . . . | | | | | | | | | | | |
| Irwin Station, Pa. . . . . | Westmorel. | | T. John | 9 | | | 9 | 3 | 1 | 25 | 50 |
| Johnstown, Pa. . . . . . | Cambria | D. J. Evans | J. F. Griffiths | 14 | 13 | 5 | 6 | 13 | 2 | 80 | |
| Ebensburgh, Pa. . . . . | Cambria | D. Evans | T. Jarvis | | | | | | | 33 | 40 |
| Houtzdale. Pa. . . . . . | Clearfield | W. R. Jones | J. L. Jones | 10 | 30 | 14 | | | 1 | 45 | |
| Portland, O. . . . . . . | Jackson | Dr. Griffiths | | | | | 3 | | | 21 | 23 |
| Centerville, O. . . . . . | Gallia | D. S. Jones | J. Ll. Jones | 7 | 3 | 6 | | | 1 | 32 | 30 |
| Ebenezer. O. . . . . . . | Gallia | D. Williams | | | | | | | | | |
| Bethlehem, O. . . . . . | Gallia | D. Williams | | | | | | | | | |
| Carr's Run, O. . . . . . | Meigs | | D. S. Lewis | 5 | | 3 | 4 | 1 | | 44 | 50 |
| Pomeroy, O. . . . . . . | Meigs | | J. James | | | | 3 | | | 27 | |
| Mason City, W. Va. . . | Mason | | R. Collins | | | | 4 | | | 15 | |
| Hartford City, W. Va. . . | Jackson | | Ch. Edwards | | | | 1 | 2 | | 12 | |
| Denison, O. . . . . . . | Summit | | | | | | | | | | |

Gweinidogion heb ofal Eglwysi—J. Z. Jones, Johnstown, Pa.; D. Jenkins, Hubbard, O.; D. Hopkins, Youngstown, O.; A. Phillips, Church Hill, O.; T. T. Williams, Pomeroy, O.; T. M. Matthews, Hubbard, O.; S. M. Thomas, Parisville, O.

Derbyniwyd a ganlyn at y Gymanfa:—Sharon, $4.00; Vienna, 1.00; Johnstown, 4.00; Houtzville, 5.00; Irwin Station, 1.50; Weathersfield, 3.00; Coalburgh. 3.00; Carr's Run, 4.00; Mason City, 1.50; Thomastown, 6.00; Centreville, 3.20; Bethlehem, 1.00; Hartford City, 1.00; Mineral Ridge, 2.55; Pomeroy, 2.70; Youngstown, 3.00; Parisville, 3.00; Brookfield, 2.50; Hubbard, 1.60; Church Hill, 2.50; Pittsburgh, 6.00. At yr Ysgrifenydd—Pittsburgh, Parisville, Wheatland, Mineral Ridge, Thomastown, Coalburgh, Irwin Station, Houtzville, Johnstown, $1.00 bob un; Sharon, 90c.; Brookfield, 50c.

☞ Cynelir y Gymanfa nesaf gyda'r eglwys yn Church Hill, O.

☞ Pe anfonai yr eglwysi eu cyfraniadau at y Genadaeth Dramor a Chartrefol, a'r *Baptist Publication Societies*, i ofal Trysorydd y Gymanfa, y Parch. T. Thomas, Sharon, yna gallai ef anfon y cyfryw i'w priodol leoedd, fel y caffai y Cymry gydnabyddiaeth am danynt; ond wrth eu hanfon yn wasgaredig byddant yn wasgaredig ar ystadegau y cyfryw Gymdeithasau.

E. MORDDAL EVANS, *Ysg.*

Parisville, Portage Co., Ohio.

## NEWYDDION CYFFREDINOL.

*Yr Arddangosfa drosodd.*—Do, y 10fed o Tachwedd, yn ol yr apwyntiad. Honir mai hon oedd y fwyaf llwyddianus o'r amryw arddangosiadau a gynaliwyd er 1851. Yr unig eithriad i'r gymeradwyaeth gyffredinol ar ran y wlad hon ydoedd yr *Art Gallery*. Mae pob adran arall wedi siomi yn yr ochr oreu. Mae y rhagdrefniadau wedi bod yn ganmoladwy dros ben. Trefnwyd ar gyfer pob dygwyddiad yn rhagorol, a symudai y peiriant swyddogol yn ddidwrf a chyson, yr hyn a bortreadid yn dda gan y peiriant mawr Corlissaidd a'i ranau dibynol yn *Machinery Hall*. Ond er myned drosodd, eto nid yw yr Arddangosfa ond wedi dechreu ei gwaith o addysgu. Anfonodd yn ol i'w cartrefleoedd ddegau o filoedd gyda syniadau newyddion, a golygiadau eangach. Cynysgaeddodd bregethwyr â ffugyrau, ac ysgol-feistriaid â ffeithiau. Dysgodd i ni oll, os ydyw America yn wlad fawr, fod y byd yn fwy, a bod hyd yn nod gan genedloedd haner gwareiddiedig rywbeth i'w ddysgu i ni. Fel y mae adar yn dwyn hadau ar eu hadenydd yn ddiarwybod iddynt, yn disgyn filoedd o filldiroedd o bellder, yn tyfu ac yn ffrwytho mewn canlyniad, felly y mae pob ymwelydd meddylgar â'r Arddangosfa wedi cario gydag ef hadau meddyliau a wreiddiant ac a dyfant mewn misoedd a blynyddau i ddod, mewn dinasoedd a phentrefydd o Maine i Georgia, ac o lanau y Werydd i lanau y Tawelog.

*Giacomo Antonelli.*—Giacomo Antonelli oedd Gardinal penaf y Pab, a fu farw yn Rhufain ar y 6ed o Tachwedd, yn ddeg-a-thriugain mlwydd oed, wedi bod ddeg-ar-hugain o flynyddau yn llenwi safle o ddylanwad uwchafol, yn wladwriaethol ac eglwysyddol. Arferai Arglwydd Palmerston siarad am dano fel "gwladwriaethwr mwyaf yr oes." Yr oedd y clod hwn, efallai, yn ormodol; eto rhaid addef, pe buasai dygwyddiadau yn ei ffafrio yn lle ei groesi, fod yn eithaf tebygol y buasai yn rhestru ar lechres hanesyddiaeth gyda Richelieu, Wolsey, Mazarin, a Ximenes. Yr oedd Cardinal Antonelli yn enedigol o radd isel. Ei dad oedd yn dorwr coed, yr hwn drwy feddu cyneddfau cryfion ac uchelgais egniol, a gododd i awdurdod a dylanwad yn Eglwys Rhufain. Y mae yr eglwys hono bob amser yn chwim i gydio mewn personau o dalentau, beth bynag fyddo eu sefyllfa gymdeithasol, pryd bynag y mae hyny yn debyg o fod yn elw iddi. Cododd y pabau mwyaf galluog mor fynych o blith y werin ag oddiwrth deuluoedd enwog, megys y Borgiaid, a'r de Medicisiaid. Nid anfynych y daeth Cadfridogion y Gymdeithas Jesuitaidd o fysg y graddau mwyaf dinod. Nid oedd Antonelli, gan hyny, o dan yr un anfantais neillduol oblegid fod ei darddiad o blith y dosbarth sydd yn bwyta eu bara drwy chwys eu gwyneb. Bu yn ffortunus drwy dderbyn ei addysg yn y Seminaro, i'r hon, drwy ddygwyddiad hapus, y cafodd dderbyniad.

Nid oedd Antonelli yn nodedig fel myfyriwr. Ni chymerodd ei efrydiaeth gyfeiriad mynachol. Ni roddodd iddo sel anghymedrol dros wybodaeth fel gwybodaeth. Cyfaddaswyd ef i weithio allan fywyd ymarferol. O'r dechreu yr oedd Antonelli yn ddyn y byd. Nid oedd gan deganau eglwysyddol ddylanwad arno. Cymerodd safle o ganolwr rhwng yr Uchel-babyddion a'r blaid Ddiwygiadol, ac ymdrechai i greu undeb rhyngddynt.

Yn wleidyddol, nid ymddengys ei fywyd amgen na methiant. Dechreuodd fel cyngorwr Pius IX., drwy fabwysiadu rhyddfrydigrwydd. Yr oedd Rhufain a'r Talaethau i fod yn rhydd a chyfansoddiadol. Yr oedd hyn pan oedd yn ieuanc, yn newydd mewn swydd, a brwdfrydig. O fewn blwyddyn, modd bynag, torodd allan chwyldroad 1848. Ymlidiwyd Pius, ac Antonelli gydag ef, o Rufain, a chymerasant noddfa yn Gaeta, ac aeth y breuddwyd o ryddfrydu Rhufain a'r eglwys o'r mynyd hwnw heibio. Pan adferwyd y Pab at ei eiddo yn 1849, dychwelodd y Llys Pabaidd i'r Ddinas Dragywyddol gyda rhagdrefn newydd. Penderfynodd Antonelli i'r llywodraeth

rhagllaw fod yn unbenaethol, ac felly y bu. Nid oedd ychwaneg o siarad am ryddfrydigrwydd yn Rhufain. Yr oedd y weinyddiaeth newydd yr oreu i oedi dadymchweliad llywodraeth dymorol y Pab. Bu Antonelli fyw i'w gweled yn graddol golli tir, yn gyntaf drwy ryfel 1857, yna gan un 1866, ac yn ddiweddaf yn cael ei llwyr gymeryd ymaith gan deyrnas ieuanc yr Ital.

*Yr Hynt Ogleddol.*—Y *Discovery* a'r *Alert* ydynt enw dwy long a anfonodd y Llywodraeth Brydeinig yn Mai, 1875, i wneyd ymchwiliad i'r pwynt gogleddol, y rhai a ddychwelasant yn Hydref diweddaf. Ymddengys i'r hynt droi allan yn llwyddianus. A ganlyn sydd grynodeb o hanes yr ymchwiliad: "Wedi gadael Port Fouke ar yr 20fed o Orphenaf, 1875, aeth yr *Alert* i'r rhew tu allan i Cape Sabine, ac wedi ymdrech galed a pharhaus, cyrhaeddoedd y ddwy long yr ochr ogleddol i Lady Franklyn Bay, lle y gauafodd y *Discovery*. Wedi hyny, aeth yr *Alert* yn mlaen mor bell ag y gellid ar y Môr Gogleddol, a gauafodd yn lledred 82 gr. 27 myn. Yr oedd y rhew yno mewn rhai manau yn 150 troedfedd o drwch. Cafwyd allan nad oes y fath le a President Land. Collasant olwg ar yr haul yn mis Tachwedd, ac ni chawsant olwg ar frenin y dydd wedi hyny hyd ddiwedd Chwefror. Buont fel hyn 142 o ddiwrnodau mewn tywyllwch eithaf, gyda yr eithriad o ymweliad o eiddo y lleuad yn awr ac eilwaith, yr hyn a ddygwyddai tua phob pythefnos. Wedi sicrhau y llong, a gwneyd y darpariadau angenrheidiol, cychwynid mewn *sledges* ar y rhew. Anhwdd iawn oedd teithio ar y rhew, gan ei fod mor arw. Nis gellid teithio dros tua milldir y dydd. Bu un parti ymchwiliadol allan am 84 o ddiwrnodau, a chyrhaeddasant lledred 83.20, yr hyn, fel y bernid, oedd o fewn 400 o filldiroedd i'r pwynt gogleddol. Yr oedd yr hin yn hynod o oer, a'r tymeredd yn gyffredin 104 gradd islaw y pwynt rhewllyd. Cyfarfyddid â'r Esquimaux ar y glanau; ond ni welwyd un bôd dynol yn mhellach yn mlaen na gradd 81.52. Ni chanfyddid adar yn mhellach yn mlaen na Cape Columbia. Darganfyddwyd glo rhagorol yn nghymydogaeth Disco. Gwnaed amryw ddarganfyddiadau dyddorawl eraill. Dywed hen forwr ag oedd ar fwrdd un o'r llongau, yr hwn sydd wedi bod 25 o weithiau yn hela morfilod yn y Môr Gogleddol, na fu un hynt mor lwyddianus a'r un ddiweddaf. Dywed ef fod y pwynt gogleddol yn amgylchynedig gan rew, yn mesur tua 200 troedfedd o drwch."

Braidd y canlyniad ymarferol cyntaf o'r hynt ydyw darganfyddiad tramwyfa ogleddol i China. Mae Swediad gwrol, Proff. Vordenskiold, wedi dilyn cwrs y culfor o amgylch tueddau gogleddol Sweden a Lapland, heibio Nova Zembla, i enau yr afon Yenisei, Siberia. Yn dilyn yr afon hon, yr hon sydd fordwyol i agerlongau ysgeifn, ymdreiddiodd i ganolbarth cyfandir Asia, gan gyrhaedd yn agos i gyffiniau China. Dyfr-ffos oddeutu 15 o filldiroedd fyddai yn ddigon i gysylltu yr afon hon a'r afon Amoor, a ymarllwys i'r Môr Tawelog Gogleddol. Yn ymarferol felly mae tramwyfa wedi ei darganfod rhwng China ac Ewrop, amryw filoedd o filldiroedd yn fyrach na'r un bresenol. I ba raddau yr effeithia hyn ar drafnidaeth, a erys eto i'w benderfynu.

*Y Trueni yn Bulgaria.*—Gall fod y creulonderau a'r trueni yn Bulgaria wedi eu mwyhau, oblegid nid yw hanesion dwyreiniol yn colli dim o ddiffyg lliwiau; ond yn sicr maent yn ddigon erchyll i greu cydymdeimlad, a hawlio haelfrydedd cenedloedd Cristionogol. Mae y bobl heb ymborth, dillad, na thai. Cyfrifir fod haner miliwn o ddoleri yn angenrheidiol i'w dwyn trwy y gauaf. Mae saith deg o filoedd o ddoleri wedi cael eu hanfon yno o Loegr.

*Moody a Sankey.*—Er holl gynhwrf a brwdfrydedd yr etholiadau, mae y cyfarfodydd dan arweiniad y ddau ddyn hynod hyn, yn Chicago, wedi bod yn orlawn. Mae adeilad digon eang i gynwys 8,000 o bobl yn cael ei adeiladu yn bresenol yn Boston at eu gwasanaeth.

## BWRDD Y GOLYGYDD.

*Yr Offeiriadaeth yn Mhrydain.*—Er's tua dwy flynedd bellach, mae yr offeiriadaeth yn sefyll o flaen gwyntyll dadleuaeth awelog yn Mhrydain. Cedwir bywyd yn y ddadl drwy ysgrifenu, darlithio a phregethu brwd ar y mater. O un tu mae yr Uchel-eglwyswyr, ac o'r tu arall mae rhai o'r prif gewri Efengylaidd. Yn mhlith eraill gwelir enwau y Parchn. Joseph Parker, D. D., ac E. Mellor, D. D. Mae canlyniadau da yn rhwym o ddilyn hyn. Nid ellid cymeryd i fyny unrhyw bwnc eglwysig bron, ag mae meddu golygiadau ysgrythyrol arno, yn fwy pwysig na hwn. Medda arbenigrwydd tebyg yn awr i Eglwys Loegr a Rhufain, tebyg i "gyfiawnhad trwy ffydd" yn amser Luther. Pwy bynag a ddewiso weled twyll offeiriadaeth mewn goleu priodol, darllened erthygl gampus y Parch. Anthony Williams yn y WAWR am Tachwedd.

*Ysgoloriaeth Gymreig Cynddelw.*—Gyda'r penderfyniad o wneyd Ysgoloriaeth Gymreig Cynddelw yn llwyddiant, ymwelodd yr ysgrifenyddion ac eraill o frodyr da, yn ddiweddar, â rhai o brif eglwysi y Bedyddwyr yn y Gogledd a'r Dehau, a rhoddwyd derbyniad calonog iddynt, yn enwedig gan Fedyddwyr Mon, mam Cymru. Hyderir y llwyddir yn fuan i gael brodyr gweithgar eraill i'r maes, a rhwng pawb a phob peth, y daw y swm gofynol i fyny cyn i'r gôg ymweled eto â Chymru.

*Y Cwestiwn Dwyreiniol.*—Mae sefyllfa pethau yn y Dwyrain yn gwisgo agwedd mwy gobeithiol ar hyn o bryd nag y bu yn ddiweddar. Ychydig ddyddiau yn ol, methai y *Times*, Llundain, a phenderfynu pa un ai heddwch ai rhyfel oedd y mwyaf tebyg; ond yn awr mae'r fantol yn troi yn ffafr heddwch. Seilir hyn ar y gynadledd a gynelir ar achos Twrci a'i thalaethau gwrthryfelgar gan gynrychiolwyr y galluoedd mawrion. Cyndyn fu y *Porte* i wneyd cynyg i benderfynu y mater yn y dull hwn. Ni buasai yn gwneyd o gwbl oni ba'i ofn yr arth Rwssiaidd. Dylai ofni hono, oblegid mae ganddi grafangau erchyll.

*Y Cwestiwn rhwng Hayes a Tilden.*—Mae hwn yn parhau heb ei benderfynu, ac mae hyn yn cadw y wlad mewn cyflwr dyeithr iddi. Y tebygolrwydd presenol ydyw mai Hayes a etholir. Mae South Carolina yn ddiogel, ac mae y rhagolygon o barthed Florida a Louisiana yn ymddangos fel yn gloewi. Ni fydd yr hysbysiadau swyddogol yn cael eu cyhoeddi o'r ddwy Dalaeth olaf hyd ddechreu Rhagfyr. Pan benderfynir y cwestiwn hwn, diau yr anadla y wlad yn rhyddach, ac y bydd masnach yn eyffroi, yn enwedig os Hayes fydd yr Arlywydd.

*Yr Ymosodiad ar y Drych.*—Ni allwn gymeradwyo dull y Parch. H. Humphrey, Pittsburgh, o ymosod ar hen bapyr y genedl. Mwy teilwng yn ein golwg ni fuasai iddo ymosod, os dim, ar rai o'i ohebwyr yn ngholofnau y *Drych* ei hunan, fel y gwnaeth, amser yn ol, ar Mr. Herbert. Yr oedd yr erthyglau hyny o'i eiddo yn adlewyrchu yn dda ar Mr. Humphrey, yn dangos nid yn unig sel dros grefydd bur, ond medr mawr i'w hamddiffyn. Yn ei ddull presenol o gyhoeddi pamphledau isel chwaeth er difrio pawb a phob peth perthynol i'r *Drych*, methwn weled awdwr teilwng o weinidog yr efengyl. Mae y dybiaeth y dylai arddull ddwyn delw y drwg yr ymosodir arno, yn annghywir, a chyfeiliornus i'r eithaf. Nid yw Mr. Humphrey yn crybwyll am Mr. Herbert fel "brawd" mwyach, ond yn heretic peryglus yn mhlith eraill y saif yn eu herbyn. Gwelwn fod golygwyr y *Drych* wedi cyhoeddi, am unwaith, bapyryn mewn hunan-amddiffyniad, a chredwn y cydnebydd y cyffredin fod yr amddiffyniad, ar y cyfan, yn deg, boneddigaidd, a rhesymol.

***Bethesda, Abertawe.***—Penderfynodd yr eglwys hon yn unfrydol er's misoedd bellach i agor *subscription list* i weddw yr hybarch R. A. Jones, eu diweddar weinidog, yr hwn a hunodd yn yr angau mis Chwefror diweddaf. Mae yr eglwys yn gosod ei rhodd yn gyntaf ar

y daflen, sef £150, pa arian sydd wedi eu talu gan yr eglwys yn agos oll, ac hefyd wedi eu talu gan y weddw i gyfarfod ag amgylchiadau anffortunus a ddaeth i gyfarfod â'r teulu. Gobeithio y gwna pawb o hen gyfeillion y teulu gyfranu yn ol eu gallu tuag at ei wneyd yn swm anrhydeddus i weddw un o weinidogion goreu Cymru.

*Y Parch. John Williams, y Cenadwr.*—Nos Iau, Tachwedd 2il, ymgasglodd torf luosog a pharchus i gapel Cwmafon, D. C., er tystio eu parch at y Parch. John Williams, ar ei ddychweliad i faes mawr, eang ac anwyl ei lafur i India. Y mae Mr. Williams wedi treulio tuag un-mlynedd-ar-bymtheg yn India; a thua haner blwyddyn yn ol daeth adref i Gymru gyda'r amcan neillduol o geisio adferiad i un o'i lygaid. Er iddo fethu yn hyny, ni fethodd ei sel fel cenadwr i'r Hindoo. Bwriadai ef a Mrs. Williams hwylio allan o Lundain ddydd Iau, y 9fed o Tachwedd. Cyflwynwyd yn y cyfarfod yr anrhegion canlynol—Dr. William Smith's *Dictionary of the Bible*, yn dair cyfrol, i Mr. Williams; a *writing desk* hardd i Mrs. Williams.

*Bygwth Grant.*—Mae amryw lythyrau wedi cael eu hanfon o'r De at yr Arlywydd Grant, yn bygwth cymeryd ei fywyd ymaith, os gwnaethai ddim er hyrwyddo etholiad Hayes. Ni effeithia hyn nemawr ar yr hwn a feddianodd ei hunan mor dda o flaen cyflegrau a byddinoedd y De, os na wna iddo ysmocio dipyn yn fwy cysurus.

*Yr Elfen Ddinystriol.*—Aeth yr elfen dân a thy y brawd Henry Williams, Ysw., Slatington, ymaith yn ei gyfanswm yn ddiweddar mewn ychydig amser. Er i'r tân ddod yn bur ddirybudd, a gwneyd goddaith ofnadwy o eiddo gwerthfawr, nes goleuo a phoethi yr holl gymydogaeth, dywedir fod y braw Williams ar y pryd yn cadw yn berffaith *cool.*

*Mae y Cymreigyddion* yn Utica yn teimlo yn galonog yn y rhagolwg ar yr Eisteddfod y Calan. Clywsom fod wmredd o gyfansoddiadau wedi dod i law. Bydd presenoldeb Mynyddog fel arweinydd yn ddigon o sicrwydd i bawb y cânt "amser da" yn yr Eisteddfod eleni.

*Tysteb i'r Parch. Benjamin Evans.*—Mae tysteb ar droed yn bresenol yn Nghymru i'r Parch. Mr. Evans, gweinidog y Bedyddwyr yn Castellnedd, Deheubarth Cymru.

—Un o nodweddion Indiaid dychweledig, medd Dr. Buckner, ydyw ymddwyn yn deilwng yn moddion gras.

— Cardinal Simeon sydd wedi ei benodi i fod yn olynydd Antonelli yn Llys y Pab.

—Y mae chwaer i Mr. Spurgeon wedi dechreu pregethu.

## NODION PERSONOL.

— Nos Sul, Tach. 5ed, penderfynwyd yn unfrydol gan yr eglwys Fedyddiedig Gymreig yn Hyde Park, Pa., i roddi galwad i'r Parch. Moses Wright, Alliance, Ohio.

— Mae yn ddywenydd genym allu hysbysu, fod y Parch. Ebenezer Edwards, Webster, N. Y., wedi ymsefydlu yn Wilkesbarre, Pa., yn weinidog i'r eglwys Gymreig yn y lle, er canol y mis diweddaf.

— Mae yr eglwys yn Utica yn bywiocâu ac ymadnewyddu yn bresenol, o dan weinidogaeth y Parch. John Edred Jones, ei chyn-weinidog flynyddau yn ol. Nid yw yr hen eglwys barchus hon mor barod i farw ag y gellid tybied weithiau. Y Saeson sydd yn peri y blinder mwyaf yma, drwy fyned a'r ieuenctyd a brodyr da ymaith.

— Ysgrifenai y brawd J. P. Williams, Shenandoah, Pa., atom yn ddiweddar fel y canlyn: "Mr. Gol.—Carem yn fawr i chwi roddi lle i'r llinellau a ganlyn yn y WAWR, sef, ein bod ni wedi dod i'r penderfyniad, fod yn well i ni o dan yr amgylchiadau presenol wahardd pawb i ddyfod yma i bregethu ar un diwrnod o'r wythnos, heblaw y Sabboth."

— Deallwn fod y Parch. Fred. Evans (*Ednyfed*) wedi bod, nos Lun, Hydref 16eg, yn pregethu o flaen y *Ministers' Union*, a thaer erfynasant arno gyhoeddi y bregeth. Cafodd hefyd ei benodi gan y Gymanfa Gyffredinol yn Pittsburgh i ymweled â Chymanfa Gymreig Pennsylvania, er gosod gwaith y Gymanfa Gyffredinol o'u blaen.

— Y Parch. William Jones, La Crosse, Wis., sydd yn gweinidogaethu yn bresenol i eglwys Ridgeway. Deallwn fod y frawdoliaeth a'r gynulleidfa yn gallu gwerthfawrogi ei weinidogaeth.

— Da oedd genym glywed y diwrnod o'r blaen oddiwrth y Parch. D. T. Phillips, gynt o Borth-y-cawl, Morganwg, ond sydd yn awr yn y Talaethau Unedig. Er pan y mae drosodd, y mae wedi gwasanaethu rhai o'r eglwysi Cymreig. Mae Mr. Phillips yn bregethwr cymeradwy yn y ddwy iaith. Yr oedd yntau, fel llawer, yn hiraethu am America. Ei gyfeiriad presenol ydyw 1420 Chestnut, Philadelphia, Penna. .

— Hysbysa y brawd Edward Richards, Thomastown, Ohio, fod y Parch. Joseph T. Jones, o Shenandoah, Pa., wedi dechreu ar ei weinidogaeth yno er Tach. 1af.

— Deallwn fod Mr. Samuel Job, goruchwylydd y *Bethel Home*, yn cael cynyg gan rai o brif foneddigion y ddinas i fyned i un o'r prif golegau i berffeithio ei hun i'r weinidogaeth Seisonig. Cynygiant fywoliaeth rad iddo ef a'i deulu yn ystod y tymor angenrheidiol, yr hyn ni all fod yn llai na thair blynedd, a dyweyd y lleiaf. Mae gan y brawd un o'r llyfrgelloedd goreu, yn cynwys detholiad hapus o weithiau y prif awduron, &c. Gobeithiwn, er mwyn y Cymry, na fydd i Mr. Job dderbyn y cynyg dengar hwn.

— Yr haf diweddaf daethom i adnabyddiaeth â'r brawd anwyl, y Parch. T. Matthews, Hubbard, Ohio, gynt o Ridgeway, Wis. Y mae Mr. Matthews wedi profi ei hun yn weithiwr difefl yn ngwinllan ei Arglwydd yn mhob un o'r lleoedd y bu yn y Gorllewin pell, a diau na fydd yn llai felly yn y cylch presenol.

## NEWYDDION O GYMRU.

*Cartref i Hen Weinidogion.*—Hysbyswyd yn y *Freeman a'r Baptist*, Llundain, er's amser bellach, fod yn mwriad boneddwr o'r enw Col. A. A. Croll i adeiladu nifer o dai yn Llundain yn gartref i hen weinidogion, gyda o £45 i £50 y flwyddyn i bob un i fyw ynddynt. Gafaelodd y Parch. Lewis Evans, Casnewydd, D. C., yn y cyfleusdra i wneyd daioni i hen weinidogion Cymru. Yn ol cynllun cyntaf Mr. Croll, buasai yn ofynol i'r noddwyr fyned i Lundain i dreulio gweddill eu hoes, yr hyn fuasai yn groes iawn i deimlad Cymro yn ei hen ddyddiau. Buasai yr aberth yn ormod i'w ddysgwyl. Diamheu y bydd yn achos o ddywenydd mawr i gael ar ddeall fod Mr. Evans wedi dylanwadu ar Mr. Croll i newid ei gynllun, yr hyn sydd yn fraint a chyfleusdra arbenig, yn enwedig i hen weinidogion Cymru.

*Y Bala.*—Mae yr ychydig Fedyddwyr yn y lle uchod yn fyw, ac yn debycach o fyw nag y buont er pan ddechreuodd achos y Bedyddwyr yn y lle.

*Pregethau y Parch. B. Evans, Castellnedd.*—Mae dymuniad wedi cael ei wneyd yn hysbys yn *Seren Cymru* am gael pregethau y Parch. B. Evans, Castellnedd, D. C., wedi eu hargraffu.

*Marwolaeth Mrs. Hannah Williams.*—Hydref 19eg, yn 68 mlwydd oed, yn bur ddisymwth, Mrs. Hannah Williams, Nant Cottage, Coedpoeth, Wrexkam. Yr oedd yr ymadawedig yn aelod nodedig o ffyddlon gyda'r Bedyddwyr. Yr oedd ei chymeriad crefyddol yn un gloew, a pherchid hi yn fawr gan yr eglwys a'r ardal yn gyffredinol. Gadawodd bedwar o feibion i alaru ar ei hol, un o'r rhai ydyw y Parch. J. J. Williams, Pwllheli; ac un arall ydyw Thomas Williams, Marengo, Iowa.

*Cof golofn i Nefydd.*—Dydd Llun, Hydref 30ain, dadorchuddiwyd cof-adail hardd a godwyd ar fedd y diweddar Barch. W. Roberts, LL. D., yn mynwent Blaenau Gwent. Daeth tyrfa luosog o weinidogion a chyfeillion eraill yr anwyl Nefydd, yn nghyd ar yr achlysur. Aed drwy seremoni y dadorchuddiad gan Canon Griffiths, o Gastellnedd, yr hwn a draddododd araeth bwrpasol ar yr achlysur. Siaradwyd hefyd gan Mr. H. Russel Evans, Casnewydd; Parch. T. Lewis, Risca; Mr. T. Bowen, ysgolfeistr, Abertillery; Parch. W. R. Richards, Machen; Parch. I. Jones, Blaenau; Parch. T. Rees, D. D., Abertawe; Parch. J. Lewis, Blaenau Gwent, ac eraill. Hwn oedd y trydydd cof-adail sydd wedi eu codi fel ffrwyth eisteddfod a gynaliwyd yn Casnewydd dair blynedd yn ol. Llefarai yr oll o'r siaradwyr yn barchus iawn am Nefydd, fel Cristion, dyngarwr, a chyfaill diwyrni.

*Canu mewn Angladdau.*—Yn *Seren Cymru* am Hydref 27ain mae erthygl ar y pwnc uchod. Yn mhlith pethau eraill, ceir ynddi y nodiadau canlynol am ddechreuad y ddefod: "Dechreuodd yr arferiad gwrthun ac annaturiol hwn mewn cysylltiad â'r gwylnosau. Yr oedd y Pabyddion yr adeg hono wedi coleddu y syniad ffol ac ofergoelus hwn, pan y byddai angau yn dyfod i'w plith, a chymeryd rhai o'u perthynasau neu eu cyfeillion i ffwrdd, y buasai y diafol yn dyfod heibio, a chipio ymaith y marw, hyny yw, os na fuasent ar delerau da gyda'r offeiriad; ac er mwyn osgoi y fath drychineb ofnadwy, sefydlwyd yr wylnos, a chanent drwy y nos, er cadw ei fawrhydi satanaidd o'r lle. Hefyd, ar ddiwrnod y claddu, canent bob cam o'r ty i'r fynwent, fel arwydd o fuddugoliaeth, gan y credent yn ddiysgog eu bod wedi gorchfygu y diafol. Dyna, medd traddodiad, ydyw dechreuad canu mewn angladdau."

"*Magnel* fawr yn Israel," y geilw un newyddiadur Ddeon Bangor.

# Y WAWR.

CYF. I.] IONAWR, 1877. [RHIF. 10.

## Y BEDYDDWYR AR Y CYFANDIR CYN Y DIWYGIAD PROTESTANAIDD.

GAN Y DIWEDDAR BARCH. ELLIS EVANS, CEFN MAWR.

Pan yr ystyrir fod y math hyny o grefyddwyr, ag a adwaenir yn y dyddiau hyn wrth yr enw Bedyddwyr y Crediniol, wedi gwneyd eu hymddangosiad yn mhlith y diwygwyr yn yr unfed-ganrif-ar-bymtheg, megys pe gwelid llynges fawr yn cyfarfod â thymestl ddychrynllyd ar y cefnfor, nes rhwygo ei hwyliau, tori i lawr ei hwylbrenau, ei hanafu a'i dryllio yn ddychrynllyd yn mhob modd, gan ei gwasgaru, y naill long oddiwrth y llall, tua'r pedwar gwynt, a'u cadw ar wahan am amser maith; ond wedi hir grwydro yn wasgaredig, y maent yn dechreu ymddangos, un yn awr, a'r llall yn y man, heb wybod fawr am helynt y naill a'r llall. Byddai y chwedlau am helynt ac ansawdd y llynges hono yn destyn ymddyddan am amser, a byddai y chwedlau gwlad yn ei chylch yn dra gwahanol i'w gilydd, hyd nes y ceid eu gweled wedi eu crynhoi yn lled gyfan at eu gilydd, a chyfleusdra i ymddyddan â'r dwylaw, ac yn enwedig â'r swyddogion; ond wedi y cyfan, nid peth hawdd a fyddai rhoi hanes boddhaol i bawb, o holl drallodion ac ymddygiadau yr holl ddwylaw ar bob llong. Neu, a newid rhyw ychydig ar y gymhariaeth, meddylier fod llong yn cyfarfod â thymestl ddirfawr ar ei mordaith, nes ei gyru yn erbyn y creigiau, a'i dryllio yn ddarnau, a'r darnau hyny yn cael eu taflu i dir, un yn y man hyn, a'r llall mewn lle arall; yn awr nis gallai gweled y darnau gwasgaredig lai na bod yn achos i ddynion ddyfalu ac ymddyddan yn eu cylch. Pa un a oeddynt oll yn perthyn i'r un llestr, neu, ynte, eu bod yn ddarnau o wahanol lestri; ond byddai i sylw manylach ar bob darn, eu cyfatebiad i'w gilydd, yn nghyda hanfodiad rhyw nodweddion neillduol yn argraffedig ar bob darn o honynt, lwyr argyhoeddi pob ymchwilydd cydnabyddus ag adeiladaeth llongau o'r fath, eu bod oll yn rhanau drylliedig o ryw un llestr odidog. Yr oedd cydnabyddiaeth â'r holl ddarnau, a sylw ar eu cyfatebiad i'w gilydd, ac adnabyddiaeth o'r nodweddion neillduol oedd yn argraffedig ar bob darn, yn foddion i gynyrchu y grediniaeth eu bod oll yn perthyn i'r un llestr.

Yn lled debyg i hyny y mae gyda golwg ar hanes y Bedyddwyr. Daethant i'r golwg yn amser y diwygiad yn wahanol sectau, neu bleidiau annibynol ar y naill a'r llall, a phob plaid â rhyw bethau yn amrywio oddiwrth y llall, fel y gellid meddwl ar yr olwg gyntaf arnynt, eu bod rywbeth yn debyg i breswylwyr gwastadedd Sinar gynt, yn eu hamcan i adeiladu twr hyd y nefoedd, a ffurfio ymerodraeth gyffredinol a'i chanolbwynt yn y lle hwnw, rhag

eu gwasgaru dros yr holl ddaear. Dechreuodd rhai ysgrifenu eu hanes gyda'r olwg gyntaf hon, heb gymeryd y drafferth i daflu ail olwg arnynt; ac y mae y rhai hyny yn cael eu dilyn yn gyffredin hyd yr oes hon, ac y mae eu gweithiau yn Babeliaeth hollol annealladwy. Nid ydynt yn gwahaniaethu dim ar y naill beth oddiwrth y llall, nac yn profi dim yn wir, nac yn gwrthod dim fel anwiredd, ond yn adrodd y naill beth ar ol y llall blith draphlith, fel yr ymddangosodd i'r meddwl ar yr olwg gyntaf.

Eto, os cymerir ychydig bwyll a gofal i gymharu y naill blaid â'r llall o honynt, yr ydys yn meddwl y ceir gweled am y rhan fwyaf o honynt, eu bod, er maint eu hamrywiaeth, yn dwyn y fath nodwedd neu nodweddion hanfodol i'w cyfansoddiad ag a brawf, eu bod yn ddrylliau gwasgaredig o ryw gorph godidog a fu yn gyfan gynt. Nid yw y dyb hon yn un o ddyfais Bedyddwyr y Crediniol eu hunain, ond y mae wedi cael ei phrofi a'i defnyddio gan rai o'u gwrthwynebwyr chwerwaf. Eu bod wedi ymddangos yn wahanol bleidiau yn amser y diwygiad, ac yn parhau yn wahanol bleidiau hyd y dydd heddyw, nid yw y Bedyddwyr yn ei wadu. Ac er y gweddiant am frysiad yr amser, pryd y byddo y gwylwyr yn gweled lygad yn llygad, eto hyd oni ddelo yr amser gwerthfawr hwnw oddiamgylch, y maent hwy o'r farn mai buddiolach yw bod ar wahan, gan ystyried fod yr un hawl gan bob un i farnu drosto ei hun, na bod yn lladd ac yn llosgi er mwyn unffurfiad.

Mae yr hanesydd enwog hwnw, Mosheim, yn dywedyd yn nghylch yr amryw bleidiau a ymddangosasant yn amser y diwygiad fel hyn: "Mae gwir ddechreuad y sect a gafodd yr enw Ail-fedyddwyr, oddiwrth eu bod yn gweinyddu o'r newydd yr ordinhad o fedydd ar y rhai a ddel trosodd oddiwrth eraill i'w cyfundeb hwy, yn guddiedig yn nyfnderoedd pell hynafiaeth, ac o ganlyniad yn dra anhawdd ei sicrhau. Ni bydd i'r ansicrwydd hyn ymddangos mor rhyfedd pan yr ystyrir fod y sect hon wedi cyfodi i fyny yn ddisymwth, mewn amrywiol wledydd ar yr un amser, ac o dan arweinwyr o wahanol dalentau; ac hefyd, mae yn debyg, o wahanol amcanion, a hyny ar y gwir amser yr oedd ymdrech gyntaf y diwygwyr yn erbyn Pabau Rhufain yn tynu sylw y byd, ac yn rhoddi ysgrifellau y dysgedig ar waith yn y fath fodd ag i wneyd gwrthddrychau a dygwyddiadau eraill o'r braidd yn ddisylw."

Drachefn, ysgrifena yr un hanesydd (maddeued y darllenydd fy mod yn gadael rhai o'i eiriau chwerwon allan):—"Mae yn anhawdd penderfynu gyda sicrwydd, pa le a roes enedigaeth i sect yr Ail-fedyddwyr; pa un a gyfodasant gyntaf yn Switzerland, yn Germany, neu ynte yn y Netherlands, sydd hyd yn hyn yn destyn dadl, penderfyniad yr hon nid yw o fawr bwys. Y golygiad mwyaf tebygol ydyw, fod amryw bersonau, a chymdeithasau bychain, o'r sect hon, wedi gwneyd eu hymddangosiad ar yr un amser mewn gwahanol wledydd; a gellir sefydlu ysbaid eu hymddangosiad yn fuan wedi i'r diwygiad wawrio yn Germani, pan y cyfododd Luther i roddi terfyn i uchelgais Rhufain. Ymddengys hyn oddiwrth amrywiaeth o amgylchiadau, ac yn enwedig oddiwrth yr un tarawiadol hwn, sef fod holl Ddoctoriaid cyntaf yr Ail-fedyddwyr o unrhyw enwogrwydd, o'r braidd i gyd yn benau neu yn flaenoriaid sectau gwahanol ac ysgaredig."

Yn awr, megys y cyfeiriasom at wahanol ddrylliau y llestr ddrylliedig, eu bod yn dwyn arnynt oll ryw nodwedd neu nodweddion cyfansoddol, ag oedd yn eu profi oll yn perthyn i'w gilydd, ac yn weddillion o'r un llong; felly am yr holl bleidiau hyn, er eu holl amrywiaeth mewn rhai pethau amgylchiadol, mae yn debygol fod rhyw nodwedd neu nodweddion yn eu cyfansoddiad a brawf eu bod oll yn perthyn i'w gilydd, ac yn weddillion o ryw gorph godidog iawn a hanfodasai amser maith yn ol. Ac ar ol hir sylwi ar y mân-ddarnau drylliedig hyn, neu fel y geilw Mosheim hwynt, "Sectau gwahanol ac ysgaredig yr Ail-fedyddwyr," fel y deuent i'r golwg gyda thoriad gwawr y diwygiad, yn ol y mesur o ol-

euñi a ddaeth i'm meddiant, gwelais fod i'w ganfod yn argraffedig ar bob dernyn o honynt ryw gymaint o'r un nodwedd gyfansoddol gyffredin; mewn rhai i'w chanfod yn fwy eglur, ac mewn eraill wedi ei llychwino yn lled ddwys; ac wedi gwrando mor fanwl a diduedd ag y medrwn ar achwynion a chyhudd-iadau eu gwrthwynebwyr, yn gystal ag ar eu cyffesion a'u hamddiffyniadau hwythau, lle y gellid eu cael, yr ydwyf wedi dyfod i'r penderfyniad, fod rhyw un *llygedyn bychan* yn ganfyddadwy, yn yr hwn y maent oll yn cyd-gyfarfod; ac yn nghylch yr hwn y maent hwy a'u gwrthwynebwyr yn cyd-ddywedyd, er nad oeddynt yn cyd-ddeall. Maent hwy a'u gwrthwynebwyr yn cyd-ddywedyd; canys hona eu gwrthwynebwyr eu bod am osod i fyny eglwys weledig bur, neu berffaith, fel y galwent hwy hi, a thystiai y Bedyddwyr o bob math mai dyna oedd eu hamcan; ond y mae yn amlwg nad oeddynt yn cyd-ddeall eu gilydd yn nghylch yr ystyr a briodolent i'r gair *eglwys weledig bur*. Y llygedyn bychan hwn, yr hwn sydd yn cyfuno y Bedyddwyr oll â'u gilydd yn un corph, ac yn eu gwahanu oddiwrth yr holl ddiwygwyr eraill, yw, eu golygiad ar yr Eglwys Weledig, neu y deyrnas a sefydlodd Crist ar y ddaear. Gyda golwg ar hwn yr aeth yn wrthdarawiad rhyngddynt hwy a'r diwygwyr gyntaf. Yr oedd cynllun Luther yn mhell islaw i'w canfyddiad hwy, ac nid oedd cynllun Swinglius ddim llawer gwell yn eu golwg. Synai Swinglius pan yr anogid ef gan Grebel ac eraill, gan ddywedyd, "Gadewch i ni ffurfio cyfundeb o wir gredinwyr, canys iddynt hwy yn unig y mae yr addewidion yn perthyn, a gadewch i ni sefydlu eglwys yn yr hon nad oes dim pechod." Dyna fel y mae D'Aubigne yn darllen geiriau Swinglius, a gellid meddwl oddi wrth atebiad Swinglius ei fod yn edrych ar y peth yn annichonadwy. "Nis gallwn sefydlu y nef ar y ddaear," ebai efe, "a Christ a'n dysgodd fod yn rhaid i ni oddef i'r efrau dyfu y'mhlith y gwenith." Ond mae golygiad y Bedyddwyr yn cael ei eirio yn eglurach gan Gieseler. Dywed ef mai Simon Stumpf, Grebel, a Mants, a aethant yn ddirgel yn gyntaf ato ef a Leo Jude, "gan eu hanog i sefydlu eglwys neillduedig, yn yr hon y byddai pobl Gristionogol yn byw gyda phob diniweidrwydd, gan lynu yn gaeth wrth yr efengyl, heb eu beichio â threthi, nac usuriaeth, na chan un dim o'r fath beth."—*Vol. 5, p. 353, note 60.*

Meddyliai y Bedyddwyr boreuol hyn y dylai yr eglwys Gristionogol weledig gael ei chyfansoddi o Gristionogion gweledig yn unig, ac ymarferyd yn rhydd bob gras a rhinweddau Cristionogol er adeiladaeth y naill y llall, a gogoniant Duw. Wrth graffu ar eu cyffesion a'u hamddiffyniadau, cawn eu bod yn nodi pedwar o bethau, er dangos yr angenrheidrwydd am eglwys bur. Yn gyntaf, Mai Iesu Grist, yr Oen difeius, yw eu hunig Ben. Yn ail, Mai cynyrch gair y gwirionedd, yr had anllygredig, yw yr holl aelodau a wnant y corph i fyny. Yn drydydd, Fod eu proffes o ffydd ac edifeirwch yn eu bedydd a swper yr Arglwydd i fod yn ddiragrith. Yn bedwerydd, Na fedr neb gadw gorchymynion Crist ond rhai wedi eu hail-eni.

Er dangos fod y golygiad hwn, nid yn unig yn cyfuno yr holl Fedyddwyr â'u gilydd, ac hefyd â sectau y canoloesoedd, dyfynwn ychydig o Mosheim: "Yr opiniynau a ddelir yn gyffredin gan y Bedyddwyr, a ymddengys eu bod oll yn deilliaw oddiwrth yr egwyddor arweiniol a sylfaenol hon,—Mai y deyrnas a sefydlodd Crist ar y ddaear sydd eglwys neu gyfundeb gweledig, i'r hwn y sanctaidd a'r cyfiawn yn unig sydd i gael eu derbyn, a'r hwn sydd o ganlyniad yn rhydd oddiwrth yr holl osodiadau a'r rheolau hyny o ddysgyblaeth a ddyfeisiwyd gan ddoethineb ddynol er cosbi a diwygio y dryg-ionus."

Geilw Mosheim hon yn egwyddor wyllt-grefyddus; eto, "yn athrawiaeth sylfaenol eu sect yn nghylch natur yr eglwys Gristionogol, yn hen athrawiaeth yr Ail-fedyddwyr yn nghylch natur yr eglwys;" ac a ymdrecha i brofi fod yr holl bethau neillduol a berthyna i'w sect, ac a nodweddant

gyfundebau y Mennoniaid, neu Fedyddwyr y Crediniol, yn cyfodi allan o honi. "Er hyn oll," meddai ef, "y mae yn amlwg, tu hwnt i bob dichonolrwydd ei wrth-brofi, fod yr opiniynau crefyddol a wahaniaethant yn barhaus y Mennoniaid, neu y Bedyddwyr, oddiwrth yr holl enwadau crefyddol eraill, yn dylifo yn uniongyrchol o hen athrawiaeth yr Ail-fedyddwyr y'nghylch natur yr eglwys. Mewn canlyniad i'r athrawiaeth hon y mae yn bod na dderbyniant neb i'r ordinhad o fedydd ond dynion a fyddo wedi dyfod i lawn ddefnydd o'u rhesymau; oblegid nad yw babanod yn alluog i ymrwymo mewn adduned ddifrifol i fyw bywyd sanctaidd, ac am ei bod yn hollol ansicr pa un a fyddant mewn blynyddoedd addfetach ai saint ai pechaduriaid ansanctaidd. Mewn canlyniad i'r un athrawiaeth, y mae yn bod, na dderbyniant yr un swyddog gwladol i'w cymundeb, ac na chaniatânt i neb o'u haelodau gyflawni un o ddyledswyddau y swyddogaeth wladol; oblegid lle na byddo troseddwyr, y mae y swyddogion hyny yn afreidiol. Am hyny, hefyd, y maent yn ymhoni gwadu cyfreithlondeb grym trwy rym, ac yn ystyried rhyfel yn mhob agwedd o honi megys yn anghristionogol ac anghyfiawn; oblegid nad yw y rhai sydd berffaith sanctaidd i gael eu cyffroi gan y niweidiau a wneir iddynt, nac i wneyd niwaid i neb arall; nid ydynt hwy yn sefyll mewn angen am rym arfau, nac i'r dyben o ymddial ar eraill nac i amddiffyn eu hunain. Yr un egwyddor yn barhaus sydd yn cyfodi ynddynt y casineb mwyaf at bob cosbedigaethau marwol, yn gymaint ag nad oes yn ol yr egwyddor hon y fath beth a throseddiadau yn nheyrnas Crist, ac o ganlyniad nid oes un angen am rym y barnwr. Ac nis gellid dychymygu y byddai iddynt wrthod cadarnhau eu tystiolaeth trwy lw ar un sail arall yn amgen na hon, sef na all aelodau perffaith yr eglwys sanctaidd na rhagrithio na thwyllo.

Mae yn sicr, gan hyny, mai hen athrawiaeth yr Ail-fedyddwyr, yn nghylch sancteiddrwydd yr eglwys, a roddes gyfodiad i'r daliadau a grybwyllasom yn awr, ac mai yr athrawiaeth hono a fu yn ffynonell y ddysgyblaeth lem a gerwin hono, yr hon a gyfododd y fath gynhyrfeydd ac ymraniadau yn eu plith." Fel hyn y llefarai ef am yr athrawiaeth hon; ac yna efe a ychwanega, "Yr oedd y rheolau o ddysgyblaeth foesol a arferid gynt yn mhlith y Mennoniaid yn llym a gerwin i'r radd uchaf, ac fel hyn yn mhob ffordd yn gyd-ffurfiol â'r egwyddor sylfaenol a grybwyllwyd yn barod, megys ffynonell eu holl bethau/neillduol fel cyfenwad."

Megys y mae Mosheim yn defnyddio yr egwyddor hon er profi eu hundeb fel corph yn eu plith eu hunain, ac hefyd er eu gwahaniaethu oddiwrth bob enwad arall a hanfodai yn amser y diwygiad; felly hefyd y mae yn defnyddio yr un egwyddor er dangos eu perthynas â'r hen Waldensiaid, Petrobruisiaid, &c., ac fel hyn yr ysgrifena yn nghylch hyny: "Gellid sylwi, yn y lle cyntaf, nad yw y Mennoniaid yn hollol gamgymeryd pan y maent yn ymffrostio o'u disgyniad oddiwrth y Waldensiaid, y Petrobruisiaid, a hen sectau eraill, y rhai yn arferol a ystyrir megys tystion y gwirionedd yn yr amseroedd o dywyllwch cyffredinol ac ofergoeliaeth. Cyn cyfodiad Luther a Chalfin yr oedd yn guddiedig braidd yn holl wledydd Ewrop, ac yn neillduol yn Bohemia, Moravia, Switzerland, a Germani, lawer o bersonau a ymlynent yn afaelgar yn yr athrawiaeth ganlynol, yr hon a ddarfuasai i'r Waldensiaid, y Wickliffiaid, a'r Hussiaid ei dal, rhai mewn modd dirgel, ac eraill mewn modd mwy amlwg a chyhoeddus, sef, 'Mai teyrnas Crist, neu yr eglwys wel edig a sefydlasai ar y ddaear, oedd gynulleidfa o wir a sylweddol saint, ac y dylai am hyny fod yn annyfodadwy i'r rhai drygionus ac anghyfiawn, ac hefyd yn rhydd oddiwrth yr holl osodiadau hyny y darfu i ddoethineb ddynol eu dyfeisio i wrthsefyll cynyddiad anwiredd, neu i geryddu a diwygio troseddwyr.' Y gosodiad hwn yw y wir ffynonell o holl bethau neillduol y Mennoniaid (neu y Bedyddwyr fel y syl-

wasom o'r blaen), ac y mae y sicrwydd mwyaf fod y rhan fwyaf o'r neillduolion hyn yn cael eu cymeradwyo gan lawer o'r rhai hyny, y rhai cyn gwawriad y diwygiad a ddalient y golygiad a grybwyllwyd yn barod yn nghylch teyrnas Crist neu ei eglwys weledig ef."

Ond dyma yr egwyddor ar yr hon y mae y cwbl yn troi; ond mae o bwys cael amgyffrediad cywir o honi. Mae yn eglur nad oedd y diwygwyr yn ei deall, a'i chymeryd yn yr ystyr dyneraf o honi. Ni feddyliodd y Bedyddwyr erioed fod un eglwys ar y ddaear yn cyrhaedd i'r fath berffeithrwydd a bod pob aelod o honi yn ddibechod. Nid dyna oedd eu meddwl wrth eglwys bur, ond eglwys ag y byddai ei holl aelodau yn ail-enedigion. Eglwys yn cael ei gwneyd i fyny i gyd o saint. Ni feddyliasant ychwaith y medrent hwy, er eu holl ymdrech, gyrhaedd at y nod hwn yn anffaeledig; oblegid y maent yn darparu yn eu dysgyblaeth yn yr eglwys bur, ddiarddeliad o'r sawl yr ymddangosai eu bod wedi dyfod i mewn yn ddi-ailenedig; ac y mae eu gwaith yn darparu fod i'r troseddwr gael ei rybuddio am ddau dro yn ddirgel, a'i arbed os byddai y rhybuddion yn llwyddo i'w ddwyn i edifeirwch, yn dangos nad oedd trefnwyr y fath ddysgyblaeth yn meddwl fod nac eglwys yn gyffredinol nac aelodau yn neillduol, yn ddibechod yn yr ystyr fanylaf o'r gair, fel y cawn ddangos fel yr elom yn mlaen.

Mai yn nghylch teyrnas weledig, neu eglwys Crist, y mae y gwahaniaeth rhwng Bedyddwyr y Crediniol a'u gwrthwynebwyr yn troi, ac mai yn yr un peth y mae eu hundeb hwythau â'u gilydd yn cael ei gylymu, a ymddengys yn eglur, ond sylwi eu bod oll yn priodoli sylfaeniad neu sefydliad y deyrnas weledig hon ar y ddaear, i'r cyhoeddiad o gomisiwn breninol Iesu Grist i'w apostolion; ac mai y moddion i'w dwyn yn mlaen yw gweithredu yn ffyddlon yn ol y comisiwn hwnw; yn enwedig fel y mae yn cael ei gofrestru yn Matthew a Marc. Yn y gangen hon, eto, mae Bedyddwyr y Crediniol a'u gwrthwynebwyr yn cytuno yn rhagorol; a chan eu bod yn cydgordio mor dda, caiff eu cydgordiad wasanaethu yn oleufynag i'n tywys yn ein chwiliadau am y Bedyddwyr yn eu helyntion o'r oes apostolaidd hyd y dyddiau hyn.

---

## BONEDDIGEIDDRWYDD.

GAN THOMAS JONES (CADWGAN), PITTSBURGH, PA.

Mae y gair boneddigeiddrwydd yn ei ystyr gyffredin yn golygu arafwch teimlad, mwyneidd-dra, haelioni, a maddeugarwch. Mae yn wrthgyferbyniol i ddialedd, llid, a malais. Nid boneddigeiddrwydd yw fod dyn yn feddianol ar lawer o dda bydol—bod mewn swyddi uchel yn y wladwriaeth, bod mewn awdurdod ar eraill—nid hyny ydyw gwir foneddigeiddrwydd. Mae Iago yn rhoddi darluniad cywir o foneddigeiddrwydd, a'r modd dymunol y gweithreda ar fuchedd ei berchenog. Gofynai'r Apostol, "Pwy sydd wr doeth a deallus yn eich plith? Dangosed trwy ymarweddiad da, ei weithredoedd mewn mwyneidd-dra doethineb. Eithr od oes genych genfigen chwerw ac ymryson yn eich calon, na fyddwch ffrostwyr a chelwyddog yn erbyn y gwirionedd. Nid yw y ddoethineb hon yn disgyn oddiuchod, ond daearol, anianol, cythreulig yw. Canys lle mae cenfigen ac ymryson yno y mae terfysg a phob gweithred ddrwg. Eithr y ddoethineb sydd oddiuchod, yn gyntaf pur ydyw, wedi hyny heddychlawn, boneddigaidd, hawdd ei thrin, llawn trugaredd a ffrwythau da, diduedd a diragrith. A ffrwyth cyfiawnder a hauir mewn heddwch i'r rhai sydd yn gwneuthur heddwch." Mae yn hawdd gweled fod bod yn heddychlawn, diniwaid, mwynaidd, elusengar a maddeugar, yn nodweddion perthynol i foneddigeiddrwydd.

I. *Ymgyfyd boneddigeiddrwydd oddiar ansawdd y meddwl.*—Gan mai mawredd a gogoniant dyn yw ei feddwl, yr hyn sydd yn ei gyfodi uwchlaw creaduriaid direswm, a chan mai y meddwl yw ys-

gogydd neu weithredydd y corph, yn ol yr ansawdd neu'r sefyllfa y byddo'r meddwl ynddo y gweithreda yr aelodau. Y mae o'r pwys mwyaf fod y meddwl yn ysgogi yn briodol; heb hyny nid oes modd bod yn wir foneddigaidd.

II. *Mae hunan-feddiant yn hanfodol i foneddigeiddrwydd.*—Nid oes unrhyw beth i'w ganmol mewn dyn yn fwy nag hunan-feddiant. Mae hyn yn werthfawr yn ngwyneb ymosodiadau ac anfoesgarwch y rhai sydd gas ganddynt ddaioni. Pan ddelo yr hwn fyddo yn meddu hunan-feddiant i ddeall am weithredoedd a dichellion cyfrwys personau o'r fath, ymddyga yn arafaidd a phwyllog; gesyd ddoethineb ar waith, meddylia mewn gwahanol ffyrdd cyn siarad na gweithredu. Rhydd gyneddfau rheswm ar waith, a mabwysiada ddull iddo ei hun o ymddwyn. Felly ymddyga yn foneddigaidd. Bydd ei eiriau, a phob ystum o'i eiddo yn addurnol. Mae yn ddiog i ddigofaint. Gwna ostegu anwybodaeth dynion ffolion. A cheir y boneddigeiddrwydd hwn yn darian i'r person a'i medd rhag derbyn niwed oddiwrth ymosodwyr.

III. *Mae hunan-adnabyddiaeth yn hanfodol i foneddigeiddrwydd.*—Adnebydd dy hun. Dyna beth gwir reidiol i bawb er byw bywyd addas, a ffurfio cymeriad teilwng er gwynfyd pur. Ceir rhai yn chwilio i mewn i gymeriadau rhai eraill, tra yn gadael yr eiddynt eu hunain o'r neilldu. Mae yn well ganddynt brofi arall na dwyn eu hunain at y maen prawf. Canfyddant y brycheuyn yn llygad arall, ac heb weled y trawst yn eu llygaid eu hunain. Mae hunan-adnabyddiaeth yn berthynas agos i foneddigeiddrwydd; nid yw y naill heb y llall. P'le bynag y ceir un, ceir yno y llall hefyd. Maent mor agos ag achos ac effaith. Nis gall yr hwn fyddo yn adnabod ei hun lai na bod yn foneddigaidd, mae yn naturiol iddo fod felly.

IV. *Mae boneddigeiddrwydd yn hawlio parch.*—Y mae dynion da wedi enill iddynt eu hunain enw da a chymeradwyaeth uchel am eu boneddigeiddrwydd; megys duwiolion yr Hen Destament, a'r Apostolion, y rhai a fu yn [illegible] ddygasant yn llariaidd, yn dirion, yn faddeugar, yn haelionus, a hyny yn ngwyneb temtasiynau cryfion i beidio bod felly. Ychwanegodd hyny at eu clod a'u parch. Ond er cael perffeithrwydd mewn boneddigeiddrwydd deuwn at ein Blaenor bendigedig, yr hwn a rodiodd oddiamgylch gan wneuthur daioni. Rhoddodd i ni esiampl berffaith, rheol euraidd, gan ddywedyd, "Bendithiwch ac na felldithiwch." "Yr hwn a'th darawo ar dy rudd ddehau tro y llall iddo hefyd." "Hyd y mae ynoch byddwch heddychlawn â phob dyn. Ystyriwch yr hwn a ddyoddefodd gyfryw ddywedyd yn ei erbyn gan bechaduriaid. Yr hwn pan ddifenwyd ni ddifenwodd drachefn, eithr rhoddodd ar y neb sydd yn barnu yn gyfiawn." Ymdrechwn ei efelychu a dilyn ei ol.

---

## Y PEDWAR DEIGRYN.

Gwel yr eneth drist a gwelw
  Uwch amddifad tlawd a phrudd,
Gwel y deigryn, gloew, gloew,
  Yn dysgleirio ar ei grudd;
Pur dynerwch wedi toddi—
  Drych i weled teimlad byw,
Neu ryw ddafn o ffrwd tosturi 'n
  Chwyddo dros ei glanau yw.

Geneth arall sy'n penlinio
  I roi blodau ar y bedd
Lle mae 'i thad a'i mam yn huno
  Gyda'u gilydd hûn o hedd;
Dacw 'i deigryn—plentyn hiraeth—
  Mud etifedd trallod yw;
Mae'r dystawrwydd sy'n ei araeth
  Yr hyawdledd mwyaf byw.

"Wnei di dderbyn modrwy cariad?"
  Meddai Hywel wrth y ferch;
Deigryn mawr i gll ei llygad
  Ddaeth i ateb holiad serch:
Derbyn hwn fel perlyn bychan,
  Hywel hoff, a chofia di,
Cariad fu'n ei gloddio allan
  O ddyfnderau 'i chalon hi.

Merch ollynga ddeigryn gweddi,
  Fel o gôl ochenaid syn,
Nid i'r ddaear sydd o dani,
  Ond i law rhyw angel gwyn;
Duw sy'n edrych arno'n disgyn,
  Trwyddo gwel ei theimlad byw,
Hithau genfydd drwy y deigryn
  Deimlad calon dirion Duw.

—*Mynyddog.*

## MASNACHU MEWN MADDEUANTAU.

Gellir gweled llygredigaethau Eglwys Rhufain cyn y diwygiad, o lawer o gyfeiriadau; ond nid o'r un yn fwy eglur nag oddiwrth yr ymarferiad o Faddeuantau. Yr oedd yn gyfunedig ynddynt honiadau cableddus yr offeiriaid, a'u trachwant mawr am arian.—Mae rhyw gymaint o wahaniaeth barn yn mhlith awdurdodau Eglwys Rhufain gyda golwg beth sydd i'w feddwl wrth y Maddeuantau hyn (*Indulgences*). Mae y rhai sydd yn awyddus i osod allan yr athrawiaeth mewn gwedd deg a rhesymol, yn ei darlunio yn ddim ond maddeuant o gospau tymhorol fo'n aros ar ol i'r trosedd gael ei gyflawni; ond y mae eraill yn ei darlunio fel maddeuant cyflawn o bob pechod. Gosodir y golygiad diweddaf allan yn eglur yn amryw o lythyrau cyhoedd y Pabau. Mae yr hanes cyntaf am faddeuantau i'w gael mewn cysylltiad â dysgyblaeth yr eglwys foreuol. Gweinyddid cosb drom ar bawb ag oedd yn euog o unrhyw bechod. Y gosp yn gyffredin oedd erwinder corphorol, rhoddi elusenau i'r tlawd, neu adroddiad o nifer neillduol o weddiau. Mewn rhai achosion, lle yr oedd y penyd yn anghyffredin, ysgafnheid y gosb, neu cwtogid ei pharhad. Gelwid hyn yn *Indulgence*, Maddeuant; ac ar y cyntaf a roddid yn unig i bersonau ag oeddid wedi eu hesgymuno. Pan ddaeth Cristionogion yn gyfoethocach, a dysgyblaeth i gael ei gweinyddu yn fwy manwl caniateid braint maddeuant i bawb troseddwyr. Yn y canol oesau daeth yn gysylltiedig ag ordinhad y Penyd.

Dywedir mai Hildebert, o Tours, oedd y cyntaf a lefarodd am dri dosbarth o benyd: Edifeirwch calon, cyffes a'r genau, ac iawn drwy weithredoedd. Yr offeiriad, fel goruchwylwyr y dirgeledigaethau dwyfol, a weinyddai y gosb, yr hyn oedd yn gynwysedig mewn ympry̆dio, gweddio, a rhoi elusenau. Yr oedd y pethau hyn yn effeithiol nid yn unig i gael maddeuant o bechodau y gorphenol, ond fel cadwraeth am y dyfodol. Gallai yr offeiriad leihau y gosb, a chaniatau penyd ysgafnach; ac weithiau gallai y troseddwr gael un yn ei le i gyflawni y gweithredoedd a benodid fel iawn. Gallasai y penyd hefyd gael ei faddeu, os buasai i ryw waith mawr gael ei wneuthur i'r eglwys. Yn canlyn hyn daeth yr arferiad o dalu arian am faddeuant cosbau a weinyddid am droseddau.

Yn Nghymanfa Clermont yn 1096, y Pab Urban II. a addawodd faddeuant cyflawn i bawb a gymerodd ran yn Rhyfeloedd y Groes, yn erbyn yr anghredinwyr. Caniatawyd yr un ffafr wedi hyny i rai a gynorthwyasant i ddifrodi yr hereticiaid, ac yn y flwyddyn 1300, caniataodd Boniface VIII. Faddeuant i r holl bererinion a ymwelent a Rhufain yn ystod blwyddyn y Jubili. Estynwyd y fraint eto yn mhellach, a chaniatawyd maddeuant yn ystod y flwyddyn hono i'r holl ffyddloniaid a dalent swm o arian,

Mor foreu a dechreu y drydedd ganrif ar ddeg ataliodd y Pab Innocent III, lawer o lygriadau cysylltiedig â Maddeuantau; hyd yn hyn yr oeddynt wedi bod yn nwylaw yr esgobion, ond yn awr, darfu i'r Pab hawlio y rhoddiant o honynt yn fraint arbenigol iddo ei hun. "Yn ystod y bedwaredd ganrif ar ddeg," medd hanesydd Ellmynaidd, "lluosogid Maddeuantau am yr achosion mwyaf amrywiol, a daethant yn fwy, ac yn fwy i gael eu caniatau am arian; o'r diwedd, yn wir yr oedd cyfres reolaidd o brisiau wedi eu tynu allan, fel y daeth yr hyn oedd yn barod wedi cael ei arferyd yn athrawiaethol, fel math o fasnachu mewn bendithion eglwysig; yn awr hefyd, yn *ymarferol* y cymerwyd ffurf fasnachol, ac yr oedd y busnes yn cael ei gario yn mlaen gyda phrydlondeb a gofal a fuasai yn anrhydedd i'r masnachdy blaenaf yn y byd. Yn ystod yr ymraniad, gellir dyweyd ddarfod i'r Pabau gwrthwynebol fyw ar yr arian a dderbyniasant am Faddeuantau. Casglodd pob Pab gymaint oddiwrth y gwledydd a lynai wrtho ef, ag a gasglai un Pab oddiwrth holl wledydd cred. Ymdrechodd Cyngor Constance, ond yn ofer, i atal trafnidiaeth y Maddeuantau; a chaniataodd Cyngor Basel, er yn selog am

ddiwygiad, Faddeuantau ar eu cyfrifoldeb eu hunain. "Erioed," ebe yr hanesydd a ddyfynwyd yn barod, "ni chafodd y gyfundraeth ei llygru i'r fath raddau ag yn nghwrs y bymthegfed ganrif. Mewn athrawiaeth, *Indulgence* oedd faddeuant o gosb dymhorol gweinyddiedig gan yr Eglwys. Yr hyn allai yr Eglwys ei weinyddu, gallai yn gyfreithlon ei gymeryd ymaith, oedd y ddadl naturiol wrth ei hamddiffyn. Ond, yn ymarferol, yr oedd cosb yr Eglwys yn cael ei ystyried fel cosb Duw am bechod. I hyn y daeth, nid yn unig drwy gasgliad, ond yn marn gyffredin y bobl. Gellid prynu maddeuant Dwyfol ag arian, a'r canlyniad fu, i grefydd gael ei hysgaru oddiwrth dduwioldeb a moesoldeb, a gallai dynion bechu, a'r oll a ganlynai oedd penyd, rhan bwysig yr hwn ellid ei osgoi drwy *Faddeuant.*

Yn y bymthegfed ganrif, yr oedd y drwg wedi cyrhaedd ei eithafnod; ond yn yr un ganrif hefyd, cyfarfyddodd a'i gwrthwynebwyr mwyaf egniol. Pan gyfododd Luther ei lais yn ei erbyn, nid oedd ond adnewyddu y llais oedd am ganrif wedi bod yn adnabyddus i'r gwledydd crefyddol gorllewinol. Dau o'r gwrthwynebwyr mwyaf adnabyddus i Faddeuantau oeddynt Jacob o Jutterbock, a John o Wesel; ond ni chrybwyllir eu llyfrau ond yn unig fel engreifftiau o'r hyn a ysgrifenwyd ar y pwnc, ac fel yn awgrymu oreu gyflwr y drwg, a'r math o resymau a ddefnyddid yn ei erbyn.

Ganwyd Jacob o Jutterbock yn 1383, ac mewn oedran ieuanc aeth i fynachdy Cistercianaidd, mewn lle o'r enw Paradise, yn Poland, oddiwrth yr hwn le y gelwir ef weithiau yn John o Baradwys. Yr oedd efe yn hynod selog dros y bywyd mynachol, ac ni ddaeth erioed i wrthdarawiad ag awdurdodau yr Eglwys, fel nad yw ei dystiolaeth yn un o eiddo gelyn i Eglwys Rhufain, ond yn unig i'r drygau ag oedd yn galw am ddiwygiad. Ar ol cael ei godi i'r swydd o Ben-fynach yn y mynachdy, a threulio deugain mlynedd o'i fywyd fel mynach Cistercianaidd, caniatawyd iddo gan genadon y Pab i fyned i urdd y Carthusianiaid, yr hyn a chwenychai, oblegid y gerwindeb gofynedig yn ei rheolau. Bu farw yn 1465 yn bedwar ugain oed, wedi bod yn benaeth mynachdy yn Erfurt, ac yn Athraw Duwinyddiaeth yn yr un dref. Gellir ystyried fod Jacob o Jutterbock, wedi cael cyfleusderau mwyaf ffafriol i wybod cyflwr yr Eglwys, ac i fod yn adnabyddus a bywyd offeiriadol a mynachol. Darlunir ef fel dyn tra hyddysg yn yr Ysgrythyrau, ac o blaid dysgeidiaeth Efengylaidd, er fod ei egluriadau o'r Ysgrythyr weithiau yn meddu rhywbeth o nodwedd dywyll, cyffredin i ysgrifenwyr duwinyddol Ellmynaidd ei amser ef.

Tybir i Jacob o Jutterbock, gael ei gymhell i ysgrifenu ei draethawd yn erbyn "Maddeuantau," ar yr achlysur o'r Jubili yn 1450. Yr anghyfiawnder cyntaf a'i tarawodd ydoedd un ddaeth adref iddo pan yn fynach. Ni allai preswylwyr mynachdai gael dim drwy Faddeuantau, oblegyd ni fedrant fyned ar bererindod i Rufain, na chwaith dalu yr arian gofynol gartref. Yr oedd hyn yn gwyn mawr gan y mynachod, a Jacob o Jutterbock ddywed ei fod yntau hefyd yn mhlith y rhai hyny, tra yn ymwybodol o'u colliadau a edrychent gyda hoffder ar Faddeuantau fel moddion trwy ba rai y gellid eu cael yn rhydd oddiwrthynt. Mae y mynachod yn cymeryd cysur, gan ystyried nad ydynt yn angenrheidiol. Jacob a ddywed, er i St. Benedict dreulio amryw flynyddoedd mewn ogof yn nghymydogaeth Rhufain, nad oedd yn gofalu llawer am faddeuantau, a llawn cyn lleied a St. Jerome, yr hwn mewn llythyr at Esgob Paulinus, a ddatgana, mai yr hyn sydd wir gymeradwy yw, nid bod wedi talu ymweliad a Jerusalem, ond bod wedi byw bywyd crefyddol. Dadleuir na fuasai y fath ddynion, yn sicr, yn esgeuluso gwneyd rheolau i'w dysgyblion i geisio Maddeuantau, pe buasent yn gwybod eu bod yn dda i fynachod. Tybir fod yr ymadroddion hyn wedi cael eu bwriadu i gyfarfod a rhesymau Thomas Aquinas, yr hwn a ddadleuai dros estyn Maddeuantau i'r mynachod. Mae Jacob yn egluro yn

mhellach, fod Maddeuantau yn cael eu bwriadu i dlodion a chardotwyr yr Eglwys. Dylasai mynachod gan hyny ychwanegu y drysorfa, fel y buasai ganddynt rywbeth i dori angenion eraill.

Am athrawiaeth Maddeuantau yn gyffredinol mae Jacob o Jutterbock yn gwahaniaethu ond ychydig oddiwrth olygiadau a roddwyd i lawr gan Aquinas, ond y mae efe yn bur bryderus i uniawni barn y lluaws ar y pwnc, y rhai a gefnogid gan bregethwyr Maddeuantau, ac oeddynt yn llygriadau gwirioneddol, oddiwrth ba rai y dylifai cyfoeth i drysorfa y Pab. Mae Jacob yn adrodd yn fynych, nad yw Maddeuantau ddim yn gospau am bechod, ond o gospau tymorol ac eglwysig. Mae yn llefaru yn amheus am y lles a ddichon iddynt ddwyn i eneidiau yn y purdan, oblegyd nid yw y rhai sydd yn eu gweinyddu yn gwybod dim am y sefyllfa hono; ac y mae ef yn awyddus iawn i gywiro y gred gyffredin eu bod yn faddeuant pechod yn lle maddeuant o gospau pechod. Nid oedd iaith y Pab ar y pwnc hwn yn hawdd ei hesbonio. Lle bynag yr oedd anwybodaeth yn bod, yr oedd chwanegiadau yn cael eu gwneyd yn ffafr Maddeuantau. Ond os yw yr iaith i'w chael yn wirioneddol yn llythyrau y Pab, mae yn rhaid ei deall yn yr ystyr a eglurwyd yn barod. Dadleuir yn gadarn y dylai y ffyddloniaid, yn lle cymeryd mantais y Maddeuant gyflawni y dyledswyddau penodedig, a dangos eu hunain fel y Cristionogion boreuol, yn fwy tueddol i edifeirwch didwyll na cheisio Maddeuantau.

Ni ellir dyweyd ddarfod i Jacob o Jutterbock wneyd mwy na cheisio lleihau y cam-ddefnyddiadau cysylltiedig a Maddeuantau. Nid oedd efe yn wrthwynebol i'r peth ei hun, a'i gymeryd fel ysgafnhad cerydd eglwysig; ond cafodd Maddeuantau wrthwynebiad mwy penderfynol yn ei gydoeswr, John o Wesel.

Yr oedd y Diwygiwr enwog hwn yn enedigol o Oberwesel, hen ddinas ganol-oesol ar lan y Rhine, rhwng Mayence a Coblentz. Bu yn fyfyriwr yn Erfurt, ac efallai yn un o ddysgyblion Jutterbock. Ar ol hyn bu yn athraw yn yr un Brifysgol, ac yn ddiweddaf, bu yn bregethwr poblogaidd am ychydig flynyddau yn Mayence, ac am lawer o flynyddau yn Worms. Yn y lleoedd hyn, condemniodd mewn iaith gref lygredigaethau yr Eglwys, a chafodd ei brofi am hereticiaeth yn Chwil-lys Archesgob y dalaeth. Y Jubili yn 1450, fu yn achlysur hefyd i John o Wesel ysgrifenu yn erbyn Maddeuantau Y Jubili gyntaf oedd yn 1300, yn ystod teyrnasiad Boniface VIII., a dywedir iddo gael ei ddechreuad mewn crediniaeth oedd ar led y pryd hwnw yn mhlith dinasyddion Rhufain, y byddai i bawb a ymwelent a St. Pedr, ar y diwrnod cyntaf o'r ganrif newydd, dderbyn maddeuant llawn o'u pechodau. Mynodd y Pab i ymchwiliad gael ei wneuthur i hen lyfrau, i edrych a oedd rhyw sail i'r grediniaeth, ond ni chanfyddodd yr un. Ar brydnawn y cyntaf o Ionawr, ymdyrai y bobl i eglwys St. Pedr, gan amgylchynu yr allor. Cynyddai y tyrfaoedd yn ystod y dyddiau canlynol, ac yn enwedig ar y dydd pan oedd llawgadach St. Veronica yn cael ei ddangos. O'r diwedd canfyddwyd sail y murmur; hen wr, cant a saith o flynyddau oed, a dystia ar lw o flaen y Pab a rhyw rai eraill, ei fod ef yn cofio fel y darfu i'w dad, ar ddydd cyntaf y ganrif o'r blaen, fyned i Rufain i dderbyn maddeuant, ac iddo ei gyngori ef, os byddai iddo fyw can' mlynedd, i fyned i St. Pedr, canys ar y dydd hwnw yr oedd yn bosibl derbyn maddeuant am yr holl ganrif. Ar yr hysbysiaeth hwn darfu i'r Pab a'i Cardinaliaid, ordeinio y defosiwn newydd. Mewn cyhoeddlythyr roed allan yn Chwefror 1300, darfu y Pab yn mawredd ei awdurdod fel Cynrychiolydd y Goruchaf, gynyg i bawb, a wnai ar unrhyw ddiwrnod yn nghorph y flwyddyn, neu ar y diwrnod cyntaf o unrhyw ganrif ddyfodol, ymweled ag eglwys St. Pedr a Phaul, nid yn unig un rhad, ond *y maddeuant llawnaf o'i holl bechodau.*

Canfyddwyd yn fuan fod blwyddyn y Jubili yn ddyfeisiad o elw mawr. Ar ei gynhaliad cyntaf ymwelodd 200,000 o bersonau a Rhufain. Yr unig achos

o ofid oedd fod yn rhaid i ganrif arall basio cyn i dymhor arall ddychwelyd i ddwyn cymaint o drysorau o arian i Lys y Pab, a chymaint o ddarpariadau grasol i'r ffyddloniaid. Ad-ystyriodd y Pabau gymaint o eneidiau a aent ymaith i dragywyddoldeb heb fwynhau breintiau y Jubili. Yn amser Clement VI. galwodd dirprwywyr o ddinasyddion Rhufain ar y Pab, gan ddeisyf arno am gael Jubili yn mhen haner can' mlynedd, yn debyg i'r hon a gynhelid gynt gan yr Iuddewon. Wrth gwrs, yr oedd y Pab yn hynod barod i gydsynio a dymuniadau y bobl, a phenododd fod yr wyl nesaf i gymeryd lle yn 1350. Ymwelwyd a Rhufain y tro hwn gan 1,200,000 o bererinion. Yr oedd y llwyddiant mor galonogol fel y darfu i Urban VI. benderfynu i gael Jubili bob tri deg a thair o flynyddau, a chydsyniodd Pab diweddarach i'w chael bob pum' mlynedd a'r hugain.

Yr wyl fwyaf clodfawr, a'r un roddodd y tramgwydd mwyaf i rai a ddymunent gael diwygiad, oedd yn 1450. Yr oedd y tyrfaoedd a gyrchent i Rufain yn aruthrol. Er difyrwch iddynt sefydlodd y Pab Nicholas V. chwareuon daearol, wrth fyned trwy ba rai, y collodd amryw ganoedd o bersonau eu bywydau, trwy gwympiad pont St. Angelo. Er cymaint nifer y pererinion hyn, yn y flwyddyn ganlynol, gwelodd y Pab yn dda i estyn braint Maddeuantau y Jubili i wledydd eraill, yr hyn, meddir, fu yn achlysur i John o Wesel ysgrifenu yn erbyn Maddeuantau. Yn y rhagymadrodd mae yn gosod allan sylwedd ei ymresymiad yn y geiriau hyn: "Darllenwn bregethau Iesu Grist Mab Duw, a gofnodir yn yr efengylau; yn y rhai hyn mae dirgelwch iachawdwriaeth, ac yn debygol yr oll sydd yn angenrheidiol er ei chyrhaedd yn gynwysedig; ond ni ddywedir gair am Faddeuantau. Wedi hyny pregethodd yr Apostolion, ac ysgrifenasant yr epistolau, ac nid ydynt hwythau chwaith yn gwneyd un crybwylliad am Faddeuantau. Wrth ysgrifenu yn erbyn Maddeuantau, dywed John o Wesel y saif wrth yr Ysgrythyr, ac os gwahaniaetha oddiwrth rai o'r dysgawdwyr apwyntiedig gan yr Eglwys, ni fydd yn gwneyd hyn i daflu un diystyrwch arnynt, ond, fel St. Awstin, bydd iddo eu dilyn mor bell ag y dilynent hwy yr Ysgrythyr. Canfydda yno fod Duw bob amser yn gweinyddu cosb am bechod, yr hwn nad yw byth yn ei faddeu, a'r hwn nad all un dyn byth ei faddeu. Dywed Wesel fod y syniad o weithredoedd gorhaeddianol yn bur dduwiol; ond darllena efe yn yr Ysgrythyr y'nghylch y saint ymadawedig, "fod eu gweithredoedd yn eu canlyn hwynt."— Mae yn amheus a yw Duw yn maddeu cospau pechod, ac yn sicr ni all y Pab, oblegid y mae yn anmhosibl i unrhyw fod dynol wybod faint o gosb mae unrhyw bechod wedi ei haeddu; ac ni wyddom chwaith fod Duw yn derbyn fel cyfwerth, yr haeddianau cyfrifedig i bechadur allan o drysorau yr Eglwys. Dadleuir yn mhellach, pe buasai cospau pechod yn cael eu tynu ymaith gan Faddeuantau, na fuasai dim eisiau Purdan, pryd y darllenwn fod gwaith pob dyn yn cael ei brofi drwy dân. Addefir fod rhai o'r Tadau Sanctaidd yn tybied fod iawn i Dduw yn cael ei roddi drwy benydiau, cosbau a gweithredoedd. Ond, medd Wesel, yn gymaint nad yw y syniadau hyn yn sylfaenedig ar yr Ysgrythyrau Sanctaidd, mae eu pwysau yn ymddibynu arnynt eu hunain, a gellir dyweyd fod y math o ryddhad oddiwrth bechodau a elwir genym ni Maddeuantau, yn *dwyll duwiol* a wneir â chredinwyr, fel mae llawer o offeiriadon wedi dadgan yn barod. Y rheswm, modd bynag, paham y maent yn dwyll duwiol, ydyw, oblegyd eu bod yn temtio credinwyr i fyned ar bererindodau i leoedd sanctaidd, i roi anrhegion at achosion crefyddol, i adeiladu eglwysi, a gwisgo milwyr i fyned yn erbyn yr anffyddiwr, o dan y syniad eu bod drwy hyn i gael rhyddhad oddiwrth y cosbau dyledus iddynt am eu pechod, ac ysgoi poenau y purdan yn y byd a ddaw. A'r syniad hwn maent yn cael eu hudo, a chan belled a hyny "mae yna *dwyll.*"

Ar ol y fath gondemnio, nid oedd dim ond haerllugrwydd llys y Pab a allasai ganiatau y fasnach waradwyddus,

sydd yn awr yn gysylltiedig ag enw Tetzel, a'r hyn a ddaeth yn achos ffurfiol y Diwygiad.

C. L. T.

---

## EFFEITHIAU GWEINIDOGAETH CRIST AR Y BYD.

GAN Y PARCH. H. GWERFYL JAMES.

**Ysbryd yr Arglwydd sydd arnaf fi, o herwydd iddo fy eneinio i; i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachâu y drylliedig o galon; i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb; i bregethu blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd.—LUC 4 : 18, 19.**

Er mor lluosog a chyfoethog yw y profion o haelfrydedd Duw a geir yn y greadigaeth weledig, nid ydynt ond fel defnynau bychain o fôr y cariad mawr, neu belydrau gwasgaredig o'r Haul Mawr Tragywyddol. Ond yn nhrefn gras y mae'r defnynau wedi eu casglu i ffurfio i fyny afon yr iachawdwriaeth, a'r pelydrau oll wedi eu cydgrynhoi yn Haul y Cyfiawnder, nes y mae afon yr Iachawdwriaeth a Haul y Cyfiawnder yn adgyfodiad a bywyd i'r greadigaeth foesol, fel y mae'r gwlaw a'r haul yn adgyfodiad a bywyd i natur. Un anfeidroledd mawr o ddaioni yw y Natur Ddwyfol, ac y mae Duw wedi casglu holl ogonianau ei natur i Grist er dangos ac egluro ei wir gymeriad i'r byd. "Fel y dangosai i'r oesoedd a ddeuai ragorol olud ei ras ef." Y mae Duw wedi casglu yr holl ddyfroedd i'r môr, yr holl oleuni i'r haul, a'i holl ras a'i ogoniant i Grist. "Ac ni a welsom ei ogoniant ef," &c. Mor fendigedig yw yr argraff o haelfrydedd dwyfol a adewir ar ein meddyliau gan ddylanwad gweinidogaeth rasol a chyfryngaeth effeithiol yr Arglwydd Iesu Grist! a dyfnheir yr argraff hwn gan eiriau swynol, barddonol, a dwyfol ein testyn.

Y mae'r Iesu anwyl yn awr yn dechreu ar ei weinidogaeth gyhoeddus. Y mae arbenigrwydd, dwysder, urddas, a mawredd dwyfol yn gymhlethedig â'u gilydd yn ei neillduad i'w weinidogaeth gyhoeddus. Dacw fe yn sefyll yn nghanol yr Iorddonen, newydd gael ei fedyddio gan Ioan, yn cael ei amgylchynu gan filoedd o edrychwyr amheus, yn dysgwyl am dywalltiad yr Ysbryd arno yn ol addewid y Tad, a chyfaddefiad y Tad o hono, a'i arddeliad o hono fel ei anwyl Fab ei hun, er symud ymaith yr amheuaeth o feddwl yr Iuddewon rhagfarnllyd. Y mae yr Iesu wedi marw, nid i bechod, ond i'w fywyd dirgelaidd ac anghyhoedd, wedi ei gladdu dan y don, wedi ei gyfodi oddi dani, ac yn aros am gyflawniad y geiriau, "Rhoddais fy Ysbryd arno, efe a ddwg allan farn i fuddugoliaeth." Ond yn ddisymwth y mae ffenestri y nefoedd yn agor o led y pen, y *blinds* yn cael eu dirwyn i fyny, a dacw ddrws *front* palas yr Anfeidrol yn cael ei agor, a goleuni a gogoniant y nefoedd yn dylifo i lawr, ac yn chwareu ar donau duon yr Iorddonen fawr, nes yr oedd dysgleirdeb yr olygfa yn taraw pawb â mudanrwydd! Ac y mae angelion gwynion, ugeiniau, wedi bedyddio eu hadenydd gwynion yn môr bywyd, yn ehedeg o'r nefoedd i le y cysegriad; ond wele un rhyfedd yn eu plith, yn ehedeg, ac yn ehedeg fel colomen wen, ac yn disgyn ar ysgwydd wleb yr Iesu; ac meddai un o'r llygaid-dystion, "Ac mi a welais y nefoedd yn agored, ac Ysbryd Duw mewn rhith gweledig megys colomen yn disgyn ac yn dyfod arno ef." A chyda hyny dynà lais cryfach na swn dyfroedd lawer, yn llefaru, nes y mae anian yn dal ei hanadl i wrando: "Hwn yw fy anwyl Fab, yn yr hwn y'm boddlonwyd." Ah! gyfeillion, yr oedd y llais yna, er yn gryfach na swn myrdd o daranau yn cydruo, yn llawer pereiddiach na sain telyn seraph ar oriel gwlad y dydd.—Wedi hyn, ac wedi i'r Iesu orchfygu y diafol yn yr anialwch, gwelwn ef ar lawr y cysegr yn rhoddi darnodiad o'i waith fel Efengylwr Dwyfol. "Ysbryd yr Arglwydd sydd arnaf fi," &c.

Ymddengys mai y bregeth fer hon yw y bregeth gyntaf o eiddo y Gwaredwr; ac nis gallasai ef, yr Emmanuel mawr ei hunan, ddechreu yn fwy cynwysfawr a bendigedig nag y gwnaeth. Y mae bywyd i feirwon, traed i gloff-

ion, a llygaid i ddeillion, fel yn ymsaethu allan o'i eiriau! Agorodd dyfodiad Crist i'r byd gyfnod newydd yn hanes y byd, ac yn hanes hil syrthiedig Adda. Y mae'r efengyl am y groes i wynebu yr holl fyd, a phob dyn, o bob gradd a sefyllfa yn y byd, ac yn meddu ynddi ei hunan gymwysder dwyfol i gyfarfod â dyn yn mhob gradd a sefyllfa o bechod, euogrwydd a gwae.—Gwyneba hi ar y byd mawr llydan, a gwna i fyny holl angenion moesol y ddynoliaeth. Rhaid ei phregethu i "bob creadur," a'i chyhoeddi yn nghlywedigaeth yr "holl genedloedd." Gwyneba hi ar anwariaid gwyllt yn y goedwig bell, ac ar y brenin balch ar ei orsedd wemp. Cyfyd un i fyny, a thyn y llall i lawr, i'r un man—*i Grist*, am ei fywyd. Gwna hi y "gwirion yn ddoeth i iachawdwriaeth," a dysga yr athronydd balch i ddeall mai "dechreuad doethineb yw ofn yr Arglwydd." Nid â'r allanol o ddyn y mae a fyno yr efengyl, ond treiddia i mewn i'w enaid, a gwresoga ddirgel ddyn y galon; goleua ei ddeall, deffroa ei gydwybod, agora ei lygaid ysbrydol, bywha ei enaid, cyfnewidia ei galon yn ei fynwes, a thyr allan yn rhinweddau pur yn ei fywyd, fel y tyn yr haul allan holl ymadferthoedd bywyd y maes, y coed, a'r llysiau, yn y gwanwyn! Y mae hi yn disgyn i lawr at ddyn yn ei drueni a'i euogrwydd, ac yn ei waredu o'i holl gyfyngderau. Tyner cariad o Gristionogaeth, a hi a beidia ar unwaith a bod yn grefydd addas i bechadur. Y mae y Ceidwad a gynygia hi yn gariad anfeidrol i gyd, ac yn ewyllysgar a galluog i achub hyd yr eithaf! Ac y mae efe, trwy rym ei anfesurol gariad at ddyn, yn enyn cariad ar aelwyd yr enaid dynol, nes y gall y pechadur ddweyd, "Yr wyf fi yn ei garu ef am iddo ef yn gyntaf fy ngharu i."

Nid cyhoeddi fod afon o dân yn ffrydio o orsedd Duw i ddifa y troseddwr, yw gwaith efengyl, ond cyhoeddi fod "Duw yn Nghrist yn cymodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." Gan fod y pechodau wedi eu cyfrif ar Grist, nis gall Cyfiawnder eu cyfrif mwyach ar y pechadur crediniol. Nid dangos y fellten a'r fflam o fynwes orddu y cwmwl yn ymsaethu i waered i losgi y troseddwr y mae yr efengyl, eithr dangos Duw yn gwenu ar bechadur edifeiriol yn Nghrist. Ei haith yw:

**Man nid oes mwy ond Iesu—i wan ddyn**
**A'i Dduw gyfeillachu,**
**Yn yr aberth cyferth, cu,**
**Dyn a gân, a Duw'n gwenu.**

**Mae ei wên a'i amynedd—a'i arfaeth,**
**A'i ddirfawr drugaredd,**
**A'i gusan i wan ei wedd**
**Yn yr Iawn, yn llawn rhinwedd.**
**Duw mewn Iawn! a dim yn ol**
**Sy'n fydriad gras anfeidrol.**

**—*Robin Ddu Eryri.***

Nid taranfolltau deddf doredig ydyw Efengyl, ond y llais dystaw main sydd yn siarad maddeuant yn nghlust yr enaid crediniol, yn cyfnewid calon y fam heb ddeffroi'r baban a gwsg ar ei mynwes, ac yn anadlu bywyd i'r enaid marw yn yr addoldy, heb i neb ond y dyn ei hunan deimlo oddiwrth y cyfnewidiad! Yn yr efengyl y gwelwn ni yr Anfeidrol yn dyfod ar ol y troseddwr—yn dyfod ato yn ei natur, ac yn marw yn ei le ar y groes er ei arbed ef. Yma y gwelwn ni y cariad dwyfol wedi ymgorpholi, ac yn ymsymud ar hyd llwybrau trueni dynol, ac yn trugarhau wrth ei elynion, yn rhyddhau carcharorion pechod, yn rhoddi llygaid i ddeillion, traed i gloffion, yn taflu allan gythreuliaid, yn adgyfodi y meirw, ac hyd yn nod yn maddeu pechodau yn ei enw a'i awdurdod ei hunan! Yma y gwelwn ni drugaredd yn ysgwyd ei hadenydd gwynion uwch byd pechod, ac yn gwasgar bendithion "rhad ras," i blant yr angen mawr, ac yn galw y byd i gymod â Duw yn ei Fab.

Pwnc y testyn yw, *Cristionogaeth fel yr unig allu ymosodol ar diriogaeth pechod, anwybodaeth, a thrueni dyn.* Saif Cristionogaeth mewn gwrthgyferbyniad uniongyrchol i bob gallu pechadurus, ac i bob amrywiaeth a ffurf o ddrygau moesol.

Gan ei bod yn bur a nefol, rhaid ei bod byth yn ysgaredig oddiwrth bob elfen groes i sancteiddrwydd, purdeb,

a dedwyddwch y teulu dynol. Y mae gwahaniaeth tragywyddol yn bodoli rhwng drwg a da, a rhwng rhinwedd a phechod; ac nid oes allu mewn bodolaeth a all eu cymysgu â'u gilydd neu droi y drwg yn dda, na'r da yn ddrwg. Y mae gwahaniaeth anfeidrol rhyngddynt, er eu bod yn yr un byd, ac yn aml yn yr un enaid. Y maent yn ymryson â'u gilydd erioed, a'r naill yn ceisio difodi y llall, ac y mae'r enaid dynol yn faes y rhyfel parhaus yma.

Gallu ydyw Cristionogaeth i ddarostwng, dileu, a difodi drygioni o bob natur ac ansawdd. Cyfododd ein byd ni mewn gwrthryfel gyda'r diafol yn erbyn Teyrn y Bydysawd, a lledodd faner fawr gwrthryfel ar ben pob bryn, gan ymegnio diorseddu Duw Tragywyddoldeb. Ond o'i gariad a'i ras fe anfonodd Duw ei "Fab i'r byd, nid i ddamnio y byd, ond fel yr achubid y byd trwyddo ef." Daeth Iesu yma i osod y gwrthryfel i lawr trwy gariad, ac i achub y gwrthryfelwyr trwy ras; a thrwy yr efengyl fe gyhoeddir telerau heddwch Duw i'r ddaear, sef "na chollir pwy bynag a gredo ynddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol, a hyny yn y nefoedd, cartrefle y Duw yr ymladdasant gymaint yn ei erbyn yn ddiachos.

Y mae'r efengyl nid yn unig yn argyhoeddi y troseddwr o'i ffolineb yn ymryson â Duw, ond cynwysa drefn o faddeuant rhad iddo, trwy rinwedd gwaed iawnol Mab y Brenin; ac mae yr Ysbryd Glan nid yn unig yn lladd yr elyniaeth yn ei galon, ond yn ei greu ef o'r newydd, i fod "yn greadur newydd" yn Nghrist Iesu, gan ei addasu i fwynhau gwenau a gogoniant y Brenin am byth.

Gweithia yr Ysbryd ar natur ysbrydol y dyn trwy wirionedd yr efengyl nes caethiwo yr holl ddyn i ufudd-dod Crist. Nid gwiw i ni feddwl y gall yr un gyfundrefn ond Cristionogaeth effeithio y cyfnewidiad bendigedig a dymunol hwn. Gras yn unig all ddwyn hyn oddi amgylch. Ar ben gras y byddo'r goron.

"Rhyfedd ras fu'n dewis
Abwydyn gwael y llawr."

Nid gallu sydd yn chwareu oddiamgylch dyn ydyw Cristionogaeth, gan foesoli ei fywyd, ond gallu dwyfol sydd yn treiddio i mewn i gysegr dirgelaf ei fodolaeth; yn hawlio gorsedd ei galon, awenau ei feddwl, ac yn ysbrydoli ac yn sancteiddio ei holl fodolaeth, gan ysgwyd teyrnwialen ei hawdurdod a'i llywodraeth dros holl gyneddfau yr enaid.

Y mae Cristionogaeth yn gwynebu y byd, ac yn barod i gofleidio y byd ond ei gael i Grist; ac y mae pob clust i glywed seiniau peraidd a chroesawol, ei hudgorn arian. Duw'r Cariad yw ei hawdwr; ac y mae ynddi ddigon o destynau llawenydd i blant galar, digon o destynau cân i blant y dagrau, digon o dangnefedd i'r trallodus, a digon o fywyd byth-barhaol i farwolion pechod. Dyga hi yr enaid fel drych gloew i dderbyn ac adlewyrchu priodoleddau moesol ei Dad Nefol. Dyma y dystiolaeth anffaeledig ac anwrthwynebol o ddilysrwydd a dwyfoldeb Cristionogaeth. Y mae ei gwaith yn profi ei grym; ac y mae yr holl saint sydd ar y ddaear heddyw, ac yn y nefoedd, yn golofnau bywiol o allu dwyfol crefydd y groes i orchfygu pechod, ac i adferyd y byd i heddwch â Duw mewn Gwaredwr.

Eto, *Nid yn unig y mae Cristionogaeth yn gwynebu ar bob dyn trwy'r byd, ond y mae'n gyfaddas i bob dyn yn mhob sefyllfa o fywyd yn y byd.* Nid oes yr un math, lliw na llun o sefyllfa na chymeriad, na'r un lle na swyddogaeth y dichon dyn fod ynddi, pa un bynag ai gwas neu feistr, morwyn neu feistres, deiliad neu frenin, tlawd neu gyfoethog, nad yw Cristionogaeth yn addas ar ei gyfer, ac yn barod i'w wneyd yn ddedwyddach, yn well dyn, a gonestach swyddog, ac hefyd ei gymwyso i fywyd uchaf bodolaeth.

Y mae gweinidogaeth Iesu Grist at y byd yn cynwys y tlawd, y briwedig o galon, y caeth, y dall, yr archolledig, y truenus a'r gresynol o bob cyflwr a sefyllfa. Anerchir *dyn* yn mhob sefyllfa o drueni gan yr efengyl, a hyny mewn llais swynol a thosturiol. Mae ei chydymdeimlad, ei phryder, ei gras

a'i thosturi, ei chyfoeth a'i chalon, oll o ochr y dyn. Ei hiaith hi yw, "Arnoch chwi, wyr, yr wyf yn galw, ac at feibion dynion y mae fy llais." "Deuwch ataf fi bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythaf arnoch."

Codi dyn, ei ymgeleddu, a'i gadw, yw ei phrif neges yn y byd; a chyfyd ef yn gyd-ystâd â'r angel, a sicrha iddo yr oll a all anfarwoldeb wneyd er ei ddedwyddwch!

Erys y ffaith fod yr efengyl yn cael ei phregethu i'r tlodion, fel un o ryfeddodau mwyaf a phenaf cyfundrefn fawr trugaredd i'r byd. Dyma'r prawf mawr a ddefnyddiodd Iesu Grist er argyhoeddi Ioan yn y carchar mai efe oedd yr Emmanuel: "Ewch," ebe fe, "a mynegwch i Ioan fod y deillion yn gweled, y cloffion yn rhodio, y meirw yn cyfodi, a'r tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt." Yr oedd pob un o honynt yn wyrth, ond yr olaf oedd y rhyfeddaf a'r fwyaf, ïe, y *climax!*

Y mae rhagluniaeth a gras yn wahanol iawn i'w gilydd. Ychydig sydd yn cael ffafrau mwyaf rhagluniaeth—ychydig a ordeiniodd hi yn Ymerawdwyr ac yn Freninoedd; ychydig sydd yn cael ei phethau goreu hi; y mae'r lluaws i lawr, yn dlodion a thruenus; ond y mae Cristionogaeth yn dyfod i lawr atynt—yn dyfod at y rhai ag y mae rhagluniaeth yn gwgu arnynt; ac yn gwenu arnynt hwy yn *gyntaf;* ac yn eu cyfodi hwynt i fyny megys oddi dan draed mawrion y byd, ac yn gwneyd pob un a wrandawo ar ei llais hi yn frenin ar ei deimladau annuwiol yn y byd hwn; ac yn offeiriad gwirioneddol yn ei deulu; ac yn y diwedd hi a wna dlodion codwm Eden "yn offeiriaid i Dduw ei Dad ef," "yn ardal lonydd yr aur-delynau."

Nid yw tlodi bydol yn un rhwystr i'r tlodion i gael diogelfa rydd i holl freintiau teyrnas nefoedd, lle mae'r Iesu wedi agor iddynt drysordy mawr anchwiliadwy olud ei ras—yma y cânt gyfoeth diderfyn, yma y cânt fwyta bara angylion, ac yfed o ddwfr y bywyd yn rhad am byth, ac heb neb i edrych arnynt gyda gwg.

Y mae Cristionogaeth hefyd yn *effeithio'n ddaionus ar ddyn yn y byd hwn.* Y mae hi yn gwneyd bwthyn y tlawd yn fwy tebyg i'r nefoedd na phalas y brenin. Y mae hi yn gwneyd tad meddw, a diog, yn ddyn sobr, a diwyd; a'r fam wastraffus a di-drefn, yn gynil, trefnus, a glân. Llawer wyneb a edrychai yn ddarlun o anobaith ei hun, a wisgwyd gan grefydd Crist â sirioldeb a gwenau y Nef. Cipiodd filoedd oddiar ddibyn anobaith a dinystr, ac a lanwodd eu heneidiau â mwynhad, a'u tai â digonedd o ymborth. Tynodd y wermod i gyd o lawer cwpan chwerw, ac a'u llanwodd â gwin a mêl—cysuron yr efengyl. Tynodd y colyn o safn angau, a gwasgarodd dywyllwch y bedd o flaen y pererinion; rhydd i'w heneidiau olygiadau dysgleiriach a gogoneddusach am y dyfodol. Tra y llefara'r Efengyl am gariad a gallu anfeidrol, cyhoedda drugaredd annherfynol, a phrofa ei rhagoroldeb ei hun trwy ei heffeithiau daionus ar y byd. Yr un efengyl sydd gan Grist i'r tlawd a'r cyfoethog, ac y mae'n addas i dynu'r balch i lawr, yr hunan-gyfiawn i ymwadu ag ef ei hun, tra y cyfoda y "tlawd o'r llwch," gan ei wneyd yn bendefig moesol yn nheyrnas Dduw.

*Y mae gan yr Efengyl ddarpariadau ar gyfer y meddwl.*—"Y mae'n iachau y rhai drylliedig o galon." Y mae tlodi yn boenus, ac yn anhawdd iawn i'w ddyoddef; ond y mae gofidiau mewnol a phangfeydd eneidiol yn fyrdd gwaeth. Y mae dyoddefaint y meddwl yn llymach, ac yn fwy arteithiol na dyoddefaint y corph. Nis gall y bardd mwyaf darfelyddol a desgrifiadol byth ddarlunio cyflwr y galon a rwygir gan ofid, hiraeth, ac euogrwydd am bechod! Y mae ei sefyllfa yn annarluniadwy. Y mae anobaith yn sefyll ar y llinell ddu yn ei hymyl, yn danod beiau oes, ac yn paentio'r dyfodol can dywylled a'r fagddu ei hunan o flaen yr enaid—nid oes seren o obaith yn ymddangos yn un man, ac y mae'r ystorm fawr dragywyddol bron yn ymyl, ac nid oes gan yr enaid yr un gobaith ymwared yn unman; ond er ei fod yn gofidio nes y mae ei galon yn dryllio, y mae efengyl

yn dwyn balm i'w glwyfau, trwy ddyweyd, "Maddeuwyd dy aml bechodau di." "Ha! fab, cymer gysur." Gall dyn gael ei boeni gan amgylchiadau bydol, gan ei gyfeillion goreu, neu ynte trwy golli ei iechyd, trwy farwolaeth ei gyfeillion anwylaf, neu briod ei fynwes a phlant ei ymysgaroedd, nes y mae ei fywyd wedi cael ei wneyd yn faich iddo, ac y gellir dyweyd fod ei galon yn y bedd; a chyda phob tro o olwyn fawr Rhagluniaeth y mae yn barod i ddyweyd fel Jacob, "Yn fy erbyn i mae hyn oll!" Neu fe ddichon y gall ddyweyd yn brofiadol gyda'r bardd:

"Ai unig wyf yn hyn o fyd,
Ah! gwynfyd fuasai hyny,
Ond mae'n fy nilyn hyd rhôd,
Gydwybod nad yw'n ewi."

Edrycha i'r nef, gwel Dduw wedi ei ddigio, beiau oes heb eu maddeu, ceidwad wedi ei wrthod, yr Iawn wedi ei fathru dan draed—edrycha'n ol, a gwel ei oes wedi ei chamdreulio, trugareddau wedi cael eu cam-ddefnyddio, a dim ond anobaith yn llygadrythu arno—edrycha'n mlaen, a gwel angau du a'i golyn llym yn agoshau ato a'i lygaid yn fflachio tân dialedd tuag ato. Y mae yn edrych iddo ei hunan; ond nid oes yno ond cydwybod wedi deffro, ac yn rhuo oddimewn iddo, nid oes ond tywyllwch dudew diobaith yn ei amgylchynu ef; ond yn y cyfamser, dyna ddyn Duw yn sefyll ger ei fron, a'i lygaid yn serenu o gariad tuag at ei enaid, ac yn cyhoeddi telerau bywyd yr efengyl iddo: "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist, a chadwedig fyddi." "Y neb a gredo," &c. Yna, y mae anobaith yn ffoi, a gobaith, ffydd a chariad, yn cymeryd meddiant o'i enaid, nes y mae yntau ar unwaith yn teimlo yn ddyn newydd, ie, yn greadur newydd yn Nghrist Iesu. "Yr hen bethau a aethant heibio, wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd." Y mae Cristionogaeth yn goleuo'r tywyllwch i'r enaid crediniol, yn peri canu yn y galon, pan y mae yr ystorm yn curo ar y ty o glai, yn troi dyfroedd Mara yn win melus i blant yr Arglwydd.

"A hi a dry bob chwerw nant,
Yn win i blant Jehofa."

Ni welodd Iesu galon erioed mor ddrylliog nas gallai efe ei hiachau, a'i gwneyd yn well nag erioed. Y mae efe yn ei hail wneyd i gyd; ac nid oes berygl iddi ddryllio byth mwy. Deued a ddelo i'w chyfarfod, nid oes digon o bwysau o ofid yn y byd, na digon o forthwylion yn uffern i'w dryllio hi byth mwyach. Ceidw Duw hi o fewn cylch ei ffafr, ac y mae'r Ysbryd Glan yn cartrefu ynddi. A phan y bydd i'r Nef berffeithio gwynfydedigrwydd y ddaear, a sychu y deigryn olaf, bydd gras yn arddangos y galon yna mewn gogoniant

*Y mae yr Efengyl hefyd yn cyhoeddi Rhyddid i gaethion*: "I bregethu gollyngdod i'r caethion." Daeth Iesu i gyhoeddi rhyddid i'r caethion. Pa un bynag a wnawn, a'i cymwyso hwn at ryddid naturiol, moesol, neu ysbrydol dyn, y mae yn gydradd wirioneddol. Y mae y tri chaethiwed yna yn groes i anianawd Efengyl a Christiongaeth. Y mae hi yn anadlu anadl dyner a chynes cariad, ar hualau caethiwed y byd, nes eu toddi oll ymaith. Yr oedd Iesu hefyd yn rhyddhau rhwymau cystudd, diafol, ac angau, pan oedd yn y byd, â dim ond gair o'i enau. Pan ddaeth Crist i'r byd yr oedd pawb bron yn gaeth gan bechod; ond gwaredodd efe filoedd o'u caethiwed, gan eu dwyn i ryddid gogoneddus plant Duw. Rhyddid gwladol, moesol, a chrefyddol ydynt arwyddeiriau Efengyl. Nis gall caethiwed fyw yn agos ati—difoda gaethiwed fel y difoda haul y tywyllwch. Ac yn mhob man lle y mae hi wedi myned y mae'r caethion wedi ei chlywed yn cyhoeddi rhyddid a Jubili, i gaethion cymdeithas a phechod. Y mae'r enaid crediniol wedi ei ryddhau oddiwrth bechod, ac wedi eu dwyn i wir ryddid; ac nid oes gallu yn uffern, na digon o gadwynau yn affwys ei hunan i'w rwymo ef mwyach. "Os y Mab a'ch rhyddha chwi, rhyddion a fyddwch yn wir."

*Y mae rhyddhad yr enaid hefyd yn gysylltiedig a goleuni ysbrydol yn yr enaid.* "A chaffaeliad golwg i'r deill-

ion." Dyben y Dysgawdwr Mawr oedd cyrhaedd y galon trwy'r deall, a thrwy ddylanwad ei athrawiaeth; daeth ef i agor deall y byd er derbyn y goleui, a'r dadguddiad mawr diweddaf oedd Duw yn ei roddi o hono ei hunan i bechadur tywyll ac anwybodus. Y moment y cofleidia'r enaid y datguddiad hwn, ac y derbynia oleuni y byd arall, daw yr enaid fel seren lachar o oleuni tragywyddol a sanctaidd. Gwir i Iesu agor llygaid llawer Bartimeus pan oedd ar y ddaear, ond nid oedd ei waith yn rhoddi llygaid naturiol i ddeillion, ond arddangosiad gwan o'i waith yn agor llygaid ysbrydol y byd, nes cael dynion i weled gwirioneddau trefn y cadw, a sylweddau y byd anweledig, ond nid â llygad o gnawd. Y llygaid ydynt fwyaf cyfarwydd â gogoniant yr orsedd dragywyddol a ganfyddant fwyaf o harddwch a gogoniant yn ngwaith y cariad prynedigol. Ac yn ol fel y canfyddir gras Duw yn nhrefn yr achub, yr ymlawenha ac yr ymorfoledda yr enaid yn Nuw,

Wedi cael y dyn yn rhydd ac i weled ei ogoniant, y mae Crist yn myned i ddwyn *cyfnod newydd o ddedwyddwch ar y ddaear:* "I gyhoeddi blwyddyn gymeradwy yr Arglwydd." Nid oedd pob oes aeth heibio, ond rhagarweiniol a rhagbarotoawl i'r oes hon, neu "flwyddyn gymeradwy yr Arglwydd." Dyma yr oes a ddewiswyd gan Dduw i ddadguddio mawredd ei gariad at y byd, i gyfranu ei ras, ac i wasgar trysorau anchwiliadwy olud Crist. Dyma oes euraidd y byd—y mae maesydd trugaredd yn felynion ac yn addfed i gryman gras. Ar yr oes yma y dibyna gogoniant arfaeth a bwriadau y Jehofa, yn nghyd a'i ogoniant tragywyddol. Dyma oes llwyr fuddugoliaeth y gwirionedd dwyfol, cyflawni y prophwydoliaethau, &c. Oes y bydd dychweledigion Cristionogaeth fel y gwlith o groth y wawr, mewn rhifedi, dysglaerdeb ac harddwch. Yn yr oes hon mae pob coron i gael ei thaflu wrth draed yr Emmanuel mawr, pob calon i fod yn orsedd iddo, a phob sant i fod yn berlyn yn ei goron gyfryngol. Dyma yr oes y mae cenedl i gael ei geni mewn un dydd, y brenhinoedd i ddyfod yn dadmaethod, a'r brenhinesau yn fam-maethod i Eglwys Iesu Grist. "A theyrnasoedd y ddaear a gofiant, ac a alarant, ac a droant at yr Arglwydd." "A bydd pawb wedi eu dysgu gan Dduw," "Brenhinoedd a ddeuant o'r Aipht, ac Ethiopia a estyn ei dwylaw yn brysur at Dduw," &c. Yn yr oes hon o'r byd y mae'r "gwylwyr i weled lygad yn llygad; a daw yr holl eglwys yn *un* yn rhinwedd yr unoliaeth Dwyfol—un Arglwydd, un ffydd, ac un bedydd, un Duw a Thad oll, &c.

"Cyn hir pregethir ar ben Golgotha,
Neu mewn mawr awydd yn mhen Moriah."

H. GWERFYL JAMES.

# Amrywiaethau.

## At y Parch. Wm. Jones.

*Anwyl Frawd*—Parodd eich llythyr ataf yn y WAWR ddiwedder dipyn o syndod i mi—nid am eich cyngorion tadol—ni wn am neb y derbyniwn gyngor ganddo o'ch blaen chwi.

Ond mae eich casgliadau oddiwrth fy llythyrau yn y *Drych* yn anwarantedig, ac yn fy ngosod o flaen fy enwad mewn sefyllfa annheilwng. *Pe buasai* fy llythyrau, fel y myntumiwch, buasai eich cyngorion yn llawn mor briodol yn breifat. Goddefwch i mi ysgogi eich hystyriaeth ar y pethau canlynol:

1. Nid wyf yn un o'm llythyrau wedi dyweyd, nac awgrymu, na sisial, fod *taenellu yn un math o fedydd.*

2. Nid wyf wedi dych'mygu y fath beth a "chymundeb rhydd;" nid wyf yn credu ynddo; nid wyf yn ei arferyd. Dywedais hyny yn benodol yn y *Drych.*

3. Yr wyf wedi gosod fy hun allan yn Fedyddiwr, ac fel y cyfryw ystyriwyf daenellu a bedydd babanod yn arferiadau niweidiol a phabyddol.

4. Nid dyfod allan fel *dadleuydd* i amddiffyn y Bedyddwyr a'u hegwyddorion oedd fy amcan; ni chaniatesid hyny yn y *Drych* (fel y gwyddoch, gwrthodasant fel y cyfryw eich hysgrif chwi); ond ceisio d'od allan fel *ym-*

*chwilydd* i edrych "a oedd y pethau hyn felly."

5. Ymdrechais gael trafodaeth ar yr ordinhad o fedydd yn ei "dull" (?) a'i deiliaid, oddiar safon eiryddol ac hanesyddol yn unig. Gwyddoch cystal a minau mor awyddus ydyw y maban-daenellwyr i drafod y pynciau hyn o'r tu ol i "gasgliadau," "traddodiadau," ac athrawiaethau chameleonaidd duwinyddiaeth, a thrwy y rhai hyn gymylu meddwl a deall yr anwybodus. Deuer a hwynt unwaith i gyfarfod a ffeithiau ystyfnig geiryddiaeth ac hanesiaeth, a diosgir hwy yn y fan o'u nerth rhithiol. Dyna oedd un o fy amcanion yn fy llythyrau, a gwyr pawb mor llwyr y methais gael gan y "Brawd o Remsen" i gyfarfod â ffeithiau. Gwir nad allaswn ddysgwyl llawer mewn trafodaeth o'r fath, gyda chyfaill o'i alluoedd dysgeidiol ef; a dysgwyliais lawer llai oddiwrtho, pan y deallais mai efe oedd awdwr y llythyr a gyhoeddwyd yn y *Cenhadwr*, ac a led-daenwyd ar hyd y wlad, uwch y ffugenw "Ioan Einon." Nid wyf yn ei feio am guddio ei awduriaeth o hono; yr oedd eisiau gwroldeb yn ymylu ar ryfyg mewn gweinidog efengyl, i arddel y fath ymosodiad annheilwng, mor grynswthol o anwybodaeth, ar enwad o Gristionogion.

*Yn olaf*, Dywedais yn y *Drych*, a dywedaf eto:

(*a.*) Fod y Bedyddwyr yn awyddus am undeb crefyddol ac eglwysig ar sylfaen y Testament Newydd.

(*b.*) Maent yn rhyddgarol, yn frawdol, ac nid yn gulion fel y'u cyhuddir.

(*c.*) Nid yw "Cymundeb Cyfyng" ond egwyddor a gydnabyddir gan y byd Cristionogol, gydag ychydig iawn o eithriadau.

(*d.*) Mor amlwg ydyw awdurdod y y Beibl, geiryddiaeth, ac hanesyddiaeth, ar ddull a deiliaid bedydd, fel yr wyf fi o'm rhan fy hunan, yn barod i dderbyn tystiolaethau dysgedigion enwadau eraill ar y materion. Ond ymddengys eich bod chwi, frawd, yn ofni awdurdodau nad ydynt yn Fedyddiedig, onide paham y ceryddwch fi am apelio atynt?

Yr eiddoch, H. O. ROWLANDS.

## Arwyddo'r Ardystiad wrth Droed y Crogbren.

Meddai hynafgwr, Gwnaethum yr ardystiad wrth droed y crogbren, pan y gwelais ddyn ieuanc yn cael ei grogi; cymerodd y *Sheriff* ei oriawr allan, gan ddywedyd, "Ddyn ieuanc, os oes genyt rywbeth i'w ddyweyd, llefara yn awr, oblegid nid oes genyt ond pum' mynyd i fyw." Newidiodd y bachgen ei wedd,—torodd allan mewn llais wylofus, y dagrau poethion yn treiglo dros ei ruddiau. "O!" meddai, "raid i mi farw a myned i'r farn! Oh! pa beth a wnaf; nid oedd i mi ond un brawd bychan, plentyn hardd—iddo yr oedd llygaid gleision, glân; a gwallt melyn modrwyog yn hongian mor addurniadol ar ei ruddiau rhosynaidd; yr oedd yn anwyl gan bawb yn y gymydogaeth. Ond Och! ie, och! gwae fi—un prydnawn daethum adref yn feddw, cefais fy mrawd bychan yn yr ardd yn casglu blodau. Heb un achos o'i du ef aethum i dymer ddrwg, cymerais afael mewn darn o bren, tarewais ef ar ei ben glân fel na syflodd byth. Meddwdod oedd yr achos; Oh! yr wyf wedi distrywio fy hun. Nid oes genyf ond gair, un gair, dyma y cyfan: Byth! byth!! byth!!! Peidiwch cyffwrdd yr hyn sydd feddwol."

Fan yma, wrth droed y crogbren yr ardystiais. Byth! byth!! byth!!! ni chyffyrddaf a'r pethau meddwol. Dyma benderfyniad da yr hynafgwr, a chadwodd ef hyd ei fedd. Yn dymuno lles ei gyd-ddyn y gorphwys yr eiddoch,

*Niles, O.* CHRISTOPHER BACH.

---

## Diarhebion Dafydd Phillips, Coalburgh, Ohio.

Tri pheth angenrheidiol er cyrhaedd gwybodaeth—credu a chydnabod na wyr ddim; credu fod ynddo alluoedd i'w dadblygu; eu rhoddi mewn gweithrediad parhaus a phriodol.

Y Cristion fel morwr—ei long ydyw cariad, ei gwmpawd ydyw ffydd, ei angor yw ei obaith, ei gadben yw yr Iesu, ei fôr yw yr Iawn, ei hwyliau yw yr addewidion, ei lyw yw y gwirionedd, ei borthladd yw y Nefoedd.

Os gwelir dyn yn darllen bob amser mewn cyfarfodydd cyhoeddus, tra thebyg nad yw yn darllen ond ychydig gartref.

Chwech o bethau a dynant sylw dynion ac angelion—marwolaeth naturiol, marwolaeth mewn pechod, a marwolaeth dragywyddol; bywyd naturiol, bywyd duwiol, a bywyd tragywyddol.

Yr oedd gwaed fy Ngheidwad yn disgyn mor drwm ar Galfaria, nes y siglodd seiliau carchar anobaith dynolryw, ac agorodd y gair Gorphenwyd ei ddrws led y pen.

Tri nodwedd yr esgeuluswr—torwr amod; rhwygwr cymdeithas; ac yn wraidd gwrthgiliad.

Gellir tynu y casgliadau canlynol oddiwrth dy anorphenol—nad yw y draul wedi ei chyfrif, neu annoethineb, neu ddiffyg penderfyniad, yna gesyd y perchenog mewn gwawd a dirmyg yn marn yr edrychwyr.

Dau beth atgas mewn ty cysegredig i Dduw—crefyddwr yn canu maswedd; a phechadur yn cynghori i rodio'r ordd sydd yn ol duwioldeb.

Y mae ymddygiadau anffyddlawn proffeswyr crefydd yn debyg i filwyr, yn sefyll rhwng yr amddiffynfa a'r gelynion.

Y mae cyngorion, ceryddon, ac anogaethau dynion drwg yn debyg i belen o eira; yn wyn ei lliw, yn nerthol yn ei tharawiad, ac yn oeraidd yn ei derbyniad—"Y meddyg iachâ dy hun."

Nid ein ffydd sydd yn ein cadw. Meddylier ein bod ar waelod pwll (*shafft*), ac yn awyddus am ein codi i fyny, am y credwn yn nghadernid y rhaff; ond pe torai y rhaff yna, byddai ein ffydd yn ofer.

Credir yn gyffredin os bydd dyn yn ein hofni, fod pob perygl yn ddigon pell, mewn cysylltiad a'r hwn a'n hofna, yn fwy na'r hwn a'n gwrthwyneba; ond camsyniad dybryd yw hyn.

Y mae gwr rhy siaradus yn debyg i ofer-ddyn, yn afradloni ei dda. Dylid gofalu mwy am le diogel i roddi cynyrch y meddwl, na chynyrch y tir; y gaerfa gadarnaf yw tafod dystaw, ond y tafod siaradus a chwala ei gymeriad ei hun.

Y mae canfod aelod eglwysig yn wylo (yn allanol), yn niarddeliad ei frawd a laddodd, yn debyg i lofrudd yn arwylianydd (*undertaker*), yn angladd y llofruddiedig—dyma ddau wyneb onite?

---

## Arabedd a Gwatwareg Christmas Evans.

Yn rhodfeydd cyffredin bywyd, yr un gallu o'i eiddo ag a gynyrchai alegoriau yn y pwlpud, a ymddigrifai mewn arabedd a gwatwareg. Fel engraifft o'r gyneddf olaf, gellir nodi a ganlyn:

Yr oedd hen wr duwiol, yr hwn oedd deiliwr wrth ei grefft, yn amser Bonapart, yn mawr ofni y Ffrancod. Christmas Evans a roddai gyngor tra sobr iddo, gan ei anog "i ymddiried yn yr Arglwydd," gan ychwanegu, mai "yr Arglwydd sydd yn llywodraethu breninoedd,"&c. Ond poeni Christmas a'r pregethwyr eraill yr oedd yr hen frawd yn barhaus, gan ddyweyd, "Pa beth a wnawn ni os daw y Ffrancod i'r wlad?" "O! frawd," ebe C. Evans, "pan ddelont yma, y mae yn rhaid i chwi roddi y nodwydd yn mhen y llathen, rhoddi llawes goch sydd yn dal y nodwyddau ar ffrynt eich het, dodwch y gwniadur i hongian wrth eich trwyn, a chymerwch yr haiarn a'r slibwrth gyda chwi; a phan glywoch fod Boni wedi glanio, chwibanwch yn y gwniadur er codi y wlad; a phan gyfarfyddwch a'r fyddin, curwch y slibwrt a'r haiarn; rhwng gweled y llawes goch a chlywed y swn, dychryna Boni a'i fyddin, ac a ffoant ymaith. Dilynwch hwy yn ddiarbed gyda'r nodwydd ar flaen y llathen."

---

## Crybwyllion am yr Enwog Barch. T. Rhys Davies, Glanwydden.

Pan yn Nglanwydden, cododd ymrafael rhyngddo a rhai o bobl ei ofal, yn nghylch gweithredoedd y capel yno; dygwyd y mater i'w benderfynu ganddo ef ei hun, gerbron ei frodyr yn Nghymanfa Rhuthyn, yn 1818; rhoddwyd y rheithfarn yno yn ei erbyn, a diarddelwyd ef o gyfundeb y Bedyddwyr. Y mae yn amlwg erbyn hyn, mai cam-

gymeriad oedd y cyfan—mai mewn camgymeriad y cyhuddodd efe ei frawd, ac mai mewn camsyniad y darfu i'w frodyr ei dori allan. Yr oedd y nwydau yn uchel o bob tu, a dysgyblaeth yn boddi llais cyfiawnder. Wedi hyn ymunodd Mr. Davies a'r Wesleyaid; a bu yn pregethu gyda hwynt am yn agos i saith mlynedd, ac yr oedd ei boblogrwydd yn fawr yn eu plith. Ond er iddo newid ei sect, mae pob lle i gasglu na newidiodd efe ei farn am y pynciau gwahaniaethol rhwng y ddau enwad. Unwaith, mewn cyfarfod cenadol yn Maentwrog, dywedai, "Ma' nhw, y Baptists, yn meddwl llawer o honynt eu hunain, ond allan nhw fel sect ddim gwneyd yr holl waith sydd i'w wneyd yn y byd yrwan; rhaid ein cael ninau, y Wesleyaid, ar y maes; ond o ran hyny Baptists fyddwn ni i gyd cyn y diwedd." Yr oedd yn amlwg fod calon Mr. Davies yn yr hen gynefin, a chadwai gil ei lygaid yn barhaus am adwy i fyned yn ol iddi; a phan welodd hono, ni chododd ddim twrw, dim ond dyweyd, "Ffarwel frodyr bach, dyma fi yn myn'd adra."

Wele ychydig ddyfyniadau er dangos ansawdd ei feddwl:—

*Pesychu*—Peth tost iawn yw'r anwyd; pesychwch chwi, ni wna rwystr yn y byd i mi, ond help, oblegyd bydd pob pesychiad a ro'wch yn arwydd eich bod yn effro.

*Bedd Moses*—Ni wyr neb i'r fodfedd pa le y mae bedd Moses: ond mi wn i o fewn ergyd careg; claddodd yr Arglwydd ef ar gyfer Beth Peor; ystyr Beth yw ty—Ty Peor. Nid oedd modd gwneyd mwy o *spite* a Peor, yr eilun-dduw, nag i'r Arglwydd gladdu ei hen was ar gyfer ei dy.

Yr oedd un o'i frodyr yn y weinidogaeth wedi colli ei bregeth un tro, ac mewn profedigaeth chwerw o'r herwydd. Cyfarfu Mr. Davies ag ef ar ei ffordd i'r capel. "Mr. Davies anwyl, beth a wnaf?" "Wel, be sy' 'rwan, felly?" "Ond wedi colli'm mhregeth 'rydwy I." "B'le 'roet ti yn ei chadw hi?" "Yn 'y mhoced!" "O dyna lle bu'r bai: nid yn 'y mhoced y bydda'i yn'u cadw nhw." "Wel, yn mh'le y byddwch chwi yn'u cadw nhw, Syr?" "Yn fy het."

Pa fodd mae Crist yn cael milwyr i'w fyddin?—Eu cymeryd y mae o blith meirwon y gelyn.

"Yr wyf gyda chwi bob amser hyd ddiwedd y byd."—Dyma y gwahaniaeth sydd rhwng y ddaear a'r nef:—Yma y mae Crist yn wastadol gyda ni: yno byddwn ni yn wastadol gydag ef.

Nid yw y gwaethaf yn ddiobaith, na'r goraf yn ddiberygl.

Gorchymynodd Pharaoh foddi Moses ar ei enedigaeth:—Pan daeth "Moses yn fawr," cafodd Pharaoh ei dalu yn ei *goin* ei hun.

"Gwell yw enw da nag enaint gwerthfawr:"—Peth o'r ddaear yw enaint, ond enw da sydd beth o'r nef.

Mae pregethwr efengyl fel *rider out*, wedi iddo dynu allan ei holl nwyddau dywed ei gwsmer,—Dim eisio dim!"

Yr oedd ffordd y Mor Coch yn ddiogel i Israel, ond pan aeth Pharaoh iddi, collodd ei fywyd:—'doedd dim busnes ganddo fyned iddi—*private road* a agordd Jehofah i'w deulu ei hun ydoedd.

## EGLURHADAETH YSGRYTHYROL

"YR YSBRYDION YN NGHARCHAR."

1 Pedr iii. 19.

Yn yr epistol hwn, y mae yr Apostol yn anog y Crist'nogion i ddyoddef, ar sail fod eu Blaenor mawr, sef Iesu Grist, wedi dyoddef dros bechodau, "a chael ei farwolaethu yn y cnawd, ond ei fywhau yn yr Ysbryd," trwy hwn, (sef yr Ysbryd) yr aeth efe (sef Iesu Grist) ac a bregethodd i'r ysbrydion yn ngharchar (sef y cynddiluwiaid yn amser Noah). Yr oeddynt yn ngharchar, am fod ysbryd Duw wedi peidio ymryson a hwy, yn herwydd eu drygioni a'u hanniweirdeb; ac o ran eu cyrph, yr oeddynt wedi eu rhoddi i fyny i farn dymorol ag oedd idd eu goddiweddyd, sef eu boddi oll yn nwfr y diluw. Ysbryd Duw drwy Iesu Grist

a rybuddiodd Noah i efengylu iddynt, er iddynt gael gwybod a gochel y farn a ddaeth arnynt; ac er mwyn hyn yr aeth Iesu Grist drwy yr ysbryd, yn mherson Noah (pregethwr cyfiawnder) i efengylu i'r meirw (o ran eu cyrph yn amser Pedr), fel na byddai ganddynt un esgus i'w roddi yn erbyn cyfiawnder y farn a'u goddiweddodd. Cawsant eu collfarnu yn ol dynion yn y cnawd; oblegid am y gweithredoedd drygionus a wnaethant yn y corph y boddwyd hwynt; ond, yr oeddynt i fyw yn ol Duw yn yr Ysbryd; yr hyn a brawf mai barn dymorol ac nid un ysbrydol ydoedd. Yn y wedd yma y difethwyd y rhan syrthiedig o'r byd cynddiluwaidd â dwfr; am ba herwydd, y mae yr Apostol yn darlunio sefyllfa druenus y rhai rhyfygus, anianol, anifeilaidd, ac afresymol yn ei amser ef — cenedl ddrygionus, pa rai nid oeddynt yn arswydo cablu urddas; er fod Duw drwy ei Ysbryd, yn mhersonau ei brophwydi, yn mherson ei Fab, ac yn a thrwy ei apostolion, wedi llefaru wrthynt ac efengylu iddynt, trwy eu perswadio a'u cymell i gymod ac i heddwch ag ef, ac i ffoi rhag y farn, sef y digofaint arswydlawn ag ydoedd idd eu goddiweddyd; ond er yr holl gymell, "Cyndyn a gwar-galed oeddynt, am ba herwydd, rhoddodd Duw hwynt i fyny, taflodd hwynt i'r tywyllwch eithaf i aros barn y dydd hwnw, sef "dydd mawr ei ddigter ef," pryd y darfu i gyfraith Sinai arllwys ei melldithion arnynt yn ol fel y dywedodd yr Arglwydd. Gwel Lef. xxvi, 15, a 39; hefyd Deut. xxviii. 14—26, yr hwn a gwblhawyd yn llythyrenol yn ninystr Jerusalem, pryd y bwriwyd hwy (fel rhan syrthiedig o dy Israel), i'r llyn o dan a brwmstan; daeth y farn arnynt yn gosb am eu gweithredoedd drygionus a wnaethant yn y corph— barn dymorol ydoedd, oblegid pan y daw y Gwaredwr allan o Seion, efe a dry annuwioldeb oddiwrth Jacob. Yna holl Israel a fydd cadwedig, pan ddel cyflawnder y cenedloedd i mewn; yn y modd yna y difethwyd y rhan syrthiedig o'r byd Mosenaidd, damniodd Duw hwynt â llwyr ddymchweliad trwy dân, megis y gwnaeth i Sodom a Gomorrah a'r dinasoedd o amgylch.

*Dodgeville, Wis.* TREBOR.

Heb. xii. 1: "*Gan roi heibio pob pwys.*"—Arferai y rhedegwyr gynt bob moddion i ddarostwng pob swm dianghenraid o gnawd, fel ag i'w galluogi i fyned yn mlaen yn fwy cyflym o hyny. Felly, y dysgir yma y dylai Cristionogion wneyd; bwrw ymaith hyd yn nod bethau cyfreithlon ynddynt eu hunain, os yn rhwystr i fyw'n grefyddol. "*A'r pechod sydd barod i'n hamgylchu*:" Mae gwahaniaeth barn yn nghylch y ffugyr sydd yn gorwedd dan yr ymadrodd, "parod i'n hamgylchu." Rhai a olygant mai gelyn yn amgylchynu i ymosod arno; eraill, mai sylwedd yn atal ac yn rhwystro o amgylch un; eraill, mai gwisg yn rhwystr i un mewn gyrfa. Yr olaf, yn ddiau ydyw y mwyaf tebygol a chyson a'r cydymadroddion. Arferai y rhedegwyr, nid yn unig roddi heibio bob pwys dianghenraid, ond rhoddi ymaith hefyd bob gwisg berthynol iddynt, gan redeg, fel y gwnaent yn gyffredin yn noeth; gwel Eph. iv. 22.; a Col. iii. 9., lle gorchymynir i ni ddodi heibio yr hen ddyn, fel dodi heibio gwisg. Defnyddir y fanod *y*, nid i osod allan y meddylddrych o bechod neillduol yn amgychynu un, ond i roddi arbenigrwydd i bechod fel rhwystr ac atalfa i'n hymdrech grefyddol.

Gen. iii. 15: "*Tithau a ysigi ei sawdl ef.*"—Y niwed a roddid yn ngallu y sarph i'w wneuthur i Had y wraig ydoedd "ysigo ei sawdl ef." Y mae rhywbeth o briod-ddull y Dwyrain yn yr ymadrodd hwn. Wrth ysigo y sawdl, mae'r meddylddrych o ymlid ar ol yn cael ei roddi ar ddeall. Y mae yn beth nodedig mai y sawdl, yn ol y dull o ymadroddi yn y gwledydd hyny, yw y fan a archollir pan fyddo dirieid-ddyn dan ffug o gyfeillgarwch, yn niweidio dyn arall. A'r dyn a ymddygo felly a elwir "torwr y sawdl." Y sawl a weithio dan, neu a fradycho ddyn arall, a elwir felly. Os digwydd i un enill sefyllfa yr ymgeisid am dani gan un arall, y siom-

edig a ddywed, "Ah! mi a doraf ei sawdl ef eto," hyny yw, mi a weithiaf dano ef trwy ddichell nes ei droi allan. Ac y mae'n deilwng o sylw mai yn unig i un a ymddangosai yn gyfeillgar y rhoddir yr enw.

Felly y sarph a gymerai arni fod yn gyfeillgar a'r wraig, ac eto yn ei bradychu yn y dull mwyaf bradwrus. I'r dyben hwnw, y sarph a aeth megys o'r tu cefn i'r wraig, a phan nad ydoedd yn drwgdybio ei bwriad, hi a ysigodd ei sawdl hi a'i had trwy'r holl genedlaethau.

# Barddoniaeth.

### GALARNAD

ER COFFADWRIAETH AM Y BRAWD FFYDDLON EVAN JONES, DIACON YN EGLWYS Y BEDYDDWYR CYMREIG YN HYDE PARK, PA.

Ah! cwympodd rhyfelwr galluog o'r fyddin,
Ac un o swyddogion ffyddlonaf y Brenin;
Hoff blentyn Caersalem yn Dowlais fygedig,
A swyddog Moriah, ga'dd fedd yn Amerig.
'N ol treulio maith flwyddi yn y gwasanaeth,
Bu farw ein harwr, a mawr yw ein hiraeth.
Na feia, ddarllenydd, ein bod yn galaru,
Ar ol ein cyd filwr o fyddin yr Iesu;
Brawd ffyddlawn oedd beunydd, a'i arfau yn barod,
Mewn awydd gorchfygu y gelyn, sef pechod;
A'i wisgoedd yn lanwedd, a'i gleddyf yn loew,
A'i lygaid yn graffus, a'i gamrau yn hoew,
A'i galon yn orlawn o ffydd egwyddorol,
A'i eiriau teimladwy yn gyffyr meddygol,
A'i fuchedd yn addas, a'i addysg yn fuddiol,
I eglwys yr Iesu, a'i gyngor yn rasol.
Ffieiddiai uchelgais lygredig a chnawdol,
Tra'i gerydd a roddai i'r unrhyw'n bersonol.
Ni chafodd uchel-ddysg goethedig ddaearol,
Na mantais i ddeall y celfau clasurol,
Na modd i amgyffred lledneisrwydd gwyddonau,
Na'r deddfau fedd anian er ffrwyno'r elfenau;
Ni feddai frawddegau chwyddedig rhai dynion,
Ond meddai ar symledd âi'n syth at y galon;
A meddai ar galon a gallu meddyliol,
A phurdeb cymeriad, a barn benderfynol.
Mor hapus y gwenai pan gaffai y fendith
O wrandaw gweinidog o ras ac athrylith
Yn traethu yn wresog hen fwriad Jehofa—
Modd trefnodd er cadw trwy farw Calfaria,
Y claddu, a'r codi o'r bedd, a'r eiriolaeth;
Ei enaid adlonai pan glywai'r athrawiaeth;
Gan deimlad gwir addas am ras ei Waredydd,
Ei lygaid esgorai ar berlau llawenydd.
Meithrinfa i'w enaid fu'r Ysgol Sabbothol,
Ca'dd yno ei ddenu gan ddoniau ysbrydol;
I chwilio yn aiddgar holl ranau'r Ysgrythyr,
A'u diwall fyfyrio nes dirnad eu hystyr;
Ac enill ei galon i garu a chanfod
Mai gwerthfawr yw gemau efengyl y cymod;
Lle gwelai a theimlai fod nawdd i bechadur
Yn nghlwyfau yr Iesu—a mawr oedd ei gysur.
Addolai ei Arglwydd mewn gweddi folianus,
Llawn hyder, yn deilwng o ffyddlawn frawd grymus.
Ond O! beth dâl yngan? dystawodd ei dafod,
A'i babell faluria—mae genym ei feddrod.
Ei weddw alarus, a'i blant, ymgysurwch,
Can's meddwn ar sicrwydd ei fod mewn dedwyddwch;
Mae Tad yr amddifaid a Barnwr y weddw
Yn Dduw Hollalluog, trugarog ei sylw.
Wrth dewi am Evan Jones beiddiwn ddywedyd,
Fod adgof o'r cyfiawn i'r cyfiawn yn hyfryd.

*Hyde Park, Pa.* DAFYDD DYFED.

### ADDAW HEB WNEYD.

Wrth gofio yr holl addunedau
A wnaethom flynyddau yn ol,
Fe ddylai fod gwrid ar ein gruddiau,
A pheidio ag addaw mor ffol;
Edrychwn am fod yn dderbyniol
Wrth wneuthur adduned i Dduw,
Ymgeisiwn fel bodau crefyddol,
Am hyn yn brif amcan ein byw.

Aeth blwyddyn yn mlaen ar ol blwyddyn,
A mis ar ol mis yr un modd,
Wythnosau ddynesodd i'r terfyn,
Ein dyddiau fel cysgod a ffodd.
Mynydau, eiliadau, gyfrifwyd,
Ac eto mewn dyled o hyd,
Yn addaw y bydd i ni rywbryd
Lwyr dalu ein dyled i gyd.

Wrth chwilio tu fewn a thu allan,
Canfyddwn fod gwrthddrych heb ddyn,
Yn cadw a chynal y cyfan,
Yn gwneyd ei ewyllys ei hun!
Mae'r ddaear, a'r môr, a'r planedau,
A'r haulwen, yn ufudd mewn parch,
Ond dyn, er yr holl drugareddau,
Yn addaw, ond heb wneyd ei arch.

Aeth heibio y flwyddyn hon eto,
A'i holl ryfeddodau yn nghyd,
Pa faint ydym wedi anghofio
O'r pethau addawsom ryw bryd;
Gofynwn am nerth i ddiwygio,
A pheidiwn ag addaw heb wneyd,
Os ydym am gael ein gwobrwyo,
Gofalwn am wneyd gyda dweyd.

Wrth ddechreu y flwyddyn ddyfodol,
Gwnawn adael ein hen ffordd o fyw,
Edrychwn am sylfaen sylweddol,
Cyn dyfod dydd dial ein Duw!

Un cyfle sydd i ni, gwnawn gofio,
Ail gyfle gan Dduw ni all fod,
Ac heddyw mae Duw am gofleidio,
Dyrchafwn, datganwn ei glod.

Wrth adael i heddyw fyn'd heibio
Heb ofyn am gymod y nef,
Y Duw sydd mor barod i wrando,
Y fory ni wrendy ein llef.
Gwell rhoddi y rhan sydd anfarwol
I ofal ein Prynwr mewn pryd,
Cawn trwyddo y bywyd trag'wyddol,
Efe yw Iachawdwr y byd.

*Church Hill, O.* JAMES REES.

### ENGLYNION

*I Febyn* THOMAS *a* MARY W. DAVIES, *Plymouth, Pa.* Ganwyd ef Hyd. 21, 1876. Ei enw yw Jonah Davies.

Ei dad a'i fam, dywedaf hyn—a synant
At swynion eu mebyn;
Gwyddis nad oes bris a brŷn
Y byw eurliw lân berlyn.

Dyfod wnelo Jonah Davies—'n wychach
Ac yn uwch ei fawrbris;
Dyfod fel cyn pen deufis,
Ei dda fo bron ddeufwy' bris.

Jonah gall, nid fel Jonah gynt—a fu
Yn y fath geryddwynt,
Pan i Joppa, gyda'r gwynt,
Yr hwyliai ar ei helynt.

Ond un ufudd beunydd yn bod—i Dduw,
Yn ei ddawn yn hynod;
Trysor hwn tra is y rhod
Fo hedd buchedd ddibechod.

GIRALDUS.

## HANESION CARTREFOL.

CAFARFOD CHWE' MISOL Y BEDYDDWYR YN OHIO A GORLLEWINBARTH PA.

Cynaliwyd y cyfarfod uchod yn Niles, O., Tach. 25, 26. Pregethwyd nos Wener, y 24ain, gan Mr. James F. Richards, o Athrofa Lewisburg, a Mr. D. B. Davies, Brookfield. Boreu dydd Sadwrn agorwyd y gynadledd trwy weddi gan y brawd D. Hopkin. Cymerwyd y gadair gan y Parch. D. Probert, Cadeirydd y Gymanfa. Cynaliwyd cynadledd am 2 o'r gloch. Yn ystod y cynadleddau penderfynwyd a ganlyn:

1. Derbyniwyd y Parch. Charles Jones, B. A., Coalburg, a'r Parch. J. T. Jones, Shenandoah, (yn awr Thomastown), i undeb y Gymanfa ar sail eu cymeradwyaeth o Cymanfa Dwyreinbarth Pennsylvania. Hefyd derbyniwyd y Parch. T. M. Matthews, Coalburg, diweddar o Wisconsin, ar sail ei lythyr o Gymanfa Wisconsin.

2. Penderfynwyd, Fod y Parch. D. C. Thomas, Niles, yn cael ei dderbyn i'n plith fel gweinidog rheolaidd.

3. Derbyniwyd cais eglwys Brookfield, am ganiatâd i ordeinio y brawd D. B. Davies; a phenderfynwyd yn unfrydol anog y frawdoliaeth i ordeinio y brawd i gyflawn waith y weinidogaeth, ar sail galwad eglwys Brookfield.

4. Penderfynwyd anog eglwys Niles a'i gweinidog, y Parch. D. C. Thomas, i wneyd pob ymdrech i ymryddhau oddiwrth y ddyled sydd ar y capel; ac hefyd taer erfynir ar i'r holl eglwysi gydgynorthwyo trwy gyfranu pan dueddir y Parch. D. C. Thomas i dalu ymweliad ar ei daith gasglyddol.

5. Gelwir sylw yr eglwysi at yr hen frawd a thad, D. Jenkins, Hubbard, gan eu hanog i'w gynorthwyo yn ei henaint a'i angen.

Nos Sadwrn, am 6, dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. T. Thomas, Sharon, a phregethodd y Parch. T. M. Matthews a J. W. James.

Boreu y Sabboth, dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. Charles Jones, a phregethodd y Parch. E. Morddal Evans a J. T. Jones, Thomastown.

Am 2 o'r gloch dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. D. Probert, a phregethodd y Parchn. T. Thomas, Sharon, Charles Jones, (Saesneg), a D. Jenkins.

Nos Sabboth, am 6, dechreuwyd gan y Parch. D. Jenkins, a phregethodd y Parchn. E. Morddal Evans, Charles Jones, a D. Probert.

Nos Lun, dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. D. C. Thomas, a phregethodd y Parchn. Charles Jones a J. T. Jones, Thomastown.

Cafwyd cynulleidfaoedd lluosog, a disgynai y gwlith yn ehelaeth i lawr. Tangnefedd a chydweithrediad yn y cynadleddau, a gwenau y Nef ar y moddion cyhoeddus. Hyderwn y

bydd i Dduw Rhagluniaeth dalu i bobl garedig Niles am y mawr garedigrwydd a ddangoswyd yn nghanol marweidd-dra masnach; a chan hyderu hefyd y bydd i Dduw gras fendithio y pregethu fel y blodeua yr achos da yn Niles eto fel palmwydden.

*Paris, O.* E. M. EVANS, *Ysg.*

---

NEW CAMBRIA, MO.

Mae y Bedyddwyr Cymreig wedi ail gychwyn yr achos crefyddol yn y lle lle hwn eto. Corphorwyd yr eglwys ar y cyntaf, ar y 9fed o Awst, 1868, yn ysgoldy y dref; rhif yr aelodau y pryd hwnw oedd 19; pregethodd y Parch-edigion canlynol ar yr achlysur: J. P. Mc Adams, Muzzle Fork; James a Joseph Lingo, y tri yna yn Saesneg, a'r Parch John T. Williams, T. C., New Cambria, yn Gymraeg. Gan nad oedd un gweinidog Cymreig i'w gael o hyd gafael, bu raid i'r eglwys gymeryd Sais i'w bugeilio, sef Mr. Joseph Lingo; bu yn gweinidogaethu yma am tua blwyddyn, yna symudodd yn mhellach i'r De, a rhoddodd yr eglwys i fyny, am fod y ffordd yn rhy bell; hefyd bu farw rhai o'r aelodau, a symudodd eraill oddiyma, fel nad oedd ond ychydig erbyn hyn wedi eu gadael yn weddill, ac aeth y rhai hyny yn rhy ddigalon i gynal moddion cyhoeddus cyson, ond cadwem gymundeb yn awr ac eilwaith pan ddelai rhyw weinidog o hyd gafael, a byddai rhai hefyd yn myned yn achlysurol i gymuno i Bevier.

Y cyntaf a fu yn bedyddio yma yn mysg y Cymry, oedd y Parch. J. P. Harries (Ieuan Ddu), Nanticoke; yn niwedd y flwyddyn 1867, bedyddiodd ddau, ond nid oedd eglwys gan y Bed-yddwyr yma y pryd hwnw.

Y cyntaf a fu yma yn bedyddio wedi corpholiad yr eglwys, oedd y Parch. James Rees, o Dawn; bedyddiodd ef ddwy chwaer ieuanc o'r ysgol Sab-bathol, yn mis Gorphenaf 1870, a chawsant eu derbyn i gymundeb yr un dydd. Yn nesaf wedi hyny a fu yn pregethu a bedyddio, oedd y diweddar Barch. Shadrach James, Bevier, Tach. 23, 1873; bedyddiodd ef un. Bu Mr. James yn pregethu yma amryw weith-iau yr amser hyny, a gwnaeth ef ei oreu i gasglu yr eglwys at eu gilydd a chynal moddion cyhoeddus bob Sabbath; a deuai ef bob mis atom i weinyddu cym-undeb. Ond gan fod yr ysgrifenydd yn myned am dro i Gymru y gauaf hwnw, rhoddwyd cynyg Mr. James heibio ar hyny o bryd. Tua gwyliau'r Nadolig 1875, daeth y Parch. Jonathan Miles Jones, o Dawn yma, ac arosodd am ychydig wythnosau, a bu yn preg-ethu o dy i dy ar hyd y gymydogaeth. Dydd Sabbath, Ionawr 9, 1876, preg-ethodd y boren a'r hwyr yn nhy y brawd Mr. Daniel Owens, Maesybedd; cynaliwyd cyfeillach nos dranoeth yn yr un lle, pryd y penderfynwyd yn un-frydol i ail gychwyn yn rheolaidd. Fel y nodwyd yn barod, daeth tri o newydd atom i'r gyfeillach; a boreu Sabbath, Ebrill yr 2il, daeth y diwedd-ar Barch. John W. Thomas, Bevier i fedyddio y tri; yr un dydd hefyd urddwyd dau i'r swydd ddiaconaidd, sef Dl. Owens, Maesybedd, a'r ysgrif-enydd. Trwy farwolaeth Mr. Thomas, Bevier, cawsom ein hymddifadu eto o weinidog, hyd oni ddaeth y Parch. Samuel C. Pierce, o Viena, Ohio, atom yn mis Medi diweddaf. Cafodd alwad gan eglwys Bevier, a chan yr eglwys hon hefyd, dechreuodd ar ei weini-dogaeth gyda ni yr 22ain o Hydref. Cafodd y fraint o fedyddio dau ar gych-wyniad ei weinidogaeth. Yr Arglwydd a'i gwnelo yn fendith yn ein plith, i hwylyso yr achos crefyddol i fyned yn y blaen. Rhif yr aelodau yw 18; mae Ysgol Sabbathol dra blodeuog yma hefyd, ond bechan yw, ond mae gobaith i'r "fechan fyned yn fil, a'r wael yn genedl gref." B. PRICE.

---

ATHROFA LEWISBURG.

Y mae gwobrwyon yn cael eu rhoddi yn flynyddol gan y Parch. John M. Finn, o Philadelphia, i'r ddau fyfyriwr blaenaf yn eu dosbarth mewn paroto-adaeth addysgiadol i fyned i'r coleg, ac y mae wedi bod yn ymdrechfa galed rhwng y Cymry a'r Americaniaid am y gwobrwyon hyn yn ystod y ddwy flyn-edd ddiweddaf. Eleni, fel y mae yn ddywenydd genyf hysbysu, dau Gymro

a gawsant y fuddugoliaeth. Rhoddwyd y wobr flaenaf i Mr. D. H. Evans, Plymouth, yr hon oedd "*History of Painters of all Schools, by Louis Viardort and other Writers;*" ac hefyd llyfr arall, "*The Sylvan Year and the Unknown River, by Philip Gilbert Hamerton.*" Yr ail wobr a roddwyd i Mr. Thos. L. Lewis, o St. Nicholas, yr hon oedd "*Hand-Book of Architectural Styles, Translated from Rossen-Garten, by W. Collett Sandars.*" Dyma yr unig ddosbarth, y mae'n debyg, yn yr hwn y mae dau Gymro wedi enill y cyfryw wobrwyon. Diau y bydd yn dda gan gyfeillion y dynion ieuainc hyn wybod am eu llwyddiant.—*T. P. Morgan.*

O. Y. *Mr. Gol.*—Yr wyf, dros y bechgyn Cymreig sydd yma, yn ogystal a fy hunan, yn dymuno arnoch i dderbyn ein diolchgarwch gwresocaf am eich haelfrydedd a'ch caredigrwydd yn anfon yn rhad i ni y WAWR. Yr ydym wedi derbyn y rhifyn diweddaf, yn yr hwn yr ydym wedi cael y fraint o ddarllen erthyglau gwir goeth ac addysgiadol. Dymunwn oll fywyd ac iechyd i'r golygydd, a llwyddiant eang ar ei lafur pwysig.

---

CHURCH HILL.

Mae eglwys Fedyddiedig y lle hwn wedi rhoddi galwad i'r brawd ieuanc gobeithiol James Richards, o Goleg Lewisburgh, i ddyfod i'w bugeilio, ac y mae yntau wedi ateb yn gadarnhaol. Bydd yn dechreu ar ei lafur yma y Sul cyntaf yn y flwyddyn 1877. Mae yn pregethu yma yn bresenol, a da genym allu dweyd, gyda boddlonrwydd mawr. Ni wyddis eto pa bryd y cymer yr ordeiniad le; cewch air ar ol hyny.—*D. T. Griffiths.*

---

*BEDYDDIWYD—*

Yn Parsons, Pa., Tach. 19, bedyddiwyd un chwaer, gan y Parch. D. T. Phillips, gweinidog.

Yn Providence, Pa., Rhag. 17, bedyddiwyd tri, gan y Parch. Ebenezer Edwards, Wilkesbarre.

Yn Summit Hill, Pa., Rhag. 17, 1876, bedyddiwyd dwy chwaer, gan y Parch. B. James.

Yn Plymouth, Pa., Hydref 29, 1876, bedyddiwyd dwy chwaer, ac adferwyd un. Rhag. 17, bedyddiwyd pedwar ac adferwyd pump; ac y mae un eto o flaen y frawdoliaeth yn aros am yr un fraint.—*Edward Jenkins.*

Yn Kingston, Pa., Rhag. 17, 1876, bedyddiwyd pedwar o bersonau, gan y Parch. James R. Price. Darllenwyd a gweddiwyd ar lan y dwfr gan yr hybarch dad Theophilus Jones, o Wilkesbarre. Yr oedd yr hin yn oer, a gorfuwyd tori yr iâ cyn cael lle cyfleus i'w "cydgladdu gyda Christ yn y bedydd," eto teimlai y rhai a fedyddiwyd yn gysurus iawn wrth ufuddhau i orchymyn Pen Mawr yr eglwys. Y mae yr achos da mewn cyflwr dymunol yn ein plith, argoelion amlwg fod Ysbryd y gras yn gweithredu yn achubol yn y lle.—*Bedyddiwr.*

---

*GANWYD—*

Yn Upper Lehigh, Pa., Tachwedd 23, 1876, mab i David S. Jones a'i briod. Gelwir ei enw yn Hugh.

Dan wenau hael y nefoedd wen
 Dymunaf iddo fod,
Ac iddo ef boed Iesu'n ben,
 Tra byddo is y rhod;
A phan y delo ef i'r fan
 Sy'n derfyn bywyd brau,
Ei wylio wnelo engyl nef,
 A'i ddwyn i'r nef yn glau.

R. THOMAS.

---

*PRIODWYD—*

Tach. 20fed, gan y Parch. James R. Price, Mr. David Griffiths a Miss Elizabeth Williams, y ddau o Kingston, Pa.

Curo yn mhorth teml cariad—oedd ef
 Yn ddwys am agoriad;
A Dewi ga'dd wrandawiad
 O wir serch gan y ferch fâd,

Rhag. 9, yn Kingston, Pa., gan y Parch. James R. Price, Mr. John Fletcher a Miss Ann Lloyd. Hir oes i'r ddau mewn hapusrwydd a chariad.

*BU FARW—*

Yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., Medi 14, 1876, yn 79 mlwydd oed, yr hen frawd anwyl Stephen James. Yr oedd yr ymadawedig yn enedigol o blwyf Castell Henry, Sir Benfro, D. C. Yr oedd yn hen filwr ffyddlon yn myddin y Gwaredwr. Gwnaeth broffes gyhoeddus o Iesu Grist er's tua 41 o flynyddoedd yn ol. Bedyddiwyd ef gan y diweddar Barch. John James, Casmael. Daeth i'r wlad hon yn y fl. 1849, a bu yn y cylchoedd hyn oddiar hyny hyd ei farwolaeth. Dilynai yr alwedigaeth amaethyddol. Yr oedd yn cael ei nodweddu gan ddiniweidrwydd, hynawsedd a charedigrwydd. Fel aelod eglwysig yr oedd yn ostyngedig, yn hawdd ei drin a dichlynaidd. Er's blynyddau yr oedd yn lled ffaeledig a bron yn ddall; ond enynfa o'r ysgyfaint achosodd ei farwolaeth. Bu yn hynod foddlon a diolchgar yn ei gystudd, ac ymorphwysai ar aberth y Ceidwad am fywyd tragywyddol, hyd yr awr olaf yn y byd hwn, a chredwn ei fod wedi cael diangfa i fyd annhraethol well na hwn. Claddwyd ef yn barchus yn mynwent Ebenezer, sef capel y Bedyddwyr yn y lle hwn.

Gwasanaethwyd yn yr angladd gan yr ysgrifenydd. Gadawodd ein brawd weddw oedranus ac amryw blant, a chylch eang o berthynasau i alaru ar ei ol.—*W. M. Evans.*

Tach. 3, 1876, yn Mahanoy City, Mr. William T. Edwards, yn 25 ml. a saith mis oed. Cafodd yr ymadawedig gystudd maith; bu yn gorwedd am tua deg mis. Mae yn anhawdd penderfynu beth oedd ei ddolur. Galwyd ato amryw feddygon medrus, ond amrywient yn eu barn parthed ei anhwylder. Ond er y nychdod mawr a'r arteithiau chwerw, dyoddefodd y cwbl yn dawel a boddlawn hyd y diwedd. Yr oedd ein cyfaill ieuainc yn fab i'r weddw, Mary T. Edwards, o'r lle hwn, gynt o Minersville, lle y claddodd ei hanwyl briod er's wyth mlynedd yn ol, yr hyn oedd yn golled fawr iawn i'r teulu; a dyma un arall tebyg, i'r un teulu. Mae y golled i'r teulu yn hynod fawr pan ystyrir y gwahanol rinweddau a nodweddent ei fywyd. Arferai fywyd moesol a diargyhoedd; ac er ei fod yn ieuanc, gwyliai ar symudiadau y plant ag oedd ieuangach nag ef, a cheryddai hwy yn dirion am eu cam-ymddygiadau. Mewn gair, yr oedd yn dad i'r amddifaid; felly nid rhyfedd fod yma deimlad galarus am ei golli. Da genym allu barnu ei fod ef wedi newid er ei well; gadawodd dystiolaeth gadarn ar ei ol ei fod ef a'r Gwaredwr ar amodau dedwyddlawn â'u gilydd. Cludwyd ei gorph tua Minersville ar y 5ed, gan dyrfa luosog, pryd y dodwyd ef yn yr un bedd a'i anwyl dad, mewn gobaith y ca ran yn adgyfodiad y rhai cyfiawn. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd.—*W. D. Thomas.*

Rhagfyr 12, 1876, yn Parsons, Pa., Daniel, mab ieuangaf yr hybarch Enoch Rees, yn 18 mlwydd oed. Bedyddiwyd ef pan yn dra ieuanc gan y Parch. Emanuel Lewis, Llandysil. Yr oedd fel crefyddwr yn esiampl i'w gyd-ieuenctyd, ec fel cymydog yn cael ei barchu gan yr ardalyddion yn gyffredinol. Teimlir colled neillduol ar ei ol. Nawdd y nef ar y teulu galarus, a choded Duw lawer o'r un nodwedd a'r brawd ymadawedig. Gweinyddwyd yn yr angladd gan ei weinidog, y Parch. D. T. Phillips, oddiar Gen. 45 : 28.—*D. T. P.*

Tach. 30, 1876, yn Summit Hill, Pa., Daniel B. Evans, yn 37 mlwydd oed, o'r darfodedigaeth. Ganwyd ef yn agos i Llanymddyfri, D. C., ac oddiyno symudodd y teulu i Cwmdar, Aberdâr, Sir Forganwg. Bedyddiwyd ef, a derbyniwyd ef yn aelod gan y Parch. B. Evans, yn Trecynon, pan oedd tua 13 oed. Daeth i'r America tua deng mlynedd yn ol. Yr oedd ein brawd yn ffyddlon hyd y gallodd gyda'r achos yma, yn Summit Hill, ac hyderwn fod marw yn elw iddo. Gadawodd weddw a phlant bychain ar ei ol. Boed i'r Arglwydd yn ei ragluniaeth fod yn dyner o honynt. Prydnawn dydd Sul, Rhag. 2, daeth torf luosog yn nghyd i'w angladd. Gwein-

yddwyd yn ei angladd gan y Parch. B. James, ac am 6 yn yr hwyr traddododd bregeth angladdol ar ei ol.—*Cyfaill.*

Tach. 8, 1876, yn Thomastown, O., bu farw Mrs. Rachel Davies, yn 74 ml. oed. Claddwyd hi yr 11eg, yn Middlebury, yn ymyl ei phriod, John Davies, yr hwn a gladdwyd tua phedair blynedd yn ol.

Ganwyd hi yn Llangyfelach, D. C. Symudodd ei rhieni i Ferthyr Tydfil pan oedd hi yn bedair blwydd oed. Bedyddiwyd hi a'i phriod yr un Sabboth, yn Caersalem, Dowlais, gan yr anfarwol hybarch W. Davies, y gweinidog, yn y flwyddyn 1838. Yn mhen ychydig amser wedi eu derbyn yn aelodau o'r eglwys uchod, neillduwyd hwy yn nghyd ag eraill gan yr eglwys i ddechreu achos i'r Bedyddwyr yn Pen-y-darren, a dyna ddechreu yr achos yn Elim, Penydarren. Buont yno yn aelodau hyd y flwyddyn 1865, pan y symudasant fel teulu i America, i le a elwir Talmage, yn Ohio. Buont yno yn aros am tua phum' mis, pan y symudasant i Fank Brewsters; ac yn fuan wedi iddynt sefydlu yno, dechreuasant achos i'r Bedyddwyr. Cynaliasant y cyfarfodydd yn nhy Samuel Powell, yr hwn hefyd sydd yn ei fedd er's rhai blynyddau bellach. Yr oedd mab iddynt wedi dechreu pregethu yn yr Hen Wlad, felly yr oedd efe yn pregethu iddynt yn awr ac eilwaith, yr hwn sydd yn awr yn weinidog parchus a chymeradwy gyda'r Saeson yn Camden, Ohio. O'r teulu yma y tarddodd eglwys y Bedyddwyr sydd yn Thomastown, O., yn awr. Felly gwelir fod y wael wedi dyfod yn genedl gref erbyn hyn. Gadawodd ein hanwyl chwaer dri o blant i alaru ar ei hol, sef dau fab a merch, John a Jonathan (sef y Parch. Jonathan Davies, Camden, Ohio), a Catherine. Gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parch. J. T. Jones, gweinidog presenol y Bedyddwyr yn Thomastown, O.

Gadawodd ein hanwyl chwaer dystiolaeth dda ar ol. Yr oedd yn credu yn ddiysgog yn ngallu a ffyddlondeb y Gwaredwr i'w dwyn yn ddiogel i'r hafan dymunol.—*E. Richards.*

Y DIWEDDAR JOHN HUGHES, MARCY.

Y mae coffadwriaeth y dyn da yn hirbarhaol; trosglwyddir ei enw parchus, ei gymeriad sanctaidd, a'i fywyd llafurus a defnyddiol, i lawr i oesoedd dyfodol, gan gael eu darllen yn felus, eu hedmygu, a'u hefelychu gan Gristionogion yn mhen blynyddoedd ac oesoedd ar ol iddo gael ei gladdu. Y mae'r brawd anwyl uchod, yr hwn oedd adnabyddus i lawer o weinidogion y Bedyddwyr, ac eraill, yn mhell ac yn agos, wedi marw er's rhai blynyddau, bellach, ond gan na ymddangosodd mwy o'i hanes, na rhyw grybwylliad am ei farwolaeth ar y pryd yn y wasg Gymreig, nid ydyw eto yn rhy ddiweddar i roddi ychydig grybwyllion am dano o flaen derbynwyr y WAWR. Yr ydoedd fel dyn, Cristion, a phregethwr yr efengyl, yn teilyngu hyn oddiar law ei frodyr. A chan nad oes neb wedi ymgymeryd â'r gorchwyl, ymdrechaf fi wneyd hyny, yn ol fy ngwybodaeth am dano.

Mab ydoedd i John a Catherine Hughes ei wraig, o'r Garn, G. C., ac yno y ganwyd ef yn y flwyddyn 1797. Yr oedd ei rieni yn ddynion crefyddol iawn, a'i dad, os nad wyf wedi fy ngham-hysbysu, yn bregethwr cymeradwy gyda'r Bedyddwyr. Cafodd gwrthddrych ein sylwadau ei argyhoeddi am ei gyflwr ysbrydol, pan oedd tuag un ar bymtheg oed, a bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd, gan yr Hybarch Mr. Jones o'r Drefnewydd, pryd yr ymunodd a'r eglwys yn y Garn. Dechreuodd arfer ei ddawn i bregethu pan yn bedair ar hugain oed, a pharhaodd i fod yn ddefnyddiol yn y gwaith da hwnw yn y Garn, a'r eglwysi cylchynol, nes iddo ymfudo i'r wlad hon yn y flwyddyn 1830. Wedi tirio yn y byd newydd, arosodd am tua blwyddyn yn Efrog Newydd, gan bregethu i'r Cymry yn y lle. Oddiyno symudodd i Steuben, yn sir Oneida, lle y gwasanaethodd i'r eglwys am tua dwy flynedd, ac aeth oddiyno i South Trenton, yn yr un sir, a bu yn pregethu yno hefyd, am tua dwy flynedd arall. Yn yr amser hyn gwelodd fod maes mawr agored yn

Marcy, ar y cyffiniau, ac yno y troes ei wyneb, gan wneyd gwaith cenadwr ffyddlon. Bu yn pregethu o dy i dy am gryn amser, gyda chryn raddau o lwyddiant. Yr oedd y trigolion yno yr amser hwnw yn wasgaredig, a'r Bedyddwyr heb wneyd nemawr i ddim ymdrech i daenu eu hegwyddorion yn eu plith; ond aeth y brawd Hughes a'r efengyl iddynt, a bu ei ymdrechion yn eu plith mor llwyddianus, nes y daeth galwad yn fuan am addoldy. Ymgymerodd ein brawd a'r gorchwyl pwysig o gael un; cymerodd y cyfrifoldeb arno ei hun, a bu yn llafurio yn galed a ffyddlon, o dy i dy, o eglwys i i eglwys, ac o gymydogaeth i gymydogaeth, er cael arian i dalu am dano. O'r diwedd gorphenwyd yr adeilad, a chasglwyd y praidd gwasgaredig yn nghyd i'r un gorlan. Cynyddodd yr eglwys yn raddol, nes y daeth cyn hir yn ddigon cref i gynal gweinidogaeth reolaidd; a chan nad oedd y brawd Hughes, rywfodd, erioed wedi ei neillduo i gyflawn waith y weinidogaeth, yr oedd yn rhaid i'r frawdoliaeth edrych allan am weinidog ordeiniedig. Nid wyf yn cofio yn dda ar hyn o bryd pwy oedd ei gweinidog cyntaf; ond gwn fod yr Hybarch James Harris, gynt o'r Tabor, sir Benfro, a thad yr enwogion J. P. ac Alfred Harris, wedi bod yno am flynyddau, yn dderbyniol, gweithgar a llwyddianus, nes iddo yntau gael ei gasglu at ei dadau, mewn oedran teg. Yr oedd, yn nghof yr ysgrifenydd, eglwys fach go lewyrchus yn Marcy, ond trwy symudiadau, trwy farwolaethau, a thrwy lawer o wahanol bethau eraill, aeth y gorlan hon yn rhy analluog i gynal gweinidog, a'r canlyniad anocheladwy fu iddi cyn hir orfod cau y drysau. Ond nis medraf edrych ar y weithred hon—yn gystal ac amgylchiadau cyffelyb, rai blynyddau wedi'n, mewn ardal arall yn yr un sir—ond ffrwyth difaterwch, ac anffyddlondeb anesgusodol, mewn ardal lle mae cymaint o Gymry, ac yn yr hon mae eglwysi perthynol i enwadau eraill yn dwyn profion o lwyddiant a chynydd parhaus. Bydd cyfrifoldeb Bedyddwyr Oneida yn annrhaethol fawr am sefyllfa bresenol achos Mab Duw yn y sir.

Oherwydd rhyw achos anhysbus i'r ysgrifenydd, fe symudodd ein brawd ei aelodaeth i'r eglwys yn ninas Utica, gyda pha un y treuliodd y gweddill o'i fywyd. Parhaodd i bregethu hefyd i'r eglwys hon, ac i eglwysi eraill yn y sir, yn achlysurol, fel y byddai galwad am dano, tra y daliodd ei nerth corphorol. Ond, fel yr oedd ei flynyddau yn amlhau, pallodd hwn yn raddol, a dadfeiliodd pabell frau ein brawd, nes ei gwneyd yn anghymwys i'r *tenant* i aros ynddi yn hwy, ac felly, ar y 24ain o Fai 1872, efe a ymadawodd i ogoniant. Claddwyd y gweddillion yn barchus, a daeth torf luosog o'i gymydogion a'i hen ffryndiau i'w hebrwng i'r bedd. Pregethwyd ar yr achlysur yn effeithiol a dylanwadol gan Cefni, gweinidog yr eglwys yn Utica ar y pryd. Fel hyn, ar lethrau Marcy, y terfynwyd yr yrfa a ddechreuodd yn sir Gaernarfon.

Yr oedd y brawd Hughes yn briod tyner, yn dad gofalus, darbodus, a serchog; yn gymydog tawel a heddychol; yn Gristion uwchlaw amheuaeth, ac yn bregethwr Ysgrythyrol a chymeradwy yn eglwysi ei enwad. Er nad oedd, efallai, yn feddianol ar yr hyn a elwir yn gyffredin yn "ddoniau hyawdl," llais peraidd a chanwr hwyliog, eto yr oedd yn bregethwr sylweddol. 'Roedd ei bregethau yn oleu, cryno, medrus a chwbl Ysgrythyrol. Ar ol cael y pleser o'i wrando ddegau o weithiau, fy marn onest yw, ei fod yn bregethwr call, adeiladol a gwir dda, i'r rhai oedd yn caru gwrando gwirioneddau mawrion Cristionogaeth. A chan fy mod wedi treulio blynyddau yn yr un eglwys ag ef, gallaf hefyd ddwyn tystiolaeth i ffaith bwysig arall, na chefais i erioed ddim gofid, oddiwrth un ymddygiad angharedig o'i eiddo, ond buom byw gyda'n gilydd heb air croes erioed rhyngom. Dyna fwy nas gall llawer gweinidog ddyweyd am bregethwr cynorthwyol, yn neillduol pan fyddo llawer o wahaniaeth yn yr oedran a'r sefyllfa fydol.

Yr oedd wedi darllen llawer yn yr

Ysgrythyrau, ac wedi eu darllen yn fanwl, a gwnelai hyn yn sylfaen ei holl ddyledswyddau Cristionogol. Yr oedd felly yn dwyn mawr sêl dros egwyddorion proffesedig, a neillduol ei enwad. Bu fyw a marw yn Fedyddiwr selog a thrwyadl, ac nid oedd unrhyw ddyfais, ymresymiad na dylanwad dynol yn ddigon cryf i'w siglo, na gwneyd iddo *gompromisio* ei egwyddorion; yr hyn sy'n esiampl deilwng o efelychiad yn yr amser llithrig hwn. Gwnaeth broffes dda yn moreu ei ddyddiau, a chadwodd y ffydd hyd fachludiad haul bywyd, gan huno yn ei breichiau.

Gadawodd ar ei ol weddw oedranus, ond gadawodd hi mewn amgylchiadau tymorol, uwchlaw angen. Ond gwell na hyny, er mor dda yw, mae ganddi obaith da am "olud gwell yn nghadw yn y nefoedd." Y mae yn aros hefyd deulu lluosog o blant, ond oll wedi tyfu fyny, ac wedi ymsefydlu yn y byd, gan droi mewn cylchoedd anrhydeddus, ac un o honynt yn aelod hardd a defnyddiol o'r eglwys Gymreig yn Utica. Bydded Duw y tad, yn Dduw i'r holl deulu byth, yw dymuniad calon

EDRED.

JOSEPH HARRISON, MINERSVILLE, PA.

*Yr hwn a fu farw Medi 4ydd, 1876, yn 65ain mlwydd oed.*

Fel hyn, ymadaw yn feunyddiol y mae ein cyfeillion, gan ddiengyd draw a gadael y byd a'i ofidiau i ni, y rhai yn fuan a rodiwn yr un llwybr. Ond, er y medr angau dynu yn rhydd y babell, tori'r undeb agosaf, gwasgaru y perthynasau agosaf; eto ni all daflu ei leni duon dros goffadwriaeth ein cyfeillion, oblegid y mae yn ngallu y byw i drosglwyddo hyn y naill i'r llall, er cysur ac adeiladaeth i grefydd.

Ganwyd Joseph Harrison yn ardal Cwmnedd, Ebrill yr 8fed, 1811. Enwau ei rieni ydoedd Morgan a Margaret Harrison. Cyn ei fod wedi cyrhaedd ei wyth mlwydd oed, gwelodd osod pridd ar wyneb y ddau. Wedi hyn dygwyd ef i Dowlais, lle y bu am rai blynyddau dan ofal ei ewythr. Ac er ei fod y pryd hwnw yn amddifad o addysgiadau da yr aelwyd, eto gofalwyd am dano gan Ysgol Sul y lle a nodwyd, fel y dysgwyd ef i ddarllen yr Ysgrythyr Lân. Yn mhen amryw flynyddau, symudodd i Sirhowy ger Tredegar, lle hefyd yr ymunodd mewn glan briodas ag Ann Williams, merch Howel Williams (y crydd), ar Dwyn y Star.

Yr oedd y brawd Harrison yn un o'r rhai a deithiodd o Sirhowy i Dredegar yn gyson, i wrandaw yr anfarwol J. P. Davies; a than un o bregethau diweddaf y gweinidog da uchod i Iesu Grist y cafodd ei glwyfo, fel nad oedd a allai ei feddyginiaethu ond gwaed y bendigedig Iesu. Aeth i'r gyfeillach y cyfle cyntaf wedi claddu Mrs. Davies; a bedyddiwyd ef yn fuan wed'yn, gan y Parch. William Thomas, Blaenau. Buan wed'yn y cawn y brawd yn mhlith eraill o'r ffyddloniaid yn gweithio'n ddifefl yn ngwinllan Crist, yn nghychwyniad a chynydd Eglwys Fedyddiedig Carmel, Shirowy. Neillduwyd ef gan yr eglwys yn athraw y canu, yr hon swydd a gyflawnodd er clod iddo'i hun, a budd yr eglwys. Yn ystod ei gysylltiad ag eglwys a chôr Carmel, Sirhowy, efe a enillodd yr oll o honynt i'w garu yn fawr.

Yn y flwyddyn 1850, ymfudodd ef a'i deulu i'r wlad hon, ac ymsefydlodd yn Minersville. Cofus gan yr ysgrifenydd y nos Sul fyth-gofiadwy hono, pan y ffarweliodd yr eglwys, y côr ac yntau a'u gilydd, canys nid oedd yno lygaid sych yn y dorf; yr oedd yr hen Gynddelw anwyl (coffa da am dano) yn teimlo'n rhyfedd. Ond er i Carmel Sishowy, gael colled ar ei ol, bu yn gaffaeliad pwysig i eglwys Minersville; oblegid ymdaflodd i'r un cylch o wasanaeth cysegredig yma, a gwnaeth ei ôl ar y canu'n fuan; a pharhaodd yn ei swydd fel athraw'r canu yma hyd ei farw. Cafodd y brawd Harrison anffawd drom yn y gwaith glo, tua 13eg o flynyddau yn ol, yr hon a'i hanalluogodd i ddilyn ei alwedlgaeth, effeithiodd yn fawr ar ei iechyd, ac a leihaodd ei ddefnyddioldeb gyda'r canu i raddau, yn ogystal a rhanau eraill o waith y cysegr, o herwydd yr hyn y teimlir yn fawr. Dealler mai nid canwr yn unig oedd y brawd ymadawedig; ond

meddai ar wybodaeth helaeth yn athrawiaethau y Beibl, &c., yr hyn a'i cyfaddasai i fod yn athraw defnyddiol yn yr Ysgol Sabbathol, yn gynghorwr doeth yn y gyfeillach grefyddol. Byddai yn bwyllog i roddi barn ar faterion pwysig, yn amyneddgar i ddyoddef, yn hytrach nag i niweidio neb; ni chlywid gair garw ganddo byth. Byddai yn hynod ddylanwadol ar weddi; yr oedd crynodeb ei faterion, taerineb ei ddymuniadau, dwyseiddiwch ei deimlad, yn nghyda swyn ei bwyslais, yn peri rhyw gyffro byw yn yr oedfa, gan adael yr argraff ei fod fel Jacob, yn ymdrechu gyda Duw. Ond heddyw y mae efe wedi gorphen gweddio, ac wedi ymuno a'r dorf waredigol yn y nef, i ganu yr anthem dragywyddol. Yr oedd ei ffydd yn gref, a'i obaith yn ddisigl, yn yr hwn yr oedd wedi ei broffesu yn Geidwad er's 44 mlynedd. Teimlai i ddyweyd, "Iesu anwyl, cymer fi adre yn awr," ac yn mhen ychydig eiliadau cafodd ei ddymuniad, ar y dydd y crybwyllwd uchod. Gadawodd weddw oedranus, a thri o feibion i alaru ar ei ol. Bu iddynt wyth o blant, ond nid oes ond Margaret, Llywelyn, a Joseph yn fyw, ac oll wedi priodi. Cafodd gladdedigaeth anrhydeddus, cynulliad lluosog—cantorion y gwahanol enwadau yn uno i ganu o'r ty i fynwent y Bedyddwyr, lle y daearwyd y babell briddlyd, i orphwys hyd fore mawr y codi.

Teimla yr eglwys golled fawr, gan ei fod yn ddiacon, ac yn frawd mor broffiadol. Bydded i Dduw o'i ras lenwi y bwlch yn fuan trwy alw arall i'w le. Gweinyddwyd yn yr angladd gan yr ysgrifenydd, a phregethwyd ar yr achlysur y Sabbath canlynol, oddiwrth Dad. xiv. 13, "Gwyn fyd y meirw," &c. Byddwn ninau barod, fel y caffom fynedfa helaeth i mewn i'r trigfanau dedwydd. J. R. JONES.

---

GOFYNIAD.—*Mr. Gol.* — Carwn yn fawr gael eglurhad drwy gyfrwng y WAWR gan rai o'ch gohebwyr, ar y gwahaniaeth sydd rhwng gorchymyn moesol a gorchymyn pendant. Goleu ar hyn rydd foddlonrwydd i lawer heblaw J. R. JONES.

*Coal Creek, East Tenn.*

---

# ADOLYGIAD Y WASG.

## YR ELFEN GYMREIG YN HANES BEDYDDWYR PENNSYLVANIA.

GAN Y PARCH. ALLEN J. MORTON.

Nid gwaith hawdd yw gwneyd llyfr o unrhyw faint yn werth ei ddarllen, a gwaith anhawddach yw cael gan y cyffredin ei ddarllen a'i fyfyrio. Cafodd yr awdwr gryn waith yn nghyfansoddiad y traethawd hwn, ond mae yn amheus a ydyw wedi cael y sylw dyladwy, er fod tua thair blynedd er ei ymddangosiad.

Amcan ein nodiadau ni yma fydd galw sylw at ei gynwysiad, canys credwn ei fod yn cyfiawn haeddu hyn oddiar ein llaw. Y ffordd a gymerwn i wneyd hyn fydd rhoddi amlinelliad o faterion y llyfr, yr hyn a fydd yn gynorthwy, efallai, i rai i'w ddarllen drostynt eu hunain, a'i ddeall yn well:

Mae ein bywyd crefyddol yn adlewyrchu ol a blaen—yn ol er anrhydedd neu warth—yn mlaen er addysg neu ocheliad.

Ein blaenafiaid yn nodedig fel ffyddloniaid Crist—mewn purdeb barn a buchedd—mewn ymdrechion i helaethu terfynau Cristionogaeth. Yn gyffredin nid oeddynt enwog fel llenorion a gwladeiddwyr, eto cododd o'u plith Bunyan a Milton, dau ddyn enwocaf eu hoes fel y cyfryw.

Ceir mai dyoddefwyr sydd yn amlygu teilyngdod—eu plant yn byw ar eu golud moesol, a'u hwyrion yn ymlygru ac yn gwastraffu; felly yma, rhagoriaethau ein blaenafiaid yn Lloegr ac America yn gwanhau yn eu disgynyddion, a bron yn anweledig ynom ni.

Gwroldeb ac eofndra y Bedyddwyr cyntefig wedi hawlio lle iddynt yn mhlith llwythau Israel. Dim un diwygiad pwysig yn gymdeithasol, gwladyddol a chrefyddol wedi cymeryd lle, heb fod ganddynt hwy ran helaeth ynddo.

Y Llywydd Grant a ddywed, mai y rhai gorthrymedig a laddasant orthrwm. Ysgafnhaodd gweinidog Cymreig o ymyl Philadelphia ar orthrwm Undodwr. Rhoes Roger Williams fodolaeth i freinlen fawr rhyddid crefyddol. Purdeb yn dal ei chwilio. Ymchwiliadau i ddeddfau rhyddfrydig wedi bod bob amser yn fanteisiol i'w llwyddiant. Bu ein tadau yn ffyddlon yn ngwyneb erledigaeth, carchar, ac angeu. A gawn ni eu diystyru drwy ymollwng gydag ysbryd cyfeiliornus yr oes, a gam-enwir yn Rhyddfrydig!!

Pwy na charai fod yn llinach John Bunyan a Vavassor Powell? Pwy nad arswydai fod yn perthyn i'w herlidwyr? Pwy a betrusai ymrestru gydag Obadiah Holmes yn hytrach na chyda'i ffiangellwyr? Cosbi am olygiadau ac

arferion crefyddol yn hen beth! Ein cyndeidiau yn Nghymru yn gadarn yn y ffydd, ac yn ymdrechol o'i phlaid. Cyfundraethau crefyddol a raid wrth ategion, i syrthio; y gwirionedd sydd i sefyll. Yr hen Fedyddwyr yn prophwydo llwyddiant mawr i'w hegwyddorion; hyn yn profi eu hawydd, eu sêl a'u didwylledd.

Y Bedyddwyr yn Holland yn gwrthod cynorthwy arianol y Llywodraeth. Pan wrthodwyd hyn, yr oedd deugain o Fedyddwyr yn aelodau seneddol ar y pryd. Ein henafiaid yn hael i'w gilydd a'u gelynion. William Kiffin yn maddeu i'r brenin y swm o £10.000. Yn gwneyd hyn er mwyn rhyddid ei enwad.

*Y Bedyddwyr yn Lloegr—Eu hymddangosiad yn nghymydogaeth yr Olchon yn ansicr.*—Tybir mai cangen oedd eglwys Olchon o hen eglwys Fedyddiedig Hill-cliffe, yn ymyl Warrington, yr hon sydd yn awr yn 500 mlwydd oed.

Robinson, Caergrawnt, yn sicrhau fod eglwys o Fedyddwyr yn Chesterton, Swydd Caergrawnt, yn 1417.

Ni chredwn mewn "olyniaeth apostolaidd," eto gwell genym i'r Bedyddwyr Seisnig fod wedi tarddu o'r dderwen fawr Waldensaidd nag oddiwrth un cyfenwad arall y cyfnod.

Mae y Bedyddwyr Cymreig wedi, ac yn meddu dylanwad mawr yn America, yn enwedig yn Pennsylvania, yn y De ac yn y Gorllewin. Un Thomas Dugan, o Rhode Island, bregethodd yr efengyl gyntaf yn Pennsylvania. I hen eglwys Pennepeck y perthyn yr anrhydedd o fod yr eglwys reolaidd gyntaf yn y Dalaeth.

Aelodau o eglwys Fedyddiedig Nantmêl, Sir Faesyfed, fuont yn offerynol i dori sylfaen, ac i oruchadeiladu ar sail yr apostolion a'r prophwydi, yn Nhrefedigaeth William Penn. Daethant drosodd yno yn 1686. Eu henwau oeddynt John a George Eaton, Jane Eaton, Sarah Eaton, a Samuel Jones.

(*I'w orphen yn ein nesaf*).

Y MAYFLOWER, A CHANIADAU ERAILL, *Gan y* PARCH. T. C. EDWARDS (*Cynonfardd*). *Argraffwyd gan* T. J. GRIFFITHS, *Utica*, 1877.

"Y Mayflower" ydoedd destyn Cadair Eisteddfod Genedlaethol Hyde Park, Medi 15, 1875. Gwobr, Cadair yr Eisteddfod, a $40.00. Yn gydymgeisydd ar y testyn yr oedd John Robinson (*Celyddon*). Dyfarnodd y beirniad, y Parch. John Gordon Jones, M. A., y wobr i Cynonfardd. Mae Celyddon wedi dangos anfoddlonrwydd nid bychan i'r dyfarniad, ac oblegid hyny wedi cyhoeddi ei Bryddest yn y *Drych*, yn fuan ar ol yr Eisteddfod; ac yn rhifyn 42 o'r flwyddyn hon, yn yr un papyr, mae wedi cyhoeddi "nodion ar Bryddest John Alden (*Cynonfardd*), yn nghyd a dyfyniadau o honi." Mae ei nodiadau yn dechreu fel hyn; "Y mae tegwch yn galw yn uchel am i'r Bryddest gafodd—nid enillodd—y wobr yn Eisteddfod Hyde Park, gael ei chyhoeddi. Cawsom ni gyfleusdra i'w darllen yn ddiweddar, a mawr oedd ein siomedigaeth. Synem at dylodi llenyddol y gerdd; ac yr ydym yn gorfod ysgrifenu na ddarllenasom erioed bryddest fuddugol—os gellir galw *ballad* ddiurddas yn bryddest hefyd—mor amddifad o anhebgorion cyfansoddiad barddol o'r radd flaenaf, mor rhyddiaethol ei harddull, mor anghelfydd ac mor amddifad o fonedd awen."

Mae yn diweddu gyda yr ymadroddion cryfion canlynol:

"Yr oedd Eisteddfod Hyde Park yn anrhydedd i'r pwyllgor, i Gymry America, ac i'r genedl Gymreig; eithr y mae y bryddest sydd ger ein bron, pan ystyriom ei bod yn *bryddest gadeiriol*, yn *dd*ianrhydedd i'r pwyllgor, i Gymry America, ac i'r genedl Gymreig. Nid yw yn cynwys mwy nag wyth llinell deilwng o'r bardd addfed; ac wrth ystyried ei meithder yr ydym yn synu na buasai ychwaneg na hyny wedi dianc i fewn yn ddamweiniol, megys heb yn wybod i'r awdwr; ac ymddengys i ni, wrth gydmaru nodiadau ymylddalenol y beirniad a'i feirniadaeth, iddo anghofio y cyfansoddiad gwirioneddol oedd o'i flaen, ac ysgrifenu beirniadaeth ar gyfansoddiad o'i eiddo ei hun. Pryddest farw yw pryddest gadeiriol Eisteddfod Genedlaethol Hyde Park."

Yr ydym wedi darllen y ddwy bryddest yn fanwl, ac y mae yn rhaid i ni addef fod *llawer* o wir, yn ol ein barn ni, yn y "nodiadau," &c. Ni fynem awgrymu nad oes rhai rhagoriaethau yn perthyn i'r gerdd, a rhai teilwng o gyfansoddiad cadeiriol; ond yn sicr ni ellir gochel datgan mai Pryddest anmherffaith, israddol a chyffredin ydyw ar y cyfan.

Yr ydym wedi ein siomi beth yn Cynonfardd fel bardd a llenor; ac nid amheuwn na theimla laweroedd o'i edmygwyr yn gyffelyb ar ol darllen y cyfansoddiad hwn o'i eiddo. Ar wahan oddiwrth *farddoniaeth* y "Mayflower," mae yr iaith, yr arddull, a'r gystrawen yn rhyfeddol o wallus. Er engraifft o aflerwch y cyfansoddiad, gwnawn rai dyfyniadau o'r tudalenau cyntaf:

"Yn dy fynwes oedd
Mynwesau llawn o wreichion nefol dân,
At osod egwyddorion drwg yn fflam."

Yn awr, pa un ai'r "mynwesau" ynte y "gwreichion" nefol dân, oedd i "osod egwyddorion drwg yn fflam?" Ac onid oeddynt yn fflamio gormod yn barod?

"Ni cheisient auraidd lwybrau 'r byd i'w traed."

Pwy oedd y rhai hyn? traed pwy? Yn mha le y mae'r enw neu y rhagenw? Onid "mynwesau" oedd y rhagenw diweddaf?

"Ymgeisient am wneyd rhan o'r ddaear hon
Yn nawddle maethlawn *i wirionedd noeth*."

Onid mwy llednais a phriodol gwirionedd *pur?*

"Ymdrechid rhwymo pawb wrth gyfyng farn
Yr Eglwys Freiniol—fel y rhwymid oen
Wrth gorn yr allor—*a rhaid bod yn fud.*"

Meddai'r Beibl, "Rhwymwch yr aberth wrth *gyrn* yr allor." Mae y berfau "ymdrechid" a "rhwymid" yn y gorphenol; ond mae "*a rhaid bod yn fud*" yn y presenol.

"Eithr wele lwyth o ddewrion wyr y Mayflower."

Y mae dweyd, "Wele *lwyth* o ddewrion wyr," &c., yn swnio yn rhyfedd. A oedd gan y "Mayflower" ychwaneg o'r dewrion hyn?

"Fel hyn, Laswelltyn, rhaid i'th ffurfiau fod,
Fel arall ac fel hyn am hyn a'r llall!"

Nid yr un person sydd yn llefaru yn y ddwy linell uchod, ac eto mae y bardd am i ni ddeall hyny.

"Y 'Tadau Pererinol' oeddynt wyr
Y ffrwythlawn faes—cynyrchent fwy na llon'd
Ysgubor foesol Iago 'r *Teyrn*, a mwy."

Yn y llinellau hyn y mae rhyw ddirgelwch ni. Gellid tybied fod y Tadau Pererinol yn gynyrch rhyw "ffrwythlawn faes," a'u bod hwythau drachefn yn cynyrchu mwy na llon'd *ysgubor foesol* Iago 'r Teyrn, &c.

"Ysgubor foesol!!" Ond tra maent yn *rawn* mewn ysgubor foeso', ceir hwy ar unwaith yn "*ffoi* am nawdd."

"Ac i gyfranu peth i'r *Hollanders!*"

Mae y gwallau yna, a llawer yn ychwaneg, i'w cael ar y tri tudalen cyntaf o'r llyfryn, yr hyn sydd engraifft o'r gweddill o hono.

Y mae gwallau y Bryddest yn ymddangos yn ganlynladau diffyg gofal yn hytrach na diffyg medr, oblegid mae "Y Gwallgofddyn," sydd yn dilyn, yn llawer gwell cyfansoddiad; a gellir dweyd yr un peth am bron yr oll o'r darnau eraill a wnant i fyny y llyfr. Nid amheuwn nad yw Cynonfardd yn fardd awenyddol, yn gystal ag yn ysgolhaig addfed; ond rywfodd nid ymddengys yn flodeuog, nac yn deilwng o hono ei hun, yn y "*Mayflower.*"

## CYMRU.

Drwg genym orfod cofnodi marwolaeth y Parch. Samuel Williams, yr hwn a fu yn weinidog ar eglwys y Bedyddwyr, Hermon, Nantyglo, am 35 mlynedd. Cawsom gyfle i'w adnabod am flynyddoedd, a gallwn dystio na welsom neb yn fwy pur ei fuchedd, efengylaidd ei deimlad, a doeth a gwyliadwrus ei ymddygiad. Yr oedd ei barch yn fawr gan bob enwad. Efengylwr o'r iawn ryw ydoedd. Cafodd wasgfa ysgafn ychydig Sabbothau yn ol, pan yn pregethu yn ei gapel ei hun, ond pregethai yn Nhonyrefail y Sabboth cyntaf yn Tachwedd. Symudodd oddiyno i dreulio ychydig ddyddiau yn Church Farm, Castletown, a phan yno, nos Fercher, Tach. 8, cafodd *apoplectic fit*, a therfynodd yn farwol boreu Gwener canlynol. Dygwyd ef i'w hen gartref i gael ei gladdu, a rhoed ef i orwedd yn y ddaear Tach. 15. Gwr Duw, yn ddiau, roed yn y bedd y diwrnod hwnw.—*Y Wasg.*

Yr oeddym ninau yn adnabod Mr. Williams yn dda. Treuliasom rai blynyddau gerllaw iddo yn y weinidogaeth. Yr oedd ef yn fawr ei barch fel Cristion a phregethwr. Buom yn newid pwlpud ag ef droion. Gweinyddai yn ein hordeiniad yn Risca. Yr ydym yn gwybod fod euw Samuel Williams, Nantyglo, yn berseiniol i lawer yn y Gogledd.—*Gol.*

—Y mae yr hybarch Dr. Thomas, Prif Athraw Coleg y Bedyddwyr yn Mhontypool, wedi rhoddi ei swydd i fyny; ond ar gais pwyllgor y sefydliad, y mae wedi cydsynio i aros yno hyd ddiwedd Mai nesaf.

—Yn gymaint a bod llawer o ymholi am ddyddiau boreuol y diweddar Barch. W. R. Davies, Caersalem, Dowlais, dymunir i'r llinellau canlynol gael ymddangos. Mab oedd y Parch. W. R. Davies i Robert ac Elizabeth Davies, Ynysgainfawr, plwyf Criccieth, Sir Gaernarfon, lle y ganwyd ef Mai 1af, 1798. Pan yn bedair mlwydd oed, symudodd at ei daid a'i nain i'r Gaerddubach, plwyf Llanarmon. Yn mhen tua deng mlynedd aeth i fyw i'r Gaerwen, at ei gefnder, Dewi Wyn. Bedyddiwyd ef gan y Parch. Evan Evans, Mai 12fed, 1815, ac yn mhen llai na blwyddyn wedi ei fedyddiad dechreuodd bregethu. Y man y traddododd ei bregeth gyntaf oedd y Nordd, ty yn Rhoslan; ac er fod y bardd a'r henafiaethydd R. ap Gwilym Ddu yn ei wrando, traddododd ei bregeth yn hwylus a hynod o ddiofn. Wedi treulio yr amser arferol yn Athrofa'r Fenni, ordeiniwyd ef yn weinidog ar eglwys Ebenezer, Dyfed, lle y bu yn llafurus am tua deunaw mlyn-

edd gyda llwyddiant mawr. Wedi hyny symudodd i gymeryd gofal eglwys Caersalem, Dowlais, lle y treuliodd amryw flynyddau yn llwyddianus iawn, a bu farw yn 1849, yn ddeunaw-a-deugain mlwydd oed.—*O Seren Cymru.*

---

## NODION.

—Darllenwn fod Price, Aberdar, ar y ffordd i gael adferiad llwyr i'w iechyd. Dywed ei feddygon ei fod bellach allan o berygl, ac mai ychydig esmwythder yn unig sydd yn angenrheidiol arno er adfeddianu ei alluoedd arferol. Diau y teimla eglwys barchus Calfaria hyfrydwch i ganiatau hyny i'w gweinidog llafurfawr, yr hwn sydd wedi ei gwasanaethu am y cyfnod hir o yn agos i ddeuddeg-ar-hugain o flynyddau, gyda'r fath yni a llwyddiant.

*Remsen, N. Y.*—Cynaliwyd cwrdd mewn cysylltiad a'r "*American Union*" yn y lle hwn ar y 4ydd a'r 5ed o Ragfyr. Pregethodd y Parchn. Edward Roberts, Nova Scotia; John Edred Jones a c E. Edwards, Utica; ac O. F. Parry. Cafwyd cyfarfodydd rhagorol. Mae yr achos yn gwisgo agwedd lewyrchus dan weinidogaeth y Parch. J. Seth Jones.—*Brawd.*

—Ysgrifena Mr. Spurgeon ar y pwnc Dwyreiniol ac Earl Beaconsfield: "Yr wyf yn gweled fod y llywodraeth Dwrcaidd yn tybio gorthrwm, twyll, a chreulondeb, a mathru i lawr bob egwyddor o ryddid; o herwydd hyny yr wyf yn hiraethu am weled gallu y Tyrciaid yn cael ei ddryllio yn ddarnau. Yr wyf yn gobeithio na feiddia y wlad hon fyned i ryfel ar ran y Twrc; ond yr oedd araeth Arglwydd Beaconsfield yn y Mansion House yn herfeiddiad i Rwssia, ac yn profi fod y dyn a fedr siarad yn y fath fodd yn anghymwys i ymddiried iddo dynged y genedl ar y fath amser a hwn."

—Yn Parsons, Pa., hwyr Rhag. 18, cafwyd golygfa nodedig yn nghapel y Bedyddwyr. Yn niwedd cwrdd diwygiadol a gynelid, yn yr hwn yr oedd amryw wrthgilwyr a gwrandawyr yn bresenol, arosodd pob un ar ol yn y gyfeillach. Mae pethau yn edrych yn ffafriol ar ddechreuad gweinidogaeth y brawd gweithgar, Mr. Phillips, yn eu plith.

—Mae addoldy newydd y Bedyddwyr yn Plymouth, Pa., wedi ei orphen. Cawsom yn ddiweddar gyfle i fyned trwyddo i fyny ac i lawr, er cael golwg arno, gyda y brawd anwyl Edward Jenkins, y gweinidog, a gallwn sicrhau darllenwyr y WAWR y dylai yr enwad fod yn falch o'r addoldy hwn, oblegid y mae yn anrhydedd, o ran maint a gwaith, i ni yn y lle. Y mae yr addoldy hwn wedi ei adeiladu yn dda a gorphenedig, os caiff gadwraeth briodol, fel y pery am flynyddau heb eisiau adgyweiriad.

—Yn Utica, N. Y., ar y 25ain o Ragfyr, bu farw y brawd parchus a ffyddlon, Mr. Isaac Thomas, wedi cystudd o amryw fisoedd. Yr oedd ef yn hen ddinesydd yma, ac yr frodor o D. C. Yr oedd ef hefyd yn aelod ffyddlon a haelionus yn yr eglwys Gymreig. Fel hyn mae y frawdoliaeth fechan hon yn cael ei cholledu yn feunyddiol. Bydd Mr. Thomas yn gadael lleoedd gweigion iawn yn yr eglwys, yn gystal ag yn ei deulu, a'i gylch adnabyddus. Bydd cofiant, yn ddiau, yn cael ei ysgrifenu iddo yn fuan..

GWILYM YN CWNI O'I GYSTUDD.

[Ni newidiwn ddim ar y llinellau canlynol, rhag anmharu eu naturioldeb.—GOL.]

Mae Gwilym o'i gystudd yn dyrchafu  
A'i deulu yn iach yn canu  
Mewn tymer dda  
Yn bloeddio Haleluia  
O dan graig o galedion gystuddiau  
A chwal fy nghynawd yn ddarnau  
Ond miloedd o wendidau cymalau!!!

WILLIAM ROBERTS (*Gwilym Teifi*).  
*Coal Valley, Ill.*

—Mae yr Utica *Morning Herald*, yn gystal a phapyrau Gwerinol New York, yn sicrhau mai Hayes sydd wydi ei ethol. Nid yw y Democratiaid yn gyson â hwy eu hunain fel amddiffynwyr Unbenaeth Talaethol, pan yn anfon pwyllgorau i wneyd archwiliadau i'r De.

# Y WAWR.

CYF. I.] CHWEFROR, 1877. [RHIF. II.

## PERFFEITHIAD Y BEIBL.

GAN Y PARCH. ALLEN J. MORTON, (ALWYN TREFOR.)

Ni raid i "werthfawr feibion Seion" ofni fod yn llechu dan y peniad hwn un radd o amheuaeth parth dilysrwydd Gair Duw, nac ychwaith un gronyn o anmharch at hawliau y Llyfr Sanctaidd. Y mae pob peth ag a wyddom ni am dano perthynol i'r ddaear hon, er yn bur yn y cychwyn, wedi ymlygru a chael ei lygru gan yr anwybodus, yr anonest a'r cyfnewidiol. Ac er garwed y gair, nid yw eglwys na gair Duw wedi bod yn eithriad i'r ffaith alarus hon. Gwyddom oll, er pured ei ffynonell, fod y Llyfr Dwyfol wedi colli, lawer gwaith, mewn llawer oes a gwlad, ran neu ranau pwysig o'i ddysgleirdeb cynhenid. Yr oedd y gloewder hwn unwaith, mae'n wir, yn gryf, hardd a ffrwythlon, yn ysbrydolrwydd y prophwyd, ac yn sel, llafur a dyoddefaint yr apostol. Ein cysur heddyw, er hyny, yw y ffaith ei fod yn ymberffeithio, ïe, dywedwn ymberffeithio, oblegid ynddo ei hun yn unig yr erys elfenau ei gywiriad. Yn wir, y mae heddyw fel pren bywiol, yn cyflymu yn ei dyfiant tuag i fyny, er sylweddoli ein gobaith, a hyrwyddo ein haddfedrwydd addawedig. Ymddengys nad oes un ffaith amlycach, h. y., yn ol ein goleuni presenol, na'r ffaith fod ambell i fynach anwybodus, os nid anonest, wedi achlysuro ac achosi dygiad i mewn i gylch yr Ysgrythyr Lân lawer o'r dyryswch a'r cam-ddealltwriaeth, ac o ganlyniad yr ymrafaelio sydd yn y byd heddyw.

Nid angharedigrwydd at y Beibl a'i goleddwyr ydyw canfod, cyfaddef, yn nghyda chyhoeddi y cam-ddarlleniadau aml, os nid pwysig, a'n cyfarfyddant yn y gwahanol gyfieithiadau. Nid dyeithr ydym i'r ffaith fod y dynion fu a llaw yn y gwaith yn agored i gamsyniadau, fel eu holafiaid, eto dylem eu cydnabod fel y rhai nesaf at weision ysbrydoledig y nef. Yr oeddynt yn ddiamheu gyda llaw gref, calon gynes, a phen goleu, yn nghyflawniad eu gwaith dyn-fendithiol. Ymddengys i ni, ar ryw ystyriaethau, fod swydd y dynion a drôent ac a arweinient y ffrwd ddwyfol o'r Hebraeg, o'r Groeg, ac efallai o'r hen Syriaeg, i ieithoedd hen a diweddar y byd, yn gyfochrog os nid yn gyfartal i alwedigaeth prophwyd, a gweinidogaeth apostol. Eto tybiem mai nid rhyfygus yw y datganiad mynych a wneir fod Duw wedi cael ei gamddeall; fod ei eglwys wedi dyoddef, a chael ei harwain i ddyryswch lawer tro, ac ar lawer adeg. Nid amheus genym ydyw y ffaith fod y pechadur newynllyd wedi cael careg yn lle bara, a sarph yn lle y pysgodyn a geisiai, o herwydd fod Gair Duw, yn fynych, yn y cyfieithiad, yn dra gwahanol i'r hyn ydyw, ac ydoedd, yn yr ieithoedd gwreiddiol.

Yn mhellach, ymddengys i ni fod y

Llyfr Dwyfol y peth ydyw heddyw, er cymaint a ddyoddefodd oddiar law ei gyfeillion anwybodus, yn ogystal a'r ystyron cyfeiliornus a roddid iddo gan ei elynion, yn un rheswm mawr er enill y byd i gredu yn ei ddwyfol darddiad, ac i ganfod graslonrwydd ei amcan a'i ddylanwad. Dan yr amgylchiadau hyn, pe buasai yn unig ond dynol, suddasai er ys llawer oes i ddyfnder ebargofiant.

Eto, pan yr ystyriom bob peth, nis gallwn lai na synu fod yr "Hen Lyfr" mor lân ag yw. Ni ddylem synu fod ambell i adnod yn dywell, ambell i *baragraph* yn gymysglyd, ac ambell i air, llinell, ac adnod wedi cael eu gwthio o'u lle yn y Cronicl Dwyfol, a bod eraill wedi cymeryd eu lle. Oni wnaed hyn mewn llawer gwlad ac oes â ffrwyth meddyliau Groegiaid a Lladinwyr enwog? Ac eto perchir a chredir yn arwrgerddi Homer ac eiddo Virgil.

Yn awr ymdrechwn *gyfrif y gwahanol ddarlleniadau a geir yn y testyn gwreiddiol, yn nghyda nodi allan rai engreifftiau a anurddant y cyfieithiadau Cymreig a Seisonig*. Nid rheidiol, feddyliem, argyhoeddi neb ystyriol fod ambell i frycheuyn i'w ganfod, hyd yn nod ar wyneb Haul y Datguddiad.

Yr oedd y dull cyntefig o luosogi y copïau gwreiddiol (er pob ymdrech ddynol i sicrhau purdeb) yn gyfryw ag i wahodd diffygion. Dylid cofio nad oedd un argraffwasg i'w chael yn un man tu allan i China, yn yr oes yr ysgrifenid ac yr adysgrifenid gwahanol ranau Llyfr Duw, ac mai yr unig lwybr agored y pryd hwnw, ar hyd yr hwn yr ymwasgarai y bendithion Beiblaidd oedd lluosogi y copïau. Nid rhyfedd, dan yr amgylchiadau hyn, fod dau air yn ymuno a'u gilydd, fod dwy adnod, yn lle un, yn ymddangos yn y testyn.

Yn ychwanegol at hyn, y mae yn wirionedd poenus fod llawer o'r adysgrifwyr hyn yn orawyddus i wella tipyn ar ambell athrawiaeth, i gywiro ychydig ar ieithwedd ac ystyr geiriau a ddygwyddent fod ar y pryd yn achosi poen i'w lygaid beirniadol. Yn wir, nid ydym ni, yn yr oes grediniol hon, yn rhydd oddiwrth ymyriad olynwyr y dosbarth y cyfeiriwn ato. Oni chwrddasom lawer gwaith â dynion crefyddol (?) yn benderfynol i wrthod y pethau na chyd-redent a'u golygiadau hwy? Oni wadent ddilysrwydd llawer adnod na fedrent hwy amgyffred ei meddwl? Yr oedd y Beibl y pryd hwnw, er hyny, yn dyoddef llawn cymaint, os nid mwy, oddiwrth sêl ac anwybodaeth ei gredinwyr, ag ydoedd oddiwrth olion bysedd twyllodrus dynion drwg, ei elynion gwaethaf. Mynai rhai ddodi adnod yn Marc, am yr unig reswm ei bod eisoes yn Luc. Tybiai eraill fod pob rheswm o'u plaid i wrthod hanes y lladron ar y groes megys ag y cyfleid ef gan un Efengylwr, o herwydd fod ynddo ychwanegiad at y cyfryw hanes fel yr ymddengys mewn Efengyl arall. Fel hyn yr ymddygid tuag at yr Ysgrifau Sanctaidd gan wahanol bersonau, ac er cyrhaedd gwahanol ddybenion.—Rhedai dynion i sefyll yn llwybr y goleuni, ac wrth bob rheswm atalient ei lewyrch; ac o herwydd na phelydrai *trwyddynt* hwy, neu eu gwaith, haerent yn eu copi, neu eu cyfieithiad, nad oedd y cyfryw oleuni yn bodoli o gwbl.

Cydnabyddir yn awr fod rhai pethau yn y ddau Destament ag ydynt yn wir anffodus—nid mân eiriau, cysylltiadau, terfyn-eiriau, neu olion enwau a berfau, ond geiriau mwyaf y grefydd Gristionogol, megys "Duw," a "Mab Duw." Pan y bydd athrawiaethau mawrion y Beibl yn dyfod yn amheus, y mae yn bryd i ni oll i edrych a yw y pethau hyn felly.

Cyfeiriwn at ddwy engraifft yn unig, yn 1 Tim. 3: 16, a Ioan 1: 18. Bernir gan ddosbarth pwysig o feirniaid uniawngred na ddylasai y gair "Duw" fod yn yr engraifft flaenaf, ac y dylasai gymeryd lle y gair "Mab" yn yr engraifft olaf. Gallasai y camsyniadau hyn fod y naill yn fwriadol a'r llall yn anfwriadol; neu gallasai y ddau fod yn hollol anfwriadol. Ymddengys fod y gair *Theos*—Duw—weithiau yn cael ei dalfyru; ysgrifenid ef *Ths*. yn unig; ond cyhyd ag y byddai y llinell fechan yn croesi yr *Th*, deallid mai Duw oedd ei ystyr; ond yr eiliad yr anghofid

croesi y llythyren hon, enciliai dwyfoldeb o'r adnod. Yn awr, yn y testyn diwygiedig—ffrwyth ymchwil a dysg llawer beirniad o fri—ymddengys *Os*, hwn, yn lle *Ths.*; ac os cywir hyn, rhaid darllen, "Mawr yw dirgelwch duwioldeb yr *hwn* a ymddangosodd yn y cnawd."

Y mae yn anhawdd iawn i'r credadyn, hyd yn nod dan orfodaeth beirniadol, fel yr uchod, i ollwng o'i afael yr hen esboniad cysurlawn a ganlynai yr adnod hon. Nid ydym yn cofio bob amser mai nid profi hyd yn nod Dduwdod y Gwaredwr ydyw amcan pob adnod.

Yn awr edrychwn ar Ioan 1 : 18. "Ni welodd neb Dduw erioed; ond yr unig-anedig Fab," &c. Taera llawer o brif ddysgedigion y byd heddyw, y dylid darllen y gair Duw (*Theos*) yn lle y gair Fab (*Uios*) yn yr adnod hon. Os cywir hyn, yna ymddengys ystyr hollol newydd a phwysig yn yr ymadrodd dan sylw. Ymddengys hefyd mai y darlleniad newydd hwn yw yr un a gymeradwyir gan y dysgedigion sydd yn bresenol yn cyfieithu Gair Duw. Eu darlleniad hwy ydyw, . . . "Yr unig *anedig Dduw*, yr hwn sydd yn mynwes y Tad," &c.

Yn mhellach, gwyr pob myfyriwr Beiblaidd fod y miloedd gwelliantau a gynygir o bryd i bryd gan y credinwyr mwyaf dysgedig a Christionogol, yn awgrymu y ffaith fod moddion, cyfryngau, a chyfleusderau er sicrhau testyn gwreiddiol gwell, yn nghyda chyfieithiad mwy cywir o'r Gair Dwyfol, yn arwydd amlwg a dymunol o ddynesiad adeg pan y deallir yr Ysgrythyrau yn llawer gwell nag y deallid hwy hyd yma. Calondid mawr yn ddiau i ni yw y ffaith fod dysgeidiaeth gysegredig a hunan-ymwadol yr oes hon wedi ymwirfoddoli i'r gwasanaeth—ymberffeithiad Gair Duw. Y tebygolrwydd presenol yw, y bendithir ni â thestyn Beiblaidd mor gywir o'r braidd ag ydoedd yn nyddiau yr apostolion. Meddienir, neu yn fwy cywir, derbynir y fendith anmhrisiadwy hon trwy dair ffordd—mewn tri dull.

1. *Trwy gymharu y copiau hynaf a'u gilydd.* Y mae dysgedigion yn rhanu y dosbarth cyntaf hwn fel y canlyn:—Copïau y prif-lythyrenau, ac eiddo y llaw-ysgrif redegog (*uncial and cursive MSS.*) Dyddia y copïau blaenaf, o'r bedwaredd ganrif hyd y nawfed ganrif. Dyddia yr ail ddosbarth o'r wythfed hyd yr eilfed-ganrif-ar-bymtheg. Ni raid dweyd mai y copïau hynaf ydyw y rhai mwyaf eu hawdurdod. Esgora y gwaith o gymharu y rhai hyn â'u gilydd ar destyn rhyfeddol o ddilwgr.

2. *Trwy wneyd cyfarchwiliad gonest a deallus o'r holl gyfieithiadau boreuaf a'u gilydd, yn ngoleuni y testyn diwygiedig.* Diau y daw cywirdeb o'r hen iaith Syriaidd, a goleuni newydd o eiddo Samaria; a rhesymol dysgwyl ychwanegiad at y gwirionedd o'r Coptaeg neu yr Aiphtaeg henafol; a bydd pawb, o "Dad y Diwygiad" i lawr hyd atom ni, yn credu fod y ddau gyfieithiad Lladinaidd yn sicr o'u cynorthwyo i ddyfod i'r iawn allan o fagl y diafol. Ca yr Ellmyniaid, yn ddiau, hyd dranc, yn eu hiaith, lawer o help i afael yn y gwirionedd, ac i ochelyd y cyfeiliornus, yn hen gyfieithiad parchus Ulfilas, Esgob y Gothiaid.

3. *Trwy gasglu allan o weithiau yr hen Dadau Eglwysig*, eiddo Palestine, yr Aipht, Tir Groeg, ac eiddo Rhufain, *bob adnod, llinell, gair*, (neu *aralleiriad* o ryw ranau o'r Beibl,) *dyfynedig o'r Ysgrifau Sanctaidd*, neu gynyrchiedig ganddynt. Ceir fod y rhai hyn mor lluosog ac mor gywir, fel ag y tybia aml i ysgolhaig Beiblaidd, y gellid yn hawdd grynhoi bron yr oll o'r Testament Newydd o'r gwahanol ddyfyniadau, heb drethu na chopi na chyfieithiad. Ond pan y cydmerir yr holl Ysgrythyrau gwasgaredig hyn â'r cyfieithiadau hynaf o'r cwbl, a'r holl lawysgyifau o fri sydd yn awr yn gyrhaeddadwy, onid oes genym le cryf i gredu y gwelir y Llyfr Glan yn rhydd oddiwrth bob brycheuyn a chrychni yn y man? Dywed un awdwr, mai y Beibl sydd i gymeryd gofal o'r byd, ac nid y byd sydd i gymeryd gofal o'r Beibl. Pan y mae pethau mwyaf daear ac amser yn cyfnewid er gwaeth, ac yn cilio ymaith, gellir dweyd gyda boddineb

annherfynol, "Gair ein Duw ni a saif byth."

## ALLWEDD I EPISTOL CYNTAF IOAN.*

GAN Y PARCH. THEOPHILUS JONES, WILKES-BARRE, PA.

Er iawn ddeall yr epistol hwn, dylid gwybod beth oedd achlysur a dyben ei ysgrifeniad. Yr oedd Ioan wedi byw yn ddigon hir i ganfod cyfeiliornadau dinystriol wedi eu dwyn i mewn i'r eglwysi gan wahanol bersonau a honent eu bod hwy fel dysgawdwyr yn deall yr efengyl yn well na'r apostolion; ac yn gwadu rhai o'r prif wirioneddau a ddysgid ganddynt fel athrawiaethau sylfaenol Cristionogaeth. Er fod yr amrywiol gyfeiliornwyr yn hollol wrthwynebol y naill i'r llall, eto yr oeddynt oll yn taro yn erbyn rhyw ranau o Gristionogaeth ag oedd yn ei hysbeilio o'i sylwedd, yn gwrthweithio ei dylanwad, ac yn ei gwneyd yn ddiwerth yn ngolwg y rhai a'i proffesent. Yr enw rydd Ioan arnynt yw anghrist. Yr oedd y rhai hyn yn cael yr enw Gnostics. Ystyr y gair Gnostics yw bod yn hyddysg mewn gwybodaeth; tardda o'r gair *gnosticism*—"i wybod." Rhoddid yr enw Gnostics i amryw sectau a geisient uno athroniaeth baganaidd a'r gyfundraeth Gristionogol. Yr oedd eu hathrawiaethau yn gwahaniaethu, fel y mae yn anhawdd rhoddi darnodiad o'u hegwyddorion yn gyffredinol. Yr oeddent yn tynu allan eu daliadau, medd rhai, o'r athrawiaeth Alexandraidd; yn ol eraill, oddiwrth yr Iuddewon neu oddiwrth y Dwyreinwyr (*Orientals*). Nid oes ond ychydig o amheuaeth na ddarfu iddynt gymeryd rhyw gymaint oddiwrth yr oll o'r rhai hyn i gyfansoddi y gyfundraeth Gnosticaidd, rhai o'r sectau yn cymeryd eu syniadau oddiwrth un, ac eraill oddiwrth un arall; ac fe ddichon rhai oddiwrth y tri a nodwyd. Mae yr apostol Paul, hyd yn nod yn nghyfnod ei weinidogaeth ef yn achwyn am rai yn ceisio impio syniadau Iuddewaidd a phaganaidd i'r ffydd Gristionogol, fel mae Gnosticiaeth yn cael ei olrhain yn aml yn ol i'r cyfnod boreuol hwn. Nid oes yr amheuaeth leiaf na ddaeth y sect hon yn ddylanwadol iawn yn yr eglwysi ar ol y cyfnod hwn, a bod eu golygiadau wedi cario dylanwad mawr ar dduwinyddiaeth Gristionogol yn yr oesoedd dilynol. Un o'u hegwyddorion pwysicaf oedd eu hanallu i roddi cyfrif am fodolaeth drwg yn y byd. Nid oeddynt yn gallu gweled pa fodd yr oedd Duw holl-ddoeth a hollalluog a pherffaith ddaionus yn gallu caniatau i ddrwg fodoli, ac yn tynu y casgliad fod mater neu ddefnydd ynddo ei hun yn cynwys yr egwyddor o ddrwg. Fel hyn daethant i'r penderfyniad nad oedd dim a wnelai Duw â chreadigaeth a chynaliad y byd, ond ei fod wedi creu dau fôd a elwid yn *Æons*, neu ddeilliadau (*emanations*) oddiwrth ba rai y tarddodd *Æons* eraill, ac eraill oddiwrth y rhai hyn, yn llu aneirif, yr olaf yn y raddfa yn llai perffaith na'r rhai oedd o'r blaen. Un o'r *Æons* hyn oedd Demiurgus, yr hwn a greodd y byd yma, ac oedd Duw yr Hen Destament. Er mwyn gwrthweithio y drwg oedd yn bodoli, anfonodd Duw un o'r *Æons* uchaf—Crist—i'r byd, i adferu dyn i wybodaeth am Dduw. Nid oedd ganddynt ond golygiadau isel am Grist, a gwadent iddo ddyoddef marwolaeth, neu ei fod mewn *gwirionedd* wedi myned trwy y dyoddefiadau a briodolid iddo. Nid oeddent yn credu yn adgyfodiad y corph, am eu bod yn ei ystyried yn rhy anmhur i gyflwr uwch na'r un presenol. Yr oedd eu credo yn dy-

---

*** MR. GOL.—Yr wyf fi wedi cymeryd ychydig o drafferth i gasglu y nodion hyn, a'u gosod mor drefnus ag y medrwn I, gan obeithio y byddant o ryw gymaint o gynorthwy i'r cyfryw o ddarllenwyr y WAWR ag nad oes ganddynt gyfle i chwilio i mewn i hanes y cyfeiliornwyr a nodwn, yr hyn sydd wir reidiol er deall y cyfeiriadau a wneir atynt yn Epistol Cyntaf Ioan. Os bydd y llith hon yn dderbyniol, dichon yr anfonaf ychydig nodion eto ar ryw ran o'r Epistol lle mae cyfeiriadau at yr hereticiaid a nodwn. T. J.**

**Wel, da iawn; yr ydym yn ddiolchgar iawn yn derbyn eich addewid; credwn fod erthyglau o'r natur hyn yn ddyddorol ac adeiliadol iawn.—GOL.**

lanwadu ar eu bywyd mewn dwy ffordd dra gwahanol; yr oedd yn arwain rhai i farwhau y cnawd, er eu haddasu i ddal cymundeb agosach â Duw; ac yn arwain eraill i roddi ffordd i bob nwyd a theimlad pechadurus, er dangos eu hollol ddibrisdod a'u hanmharch o'r corph. Yn mhen amser hwy a ymranasant i amryw ddosbarthiadau, yn gwahaniaethu yn fawr y naill oddiwrth y llall mewn ffydd ac ymarferiad. Yn mhlith y sectau Gnosticaidd gellir nodi y Nicolaiaid, Saturiniaid, Cerinthiaid, Basilidiaid, Valentiniaid, Ophtiaid, Carbocratiaid, Antilactiaid, Docetiaid, Marcioniaid, Tationiaid, a Bardesoniaid.

Diflanodd y gyfundraeth Gnosticaidd tua'r bumed ganrif. Yr oedd un blaid o'r athrawon hereticaidd hyn ag oedd wedi ymlusgo i'r eglwysi Cristionogol, yn gweled yn yr Ysgrythyrau fod y Messiah yn cael ei alw yn *Dduw*, ac yn *Fab Duw*, ac yn meddwl fod yn annichonadwy iddo i ymddangos yn y cnawd, neu ddyfod yn ddyn. Yn y dyb hon yr oedd y gau athrawon hyn yn dilyn yr archoffeiriaid, henuriaid, a'r ysgrifenyddion Iuddewig, y rhai wedi ymgynull mewn llawn gyngor, yn unfrydol a gondemniasant yr Iesu am ei fod ef, ac ef yn ddyn, yn cablu, gan ei alw ei hun yn *Fab Duw*. Ar y penderfyniad hwn yr oedd un blaid o'r gau athrawon yn sylfaenu ei chyfeiliornad am berson Crist; oblegid tra yr oeddent yn cyfaddef ei ddwyfoliaeth, yr oeddent yn gwadu ei ddynoliaeth, hyny yw gwirioneddolrwydd (*reality*) ei ymddangosiad yn y cnawd (gwel 1 Ioan 4 : 2, 3, a 5 : 1), gan ddadleu nad oedd ei gorph ond yn unig mewn ymddangosiad, ac nad oedd wedi dyoddef a marw, na chyflawni dim o'r pethau a briodolid iddo yn yr efengyl. Addefent, mae yn wir, ei fod yn ymddangosiadol yn gwneuthur y pethau hyn, yr hyn, yn eu tyb hwy, oedd yn ddigon o sail i'r efengylwyr eu hadrodd fel wedi eu cyflawni; ond yn sylweddol (*real*), fel ffeithiau, yr oeddent yn eu hollol wadu, yn fwy arbenig gan eu bod yn haeru mai mewn ymddangosiad yn unig y bu efe farw. Gwadent iddo wneyd Iawn dros bechodau y byd trwy farw (pen. 2 : 2), ac na ddarfu iddo gyfodi o feirw ac esgyn i'r nefoedd, ond mai ffug a dychymyg oedd y cwbl. Dyna oedd golygiad Basilides, yn nghyda holl hereticiaid yr oes gyntaf. Galwai y tadau y rhai hyn yn Docetiaid, a Ioan yn anghristiaid, am eu bod yn gwrthwynebu yr athrawiaeth o ymddangosiad Crist yn y cnawd. Trwy gymeryd arnynt mai yn ymddangosiadol yn unig y bu Crist farw, yr oedd y Docetiaid am osgoi y dirmyg o groeshoeliad eu Meistr, ac hefyd i ryddhau eu hunain oddiwrth y rhwymedigaeth o ddyoddef yn achos eu crefydd, yr hyn oedd yn cael ei gymhell arnynt gan orchymyn ac esiampl Crist. Ar y llaw arall, yr oedd y Cerinthiaid a'r Ebioniaid wedi mabwysiadu golygiadau gyda golwg ar berson Crist, er yn hollol groes i'r uchod, eto yn gyfartal gyfeiliornus. Addefent wirionedd yr hyn a ysgrifenwyd yn yr efengylau am Grist, ond fel llawer yn ein dyddiau ni, ni addefent ddim fel gwirionedd nad allent hwy ei amgyffred; gwadent fod Iesu yn *Fab Duw*, neu yn berson dwyfol. Yr oedd y dosbarth hwn o hereticiaid yn dal fod *y Crist* wedi myned i'r Iesu ar ei fedyddiad, yn ffurf colomen, ac wedi ehedeg ymaith oddiwrtho cyn iddo ddyoddef a marw, ond fod *y Crist* wedi cael ei adferu iddo ar ol ei adgyfodiad, ac am hyny ei fod yn wrthddrych teilwng o barch ac anrhydedd dwyfol. Rhwng y ddau ddosbarth hyn, y naill yn gwadu ei dduwdod a'r llall ei ddyndod, gellir dyweyd yn iaith un arall, "Hwy a ddygasant fy Arglwydd i ymaith, ac nis gwn pa le y dodasant ef."

Mae yr Apostol yn yr epistol hwn er cadarnhau y Cristionogion yn y gwirionedd am berson a swyddau Crist, yn ysgrifenu yn erbyn y ddau gyfeiliornad, un yn gwadu duwdod, a'r llall ddyndod Iesu, Mab Duw. Mae hyn yn profi fod yr apostolion yn credu ac yn dysgu yr athrawiaeth o briodol dduwdod a gwir ddyndod y Cyfryngwr, ac yn ystyried fod gwadu y naill neu y llall yn wadu Cristionogaeth ei hun. Mae dosbarth arall o gyfeiliorn-

wyr yn cael son am danynt, ac yn cael eu gwrthwynebu yn yr epistol hwn, sef y Nicolaiaid. (Dat. 2 : 15.) Yr oedd y cyn-Gristionogion yn galw y rhai hyn yn Gnosticiaid. Yr oedd y blaid hon wedi cam-ddeall geiriau Crist, yn Ioan 17 : 3, "Hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod di, yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonaist di, Iesu Grist." Yr oeddent yn dal nad oedd dim yn angenrheidiol er cael bywyd tragywyddol ond gwybodaeth o Dduw, a'i Fab ef, Iesu Grist. Gyda y rhai hyn gwybodaeth oedd y rhinwedd uchaf, os nad yr unig rinwedd a berthynai i Gristionogaeth, a bod y sawl a feddai y wybodaeth am Dduw a Christ yn sicr o iachawdwriaeth, pa fath bynag a fyddai eu cymeriad a'u hymddygiad. Am fod Paul yn ei epistolau yn dysgu yr athrawiaeth o gyfiawnhad trwy ffydd, heb weithredoedd y ddeddf, yr oedd y dosbarth hwn yn haeru fod Crist wedi rhyddhau dyn oddiwrth rwymedigaeth i fyw wrth y ddeddf fel rheol bywyd; o ganlyniad, o dan oruchwyliaeth yr efengyl nad oedd credinwyr dan un math o ddeddf, ac am hyny nad oeddent yn pechu pa beth bynag a gyflawnent yn erbyn cyfraith Duw a dyn. Yn ol eu barn hwy, y cwbl oedd yn ofynol er cael eu cadw oedd aros yn y wybodaeth a'r broffes o Gristionogaeth. Yr oedd o Nicolaiaid yn dra awyddus i daenu yr athrawiaeth hon i'r dyben o ddenu dynion ffol i ddyfod yn ddysgyblion iddynt er mwyn cael arian ganddynt i'w gwario ar eu nwydau llygredig eu hunain. Mae ein Harglwydd yn ei epistol at eglwys Pergamos, yn gosod allan y Nicolaiaid yn dal athrawiaeth Balaam, yr hwn a garodd wobr anghyfiawnder, ac a ddysgodd Balac i osod tramgwydd o flaen meibion Israel i fwyta yr hyn a aberthid i eilunod, ac i beri i Israel i odinebu. Yr oedd yr athrawon annuwiol hyn, tra yn dal yr athrawiaeth fwyaf llygredig, yn honi eu bod dan ddwyfol ysbrydoliaeth; am hyny mae ein Harglwydd yn rhoddi yr enw Jezebel, gwraig Ahab, iddynt, am fod hono yn arfer swyngyfaredd a dewiniaeth, ac yn ymhyfrydu pleidio a chynal prophwydi Baal. Er mor ddrwg oedd y ddau gyfeiliornad eraill o eiddo y Docetiaid a'r Cerinthiaid, mae yr olaf wedi bod o lawer mwy o niwed i grefydd bur ac ymarferol, oddiar sefydliad Cristionogaeth hyd yn bresenol, oblegid ei fod yn arwain ei phroffeswyr i feddwl y gallant foddloni Duw, bod yn gymeradwy gydag ef yma, a chael eu cadw yn y diwedd i fywyd tragywyddol, tra mae eu bywyd yn gwrthdaro pob egwyddor mewn Cristionogaeth, yn gwrthdaro dylanwad yr efengyl ar y byd, yn caledu calonau y proffeswyr diffrwyth hyn sydd ddwywaith yn farw, a'u sawyr llygredig yn peri i eraill gilio draw, a gwrthod crefydd bur yr efengyl, oblegid ymddygiadau annheilwng a bywyd halogedig proffeswyr yn dwyn yr un nodweddau a'r Nicolaiaid, y rhai yr oedd ein Ceidwad sanctaidd yn eu casâu.

---

## YR ARGLWYDD FEL GWLITH I ISRAEL.

(Hosea xiv. 5.)

---

GAN Y PARCH. E. JENKINS, PLYMOUTH, PA.

---

*Y Gwlith yn Arwyddlun o'r Presenoldeb Dwyfol—Cyfatebiaethau o'r Gwlith yn dangos yr hyn yw Duw i'w Bobl.*

Megys ag y mae y gwlith yn cael ei ffurfio o'r dwfr puraf yn y byd, felly y mae y presenoldeb dwyfol i'r saint y fendith buraf a'r ddedwyddaf o holl fendithion y byd a'r bywyd hwn. Gall amgylchiadau y byd gyfryngu a chymysgu llawer bendith dda a gwerthfawr rhwng llaw y rhoddwr a'r derbyniwr; ond dyma fendith nad all neb gyfryngu rhwng y pleidiau; y mae yn bur yn ei holl gysylltiadau sanctaidd; gwyneb siriol y tad a llygad ffydd y plentyn sydd yma yn unig—bendith bur ydyw hon. Hefyd, megys mai yn ystod y nos, a phan fyddo y nos yn oer y syrthia fwyaf o wlith, felly y mae presenoldeb wyneb Duw yn fwyaf gwerthfawr yn adegau nosawl amgylchiadau bywyd, pan fyddo gwyneb pawb a phobpeth wedi methu, cymylau duon

amgylchiadau mewn siomedigaethau yn llenwi yr holl awyrgylch allanol, er hyny presenoldeb gwyneb grasol Duw a rydd fodd i'r plant ganu yn y gorthrymderau. "Er i'r ffigysbren na flodeuo, ac na byddo ffrwyth ar y gwinwydd, a'r maesydd ni roddant fwyd, torir ymaith y praidd o'r gorlan, ac na bydd eidion yn y beudai, eto mi a lawenychaf yn yr Arglwydd, byddaf hyfryd yn Nuw fy iachawdwriaeth." Gall plant ffydd ganu yn y nos; derbyniant fwy o sirioldeb ei wyneb tadol ef yn y y nos; ymafla llaw a bysedd ffydd yn nhelyn moliant, a chwareuant mewn hwyl nefolaidd pan fyddo holl adar cerddorol llwyddiant bydol wedi tewi yn mudanrwydd siomiant ac aflwydd, canys bydd gwenau siriol wyneb Duw fel gwlith i'w holl blant yn y nos.

Eto, megys y disgyn y gwlith pan fyddo yr awyrgylch yn glir a digwmwl, felly y mae presenoldeb yr Arglwydd i'w blant; rhaid cael yr awyrgylch fewnol ysbrydol yn glir; rhaid chwythu ymaith gymylau duon anghrediniaeth ag anadl ffydd, a chariad a gobaith yn gwyntyllu o bob tu iddi hi, er ei chynorthwyo i yru ffwrdd yr adar duon, er mwynhau awyr glir; o herwydd nid yw yr Arglwydd yn foddlawn i ddim gyfryngu rhwng ei wenau a chalonau y plant, a fydd yn atal i'r gwlith nefol i ddisgyn arnynt; am hyny efelycher Abraham ffyddiog, yr hwn a darfodd yr adar a ddisgynent ar ei offrwm.

Dyna bwynt arall eto yn hanes y gwlith, mae bob amser yn disgyn pan fyddo yr awyrgylch yn dawel; gyra y gwyntoedd a'r tymestloedd, a'r mellt a'r taranau, a phob cynhyrfiad awyrol, y gwlith ymaith; ni ddisgyn yr un deigryn yn y fath hinsawdd; felly presenoldeb wyneb yr Arglwydd, rhaid iddo gael dystawrwydd heddychol yn nghynteddau mewnol yr ysbryd. Megys y cymerwyd y tri apostol i fynydd uchel er canfod gogoniant y gweddnewidiad ar gorph y Messiah; rhaid oedd eu dwyn o waelodion cymoedd cyffrous amgylchiadau y werin, i ben mynydd uchel, allan o swn aflafar y *rabble*, ac yno mewn tawelwch unigol ysbrydol gyda'u Meistr mawr yr agorwyd o'u blaen olygfa ardderchog o'r sefyllfa ddyfodol, pan y daeth dau ymwelydd o'r byd ysbrydol i'r cyfarfod, a gweddnewidiwyd corph y Ceidwad, yn gynddrych byw o flaen eu llygaid ysbrydol o'r corph gogoneddus sydd ganddo yn y nef yn awr. Yr un fath y bu ar y dysgybl anwyl yn ynys Patmos; yr oedd efe yn yr Ysbryd ar ddydd yr Arglwydd, pryd y calodd y weledigaeth ryfedd. Felly eto, er mwynhau presenoldeb gras Duw, yr hwn sydd fel gwlith i'r enaid, rhaid meddianu tawelwch heddychol â Duw yn ei Fab, canys ni ddisgyna yr un fendith ar etifeddiaeth y saint os na fydd yr awyrgylch yn dawel, mewn cydgordiad â meddwl ac â theimlad y nefoedd; yna os daw y meddwl i'w iawn le, bydd Duw fel gwlith i Israel.

Dyna beth arall eto yn hanes y gwlith; ar y gwrthddrychau iselaf, agosaf at y ddaear, y disgyna efe fwyaf. Felly presenoldeb Duw a'i holl fendithion achubol, ar y rhai iselaf yn nyffryn gostyngeiddrwydd ac hunan-ymwadiad y syrthia fwyaf o'r gwlith hwn, "Canys ei gyfrinach ef sydd gyda y rhai gostyngedig o ysbryd—Gwyn eu byd y tlodion yn yr ysbryd, canys eiddynt yw teyrnas nefoedd—Ond y balch a ffieiddia efe o hirbell." Na syner ac na ryfedder dim wrth ganfod ambell i ddyn tal, uchelfrydig ei ysbryd, ac mor syched a hen esgyrn sychion dyffryn Ezeciel gynt, o herwydd nid ar y coed uchel y disgyna y gwlith yn doreithiog, ond ar flodeuyn bach y dydd, yr hwn sydd ar lawr yn mreichiau ei hen fam y ddaear. Canfyddir hwn a'i lygaid llon yn llawn o ddagrau y gwlith auraidd, yn cyfarch ei dad, yr haul, pan godo o ystafell dlos ei orphwysfa; felly y mae disgyniad y gwlith ysbrydol ar yr hwn sydd ar lawr yn isel gyda ei Dduw—yn ei feddwl, nid yn ei gorph yn unig; yn ei deimlad, nid yn ei amgylchiadau yn unig; yn ei galon, ac nid yn ffurfiol ac allanol. "Ac ar hwn," medd Duw, "yr edrychaf, sef ar y truan a'r cystuddiedig o ysbryd, a'r hwn sydd yn crynu wrth fy ngair i." Dyma y rhai a dderbyniant y gwlith nefol o groth y ddwyfol wawr.

Ffaith arall yn hanes y gwlith, yw ei ddefnyddioldeb, er tyfu, cynyddu, lluosogi, ffrwythloni, addfedu, a harddu yr holl fyd llysieuol. Felly y mae y presenoldeb dwyfol yn anhebgorol er cynydd, lluosogiad, ffrwythloniad, addfedrwydd a harddwch y bywyd ysbrydol; o herwydd heb hwn sycha, crina, dadfeilia, gwywa a llosga pob rhinwedd Cristionogol yn llwch dadfeiliedig ar allorau ein gwasanaethgarwch crefyddol; elem fel gwlad Israel yn amser y tair blynedd a haner o sychder; teyrnasai malldod a newyn tragywyddol yn ein holl amgylchoedd ysbrydol; difrodid y cwbl yn lludw gan wyntoedd ystormus pechodau ac arferion llygredig ein hoes. Am hyny llefwn yn daer ar yr addawwr dwyfol am gyflawniad helaethach o'i wlith nefol, fel na chrinom yn ei winllan yn y dyddiau sychion a difaol hyn. Terfynaf gan ddymuno i holl dderbynwyr y WAWR brofi yn helaeth o rinweddau y gwlith ysbrydol yn haeddiant Iesu Grist. Amen.

---

## "NA CHYFFYRDDWCH A'M RHAI ENEINIOG."*

Diacon Lee oedd ddyn tawel, caredig, ffyddlawn, a grasol, at yr hwn un diwrnod y daeth aelod crefyddol, uchel-geisiol, anesmwyth, a bydol, yr hwn oedd yn ymdrechu creu anesmwythder yn yr eglwys, gyda'r amcan o erlid y pregethwr ymaith.

Daeth y diacon i gyfarfod ei ymwelydd, yr hwn ar ol y cyfarchiadau arferol, a ddechreuodd gwyno am sefyllfa isel yr achos, gan ymholi beth oedd yr achos nad oedd diwygiad yn yr eglwys wedi bod er's dwy neu dair blynedd.

"Yn awr, a wyddoch chwi paham y mae pethau mor farwaidd yma? A allwch chwi ddweyd?" oedd ei daer ymholiad.

Nid oedd y diacon yn barod i roddi ei farn; ac ar ol ychydig o adfeddwl, a atebodd yn benderfynol, "Na, nis gwn."

"A ydych yn tybied fod yr aelodau mewn ysbryd a gweithgarwch?"

"Na, nid wyf yn tybied."

"A ydych yn tybied fod y gweinidog yn teimlo pwysigrwydd ei waith?"

"Na, nid wyf yn tybied."

Yna gwelid llygad y terfysgwr hwn yn Seion yn amneidio yn ddrygionus, a chan ymgalonogi efe a ofynai,

"A ydych yn ystyried Mr. D. yn ddyn neillduol?"

"Nac ydwyf."

"A ydych yn ystyried ei bregeth ar 'A'u llygaid a ataliwyd,' rywbeth yn odidog?"

"Nac ydwyf."

Gan deimlo yn hyf ar ol y cyfryw galonogiad, mewn geiriau lluaws-sill gofynodd, "Gan hyny, ai nid ydych yn tybied y byddai yn well i ni ollwng y dyn hwn ymaith, a chyflogi dyn arall?"

Yr hen ddiacon, fel pe wedi ei gyrhaedd gan saeth, ac mewn llais cryfach nag arferol a waeddodd, "Na, nid wyf yn tybied."

"Beth!" ebe yr ymwelydd synedig, "yr ydych yn cytuno â mi yn mhob peth wyf yn ddywedyd, onid ydych?"

"Na, nid wyf yn cytuno â chwi."

"Yr ydych yn siarad mor ychydig, Syr," ebe y terfysgwr, "fel y mae yn anhawdd gwybod beth ydych yn feddwl."

"Myfi a siaredais ddigon unwaith," ebe yr hen wr, gan gyfodi ar ei draed, "dros haner dwsin o bobl fyddai yn gweddio. Ddeng-mlynedd-ar-hugain yn ol, tynerwyd fy nghalon, a ffrwynwyd fy nhafod, a byth er hyny myfi a rodiais yn esmwyth ger bron Duw. Do, y pryd hwnw gwnaethum amodau mor ddifrifol a thragywyddoldeb, ac yr wyf yn eich tynghedu i beidio fy nhemtio i'w tori."

Deffrowyd yr ymwelydd gan ddifrifoldeb y dyn fu hyd yma yn dawel a digyffro, ac a ofynodd, "Pa beth a ddy-

---

* Anfonwyd i ni ddau gyfieithiad da o'r hanes buddiol a dyddorol hwn gan ddau o'n gohebwyr medrus, yn ddiarwybod i'w gilydd. Cyhoeddwn yr erthygl yn gyflawn drwy roddi yr haner o bob un—yr haner cyntaf gan y Parch. E. Morddal Evans, Parisville, O., a'r haner olaf gan y Parch. D. S. Thomas, Ashland, Pa.—yr haner olaf yn dechreu gyda y geiriau, "Clywais fod fy ngweinidog yn glaf," &c.—GOL.

gwyddodd i chwi ddeng-mlynedd-ar-hugain yn ol?"

"Wel, Syr, myfi a ddywedaf i chwi. Tynwyd fi i gynllun tebyg i hwn o'r eiddoch chwi, i ddiwreiddio un o weision yr Arglwydd o'r maes yn yr hwn y planwyd ef gan Dduw. Yn fy nallineb ystyriwn hi ond peth bychan i symud un o'r ser y mae Iesu yn eu dal yn ei law ddeheu, pe trwy hyny y gogleisid fy nghlust gan ymadroddion arwynebol, ac y llenwid yr eisteddleoedd gan y rhai hyny a droant ymaith oddiwrth symlrwydd yr efengyl. Myfi a'r dynion a'm harweinient—canys addefaf fy mod yn hurtyn pen-boeth—a wenieithem ein hunain â'r syniad ein bod yn gydwybodol. Tybiem ein bod yn gwneuthur gwasanaeth i Dduw pan yn erlyn y dyn duwiol hwnw o'i bwlpud a'i waith, gan ddywedyd ein bod yn ystyried ei waith drosodd yn B——, lle yr oeddwn yn byw y pryd hwnw. Yr oeddem yn grwgnach am nad oedd diwygiad, ac ar yr un pryd yn chwedleua o gylch, ac yn crach-feirniadu, gan sarnu yn hytrach na chynal breichiau yr offeryn hwnw trwy ein gweithgarwch a'n gweddiau, gan haerllug hawlio y bendithion o'i ddwylaw ef. Iê, Syr, nis gallasai efe lusgo cerbyd iachawdwriaeth tra yr oedd haner dwsin o honom yn pigo ar ei wendidau, gan lusgo wrth yr olwynion fel pwysau marwol; nid oedd ganddo ef nerth yr Ysbryd, ac nis gallai argyhoeddi dynion. Felly erlyniasom ef fel hydd, hyd nes oedd yn flinedig a gwaedlyd yn ymneillduo i farw fel meudwy.

Prin yr oedd wedi tynu ei anadl ddiweddaf cyn i Dduw ddyfod i'n plith trwy ei Ysbryd i fendithio llafur ei was gwrthodedig. Yr oedd ein calonau yn doredig, a'n plant crwydredig yn dychwelyd at y Gwaredwr; a phenderfynais mewn amser priodol ymweled â'r hen weinidog, a chyffesu fy mhechodau, a diolch iddo am ei ffyddlondeb i fy meibion annychweledig, yr hwn fel had hir-blanedig oedd y pryd hwn yn neidio i fyny. Ond Duw a wrthododd i mi y fraint hono, fel y dysgai i mi wers y dylai pob plentyn o'i eiddo ei dysgu, sef fod yr hwn a gyffyrddo ag un o'i weision yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad.

Clywais fod fy ngweinidog yn glaf, a chan gymeryd fy mab hynaf gyda mi, aethum bum'-milldir-ar-hugain i'w weled. Yr oedd yn brydnawn pan gyrhaeddais y ty. Dechreuais brofi dyfroedd Marah yn union, trwy i'r wraig, yn llawn o ysbryd teilwng o wraig dwym-galon at ei gwr, nacâu i mi fynediad i ystafell y claf. Dywedai, ac yr oedd ei geiriau fel cleddyfau llymion yn fy nghalon, 'Gall ei fod yn marw, ac fe fydd golwg ar eich gwyneb yn 'chwanegu ei boenau.'

'A ydyw wedi dyfod i hyn, fod yr hwn fu yn offeryn i'm dwyn i noddfa Crist—yr hwn a gysurodd fy ysbryd mewn amgylchiadau chwerwon—yr hwn fu fel brawd genyf hyd nes i ddynion drwg ein gwahanu—a ydyw yn bosibl nas gall y dyn hwn farw mewn heddwch a fi o flaen ei lygaid. Arglwydd, tosturia wrthyf—beth a wnaethum?' oedd ymgom a deisyfiad dirgelaidd fy nghalon.

Cyfaddefais fy mai i'r wraig, gan ddymuno maddeuant er mwyn Crist, fel y cawn fyned i benlinio o flaen ei was i dderbyn ei faddeuant. Beth oeddwn yn ofalu y pryd hwn a fuasai yr eisteddleoedd wrth y drws oll yn llawn yn y capel. Teimlwn fel cymeryd ei holl deulu adref fel fy eiddo fy hun am byth—ond ni chefais yr anrhydedd. Fel yr aethum i ystafell y gwron bendigedig, arfau yr hwn oedd yn syrthio oddi am dano, agorodd ei lygaid marwaidd, a dywedodd, 'Frawd Lee! frawd Lee!' Plygais ato, a chan ruddfan ac wylofain dywedais, 'Fy ngweinidog!' Cododd yntau ei law wen i fyny, ac mewn llais trymaidd a dwfndreiddiol dywedodd, 'Na chyffwrdd â fy eneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi.'

Siaredais yn dyner wrtho, gan ddyweyd fy mod wedi dyfod i gyfaddef fy mai, ac i ddod â ffrwyth ei lafur i ddangos iddo—gan alw fy mab yn mlaen—ond yr oedd y dyn da yn anymwybodol o bobpeth o'i amgylch; yr oedd golwg fy wyneb wedi dwyn y pangfeydd olaf iddo. Cusenais ei dal-

cen—dywedais mor anwyl oedd wedi bod i mi—dymunais ei faddeuant, ac addewais ofalu am ei deulu. Ond nid oedd ateb ond megys breuddwyd, 'Na chyffwrdd a'm eneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi.' Arosais gydag ef hyd y boreu, cauais ei lygaid hyd foreu yr adgyfodiad; cynygiais dy i'r weddw i fyw ynddo weddill ei dyddiau. Hithau a'm hatebodd, 'Yr ydwyf yn maddeu i chwi yn rhwydd; ond fy mhlant oeddent mor ddwfn yn ngofid eu tad, ni fyddant hwy mor ddiofal o'i goffadwriaeth ef fel ag i'm gadael i dderbyn dim o law y rhai a achosodd ein bod yn amddifaid; y mae wedi ein gadael yn llaw ei Dduw, ac efe a ofala am danom.'

Wel, Syr, yr oedd y geiriau hyn yn swnio yn fy nghlustiau o'r arch ac o'r bedd. Pan y cysgwn, safai Crist o'm blaen yn dweyd, 'Na chyffwrdd a'm eneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi." Dilynodd y geiriau hyn fi hyd nes i mi deimlo yn wirioneddol mor anwyl yn ei olwg Ef yw y rhai sydd wedi ymgysegru yn hollol i'w wasanaeth, er y dichon na fyddont yn berffaith. O'r dydd hwnw yr wyf yn siarad *llai*, ac yr wyf yn ymdrechu dal breichiau fy ngweinidog i fyny, er y dichon *na fo yn ddyn mawr*. Caiff fy nhafod lynu wrth daflod fy ngenau, a'm llaw ddeheu anghofio ei chywreinrwydd cyn y beiddiaf wahanu yr hyn a gysylltodd Duw. Pan y mae gwaith gweinidog wedi ei orphen mewn ardal, credwyf y dangosa yr Arglwydd hyny iddo. Nis gallaf uno â chwi yn yr hyn sydd genych mewn llaw; ac os clywaf chwi yn agor eich genau eto ar y mater hwn, gofynaf i'r brodyr ddelio a chwi yn ol eich haeddiant, fel un yn ceisio ymraniadau eglwysig. Rhoddwn i bobpeth pe gallwn alw yn ol yr hyn a wnaethum ddeg-mlynedd-ar-hugain yn ol. Aros lle yr wyt; a gweddia ar Dduw faddeu meddyliau dy galon."

Terfynodd hyn amcanion yr achwynwr a'i ymdrechion dichellgar i symud un gweinidog efengylaidd, i'r dyben i sicrhau un arall a'i iaith goeth, a'i trawddegau celfyddgar, i wneyd cynwrf yn y gwersyll â rhywbeth heblaw ysbryd yr efengyl.

Y mae gallu yn y gair "Na;" ond gofyna wroldeb i'w lefaru mor benderfynol a'r hen Ddiacon Lee.

---

## ANGHYSONDEB Y PARCH. A. F. BEHRENDS AR BWNC Y CYMUNDEB.

GAN Y PARCH. J. T. GRIFFITHS, GREENVILLE.

*Mr. Gol.*—Yr wyf wedi clywed llawer yn ddiweddar, a gweled rhai cyfeiriadau at ymddygiad Dr. Behrends, gynt o Cleveland, Ohio, yr hwn a ymadawodd ag enwad y Bedyddwyr, Chwef. 1, 1876, oblegid ei farn ar bwnc y cymundeb. Siaradant am ei allu ac am ei *wroldeb* yn ymryddhau o gaethiwed y Bedyddwyr, ac nad yw yn ail i neb yn enwad y Bedyddwyr, &c., &c. Mewn perthynas i'w allu nid wyf yn dewis dyweyd dim ond yn unig ei fod yn *alluog iawn* i fod yn anghyson ag ef ei hun; a'm hamcan yn yr erthygl hon yw rhoddi ychydig o ddyfyniadau o ddwy bregeth a draddodwyd ganddo ar y pwnc, y rhai a gyhoeddwyd yn yr *Examiner and Chronicle*, er dangos yr hyn oedd y brawd yn y gorphenol, a'r hyn yw yn bresenol.

Yn y flwyddyn 1868 traddododd bregeth ar gymundeb caeth, fel y gelwir ef. Yn y flwyddyn 1874 traddododd bregeth ar gymundeb rhydd, yn yr hon y dangosodd ei fod wedi cyfnewid yn ei farn o'r hyn oedd pan gymerodd ofal Eglwys Gyntaf Cleveland. Dyfynwn yn gyntaf o bregeth 1874:

1. "Oddiwrth y gosodiad Beiblaidd ydym wedi ei roddi o ddyben y swper, meddyliwyf fod y casgliad yn anwrthwynebadwy, sef, fod pob credadyn yn yr Arglwydd Iesu Grist yn meddu hawl ddiamheuol, wreiddiol, ac anaralladwy (*inalienable*), i eistedd wrth y bwrdd, oblegid mai ei ddyledswydd a'i fraint parhaus ydyw dangos marwolaeth yr Arglwydd. Mae yr hawl hon yn perthyn iddo fel credadyn yn marwolaeth, adgyfodiad, a theyrnasiad Crist. Y mae ganddo hawl i gyhoeddi yr hyn a gred yn nyfnderoedd dyfnaf ei enaid; ac

unig amcan yr ordinhad yw cyhoeddi marwolaeth Crist. Dywed mai *proclamation* ydyw. Sicrheir a gwarentir yr hawl hon iddo gan ei ffydd, ac nis gellir ei amddifadu o'r fraint hon ond yn unig drwy ei anghrediniaeth. Y mae yn hawl nas gellir ei chaniatau, nac un eglwys ei chyfyngu. Yr oll a all yr eglwys ei wneyd ydyw cydnabod fy hawl, a darparu i mi gyfleusderau ei gwasanaeth cyson a rheolaidd; ond y mae yr hawl a feddianwyf yn annibynol i'r eglwys, oblegid fy nghysylltiad personol â Christ."—*Pregeth 1874.*

2. "Yn y dadansoddiad olaf gwelir mai *ffydd* sydd yn rhoddi trwydded i mi i holl foddion gras, ac mai *ffydd yn unig* sydd yn eu gwneuthur o un gwerth."—*Preg. 1874.*

3. "Pe deuai Presbyteriad neu Fethodist o fewn y muriau hyn ar ddydd y cymundeb, a phe y cynhyrfid ei galon fel ag i deimlo awydd i aros i orphen ei addoliad drwy ddangos marwolaeth ei Arglwydd yn nefnyddiad y dorth a'r cwpan, yr wyf yn dal nad oes angen eu gwahodd; y mae gofyniadau eu natur ysbrydol yn oruchaf (*supreme*); meddant hawl anaralladwy (*inalienable*) yn nystawrwydd yr ordinhad i ddatgan a chadarnhau eu cariad."—*Preg. 1874.*

Dyna ei farn yn 1874. Yr wyf wedi ei rhoddi mor eglur ag sydd yn bosibl i mi, er fod yn rhaid cyfaddef mai gorchwyl pur anhawdd ydyw deall ei farn yn y bregeth hon, fel y dywed ef ei hunan nad yw Dr. Pepper ac eraill wedi ei ddeall, ond y mae yn eglur i mi nad yw yn cydnabod awdurdod eglwysig, na'r angenrheidrwydd am *ufudd-dod*, ond yn unig *ffydd*.

Yn ei lythyr ymadawol i'w eglwys, yn Cleveland, Chwef. 1, 1876, dywedodd: "*I believe in open church membership, therefore, no less than in free Christian communion.*" Buasai yr un peth iddo ddweyd, bron, nad yw yn credu mewn eglwys o gwbl.

Yn awr rhoddwn ychydig o ddyfyniadau o bregeth a draddododd yn 1868, cyn iddo ddod i Cleveland, ar gymundeb caeth, er dangos ei anghysondeb.

1. "I un sydd yn dal fod *trochiad* yn hanfodol i fedydd Cristionogol, y mae yr holl ddadl o berthynas i gymundeb caeth neu rydd, yn ymddibynu ar yr atebiad a roddir i'r cwestiwn canlynol: A ddylem ni ddal fod bedydd i flaenori cymundeb? Os oedd trefn naturiol yn cael ei chadarnhau gan arferiad unffurfiol yr apostolion—os yw bedydd yn rhagflaenu y swper—ac *os yw cadwraeth trefn yn hawlio y rhagflaeniad hwn*, yna mae y Bedyddwyr yn iawn tra yn gwrthod *compromisio* â'r cyfryw nad ydynt, yn ol ein barn ni, wedi eu bedyddio. Ond os gellir profi nad oedd y fath drefn yn bodoli—os gellir gwneyd allan fod y bedydd a'r swper yn annibynol ar eu gilydd yn eu dechreuad, a'u rhwymedigaeth ar gredinwyr, yna y mae cymundeb caeth yn gyfeiliornus.—*Preg. 1868.*

2. "Dyledswydd amddiffynwyr cymundeb rhydd yw dangos fod sefyllfa pethau yn galw am y fath droseddiad o'r drefn naturiol. Y mae baich y prawf yn gorphwys ar y cyfryw a alwant arnom ni i roi i fyny egwyddor o drefn eglwysig, yr hon bron yn ddieithriad sydd wedi ei chydnabod mewn modd cyffredinol a dibetrus gan yr eglwys yn mhob oes, *yn gyntaf bedydd, yna cymundeb.*"—*Preg. 1868.*

Oddiwrth yr uchod fe wel y darllenydd ei fod yn 1868 yn cydgordio ag arferiad yr eglwys apostolaidd, a bron bob enwad arall drwy yr oesoedd, sef ffydd, bedydd, aelodaeth eglwysig, buchedd deilwng—felly awdurdod yr eglwys yn cael ei chydnabod. Yn awr creda mewn eglwys rydd a chymundeb rhydd; a pheth arall, nis gwn a yw ein brodyr taenellyddol yn credu mewn athrawiaeth felly.

Traddododd Ednyfed bregeth ar y cymundeb, y gauaf diweddaf, i'w eglwys, a dygwyddodd fod amryw o weinidogion yr "Eglwys Efengylaidd" yn bresenol—yr oeddent yn cynal eu cynadledd yn y dd nas ar y pryd. Carwn yn fawr ei gweled yn y WAWR.* Gobeithio y gwna gydsynio â'n cais.

Fy unig amcan yn cyhoeddi yr uchod am Behrends yw dangos yr hyn *oedd*, a'r hyn *yw*, er mwyn i'r anghyfarwydd ddeall ei sefyllfa.

* **Carem ninau yr un peth.—GOL.**

## Y CYNGOR YN NGHAERSALEM.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, WILKESBARRE.

[Deisyfodd y golygydd arnaf gyflwyno i ddarllenwyr y WAWR nifer o ysgrifau ar y *Cyngorau Eglwysig*. Addawsom wneyd; ac ymdrechwn wasanaethu ein Duw, yn ogystal a'n cydgenedl, yn hyn o orchwyl.—*E. E.*]

Dichon yr amheuir y priodoldeb o alw y cyfarfod a fu yn Nghaersalem tua y flwyddyn 50 O. C., yn Gyngor. Cysur meddwl ei fod yn wahanol iawn i gynulliadau a elwid felly yn ol llaw. Priodol y dywed Mosheim, "Ni cheir yr olion lleiaf o gymanfa o'r fath a fu yn *ddechreu cyngorau*, hyd yr ail ganrif." Boed a fyno am yr enw, y mae o bwys sylwi ar y cyngor hwn yn gyntaf, am fod cyfundraethau eglwysig wedi, ac yn hawlio awdurdod apostolaidd i gyngorau, ar gyfrif y cyfarfod hwn; ac yn ail, am fod yma ymwneyd â phwnc ymarferol sydd yn dal perthynas ag egwyddor sylfaenol y gyfundrefn efengylaidd. Rhoddir i'r darllenydd gyfle i farnu drosto ei hun o ran *seiliau* honiadau cyngorwyr diweddarach, ac hefyd o ran *seiliau* golygiadau brodyr a wahaniaethant oddiwrth y Bedyddwyr mewn barn ac ymarferiad.

Ceir hanes, ïe, *holl* hanes y cyngor hwn yn yr Actau ac yn y Llythyr at y Galatiaid. Dylai y Cymro uniaith fod yn ddiolchgar nad oedd gan Eusebius, Bede, Mosheim, Guericke, Neander, Coleman, Schaff, na'r un o'r haneswyr eglwysig, fwy o gyfryngau gwybodaeth am y cyngor *cyntaf* nag a fedd efe!

Priodol arwain meddwl ein darllenwyr at yr hyn a fu yn

*Achlysur y Cyngor hwn.*—Mewn canlyniad i ufudd-dod yr apostolion i orchymyn Crist i bregethu yr efengyl i bob creadur, a gwneyd dysgyblion o'r holl genedloedd, cyfododd "cwestiwn" pwysig i'r Iuddew, sef *pa fodd i ymddwyn* yn wyneb fod y cenedloedd heb "enwaedu" arnynt. Yr oedd yr enwaediad "yn ol defod Moses," er ei fod hefyd yn ddiau mewn ymarferiad yn yr Aipht. Yr oedd meddwl Herodotus yn ansicr pa un ai yr Aiphtiaid ai yr Iuddewon oedd y cyntaf i arfer y ddefod. Sicr yw i Dduw ddywedyd wrth Abraham, "Enwaeder pob gwrryw, . . . bydd yn arwydd cyfamod rhyngof fi a chwithau." Nid rhyfedd i'r eglwys foreuol, oedd am dymor wedi rhedeg fel afon mewn un llwybr, a thrwy yr un gwastadedd, ymranu ar y "mater" oedd dan sylw yn y cyngor. Tarawodd yr afon heddychol wrth drwyn y graig rhwystr a gynwysid yn y cwestiwn yma, a gwahanodd! Aeth yr eglwys yn ddwy blaid; ac o fewn ychydig yn *ddwy eglwys*. Taflwn olwg byr a brysiog dros yr hanes.

(*a*) Aeth Pedr, nid o'i fodd, ond o'i anfodd, i dy Cornelius, yn Cesarea, ac ar arch Duw pregethodd yr efengyl i'r cenedloedd. Credasant, a bedyddiwyd hwynt. Cawsant felly gyflawn fraint yn nheyrnas y Messia, er yn ddienwaededig. (Gwel Act. x.) "Y rhai o'r enwaediad" a'i galwasant i gyfrif, ac nid oedd gan yr apostol ond dweyd, "Yr Ysbryd a archodd"—"syrthiodd yr Ysbryd Glan arnynt megys arnom ninau"—"pwy oeddwn i i allu lluddias Duw?"

(*b*) Yn nesaf, cawn i'r rhai a wasgaresid (viii. 4) ymranu—y mwyafrif o bosibl, "heb lefaru y gair wrth neb ond yr Iuddewon yn unig." Eithr "rhai" genedigol o Cyprus a Cyrene wedi eu dyfod i Antiochia, "a lefarasant wrth y Groegiaid." "Llaw yr Arglwydd oedd gyda hwynt"—nid gyda'r lleill—"a nifer mawr a gredodd." Pan gyrhaeddodd y newydd i'r brif-ddinas Iuddewig, dyna gynhwrf eilwaith. (Gwel xi. 22.) Anfonwyd Barnabas i holi i mewn i'r peth. Diau mai o'r Arglwydd y daeth hyn; canys er fod hwn yn Iuddew o lwyth Lefi, brodor o Cyprus ydoedd, ac fel y cyfryw yn fwy rhydd oddiwrth sel ddefodol na brodorion Caersalem neu Judea. Hefyd "yr oedd yn wr da ac yn llawn o'r Ysbryd Glan ac o ffydd," *the very man* i'w anfon ar y fath neges. Nid rhyfedd ein bod yn cael (adn. 23) i "hwn pan ddaeth a gweled gras Duw," ddweyd *Amen* o'i galon. Yn lle rhagfarn a phigo beiau, wele gydymdeimlad a chydweithrediad. Bu hwn yn Fab

Dyddanydd i Saul gynt (ix. 27); y mae felly yn awr i'r brodyr hyn. Aeth i mewn i ysbryd y diwygiad yn ddiffuant; cyrchodd Saul o bell, a chydlafuriodd gydag ef yn Antiochia flwyddyn gyfan. (Adn. 25, 26.) Arafaidd a gofidus fu cylchdro y flwyddyn hono i'r rhai o'r enwaediad oedd yn y fam eglwys. Ond os yn gilwgus yr edrychid ar y gwaith yn mhrif-ddinas Palestina, yr oedd mewn bri mawr yn mhrif-ddinas Syria. Darllenwn "fod galw y *dysgyblion* yn GRISTIONOGION yn gyntaf yn Antiochia!" Ardderchog! O hyn allan y mae y lle hwn yn dyfod yn enwog am ymdrechion cenadol mewn cysylltiad ag "efengyl y dienwaediad," tra y mae Paul hefyd yn gallu dyweyd, "Yr *Hwn* oedd yn gweithredu yn nerthol yn Pedr i apostolaeth yr enwaediad, a nerthol weithredodd ynof finau hefyd tuag at y cenedloedd." (Gal. 2: 8.) Iē, yr hwn oedd Pharisead yn ol y sect fanylaf, a wnaeth Duw yn wron "y rhyddid â'r hwn y rhyddhaodd Crist." Fel y cyfryw neillduwyd ef a Barnabas i gymeryd cylchdaith genadol. (Gwel Act. xiii.)

(*c*) Dyma ddolen arall yn nghadwyn yr amgylchiadau a fu yn achlysur o'r cyngor yn Nghaersalem. Dichon i'r Ysbryd, yn gydfynedol a thuedd Barnabas, gyfeirio eu taith i Cyprus, lle genedigol y Mab Dyddanwch. Pa fodd bynag cawn i'r cenadon fyned drwy yr ynys glasurol hon o ben-bwygilydd, gan ddatgan efengyl Crist. Y pryd hwn cafodd gyfle teg i ddyfod mewn gwirionedd yr hyn oedd yn llinell Horace, "*Beatum Cyprum*," h. y., Cyprus ddedwydd. Wedi hyn ceir y pregethwyr yn ymweled ag Antiochia arall, yn Pisidia, ac yma bu ymraniad cyhoeddus rhwng yr Iuddewon a'r cenedloedd, mewn canlyniad i bregeth gyffrous apostol y dienwaediad. (Adn. 42—48.) Wedi gwrandaw llawn digon ar blant Israel yn "gwrthddywedyd a chablu," dyma y canlyniad: "Wele yr ydym yn troi at y cenedloedd." Gorfuwyd ffoi i Iconium, tua haner can' milldir oddi yno; ond yn y fan hono hefyd erlidiwyd hwy, er i "luaws mawr o'r Iuddewon ac o'r Groegiaid hefyd" gredu. Dyma, yn wir, oedd yn gwallgofi yr "Iuddewon anghredinol;" eithr "lluaws y ddinas a ranwyd; rhai oedd gyda'r Iuddewon, a rhai gyda'r apostolion." (Act. xiv.) Rhag eu llabyddio, y pregethwyr a ffoisant i Lystra, lle y goddiweddwyd Paul gan elynion a lwyddasant, fel y tybient, i gael taw effeithiol ar yr apostol. (Adn. 19.) Yn ei wendid ymlusgodd i Derbe, dinas gyfagos, lle y llwyddwyd i enill llawer o ddysgyblion. Bellach, am fod yr elyniaeth yn enbyd, a'r prif genadwr wedi ei analluogi i raddau, yn ddiau, cychwynwyd yn ol tuag Antiochia yn Syria.

(*d*) Gyda llawenydd mawr iddynt eu hunain, ac i'r eglwys o'r hon yr aethant allan, "adrodd wnaethant faint o bethau a wnaethai Duw gyda hwy, ac iddo Ef *agoryd i'r cenedloedd ddrws y ffydd*." Adeg hynod anffafriol i "rai wedi dyfod"—nis anfonwyd hwy (xv. 24), "i waered o Judea" gael clust o ymwrandawiad gan y brodyr, pan draethent ddwlni penboeth fel hyn, "Onid enwaedir chwi yn ol defod Moses, ni ellwch fod yn gadwedig." Fel y gellid dysgwyl, bu "ymryson a dadleu nid bychan gan Paul a Barnabas yn eu herbyn." Bellach yr oedd y peth wedi myned yn annyoddefol, a phenderfynwyd dwyn "y cwestiwn yma" ger bron y fam-eglwys yn Nghaersalem. Sylwer, nid *hi* a alwodd y cyngor, ac nid ei gwysio ger bron y gyngorfa a gafodd eglwys Antiochia; ond "*hwy* a ordeiniasant fyned o Paul a Barnabas, ac eraill gyda hwynt," ac yn eu mysg, fel engraifft o'r hyn fu yn achlysur yr ymrafael, yr oedd y Groegwr dienwaededig Titus (Gal. 2 : 3), i ystyried "y mater yma." (Gwel xv. 2.) Yr oedd ystori ddyddorol "troad y cenedloedd ar eu tafodau ar hyd y daith, ac yn peri llawenydd mawr i'r brodyr oll.

Wedi cyrhaedd Caersalem aeth Paul "o'r neilldu" at y "rhai cyfrifol" yn mlaenaf oll. Yr oedd yn selog, ond yn bwyllog a doeth hefyd. (Gal. 2 : 2.) Wedi hyn, ger bron yr eglwys a'r apostolion a'r henuriaid, aethant dros yr hanes. (Act. xv. 4.) Yn y cwrdd hwn cyfododd rhai o sect y Phariseaid, y

rhai oedd yn credu, gan ddywedyd mai "*rhaid* iddynt eu henwaedu, a gorchymyn cadw deddf Moses." Geilw yr apostol hwynt y "gau frodyr," ac ychwanega. "I ba rai nid ymroisom trwy ddarostyngiad, na ddo, dros awr." (Gal. ii. 5.) O'r diwedd, dyma

*Y Cyngor yn Cyfarfod*—"i edrych am y mater yma." Bu "ymddadleu mawr," a dyna Pedr ar ei draed. Cyfeiriai at yr amgylchiad yn Cesarea, a dywedai na wnaeth Duw "ddim gwahaniaeth rhwng Iuddew a chenedlddyn; rhwng enwaededig a dienwaededig, ac mai "temtio Duw" fuasai iddynt amcanu "dodi iau (Moses) ar warau dysgyblion" (Crist). Erbyn hyn tawelodd y dorf, a rhoddwyd gwrandawiad i Barnabas yn gyntaf, am ei fod mewn ffafr mwy cyffredinol, ac yna i Paul yn datgan y ffeithiau perthynasol i'r pwnc o dan sylw. Ymddengys mai Iago, "brawd yr Arglwydd," oedd Llywydd y cyfarfod. Buasai yn gysur i Pio Nono pe cawsai gwr yr "agoriadau" y flaenoriaeth yn y cyngor, ond nid felly y bu. O ran hyny nid yw Iago yn gorchymyn, *ex cathedra*, ond hysbysu ei "farn" a wna—dyna y cwbl. (Adn. 19.) Ceir yr hyn a farnai yn adn. 20, 21; ar yr hyn yr ysgrifena Schaff fel yma: "Yr oedd y rhwymedigaethau (*restrictions*) hyn yn mysg y saith gorchymyn y rhai, yn ol traddodiad, a roddwyd i Noah, ac a rwymwyd ar broselytiaid y porth. Cawn Paul ei hun yn adseinio y cyfryw rwymedigaeth yn Act. xxi. 25. Y mae yn araeth Iago amryw ystyriaethau grymus yn ffafriol i efengyl y dienwaediad, er mai yn Nghaersalem, ac yn nghysgod y deml yr ymgasglesid ar y pryd. 1. Dywed fod mynegiad Pedr (Simon) yn profi i *Dduw* dori dros y ffin yn gyntaf (adn. 14); yna, 2. Dyfyna brawf fod Duw wedi bwriadu gwneyd felly, ac wedi mynegu ei fwriad i ddychwelyd y cenedloedd; ac yn 3ydd, Mai "cenedloedd a droisant," nid oddiwrth, ond "*at* Dduw," oedd y rhai yr ymholent o'u herwydd. Yn unol â'r "farn" a draethai ac a amddiffynai blaenor y cyngor, dyna fu

*Y Penderfyniad* y deuwyd iddo yn unfrydol—fod llythyr i gael ei anfon yn cynwys syniadau y cyngor, a bod y brodyr "Judas, a gyfenwid Barsabas, a Silas, gwyr rhagorol," i fyned gyda Phaul a Barnabas, i ddwyn y llythyr i sylw yr eglwys yn Antiochia. Oddiwrth adn. 28, ymddengys nid yn unig fod y llythyr i fod yn *orphenol* ar y pwnc, ond ei fod i'w dderbyn gan yr eglwysi fel "barn" bwyllog ond penderfynol ac unol cyngor yn yr hwn yr oedd nid yn unig y fam eglwys, ond ei henuriaid a'i hapostolion, ïe, "Iago a Cephas, ac Ioan, y rhai a dybid yn golofnau," yn bresenol ac yn gytun. Felly cafodd y *new departure* oedd yn tarddu o'r cyfamod newydd, ei osod i orphwys am byth; h. y., mor bell ag yr oedd a fyno *penderfyniad y cyngor* â'r cyfryw orphwysiad.

Wedi hyn oll, nid rhyfedd fod Paul yn cynhyrfu pan ddeuai athrawon Iuddewaidd i faes ei lafur, ac i geisio dymchwelyd ei waith. Cyhoeddai ei anathema uwch eu penau (Gal. i, 8, 9), nid yn ogymaint am eu bod yn ei wrthwynebu ef, ond am eu bod "yn chwenych dattroi efengyl Crist." Dyma yr olwg a gymerai ar eu hathrawiaeth. Yr oedd yn ystyried fod tuedd eu dysgeidiaeth yn difa fel cancr, yn difetha gwaith y Gwaredwr, ac yn damnio eneidiau dynion. Gyda holl nerth ei apostolaeth ysgrifena, "Wele fi, Paul, yn dywedyd hyn wrthych, Os enwaeder chwi *ni lesha Crist ddim i chwi;*" a thrachefn, "*Mi a fynwn*, ïe, pe torid ymaith y rhai sydd yn aflonyddu arnoch." Am fod y cancr hwn yn eglwysi Galatia, yr ymdrechodd, gydag ymdrech *eithriadol*, i ysgrifenu y llythyr cyfeiriedig atynt hwy "mewn llythyrenau bras," (dyna y cyfieithiad priodol, nid "cyhyd y llythyr"—vi. 11) "â'm llaw fy hun," ac nid drwy law arall. Yn gyffredin geiriai yr epistol, ac ychwanegai fel hyn, "Yr anerch â'm llaw i, Paul, fy hun." (Gwel 1 Cor. xvi. 21, a Col. iv. 15.) Yn ei ail lythyr at y Thessaloniaid ychwanega fel yma, "Yr hyn *sydd arwydd yn mhob epistol; fel hyn yr ydwyf yn ysgrifenu.*" Yr oedd ei olygon mor ddiffygiol, a thebyg nad oedd gwydrau i

gynorthwyo eu gwendid, pryd hyny, fel y gorfu arno adael y gorchwyl o ysgrifenu i ryw un arall. Ond yma ymegniodd i ysgrifenu y *llythyr*, nid "anerch," rhag fod y gau-athrawon a'u cofleidwyr yn cael lle i awgrymu mai *forgery* oedd yr epistol tra phwysig hwn.

O'r safle hon y ceir esboniad ar y cweryl a fu rhwng Paul a Phedr. (Gal. ii. 11, &c.) Yr oedd wedi dywedyd yn y cyngor, "Yr ydym ni yn credu ein bod yn gadwedig yr un modd a hwythau;" h. y., nid trwy nac o herwydd enwaediad a gweithredoedd y ddeddf, ond "trwy ras yr Arglwydd Iesu Grist;" a phan yn Antiochia y methodd "iawn droedio at wirionedd yr efengyl," canfu Paul "ei fod i'w feio," ac ni bu yn ol o'i wrthwynebu yn ei wyneb. Beth pe buasai Pedr yn Bab, ac o'r un ysbryd a Phabau sydd wedi eistedd yn nghadair St. Pedr, buasai yn ddrwg arno yn siwr!

Tybed nad oes crefyddwyr yn ein hoes ni yn dywedyd mewn effaith, "Rhaid enwaedu;" neu, os na chedwir "defod Moses," *rhaid* cael bedydd plant yn lle y ddefod hono! Ymddengys yn o debyg i hyn pan y mae Cristionogion yn dodi "iau" yr hen gyfamod i gymeryd yr un lle a bedydd y cyfamod newydd. Dywed yr ysgolhaig enwog a'r hanesydd eglwysig a gyfrifir yn awdurdod oruchel ar bynciau felly, Dr. Augustus Neander:—"Rhwydd iawn fuasai cael achlysur i ddwyn i fewn y *substitute* hwn i'r ddadl pe buasai yn wir mewn bodolaeth. Am hyny y mae i'r prawf sydd yn deilliaw o ddystawrwydd ar y pwnc hwn bwys mwy" (*greater weight*). Ar yr un tu dalen, y mae yr awdwr hwn, *nad oedd* Fedyddiwr, ond maban daenellwr, yn ysgrifenu, "Na cheir olion o fedydd mabanod hyd gyfnod mor ddiweddar ag (yn sicr nid cynt nag) Irenæus; ac mai yn ystod y drydedd ganrif y dechreuodd gael ei gyfrif fel—"peth Ysgrythyrol?—nage;" ond "fel *traddodiad apostolaidd.*"

---

Na werth rinwedd i brynu golud.

# Barddoniaeth.

---

## *DAGRAU HIRAETH*

*Ar ol* Louisa, *merch fechan David a Catherine Davies, Taylorville, Pa., yr hon a fu farw Rhag. 21, 1876, yn 6 mlwydd a 5 mis oed.*

---

[Cyflwynedig i'w Rhieni Galarus.]

Rhy anhawdd amgyffred bwriadau
  A dyrys gynlluniau yr Iôr,
Na deall dirgelion ei gyngor,
  "Ei lwybrau sy'n nyfnder y môr;"
'Does neb ag awdurdod i ofyn
  I'r Crewr anfeidrol, paham
Y gyrodd mor gynar i'r gweryd,
  Louisa o fynwes ei mam.

Adgofion o'i geiriau plentynaidd,
  A'i throion bach dengar, diri',
O hyd adnewyddant ein hiraeth—
  Cwynfanus bob dydd yw ein cri;
Braidd credwn i'r gelyn angeuol
  Wneyd cam â'r un brydferth ei gwedd
Wrth symud Louisa fach anwyl
  Yn ngwanwyn ei bywyd i'r bedd.

Siomedig yw pobpeth a welir,
  Myn'd heibio mae dullwedd y byd;
Y gwreng gyda'r bonedd sy'n myned
  I ddyffryn marwolaeth yn nghyd.
'Doedd dim cydymdeimlad gan Angau
  Wrth ysgar y fam a'r un ddel;
Yn ngwyneb pob ymdrech i'w chadw,
  Bu raid iddi roddi ffarwel.

Rhyw wagder dyeithrol a deimlir
  Yn nheulu'r brawd Davies yn awr,
'R ol colli yr unig un feddent,
  Eu tristwch a'u galar sydd fawr.
Tydi'r hwn dros ddyn a groeshoeliwyd,
  Cysura y teulu di-hedd;
Cânt eto gyfarfod Louisa
  Tu draw i geulanau y bedd.

Ei henaid mewn cerbyd angylaidd
  Gymerwyd i'r nefoedd wen, lân,
Yn gymhlith â'r teulu gwaredol
  Cydbletha'n drag'wyddol ei chân.
Diangodd cyn gweled gofidiau,
  I wlad y dedwyddwch di-drai;
'N ei dwylaw mae telyn i'w chwareu,
  A'i swynion byth byth i barhau.

Boed heddwch i lwch yr un anwyl,
  Tra'n huno dan gwrlid y bedd;
Ei rhiaint addurnant y fangre
  A'r blodau amryliw eu gwedd.
Fe ddaw'r adgyfodiad a'r bywyd
  I gasglu'r gweddillion bob darn—
Rhyw olwg angylaidd fydd arni
  Yn moreu rhyfeddol y farn.

Pan siglo colofnau y cread,
  A sychu aberoedd y byd,
A'r moroedd ar amnaid y Duwdod,
  Ro'nt fyny eu meirw i gyd;
Uwchlaw i holl dwrw'r elfenau,
  Ar euraidd orielau'r nef lân,
Louisa yn nghyda'i rhieni
  A fyddant yn uchel eu cân.

*Taylorville, Pa.* WM. T. JOHN.

---

*PROFIAD Y MAB AFRADLON.*

Afradlon ydwyf fi,
  Gadewais dŷ fy Nhad;
'Rwyf heddyw'n nôd i'r byd,
  Yn mhell mewn estron wlad;
Yn d'lawd heb feddu dim,
  'Nol treulio'm golud drud,
A'm holl gariadau gau,
  Maent wedi cefnu 'nghyd.

Gadewais gartref clyd,
  Lle 'r oedd danteithion bras,
A'r teulu oll yn llon,
  Heb wg na nwydau cas;
Fy rhan orch'mynais i,
  Fel pob afradlon ffol,
Gan ddilyn gwagedd byd,
  Heb feddwl troi yn ol.

Mae newyn o fy mlaen,
  A chwant yn gwaeddi 'n groch,
Chwenychwn lenwi'm bol
  A chibau gwael y moch;
Ond O, ni chaf yr un
  Drugaredd yn un man,
Er fy ymbiliau dwys
  Newynu yw fy rhan.

Yn nhy fy Nhad y mae
  Cyflawnder eto'n 'stôr,
Mi godaf ac mi af
  A churaf wrth ei ddôr;
Dywedaf, O, fy Nhad,
  O'th flaen y pechais i,
Troseddais ddeddfau 'r nef,
  A'th lân orch'mynion di.

'Rwy'n syrthio ger dy fron,
  Atolwg derbyn fi,
A gwna fi, er fy mai,
  Fel un o'th weision di;
'D wy'n haeddu dim, yn wir,
  Yr un drugaredd mwy,
Dirmygais dy arch di,
  Rho'is yn dy fynwes glwy'.

Mi dro'is fy wyneb 'n ol
  At ddedwydd dŷ fy Nhad,
Ac er fy nirfawr fai,
  Ce's lwyr faddeuant rhad.
Y wisg oedd barod im',
  Esgidiau am fy nhra'd,
A modrwy aur yn nod
  O gymod â fy Nhad.

De'wch, afradloniaid, de'wch,
  At Dduw, fe wrendy 'ch cri;
Mae modd i faddeu'r bai
  Yn haeddiant Calfari;
Er i chwi grwydro 'n mhell,
  Mae galwad ar eich ol
I etifeddu'r fraint—
  De'wch, afradloniaid, 'n ol.

D. (PANTFENWR) DAVIS.
*Upper Lehigh, Pa.*

---

*ENGLYNION*

*Ar Farwolaeth* MRS. HAVARD, *Anwyl Briod Mr. Solomon Havard, Nanticoke, Pa., yr hon a hunodd yn yr angau Rhag. 13, 1876.*

Mae galwad arnom, gwyliwn,—y boreu
  Yn barod arfogwn;
Aeth ein chwaer—daeth y dwthwn—
  Dydd ei haul machludodd hwn.

Mae ini achos mewn iechyd—i fod
  Yn fyw yn ngwaith eilfyd;
Ergydion y galon i gyd,—beidiodd,
Yn ei rhawd safodd yn dra disyfyd.

Dan iau ei Christ yn dwyn ei chroes—y bu
  Tra bywyd, mewn eirioes;
Yn ei hwyliau i eiloes,
I fewn aeth ar derfyn oes.

*Nanticoke.* IEUAN DDU.

## ARFON. MESUR 2. 8.

**Buddugol yn Eisteddfod Slatington, Pa., Nadolig, 1872, gan E. J. WILLIAMS.**

# GWELEDIGAETHAU
# *Y BARDD CWSG.*

*GAN ELLIS WYNNE.*

"*Amcan* sydd yn profi calon awdwr, fel y gwna cysefindra ei ben; a dylai pob darllenydd beirniadol gofio cyngor Pope gyda golwg ar hyn:—"*In every work, regard the writer's end.*" Gwelir dyben yr awdwr hwn, er nad ysgrifenodd un rhagymadrodd, yn eglur oddiwrth y tri phenill o gyfarchiad "at y darllenydd," yn nechreu y llyfr. Diameu mai ei brif amcan ydoedd, nid dangos ei athrylith, na masnachu ar ddrygau ei gydgenedl, ond dadlenu iddynt oferedd a phechadurusrwydd eu hymddygiadau, y canlyniadau dinystriol o'r cyfryw mewn byd arall, a hyny mewn trefn i'w diwygio. Nid hyn yw amcan y rhan fwyaf o dychanwyr yr oesoedd pan yn fflangellu ffolineb a drygioni eu cydwladwyr, ond yn hollol i'r gwrthwyneb; mawr fyddai eu galar pe llwyddent i ddileu gwrthddrychau eu fflangelliad, gan y byddai "gobaith eu helw" yn darfod; ond y mae difrifolder ysbryd y "Bardd Cwsg," heb son am ei "Reol Buchedd Sanctaidd" ei hun, yn dangos mai diwygiad trwyadl ei ddarllenwyr oedd yn benaf yn ei olwg.

Y mae *tuedd* y llyfr yn gyfunrhyw â'r amcan. Ar ol edrych yn nrych "Gweledigaethau Cwrs y Byd, Angeu yn ei Freninllys Isaf, ac Uffern," nid hawdd i'r caletaf a mwyaf anystyriol beidio teimlo rhyw awydd i fod yn well dyn nag ydyw. Pan wadai Byron duedd anfoesol a chableddus ei "Cain, a Mystery," gan ddywedyd mai Lucifer oedd yn haeru y pethau drwg; atebwyd ef yn gywir trwy ddweyd mai efe oedd Creawdwr y Lucifer hwnw, ei fod yn atebol am ei eiriau. Pan lefaro y diafol gabledd yn "Ngholl Gwynfa," "Faust," neu "Festus," nid oes perygl, gan y bydd atgasrwydd y syniant yn dieffeithio y gwenwyn: pan lefaro felly yn ngweithiau Byron ac eraill, ei arbwylleb dwyllodrus ef sydd yn buddugoliaethu ar ei wrthwynebwyr, ac felly llygrir meddwl y darllenydd. Canlynwr Milton a'r Beibl yw y "Bardd Cwsg" yn hyn: nid yn unig nid oes perygl yn narlleniad y cyflafareddion Pandemoniaidd, ond tuedd y cwbl yw ein cyffroi i "wrthwynebu y diafol—ofni Duw, a chilio oddiwrth ddrygioni."

"**Nid oes ond ychydig iawn o hanes yr awdwr ar gael, a'r hyn sydd, nid oes sicrwydd hollol am ei gywirdeb. Ganwyd ef yn y Las Ynys, swydd Feirionydd yn 1671. Pa le y cafodd ei ddysgeidiaeth. nis gwyddis. Tra mae rhai yn barnu na chafodd un radd athrofaol, barna eraill iddo gael y radd uchaf, sef L. L. B. Ni welsom ddim profion dros y naill olygiad na'r llall. Priododd Lowri Llwyd o Hafod Lwyfog, sir Gaernarfon, yn 1702, a chafodd bump o blant, tri mab a dwy ferch: tebyg fod rhai o hiliogaeth y Bardd Cwsg yn fyw yn bresenol. Bu farw yn 1734, yn 63 oed, a chladdwyd ef Gorphenaf 17, yn eglwys Llanfair gerllaw Harlech, dan Fwrdd y Cymundeb, lle y gorwedd ei weddillion marwol heb unrhyw goffadwriaeth pellach am dano nag a geir yn hen lyfr eglwys Llanfair, lle cofnodir ei gladdedigaeth yn Lladin.**"

**Mae y "Bardd Cwsg" wedi myned drwy amrywiol argraffiadau yn y blynyddau diweddaf yn Nghymru, yr hyn a brawf ei werth parhaol.**

## I.—GWELEDIGAETH CWRS Y BYD.

### RHAN I.

Ar ryw brydnawn-gwaith teg o haf hir felyn tesog, cymerais hynt i ben un o fynyddoedd Cymru, a chyda mi yspienddrych i helpu'm golwg egwan i weled pell yn agos, a phethau bychain yn fawr; trwy yr awyr deneu eglur, a'r tes ysplenydd tawel, canfyddwn yn mhell bell tros fôr y Werddon, lawer golygiad hyfryd. O'r diwedd, wedi porthi fy llygaid ar bob rhyw hyfrydwch o'm hamgylch, onid oedd yr haul ar gyrhaedd ei gaerau yn y gorllewin, gorweddais ar y gwelltglas dan syn fyfyrio deced a hawddgared (wrth fy ngwlad fy hun) oedd y gwledydd pell y gwelswn gip o olwg ar eu gwastadedd tirion; a gwyched oedd cael arnynt lawn olwg; a dedwydded y rhai a welsent gwrs y byd, wrthyf fi am bath. Felly, o hir drafaelio â'm llygaid, ac wed'yn â'm meddwl, daeth blinder, ac yn nghysgod blinder, daeth fy Meistr Cwsg yn lledradaidd i'm rhwymo; ac â'i agoriadau plwm, fe gloes ffenestri fy llygaid, a'm holl synwyrau eraill yn dyn ddiogel. Eto gwaith ofer oedd ceisio cloi yr enaid, a fedr fyw a thrafaelio heb y corph; canys diangodd fy ysbryd ar esgyll ffansi allan o'r corpws cloedig: a chyntaf peth a welwn i yn fy ymyl, oedd twmpath chwareu, a'r fath Gadgamlan, mewn peisiau gleision a chapiau cochion, yn dawnsio yn hoew brysur. Sefais enyd ar fy nghyfyng gyngor a awn i atynt ai peidio; oblegid ofnais, yn fy ffwdan, mai haid oeddynt o Sipsiwn newynllyd; ac na wnaent ddim llai na'm lladd i'w swper, a'm llyncu yn ddihalen: ond o hir graffu, mi a'u gwelwn hwy yn well a thecach eu gwedd na'r giwed felynddu,

gelwyddog hono. Felly anturiais nesâu atynt, yn araf deg, fel iar yn sengu ar farwor, i gael gwybod beth oeddynt; ac o'r diwedd gofynais eu cenad fel hyn dan led ofni: "Atolwg, lân gynulleidfa, yr wyf yn deall mai rhai o bell ydych; a gymerech chwi fardd i'ch plith, sy'n chwenychu trafaelio?" Ar y gair, dystawodd y trwst, a phawb a'i lygad arnaf, a than wichian, "Bardd," ebe un; "Trafaelio," ebe un arall; "I'n plith ni," ebe'r trydydd. Erbyn hyn mi adwaenwn rai oedd yn edrych arnaf ffyrnicaf o'r cwbl. Yna dechreuasant sibrwd o glust i glust ryw ddirgel swynion, ac edrych arnaf; a chyda hyny torodd yr hwndrwd, a phawb a'i afael ynof, codasant fi ar ei hysgwyddau, fel codi Marchog Sir; ac yna ymaith a ni fel y gwynt, tros dai a thiroedd, dinasoedd a theyrnasoedd, a moroedd a mynyddoedd, heb allu dal sylw ar ddim, gan gyflymed yr oeddynt yn hedeg. A pheth sydd waeth, dechreuais amheu fy nghymdeithion wrth eu gwaith yn gwrthuno ac yn cuchio arnaf, eisiau canu duchan i'm brenin fy hun.

"Wel," ebe fi wrthyf fy hun, "yn iach weithian i'm hoedl; fe ă'r carn Witsiaid melldigedig hyn â mi i fwytty neu syler rhyw bendefig, ac yno y'm gadawant i dalu iawn gerfydd fy ngheg am eu lledrad hwy: neu gadawant fi yn noeth lymun i fferu ar Forfa Caer, neu rhyw oerle anghysbell arall. Ond wrth feddwl fod y wynebau a adwaenwn i wedi eu claddu, a'r rhai hyny yn fy mwrw, ac eraill yn fy nghadw uwch ben pob ceunant, deallais nad Witsiaid oeddynt, ond mai rhai a elwir y Tylwyth Teg. Ni chawn i attreg nad dyma fi yn ymyl yr anferth Gastell tecaf ar a welais i erioed, a llyn tro mawr o'i amgylch: yma dechreuasant roi barn arnaf.: "Awn ag ef yn anrheg i'r castell," ebe un; "Nage, crogyn ystyfnig, taflwn ef i'r llyn, ni thâl mo'i ddangos i'n tywysog mawr ni," meddai'r llall; "A ddywed ef ei weddi cyn cysgu?" ebe'r trydydd. Wrth iddynt son am weddi, mi a ruddfenais ryw ochenaid tuag i fyny am faddeuant a help; a chynted y meddyliais, gwelwn ryw Oleuni o hirbell yn tori allan, O mor brydferth! Fel yr oedd hwn yn neshau, yr oedd fy nghymdeithion yn tywyllu ac yn diflanu; a chwipyn dyma'r Dysglaer yn cyfeirio tros y castell atom yn union; ar hyn gollyngasant eu gafael; ac ar eu hymadawiad troisant ataf guwch uffernol; ac oni buasai i'r Angel fy nghynal, buaswn ddigon mân er gwneyd pastai, cyn cael daear.

"Beth," ebe'r Angel, "yw dy neges di yma?" "Yn wir, fy Arglwydd, ebe finau, "nis gwn i pa le yw yma, na pheth yw fy neges, na pheth wyf fy hun, na pheth a aeth a'm rhan arall i; yr oedd genyf bedair aelod, a phen; a pha un ai gartref eu gadewais, ai i ryw geubwll (canys cof genyf dramwy tros lawer o geunentydd) y bwriodd y Tylwyth Teg fi, os *teg* eu gwaith, nis gwn i, Syr, pe crogid fi." "Teg," eb efe, "y gwnaethent â thi, oni bai fy nyfod i mewn pryd i'th achub o gigweiniau plant annwfn. Gan fod cymaint dy awydd i weled cwrs y Byd bach, ces orchymyn i roi i ti olwg arno, fel y gwelit dy wallgof yn anfoddloni i'th ystâd a'th wlad dy hunan. Tyred gyda mi, am dro," eb efe, a chyda'r gair, a hi yn dechreu tori'r wawr, fe a'm cipiodd yn mhell bell tu uchaf i'r castell; ac ar ysgafell o gwmwl gwyn, gorphwysasom yn yr entrych, i edrych ar yr haul yn codi, ac ar fy nghydymaith nefol, oedd lawer dysgleiriach na'r haul, ond bod ei lewyrch ef ar i fyny gan y llen gêl oedd rhyngddo ag i waered. Pan gryfhaodd yr haul, rhwng y ddau ddysglaer, gwelwn y ddaear fawr gwmpasog megys pellen fechan gron, yn mhell oddi tanom. "Edrych yr awran," ebe'r Angel, ac a roes i mi ddrych ysbïo amgen nag oedd genyf fi ar y mynydd. Pan ysbïais trwy hwn, gwelwn bethau mewn modd arall, eglurach nag erioed o'r blaen. Gwelwn un Ddinas anferthol o faintioli; a miloedd o ddinasoedd a theyrnasoedd ynddi; a'r eigion mawr fel llyn tro o'i chwmpas; a moroedd eraill fel afonydd yn ei gwahanu hi yn rhanau.

O hir graffu, gwelwn hi yn dair Ys-

trŷd fawr dros ben; a Phorth mawr dysgleirwych yn mhen isaf pob ystrŷd; a Thŵr teg ar bob porth; ac ar bob tŵr yr oedd Merch landeg aruthr yn sefyll yn ngolwg yr holl ystrŷd; a'r tri thŵr o'r tu cefn i'r caerau yn cyrhaedd at odre'r castell mawr hwnw. Ar ohyd i'r tair anferthol hyn, gwelwn ystrŷd groes arall, a hono nid oedd ond bechan a gwael wrth y lleill, ond ei bod hi yn lanwaith, ac ar godiad uwchlaw yr ystrydoedd eraill, yn myned rhagddi uwch uwch tua'r Dwyrain; a'r tair eraill ar i waered tua'r Gogledd at y pyrth mawr. Ni fedrais i ymatal ddim hwy, heb ofyn i'm Cyfaill a gawn genad i siarad. "Beth, ynte," ebe'r Angel, "siarad di, ond gwrando yn ystyriol, na orffo dywedyd yr un peth i ti ond unwaith." "Gwnaf, fy Arglwydd; ac erdolwg," ebe fi, "pa le yw'r Castell draw yn y Gogledd?" "Y Castell fry yn yr awyr," eb efe, "a biau Belial, tywysog llywodraeth yr awyr, a llywodraethwr yr holl ddinas fawr obry; fe'i gelwir Castell Hudol, canys Hudol mawr yw Belial; a thrwy hudoliaeth y mae efe yn cadw tan ei faner y cwbl oll a weli; oddieithr yr ystrŷd fechan groes acw. Tywysog mawr yw hwn, a miloedd o dywysogion dano. Beth oedd Caisar neu Alecsander Fawr wrth hwn? Beth yw'r Twrc, a'r hen Lewis o Ffrainc ond gweision i hwn? Mawr, a mawr tros ben, yw gallu, a chyfrwysdra, a diwydrwydd y tywysog Belial, a'i luoedd hefyd sy ganddo heb rifedi yn y wlad isaf." "I ba beth y mae'r Merched yna yn sefyll?" ebe fi, "a phwy ydynt?" "Yn araf," ebe'r Angel, "un cwestiwn ar unwaith; i'w caru a'u haddoli y maent yna." "Nid rhyfedd, yn wir," ebe fi; "a hawddgared ydynt, petwn berchen traed a dwylaw fel y bûm, minau awn i garu neu addoli y rhai hyn." "Taw, taw," ebe yntau, "os hyny a wnait â'th aelodau, da dy fod hebddynt: gwybydd, dithau, ysbryd anghall, nad yw'r tair Tywysoges hyn ond tair Hudoles ddinystriol, merched y tywysog Belial; a'u holl degwch a'u mwynder, sy'n serenu yr ystrydoedd, nid yw ond wynebiad ar wrthuni a chreulonder; y mae'r tair oddi mewn, fel eu tad, yn llawn o wenwyn marwol." "Och fi! ai posibl," ebe fi, yn athrist iawn, "ar glwyfo o'u cariad!" "Rhy wir, ysywaeth," eb efe. "Gwych genyt y pelydru y mae'r tair ar eu haddolwyr; wel," eb efe, "mae yn y pelydr acw lawer swyn ryfeddol; mae efe yn eu dallu rhag gweled bach; mae efe yn eu synu rhag ymwrando â'u perygl; ac yn eu llosgi â thrachwant diwala am ychwaneg o hono, ac yntau yn wenwyn marwol, yn magu ynddynt glefydon anesgorol, na ddichon un meddyg, ïe, nac angau, byth bythoedd eu hiachâu; na dim, oni cheir physigwriaeth nefol, a elwir edifeirwch, i gyfog y drwg mewn pryd, cyn y greddfo yn rhy bell, wrth dremio gormod arnynt." "Pam," ebe fi, "na fyn Belial yr addoliant iddo ei hunan?" "Ond yr un peth yw?" eb efe: "mae'r hen Gadno yn cael ei addoli yn ei ferched; oblegid tra bo dyn yn nglŷn wrth y rhai hyn, neu wrth un o'r tair, mae efe yn sicr tan nod Belial, ac yn gwisgo ei lifrai ef."

"Beth," ebe fi, "y gelwch chwi'r tair Hudoles yna?" "Y bellaf draw," eb efe, "a elwir Balchder, merch hynaf Belial; yr ail yw Pleser; ac Elw ydyw'r nesaf yma: y tair hyn yw'r Drindod y mae'r byd yn ei addoli." "Atolygaf enw'r Ddinas fawr wallgofus hon," ebe fi, "os oes arni well enw na Bedlam fawr." "Oes," eb efe, "hi a elwir y Ddinas Ddienydd." "Och fi! ai dynion dienydd," ebe fi, "yw'r cwbl sydd ynddi?" "Y cwbl oll," ebe yntau, "oddieithr ambell un a ddiango allan i'r Ddinas uchaf, fry, sy tan y Brenin IMMANUEL." "Gwae finau a'm heiddio! pa fodd y diangant, a hwythau yn llygadrythu fyth ar y peth sy'n eu dallu fwyfwy, ac yn eu hanrheithio yn eu dallineb?" "Llwyr anmhosibl," ebe yntau, "fyddai i undyn ddianc oddi yma, oni b'ai fod IMMANUEL oddi fry yn danfon ei genadon hwyr a bore, i'w perswadio i droi ato Ef, eu hunion Frenin, oddiwrth y gwrthryfelwr; ac yn gyru i ambell un anrheg o enaint gwerthfawr, a elwir ffydd, i iro eu llygaid; a'r sawl a gaff-

o'r gwir enaint hwnw (canys mae rhith o hwn, fel o bob peth arall, yn y Ddinas Ddienydd, ond pwy bynag a ymiro â'r iawn enaint,) fe wêl ei friwiau a'i wallgof, ac nid erys yma fynyd hwy, pe rhoai Belial iddo ei dair merch, îe, neu'r bedwaredd, sy fwyaf oll, am aros."

"Beth y gelwir yr ystrydoedd mawr hyn?" ebe fi. "Gelwir," ebe yntau, "bob un wrth enw'r dywysoges sy'n rheoli ynddi: Ystrŷd Balchder yw'r bellaf; y ganol, Ystrŷd Pleser; y nesaf, Ystrŷd yr Elw." "Pwy, erdolwg," ebe fi, "sy'n aros yn yr ystrydoedd yma? pa iaith? pa ffordd? pa genedl?" "Llawer," eb efe, "o bob iaith, a chrefydd a chenedl tan yr haul hwn, sy'n byw yn mhob un o'r ystrydoedd mawr obry; a llawer un yn byw yn mhob un o'r tair ystrŷd ar gyrsiau, a phawb nesaf ag y gallo at y porth: a mynych iawn y mudant, heb fedru fawr aros yn y naill, gan ddāed ganddynt dywysoges ystrŷd arall: a'r hen Gadno, tan ei ysgafell, yn gado i bawb garu ei ddewis, neu'r tair, os myn; sicraf oll yw ef o hono."

---

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

### DRYCH Y DAMEGION.

Dameg sydd ran ymadrodd yn cynwys arddangosiad o rywbeth a fyddo ynddo ei hun yn ardderchocach nas gall elfenau dameg ei egluro, neu gyffelybiaeth o beth a fyddo yn tra ragori ar yr hyn y cyffelybir ef.

Dameg y ddafad a gollasid—yn golygu cyfartalwch mewn meddiant.

Dameg y dryll arian—yn golygu cyfartalwch mewn gwerth.

Dameg y mab afradlon—yn golygu cyfartalwch mewn perthynas. Luc 15.

Dameg y gwr goludog—yn golygu trueni dyn yn gwrthod y berthynas. Luc 16: 19, 31.

Dameg y goruchwyliwr anghyfiawn—yn golygu egwyddor anffyddlawn ac anonest. Luc 16.

Dameg y swper mawr—yn golygu gwrthodiad yr Iuddewon, a derbyniad y Cenedloedd. Luc 14: 16, 24.

Dameg y goruchwyliwr ffyddlawn—yn golygu gwynfydedigrwydd y cyfryw. Luc 12: 42.

Dameg y ffigysbren ddiffrwyth—yn dangos diffrwythdra yr Iuddewon o dan weinidogaeth a dysgeidiaeth Crist, yr hwn, am dair blynedd fu yn athrawiaethu, ac yn dysgu yn eu plith; ond wedi ei ymadawiad, torwyd hwynt i lawr. Luc 13: 6, 9.

Dameg yr hedyn mwstard—yn golygu cynydd Cristionogaeth. Luc 13: 18,19.

Dameg y surdoes—yn golygu ymweithiad mewnol Cristionogaeth. Luc 13: 20, 21.

Dameg y weddw daer—yn golygu goruchafiaeth trwy daerineb. Luc 18: 1, 7.

Dameg y Pharisead a'r Publican—yn golygu egwyddor aflwyddianus, ac egwyddor lwyddianus mewn gweddi, ger bron Duw. Luc 18: 9, 14.

Dameg y winllan—yn golygu yr ymddiriedaeth a roddodd Duw i'r Iuddewon, a'r dygasedd a ddangosasant hwythau ato, trwy guro ei weision, a lladd ei Fab. Math. 21: 33, 39.

Dameg y winllan eto—yn golygu cyfartalwch gwobr am waith, nad yw y naill i fod yn uwch na'r llall yn y winllan Gristionogol. "Chwithau oll brodyr ydych." (Iesu Grist). Math. 15: 1, 20.

Dameg priodas Mab y Brenin—yn golygu tynged yr Iuddewon anghrediniol am eu dygasedd a'u dibrisdod o'r briodas, ac iachawdwriaeth y cenedloedd yn y mwynhad o honi. Math. 22: 1, 15.

*Dodgeville, Wis.* TREBOR.

---

### DOSBARTH Y 12FED YN YSGOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM ION. 28AIN.

*Athraw.* Gan i ni y Sul diweddaf ddarllen y benod olaf o'r Beibl, heddyw, ail-ddechreuwn yn Mathew, a gobeithio y bydd pawb o honoch yn rhydd i ddweyd ei feddwl ar yr hyn a ddaw o dan sylw. Credwyf fod ein hysgolion Sabbothol, yn ddiffygiol mewn ymdrech i ddeall y gwirionedd; a dymunwn yn fawr weled diwygiad yn cymeryd lle yn y cyfeiriad hwn. Yn awr, gadewch i ni ddal mewn cof, mai

deall yr Ysgrythyrau fydd ein prif amcan o hyn allan.

*Ifan Meredydd.* Mae arna'i ofan mai 'chydig o 'leini gewch chi gyda fi, a rhaid i ch'i ngysodi fi; ond mi wrandawa y ngore, a chofio ticin os galla i.

*Abram Llwyd.* Wn i ddim alla inau roddi nemawr o help gyda'r esbonio yma, mwy nag fel y dywed Ifan Meredydd am dano ei hun. Mae yn dda genyf, fod yn y dosbarth hwn fechgyn sydd yn gallu; maent yn ddarllenwyr mawrion ar yr Ysgrythyrau, a llyfrau da eraill; ac yr wyf yn sicr os ewyllysiant, y gallant ateb cwestiynau dyrus, os bydd eisiau.

*Athraw.* Wel, nid oes amheuaeth genyf na wna pawb ei oreu; ac yn awr, gofynaf i ti, William, pwy oedd Matthew?

*William.* Byddai yn well genyf pe buasech wedi rhoddi y cwestiwn hwn i rywun arall; ond gan mai i'm rhan i y daeth, gwnaf fy ngoreu i'w ateb. Yn ol wyf yn ddeall, mab oedd Matthew i Alpheus. Yn Capernaum yr oedd yn byw, os wyf yn cofio yn iawn. Ei waith oedd casglu trethi, yn mhorthladd mor Galilea, o dan y llywodraeth Rufeinig, ac am hyny y gelwid ef "Matthew y Publican." Y ffaith ei fod yn Iuddew, ac ar yr un pryd yn casglu trethi, a'i gwnai ef yn anghymeradwy yn ngolwg yr Iuddewon. Bu Matthew yn ddysgybl cywir a ffyddlon i'r Arglwydd Iesu. Cawn yn Luc 5: 28, 29, iddo adael pob peth a dilyn y Ceidwad. Yr oedd swydd publican, er yn waradwyddus yn ngolwg yr Iuddewon, eto yn swydd dra enillfawr, ac felly y mae wedi parhau hyd y dydd heddyw. Gwnaeth Matthew wledd fawr i'r Iesu yn ei dy, yr hyn oedd yn arwydd o gryn barch. Ac wedi esgyniad ein Iachawdwr i ogoniant, cawn fod Matthew yn mysg y dysgyblion eraill yn yr oruwch-ystafell, yn parhau mewn gweddi ac ymbil. Dywedir iddo bregethu yr efengyl am flynyddoedd, yn Palestina, wedi ymadaw a'r Iesu; ac y mae traddodiadau yn ein hysbysu, iddo gael y fraint o farw o farwolaeth naturiol; ond y farn gyffredin yw iddo gael ei ferthyru yn Ethiopia.

*Athraw.* Da iawn, William, gan i ti ddweyd cystal, cymerwn dy dystiolaeth yn derfynol ar y mater, os nad oes gan rywun arall air yn mhellach, neu yn wahanol. Morgan, yn mha iaith yr oedd Matthew yn ysgrifenu ei Efengyl?

*Morgan.* Fe fyddai yn dda genyf finau pe bawn wedi cael amser i ystyried y peth hwn. Gwyddoch nad wyf fi yn gwybod ond y peth nesaf i ddim am yr ieithoedd dyeithr yma; ond gallaf fi fel llawer, ddweyd tipyn ar ol pobl eraill. Mae ysgrifenwyr enwog, megys Jerome, Origen, Grotius, Lange, a llawer eraill, yn dyweyd mai yn yr iaith Hebraeg yr oedd yn ysgrifenu. Ond y mae Efengyl Matthew wedi ei ysgrifenu yn yr iaith Roeg, ac wedi ei ysgrifenu i'r iaith hono gan Matthew ei hun, ac y mae digon o brawfion mai nid cyfieithiad ydyw i'r iaith hono. A'r tebygolrwydd yw i Matthew ysgrifenu ei efengyl yn yr Hebraeg a'r Groeg; ond y mae dysgedigion yn amrywio cymaint yn eu barnau ar y pen hwn, fel nad oes genyf ddim yn bendant i ddyweyd ar y pwnc.

*Athraw.* Y mae yr hyn yr wyt ti, Morgan, yn ei ddweyd yn eithaf gwir; oblegid y mae rhai yn dweyd mai cyfieithiad o'r Hebraeg yw y copi geir yn yr iaith Roeg; ac y mae eraill a dybiant mai cyfieithiad o'r Groeg oedd y copi a gafwyd o'r Hebraeg, ac am a wn i nad dyna y farn fwyaf gyffredin yn mysg dysgedigion. Dafydd, y mae yn dyfod i'th ran dithau i ddweyd wrth y dosbarth yr amser yr ysgrifenwyd yr efengyl.

*Dafydd.* Wel, dyna orchwyl anhawdd iawn i'w benderfynu beth bynag. Pa bryd yr ysgrifenodd Matthew ei efengyl sydd bwnc heb ei benderfynu gan y dysgedigion penaf; ond y mae yn beth sydd yn cael ei gydnabod yn gyffredinol, mai efengyl Mathew ysgrifenwyd gyntaf o'r lleill oll. Gosodir efengylau eraill o flaen hwn yn y MSS. Lladinaidd; ond efengyl Matthew a osodir gyntaf yn ddieithriad yn y MSS. Groeg, ac fe ddywedir nad oes amheuaeth nad oedd eiddo Matthew yn cael ei ddarllen gan yr Iuddewon, yn mhell o flaen un o'r efengylau eraill. Dygir rhesymau i

brofi iddo gael ei ysgrifenu yn lled fuan wedi marwolaeth ein Iachawdwr. Eraill a nodant fod ei amseriad yn llawer diweddarach. Y mae dysgedigion yn amrywio yr amseriad o 37 i 63 o o. c.; ond tybia y Parch. J. W. Clark, ac eraill, fod y ddau amseriad hyn yn eithafol, ac mai y ffordd gywiraf yw rhywbeth tua'r canol. O'm rhan i nid wyf yn meddwl fod llawer o bwys pa bryd yr ysgrifenodd Matthew ei efengyl.

*Athraw.* Na, nid wyf yn meddwl fod rhyw bwys neillduol yn gysylltiedig a hyn; ond y mae yn beth o'r goreu i ni wneyd sylw o hyn. Llawer a dybiant fod Matthew wrth y gwaith o ysgrifenu pan oedd Paul a Pedr yn Rhufain, yn sefydlu yr eglwys yno. Beth bynag am hyn, y mae yn ymddangos i mi mai yn mhen cryn amser wedi y croeshoeliad yr ysgrifenwyd ef; oblegid cawn Matthew yn nodi fel hyn yn y 27 ben. a'r 8 adnod: "Am hyny y galwyd y maes hwnw, maes y gwaed, hyd heddyw." Ac yn y 28 ben. a'r 15 ad. cawn awgrymiad cyffelyb, ac y mae hyn yn ein cymell i gredu fod blynyddoedd lawer wedi pasio er adeg y bradychiad pan oedd Matthew yn ysgrifenu. Gwilym, beth oedd yr amcan, neu yr amcanion mwyaf neillduol o ysgrifeniad efengyl Matthew?

*Gwilym.* Prif amcan ei ysgrifeniad yw rhoddi hanes bywyd ein Iachawdwr, ac mai efe oedd y Messiah y rhagfynegwyd am dano gan y prophwydi. Y mae yn dechreu trwy ddweyd ei fod yn ddisgynydd o linach Dafydd, a'r modd y daeth y doethion o'r Dwyrain i dalu gwarogaeth iddo, ac yn profi mai efe mewn gwirionedd yw y Brenin Mawr. Y mae Matthew yn gofalu nodi yr hyn a lefarodd y prophwydi, ac a gyflawnwyd yn sylweddol yn mywyd yr Iesu. Dengys yn eglur yn ol tystiolaeth yr Hen Destament, yn nghyd a dysgwyliad yr Iuddewon, fod Iesu yn Fab Dafydd. Ac y mae yr holl amgylchiadau yn nghylch ei enedigaeth, a'i fabandod, a'i fywyd oll yn cael son am danynt fel cyflawniad teg o'r prophwydoliaethau. Ymddengys mai prif amcan Matthew oedd dangos i'r Iuddewon Cristionogol fel yr oedd tystiolaeth y prophwydi wedi eu llanw. Ac fel hyn y mae yn profi tu hwnt i bob amheuaeth mai Iesu oedd y Messiah.

*Athraw.* Ie, diau mai dyna amcan penaf Matthew; oblegid y mae yn fwy gofalus gyda'r pethau hyn nag un o'r efengylwyr eraill. Cyfeiria at Ioan Fedyddiwr, Iesu yn byw yn Capernaum, iachau y cleifion a'r anafusion, yn llefaru damegion, anghrediniaeth y Phariseaid a'r Ysgrifenyddion, ei fynediad rhwysgfawr i Jerusalem, yn gyru o'r deml y prynwyr a'r gwerthwyr, ac amgylchiadau poenus ei farwolaeth, &c. Y mae yn cyfleu yr holl bethau hyn ger bron, i ddangos fel yr oedd yr Ysgrythyr yn cael ei chyflawni, ac y mae Matthew, wrth gwrs, fel un ag oedd yn ysgrifenu dan ddylanwad Ysbrydoliaeth, wedi llwyddo i gyrhaedd yr amcan yn ogoneddus. Owen, ti weli y gelwir yr hyn a ysgrifenwyd gan yr Awdwr hwn yn "Efengyl yn ol Sant Mathew," Paham y gelwir ef yn "Efengyl," neu mewn geiriau eraill, beth yw ystyr y gair "Efengyl?"

*Owen.* Ystyr efengyl, fel yr wyf yn deall, yw "newyddion da." Y mae yn ymddangos i mi fod efengyl yn air hapus iawn, yn tarddu yn naturiol o'r gair *evaggeleon* yn y Groeg, yr hyn sydd yn golygu "newyddion da o lawenydd mawr." Gyda phriodoldeb neillduol yr arferir ef yma, i ddangos cenadwri rasol a thrugarog Duw at bechaduriaid. Nid wyf yn gallu gweled y priodoldeb o roddi y gair "Sant" o flaen enw Matthew. Mae yn wir fod Matthew yn Sant er ys canrifoedd lawer bellach, ond nid oedd yn Sant pan yr ysgrifenodd yr efengyl hwn. Yn ol y golygiad sydd genyf fi am hyn, yn y nefoedd, y mae'r saint i gyd, ac fod galw neb ar y ddaear yn Sant yn ormodiaeth.

*Athraw.* Gair wedi ei osod yma yn ol mympwy dynol yw Sant. Nid oedd son am dano yn yr hen ysgrifau; o'm rhan i, y mae yn air sydd yn gweddu yr efengylwyr yn dda, ond pan y dywedir Sant Patrick, a Sant Nicholas, &c., y mae y gair yn cael ei arfer o flaen dynion hollol annheilwng.

Y Sabboth nesaf, ni a gawn ddech-

reu ar y benod; bydded i chwi oll fod yn barod i ddyweyd eich meddyliau ar yr hyn a ddaw o dan ein sylw. Yr wyf yn edmygu yr ysbryd ymchwilgar sydd ynoch. Na chaniatewch i un awr fyned heibio heb ei defnyddio i'r dybenion buddiolaf. Y mae bod yn hyddysg yn yr Ysgrythyrau y fraint fwyaf all byth ddyfod i ran dyn.

## HANESION CARTREFOL.

### NODION O HYDE PARK.

*Cyfarfod Ysgol Sul y Bedyddwyr.*—Da genyf allu hysbysu y cyhoedd, fod yr eglwys hon yn parhau yn ffyddlon o blaid yr Ysgol Sul, y sefydliad clodwiw sydd wedi ei amcanu gan y nef i gymwyso yr ieuainc i ddeall a theimlo gair y gwirionedd. Penderfynwyd cael yr wyl ar ddydd Calan, 1877, i ddatgan ein teimladau gyda golwg ar y sefydliad, yn nghyd a gwrandaw ar y plant yn canu ac adrodd.

Cyfarfyddodd y tair ysgol yn nghyd yn y capel, erbyn dau o'r gloch. Neillduwyd B. Hughes, Ysw., Prif Arolygydd yr Ysgolion yn Llywydd, ac E. Lloyd, yn ysgrifenydd y cyfarfodydd. os oes rhyw un yn deilwng o glod am ei ffyddlondeb o blaid yr Ysgol Sul, y mae Mr. Hughes felly. Dechreuwyd y cyfarfod trwy adrodd Psalm, gan ferch fechan, ac anerchwyd gorsedd gras, gan Wm. F. Lewis, Lewisburg. Yna cawsom rhwng canu ac adrodd, 38 o amrywiaethau. Canodd E. Protheroe a'i barti; Band of Hope Hyde Park, o dan arweiniad W. Evans, a Band of Hope Bellevue, o dan arweiniad Wm. Jenkins, bachgen ieuanc, a chanwr gobeithiol o gymydogaeth Aberdare, yr hwn sydd yn deilwng o glod, am ei ymdrech a'i lwyddiant. Tua haner awr wedi pedwar, tra yr oedd y bobl yn awyddus am ragor, galwodd y llywydd ar y Parch. T. G. Jones i ollwng y cyfarfod trwy weddi.

Erbyn chwech o'r gloch yr oedd y ty eang yn orlawn, ac yn disgwyl yn bryderus. Dechreuwyd y cyfarfod trwy ddarllen a gweddio, gan E. E. Thomas, yna awd o ddifrif at yr adrodd a'r canu. Cawsom yn y cyfarfod hwn 40 o amrywiaethau. Yn nghymydogaeth naw o'r gloch, galwodd y llywydd ar E. Lloyd i ollwng y cyfarfod trwy weddi. Teimlad pawb o'r gwyddfodolion oedd, na chawsant well cyfarfod erioed o'r natur yma. Gellir darllen dyfodol Hyde Park yn ffafriol wrth y cyfarfodydd hyn.

*Cyfarfod Croesawiadol y Parch. M. Wright*—Yn flaenorol i ddyfodiad y Parch. M. Wright i gymeryd gofal o fugeiliaeth yr eglwys, penderfynwyd ar fod y Sabboth olaf o 1876, yn nghyd a'r wythnos ganlynol i gael eu treulio mewn gweddi, ar fod i'r Pen Bugail ei arddel, fel y bydd iddo yntau arwain praidd Duw i ddyffrynoedd, at afonydd ac i lethrau mynydd Duw. A phenderfynwyd ar fod nos Sadwrn y 5ed, i fod yn gyfarfod cyfarchiadol; a neillduwyd E. Lloyd dros yr eglwys, i roddi anerchiad cyfarchiadol, a deheulaw o roesawiad i'r Parch. M. Wright a'i deulu. Wedi hyny, anerchodd Mr. Wright y cyfarfod, a chyflwynodd ei ddiolchgarwch i'r eglwys a'r gynulleidfa. Yna cafwyd anerchiadau gan y Parchn. B. W. Thomas, a T. G. Jones. Anerchwyd gorsedd gras gan Mri. B. Hughes, W. Williams, a B. Beddow. Cawsom gyfarfod dymunol iawn.

*Oyster Supper*—Penderfynodd y *trustees*, gan nad yw yr eglwys hon wedi bod ar ofyn y cyhoedd er ys llawer dydd, ac yn ngwyneb fod llawer iawn o dreulion wedi bod yn ystod y tair blynedd diweddaf, mewn adgyweiriad &c., ar ein bod yn cael *oyster supper*, er cynorthwyo i dalu peth o'r treulion. Gwnaethom yn dda. E. Lloyd.

### PALMYRA, O.

Ail-agorwyd capel y Bedyddwyr yn Palmyra, y Sabboth diweddaf o'r fl. 1876. Bu achos llewyrchus flynyddau lawer yn ol gan y Bedyddwyr yn y lle. Adeiladwyd y capel 36 mlynedd yn ol, ond aeth angau a llawer i ogoniant; aeth amgylchiadau ag amryw o'r ardal, a chrwydrodd eraill ar hyd ddaear esgeulusdod, fel y gadawwyd yr hen gapel i drugaredd plant y gymydogaeth er

ys llawer o flynyddoedd, fel nad 'oedd ond yr esgyrn llwydion yn aros. Dechreuodd y Parch. E. Morddal Evans, Parisville, gasglu tuag at ei adgyweirio oddeutu chwech wythnos cyn ei agoriad, ac aeth yn mlaen gyda'r adgyweirio; ac erbyn Rhagfyr 27ain, yr oedd y capel yn barod i fyned iddo, ac wedi ei osod yn fwy destlus nag y bu erioed.

I ddechreu, pregethodd y Parch. E. Morddal Evans ynddo Rhag. 27, 28, i gynulleidfaoedd lluosog. Ar ddiwedd y cyfarfodydd galwodd gyfeillach, gan wahodd pwy bynag a ewyllysient ymuno i ymgorpholi yn eglwys, i aros. Darllenodd bedwar o lythyrau gollyngdod o eglwys Paris, a derbyniodd y cyfryw ddeg eraill, y rhai nad oedd yn gyfleus iddynt gael llythyrau, ar gyfrif absenoldeb, pellder, &c. Nos Wener, y 29ain, pregethodd y Parch. Mr. Ward, o Salem, Ohio, yn Seisonig. Nos Sadwrn pregethodd y Parch. Moses Wright, yn Seisonig. Boreu Sabboth, yr 31ain, pregethodd y Parchn. D. Probert a Moses Wright. Am 2 o'r gloch, y Sabboth, dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. J. Jenkins (A.), Palmyra, yna wedi anerchiad byr gan y Parch. E. Morddal Evans, galwodd yr aelodau yn mlaen, ac wedi darllen y drydedd benod o 1 Ioan, rhoddodd ddeheulaw cymdeithas i 14 o aelodau a ymgyfamodasant i ymffurfio yn eglwys yn y lle. Ar ol hyn galwodd ar y tri a benodwyd i'r swydd ddiaconaidd, yn mlaen, sef W. R. Davies, W. W. Davies, a Benjamin Jones. Darllenodd ran o'r chweched benod o'r Actau, yna arweiniwyd mewn gweddi gan y Parch. T. Thomas, Sharon, Pa. Yna gosododd y Parchn. Wright, Probert, a Thomas eu dwylaw ar y diaconiaid, yn ol trefn y Testament Newydd, ac offrymodd y Parch. E. Morddal Evans yr urdd-weddi. Yn ganlynol anerchwyd yr eglwys yn Saesonig gan y Parch. M. Wright, y diaconiaid gan y Parch. Thomas Thomas, a'r gweinidog gan y brawd D. Probert.

Am 6 yn yr hwyr derbyniwyd gwahoddiad y Methodistiaid Seisonig, a chynaliwyd y cyfarfod yn eu capel, yr hwn oedd yn orlawn. Dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. Mr. Waters, Deerfield (gweinidog y cylchdaith), a phregethodd y Parchn. T. Thomas a Wright yn Saesonaeg, a'r Parch. D. Probert yn Gymraeg.

Boreu dydd Calan cynaliwyd cyfarfod eto yn nghapel y Bedyddwyr, a phregethwyd gan y Parchn. Thomas a Probert. Am 2, pregethwyd eilwaith gan yr un rhai, a phregethasant hefyd yn Paris yn yr hwyr. Cafwyd cyfarfodydd hwyliog, a phregethu efengylaidd ynddynt; a dyddorol oedd gweled aml i hen wrthgiliwr yn yr oedfaon. Pan oedd y Parch. Mr. Probert yn anerch y gweinidog dywedodd ychydig o'i brofiad, a helyntion yr hen gapel, gan grybwyll am yr hen weinidogion a aethant o Palmyra i ogoniant, nes nad oedd lygad sych o fewn y capel. Yr oedd y canu, dan arweiniad y Proff. J. A. Phillips, drwy y cyfarfodydd, yn fendigedig.

Mae rhagolygon yr eglwys yn addawol; bydd y Parch. E. Morddal Evans yn gwasanaethu yma ran o'i amser, a rhan yn Paris. Rhoddodd y Methodistiaid Calfinaidd a'r Annibynwyr eu cyfarfodydd heibio yn Palmyra ddydd yr agoriad, a dangosodd pawb bob caredigrwydd i'r achos newydd, a phawb yn llawenhau wrth weled yr hen gapei mor ddestlus, ac agos ddigon wedi ei gasglu i dalu am dano yn barod.

---

*Taylorville, Pa.*—Nos Lun y 15fed o Ionawr, cynaliodd Ysgol Sabbothol y Bedyddwyr yn y lle hwn ei chyfarfod chwarterol, pryd y cafwyd amser dedwydd a dymunol iawn. Llywyddwyd gan ein parchus weinidog D. Rhoslyn Davies. Agorwyd y cyfarfod gydag anerchiad gan y llywydd; ac yna caed areithio, adrodd, a chanu rhagorol gan blant ac aelodau yr Ysgol Sul. Y mae yn dda genym allu dyweyd fod y cyfarfodydd hyn yn cynyddu mewn dyddordeb, ac y mae yn amlwg fod y plant yn dyfod i sefyll yn well o flaen cynulleidfa. Golygfa hardd a dymunol oedd gweled plant bychain yr Ysgol Sabbothol, yn adrodd, yn canu, ac yn chwareu ar yr *organ*—mewn gwirionedd

yn cario y cyfarfod yn mlaen. Gobeithio y bydd iddynt barhau. Terfynwyd trwy ganu "I need thee every hour," gan gor y plant; ac ymadawodd pawb gan deimlo eu bod wedi cael gwledd i'r meddwl, ac nid ychydig o ymborth i'r enaid; a chan deimlo hefyd fod yr hyn a glywsant yn werth "dal yn well" arno.—*M. J. Watkins, Ysg.*

*Y Casgliadau at Gapel Newydd Springwater, Wis.*—Gan i wallau ddygwydd yn yr adroddiad cyntaf, erfynir ar fod i'r casgliadau yn llawn, wedi eu cywiro, gael ymddangos eto, fel y canlyn:

| | |
|---|---|
| Yr eglwys | $237 00 |
| Cymyd. Springwater a Rhos | 58 85 |
| Parch. Mr. Palmer | 5 00 |
| Saxeville, Pine River, a Wautoma | 49 65 |
| Berlin a'r Coed | 130 00 |
| Oshkosh a Nekama | 43 50 |
| Waupaca a Rural | 31 73 |
| | $555 73 |

R. D. EVANS.

*Wiconisco, Pa.*—Ionawr 1af, torodd tan allan rhwng y ddwy slope a elwir Sharp Mountain, a Lykens Valley yn y Pump Road, gan wneyd dinystr mawr, gan fod y lle mor sych, a chymaint o olew ar ei lwybr yn y Pump Road, cyflymodd gyda buandra a nerth mawr, fel nad oedd yn ddichonadwy myned i lawr gan fwg. Nid ydynt wedi bod yn alluog i'w osod allan hyd heddyw, y 10fed dydd. Y maent yn gollwng llawer o ddwfr i lawr, ond i ddim dyben, gan y llithra ar y gwaelod heb gyffwrdd a'r tân. Defnyddir llawer o ddwfr i weithio yn uniongyrchol ar y tân. Cymerir amser maith eto i godi yr holl dwfr o'r gwaith wedi gorchfygu yr elfen danllyd, heblaw gosod y gwaith mewn diwyg i weithio. Bernir y cymer lawer o flwyddyn i wneyd hyn. Yr oedd o chwech i wyth cant yn gweithio mewn cysylltiad a'r ddwy Slope. Mae gwaith arall o dan yr un cwmni wedi bod yn segur dros flwyddyn. Mae yr amgylchiadau hyn wedi dwyn gwasgfa a chaledi mawr ar deuluoedd yn y lle hwn. Mae y gweithwyr yn gwasgaru o'r lle i bob cyfeiriad, ac mae grym yr eglwys Fedyddiedig yn y lle yn cael ei thori i fyny yn fawr, am fod yr aelodau yn ymwasgaru yma a thraw am waith. Yr oedd yma eglwys gysurus, a chynulleidfa luosog cyn hyn. Ofnir y bydd raid i'r Parch. B. E. Jones ei gweinidog, ymadael, os na thry rhywbeth gwell allan yn fuan. Byddai hyn yn golled nid bechan i'r eglwys.—*Ardalydd.*

---

## *BEDYDDIADAU.*

Mae yr achos yn Franklin, Pa., dan weinidogaeth y Parch. Fred. Evans (Ednyfed), mewn sefyllfa hynod o lewyrchus, amryw yn dychwelyd, Seion yn cael ei hadeiladu, a Duw yn cael ei ogoneddu. Rhag. 17eg, bedyddiwyd 9; y 24ain, 2; a'r 31ain, 10. Ar y Sul cyntaf yn Ionawr, 1877, rhoddwyd deheulaw cymdeithas i 33.

*Frostburgh, Md.*—Brydnawn dydd Iau, Rhag. 21, 1876, yn nghapel y Bedyddwyr Seisnig, wedi anerchiad byr ar ddeiliaid bedydd, gan y brawd Jacob Davies, dilynwyd ef gan ein parchus weinidog, D. R. Jones, yn hynod darawiadol. Wedi hyny cawsom y fraint o'i weled yn trochi un brawd ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw. Mae golwg addawol a llewyrchus ar yr achos da yn y lle. Bwriadwn gael bedyddfan yn fuan yn ein capel ein hunain. Ein gweddi ar Dduw ydyw iddo lwyddo llafur ein gweinidog yn y lle.—*Brawd.*

*Ashton, Pa.*—Da genym allu hysbysu trwy gyfrwng y WAWR, fod achos y Bedyddwyr yn y lle hwn ar gynydd, a'r dyfodol yn edrych yn obeithiol—y gwrandawyr yn lluosogi a'r eglwys yn gwisgo agwedd lewyrchus. Sabboth, Rhag. 17, cawsom y fraint o weled ein parchus weinidog yn bedyddio un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, a thraddodwyd anerchiad pwrpasol iawn gan ein gweinidog i dorf o wrandawyr astud. Bedyddiwyd hefyd yr un dydd ddwy chwaer gan y Parch. B. James, Summit Hill, yn ein capel ni yn Ashton. Yr oedd y gweinyddiad yn ogoneddus, a'r dorf yn canu pan

y gweinyddid; ac wedi traddodi gair y bywyd i gynulleidfa fawr, gweinyddwyd yr ordinhad o swper yr Arglwydd, a derbyniwyd y bedyddiedigion i gyflawn aelodaeth. A'n gweddi ydyw am i'r Arglwydd ddwysbigo calonau eto o'r newydd.—*Daniel M. Jones.*

---

### *PRIODWYD—*

Rhag. 25, 1876, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harris, Joseph William Stroud a Mary Ann Davies—oll o Nanticoke.

Ion. 3, 1877, yn Remsen, N. Y., gan y Parch. Owen F. Parry, yn mhreswylfod rhieni y briodasferch, Mr. James Edgar Mitchell a Libbie J. Williams—oll o Remsen. Mab ydyw y gwr ieuanc i'r Anrh. James Mitchell, Remsen.

Rhag. 25, 1876, yn nhy ei brawd, Wm. Davies, gan y Parch. Hugh X. Hughes, Mr. Edward J. Owens a Miss Elizabeth Davies, y ddau yn aelodau o eglwys Fedyddiedig Dawn.

Tach. 27, 1876, yn nhy Mr. J. Davies, Lansfordborough, Ashton, Pa., gan y Parch. D. S. Thomas, Mr. John Thomas a Mrs. Amy Williams.

Rhag. 23, 1876, yn ei dy ei hun, gan y Parch. D. S. Thomas, Ashton, Pa., Mr. Edward J. Hughes a Miss Lydia Aubrey—y ddau o Pittston, Pa.

Ionawr 11, 1877, yn ei dy ei hun, gan y Parch. D. S. Thomas, Ashton, Pa., Mr. Aaron Davies a Miss Margaret Llewelyn—y ddau o Summit Hill, Pa.

---

### *BU FARW—*

Ionawr 19, 1877, yn Ashton, Pa., Thomas, plentyn ieuengaf Mr. Herbert Herbert a'i briod, yn un flwydd a saith mis oed. Ni fu yn glaf ond amser byr; ei afiechyd oedd *diphtheria*. Claddwyd ef ar yr 22ain yn Summit Hill. Gweinyddwyd gan y Parch. D. S. Thomas.

Rhagfyr 8, 1876, yn nghymydogaeth Summit Hill ac Ashton, Pa., yn 28 mlwydd oed, Mr. Jonathan T. Powell. Mab ydoedd i'r hen batriarch duwiol Joseph Powell, un o gewri y Bedyddwyr yn yr Hen Feins. Ni chafodd Jonathan ond byr gystudd; cymerwyd ef ymaith i dragywyddoldeb yn hollol annysgwyliadwy i ni oll. Claddwyd ef ar yr 11eg o Rhagfyr, yn nghladdfa Summit Hill. Gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol ar yr amgylchiad gan y Parch. D. S. Thomas. Gadawodd wraig a thri o blant yn weddw ac amddifaid, yn nghyda lluaws o berthynasau a chyfeillion i alaru ar ei ol yn ngwlad y cystudd mawr. Yr oedd presenoldeb y dorf luosog a ddilynai ei weddillion marwol i'r "ty rhagderfynedig i bob dyn byw," yn arddangosiad o safle barchus ein cyfaill yn mynwesau ei gydnabyddion. Heddwch i'w lwch, hyd yr ail-ffurfiad foreu yr adgyfodiad; a bydded i Dad ein holl drugareddau, yn ol ei arfer, gyflawni ei addewidion i'r galarwyr.—*D. S. T.*

Tach. 28, 1876, yn Nanticoke, Pa., Eliza Llewelyn, yn dra annysgwyliadwy, yn nhy ei brawd, David L. Jones, yn 33 mlwydd oed. Yr oedd yn enedigol o Bendarren, Merthyr Tydfil, ac wedi ei dwyn i fyny yn Mhenycae. Gwnaeth arddeliad o'r Arglwydd Iesu Grist yn moreu ei dyddiau. Bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd, yn Heol-y-Felin, Aberdâr, gan y Parch. B. Evans, a bu yn anrhydedd i'r enwad a'r enw a gymerodd arni, hyd y diwedd. Yr oedd ein chwaer ymadawedig yn wir grefyddol; gofalai i gadw ei lle yn nhy yr Arglwydd, a dygai fawr sel dros y gwirionedd—yn eofn a di-gario-wyneb yn mhob tywydd. Cyfarfyddodd â llawer o ddigalondid yn ei thaith yn y glyn; daeth croes-wyntoedd i'w chyfarfod, o gyfeiriad digalon iawn, eto ymddiriedodd yn Nuw ei hiachawdwriaeth, ei chadarn Ior. Wedi gadael gwlad ei genedigaeth a chyfoedion ei hieuenctyd, daeth i Morris Run, Sir Tioga, lle y treuliodd ryw naw mlynedd o'i hoes mewn gweithgarwch tymorol a chrefyddol, a symudodd oddiyno i Nanticoke, lle yr anadlodd yr anadliad olaf, wedi bod ychydig dros flwyddyn yn y lle. Ar ei dymuniad aethpwyd â'i chorph i fynwent Blossburgh i'w gladdu. Daeth ei brawd John ag elor-

gerbyd i gludo yr hyn oedd farwol o honi i lanerch y meirwon. Gweinyddwyd wrth y bedd gan weinidog y Saeson yn Blossburgh, ac yn y ty yn Nanticoke, gan y Parch. J. P. Harris. Credwn ei bod heddyw mewn dedwyddwch pur yn ardal yr aur-delynau. —*Ei Brawd.*

Rhag. 13, 1876, yn Nanticoke, Pa., Rachel Havard, priod Solomon Havard, yn 46 mlwydd oed, o glefyd y galon. Ganwyd Mrs. H. yn Llanelli, Sir Frycheiniog, D. C., ac yno y bu ei thrigfan tra yn Nghymru. Unwyd hi mewn priodas â Solomon Havard, yn 1853, gan y Parch. James Davies, yn Tabor, Brynmawr, a chychwynasant i America yn ddiaros. Yn Carbondale y lledasant eu pabell, yn mhlith eu cydnabod a'u perthynasau, a buont yno tua phedair blynedd cyn symud i Hyde Park, lle y treuliodd y rhan fwyaf o'i hamser yn y wlad hon. Symudasant i'r lle hwn ryw bedair blynedd yn ol, a bu ein hanwyl chwaer yn ffyddlawn a diwyd iawn yn ngwaith ei Harglwydd. Cafodd yr anrhydedd o ddechreu ei gyrfa grefyddol yn foreu; bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Nghrist, gan y Parch. B. Williams, yn y Darrenfelen, a harddodd ei phroffes hyd ddiwedd ei hoes, gan fyw i'r Arglwydd yr hwn a'i galwodd i'w deyrnas.

Yr oedd ein hoff chwaer yn feddianol ar dymer hawddgar, yn siriol a diymhongar yn ei holl ymwneyd â'r byd, ac yn yr eglwys. Yr oedd yn feddianol ar egwyddorion didwyll, a pharchai y ffyddloniaid yn Nghrist Iesu. Cydymdeimlai â'r gwan, a ffieiddiai y balch a'r cyndyn. Gwelsom hi yn wylo dagrau o lawenydd wrth weled ei phlant yn dyfod at y Ceidwad, ac yn ymuno a'r eglwys. Do, cafodd yr hyfrydwch i'w clywed yn galw ar enw yr Arglwydd, a diolchai i'r Arglwydd fod eu gweddiau yn cael eu hateb. Yr oedd yn y cyfarfod gweddi y noson cyn ei marwolaeth; ac yn canu mawl i'w Gwaredwr mor beraidd ag erioed. Dywedai wrth ei chwaer-yn-nghyfraith, gwraig y Parch. J. J. Morris, wrth ddychwelyd, "fod crefydd wedi talu y ffordd iddi drwy ei hoes." Ond cyn nos dranoeth yr ydoedd wedi ei gweled yn fwy gwerthfawr nag erioed; aethant o'r byd hwn gôl-yn-nghôl i fyd gwell, i dderbyn coron y bywyd, a chroesawiad yr hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc. Daearwyd ei gweddillion marwol ar yr 16eg, yn y *Green Cemetery*, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. E. Jenkins, Plymouth, a J. P. Harris. Pregethodd y brawd Harris oddiar y geiriau, "Gwyn fyd y meirw," &c. Gadawodd bedwar o blant gyda eu tad i alaru ar ei hol; teimla ein hanwyl gyfaill fwlch mawr yn y teulu. Bydded i'r Arglwydd ei gysuro, a noddi yr holl deulu. Amen.—*Brawd.*

---

## CYMRU.

*Talybont, Ceredigion.*—Mae gohebydd medrus o dan yr enw "Y Rambler" yn ysgrifenu i *Seren Cymru* yn ddiweddar, fraslun o hanes eglwys y Bedyddwyr yn Talybont, Ceredigion. Wedi crybwyll am ddechreuad yr achos gynt yn y lle, a'r gweinidogion fuont yn gwasanaethu yr eglwys o bryd i bryd dywed, "Wedi marw William Owen, daeth H. C. Parry (Cefni), yma o Brymbo. Yr oedd ef yn gawr o bregethwr, fel y gwyr Cymru oll, ac hefyd yn llenor medrus, a bardd campus. Gwnaeth yntau les mawr yn mhlith y bobl ieuainc yn y lle. Faint bynag o ysbryd llenyddol sydd yn "Rambler," Cefni a'i symbylodd. Diolch iddo byth."

Yna gwna sylwadau ffafriol am lafur gweinidogaethol y Parch. John Evans yn y lle, sef brawd i'r gwladgarol a thalentog y Parch. Fred Evans, (Ednyfed). Diwedda gan ddyweyd, "Dyna i ti ddarllenydd, fras ddesgrifiad anmherffaith a brysiog o hanes eglwys Talybont. Mae hi wedi sefyll ystormydd cyn hyn; ond y mae hi fel y dderwen, pob ystorm a gaiff yn dyfnhau ei gwreiddiau. Y mae hi heddyw yn lluosocach, ac yn fwy blodeuog nag y bu erioed."

*Pregeth angladdol Samuel Williams, Nantyglo.*—Yn y *Greal* am Ionawr, y mae pregeth angladdol i Mr. Williams,

gan y Parch. Daniel Morgan, Blaenafon. Rhoddwn rai dyfyniadau byrion yma, o'r deyrnged ragorol hon i wr mawr yn Israel, sydd yn ddiweddar wedi myned oddiwrth ei waith at ei wobr: "Feallai mai anmhriodol fyddai gosod yr anwyl Samuel Williams yn seren o'r *first magnitude*, ond yr oedd yn dywysog mewn meddwl, wedi ei wneuthur i flaenori—i arwain. Yr oedd ganddo galon fawr, yr oedd yn ymwneyd a phethau mawrion; yr oedd ei olwg ef yn eang iawn, a'i galon yn meddu ystwythder Cristionogol, yn lledu yn ol helaethrwydd ei olygiadau. Gwyddai ef yn brofiadol am ystyr ymadroddion Dafydd: 'Ffordd dy orchymynion a redaf pan eangech fy nghalon.' Yr oedd yn rhydd iawn oddiwrth ysbryd plaid, mor belled ag y mae yn wahanol i ysbryd Crist. Yr oedd yn adnabyddus yn mhlith enwadau eraill heblaw y Bedyddwyr, ac yn cael ei gydnabod a'i barchu ganddynt fel gwas i Grist. Yr oedd yn Fedyddiwr o egwyddor ac argyhoeddiad meddwl, ar yr un pryd yr oedd wedi dysgu caru pawb sydd yn caru Iesu Grist mewn purdeb. Yr ydym yn teimlo yn rhydd iawn i son am gymeriad mewn cysylltiad a Mr. Williams, Hermon; yr oedd ef yn feddianol ar gymeriad da, dysglaer—y peth mawr hwn, y peth mwyaf is haul. Y mae yn arferiad gan genedloedd y ddaear, i addurno temlau, palasau, a senedd-dai, a lluniau dewrion yr oesau, mewn meini a llieiniau, a throsglwyddo felly eu coffadwriaeth i oesau dyfodol; ond nid oes eisiau lluniau felly i gadw Williams mewn cof yn Nantyglo; na, mae ei gymeriad yn gofgolofn hardd ac arhosol yno. Nid oes amheuaeth na ddarfu i'r eglwys hon, 35 o flynyddau yn ol, gydnabod Duw a cheisio ei gyfarwyddyd wrth ddewis y brawd Williams, fel yn weinidog iddi, ac y mae wedi ei gydnabod wedi hyny, trwy geisio ei fendith ar ei weinidogaeth, a diolch iddo am y llwyddiant sydd wedi bod ar ei lafur yn y lle."

—Gyda llawenydd y darllenwn fod yr anwyl a'r llafurus Dr. Price, Aberdar, yn gwellau o'i afiechyd.

*Ysgoloriaeth Cynddelw*—Fel hyn yr ysgrifenai yr ysgrifenyddion ar ddiwedd taith gasglyddol at yr Ysgoloriaeth, drwy ranau o Gymru yn ddiweddar:—"Wel, beth am ffrwyth y daith? A gyrhaeddwyd y nod oedd mewn golwg wrth gychwyn, sef £100? Do; a throsodd hefyd gryn lawer, erbyn i'r cyfan sydd ar y ffordd ddyfod i mewn. Ac heblaw hyny, cawsom yn y daith hon brawf eglur mai dyma'r ffordd i wneyd y mudiad yn llwyddiant, a hyny ar fyrder; ac y mae yn hyfrydwch genym hysbysu fod cynllun ar droed i *ranu y wlad* rhwng gwahanol frodyr, y rhai a ymwelant yn fuan â phob ardal trwy Gymru, fel ag y mae genym bob seiliau i gredu y bydd "Ysgoloriaeth Gymreig Cynddelw" yn ffaith hanesyddol cyn diwedd yr haf nesaf.

ADFYFYRION.

1. Mai meddylddrych dedwydd oedd y meddylddrych o godi Ysgoloriaeth Gymreig er cof am Cynddelw, gan na welsom neb ar ein taith yn cynyg unrhyw wrthwynebiad i'r mudiad.

2. Bod yn rhaid fod Cynddelw yn ddyn enwog, gan mai dim ond un dyn a welsom yn ein holl grwydriadau nad oedd yn gwybod am dano; ac fe roddodd hwnw, ar ol iddo ddeall y pwnc, ddau swllt tuag at yr "Ysgoloriaeth."

3. Bod pob gweinidog sydd a rhywbeth ynddo yn teimlo yn selog dros y mudiad hwn; a lle bynag mae y gweinidog yn bleidiol, bod casgliad da yn sicr o ddilyn."

*Y ddiweddar Mrs. Elizabeth Owens, Hwlffordd*—Ar y 25ain o Tachwedd diweddaf, bu farw y wraig enwog uchod Yr oedd Mrs. Owens yn wraig i'r Parch J. G. Owens, D. D., yn awr o Hwlffordd er ys mwy na dwy flynedd; ac yr oedd yn weddw cyn hyny i'r brawd anwyl James Rowlands *coal merchant.* Ni fyddai neb yn garedicach i fechgyn yr Athrofa, a phregethwyr a alwant heibio, na'r teulu hwn am flynyddau lawer. Yr oeddynt yn hynod am eu duwioldeb, a'u caredigrwydd, a'u sel grefyddol. Heddwch i'w llwch.

—Deallwn fod y Parch. B. Thomas, Narberth, D. C., yn dyfod yn hynod o

boblogaidd fel areithydd, yn gystal ag fel pregethwr ac awdwr, yn Nghymru y dyddiau hyn. Tua'r Nadolig bu yn Castellnewydd, yn cynyrchu yr hwyliau goreu wrth ddarlithio ar "Adgofion o'r Areithfa."

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

COFIANT Y PARCH. HOWELL POWELL, *New York*, gan THOMAS LEVI. New York, cyhoeddedig gan ei feibion, 204 East 16th St.

Nis gwyddom am well safon i farnu teilyngdod cofiantau yn gyffredinol, na natur a graddau yr argraffiadau a adawant ar y meddwl. Yr ydym newydd dderbyn cofiant y Parch. Mr. Powell, oddiwrth un o'i feibion, Mr. Thomas C. Powell; ac wedi ei ddarllen drosto yn ofalus, a hyny gyda llawer iawn o ddyddordeb. Rhoddasom ef o'n llaw gan deimlo ei fod o duedd wir ddaionus. O ran hyny, mae cofiant da i Mr. Powell yn beth oedd i'w ddisgwyl gan bawb a wyddent rywbeth am y gwrthddrych a'r awdwr. Efallai nad oedd fod Mr. Levi yn byw yr ochr draw i'r Werydd, yn gymaint o anfantais iddo ag y tybid yn nghyflawniad ei waith. Tystiolaethir weithiau, fod pellder *amser* yn ffafriol i adolygu rhai cymeriadau enwog a hynod, os felly, dichon i bellder *lle* effeithio yn gyffelyb.

Gwyddis fod coffadwriaethau unigolion wedi dioddef cyn hyn, mewn gorddyrchafiad, neu oriseliad, trwy fod y Bywgraffydd yn rhy agos megys i'r gwrthddrych, ac oblegid hyny yn gadael i'w nodweddion personol arlywio y rhinweddau neu y colliadau a ddarlunid. Pan y gall hyny ddigwydd, bydd pellder yn fanteisiol. Y mae ystyr modd bynag, yn mha un y dichon pellder amser neu le fod yn anfantais i fywgraffwyr, a hwnw ydyw, pan y deil cymeriad yr ymadawedig ymchwiliad manwl a thrwyadl. Yr oedd y Parch. Mr. Powell o ran dilysrwydd ei gymeriad cyhoeddus, a chyfrinachol yn ddiamheu, yn gyfryw ag a ddaliai adolygiad manwl ac agos, ac felly, naturiol a phriodol i Mr. Levi "ymdeimlo yn ddwys a'r anhawsder o ysgrifenu yn Nghymru, gofiant un oedd wedi treulio ei holl fywyd cyhoeddus yn America."

Gan nad beth am anhawsder, mae yr awdwr parchus wedi llwyddo yn nghyraeddiad ei amcan. Mae cywirdeb y darlun o berson Mr. Powell a geir yn nechreu y gyfrol, yn engraifft dda o gywirdeb y desgrifiad o'i deithi cymeriadol a geir yn y gyfrol. Yn y cofiant gwelwn i Mr. Powell ddringo i fyny i safle o barch a dylanwad mawr, dan lawer o anfanteision, yr hyn a'i gesyd yn hyny yn wrthddrych teilwng i'w efelychu i ddosbarth lluosog, yn fwy felly na phe buasai wedi ei ffafrio yn neillduol o ran doniau a chyfleusderau. Yn y rhagymadrodd dywed yr awdwr, "Dyn o alluoedd cymedrol, mewn amgylchiadau isel, heb ddim manteision addysg, wedi ei daulo gan gariad Crist, yn ymdywallt yn nerthol a llwyddianus i wasanaeth yr Arglwydd; a thrwy ymarferiad mor egniol a thanbaid, wedi dyfod yn ddoniol a galluog yn yr alwedigaeth bwysig o ddwyn eneidiau at Iesu Grist. Y cyfryw ydoedd H. Powell. Ac yr ydys yn gobeithio y bydd yn anhawdd i'r un Cristion edrych ar ei gymeriad yn y cofiant hwn, heb gael ei drydanu a chyffyrddiad o'i ysbryd."

Hanes ymddadblygiad llafur, parch a llwyddiant y Parch. Howell Powell ydyw cynwysiad y cofiant gwerthfawr hwn. Nid oes ynddo grwydriadau anmherthynasol. Nis gwyddom o ba ran o hono i ddethol na dyfynu, gan na wyddom pa ran sydd yn rhagori. Rhaid darllen y llyfr drwyddo mewn trefn i'w werthfawrogi yn briodol. Wrth wneyd hyny canfyddir y bydd i'r dyddordeb gynyddu o hyd wrth fyned yn mlaen. Collodd y Methodistiaid Calfinaidd un o'u gweinidogion goreu yn marwolaeth Howell Powell. Cafwyd colled fawr yn yr eglwys a'r teulu hefyd. Yn nghyhoeddiad y cofiant hwn mae y meibion yn anrhydeddu eu hunain, yn ogystal ac yn talu teyrnged i goffadwriaeth eu hanwyl dad. Anogwn bawb a allo fforddio dolar i brynu y gyfrol ddestlus, ac adeiladol hon. Pwy bynag a wna hyny ni bydd edifar ganddo. Gwelir hysbysiad pellach am y cofiant ar yr amlen.

PREGETH GAN Y PARCH. B. D. THOMAS, *gweinidog y Fifth Baptist Church, Philadelphia. Argraffwyd yn y National Baptist, Tach. 23.*

Drwg genym na buasai y bregeth ragorol hon wedi dyfod i law yn gynt. Awgrymwyd y pwnc gan yr Arddangosiad mawr diweddar, a thraddodwyd hi ar nos Sabboth gan Mr. Thomas yn ei gapel ei hun. Cymer dri thestyn, yn egluro tri arddangosiad mawr:

1. *Yr Arddangosiad yn Fairmount Park* yn dangos ffrwythlondeb, gwreiddioldeb, a cheinrwydd y meddwl dynol.

2. *Arddangosiad rhyfeddol y Creawdwr yn Natur.*—Mae yr arddangosiad hwn yn tra rhagori ar y blaenaf yn yr holl neillduolion a nodwyd.

3. *Arddangosiad rhyfeddaf Duw yn nhrefn ei ras yn y dyfodol.*—"Fel y gallai ddangos i'r oesoedd a ddeuai," &c. Bydd yn gynwysedig o ddadguddiadau a buddugoliaethau dwyfol ras. Bydd yn derbyn ei ardderchogrwydd oddiwrth y groes. Bydd byth yn barhaol.

Pe gofod yn caniatau, buasem yn rhoddi crynodeb llawn o'r bregeth. Gallwn sicrhau fod yr egluriadau yn bwrpasol a tharawiadol. Teimlem wrth ei darllen na chawsem y cyfleusdra o'i gwrando yn cael ei thraddodi. Hawdd gweled oddiwrth y cyfansoddiad hwn fod y brawd Thomas yn gallu *meddwl* yn gystal ag yn gallu traddodi. O ran hyny, nid oes modd traddodi yn fedrus heb allu meddwl yn alluog.

Yr Elfen Gymreig yn Hanes y Bedyddwyr yn America. Gan y Parch. A. J. Morton (*Alwyn Trefor*).

[Parhad o'r rhifyn diweddaf].

Olynwyr yr Eatoniaid yn parhau yn uchel eu cymeriad. Un cyfoethog o'r llinach wedi gadael yn ei ewyllys filoedd o ddoleri at sefydliadau addysg yr enwad yn ddiweddar yn Lloegr Newydd. Un o'r teulu hwn yw John Eaton, cyhoeddwr mawr dylanwadol yn ein Cyfenwad yn Mhrydain. Eglwys Pennepeck yn fam-eglwys i'r rhai canlynol—Eglwys Gyntaf Philadelphia, 1698; y Dyffryn Mawr, 1711; Brandywine, 1715; Montgomery, 1719; Southampton, 1746; Konoloway, 1756; y *Welsh Tract* yn lle pwysig yn hanes ein cenedl a'n henwad yn y wlad hon. Y frawdoliaeth hon yn cael ei galw "yr eglwys ymfudol," am ddarfod iddi ymgyfamodi, yn aelodau a gweinidog yn Rhydwilym cyn cychwyn drosodd. Cawsai y rhan fwyaf o'r "eglwys ymfudol" eu bedyddio gan yr enwog William Jones, yr hwn a garcharwyd am dair blynedd yn Nghastell Caerfyrddin, am wrthod cydymffurfio â deddfau Charles II. "William & Mary" oedd enw y llong y daeth yr un-ar-bymtheg a gyfansoddent "yr eglwys ymfudol" dros y Werydd ynddi. Ymsefydlasant am y ddwy flynedd gyntaf yn agos i Pennepeck, ac yna yn y *Welsh Tract.* Gwasanaethwyd yr eglwys gan y Parch. T. Griffiths am 24 o flynyddau. Bu farw yn Gorph. 22, 1725. Eliseus Thomas yn ei ddilyn—yntau yn un o'r un-ar-bymtheg o Rydwilym. Bu farw Tach. 7, 1730. Y penillion canlynol ar ei feddfaen yn mynwent y Welsh Tract:

Dyma 'r gareg sydd yn cuddio
Ein bugail mwyn sydd wedi 'n gado;
Dyma 'r lle mae 'i gorph yn gorphwys,
Nes cael galwad i Baradwys.

Mae e' wedi gorphen gyrfa
Oedd lafurus, boenus, yma;
Ac wedi cadw 'r ffydd heb flino,
Weithian coron gaiff ei gwisgo.

Yn ei le dewiswyd Enoch Morgan, yntau hefyd yn un o'r aelodau gwreiddiol. Bu farw yn 1740. Yn nesaf, O. Thomas, o Cwm Gadllys, o Swydd Benfro. Y brawd hwn yn credu fod gweddio dros, ac eneinio y claf yn dda; Vavasor Powell yn credu yr un peth. David Davies, o blwyf Eglwyswen, o'r un sir, yn olynydd iddo am 35 o flynyddau. Bu farw 1769. Bu dynion fel hyn bron yn ddieithriad o eglwysi Rhydwilym neu Tan-yr-allt, yn weinidogion i'r eglwys hon am 70 o flynyddau, yn "Gymry glân." Amryw bethau wedi bod yn achosion ei dadfeiliad. Mewn cysylltiad ag eglwysi Montgomery a Hilltown, William Thomas, Henadur, oedd yn enwog a dylanwadol. Tywyllwch gyda golwg ar ei fan genedigol. Tybir ei fod o Faesyfed. Yn cael trafferth—y llong yn myned hebddo—ei ddillad a'i arian ynddi—y cwbl yn golled—heb ddigaloni—yn dyfod drosodd ar goel. Cwper wrth ei alwedigaeth. Yn teimlo yn ddrwg gweled ei ddillad a'i arian yn meddiant eraill. Casglodd olud—adeiladodd gapel ar ei draul ei hun. Oblegid yr Indiaid, yn myned i'r addoldy o dan arfau. Claddwyd ef yn Hilltown, 1757, yn 79 mlwydd oed. Bu yr awdwr uwch ben ei fedd. Eglwys Montgomery yn fam i saith o eglwysi. Eglwys Philadelphia wedi derbyn cynorthwyon lawer ganddi.

Un o'r enw Jenkin Jones, o Lanfynach, Sir Benfro, yn weinidog cyntaf i'r Eglwys Gyntaf, Philadelphia. Daeth drosodd yn 1710. Bu yn hynod lafurus am lawer o flynyddau. Eglwys Loegr am ladrata eu haddoldy—yntau yn ei hatal. Gwnaeth gymun-rodd i'r eglwys o gwpan arian, gwerth £60, a'i enw arni. Adeiladodd dy gweinidog, yr hwn sydd byth yn dystiolaeth o'i haelfrydedd.

Yn 1761, yr eglwys yn anfon at Dr. Gill am weinidog iddynt—y cymwysderau yn llawer—y Dr. yn petruso. Enwodd y Parch. M. Edwards, gweinidog Rye, fel un cymwys. Daeth drosodd—yn weinidog iddi am 11 mlynedd. Yr oedd yn enedigol o Pontypool. Gall hen eglwys Pen-y Garn ymfalchio yn y mab hwn o'i heiddo. Efe, mewn cysylltiad â Dr. S. Jones ac eraill, roddodd fodolaeth i'r athrofa enwog yn Rhode Island. Pedwar Cymro yn mhlith y myfyrwyr cyntaf ynddi. Dr. Samuel Jones yn uchel yn marn gwyr y wlad hon. Mab ydoedd i Thomas Jones, o Benyfai, Morganwg. O ochr ei fam, o hen deulu Mynachlog-ddu. Efe ac Isaac Eaton yn sefydlu athrofeydd i barotoi dynion ieuainc i'r weinidogaeth. Yn 1600, cyfarfodydd blynyddol yn cael eu sefydlu—nemawr o drefn arnynt hyd 1707 Pedair o bum' eglwys y Gymanfa yn Gymreig. Gweinidogion Cymreig oedd i'r eglwys Seisnig. Cymreig oedd elfenau bywydol Cymanfa Philadelphia. Bu farw Dr. S. Jones yn 80 ml. oed.

*Abel Morgan yn Nodedig*—Yn enedigol o Lanwenog, Ceredigion, yn 1637. Yn 1709, yn cael galwad o Pennepeck—yn cydsynio—yn America yn 1710—yn marw yn mhen 11 mlynedd. Y mwyaf talentog o'i holl deulu. Yn un o gedyrn y Bedyddwyr yn Nghymru ac America. Tybir mai efe ydoedd awdwr y Mynegair cyntaf yn y Gymraeg. Efe roddodd ddechreuad i ysgrifenu llythyr Cymanfa. Abel Morgan, o'r Welsh Tract, oedd fab i Enoch Morgan, am yr hwn y dywedai Dr. S. Jones, "*He is the prince of preachers.*" Bu fyw nes oedd yn 88 mlwydd oed.

I Abel y cyntaf, yn y cyfnod byr o 11 mlynedd y perthyn yr anrhydedd o ddechreu y "Gymdeithas Genadol Gartrefol." Yr oedd yn dywysog yn mhlith tywysogion—anghydfodau eglwysig yn diflanu o'i flaen fel eira o flaen yr haul.

John Davies (cefnder yr enwog Benjamin Francis), yr apostol cyntaf yn Bethmore a'r cylchoedd, a thad Bedyddwyr Maryland, os nid eglwysi Washington. Bu farw yn 1809, yn 88 oed.

Parch. Morgan John Rhys eto, sydd yn teilyngu sylw neillduol. Efe a ddechreuodd yr Ysgol Sabbothol gyntaf yn Nghymru, o'r hyn lleiaf yn Neheudir Cymru. Yr oedd hyn ddwy flynedd cyn ei dechreu gan Charles o'r Bala. Dechreuwyd y sefydliad yn Hengoed, yn 1787. Yn Mhwllheli gan un John Prichard dan nawdd yr Annibynwyr yn yr un flwyddyn. Drwy offerynoliaeth M. J. Rhys, y dysgodd Dr. Jenkins ddarllen. Bu o ddylanwad mawr yn y wlad hon. Claddwyd ef yn Philadelphia yn 1804 neu 1805. Mab iddo o'r un enw, fu yn ysgrifenydd i Gymdeithas Genadol y Bedyddwyr am lawer o flynyddau, ac yn weinidog llwyddianus yn Wilmington, Del. Mae y rhan luosocaf o'r eglwysi Bedyddiedig ar y cyfandir hwn yn ddyledus i Gymry am eu bodolaeth.

Dyna i chwi ddarllenyddion caredig ryw fraslinelliad o'r traethawd dyddorol hwn. Yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar i Mr. Morton am dano, ac yr ydym yn ystyried y dylai yr enwad deimlo yn gyffelyb. Yr ydym yn cyngori ein haelodau i'w bwrcasu, os nad mewn meddiant eisoes, a'i ddarllen yn ofalus ac ystyriol, gan ei drysori yn y cof.

## NODION AMRYWIAETHOL.

—Yn ddiweddar, mae gweinidogaeth angau wedi bod yn drom yn nheulu y Parch. E. Jenkins, Plymouth, a'r eiddo Mr. David Davies, Taylorville, Pa. Yn y cyntaf, bu farw William, eu mab; yn yr olaf, bu farw Lousia fach, yr unig blentyn. Cydymdeimlwn â hwy yn fawr yn eu galar.

—Gweithred ganmoladwy iawn o eiddo y Parch. E. Morddal Evans, a'r frawdoliaeth yn Parisville, O., oedd adgyweirio yr hen gapel yn Palmyra, ac ail ddechreu addoli ynddo.

—Mae y Parch. Wm. R. Williams, D. D., New York, newydd draddodi ei bedwaredd ddarlith ar Hanes y Bedyddwyr. Maent yn cael gair uchel. Bwriadwn ddifynu o honynt yn fuan.

—Cafodd y Parch. Moses Wright ei longyfarch yn galonog gan y frawdoliaeth yn Hyde Park, Pa., ar ei ddyfodiad i'w plith.

—Deallwn i'n cyfeillion Cymreig yn nghapel y B., Cattaraugus, gael "amser da" nes Nadolig, mewn adrodd a chanu. Y cadeirydd oedd y Parch. W. M. Evans.

—Mae gweinidog i'r Bedyddwyr, y Parch. A. B. Earle, yr efengylwr, yn cynal cyrddau diwygiadol llewyrchus yn ninas Utica. Mae iddo gydymaith hefyd yn arwain y canu, Mr. A. D. E. Hodges.

Mae Trebor, Dodgeville, Wis., wedi bod yn brysur iawn yr wythnosau diweddaf, mewn casglu trethi, a pharotoi erbyn yr Eisteddfod, fel nad oedd ganddo amser i ohebu. Cofia am danom rhagllaw.

—Mae y brodyr yn Frostburgh yn son am gael bedyddfan newydd at eu gwasanaeth.

—Dechreuodd cyfarfodydd diwygiadol Moody a Sankey yn eu Tabernacl newydd yn Tremont Street, Boston, ddydd Sul, Ionawr 28ain.

—Parhau yn anmhenderfynol y mae pwnc yr Arlywyddiaeth nesaf. Onid oes rhywbeth yn ddyeithr yn y moddau a gynygir i'w benderfynu? Yr wythnos o'r blaen, sonid am benderfynu y mater drwy *raffle*. Yr wythnos ganlynol yr oedd raid cael dull arall, sef ffurfio pwyllgor cyfansoddedig o bymtheg —pump o'r Senedd, pump o'r *House*, a phump o blith barnwyr yr Uchaf Lys. Yn awr, sonir am wneyd pwnc cyfreithiol o hono, a chael cyfreithwyr i'w ddadleu. Tystia y New York *Times* a phapyrau pwysig eraill fod yr oll o hyn yn anghyfansoddiadol.

—Da genym ddeall fod y brawd da, a'r efengylydd gwresog, y Parch. J. T. Jones, gynt o Shenandoah, yn llwyddianus a dedwydd yn Thomastown, O. Ysgrifena y brawd E. Richards fel hyn: Yn Thomastown, Ohio, Ionawr 7fed, bedyddiwyd un brawd gan ein gweinidog, y Parch. J. T, Jones. Da genym hysbysu trwy gyfrwng y WAWR, nad yw llafur ein hanwyl frawd yn ofer yn yr Arglwydd yn ein plith. Mae yr achos goreu ar ei gynydd yma—mae swn tyrfa yn dyfod. Mae cyfarfodydd gweddio yma bob nos er's pythefnos, a Duw yn gwlitho arnom yn helaeth. Ein dymuniad goreu yw blwyddyn newydd dda i chwi, ac i'r WAWR i ddyblu ei chylchrediad.

# Y WAWR.

CYF. I.] MAWRTH, 1877. [RHIF. 12.

## TROADAU Y DDAEAR A DYLEDSWYDDAU DYN.

O'r dechreuad mae y ddaearen â'i llygaid ar ddyn yn neillduol. Gyda ei mil-myrdd creaduriaid gofala yn arbenigol am dano ef. Efe yw ei phlentyn ieuengaf ac anwylaf. Anrhydedda ef â'i ffafrau yn ol ei gynydd a'i gymwysder i dderbyn. Yn ei fabandod rhoddes iddo Eden; yn ei faboed rhoddes iddo Ganaan; yn oedran llanc rhoddes iddo gyfandir; yn oedran gwr rhoddes iddo y byd. Nid yw caredigrwydd y ddaear i'w phlentyn hwn yn bersonol yn terfynu mewn rhoddi iddo fodolaeth ac "ymborth a dillad," ond ymhelaetha mewn rhoddi iddo hefyd addysgiaeth. Ymddyga ato fel creadur deallol a rhydd-weithredol. Cymesura ei gwersi at raddau y dadblygiad a ddengys.

Ar y cyntaf ymddangosai yr athrawes ddiymhongar hon, yn cyfranu ei haddysg werthfawr fel oddiar eistedd —yn ansymudol. O'r diwedd, modd bynag, daeth dyn, ei dysgybl, i deimlo dyddordeb ychwanegol yn ngwersi ei fam; daeth i dalu sylw manylach. Yn ganlynol deuai ymddangosiadau newyddion i ymrithio ger ei fron. Hyd yma ffeithiau gawsent ei sylw; yn awr deuai achosion yn destynau myfyrdod. Rhoddodd y ddaearen yn llaw dyn ffaglen gwyddoniaeth. Yr oedd drwy hon yn alluog i gymeryd golwg eang ar y greadigaeth weledig. Canys tra yr oedd y cyrph wybrenol yn adlewyrchu eu goleuni ar wynebpryd yr athronydd ieuanc, yr oedd goleuni uwchraddol eu deddfau yn pelydru ar ei feddwl synedig. Yna ymsyniai am berthynas y naill a'r llall. Gwelai gyfaddasiad yn y cyfryw i'w gilydd. Yn raddol yr oedd yn dyfod i ddeall nad allasai y belen hon fod yn ddeiliad unigol digysylltiad yn mysg hiliogaeth luosog o fydoedd hoenus, gorfawr a dysglaer. Ac O! dyma beth newydd dan haul! Dyma "ddirgelwch oedd guddiedig er oesoedd ac er cenedlaethau" yr awrhon wedi ei egluro i feibion dynion, sef *canolbwynt* y gyfundraeth heulog. Yn ngoleuni y dadguddiad newydd hwn a roddwyd i ddyn yn mherson Copernicus, ac wed'yn yn helaethach i Galileo, daeth y cyfan o'r olygfa i wisgo ymddangosiadau gwahanol i ddim o'r blaen. Yn mysg y lluaws bydoedd dyma y belen ddaearol yn ysgogi gyda buander mawr, gan gydnabod yr haul fel pen-reolydd cyffredinol. Yn awr dyma y ddaear yn ei throadau a'i symudiadau fel yn *actio* o flaen llygaid dyn gwrs gweithrediadau a chanlyniadau ei ddyledswyddau. Arddygiad i mewn yr oruchwyliaeth newydd hon gwrthododd y ddaear yr anrhydedd uchel a fynid roddi iddi o fod yn brif benaeth y cysawd. Fel y dywedodd Ioan Fedyddiwr yn bendant wrth yr offeiriaid a'r Lefiaid, "Nid myfi yw y Crist;" felly mynodd y ddaearen ddatgan ar yr adeg hon, pan anfonwyd holwyr enwog, pryderus, ati, "Hi a gyffesodd, ac ni wadodd, a chyffesodd, Nid myfi yw y canolbwynt."

Gallasai ychwanegu, a dyweyd, "Myfi yw llef un yn llefain yn y diffaethwch, Unionwch ffordd yr Arglwydd."

Gadewch i ni, gan hyny, ymofyn yn fyr, pa fodd mae troadau y ddaear yn dysgu dyn am ei ddyledswyddau, gan eu *hactio* ger ei fron.

I. DYSGANT EF AM BRIF LINELLAU Y DYLEDSWYDDAU EU HUNAIN.

*Mae goleuni yn cael ei daflu ar sylfeini ein dyledswyddau.*—Y mae i'n holl ddyledswyddau ni, fel deiliaid llywodraeth foesol Duw, eu sylfeini neillduol, eu rhwymedigaethau. Arwyddir hyn gan y gair *dyled*-swydd.

Beth sydd gan droadau y ddaear i'w ddweyd am y sylfeini hyn? Y mae ganddynt eu hachosion. Wrth egluro hyn, ni phroffeswn fod yn seryddwr. Y cwbl a wnawn fydd nodi ffeithiau sydd erbyn hyn bron yn hysbys i bawb. Rhaid fod symudiadau y belen is-loerawl hon yn cael eu heffeithio gan ddeddfau arbenig. Tystir fod y deddfau hyny yn y gwrthddrychau, ac yn eu dylanwad ar eu gilydd. Cynwysant ddefnydd a maintioli yr haul a'r ddaear, yn nghyda dylanwad naillweithredol yr elfenau yna. A chan mai yr haul yw y corph mwyaf, a'r ddaear ond megys diddym yn ei bresenoldeb, efe sydd yn meddu y brif reolaeth. Diamheu fod cyrph wybrenol, planedau y cysawd ac eraill, yn effeithio eu rhan, er mewn cymhariaeth ond ychydig. Felly hefyd mae ein dyledswyddau ninau. Maent yn gorphwys ar rwymedigaethau neillduol—ar ddeddfau arbenig—yr hyn ydyw Duw—yr hyn ydym ni—a'r berthynas sydd cydrhwng y Creawdwr a'r creadur. Oddiar y pethau hyn mae *dyled*-swyddau dyn yn cyfodi.

*Mae goleuni yn cael ei roddi eto gan droadau y ddaear ar* GWRS *ein dyledswyddau.*—Mae ysgogiadau y ddaear yn gynwysedig yn ei throadau o *amgylch* ac yn *mhresenoldeb* yr haul. Hawdd canfod mai ufudd-dod iddo ef yw y cwbl. Yn ffyrdd ei orchymynion ef mae yn rhedeg. Un gosodwr cyfraith sydd i ninau. Yn ein holl ddyledswyddau yr ydym i ufuddhau i Dduw yn fwy nag i ddynion. Mae hyn yn wir am bob peth a gyflawna dyn fel bôd moesol a chyfrifol. Duw yw yr haul—y canolbwynt.

*Mae goleuni yn cael ei roddi hefyd ar ddosranau ein dyledswyddau.*—Mae i'r belen hon ddau fath o symudiadau—ei thro dyddiol ar ei hechel, a'i thro blynyddol o amgylch yr haul. Mae ein dyledswyddau yn ymffurfio eu hunain yn ddau ddosbarth. Rhenir hwynt, mae yn wir, yn gyffredin yn dri dosbarth. Ein dyledswyddau tuag at Dduw, tuag at ein cyd-ddynion, a thuag atom ein hunain. Ond yn ddiau mae y dosbarthiad yna yn sylfaenedig ar gyflwr moesol dirywiedig dynolryw, yn hytrach nag ar eu cyflwr moesol achubedig. Nid oes i'r ddaear droadau perthynol i'r haul ar wahan oddiwrth ei throad yn mhlith y planedau a'i throad dyddiol ar ei hechel. Na, *un* gyfundraeth o droadau sydd, yn cael ei chyfuno gan y canolbwynt, yr haul. Mae y gyfundraeth hon yn gyfansoddedig o ddwy ran, a'r naill yn dwyn perthynas agos â'r llall. Yn gyffelyb yr ydym i edrych ar ddosbarthiad ein dyledswyddau. Un gyfundraeth fawr ydynt, yn gyfunedig â'u gilydd yn Nuw y Penllywydd. Maent yn gyfansoddedig o ddwy ran naill-ddibynol. Ac fel mae troadau y ddaear yn bersonol neu gymdeithasol, ac nad oes iddi unrhyw droadau o bwys ar wahan i'r cyfryw, felly nid oes dyledswyddau ar wahan oddiwrth y rhai personol a rhai perthynasol—y rhai, os rhoddwn enw arnynt oll gyda eu gilydd fel un gyfundraeth, a allwn alw yn ddyledswyddau crefyddol. Mae y sylwadau blaenorol, gan hyny, yn sefyll dros y gosodiad, nad oes i ni gwrs o ufudd-dod yn dwyn cysylltiad hollol â Duw, ar wahan oddiwrth ein lles personol a chymdeithasol. Gwir, fod y ddaear yn ei chylchdro blynyddol yn gogwyddo ddwywaith yn nes at yr haul nag arfer (canys mae ei chylchdro yn hirgrwn), ond ni fedd yr un *cylch* arbenig a'i unig ddyben i dalu gwarogaeth i'r haul. Mae ei *holl droadau* yn cynwys elfen addoliadol. Yn debyg yr ydym ninau i ogwyddo, a nesu at Dduw ar adegau yn neillduol. Ond nid oes *cylch* o ddyledswyddau ar-

benig at hyny, heb fod yn meddu amcan at ein lles ein hunain, ac eiddo ein cyd-ddynion. Gellir, os dewiser, alw yr adegau neillduol o addoliad, egwyddorion y grefydd Gristionogol—eglwys Dduw ac ordinhadau yr efengyl, yn neillduol grefyddol—a diau eu bod felly, a bod dyn yn yr ymarferiad priodol o honynt yn gweithredu yn ysbrydol; eto mae yr elfenau efengylaidd i dreiddio trwy holl symudiadau dyn, fel y surdoes yn y blawd, nes gwneyd ei holl gyflawniadau yn gyflawniadau crefyddol, yn gyfansoddedig o ddwy ran gysylltiol.

II. Dysgant ddyn am y modd y mae i gyflawni ei ddyledswyddau.

*Maent yn rhoddi esiampl o brysurdeb.*—Rhydd y ddaear dro cyfan ar ei hechel mewn llai na phedair-awr-ar-hugain; symuda yn ei chylchdro blynyddol gyda'r cyflymdra o ddeunaw milldir a thri chwarter mewn *un eiliad.* Mae yn wir nad yw y cyflymder hwn, mewn cymhariaeth i eiddo y blaned Jupiter, ond fel rhodiad cyffredin dyn o bedair milldir yr awr, i gyflymder o 250 milldir yr awr; eto mae symudiadau y ddaear yn brysur iddi *hi*, ac yn gyfartal, yn ol gofynion ei natur, i eiddo unrhyw fyd pa bynag. Mae dyledswyddau dynol i'w cyflawni gyda phrysurdeb. Mae deddfau gwobr a chosb yn symud yn brysur, felly dylai ein symudiadau moesol fod. "Brysiais," meddai un, "ac nid oedais i gadw dy orchymynion." Dywed seryddwyr fod dau dro y ddaear yn rheoleiddio eu gilydd—bod prysurdeb y tro dyddiol yn effeithio ar brysurdeb y tro blynyddol. Onid ellir dyweyd yr un peth am ddau ddosbarth ein dyledswyddau? Hyn sydd sicr, fod gwerth cymdeithasol dyn yn ymddibynu yn fawr ar ei werth personol; felly os bydd prysurdeb yn y blaenaf, rhaid ei gael yn gyntaf yn yr olaf.

*Maent yn gynllun o reoleidd-dra.*—Nid yn unig mae y troadau yn gyflym, ond y maent hefyd yn rheolaidd. Mae y peiriant wybrenol gorfawr o'r hwn y mae ein daear ni megys yn olwyn fechan, yn debyg i oriawr anferth wrth ba un y ceidw dyn ei amser ac y gwna ei ragfynegiadau, (yr hwn oriawr urddasol sydd yn gosod arucheledd a phwys ar oes ac amser dyn). Oni ddylai ein cyflawniadau ninau o'n dyledswyddau fod yn gyson a rheolaidd? Ar yr amod iddynt fod felly yn unig y gall ein hegwyddorion a'n hymarferiadau ddyfod yn ddeddfau sefydlog yn ein natur. Nis gellir synied fod y gwyriad lleiaf yn cymeryd lle yn rheoleiddiwch treigliadau y ddaear heb i'r canlyniadau mwyaf echrydus ddygwydd; a'r tebygolrwydd yw na ddichon i wyriadau oddiwrth reoleiddiwch bywyd, o ufudddod i Dduw, gymeryd lle heb ganlyniadau cyffelyb. Rhaid fod pob diffyg yn nghyflawniad dyledswydd yn doriad ar gyfanrwydd ufudd-dod, ac hefyd yn lleihau y duedd i ufuddhau. Gan hyny mae gwyriadau ac afreoleidddiwch o'r fath yn meddu canlyniadau deublyg o niweidiol.

*Maent yn gynllun eto o anwrthwynebolrwydd.*—Pwy a ddichon atal y ddaearen yn ei chylchdroadau? Pwy fedr effeithio y gradd lleiaf ar reoleiddiwch ei threigliad? Neb ond ei Chrewr. Y fath eiddilwch sydd yn perthyn i lawer crefyddwr yn ffordd y gorchymynion! Y fath beth bychan yn fynych sydd yn ei arafu, os nid ei atal yn hollol, a pheri iddo gymeryd cyfeiriad arall! Er gallu gorchfygu y byd, "cyrhaedd at y nod am gamp uchel," rhaid bod yn ddiogel genym nad all dim ein gwahanu oddiwrth gariad Crist yr hwn sydd yn Nghrist Iesu ein Harglwydd. Rhaid i ddeddf Duw fod yn y galon.

*Mae troadau y ddaear yn gynllun o wyleidd-dra.*—Mae y ddaear mor wylaidd yn ei symudiadau fel nad oes un lef o hunan-ymffrost i'w chlywed, nac un arwydd i'w ganfod o'i fodolaeth. Mae y greadigaeth faterol ar y cyfan yn fawreddog yn ei hysgogiadau, ac yn wylaidd yn ei hagweddiad. Dylai dyledswyddau bywyd gael eu cyflawni yn gyffelyb—yn wylaidd—ni ddylid ymollwng i udganu o'u blaen, na dim o'r natur hyny.

*Mae y ddaear yn ei throadau fel yn arlun o ysbryd hyfwyn ac ufudd neillduol.*—Yn wir ymddengys i'r fath raddau felly, fel pe byddai wrth ei bodd, ac o'i

chalon yn gwneuthur ei symudiadau. O'i chalon ddywedasom? Ydyw, o'i chalon yn sicr. Mae deddf ufudd-dod yn ei hanian a'i hysbryd. Mwy naturiol iddi ydyw ufuddhau na pheidio. Priodol y geiriau canlynol:

"Pan y gelwid yn y boreu
Restrau enwau ser y nen,
Deuent oll dan ganu a dawnsio
Heibio i'r orseddfainc wen,
Yn ei thro yn mhlith y lluaws
Ymddangosai'n daear ni,
Cododd gwrid i wyneb cariad
Dwyfol pan ei gwelodd hi!"

Ein lle ninau ydyw ufuddhau o'n bodd, o'n calon, a than ganu.

III. Mae troadau y ddaear yn dysgu dyn am wobrau cyflawniad ei ddyledswyddau.

*Wrth wneyd ei symudiadau, derbynia y ddaear y rhoddion gwerthfawrocaf oddiwrth yr haul.*

Tywallta yr haul ddiluw o oleuni a gwres er cyflawni angenrheidiau penaf ei bodolaeth. Tra yn gwneyd hyn amlyga ei hunan yn ei ogoniant llachar fel pen-llywydd y cysawd. Edrycha i lawr ar ein byd ni gyda y fath dremiad hoffusol ac edmygawl fel pe na buasai ganddo yr un byd arall o gyffelyb feddwl a serch. Nid yn unig mae ei lygaid mor sylwgar a threiddgar ofalus o foreu hyd hwyr, ond mae ei holl wynebpryd yn gwisgo y wên mwyaf nefol nes llawenhau holl gyfaneddle ei ddaear ef. Onid yw hyn oll yn gysgod da o'r hyn yw Duw i'r rhai glân o galon, ac i'r rhai a rodiant yn ei ffyrdd ef? "Haul a tharian yw yr Arglwydd Dduw, ni atal efe ddim daioni oddiwrth y rhai a rodiant yn berffaith." "Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn, a'i glustiau yn agored i'w llefain hwynt." Rhydd ei adnabod iddynt. "Cyfrinach yr Arglwydd sydd gyda y rhai a'i hofnant ef." "Cyflawna eu *holl raid.*" Y fath yw gwobr ufudd-dod.

*O wneyd ei throadau mae y ddaear yn mwynhau y breintiau mwyaf.*—Yn y derbyniad o'r fath fendithion oddiwrth "dad y dydd," ymddadblyga yn y mwynhad o holl freintiau ei hanfodiad. Mwynha *fywyd.* Mae hwn yn drysor personol. Yn ei mynwes mae yn llechu. Yn ei chalon hi mae ei guriadau. Eto meithrinir ef gan adnoddau a dderbynia oddi fry. Yn gyffelyb mae i'r hwn a wna ei orchymynion ef; mae iddo ran yn *mhren y bywyd.* Mae gweithrediadau y bywyd hwn o dan ei fron. Ac mae ffynonell yr *anian fywiol* hon hefyd yn y nef. Heblaw hyn, mewn canlyniad i'w hufudd-dod mae y ddaear yn aros yn y *diogelwch mwyaf.* Llawer o ddarogan sydd wedi bod erioed gan bersonau ymyrgar, anwybodus, ac weithiau gan bersonau uchraddol, am berygl y ddaear. Bygythiwyd yn awr a phryd arall y byddai i ryw blaned neu gomed ddyfod i wrthdarawiad â hi, gan ei dinystrio yn hollol. Hyd yn hyn, modd bynag, mae pob darogan o'r fath wedi bod yn ofer a disail. Y tebygolrwydd yw, nad oes y perygl lleiaf i'r hen ddaearen dderbyn unrhyw niwed felly, tra y pery ar lwybr ei dyledswydd. Mae diogelwch *dyn* yn beth i'w sicrhan drwy fodd cyffelyb. Nid oes man diogel ond llwybr dyledswydd. Yno yn ddiau y gellir canu, "Nid ofnwn pe symudai y ddaear, a phe treiglid y mynyddoedd i ganol y môr."

*Mae ewyllys da a charedigrwydd y bydoedd amgylchynol yn wobrwyon ufudd-dod y ddaear.*—Ni oddefir i'n daear ni ymlwybro yn flynyddol yn mhlith y bydoedd amgylchynol, gan weinyddu ei chymwynasau bychain heb amlygiadau parhaus o gymeradwyaeth ac ewyllys da. O fewn cylch ei dylanwad a'i hadnabyddiaeth nid oes iddi yr un gelyn; mae pob byd yn gwenu yn siriol arni, ac fel yn ewyllysio yn dda iddi. Ac nid *dymuniadau* da yw y cwbl ychwaith; anfonir anrhegion o oleuni a gwres yn ddibaid i'w lloni a'i dedwyddoli. Tra byddo dyn yn gwneyd i eraill fel yr ewyllysio i eraill wneyd iddo ef, gall yntau ddysgwyl gwobrau nad yw y cyfryw ond cysgodion o honynt.

Y mae pob peth yn gweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw. Fel mae dydd a nos, haf a gauaf, tymestloedd a hinonau, tyrfau a thawelwch, yn cydwasanaethu er lles y ddaear, felly bydd i groesau a llwyddiant, adfyd a

hawddfyd, gydwasanaethu er effeithio daioni penaf yr hwn fo'n ffyddlon yn nghyflawniad ei ddyledswyddau.

O. G.

## PA FODD Y MAE CAEL DIWYGIAD CREFYDDOL YN Y LLE HWN?

Ddarllenydd anwyl, ysgrifenu yr wyf atat fel y dealli fy meddwl. Ni threiddiaf i ddyfnderoedd; ni ddefnyddiaf iaith na brawddegau anhawdd i ti eu deall; ond gwirioneddau syml, eglur, eto gwir bwysig ac ymarferol.

Yr wyt yn synu paham nad yw crefydd yn llewyrchus yn eich plith fel eglwys a chymydogaeth. Yr ydwyt yn aml yn gofyn, "Paham na baem *ni* yn cael llwyddiant yn yr *eglwys hon?*" Gan y credwyf dy fod yn Gristion hiraethus am adfywiad crefyddol, yn ofn Duw ac yn ngoleuni y Gair Sanctaidd, ymdrechaf dy ateb.

Gwaith i lwyddo yw eiddo y Gwaredwr—efengyl ddylanwadol yw efengyl Crist—eglwys i gynyddu yw eglwys y Testament Newydd—pobl yw pobl yr Arglwydd sydd i fod mor lluosog a ser y nef. Byd i ddod yn eiddo ufudd i'r Iesu yw yr holl fyd dynol. Ond paham y mae olwynion cynydd yn troi mor araf? sydd ofyniad synfawr a theilwng o ystyriaeth ddwysaf pob Cristion. Yn awr cymellaf dy sylw at y pethau canlynol, fel achosion o farweidd-dra crefyddol.

1. *Nid yw y weinidogaeth yr hyn y dylai fod.*—Hyderaf y meddiana y darllenydd, os yn bregethwr, ras ataliol. Os yn ddieuog, diolched; os yn euog, gweddied. Os ydym am i efengyl bur Crist lwyddo, rhaid traethu y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Y mae yr hen ddull o bregethu allan o arferiad. Nid yw y gweinidog yn ffyddlon i egwyddorion crefydd, ond yn hytrach i chwaeth y lluaws. Pregetha enedigaeth, marwolaeth, adgyfodiad, ac eiriolaeth y Gwaredwr; yn hyn yn unig, yn ol ei ymarferiad ef, y mae "y groes" yn gynwysedig. Nid yw bywyd daearol Crist yn cael digon o le yn ei bregethau; nid yw yn dangos i'r bobl fod ei fywyd yn esiampl i ni, fel mae ei farwolaeth yn iawn trosom. Nid yw yn dangos i'r bobl eu cyflwr—dadlenu eu cymeriadau, fel ag y gwnai Crist wrth bregethu i'r Ysgrifenyddion a'r Phariseaid; ac fel Pedr i'r bobl ar ddydd y Pentecost—"yr Iesu hwn a laddasoch *chwi*," &c. Nid yw yn dal dyledswyddau ac egwyddorion ymarferol crefydd yn noeth o flaen y bobl. Pan yn rhoi ergyd ar ben rhyw bechod neillduol, os bydd yno rai yn euog o hono, gofala y pregethwr ffurfio ei frawddegau mor gywrain fel na byddo i'r bobl ddeall y meddwl heb lawer o fyfyrdod, ac felly â y sylw yn ofer. Sonia am bechodau pobl bell, ac nid pechodau ei bobl ei hun. Trwy hyn mae y bobl yn cael aros yn y tywyllwch, a'r canlyniad yw y mae dysgyblaeth yr eglwys yn wallus, yr aelodau yn ymlygru, a'r gwrandawyr digrefydd yn myned i gredu eu bod cystal a'r crefyddwyr, ac nad yw Duw yn gofyn mwy oddiarnynt na'r hyn a wnant.

2. *Nid yw blaenoriaid yr eglwys yn cyflawni eu dyledswyddau.*—Mynych y tadogir aflwyddiant crefydd i'r *gweinidog*. Dywedir nad yw ei bregethau yn ddigon da—fod ei ddefnyddioldeb wedi terfynu yn y maes hwn; tra mewn gwirionedd fod y diaconiaid ac eraill fel y "gelyn ddyn" yn y ddameg, yn hau had drwg yn y maes lle yr hauwyd had da gan y gweinidog. Yr achos fod pethau wedi myned i'r cyflwr hwn yw—mae y gweinidog yn rhy wan i gario ar ei gefn holl gloffion a gwywedigion crefydd. Neu, am nad yw yn ddigon darostyngedig i'r diacon; nid yw yn mynychu ei dy ef yn ddigon aml, a'r canlyniad yw y dychymyga y diacon ei fod yn ei weled yn llawn ffaeleddau; dechreua siarad yn amheus am dano; ac yn hytrach na dal ei freichiau i'r lan, cysuro ei feddwl lluddedig, a gweddio drosto, defnyddia ei holl ddylanwad yn llechwraidd gydag eraill i'r dyben o gael rhyw achwyniad neu gam-ddealltwriaeth rhyngddo a'r gweinidog; a diwedda y peth yn symudiad y gweinidog; tra yn aml y diacon ddylai gael eu symud. Mae diffyg llwyddiant yn aml yn y wlad hon o ddiffyg blaenoriaid teilwng.

3. *Nid oes digon o weddio dros y weinidogaeth.*—Gwir fod yn arferiad gan y brodyr, pan yn cael ei galw i weddio yn gyhoeddus, i dori geiriau tebyg i eiriau gweddi am lwyddiant. Ond os nad ydynt yn gofyn yn y dirgel, ni thâl Duw yn yr amlwg. Pe bae yr aelodau yn gwir deimlo yr hyn a ofynant mewn geiriau—yn *gweddio* rhagor am lwyddiant, buasent nes o lawer o'i gael.

4. *Diffyg crefydd yn y cyflawniadau.*—Os yn masnachu, yr ydys yn masnachu fel masnachwyr eraill, er y dichon y rhai hyny fod yn bechaduriaid mawrion—yn anffyddwyr. Mae yr aelod crefyddol yn codi yr un faint o bris am y nwyddau a rhyw fasnachwr arall, er fod hyny lawer yn rhy uchel; y mae yn cribddeilio, ac yn dod yn gyfoethog o herwydd ei fod yn efelychu y byd yn ei fasnach; yn lle bod yr aelod crefyddol yn arwain ei gydfasnachwr at brisiau rhesymol a theg, y mae yn cymeryd ei arwain gan yr annuwiol at brisiau uchel a gormesol. Ar yr ochr arall hefyd, y mae aelodau yr eglwys mor anonest ag aelodau o'r byd—dynion dros eu pen mewn dyled, a llawer o hyny trwy ddifaterwch a balchder, eisiau dilyn y ffasiwn, a bod mor dda a rhai sydd lawer uwch eu hamgylchiadau na hwy. Mynant bob peth, er nas gwyddant pa bryd na pha ffordd y talant am dano. Nid ydynt yn ngolwg y Testament Newydd amgen na lladron a thwyllwyr! Gwir fod rhai mewn dyled, ond nid o'u bodd; nid am y rhai hyny y soniaf. Dylai y ffaith fod person yn aelod crefyddol fod yn ddigon i agor pob maelfa ofynol iddo gael yr hyn a ofyna ar goel; ond nid felly y mae. Mae yn yr eglwys bobl gyfoethog â chalon gauedig—dau beth hollol groes i'w gilydd. Dywed yr aelod crefyddol anwiredd, er mwyn achub ei hun a hunan-les, mor rhwydded ag un o'r byd. Ni ddylai hyn fod os ydys am lwyddiant crefyddol.

5. *Diffyg cyfeillgarwch rhwng yr aelodau.*—Y mae rhai yn yr eglwys yn ystyried eu hunain yn rhy uchel i gyfeillachu ag eraill, er eu bod o'r un gwaed—gwaed Crist—yn blant i'r un Tad, oll yn gyd-etifeddion—pob un yn gyfystyr yn ngolwg crefydd bur y Testament Newydd. Nid yw eu bod yn aelodau o'r un eglwys yn cynesu eu calonau at eu gilydd; a thrwy hyny y mae llawer yn y byd yn ystyried nad oes yr un budd o uno â'r eglwys weledig.

6. *Y mae yr aelodau yn cnoi a thraflyncu eu gilydd*—yn eiddigeddus, yn siarad yn fychanus am eu gilydd, yn dangos gwendidau eu gilydd i'r byd. Heddwch sydd i fod yn eglwys yr Iesu—caru eu gilydd y mae aelodau o gorph Crist, fel y gwna aelodau dy gorph dithau, ddarllenydd. Fel yr ymddygi at dy fraich, &c., y dylet ymddwyn at dy gyd-aelodau yn yr eglwys.

7. *Diffyg ffyddlondeb cymdeithasol.*—Nid yw y cyfamod eglwysig yn cael ei weithio allan; nid oes sêl dros grefydd yn ganfyddadwy yn ymddygiadau yr aelodau. Dadleuant eu *hawliau* fel *dynion*, ac nid eu *rhwymedigaethau* fel *Cristionogion*—y *dyn* o flaen y *Cristion!* Addawant gadw eu cyd-gynulliad, ond cânt amser i bobpeth ond i fyned i gyfarfod crefyddol. Gallant wneyd ymdrech i fyned trwy y storm, er eu bod wedi blino, i gyflawni gorchwylion tymorol, buddiol i'r corph, neu fwynhau pleser bydol. Ond ystyriant yn beryglus ymarfer yr un ymdrech i gadw gorchymynion Crist, a gorchwylion crefyddol, er budd a phleser ysbrydol yr enaid. Arosant gartref i barotoi llithiau i'r wasg, cyfansoddiadau eisteddfodol, neu ganu cystadleuol, tra y dylent fod yn cadw eu cydgynulliad eglwysig. Addawsant wneyd pob ymdrech i gynal crefydd mewn ystyr arianol. Ond y mae trysorfa yr eglwys yn wag, cyflog y gweinidog heb ei thalu (er fod hono yn is na chyflog gweithiwr cyffredin), ac ystyriant hwy nad oes raid iddynt *hwy* wneyd un *aberth* er gwellâu pethau. Gallant gael arian at bob peth, ac i fyned i bob man, ond nis gallant gael dim i gynal pregethiad o'r efengyl a chrefydd gymdeithasol. Nid ydynt yn gwneyd aberth trwy gwtogi eu gloddest, i'r dyben o ddangos eu parch a'u gofal am achos Mab Duw. Nid yr hyn nas gellir canfod lle iddo mewn man arall sydd eis-

iau yn yr eglwys. Mae rhai, am nas gallant roddi yr un faint a rhywun arall, yn meddwl na ddylent roddi dim. Rhoddi o'i heisiau wnaeth y weddw o Sareptah; a rhoddi yr oll oedd yn ei meddiant ar y pryd wnaeth y weddw a dynodd sylw Crist wrth y drysorfa; a rhoi yn ol gallu ein hymdrech, bydded fawr, bydded fach, yw gofynion crefydd. Y mae esgeuluso y ddyledswydd arianol hon yn drosedd cymaint ag esgeuluso rhyw ddyledswydd arall. Mae y pechod o gybydd-dod a difaterwch gymaint a meddwdod ac anlladrwydd; ac y mae pob esgeulusdod o ddyledswyddau crefyddol yn rhwystrau ar ffordd yr achos i lwyddo. Achwyna llawer nad ydynt yn cael blas ar bethau crefyddol, na phleser yn y cyfarfodydd gyda moddion gras. Canlyniad naturiol cwtogi diwydrwydd a ffyddlondeb ydyw colli chwaeth at fwyd. Os wyt wedi lleihau dy ymdrechiadau gyda rhyw ran o ddyledswyddau crefydd, y mae hyny yn ddigon o reswm dros dy fod yn methu cael pleser gyda'r gwaith. Gwna fwy o waith, cei well chwaeth, a gelli ymborthi yn helaethach.

Yn awr, gyfaill, dyna y pethau, *rai* neu yr oll o honynt, sydd yn atalfa ar ffordd diwygiad a llwyddiant. Nid wyf yn gwybod pa rai o'r pethau hyn sydd ar y ffordd yn y gymydogaeth lle yr wyt ti yn trigianu. Ystyria hwynt yn ddifrifol. Y gweinidog, yn gyffredin, yw y bwch diangol, er mai pechodau y bobl sydd yn cael eu llwytho arno. Cofier nad wyf yn dyweyd fod pob eglwys, a phob aelod, yn y cyflwr darluniedig yn yr ysgrif hon; ond gwyr pawb sydd wedi craffu ar bethau yma a thraw, fod y pethau hyn yn bodoli mewn manau. Ddarllenydd, os wyt yn grefyddwr, gwna dy oreu i gael yr holl eglwys i fod fel lamp wedi ei thrwsio, yn goleuo. Ymdrecha gael gan yr eglwys i fwynhau crefydd gymdeithasol a theimlo mai hyfryd yw trigo o frodyr yn nghyd, fel y gwelo y byd ogoniant Seion.

Os nad wyt ti, ddarllenydd, yn grefyddwr, paid a balchio yn y gwendidau a nodais. Os wyt yn teimlo dros grefydd bur, dos i'r eglwys, dangos esiampl dda, ymdrecha er cael diwygiad. Bydded i ni oll edrych ar wneyd ein rhan ni i gael llwyddiant, a daw i ni ddaioni; llwydda yr eglwys, achubir dynion, a bydd mawl a chân ar dân cariad yn derchafu i Dduw o galonau canoedd o'r newydd yn ein hardal.

DRYW BACH.

---

## DARLUN O'R MILFLWYDDIANT YN Y FAGWRFA.

[*O'r Ellmynaeg.*]

Y prophwyd gynt a ddysgwyd,
Am amser teg ei wedd,
Pryd trigai'r blaidd a'r oenig
Yn wych mewn perffaith hedd.

Y llo a'r llew breninol
Dywysa tyner law,
A'r un ni ddryga mwyach,
Yn nghorlan Ior mewn braw.

Ar y bwrddyn bychan,
Dy chwareu bach i mi
Ddarlunia'r cyfnod dedwydd,
Yr hyfryd Jubili.

Pan o dy arch cymeri
Fwystfilod gwyllt a gwâr,
A defaid, bleiddiaid hefyd,
Gyferchi fel dy gâr.

Yr oen a'r goes doredig,
A ddwrdi gyda gwên,
A'i rhoddi hi i'r teigr,
Yn llywydd ac yn ben.

Y wenol a'r golomen,
Ti borthi a'r bwyd iawn,
Yr arth a'r llew newynog,
A'r unrhyw wnei yn llawn.

A gwely esmwyth wneli,
I'r iar a'r arthes fawr;
Yr ofnus ysgyfarnog,
A'r llewpart gysgant lawr.

Fel hyn dy fwrddyn bychan,
Dy chwareu ddysg i mi,
Yr euraidd wych ddyfodiant,
Hoff blentyn, hedd i ti.

ADOLPH SAPHIR.

## Y CYNGORAU CYN-GYFFREDINOL.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, WILKESBARRE,

RHIF II.

Yn ngwyneb honiadau beiddgar y Babaeth, y mae yn briodol sylwi, gyda phwyslais neillduol, nad oes yr olion lleiaf o gyngor eglwysig, o'r flwyddyn 50 neu 51, sef Cyngor Caersalem, hyd ganol yr ail ganrif; ac hefyd mai yn Ngroeg ac Asia Leiaf y cyfarfyddir a'r cyfryw; *nid* yn Rhufain. Da y dywed Mosheim, "Dros y rhan fwyaf o'r *ail* ganrif yr oedd yr eglwysi Cristionogol yn annibynol ar eu gilydd; ni unwyd hwynt, na chan gymanfa na chyngrair nag un rhwymyn arall, oddigerth cariad." A hyn y cydsynia yr hanesydd eglwysig perthynol i eglwys Loegr hefyd: "Yr oedd pob eglwys yn *gwbl annibynol* ar bob eglwys arall yn nhrefniant y pethau a berthynent iddi." Drachefn, dyfyna Mosheim ddernyn Lladin o waith Tertullian ar yr hwn y gwneir y sylwadau canlynol:

1. Fod cyngorau o'r fath yr ymffrostia Rhufain ynddynt, yn anadnabyddus nid yn unig yn Affrica, ond hefyd yn yr eglwys Ladinaidd, yn nyddiau Tertullian. Pethau "*per graecias*," yn mysg y Groegiaid oeddynt.

2. Fod cychwyniad *synodau* (gair Groegaidd yn cyfateb i'r un Lladinaidd, sef *councils*) yn *ddynol*, h. y., yn efelychiad, yn yr eglwys, o'r hyn a arferid yn y wladwriaeth, ac nid cynulliadau o dan awdurdod apostolaidd, ac mewn cydsyniad ag esiampl ysbrydoledig.

3. Fod lleoedd arbenig i'w cynal, "*certis in locis*."

4. Fod y pynciau yr ymdrinid â hwy o *bwys* i eglwysi y cylch.

5. Fod yr esgobion yn bresenol, nid fel llywodraethwyr, ond cynrychiolwyr yr eglwysi o dan eu gofal.

Y synod gyntaf mewn hanesyddiaeth a gyfarfu tua chanol yr ail ganrif, ac yn Hierapolis, talaeth Phrygia, y cynaliwyd hi. Yr achlysur oedd, fod y Montaniaid yn achosi cryn flinder ar y pryd. O dan deyrnasiad Marcus Aurelius cyfododd Montanus, yn honi mai efe oedd y "Dyddanydd" addawedig; fod yr Ysbryd Glan yn preswylio ynddo ef, ac mai Pepuza, ei gartref, oedd y wir Gaersalem. Fel genau dros yr Ysbryd rhagfynegai ddinystr buan ar y byd, yn neillduol ar yr Ymerodraeth Rufeinig. Yr oedd ei ddysgyblaeth eglwysig yn llem iawn, ond er hyny cafodd gynulleidfaoedd lluosog o ganlynwyr yn Asia a pharthau o Ewrop, yn ogystal ag yn Affrica. Dywedir mai o herwydd fod ei eglwys y buraf yn y wlad o ran moesau, y darfu i Tertullian enwog fyned ar ei ol. Parhaodd Montaniaeth hyd y bumed ganrif.

Crybwyllir gan Eusebius, a aned yn Cesarea tua 270 O. C., ac a gyfenwir yn dad hanesyddiaeth eglwysig, fod cyngorau neu synodau wedi eu cynal yn Thrace—yn ogleddol o Macedonia—yn y blynyddau 160 a 173. "Nis gwyddom," ebe Coleman, "y rhesymau neillduol dros gynulliad y cyngorau hyn." Tybia mai "damweiniol a thros amser" yr oeddynt.

Er yn foreu yr oedd gwahaniaeth barn a threfn o barthed cadw "dydd yr Arglwydd" yn lle y Sabboth Iuddewig; yn nghylch arddodiad dwylaw, trefn y gwasanaeth crefyddol, a phethau eraill a dueddent i aflonyddu yr eglwysi. Cwestiwn gofidus iawn oedd amseriad a gwasanaeth gwyl y Pasg, yn gymaint a bod pethau Iuddewaidd yn dyfod pryd hyn yn fwyfwy dylanwadol ar feddwl Cristionogion. Arferid, yn awr, fedyddio ar y Pasg a'r Sulgwyn, am y golygid fod y cyfryw adegau yn cydweddu ag amcan yr ordinhad. Mor ddiweddar a'r rhan olaf o'r bedwaredd ganrif, cawn grybwylliad gan Chrysostom am fedyddiad tair mil ar adeg yr wyl hon. Bu anghydffurfiad gyda golwg ar amseriad yr wyl yn ddigon o drosedd i alw am esgymuniad eglwysi Asia, yn y flwyddyn 197, pan oedd Victor yn Esgob Rhufain! Pa fodd bynag, "*dechreuad* gofidiau yw hyn oll." Yn y flwyddyn 230 ysgrifena Hippolytus yn nghylch y cweryl hirfaith a gwarthus a fu rhwng y Dwyrain a'r Gorllewin ar y pwnc dibwys hwn.

Erbyn tua chanol y drydedd ganrif

cawn fod cyngorau aml wedi eu galw mewn gwahanol wledydd—yn Iconium 235 O. C., ac yn Synnada yn Arabia 243 a 246, yn Rhufain 251, yn Antiochia 252. Dichon y dylem nodi i'r olaf ymgynull yn herwydd sect newydd—yr ymneillduwyr cyntaf o Eglwys Rufain —canlynwyr Novatian. Y dyn hwn a daenellwyd o'i ben i'w draed ar ei wely, pan yn glaf ac agos i angau, fel y bernid ar y pryd. Dyma yr engraifft gyntaf a allasai yr ymofynydd manylgraff Dr. Wall—Eglwyswr—ei chael, o osod yr arferiad apostolaidd o drochi y bedyddiedig o'r neilldu. Wedi hyn, caniateid i gleifion gael y gyfryw fantais, yn hytrach nag iddynt farw y tu allan i'r eglwys. Ys dywed Coleman: "*The utmost that can be said of sprinkling in that early period is, that it was, in case of necessity, permitted as an exception to a general rule.*" A sylwer ar yr hyn a ddywed yn mhellach: "*This fact is so well established that it were needless to adduce authorities in proof of it.*" Bu Novatian yn ymgeisydd yn erbyn Cornelius, am esgobaeth Eglwys Rhufain yn benaf, am fod hwnw mor ddiofal am ddysgyblaeth eglwysig. Cathari—Puritaniaid—y galwai Novatian ei ganlynwyr; a safai yn gadarn dros burdeb bywyd a ffyddlondeb proffeswyr crefydd. Tybia Mosheim mai *stoic philosopher* ydoedd cyn ei argyhoeddiad. Wedi anobeithio am eglwys bur o dan nawdd Rhufain, yr oedd lluoedd fel Novatian, yn barod i ymneillduo. Yr oedd y Novatiaid yn ail-fedyddio, am y credent nad oedd gwir grefydd o gwbl y tu allan i'w heglwys hwy; a phan ddiarddelent, yr oeddynt yn bwrw allan am byth. Bu y Puritaniaid boreuol hyn yn ddylanwadol am yspaid dau cant, ac ychwaneg, o flynyddoedd. Rhoddir iddynt ganmoliaeth gan yr Anffyddiwr Gibbon: "Y mwyaf diddrwg a diniwaid o'r holl sectau," eb efe.

---

Y mae cydwybod dda yn werthfawrocach na chyfoeth y dwyrain. Mor felus yw hûn yr hwn a allo ddodi ei ben ar obenydd, ac adolygu gweithrediadau pob dydd heb gondemnio ei hun.—*Knox.*

## MYNEGFYS Y CRISTION.

*Cydymdeimlad Iesu a Zaccheus.*—Yr oedd cydymdeimlad Iesu yn gydymdeimlad a'r oll ag sydd yn ddynol. Ni ddarfu iddo ef gydofidio a Zaccheus yn nghylch ei dreialon, ni ddarfu iddo ymddyddan ag ef am ei enaid. Ni phregethodd iddo yn nghylch ei bechodau; ni weithiodd ei ffordd drwy orthrech i'w dy ef i'w geryddu. Dywedodd yn unig, "Canys rhaid i mi heddyw aros yn dy dŷ di;" drwy hyny yn cysylltu ei hun â phublican, drwy hyny yn cydnabod publican yn frawd. Zaccheus yn bublican? Zacheus yn bechadur? Ie, ond mae Zacheus yn ddyn. Mae geiriau miniog yn dolurio ei galon; mae ganddo deimlad o anrhydedd dynol; mae efe yn teimlo grym gwarthrudd y byd. Colledig? Ie, ond mae Mab y Dyn, gyda gwaed yr hil ddynol yn ei wythienau, yn frawd i'r colledig. —*Parch. Fred. W. Robertson.*

*Rhwystr i Gynydd Cristionogol.*—Mae math o deimlad ag sydd o'i feithrin yn rhwystr i gynydd crefyddol; hwnw yw, y dymer edifeiriol, hunan gondemniol, ag sydd bob amser yn edrych yn ol, ac yn sylwi yn orfanwl gymaint a wnaed a allasai fod wedi ei wneyd yn well. Dylem feddu ryw gymaint o hyn. Dylai Cristion deimlo bob amser ei fod wedi methu yn rhanol, ond nid hwn ddylai fod yr unig deimlad. Dylai ffydd bob amser fod yn beth gwresog a siriol; ac efallai, mewn bywyd ymarferol, na allem roddi gwell cyfrif am ffydd na thrwy ddyweyd, ei bod yn nghanol methiantau lawer, yn meddu ar galon i gynyg eto. "Anghofio y pethau o'r tu cefn, ac ymestyn at y pethau o'r tu blaen."—*Yr Un.*

*Rhagluniaeth fel Olwyn.*—Yr ydych yn gwybod fod un rhan mewn olwyn nad ydyw byth yn troi oddiamgylch, sydd yn aros yn sefydlog; a hono yw yr echel. Felly yn rhagluniaeth Duw, mae echel nad ydyw byth yn symud. Gristion, dyma feddwl melus i ti! Mae dy sefyllfa yn cyfnewid yn wastadol; weithiau y'th ddyrchefir, ac weithiau y'th ddarostyngir; eto, mae un pwynt

ansymudol yn dy sefyllfa. Beth yw yr echel hono? Beth yw y pegwrn ar ba un mae yr holl beirianwaith yn troi? Dyna yw, echel cariad tragywyddol Duw tuag at ei bobl gyfamodol. Mae yr allanol o'r olwyn yn newid, ond mae y canolbwynt yn sefyll bythoedd yn sefydlog. Gall pethau eraill symud; ond nid yw cariad Duw byth yn newid —echel yr olwyn ydyw.—*C. H. Spurgeon.*

*Manteision Cysylltiedig a Gweddio yn Gyhoeddus*—Mae gan weddi ddylanwad nid ar Dduw yn unig, ond hefyd ar ddynion. Yr ydym yn cofio darllen am y caethfeistr yn cael ei feddalhau, wrth glywed y Negro dan y fflangell yn gweddio drosto; ac am yr esgob yn esgusodi yr offeiriad am oddef i Andrew Fuller bregethu yn yr eglwys, pan ddy wedwyd wrtho fod A. F. yn gweddio drosto.—*Parch. J. Rowe.*

*Bwriadau Dyn a Chyngor Duw.*—Mae cymhariaethau rhwng Duw a dyn yn dygwydd yn fynych yn yr Ysgrythyrau, ac yn mhob llyfrau crefyddol a phregethau. Y mae yn bosibl i hyn arwain i gamgymeriad pwysig, yn erbyn yr hwn y dylem ni oll wylied, sef lleihau ein syniad am anghyfartalwch anfesurol y gwrthddrychau. Beth bynag all fod y pellder sydd yn cael ei dybio yn nhermau y gymhariaeth, mae y ffaith y gellir, a'u bod yn cael eu cymharu o gwbl yn tueddu i fychanu ein dirnadaeth am fawredd yr Hollalluog. Y mae felly pan y mae y gymhariaeth yn bod yn un o debygolrwydd, megys mewn daioni, sancteiddrwydd, perffeithrwydd. Ac y mae felly hefyd pan y mae yno gyferbyniad; canys er i'r cyferbyniad gael ei ddefnyddio i ddangos y gwahaniaeth mawr, eto, mae hyd yn nod yr amgylchiad o gysylltiad y drychfeddyliau o greadur mymrynaidd, gronyn o fodolaeth, a Bod Anfeidrol yn meddu rhywbeth o'r effaith, os gallwn ei osod allan felly, o gadw i lawr y drychfeddwl am yr anfeidroledd hwnw. Nid yw dau wrthddrych a allwn gymeryd ar yr un olwg, yn ymddangos yn anfeidrol wahanol. Bydd i ni wneyd yn dda i ymdrechu yn erbyn yr effaith anfanteisiol hwn, drwy godi yn ein myfyrdod am y Goruchaf, yn ei natur hanfodol ei hunan, fel uwchlaw pob cymhariaeth.—*Parch. J. Foster.*

---

# LLITHIAU I BAWB.

## Gweledigaethau y Bardd Cwsg.

RHAN II.

"Tyred yn nes atynt," ebe'r Angel, ac a'm cipiodd i waered yn y llen gêl, trwy lawer o fwrllwch diffaeth oedd yn codi o'r ddinas; ac yn Ystryd Balchder disgynasom ar ben eangle o blasdy penagored mawr, wedi i'r cwn a'r brain dynu ei lygaid, a'i berchenogion wedi myned i Loegr, neu Ffrainc, i chwilio yno am beth a fuasai can haws ei gael gartref; felly, yn lle yr hen dylwyth elusengar, daionus gwladaidd gynt, nid oes yr awran yn cadw meddiant ond modryb Dylluan hurt, neu Frain rheibus, neu Biod brithfeilchion, neu'r cyffelyb, i ddadgan campau y perchenogion presenol. Yr oedd yno fyrdd o'r fath balasau gwrthodedig, a allasai oni bai balchder, fod fel cynt, yn gyrchfa goreugwyr, yn noddfa i'r gweiniaid, yn ysgol heddwch a phob daioni, ac yn fendith i fil o dai bach o'u hamgylch.

O ben y murddyn yma yr oeddym yn cael digon o le, a llonydd i weled yr holl ystryd o'n deutu. Tai teg iawn, rhyfeddol o uchder ac o wychder; ac achos da, o ran bod yno ymerodron, breninoedd, a thywysogion gantoedd, gwyr mawr a boneddigion fyrdd, a llawer iawn o ferched o bob gradd; gwelwn aml goegen gorniog, fel llong ar lawn hwyl, yn rhodio megys mewn ffram, a chryn siop pedler o'i chwmpas, ac wrth ei chlustiau werth tyddyn da o berlau; a rhai oedd yn canu, i gael canmol eu llais; rhai yn dawnsio, i ddangos eu llun; eraill oedd yn paentio, i wellau eu lliw; eraill wrth y drych er's teirawr yn ymbincio, yn dysgu gwenu, yn symud pinau, yn gwneyd munudiau ac ystumiau. Llawer mursen oedd yno, na wyddai pa sut i agor ei gwefusau i siarad chwaithach i fwyta;

na pha fodd, o wir ddefosiwn, i edrych tan ei thraed; a llawer ysgowl garpiog a fynai daeru ei bod hi cystal merch foneddig a'r oreu yn yr ystryd; a llawer ysgoegyn rhygyngog a allai ridyllio ffa wrth wynt ei gynffon.

A mi yn edrych o bell ar y rhai hyn, a chant o'r fath, dyma yn dyfod heibio i ni globen o baenes fraith ucheldrem, ac o'i lledol gant yn ysbïo; rhai yn ymgrymu megys i'w haddoli; ambell un a roai beth yn ei llaw hi. Pan fethodd genyf ddyfeisio beth oedd hi, gofynais. "O," ebe fy Nghyfaill, "un yw hon sydd a'i chynysgaeth oll yn y golwg; eto gweli faint sydd o rai ffolion yn ei cheisio, a'r gwaelaf yn abl, er sydd arni hi o gaffaeliad; hithau ni fyn a gaffo, ni chaiff a ddymuno; ac ni sieryd ond a'i gwell, am ddyweyd o'i mam wrthi, nad oes un gamp waeth ar ferch ieuanc, na bod yn ddifalch wrth garu." Ar hyn, dyma baladr o wr a fuasai yn Alderman, ac mewn llawer o swyddau, yn dyfod allan odditanom, yn lledu ei esgyll, megys i hedeg, ac yntau prin y gallai ymlwybran o glun i glun, fel ceffyl a phwn, o achos y gest a'r gowt, ac amryw glefydon bonedd-igaidd eraill; er hyny, ni chait ti ganddo, ond trwy ffafr fawr, un cipedrychiad; a chofio, er dim, ei alw wrth ei holl deitlau a'i swyddau.

Oddiar hwn troais fy ngolwg tu arall i'r ystryd, lle gwelwn glamp o bendefig ieuanc, a lluaws o'i ol, yn deg ei wên, a llaes ei foes, i bawb a'i cyfarfyddai. "Rhyfedd," ebe fi, "fod hwn a hwn acw yn perthyn i'r un ystryd." "O, yr un dywysoges, Balchder, sy'n rheoli'r ddau," ebe yntau; "nid yw hwn ond dywedyd yn deg am ei neges; hel clod y mae e'r awran, ac ar fedr, wrth hyny, ymgodi i'r swydd uchaf yn y deyrnas; hawdd ganddo wylo wrth y bobl, faint yw eu cam gan ddrwg swyddogion yn eu gorthrymu; eto ei fawrhad ei hun, nid lleshad y deyrnas, yw corff y gainc."

O hir dremio, canfum wrth borth y Balchder, ddinas deg ar saith fryn, ac ar ben y llys tra ardderchog yr oedd y Goron Driphlyg, a'r Cleddyfau, a'r Agoriadau yn groesion. "Wel, dyma Rufain," ebe fi, "ac yn hon y mae'r Pab yn byw?" "Ie, fynychaf," ebe'r Angel, "ond mae ganddo lys yn mhob un o'r ystrydoedd eraill." Gyfeiryd â Rhufain gwelwn ddinas, a llys teg iawn, ag arno wedi ei dderchafu yn uchel, haner lleuad ar faner aur; wrth hyn gwybum mai'r Twrc oedd yno. Nesaf at y porth ond y rhai hyn, oedd llys Lewis XIV. o Ffrainc, fel y deallais wrth ei arfau, y tair fflwr-de-lis ar faner arian yn nghrog uchel. Wrth selu ar uchder a mawredd y llysoedd hyn, gwelwn lawer o dramwy o'r naill lys i'r llall, a gofynais beth oedd yr achos. "O! llawer achos tywyll," ebe'r Angel, "sy rhwng y tri phen cyfrwysgryf hyn a'u gilydd; ond er eu bod hwy yn eu tybio eu hunain yn addas ddyweddi i'r tair tywysoges fry; eto nid yw eu gallu a'u dichell ddim wrth y rhai hyny. Ie, ni thybia Belial fawr mo'r holl ddinas (er amled ei breninoedd) yn addas i'w ferched ef. Er ei fod ef yn eu cynyg hwy yn briod i bawb; eto ni roes efe yr un yn hollawl i neb erioed. Bu ymorchestu rhwng y tri hyn am danynt; y Twrc, a'i geilw ei hun duw'r ddaiar, a fynai'r hynaf yn briod, sef Balchder: "Nage," meddai brenin Ffrainc, "myfi biau hono, sy'n cadw fy holl ddeiliaid yn ei hystryd hi, ac hefyd yn dwyn ati lawer o Loegr, a theyrnasoedd eraill." Mynai yr Yspaen y dywysoges Elw, heb waethaf i Holland a'r holl Iuddewon; mynai Lloegr y dywysoges Pleser, heb waethaf i'r Paganiaid. Ond mynai'r Pab y tair, ar well rhesymau na'r lleill i gyd; ac y mae Belial yn ei gynwys ef yn nesaf atynt yn y tair ystryd. "Ai am hyny y mae'r tramwy yr awran?" ebe fi. "Nage," ebe fe, "cytunodd Belial rhyngddynt yn y mater hwnw er's talm. Ond yr awran, fe roes y tri i wasgu eu penau yn nghyd, pa fodd nesaf y gallant ddifa yr ystryd groes acw, sef Dinas IMMANUEL, ac yn enwedig un llys mawr sydd yno, o wir wenwyn ei weled ef yn decach adeilad nag sy'n y Ddinas Ddienydd oll. Ac mae Belial yn addo i'r sawl a wnel hyny, haner ei freniniaeth tra bo ef byw, a'r cwbl pan fo marw. Ond er

maint ei allu a dyfned ei ddichellion, er maint o emprwyr, breninoedd, llywiawdwyr cyfrwysgall sy tan ei faner ef yn yr anferth Ddinas Ddienydd; ac er glewed ei fyddinoedd aneirif ef tu draw i'r pyrth yn y wlad isaf; eto," ebe'r Angel, "cânt weled hyny yn ormod o dasg iddynt, er maint, er cryfed, ac er dichlyned yw'r mawr hwn, eto mae yn yr ystryd fach acw Un sy *fwy* nag yntau.

---

FARRAGUT.

Enw tra adnabyddus ar dudalenau hanesyddiaeth. Dywedir fod i'r boneddwr uchod fab, a phan oedd ei fab yn ddeg mlwydd oed, dywedodd ei dad yn ei glyw a ganlyn: Pan fyddo fy mab yn hynach o ddeng mlwydd nag y mae yn bresenol gwnaf gytundeb ag ef, y mae genyf fargen i'w chynyg iddo ef. Cododd y mab bychan ar ei draed, a gofynodd a gwên ar ei wyneb siriol, Beth fydd y cytundeb fy nhad? Ei dad a ddywedodd, y cynyg yw hwn—os bydd i ti beidio smocio, cnoi, na defnyddio myglys yn un ffordd yn y byd, nac ychwaith yfed pethau meddwol hyd nes y byddot yn un ar hugain oed, rhoddaf i ti fil o ddoleri. Yr wyf yn ddigon hen i wneyd y fargen heddyw; ie, i'w gwneyd yr awr hon—derbyniaf y cynyg. Gwnaed y fargen yn y fan, a phan ddaeth y bachgen yn un ar hugain oed, derbyniodd y mil doleri! Ie, mil o ddoleri; swm mawr onide? Ac heblaw hyn, sylfaen dda i sobrwydd wedi ei gosod i lawr a fuasai yn dwyn elw ar ei ganfed iddo trwy ei oes, mewn lles a chysuron. Oni fyddai yn dda i filoedd heddyw, ag sydd yn *nervous*, crynedig, a thlawd; ie, yn angenus a diymgeledd yn achos y pethau meddwol, pe buasent wedi gwneyd rhywbeth yn debyg i fab Farragut.

CHRISTOPHER BACH.

---

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

YSGOL-FEISTR MAWR.

Mae yn arferiad i ddarlunio amser fel hen ysgerbwd, gyda barf wen, adenydd mawrion cyflym, gyda thywodwydryn yn un llaw, a phladur ofnadwy yn y llall. Gadewch i ni edrych ar amser mewn gwedd arall; ond nid llai cywir. Nid yw mwyach yn fedelwr mawr yn tori y byd i lawr, ond yn feistr mewn ysgol.

Pwy yw ei ysgoleigion? Pawb o honom, ieuainc a hen, mawr a bach. Mae yn anhawdd adrodd mewn ychydig eiriau ddysgeidiaeth y meistr caled hwn; canys cynwys holl brofiadau daearol, holl ddoethineb ddynol. Er hyny gadewch i ni symio i fyny un o'i wersi.

Wrth y tlawd y dywed: Gweithia, yr wyf wedi gweled dynion mor dlawd a chwithau ar y cyntaf, yn enill trwy weithio, ychydig at ychydig, gysur a llawnder, ac yn gadael i'w meibion etifeddiaeth eang, ac enw anrhydeddus.

Wrth y cyfoethog y dywed: Byddwch haelionus, yr wyf wedi gweled llawer o'ch bath chwi yn flinedig, ac wedi ymdreulio allan gan bryder yn nghanol eu cyfoeth. Y rhai hyny yn unig sydd yn gwybod dirgelwch dedwyddwch, ag ydynt yn gwasgar cysur a llawnder oddiamgych iddynt.

Wrth yr ieuanc y dywed: Arafwch, a pheidiwch a chamarfer. Gymaint o ynfydion ieuainc a fedais i lawr yn hen, cyn haner eu hamser, y rhai mewn ychydig ddyddiau wnaethant afradloni rhoddion goreu Duw.

Wrth yr hen y dywed: Yr wyf wedi gweled dynion oeddynt, hyd yn nod, o dan faich blynyddoedd yn gallu bod yn wasanaethgar a chariadus. Efelychwch rai o'r fath; hyfforddwch a chyngorwch yn dyner y rhai sydd yn dyfod ar eich hol, a gwyliwch ar eich tymer.

O! mae amser yn athraw mawr; ond yn mhob oes, gymaint o ysgoleigion drwg y mae wedi ei gael.

---

ANERCHIAD ATHRAWES I DDOSBARTH IEUANC O BLANT.

Deuwch yma, fy anwyl blant, gwrandewch ychydig yn nghylch y byd dymunol hwn lle yr ydych yn byw, ac yn nghylch byd gwell, lle yr wyf yn gobeithio y byddwch byw byth. Pan y rhodiwch allan yn y maesydd, a gweled

y blodau, a'r ŵyn, a'r dwfr dysglaer, diameu genyf eich bod yn meddwl fod y byd hwn a wnaeth Duw, yn brydferth a theg iawn, ac felly y mae. Mae Duw yn caru ei greaduriaid, ac am hyny gwnaeth iddynt y lle prydferth hwn i fyw ynddo; a phe byddai i ddynion a merched, a phlant, garu Duw ac ymdrechu i'w foddio ef, trwy gadw ei orchymynion, byddai iddynt fod yn hollol ddedwydd yma, ar y ddaear, a phan wedi gadael y ddaear hon, byddant yn ddedwyddach fyth yn y nefoedd.

Yr wyf yn gwybod, fy anwyl rai ieuainc, yr hoffech glywed cryn lawer am y nefoedd; ond nid ydyw wedi rhyngu bodd gan Dduw i ddyweyd llawer wrthym am y lle, felly mae yn rhaid i ni fod yn foddlawn, i wybod ei fod yn lle dedwydd a sanctaidd iawn. Yno mae Duw a'n Gwaredwr; yno cawn fod fel yr angelion sanctaidd, y rhai na fyddant yn gwneyd dim un amser allan o'u lle, ond ydynt yn wastad yn barod i ganu clodydd i Dduw, ac i wneyd yr oll a geisia efe ganddynt.

Yn y nefoedd nid oes mwyach boen nac afiechyd, dim ymadael ag anwyl gyfeillion; oblegid bydd i bawb fyw gyda'u gilydd mewn gogoniant am byth; ac nid oes pechod yn y nefoedd. Satan, yr ysbryd drwg hwnw, a wrthryfelodd yn erbyn Duw, a'r hwn a fwriwyd i lawr o'r nefoedd, ni all eich temtio i fod yn ddrygionus yno. Dim tymer ddrwg, fy rhai ieuainc, dim nwyd, dim balchder, yn y nefoedd; ni cha dim aflan fyned i mewn yno. Ac yn awr, fel y dywedais wrthych, y mae y fath le sanctaidd, yn gystal a dedwydd, ac fel y gwyddoch, i chwi fod yn fynych yn afreolus iawn, nid wyf yn ameu fod y syniad yn dyfod i'ch meddwl nad ydych chwi yn ddigon da i fyned i'r nefoedd pan y byddwch farw; ac na fyddwch yn alluog i fod yn ddigon da i haeddu myned i'r nefoedd, a dyma yw y rheswm i'r Iesu grasol ddyfod i lawr i'r ddaear, dysgu pechaduriaid, cymeryd ei fedyddio yn yr Iorddonen, cyflawni gweithredoedd nerthol, marw ar y groes, fel y gallai fod yn Iachawdwr i chwi os ufuddhaech iddo, ac fel y gallech trwy ei haeddiant fyned i'r nefoedd pan y byddoch farw; ond ni fydd i chwi fyned yno os na fydd i chwi fod yn ddysgyblion iddo, a gwneyd fel y mae ef yn dyweyd wrthych; a gobeithiwyf y bydd i chwi ymdrechu gwneuthur ei ewyllys ef. "Cofiwch eich Creawdwr yn nyddiau eich ieuenctyd, cyn dyfod y dyddiau blin," ac yna cewch fyw am byth gydag ef yn y nefoedd. P. G.

---

CYFIEITHWYR Y BEIBL I'R GYMRAEG.

Meddyliwn na byddai yn anfuddiol coffâu ychydig am y gwyr enwog a fuant yn offerynol i gyfieithu yr Ysgrythyrau sanctaidd i'r iaith Gymraeg.— Y cyntaf a anturiodd at y gwaith canmoladwy a llafurus hwn oedd, William Salisbury, o'r Cae du, yn Llansannan, sir Ddinbych. Cyfieithodd y Testament Newydd, gan mwyaf ei hun, ac argraffwyd ef yn y flwyddyn 1567. Argraffodd hefyd rai llyfrau bychain eraill. Nid oes lle i ameu nad oedd yn wr duwiol, ac ymdrechgar iawn dros achos Duw a lles eneidiau anfarwol. Bu'r Cymry 21 o flynyddau gwedi hyny heb gael y Beibl yn gyflawn: yr hyn o'r diwedd a ddygwyd i ben trwy lafur y Doctor William Morgan, yr hwn oedd y pryd hyny yn Ficar yn Llanrhaiadr yn Mochnant. Ganwyd ef yn Ewybrnant, yn mhlwyf Penmachno, yn sir Gaernarfon. Dygodd y plwyfolion ryw achwyniad arno at yr Esgob. Mae lle i feddwl mai ei lymder yn erbyn eu drwg-foesau hwy a fu yr achos iddynt chwilio allan ryw beth yn ei erbyn. Wedi ymddangos o hono ger bron yr Archesgob, wrth iddo ymddyddan â'r Doctor William Morgan, cafodd le i farnu ei fod yn nodedig o hyddysg yn yr ieithoedd gwreiddiol, yn mha rai yr ysgrifenwyd yr Ysgrythyrau. Gofynodd yr Archesgob iddo, A oedd efe mor hyddysg yn yr iaith Gymraeg ag oedd efe yn yr ieithoedd gwreiddiol. Atebodd yntau, Gobeithio, fy Arglwydd Esgob, y bernwch fy mod yn fwy cyfarwydd yn iaith fy mam nag mewn un iaith arall. Yna yr Esgob, yn lle gwrando ar enllib y

plwyfolion, a anogodd y Doctor i gyfieithu yr Hen Destament (yr hwn yr oedd efe eisoes wedi ei ddechreu), felly daeth argraffiad o'r Beibl allan yn gyflawn yn y flwyddyn 1588. Er mai y Dr. Morgan oedd prif awdwr y cyfieithiad hwn, eto yr oedd amryw yn ei gynorthwyo, sef Dr. W. Hughes, o sir Gaernarfon, Esgob Llanelwy. Cynorthwywr arall, haelionus a thirion iawn, a fu Dr. John Whitgift, Archesgob Caergaint, sef drwy ei gyngorion, ei haelioni, a'i esiampl i eraill i fod yn gynorthwyol yn y gwaith ardderchog hwnw, er mai Sais ydoedd ef ei hun. Hefyd, y Dr. Hugh Bellot, yr hwn a wnaed yn Esgob Bangor, a fu yn gynorthwyol iawn i ddwyn y gwaith mawr yn mlaen. Y Dr. Gabriel Goodman hefyd sydd yn deilwng o fod mewn coffadwriaeth, am ei gymorth a'i garedigrwydd yn lletya y Dr. W. Morgan, tra bu yn golygu argraffiad y Beibl, heblaw ei gynorthwyon amryw ffyrdd eraill. Yn nesaf enwir y Dr. David Powell, Ficar Rhiwabon, yr hwn oedd wr tra dysgedig, yn Gymro rhagorol, a hyddysg iawn yn hanesion ei wlad; nid oes amheuaeth na bu y gwr enwog hwn yn gynorthwyol iawn i'r gwaith. Cynorthwywr nodedig arall oedd Edmund Prys, Archddiacon Meirionydd, yr hwn oedd ysgolhaig mawr a phrydydd enwog. Cyfansoddodd y Salmau a'r gân, y rhai sydd mewn derbyniad mawr, ac a arferir yn y rhan fwyaf o eglwysi Cymry hyd heddyw. Ganwyd ef yn y Gerddi bluog, a bu fyw yn y Tyddyn du, gerllaw Maentwrog, o'r hwn yr oedd efe yn Berson, ac yno y claddwyd ei. Wedi [illegible] ac ymdrech y gwyr dysgedig hyn, daeth y Beibl allan, fel y soniwyd, yn y flwyddyn 1588. Diwygiodd y Dr. William Morgan lawer ar gyfieithiad Mr. Wm. Salisbury ar y Testament Newydd yn y flwyddyn 1567. Gan na argraffwyd nemawr ychwaneg o Feiblau y pryd hyny nag un i bob Llan, nid oedd y wlad yn gyffredin yn gwybod fawr am dano, ond yr hyn a glywent ddarllen o hono ar y Sabboth yn yr eglwysydd; a chan nad oedd ond prinder o honynt ar y cyntaf, a llawer o honynt wedi darn ddryllio; gwelodd rhai gwyr dysgedig fawr angenrheidrwydd am argraffiad drachefn o'r Beibl sanctaidd, a hefyd bod eisiau perffeithio a diwygio peth ar gyfieithiad y Dr. Morgan. Felly y Dr. Richard Parry (yn ol hyny Esgob Llanelwy), a gymerodd y gorchwyl pwysfawr hwn mewn llaw; a'r Beibl sanctaidd a argraffwyd yr ail waith yn y flwyddyn 1620. Y cyfieithiad hwn o eiddo y Dr. Parry sydd genym yn arferedig hyd heddyw. Yr oedd yr enwog a'r dysgedig Dr. John Davies, Person Mallwyd, yn gynorthwywr defnyddiol i'r Dr. Parry, yn y gwaith llafurus hwn. Dywedir i'r Dr. Davies gael ei ddwyn i fyny gyda'r Dr. Morgan; ac felly cafodd fantais fawr yn ieuanc i fod yn fedrus yn mhob dysgeidiaeth, yn enwedig yn iaith ei wlad. Dywed ef ei hun (ac eraill hefyd) ei fod yn cynorthwyo y Dr. Morgan a'r Dr. Parry yn y ddau gyfieithiad uchod o'r Beibl i'r Gymraeg.

---

# Y CYLCH CYMDEITHASOL

---

### Y DRWG MAWR CYMDEITHASOL.

Bu yr enwog John B. Gough, yn Utica, ar y 14eg o'r mis diweddaf, yn areithio ar y drwg dwfn, llydan-wreiddiol meddwdod, a sobrwydd, neu yn ol fel y geirid y testyn—"Temperance." Yr oedd yr Opera eang yn orlawn, ac yr oedd y llefarwr yn ei hwyliau arferol. Rhoddwn yma rai dyfyniadau byrion o'i araeth:

Mae pawb yn uno a ni mewn un peth, sef fod meddwdod, ac arfer diodydd meddwol yn foeth-ddiod yn ddrygau. Yr wyf yn dadleu dros lwyr ymwrthodiad, nid yn unig i'r meddwyn, ond fel egwyddor o ymarferiad cyffredinol. Gwrthwyneba rhai, gan ddywedyd, nad oes dim yn rhaid i ddyn ddyfod yn feddwyn os yf yn gymedrol. Yr ydym oll yn gwybod hyny. Y mae rhai dynion a allant yfed yn gymedrol, a hyny hyd ddiwedd eu hoes, ac y mae rhai na allant. Bu fy nhad fyw 94 o flynyddau, yfai bob amser, ond ni fu erioed yn feddw. Bu farw yn ddyn crefyddol, ond yn yfwr cymedrol.

Gallai efe fod yn yfwr cymedrol; ond ni allai ei fab. Yna dywedwch: Yr ydych yn ddyn o feddwl gwan-aidd. Gadewch i hyny fod ynte; os na allaf fod yn yfwr cymedrol, diolch i Dduw, gallaf lwyr ymwrthod yn hollol. Yr yfwr cymedrol ydyw yr un anhawsaf cyrhaedd ato; oblegid nid ydyw wedi teimlo ei rym a'i felldith. Yfwch os dewiswch, yfwch os rhaid i chwi, cymerwch eich moeth-ddiod bychan nes eich marw; ond na ddywedwch wrth y dyn ieuanc i ddilyn eich esiampl. Y mae pob un a ddaeth erioed yn feddwyn, wedi dod felly wrth geisio bod yn yfwr cymedrol. Gall un dyn sefyll ar binacl eglwys heb syrthio; ond am bob un o'r fath, y mae deg na allant. Os gallwch sefyll ar y bwrddyn yna, a dyweyd i mi eich bod yn gosod esiampl dda, ac i mi ei gynyg, a methu, y mae fy ngwaed i ar eich gwisgoedd. "Rhaid yw dyfod rhwystrau, ond gwae y dyn hwnw trwy yr hwn y deuant."

Dangoswyd dylanwad diod gadarn pan mae unwaith wedi meistroli dyn, yn hynod effeithiol, drwy egluriadau o ymarferiaeth. Gofynwyd i ddyn ieuanc a argyhoeddwyd mewn cwrdd diwygiadol diweddar, i ardystio dirwest, ond a wrthododd gan ddyweyd: "Nid oes arnaf fi eisiau unrhyw ardystiadau yn awr, oblegid mae gras Duw yn alluog i'm cadw i." Nid oes gan ras Duw ddim gallu i atal gwirod wneyd ei effaith, os yfwch ef. Gwenwyna cysgwy Gristion mor fuan a Hottentot. Nid yw ond oferedd i gyd i siarad am ras Duw i atal effeithiau anianol oddiwrth achosion anianol. Yr wyf yn credu yn ngras Duw; y mae yn galluogi dyn i orchfygu y drwg; ond nid yw yn ei gymeryd ymaith. Defnyddiwch y gallu sydd genych, ac yna gofynwch i Dduw eich cynorthwyo, a bydd i chwi wneyd y peth yn sicr. Gellwch gymeryd gweddi yn ysgafn; ond ni ddarfu un dyn erioed yfed gwydriad o wirod ar ei liniau mewn gweddi. Yr ydym yn chwerthin at rai agweddau sydd i feddwdod, o achos nad allwn beidio; eithr nid yw yr hyn ydym yn chwerthin ato, ond un wedd i ffaith ofnadwy. Pan y mae dyn yn feddw mae efe yn gosod diffoddydd ar y goleuni a roddodd Duw iddo. Mae meddwdod yn dinystrio, yn iselhau, yn anifaileiddio, yn lleidfrychnio, yn damnio dyn, ac yn ei anghymwyso i bob peth ag sydd yn urddasol a dynol.

---

### DIM BLODAU AR YR ARCH.

Mae yr arferiad hwn wedi dyfod yn feichus. Geilw y papyrau ef yn "Deyrnged blodeuol." Y mae yn feichus am ei fod yn beth sydd yn cael ei hawlio oddiwrthych pan fyddo un o'ch cyfeillion farw. Yr oedd yr arferiad yn ei dechreuad yn un brydferth. Beth oedd yn fwy dymunol na dwyn y cynyrchion hyn o'r goedwig wyllt, neu yr ardd, a'u gwasgar ar arch un a ymadawsai i fyned i'r gerddi tragywyddol? Y mae yn arferiad ddymunol eto yn y wlad, lle y gellwch dynu pwysiau o flodau a'u dwyn i'r marw.

Ond y mae wedi dyfod yn wagder arwynebol, pan y byddont yn cael eu gorchymyn yn gyfanwerthol oddiwrth y blodeuwr, i gael eu danfon, gyda cherdyn yn arwyddo y rhoddwr—yr hyn na ddylid ei anghofio—i dŷ y galar.
—*Christian Weekly.*

---

### MOESAU YN YR HEOL.

Pan yn cerdded gyda boneddiges, neu gyda boneddwr a fyddo hynach na chwi, rhoddwch iddynt ochr uchaf y palmant, hyny yw, yr ochr agosaf i'r ty.

Pan yn cerdded yn unig, a chwi yn gweled unrhyw un yn dyfod tuag atoch ar yr un ochr i'r heol, rhoddwch iddo ochr uchaf y palmant; felly trowch o'r neilldu i ddyn fo yn cario baich trwm, i offeiriad, neu weinidog, i fenyw, neu i unrhyw berson oedranus.

Mewn torf, peidiwch byth a gwthio o'r neilldu yr hwn fo ar eich ffordd, ond aroswch yn amyneddgar nes y byddo y ffordd yn glir. Os byddwch mewn brys ar fusnes o bwys, canfyddwch y bydd i ychydig o eiriau caredig agor y ffordd o'ch blaen yn fwy buan na'r gwthio mwyaf egniol, a siarad uchel.

Os daw angenrheidrwydd i groesi bwrddyn neu lwybr cul, gadewch i unrhyw foneddiges, neu berson oedranus a fo hefyd yn myned heibio, fyned o'ch blaen.

Peidiwch a smocio yn yr heol hyd ar ol tywyll, ac yna cymerwch eich *cigar* o'ch genau os cyfarfyddwch a boneddiges.

Byddwch ofalus yn nghylch eich gwisg; ni allwch byth wybod pwy ellwch gyfarfod; felly, mae'n well peidio byth gadael y ty heb wisgo yn dda.

Gochelwch daro unrhyw un a'ch penelin wrth fyned heibio; a pheidiwch a siglo eich breichiau fel y bo'ch yn cerdded.

Byddwch ofalus pan yn cerdded gyda neu yn agos i foneddiges, i beidio rhoddi eich troed ar ei gwisg.

Wrth gario umbrella, daliwch ef fel y galloch weled y ffordd yn glir o'ch blaen; gochelwch daro eich umbrella yn erbyn y rhai fyddo yn myned heibio i chwi; os yn cerdded gyda boneddiges, gadewch i'r umbrella ei gorchuddio hi yn berffaith, ond deliwch ef fel na chyffyrddo a'i bonet. Os bydd genych ddwy foneddiges, gadewch iddynt gario yr umbrella rhyngddynt, a cherddwch tu allan eich hunan. Na cherddwch rhwng y ddwy, rhag i chwi gael y goreu o amddiffyn yr umbrella.

Wrth gyfarfod a boneddiges, aroswch iddi hi eich moes-gyfarch chwi, ac wrth ddychwelyd ei moes-gyfarchiad symudwch eich het.

Os gwnewch sefyll i siarad a neb ar yr heol, sefwch yn agos i'r tai, fel na bo i chwi ymyraeth ag eraill a fo yn myned heibio.

---

Mae gair croes yn beth bychan, ond mae yn beth sydd yn cyffroi y cawrfil.

Mae gair mwyn yn beth bychan, ond mae yn cynwys y peth a liniara drallodion yr iar fo'n eistedd.

Mae croen aurafal (*orange*) ar y *sidewalk* yn beth bychan, ond y mae wedi rhoddi codwm i lawer cawr.

# CENEDLAETHOL.

---

### DEWI SANT.

Mae yn anhawdd gwybod gwir hanes Dewi Sant, gan fod cynifer o chwedlau wedi eu cymhlethu a'i goffadwriaeth, ac hefyd yn mhen tua chwe' chan' mlynedd ar ol ei farwolaeth y cafodd ei wneyd yn sant, neu ei ganoneiddio, gan y Pab Calictus, tua 1120. Tybir i Dewi farw yn 554, yn 82 oed: eraill a osodant ei farwolaeth yn 566. Claddwyd ef, meddir, yn anrhydeddus yn Nhyddewi, ar draul Maelgwyn Gwynedd. Daeth Dewi yn fuan i fri mawr gan y Cymry. "Englynion y Clywed," y rhai ydynt hen iawn, a gyfeiriant yn barchus at Ddewi:—

**A glywaist ti a gant Dewi,**
**Gwr llwyd, llydan ei deithi?**
**Goreu defawd daioni.**

Dyna oedd arwyddwers Dewi, sef mai y ddefod oreu oedd gwneuthur daioni. Y mae yn anhawdd gwybod pa pryd y gwnaed ef yn warcheidsant Cymru; dywed y Dr. W. O. Pugh: "Ni chlywsom erioed sôn am y fath sant tadogawl, nac am y geninen fel ei arwydd, hyd oni hysbyswyd yr unrhyw i mi yn Llundain." Er hyny, yr oedd mewn bri mawr trwy yr oesau; a phe gellid rhoddi coel i chwarter y gwrhydri a ddywedir am dano, a'n cenedl ni, fel cenedloedd eraill, mewn angen nawddsant, dilys nas gellid ei amgen i'r swydd. Mae y TRIOEDD yn ei ddyrchafu fel un o dri "Phenesgob Ynys Prydain," ac un o dri "Gwesteion Gwynfydedig Ynys Prydain. Bu Dewi Sant farw ar y dydd cyntaf o Fawrth, a chedwir ei wyl fel Sant y Cenin gan y Cymry hyd y dydd hwn. Mae y "Canu i Dewi" gan Gwynfardd Brycheiniog, rhwng 1160 a 1230, yn priodoli iddo yr holl chwedlau sydd yn ei "Fuchedd," megys:

**Dewi mawr Mynyw, syw sywedydd,**
**A Dewi Brefi ger ein broydd,**
**A Dewi lien balch Langyfelach,**
**Lle mae monach a mawr grefydd.**

Mae 40 o eglwysi a 13 o gapeli yn gysegredig i Ddewi yn Neheudir a

swydd Henffordd, er nad oes gymaint ag un llan yn gysegredig iddo yn Ngwynedd a Phowys. Gan Mair y mae mwyaf o eglwysi yn Nghymru, sef 143; Mihangel yw yr ail, sef 94; Dewi yw y trydydd, sef 53. Bu Cymru yn fwy Pabaidd nag y myn llawer iddi fod. Cafodd Dewi ei ganoneiddio, ac aeth yn sant y drychiolaethau.

---

DIFYRGERDDI.

Gwelir ar gipolwg tros weithiau y cynfeirdd mai dosbarth diweddar a newydd ar gerddi yw y rhai digrif. Yr un mor newydd gyda barddoniaeth pob cenedl. Ychydig iawn o ysmaldod a ffraethinebgeir yn yr Hebraeg, y Groeg, a'r Lladin. Eler trwy yr holl hen gyfrolau clasurol. Deuwn yn mlaen wedy'n trwy lenyddiaeth Seisnig gan ddechreu yn Chaucer, a gwelwn fel y mae cerddi digrif mewn cyfartaledd i eraill yn cynyddu. Nid yw Ysgotland, nac hyd nod yr Iwerddon ffraeth, yn eithrio oddiwrth y rheol. Fel un achos o hyn gellir dweyd mai peth a hogir gan gymdeithas lawen yw ffraethineb. Nid oedd oesau bugeiliol ac amaethyddol mor ffafriol i ddigrifwch ag yw yr oes hon, sydd mor lawn o gyfarfodydd a chwmniau dyddan. Ond yr oedd chwerthin, meddwch chwithau, mor naturiol i ddyn gynt ag ydyw yn awr, ac y mae pob dosbarth o gerddi yn cynyddu y naill oes ar ol y llall. Beth bynag am naturioldeb chwerthin, anhawdd yw credu rywfodd fod y moddion i'w gynyrchu heb weithio i fyny gydag addysg, chwaeth a moesoldeb. Fel un prawf mai cam i *fyny* ydyw y caneuon digrif a gynyrchodd yr oesau diweddaraf, chwi sylwasoch yn ddiau nad yw y werin fwyaf anwybodus yn gallu cyraedd atynt i'w mwynhau.

Camgymeriad ydyw tybied fod pob dosbarth o ganeuon yn cynyddu o oes i oes, o herwydd fel y codod cerddi digrif i fyny aeth caneuon meddwon a chaneuon anniwair i lawr. Anhawdd yw darllen am haner awr o waith Twm o'r Nant, Lewis Morris, a degau eraill, heb ddyfod ar draws engreifftiau o hyn, er mor uchel y saif y gwyr hyny ar daflen awenyddiaeth yr amser y buont byw. Gellir ystyried, ie, a chredu yn ddibetrus fod caniadau digrif, pur oddiwrth anfoesoldeb, yn fendith fawr i gymdeithas. Maent felly trwy fod yn adloniant iachus, pleserus, a diniwed ynddynt eu hunain, trwy ddylanwadu yn llesol ar dymerau gorddifrifol, rhagfarnllyd, ac anghyfeillgar; a thrwy gynorthwyo moddion eraill i gadw i lawr y caneuon anfoesol sydd mor hawdd ganddynt lithro yn ddirgelaidd o law i law; yn ol yr arferiad gyffredin a fodolai cyn amser yr argraffwasg.

Mae Pabyddiaeth mwy na heb yn ein Hymneillduaeth. Egwyddor sect fanylaf y Pab ydyw gomedd cig ar ddyddiau neillduol, gwahardd priodas i'w hoffeiriaid, a gomedd dedwyddwch naturiol y fuchedd hon i filoedd o ferched ieuainc duwiolfryd y lleiandai. Rhaid cyfaddef fod teimlad cyffelyb, mwy neu lai, yn ein mysg ninau, yn erbyn y pleserau mwyaf syml a diniwed, ac fod rhai mân ganeuon can bured a'r goleuni oddiwrth ddrwg, yn cael eu gomedd am yr un rheswm ag y gwaherddir bwyta cig ar ddydd Gwener. Mae y canlyniad o dynu y llinyn yn rhy dyn nes ei dori i'w weled yn fynych yn nheuluoedd duwiolaf y wlad. Mae ceff'ogaeth gyda ffrwyn rhy den yn hollol mor annoeth a gadael i'r awenau hongian yn rhy lac —yn hyn fel mewn llawer o bethau eraill—myn eithafoedd gydgyfarfod.

Dylid sylwi fod cyfnewidiad mawr wedi dechreu yn Nghymru yn ystod y deng mlynedd diweddaf, gyda golwg ar ddyweyd chwedlau, neu frawddegau i gynyrchu chwerthin wrth addoli. Mae y gweinidog presenol yn myned yn nes at ddifrifoldeb yn ei bregethau, gan gadw ei holl ddigrifwch erbyn y cwrdd tê, neu y cyfarfod llenyddol perthynol i'w eglwys. Y mae ffaith gwerth ei chofio yn nglyn a hyn. Y dynion mwyaf difrifol ar y Sabboth y rhan amlaf ydynt y rhai digrifaf yn ystod y cwrdd adlonawl.

Yn lle cymysgu sobrwydd a difyrwch a'u gilydd fel yr oedd y ffasiwn flynyddau yn ol pan oedd eisiau denu y bobl o ddifyrwch y twmpathau, y gwylmabsantau a'r tafarnau, i dai addoliad;

y mae y pwlpud wedi addasu ei hun i, a chyfnewid gydag amgylchiadau. Pregethir heddyw wirionedd a sobrwydd am y byd a ddaw, ac y fory geilw yr un genau arnom i fwynhau y byd hwn oreu gallom. Eiddo Cæsar i Cæsar, ac eiddo Duw i Dduw. Os na fwynhawn y byd hwn gyda ein teimladau naturiol a moesol, yr ydym yn cymeryd arnom fod yn well na natur ac yn ddoethach na'r Hollddoeth, ein Creawdwr. Ond gwell yw tori yn fyr, oherwydd mae y dosbarth yr hoffwn gyrhaedd, yn debyg o gadw yn ddigon pell oddiwrth y mân lyfrau pechadurus hyn. Y drwg mwyaf ydyw fod llawer o ysgrifenwyr i newyddiaduron yn anwybodus o'r gwahaniaeth sydd rhwng caneuon *difyrus* a chaneuon *masweddol.* Yn mysg eraill cefais yr anrhydedd o saethu ataf ugeiniau o weithiau oddiar ynau bwa fy nghyfeillion mwyaf mynwesol, yn unig am nad aethant i'r drafferth fechan o weled y gwahaniaeth, ïe, y gagendor fawr sydd rhwng digrifwch a maswedd. Cria rhai dynion o lawenydd, a chwertha eraill nes bydd eu llygaid yn llawn dagrau. Cysylltiad agos felly sydd rhwng Llawenydd a Difrifoldeb. Gwasanaethant eu gilydd a rhedant trwy naill y llall. Fel y mae y cymylau gwlaw yn tywallt, ac yn clirio gwynebpryd y nefoedd i belydrau'r haul fod yn fwy dymunol ac iachusol, a'r haul drachefn yn gwneyd i'r ddaear sychedu am gawod o wlaw—felly llawenydd a difrifoldeb. Ynfyd yw y dyn sydd bob amser, ac ar bob egwyl yn llawen, a ffwl ynfyted ag yntau, yw yr hwn sydd bob amser yn ddifrifol a diwên.

Byddai mor hawdd cael gwlad iach ei hinsawdd heb ddim haul yn tywynu arni, a chael dyn iach ei galon heb heulwen llawenydd a difyrwch yn ei natur. Un o arwyddion yr amserau hyn, fel y rhaid sylwi ar boblogrwydd cynyddol difyrgerddi, ydyw fod calon y genedl yn iachâu, ac yn curo yn fwy dynol a naturiol o ddydd i ddydd.

CEIRIOG.

---

Mae rheg yn beth bychan, ond mae yn cael ei gofnodi yn nghoflyfr y nefoedd.

# Barddoniaeth.

---

### PENILLION O GYDYMDEIMLAD

*A'r Parch. E. Jenkins, Plymouth, Pa., yn ei ddwfn drallod ar ol ei Ddiweddar Fab* WILLIAM, *a fu farw yn 21 ml. a 5 mis oed.*

---

A oes afon fawr ysbrydol,
  Ag a deithia nos a dydd,
Sydd yn afon fyw, rinweddol
  A ylch ymaith ofid prudd?
Os oes, fy mrawd, pa le mae hi,
'Gael golchi ffwrdd eich gofid chwi?

Fel y mae pob gwanwyn llonwedd
  'N agor blodau dros y byd,
Ac yn taenu perarogledd
  Dros ei led a thros ei hyd;
Fel hyn estynai'ch gwyneb chwi
Gysuron i'n mynwesau ni.

Ond 'n awr, fy mrawd, eich llonder wywa,
  Y mae'n galed, galed waith,
I gael gwên o'r gwyneb yna,
  A hono rhwng y dagrau llaith;
Os afon Duw, pa le mae hi,
'Gael golchi ffwrdd eich dagrau chwi?

Eich llais glywaf yn dywedyd
  Y mae William yn y bedd,
Gwn, fy mrawd, aeth ef o'i ofid,
  A'r 'storom fawr i borthladd hedd;
Aeth ef i fewn o'r awel gro's,
O wlad y gofid cyn y nos.

Gan ei fod tu draw i ofnau,
  Tu draw'r lli' a'r 'storom gref,
Nas gall saeth ar fwa angau
  'N drag'wyddol ei gyrhaeddyd ef;
Os afon Duw, pa le mae hi,
'Gael golchi ffwrdd eich gofid chwi?

Glychau, gyrwch gnuliau galar
  Dros y bryniau mwyaf pell,
Nid ânt byth dros linell amser
  I roi blinder i'r wlad well;
Os afon Duw, pa le mae hi,
'Gael golchi ffwrdd eich gofid chwi?

Wedi rhedeg teg a ffyddlon,
  Hyd nes cyrhaedd pen y daith,
Wedi dechreu gwisgo coron,
  Gorphwys sydd yn felus waith;
Os afon Duw, pa le mae hi,
'Gael golchi ffwrdd eich gofid chwi?

Y peth cyntaf sydd yn syrthio
  Yma yn yr anial fyd
Yw y tegwch goreu ynddo
  Ag sydd flodyn hardd ei bryd;
Po decaf, puraf, ydyw ef,
Cynt teimla awch yr awel gref.

Y ferch decaf mewn cym'dogaeth,
A'r mab mwynaf yr un wedd,
Deimlant chwaon oer marwolaeth,
Wywant gyntaf lawr i'r bedd;
Rhyw awgrym ydyw hwn o hyd
Fod nefoedd dyn tu hwnt i'r byd.

Yno yn drag'wyddol ddiogel
Mae y mwyaf teg a phur,
Byth siarada'r esmwyth awel
Ar wastadedd dwyfol dir;
A byth ar y gwastadedd hyn
Bydd William mwy yn angel gwyn.

A oes afon fawr ysbrydol
Ag a deithia nos a dydd,
Sydd yn afon fyw, rinweddol
A ylch ymaith ddagrau prudd?
Os oes, fy mrawd, pa le mae hi,
'Gael golchi ffwrdd eich gofid chwi.

*Plymouth, Pa.* D. E. EVANS (*Trelech*).

## GOLWG AR BEN-CALFARIA.

Addawodd yr Iesu o'i rad penarglwyddol,
Ar fynydd Calfaria ddwyn cosb ei holl bobol;
Eneiniog yr Arglwydd o Fethl'em Ephrata,
Gyfeiria ei wyneb i fynydd Calfaria;
Ar fynydd Calfaria Jehofa y nefoedd
Orchfygodd holl allu y ddraig a'i ddrwg luoedd.
Ar fynydd Calfaria Tywysog y Bywyd
Lefarodd yn hyglyw, pyrth uffern a siglwyd;
Ei ben a ogwyddai pan lefodd "Gorphenwyd,"
Ac yna o'u beddau rhai meirw a godwyd,
Un frwydr orch'fygol â'r holl uffernolion
A drodd yn fuddugol ar ran daearolion.
Ar fynydd Calfaria y ddeddf anrhydeddwyd,
Ar fynydd Calfaria cyfiawnder foddlonwyd;
Ar fynydd Calfaria ffordd rasol agorwyd
At Dduw trwy gyfryngdod yr aberth a laddwyd.
Os trown ein meddyliau at ebyrth boreufyd,
Y rhai wrth y miloedd gan ddynion a laddwyd,
A'r rhai ar y goreu nid oeddent ond cysgod
O'r aberth goruchel a gaed trwy gyfryngdod;
Y Bachgen a anwyd, 'rhwn welai Esaia,
Efe oedd yr aberth ar fynydd Calfaria,
Yr hwn ro'dd ar unwaith derfyniad tragwyddol
Ar laddiad yr ebyrth a'r bwch oedd ddiangol;
A'r Tad o'i wen orsedd ddywedodd ar gyhoedd
"Fy anwyl Fab Iesu foddlonodd y nefoedd."
'Nawr gellir cyhoeddi sylweddol dangnefedd,
A gallu yr Iesu i estyn trugaredd.
Nid rhyfedd i'r Prophwyd lefaru mor groew,
Y bachgen a anwyd a haedda fawr enw;
Mae'n Fab y Goruchaf, fe lywia yn burwedd,
Mae'n Dad trag'wyddoldeb, Tywysog tangnefedd;
Mor belaeth yw'r deyrnas mae iddi yn Llywydd,
Parhad ei deyrnasiad a fydd yn dragywydd.
Pa fodd, y pechadur, na chenit "Hosanna"
Wrth weled mewn geiriau fod gobaith i'th wella?
O, dyro ar unwaith ddiweddiad i'r yrfa
Yr hon sydd a'i diwedd yn ngwlad y Gehena,
A dechreu weddio ar Dad y Trugaredd,
Yn enw ein Iesu, trwy ffydd, cei anrhydedd.
Trwy ffydd yr edrychi ar rasol olygfa,
Yr Iesu yn dyoddef i brynu mawr dyrfa;
Trwy ffydd yn y Meichiau mae'n ddiau mwynhaodd
Holl batrieirch y cynfyd mewn gwynfyd y nefoedd;
Trwy ffydd rhaid i tithau orchfygu'th hen anian,
Addoli y Drindod a ddylit dy hunan;
Trwy ffydd rhaid it' ddechreu a gorphen dy yrfa,
Os myni di dderbyn o ddawn pen Calfaria,
A chaffael mewn ymdrech deg ffrwythlawn fwynderau,
Lle mae'r dedwyddolion a'u mwynion Amenau,
Ac engyl gogoniant a ganant mewn gwyldeb,
Gan seinio Hosanna i Dad Trag'wyddoldeb.

*Parsons, Pa.* J. W. ROBERTS (*Callestr*).

## PENILLION

*A Ddarllenwyd yn Nghyfarfod Chwarterol Church Hill, y Shafft, a Sodom.*

Mor hardd ac mor deg yr olygfa,
Y fam a'r ddwy ferch sydd heb wâd,
'N anwylo eu gilydd mewn cariad,
Heb ddichell, cenfigen, na brad;
Gwir undeb yn rhwymau hoff euraidd
A'u pletha fel cangau yn nghyd;
Maent heddyw fel lampau'n goleuo,
Dangosant Waredwr y byd.

Ha! heddyw y gwelwn yn amlwg
Ddylanwad ysgolion ein tir,
A llewyrch eu goleu tanbeidiol
Sy'n eglur ymddangos yn wir;
Plant bychain a safant i fyny,
Adroddant yn hyglyw a llon,
Am fawredd a symledd yr addysg
Gyfranir yn gyson gan hon.

Dyrchafu mewn odlau soniarus,
Hoff amcan yr ysgol a wnawn;
Ffyddlondeb diwyrni dangoswn,
'Nol mesur ein talent a'n dawn;
Gochelwn hen glefyd y Sabboth,
Na fyddwn yn ddiog ddilun,
Dadblygwn rinweddau'r efengyl,
Sy'n uchel dderchafu pob dyn.

Goleuni'r "ail ddull o bregethu"
Sydd heddyw'n dysgleirio'n ddiwâd,
Mae ganddi ddysgeidiaeth aruchel,
Mil gwell na rhifyddiaeth ein gwlad;
Hi'n tywys i'r bywyd tragywyddol,
Cawn yno fwynhau yr hoff wledd,
Can' cymaint geir ganddi'n bresenol,
A bywyd diddarfod mewn hedd.

AP DAFYDD.

### LLINELLAU

*A Gyfansoddwyd wrth Edrych ar yr Annuwiol yn Marw.*

O, Angau, mae effaith dy ddyrnod echrydus
Yn cyrhaedd hyd seiliau dynoliaeth o hyd,
Yn tori yr hen, a'r ieuanc gwan, ofnus,
A chludo pob oedran yr ydwyt o'r byd;
Gan ofn dy arteithiau archolla ein teimlad,
Dy deithiau disyfyd drywanant ein bron,
A braw a'n gorlenwa wrth swn dy gerddediad,
Yn mhlith holl drigolion y fawr ddaear gron.
Ti doraist yr annuw yn nghanol ei bechod,
Ei symud a wnaethost o dir y rhai byw,
Ac yntau yn myned i'r farn yn anmharod,
Yn ngafael ei bechod i wyddfod ei Dduw,
Dorau bytholfyd o'i flaen a agorwyd,
Euogrwydd yn danllwyth a neidia i'w wedd,
Mudandod a'i daliodd, ac yna fe'i gyrwyd
I waeau trag'wyddol heb obaith am hedd;
Yno yn marw heb farw 'n oes oesoedd,
O! boethle uffernol, dirnad ei ddwfn glwy'
Nis gellir ei wneuthur, 'does gobaith byth byth-oedd
Iddo gael heddwch na mwyniant haf mwy.

*Upper Lehigh.* R. THOMAS.

### ENGLYN

*Ar Farwolaeth* WM. JENKINS, *Mab i'r Parch.* EDWARD JENKINS, *Plymouth, Pa.*

Dan yr iau drwy 'i dyner oes—bu Gwilym,
Heb goledd un dryg-foes;
O greu yn Nghrist, codi'r groes,
E welodd wynfyd eiloes. IEUAN DDU.

## HANESION CARTREFOL.

### URDDIAD YN CHURCH HILL, O.

Ionawr 27, 28, yn ol fel yr hysbyswyd, cynaliodd yr eglwys Fedyddiedig, yn Church Hill, ei chyfarfodydd, mewn cysylltiad ag urddo y brawd ieuanc J. F. Richards, o Athrofa y Bedyddwyr, Lewisburg, Pa., i gyflawn waith y weinidogaeth, ac i fod yn fugail a'r braidd Duw yn yr eglwys uchod. Daeth tyrfa luosog yn nghyd; yn wir, yr oedd ymddangosiad y fath dorf yn arddangos fod yr eglwys a'r gweinidog mewn parch yn ngolwg yr ardal, a'r eglwysi cylchynol. Hefyd, breintiwyd ni a doniau gwahanol weinidogion y cylch, yr hyn yn ddiameu oedd yn werth ac yn galondid i'r gweinidog ieuanc, ac yn llawenydd i'r eglwys. Gweinyddwyd ar yr amgylchiad gan y gwahanol weinidogion yn y drefn a ganlyn:

Nos Sadwrn, dechreuwyd gan D. E. Thomas, a phregethodd y brodyr T. Thomas, Sharon; a C. Jones, M. A., Coalburg. Am ddeg boreu Sul, dechreuwyd gan D. B. Davies, Brookfield, a phregethodd E. Morddal Evans, Parisville, a D. Probert, Youngstown. Am ddau, dechreuwyd gan J. M. Evans (A.), Church Hill; yna cafwyd anerchiad byr gan D. Probert, ar natur a dyben y cyfarfod. Gofynwyd y gofyniadau arferol i'r gweinidog gan y brawd J. W. James, Mineral Ridge. Atebwyd yr oll yn hynod foddhaol; hefyd rhoddodd ychydig o'i brofiad crefyddol mewn teimlad dwys a difrifol; llwyr foddlonwyd y pwyllgor. Dyrchafwyd yr urdd weddi gan yr hen frawd Probert. Yn y fan yma nis gallwn lai na dweyd fod yr olygfa yn un wir ddifrifol a phwysig; y brawd ieuanc yn cael ei gyflwyno i Dduw, fel gwas a bugail i'r eglwys, a'r dagrau yn ymrolio dros ei ruddiau yn dystion o'r cyflwyniad; yr oedd dagrau cydymdeimlad i'w gweled yn amlwg yn y gynulleidfa; gellir dyweyd heb betruso, fod edrychiad a gwrandawiad astud y dorf yn profi pwysfawredd y gwaith o ordeinio. Rhoddwyd y Beibl i'r gweinidog ieuanc gan y Parch. D. J. Nicholas, yn nghyd ag anerchiad campus; arweiniwyd ef i'r swydd weinidogaethol gan T. Matthews, Hubbard. Rhoddwyd anerchiad deheuig a chynwysfawr, yn llawn o addysgiadau i'r gweinidog, gan y Parch. C. Jones, M. A., Coalburg. Eto yn wir ddyddorol ac adeiladol, un ar ddeg o bregethau i'r eglwys gan E. Morddal Evans, Parisville. Mae y rhai hyn yn teilyngu sylw, a bydded i eglwys y Bryn ymarweddu yn unol a'r siars. Trueni na chaffai y *charges* hyn eu cyhoeddi yn y WAWR.

Cyfarfod chwech a ddechreuwyd gan A. S. Phillips, Church Hill, a phregethodd T. Matthews, Hubbard, a C. Jones, M. A., Coalburg, yn Seisnig, a J. W. James, Mineral Ridge. Hefyd ar yr un adeg pregethodd y brodyr J. Thomas, Sharon, a E. Morddal Evans, yn nghapel yr Annibynwyr. Gallem

feddwl fod Duw yn gwenu ar ein cyfarfodydd, ac yn cynorthwyo ei weision i gyhoeddi'r gwirionedd. Cawsom gynulliadau lluosog, a chyfarfodydd bendigedig. Bydded i'r gwirioneddau a draethwyd wreiddio yn nghalonau y gwrandawyr, a llwyddiant i ddilyn y cyfarfodydd. Dangoswyd yma garedigrwydd neillduol at ddyeithriaid. Credwyf yn sicr y byddai cael cyfarfodydd o fath hwn yn fwy aml yn lles mawr; yna gellid yn briodol ddwyn ar gof i'r eglwysi eu dyledswyddau, ac adgoffa y gweinidog o'i ymddiriedaeth. Gellir gydag hyfrydwch ddweyd fod dyfodiad Mr. Richards i Church Hill, wedi ei fendithio a gradd helaeth o lwyddiant —pump wedi eu hadferyd, a chwech yn aros am gael eu bedyddio. Hyderwn y daw llawer eto i ymofyn am y bywyd sydd i'w gael trwy farwolaeth y Ceidwad. Bydded fod yr undeb presenol fel cadwen ddysglaer, yr eglwys a'r gweinidog yn cael eu huno mewn cariad, a chyda phleser yn cydweithio dros lwyddiant y deyrnas a gogoniant i Brynwr y byd.—*Ap Dafydd.*

---

CYDNABYDDIAETH DDIOLCHGAR.

Dymunwyf mewn modd tra diolchgar gydnabod trwy gyfrwng y WAWR, fy amrywiol garedigion am eu haelfrydedd tuag ataf. Nos Wener, Chwefror 2, ymgasglodd lluaws yn nghyd i *Factory* Sandusky, Cattarugus, N. Y., er mwyn cynal *donation*, er budd yr hwn sydd yn ysgrifenu yr ychydig eiriau hyn. Yn y prydnawn, cyfarfu yr hen bobl yn benaf yn y *Parsonage*, er rhoddi prawf o'u cariad Cristionogol, nid mewn geiriau, ac ar dafod yn unig; eithr mewn gweithred a gwirionedd. Treuliwyd y prydnawn yn hwylus, a dyddorol, mewn ymddyddaniaeth gyffredinol ar bynciau'r dydd &c., ac ni welwyd na digter na dadl. Ac yna awd at y bwrdd, yn llawn o ddanteithion natur, er gwneyd cyfiawnder ag angenion y corph.

Yn yr hwyr, ymgynullodd y bobl ieuainc i'r lle a nodwyd uchod, i ymddifyru eu hunain mewn modd diniwed. Chwareuodd *Band* y lle amryw ddarnau gorchestol yn nerthol a soniarus iawn. Diolch yn fawr i Mr. Langton, ac eraill o wyr y *band* am eu caredigrwydd. Yr oedd y boneddigesau hefyd wedi gofalu hulio bwrdd hir, â phob amrywiaeth danteithiol, er gwneyd y dyn anianyddol yn hapus a boddlongar. Heb un ymffrost gormodol, gallwn sicrhau, nad gwaith hawdd ydyw curo gwyr Cattaraugus am wneuthur *donation* deilwng ac anrhydeddus. Cyrhaeddodd yr elw i $158, ac oni b'ai fod y ffyrdd mor arw i'w teithio buasai y swm yn mhell dros ddau cant. Gwnawd yn ardderchog o dan yr amgylchiadau. Derbynied Jerome Lewis, Ysw., fy niolchgarwch am roddi benthyg y *Factory* at ein gwasanaeth. Dymunaf hefyd gydnabod, yn neillduol, aelodau y pwyllgor trefniadol, a'r boneddigesau a fuont yn gweini wrth y byrddau, am eu hymdrech a'u ffyddlondeb. Dymuniad fy enaid yw, ar i'r Arglwydd o'i gyflawnder didrai, ad-dalu ar y ganfed i bawb a gymerasant ran yn y gwaith o'm hanrhegu.—*W. M. Evans.*

---

*BEDYDDIADAU.*

Chwefror 11eg, dwy chwaer, yn Streator, Ill., gan y Parch. B. James.

Yn Parsons, Pa., Chwefror 18, gan y Parch. D. T. Phillips, bedyddiwyd tri, ac adferwyd saith. Y mae hyn yn gwneyd cynydd o 37 yn ystod y tri mis diweddaf. "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen."

Yn Greenville, Pa., bedyddiwyd deuddeg yn Ionawr; a derbyniwyd 17 i gymundeb ar y Sul cyntaf yn Chwefror.

Yn Franklin, Pa., bedyddiodd y Parch. Fred Evans (Ednyfed), ddeuddeg, Ionawr 7fed; dau, Ion. 14eg; deuddeg, Ion. 21; deg, Ion. 28; saith, Chwefror 4ydd. Mae lluaws eto yn aros am yr un fraint. I Dduw y byddo'r clod.

Bedyddiwyd dau yn Thomastown, Ohio, ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. J. T. Jones, y Sabboth cyntaf yn Chwefror. Gallwn hysbysu

trwy gyfrwng y WAWR, fod llafur ein hanwyl frawd yn dderbyniol iawn yn ein plith, a Duw yn amlygu ei foddlonrwydd trwyddo yn achubiaeth pechaduriaid yr ardal, yn Gymry, Saeson, ac Ellmyniaid. Y mae pump yn aros o flaen yr eglwys yn awr am gael eu bedyddio. Y mae y brawd yn rhoddi haner ei wasanaeth yn Gymraeg, a'r haner arall yn Saesoneg. Gellir cymwyso yr hyn a ddywedodd Paul wrth yr Iuddewon gynt, "Ac mi a droaf fy ngwyneb at y cenedloedd," atom ninau yma, a ni a drown ein gwynebau at y Saeson a'r Ellmyniaid.—*E. Richards.*

*Plymouth, Pa.*—Ion. 29ain. Trwm yw y galon o hyd ar lan bedd William, yr wyf yn teimlo fel pe byddai ewinedd llaw angau wedi glynu yn fy ochr chwith, ac y mae y fan yn lled chwerw a llym; ond yr wyf yn ymysgwyd gymaint fyth a fedraf er ymryddhau o'i grafanc. Yr wyf wedi pregethu y ddau Sabboth diweddaf yn y capel newydd. Mae yn gampus yn mhob peth, ei lonaid bron o gynulleidfa, a gwell na'r cwbl, mae Duw yn achub ynddo; mae yma naw eto o flaen yr eglwys. Da genyf hysbysu fod y WAWR yn rhoddi llwyr foddlonrwydd i bawb o'i darllenwyr yn y lle hwn, pan ddaw yr amser ychydig yn well cewch ragor oddiyma. —*Edward Jenkins.*

*Church Hill, O.*—Mae yr achos goreu yn llwyddo yma; dydd Sul, Chwefror 18fed, cawsom y fraint o weled chwech yn cael eu claddu gyda Christ yn y bedydd. Am ddau o'r gloch, yn y capel, traddododd ein parchus weinidog ieuanc bregeth, ar ddull a deiliaid bedydd, i dyrfa luosog. Wedi cael sylwadau gwir alluog, awd yn dorf drefnus at lan yr aber islaw, er gweinyddu yr ordinhad am y tro cyntaf erioed gan ein gweinidog ieuanc; yr oedd yno yn barod dyrfa fawr o edrychwyr, yn gynwysedig o bob lliw, iaith, a chenedl. Ar lan y dwfr eto, rhoddwyd ychydig sylwadau yn Saesoneg ar yr un pwnc. Da genym hysbysu i'n gweinidog ieuanc fyned trwy y gwaith yn anrhydeddus. Yn yr hwyr, cofiwyd am gariad y croeshoeliedig Oen, pryd y chwanegwyd naw at yr eglwys. Derbyniwyd dau afradlon y cymundeb o'r blaen, ac y mae rhagor eto yn aros am eu lle. Gwelir fod llwyddiant yn dilyn dyfodiad Mr. Richards i Church Hill. Rhagor eto fyddo yn rhodio'r ffordd sydd yn arwain i'r bywyd. Bydded i ardalyddion Church Hill gofleidio, nid yn unig Ddirwest, ond hefyd grefydd ein Harglwydd Iesu Grist. Arddangosodd y Parch D. Nicholas, Youngstown, gariad a brawdgarwch yn dyfod i fyny yma.—*Ap Dafydd.*

---

## *GANWYD—*

Yn Hyde Park, Pa., Ion. 10, 1877, mab i Mr. Joseph Reynolds a'i briod. Gelwir ei enw ef William.

Y Noddwr fu nawdd i'r fam—rhoed deilwng
  Rad dalent goeth wenfflam;
 A myned weled William
 Yn cael sedd fawr Uncle Sam.

  Elw byw ydyw Willie bach,
  Gwn na chaed mab amgenach;
  Tlws penfelyn berlyn byw,
  O hadyd Gomer ydyw.
  Dawn wir wech fo dan aur wallt
  Yr anwyl Willie Rhynallt.

*Hyde Park, Pa.* DAFYDD DYFED.

Ion. 25, 1877, yn Dennison, neu Sherman, Summit Co., O., merch i Evan a Catherine Williams. Gelwir hi Mary Ann.

---

## *PRIODWYD—*

Ion. 25, 1877, yn swyddfa y Maer, yn ninas Akron, Ohio, Mr. Thomas Thomas a Miss Sarah Armstrong, y ddau o Dennison, Summit Co., O.

Ion. 5, 1877, gan y Parch. Thomas Thomas, Sharon, Pa., Mr. Llewelyn Thomas Williams, Cleveland, Ohio, a Miss Elizabeth Stephens, o Wheatland, Pa.

Chwef. 22, 1877, gan y Parch. Thos. Thomas, Sharon, Pa., Mr. Jacob T. Jones a Miss Elizabeth Davies, y ddau o Sharon, Pa.

Chwef. 6, 1877, yn Mahanoy City, gan y Parch. W. D. Thomas, yn nhy

tad y priodfab, Edward D. Thomas ac Ann H. Bevan, y ddau o'r lle hwnw.

Yn Wiconisco, Pa., Chwef. 17, 1877, gan y Parch. B. E. Jones, Mr. Samuel Samuels a Miss Mary Ann Evans.

Ionawr 17, 1877, yn Remsen, N. Y., gan y Parch. Owen F. Parry, yn ei dy ei hun, Mr. Robert Williams a Miss Amelia A. George, y ddau o'r lle uchod.

Yn Taylorville, Pa., Ion. 1, 1877, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Benjamin Thomas a Miss Catherine Davies, y ddau o Wilkesbarre.

---

*BU FARW—*

Ionawr 14, 1877, yn Remsen, yn 20 mlwydd a 4 mis oed, o'r darfodedigaeth, Orange P. Thomas, mab i Mr. David P. Thomas. Yr oedd yn ddyn ieuanc bywiog, a hoffid yn gyffredinol. —*Owen F. Parry.*

Yn Upper Lehigh, Pa., Chwef. 9, 1877, Mary Elizabeth, unig blentyn i Thomas Jeffreys a'i briod, yn 12 diwrnod oed. Claddwyd hi ar yr 11eg, pryd y gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. A. J Morton.

**Awel oer y dyffryn du,**
**Arosodd ar y rhosyn,**
**Nes gwywo gwedd yr un oedd gu,**
**A'i symud, O mor sydyn;**
**A'i chwythu wnaeth trwy g'ledi'r glyn,**
**I lys urddasol Iesu,**
**Ac yno mae y rhosyn gwyn**
**Fewn Salem yn persawru.**
R. THOMAS.

Rhag. 22, 1876, yn Coalburgh, O., Thomas, mab i Edward a Margaret S. Edwards, yn 3 blwydd a 3 mis oed, o'r *diptheria.* Claddwyd ef yn mynwent Hubbard ar y 24ain, pryd y gwasanaethwyd gan y Parch. C. Jones, M. A.

Ion. 30, 1877, George Washington, unig ac anwyl fab y Parch. D. T. Phillips, Parsons, Pa., yn un flwydd, wyth mis, a phedwar diwrnod oed.

Yn Parsons, Pa., Chwef. 15, 1877, John, mab ieuangaf ac anwyl ein brawd Daniel H. Smith, yn 3 blwydd a 4 mis oedd. Gwasanaethwyd yn angladd yr un bach gan y Parch. D. T. Phillips. "Plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd."

Yn Parsons, Pa., Chwef. 20, 1877, Sarah, anwyl ferch Mr. Daniel H. Smith. yn bum' mlwydd oed. Yr Arglwydd a gysuro ein brawd a'n chwaer yn eu mawr drallod.

Yn Fairview, N. Y., Rhag. 10, 1876, yn dra sydyn, ar enedigaeth plentyn, Mrs. Kate Williams, anwyl briod Mr. James Williams. Ymadawodd ein hanwyl chwaer a'r byd gorthrymedig hwn yn mlodau ei dyddiau, pan tua 25 ml. oed. Yr oedd yr ymadawedig yn aelod ffyddlon a gweithgar gyda'r Bedyddwyr yn Freedom, Cattaraugus, Co., N. Y., er's amryw flynyddau. Bedyddiwyd hi pan yn 13 oed, yn Attica, N.Y., gan yr hybarch D. Jenkins, Hubbard, O., yn bresenol. Daliodd ein chwaer gyffes ei ffydd a'i gobaith yn ddisigl yn yr Anwylyd hyd y diwedd, ac yn ei gafael ehedodd ei henaid i Wynfa. Gadawodd briod hoff a thri o blant bach amddifaid, a thad a mam, a brodyr a chwiorydd, yn nghyda chylch eang o berthynasau. Duw pob gras a ofalo yn dyner am danynt oll yn eu tywydd garw. Y mae ein chwaer, yn ei rhinweddau crefyddol, er wedi marw, yn llefaru eto. Claddwyd ei rhan farwol y dydd Mercher canlynol i'w marwolaeth yn mynwent Ebenezer, capel y Bedyddwyr, Cattaraugus. Daeth torf luosog i'r angladd, a gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd. Nawdd y Nef fyddo ar yr amddifaid.—*W. M. Evans.*

Ion. 21, 1877, yr ymadawodd Elizabeth, gwraig Septua Jones, Audenried, a'r byd hwn, yn 57 mlwydd oed. Bu y chwaer hon yn cael ei phoeni am gryn amser gan wendid mawr drwy ei chyfansoddiad. Ond fel yr oedd y corph yn dadfeilio, yr oedd ei henaid yn cynyddu mewn nerth, ac yn addfedu i wlad yr ysbrydoedd. Bychan iawn oedd ei hyfrydwch yn y byd, nid oedd pethau y fuchedd hon yn swyngar i'w meddwl, yr oedd ffynonellau ei dyddanwch daearol, y naill ar ol y llall yn barhaus yn sychu; eto yr oedd ei serch yn cryfhau at y pethau sydd uchod,

a thynai yn helaeth bob dydd o ffynonau yr iachawdwriaeth.

Yr oedd Mrs. Jones yn hynod garedig a lletygar i bawb a ddeuai dan ei chronglwyd. Bydd llawer o genadon hedd pan glywant am ei marwolaeth, yn adgofio am ei thiriondeb, a'i pharodrwydd i weini iddynt yn mhob modd er eu hapusrwydd. Yr oedd fel aelod crefyddol yn hynod o selog ac ymdrechgar, ac fel y cyfryw byddai yn gynorthwy nid bychan i'n brawd mewn ystyr ysbrydol, ac yn ddylanwad cryf yn y gymydogaeth lle yr oedd yn byw.

Yr oedd Mrs. Jones yn enedigol o Lanelli, Brycheiniog; merch ydoedd i Thomas John a'i briod. Daeth oddiyno i Victoria, lle y gwisgodd am dani yn y bedydd, yr Arglwydd Iesu. Yno y priododd a'r brawd Jones; ac ar ol cartrefu yn y lle uchod am rai blynyddoedd daethant drosodd yn y flwyddyn 1856 i Minersville, lle y treuliasant beth amser cyn symud i gymydogaeth Audenried, lle y terfynodd ein chwaer ei gyrfa ddaearol. Daeth llawer ystorm gref yn erbyn y chwaer; yr oedd yn fam i naw o blant, o'r rhai nid oedd ond pedwar yn fyw i weled eu mam yn cael ei chladdu. Bu farw ei hunig ferch pan yn dyfod trosodd ar y mor, a chladdwyd bachgen iddynt er ys tair blynedd yn ol, yn 18 mlwydd oed. Ond dyma y storm olaf wedi ei goddiweddyd, a hithau wedi myned trosodd i wlad y mwyniant a'r tawelwch tragywyddol, ar ol taith o 30 mlynedd gyda chrefydd Iesu Grist. Teimlir colled ar ei hol yn y teulu, y gymydogaeth, a'r eglwys. Profwyd hyn yn barod gan y teimlad o barch a ddangoswyd gan yr ardalyddion i'w gweddillion marwol ar ddydd ei hangladd. Daearwyd y babell hyd ddydd yr adgyfodiad ar y 23ain, yn mynwent Jeansville. Gweinyddwyd yn Gymraeg gan y Parch. B. Nicholas, ac yn Saesneg gan yr ysgrifenydd. Caffed ein brawd a'r plant amddifaid lawer o ddyddanwch a nodded gan yr Arglwydd.—*W. D. Thomas.*

---

Gall Duw *faddeu* y pechod mwyaf, ond nis gall *noddi* y pechod *lleiaf.*

## CYMRU.

TYSTEB I CARADOG.—Yr wythnos ddiweddaf yn Ionawr, yn Aberdar, cyflwynwyd i Mr. Griffith Jones (*Caradog*), arweinydd Côr Undebol Deheudir Cymru, dysteb, yr hon oedd yn gynwysedig mewn o dri i bedwar cant o bunau, fel cydnabyddiaeth am ei lafur mewn cysylltiad â brwydrau llwyddianus y cor uchod. Y mae yn syndod nid bychan na byddai y "Dysteb" dan sylw wedi cyrhaedd yn uwch na'r swm a nodwyd; oblegid, os ydym yn cofio yn iawn, darfu i Mr. Davies, Blaengwawr, Aberdar (perchenog glofeydd pwysig yn Morganwg), roddi o £200 i £300 ei hun. Mewn cysylltiad â'r cyflwyniad, yr oedd yn dda genym weled fod yr hybarch Ddr. Price, Aberdar, wedi gwella i'r fath raddau nes ei fod yn alluog i ail-ymaflyd yn ngorchwylion ei fywyd cyhoeddus. Siaradodd ar yr achlysur i bwrpas. Hyderwn yr estynir ei ddyddiau yn flynyddoedd lawer, ac y caiff iechyd da i wasanaethu ei genedlaeth.

PRIF-YSGOL LLUNDAIN.—Yn mhlith yr ymgeiswyr llwyddianus yn y *Matriculation Examination* yn y Brif-athrofa uchod, dywenydd oedd genym weled enw Mr. Thomas Harold Davies, mab Dr. Davies, Hwlffordd. Pasiodd Mr. Davies yn y *first division.* Y mae hyn yn adlewyrchu anrhydedd nid bychan arno, gan nad yw eto ond 16 oed. Bu Mr. Davies yn efrydu yn yr Ysgol Ramadegol, ac hefyd y mae yn *lay student* yn y Coleg yn Hwlffordd. Y mae dyfodol dysglaer o'flaen y bachgen ieuanc hwn, os caiff fywyd ac iechyd. Y mae yn sicr o ysgoloriaeth yn yr Ysgol Ramadegol cyn yr Ilydref nesaf, yr hon a'i galluoga i fyned i Brif-athrofa Rhydychain. Bydded i ragor o'n myfyrwyr gobeithiol ganlyn ei ol.

RAILWAY I NEVIN.—Mae y Llywodraeth, meddir, wedi rhoddi caniatâd i'w gweithio er's llawer dydd, ond fod y cwmpeini sydd yn rhedeg rhwng Machynlleth a Phwllheli yn ofni yr anturiaeth o'i gweithio hi yn mlaen, ac fe ddichon yn rhy wan i ymgymeryd â'r gorchwyl. Ond fe ddywedir fod yn mwriad rhai yn awr i gymeryd y gwaith mewn llaw; ac os yw hyny yn gywir, mae'n ddiamheu fod dyfodol gogoneddus i Nevin, gan fod yma amryw chwareli, *sets*, fel eu gelwir, yn cael eu gweithio, a'r lle yn un o'r rhai mwyaf dymunol yn Nghymru fel ymdrochle.

ABERAYRON.—Mae yn dda genyf allu dyweyd fod gan y Bedyddwyr ragolygon am achos yn y lle hwn. Bai mawr yw fod prif drefydd Sir Aberteifi wedi bod mor ddinod am eglwysi Bedyddiedig hyd yn ddiweddar; ond y mae rhyw swn a si yn awr am ragor o weithgarwch o blaid yr egwyddorion. Mae holl weinidogion y wlad, o Talybont i Aberteifi, a'u calonau yn curo yn gynes o blaid achos Aberayron. Maent yn gwasanaethu y fechan yno ar gylch yn rhad, a thrueni fod neb yn tori ei

addewid y Sul y dylai fod yno. Eisiau dyfalbarhad ac egni sydd yn awr. Mae Mr. Roderick, Ceinewydd, yn haeddu clod mawr am ei lafur hunan-ymwadol mewn cysylltiad â'r achos hwn. Nid oes dim mewn ffordd yn y byd yn ormod ganddo ei wneyd er mwyn achos Aberayron. Cawsom ni y fraint o fod yn y lle un cyfarfod er's wythnosau yn ol, a chawsom ein siomi yr ochr oreu. Yr oedd yno lonaid y lle o bobl astud, boneddigaidd a pharchus, yn gwrando, a'r oll yn rhoi canmoliaeth uchel i'r cwrdd. Maent wedi rhentu ty yno, ac wedi ei droi yn addoldy manteisiol i'r pen. Ni raid i'r enwad Bedyddiedig fod a chywilydd o hono mewn tref glanforawl fel Aberayron. Ac y mae yno bobl barchusaf y lle yn Fedyddwyr, ond fod rhai o honynt wedi gwylltio i gorlan yr Eglwys Sefydledig. Ond, er hyny, maent yn teimlo cynesrwydd mawr, ac yn teimlo *interest* yn yr achos ieuanc. Mae yma rai Bedyddwyr o'r iawn ryw, nad oes arnynt gywilydd o'n hegwyddorion gwahaniaethol fel Bedyddwyr, er mewn lle fel Aberayron. Mae Mr. a Mrs. Davies yn golofnau cryfion i'r achos yn y lle, a haeddant glod dauddyblyg am eu dyfal-barhad a'u caredigrwydd mawr i weinidogion sydd yn galw yno i weinyddu arnynt. Gobeithio y ceir gweled eglwys gref o Fedyddwyr y Testament Newydd yn y lle hwn, ac y bydd rhyw un eto yn hau yr egwyddorion pur a broffesa y blaid hon yn Tregaron, Llanbedr, a'r holl gyfandir amgylchynol.—*O Seren Cymru.*

CYMDEITHAS RHYDDHAD CREFYDD ODDIWRTH Y WLADWRIAETH.—Deng-mlynedd-arhugain yn ol, nid oedd Cymdeithas y Dadgysylltiad ond yn ei mabandod. Un o'i chefnogwyr penaf yr adeg hono, yn Nghymru, oedd y diweddar Barch. D. Rhys Stephen. Y pryd hwnw nid oedd cymaint ag un Aelod Seneddol yn y Dywysogaeth a roddai ei bleidlais dros ddadgysylltu yr Eglwys a'r wladwriaeth; ond erbyn heddyw y mae o leiaf ddeunaw o gynrychiolwyr yn barod i wneyd hyny. Dengys hyn fod egwyddorion y Gymdeithas wedi enill tir yn gyflym. Gellir dyweyd yr un peth am Ysgotland, ac y mae eraill yn dilyn yr un llwybr yn gyflym.

Y misoedd diweddaf, y mae dirprwywyr Cymdeithas Rhyddhad Crefydd wedi bod yn cynal cyfarfodydd yn ngwahanol ranau o'r Deyrnas Gyfunol; a thalwyd ymweliad â Chymru gan y Meistri Dale a Brown, o Birmingham, Mr. Rogers, a boneddigion eraill. Cynaliwyd cyfarfodydd cyhoeddus ar ran y Gymdeithas yn Merthyr, Llanelli, Pembre, Dinbych-y Pysgod, Caerfyrddin, Casnewyddar-Wysg, a lleoedd eraill. Y dirprwywyr oeddynt y Parchn. J. Jenkyn Brown, Birmingham; J. Thomas, D. D., Liverpoo ; a J. Jones, Felinfoel, Ysgrifenydd y Gymdeithas. Cafwyd cyfarfodydd lluosog yn mhob man, a thraddodwyd areithiau hyawdl a dylanwadol gan y dirprwywyr.

AT FEDYDDWYR CYMRU.—Yn *Seren Cymru* am Chwefror 2, mae gan y Parch. R. Jones, Llanllyfni, erthygl arweiniol ddyddorol o dan y peniad uchod, o'r hon y dyfynwn a ganlyn: "Yr ydym ni yn cymeryd arnom fod ein hegwyddorion crefyddol fel enwad yn fwy ysgrythyrol nag egwyddorion unrhyw blaid, ac yr wyf yn credu hyny yn ddiysgog fy hun. Ond, anwyl gyfeillion, a ydym ni yn cymeryd hyny o ofal a allom i weithio ein hegwyddorion allan yn deg yn ein heglwysi, i dynu i ni ein hunain y daioni dwyfol sydd ynddynt allan o honynt? Bedyddio credinwyr yn unig, onidê, yw y bedydd ydym ni yn ei arddel? A ydym ni mor ofalus gyda *deiliaid* bedydd ag ydym ni gyda dull bedydd? A ydym ni mor ofalus ag y dylem ni fod am gael gwir gredinwyr i'r dwfr? Y mae y bedydd ydym ni yn ei arddel yn myned yn boblogaidd yn awr, ac yn sicr o fyned yn fwy felly eto. Y mae magl bwysig yn ein haros trwy hyny, os na fyddwn yn bur ofalus Po fwyaf cymeradwy y byddo bedydd, mwyaf oll yw y perygl i ddynion ymddibynu ar y weithred o fedydd heb yr edifeirwch sydd tuag at Dduw, a'r ffydd sydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist, ac felly dwyn lluaws o ddynion anianol i aflonyddu ein heddwch a llygru ein heglwysi. Pe byddai yn bosibl i ni gael pob un a fedyddid yn gredadyn, byddai eglwysi y Bedyddwyr yn saint, a dim ond saint. Y mae yr egwyddor o fedyddio credinwyr yn unig yn myned i galon purdeb. Y mae hefyd yn cadw y byd yn y byd, a'r eglwys yn yr eglwys. *Dilyn* eu hegwyddorion bedydd sydd yn llygru y pleidiau eraill; *peidio* dilyn ein hegwyddorion sydd yn ein llygru ninau. Os byddwn ni yn ddiofal yn nghylch deiliaid bedydd (fel y mae yn ofnus fod llawer o honom) yr ydym yn sicr o fyned mor llygredig ag un blaid yn y byd. Yr ydym hefyd yn rhwym o golli ein dylanwad ar y byd a'r eglwys; a mwy na'r cwbl, yr ydym yn sicr o ddigio Duw! Os oes rhyw un am wneyd eglwysi y Bedyddwyr yn synagogau Satan, bedyddio dynion digrefydd yw y ffordd uniongyrchol i wneuthur hyny. Rhag i neb gamgymeryd fy meddwl, yr wyf mor drwyadl argyhoeddiadol o ran y dull o fedyddio ag ydwyf o ran y deiliaid. Wedi y cwbl cael credadyn i'w drochi yw y peth mawr yn fy meddwl i. Ni wna trochi na thaenellu ar neb arall ddim lles. Nid yw bedydd na swper yr Arglwydd yn perthyn i neb ond credinwyr."

SOUTH STOCKTON—*Capel Newydd i'r Bedyddwyr.*—Mae capel newydd hardd i gael ei godi i'r Bedyddwyr yn y lle cynyddfawr hwn. Mae y Parch. D. Oliver Edwards yn llafurio yn ffyddlon yn y lle, ac arddeliad Dwyfol yn cydfyned â'r weinidogaeth.

CEULANYDD.—Crybwyllasom tua blwyddyn yn ol fod y Parch. J. C. Williams (*Ceulanydd*), oedd yn weinidog ar eglwys y Bedyddwyr yn Amlwch, Môn, wedi myned drosodd i Eglwys Loegr. Ordeiniwyd ef gan Esgob Bangor yn

**gurad St. Ann's, Bethesda. Ond hysbysir ni yn awr ei fod wedi ail ymuno â'r Bedyddwyr yn Bethesda, Arfon.**

**LLYWYDD ATHROFA PONTYPOOL.—Gelwir ar Fedyddwyr Cymru yn fuan i ddewis olynydd i'r hybarch Ddr. Thomas.**

---

## Y GENADAETH.

*Gwyddoreg yn dayledus i Genadon.*—Yn y *Baptist Missionary* am Rhagfyr, mae erthygl ddyddorol, yn gosod allan gymaint mae cenadon ar wahanol amserau, ac mewn gwahanol wledydd, wedi ei wneyd mewn ffordd i roddi gwybodaeth ar bethau o natur wyddorol, a hyny yn rhad, pryd y buasai yr unrhyw yn costio yn ddrud pe yn gorfod anfon personau yn benodol i'w casglu. Rhoddir engreifftiau fel mae Herschell ac eraill wedi cydnabod rhwymedigaethau y byd gwyddorol i genadon hedd mewn gwledydd pell.

Costiodd i'r llywodraeth am yru ymaith ychydig Indiaid Modocaidd o'u lloches yn y gogledd-ddwyrain, gant o fywydau, a chwe' miliwn o ddoleri. Holl gyfraniadau y wlad hon tuag at efengyleiddio y byd yn ystod blwyddyn y rhyfel a'r Modociaid, nid ydoedd yn un ran o bedair o'i threulion.

Dywedodd y Llywydd Grant wrth adolygu un o'r llofruddiaethau Indiaidd, y canlynodd rhyfel, yr hon a gostiodd i'r genedl ddeng miliwn o ddoleri. Lladdwyd pymtheg neu ugain o Indiaid gyda thraul o fwy na miliwn o ddoleri yr un.

Nid yw holl genadaethau y Talaethau Unedig yn gwario mewn cenadaethau tramor, hyd yn nod yn awr pan y cyfrenir llawer mwy na chynt, un filiwn o ddoleri yn flynyddol; ac nid yw holl genadaethau tramor y byd yn gwario mwy na chwe' miliwn o ddoleri yn flynyddol, yn y gwledydd paganaidd a Chatholicaidd.

Haner can mlynedd yn ol nid oedd un Cristion brodorol yn y Friendly Islands. Yn awr y mae yno ddeng mil a'r hugain yn ymgynull yn gyson i addoli, ac yn talu $15,000 y flwyddyn at ddybenion crefyddol.

Triugain mlynedd yn ol, nid oedd dim un Cristion brodorol yn Polynesia. Yn awr mae mwy na thri chant o ynysoedd yn ngogledd a deheubarth Polynesia wedi rhoddi heibio eilunaddoliaeth.

Treulion i Gymanfa Fedyddiedig Long Island, am bob un fedyddiwyd mewn un flwyddyn oedd $441.

Treulion y *Baptist Missionary Union* am bob un fedyddiwyd mewn gwledydd paganaidd, oedd $55.

Gwariodd eglwys fwyaf y Bedyddwyr yn Brooklyn am bob dychwelydd newydd $1,045.

Costiodd i'r *Asiatic Mission* am bob un ddychwelwyd $43.

Yr eglwys a fedyddiodd fwyaf yn Brooklyn a wariodd $154 ar bob un a fedyddiwyd.

Costiodd i'r *Baptist Union* yn yr *Asiatic Mission* a fedyddiodd y rhifedi mwyaf, $24, am bob person a fedyddiwyd.

---

## CONGL AMDDIFFYNOL.

*At y Parch. H. O. Rowlands, M. A:*

ANWYL FRAWD—Yn y WAWR am Ionawr; gwelais nodiad o'ch eiddo at y brawd W. Jones. Goddefwch air neu ddau o nodiad ar eich llythyr, nid mewn ffordd o ymyriad rhyngoch a'r brawd Jones, ond fel un anmhleidiol. Yr wyf yn meddwl i chwi dynu casgliad annheg am dano, lle y dywedwch ei fod yn "ofni awdurdodau nad ydynt Fedyddiedig." Prawf nad ydyw hyn yn wir am y brawd Jones, ydyw' ei ysgrif yn y WAWR am Hydref, lle mae yn cyfeirio gyda'r eofnder mwyaf at awdurdodau o enwadau eraill.

Ond nid â hyn y mae a fynwyf fi, ond â dwy frawddeg o dan y 5ed pen, a dyma nhw: "Deuer a hwynt unwaith i gyfarfod â ffeithiau ystyfnig geiryddiaeth ac hanesyddiaeth, a diosgir hwy yn y fan o'u nerth rhithiol." Yn y geiriau hyn yr ydych yn siarad yn aiddgar a hyderus; teimlad digon naturiol, wrth gwrs, i ddyn ieuanc. Ond, frawd, mae yn rhaid wrth bwyll; ystyriwch y brawddegau hyn eto—"Deuer a hwynt *unwaith*." Onid ydyw yn ffaith fod y dosbarth a nodwch wedi eu dwyn i gyfarfod â'r ffeithiau a nodwch ganoedd o weithiau cyn eich geni chwi na minau, ac eto mae "eu nerth rhithiol yn aros." Pa gyfrif a ellwch roddi (nac yn wir, neb arall) fod dynion fel Chalmers ac eraill, ie, braidd bob un

ag sydd ganddo gymeriad fel ysgolaig i'w gadw neu i'w golli, yn addef y pwnc yn rhwydd mewn geiryddiaeth, ac eto yn barnu ac yn gweithredu fel arall? Ac o barthed i drafod y pwnc mewn hanesyddiaeth, pa fantais a ddeilliai o hyn i'w benderfynu? Onid oes gan daenellwyr babanod eu hanesyddiaeth fel ninau? O'm rhan fy hun, yr wyf braidd o'r un farn a'r enwog Robinson, o Cambridge, ar y pwnc o Hanesyddiaeth Eglwysig. Dywedai ef mai "*one long lie*" yw pob hanesiaeth eglwysig. "Efallai," meddai yr enwog Cynddelw, "ei fod yn ysgrifenu yn ysgubellawg; eto rhaid addef fod y doethawr o Gaergrawnt yn dyweyd llawer o wir." Yr wyf fi yn addef yn rhwydd fod gan enwadau eraill fantais fawr ar y Bedyddwyr yn y cyfeiriad hanesyddol, oblegid yn un peth, mae yn fwy cydnaws ag anianawd eu pwnc i'w lusgo i ddigon o dywyllwch; a pheth arall, y mae yn llawer mwy hoff ganddynt hwythau drafaelu hen lwybrau tywyll y canol-oesoedd, a cherdded hen gorsydd lleidiog Pabyddiaeth, na sefyll yn deg yn ngwyneb gwirionedd y Testament Newydd. Na, frawd, plentynaidd ydyw dal pynciau ffydd y Bedyddwyr yn ngwyneb hanesyddiaeth yr oesoedd tywyll; eu harwyddair yn mhob oes ydyw, "At y gair ac at y dystiolaeth." Yr unig hanesyddiaeth ag sydd genym yn werth i ymffrostio ac ymddiried ynddo ydyw yr hanesyddiaeth ysbrydoledig a ysgrifenwyd gan Luc; a chan nad ydyw yr hanesyddiaeth hwn yn ddigon i gael gan daenellwyr babanod adael eu hobi Iuddewig a Phabyddol, prin y gellid meddwl "y credent chwaith pe cyfodai un oddiwrth y meirw."

Hyn yn frawdol, ac mewn teimlad da. Yr eiddoch yn rhwymau ffydd a chariad,

*Dodgeville, Wis.* T. HOLLAND.

---

HWY A'N BEIANT YN DDIACHOS.

MR. GOL.—Mae yn dda genyf eich gweled yn hysbysu yn y rhifyn diweddaf o'r WAWR, fod genych gyflawnder o ysgrifau ar law i'w cyhoeddi yn y dyfodol, yr hyn sydd yn dangos fod yr enwad yn cymeryd dyddordeb yn y cyhoeddiad. Gobeithiaf y bydd i'r holl dderbynwyr gydymdeimlo â chwi, drwy anfon tâl yn brydlon, oblegid nis gellir dwyn cyhoeddiad na dim arall yn mlaen heb arian. Yr wyf yn hyderu na fydd i ni yn Wisconsin fod ar ol ar y pen hwn. Gellwch ddysgwyl oddiwrthym yn fuan i'ch cynorthwyo.

Mae genyf air arall i'w ddyweyd, drwy eich caniatâd. Achwynir yn fynych yn ein herbyn fel Bedyddwyr am ein bod yn dwyn enwau dynion parchus y taenellwyr, drwy ddifynu eu haddefiadau ar fedydd, heb roddi mwy o'r hyn a ddywedant ar y pwnc. Gwn fod dynion bychain yn eu mysg yn teimlo yn ddrwg wrth weled addefiadau eu dynion mawr a dysgedig mor ffafriol i'r Bedyddwyr. Ond nid wyf yn gweled fod yr olaf i'w beio am beidio dyweyd yr oll a ddywedir ar y mater. Gall dyn mewn ychydig eiriau hysbysu ei feddwl yn y fath fodd fel nas gallai, pe ysgrifenai gyfrolau, wrthbrofi yr ychydig eiriau hyny, heb iddo eu galw yn ol. Yr oedd yr ychydig eiriau a ddifynodd Paul o waith un o brif feirdd y Cretiaid yn ddigon i dynu eu cymeriad i lawr i'r llwch, fel dynion "celwyddog, a boliau gorddiog;" ac nis gallai Aretas, pe buasai yn ysgrifenu llonaid gwagen o lyfrau, byth godi cymeriad y Cretiaid i tyny, heb iddo alw ei dystiolaeth am danynt yn ol; ac ni ddeallais fod y Cretiaid wedi beio Paul am na buasai yn dyweyd yr oll a ddywedodd eu bardd am eu cymeriadau; ond mae Cretiaid ein dyddiau ni yn fwy afresymol na'r rhai oedd yn amser Paul. Os gellir dangos fod dysgedigion penaf y taenellwyr yn addef mai trochi yw meddwl priodol y gair a ddefnyddiodd Crist yn sefydliad yr ordinhad o fedydd, ac mai credinwyr oedd yn cael eu trochi yn yr oes apostolaidd, mae hyny yn gymaint sydd arnom eisiau ei wybod ganddynt fel dysgedigion a haneswyr, ac mae yn gymaint ag sydd yn angenrheidiol i dynu taenellwyr babanod i lawr i'r llwch; a phe byddai i'r dysgedigion hyn ysgrifenu miloedd o lyfrau i'w amddiffyn, byddai y cwbl yn ddirym heb iddynt dynu eu haddefiadau yn ol. Ac mae gwaith y taenellwyr yn beio y Bedyddwyr am beidio dyweyd yr oll a ddywed eu hawdwyr, mor afresymol ag a fuasai i'r Cretiaid feio Paul. Gwyddai Paul fod ei ddifyniad yn ddigon o hyd i dynu cymeriad y Cretiaid i lawr; a gwyddom ninau fod difyniadau y Bedyddwyr yn ddigon maith i dynu cymeriad taenelliad babanod i lawr i'r llwch.

Ymddengys i mi, pe byddai prif ddysgedigion y Bedyddwyr yn dyweyd mai meddwl priodol y gair *baptizo* ydyw taenellu, ac mai taenellu oedd yr arferiad yn yr oes apostolaidd, ac nas gellid profi o'r Testament Newydd fod trochi wedi ei orchymyn gan Grist, na'i arfer gan yr apostolion, a bod yr ordinhad wedi ei chyfnewid o'i dull cyntefig, sef taenellu i'r dull diweddar o drochi, pe addefent fel yna, meddaf, gadawn y Bedyddwyr a'u dysgedigion, a derbyniwn fedydd fel ei gorchymynwyd gan fy Arglwydd bendigedig yfory nesaf.

*Wisconsin.* W. JONES.

---

## NODION AMRYWIAETHOL.

—Mae y Parch. Emory J. Haynes, gweinidog gyda y Methodistiaid Esgobawl yn Brooklyn, wedi ymuno a'r Bedyddwyr. Tra yn gweinidogaethu yn y lle, methid cael adeilad digon eang i gynwys y gynulleidfa; yn awr dylai fod yn fwy poblogaidd.

—Yn y cyfarfodydd diwygiadol a gynelir yn eglwys Dr. Corey yn y ddinas hon, mae y Parch. H. O. Row-

lands, M. A., wedi bod yn pregethu droion gyda derbyniad mawr.

—Hysbysir fod y cyfieithwyr Seisnig o'r Testament Newydd wedi cyrhaedd hyd at y 10fed benod o'r Hebreaid.

—Cyrhaedda hysbysiadau o bob cwr o Canada, am ddiwygiadau crefyddol fel pe byddai anadl yr Ysbryd gyda'i wres bywiol a nefol yn myned dros wyneb y wlad.

—Yn Boston mae cyfarfodydd Moody a Sankey yn boblogaidd a llwyddianus neillduol. Priodolid y lleihad yn y cynulleidfaoedd hwyrol i oerfel y tywydd.

—Mae Mynyddog wedi cael ar ddeall fod cryn ddiofalwch yn mhlith llawer o'n cydgenedl i ysgrifenu at eu hen Gyfeillion a'u perthynasau yn yr Hen Wlad, ac anoga ddiwygiad buan. Onid yw yn awgrymiad da iawn ?

—Tranoeth ar ol yr etholiad yn Tachwedd, gan y tybiem fel eraill fod Tilden wedi cael ei ethol yn Arlywydd, yr oeddym yn gweled pawb a phob peth wedi llwyr gyfnewid. Yr oedd y *stores* a'r cerbydau ar yr heol yn gwisgo agwedd wahanol i ddim o'r blaen. Ymddangosai y wlad yn Ddemocrataidd. Erbyn heddyw, modd bynag, mae pethau wedi adferu yn ol i'w cynefinol gyflwr ; yr ydym yn teimlo ein hunain eto yn America. Nid oes eisiau dweyd fod hyn yn foddhad mawr i ni.

—Clywsom am bersonau condemniedig yn cael eu newynu i farwolaeth a'r dorth yn crogi yn ymyl eu genau. Go galed ydoedd ar Tilden i farw yn wladyddol, a'r dorth Arlywyddol mor ryfeddol agos ato.

Mae Main Building yr Arddangosiad mawr diweddar yn Philadelphia, yn cael ei brysur drawsffurfio er ei addasu i gynwys arddangosiad parhaol. Dysgwylid y bydd yn cael ei agor tua dechreu Mai.

—Mae un nodwedd perthynol i'r diwygiadau crefyddol mawrion y dyddiau hyn, ag sydd yn hollol gydnaws ag egwyddorion y Bedyddwyr, sef y sylw a delir i'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Wrth wneyd y fath broffes o barch i'r Beibl, gresyn fyddai esgeuluso un ran o hono.

—Mae y ty addoliad goreu yn ninas Rochester, N. Y., newydd gael ei orphen gan gynulleidfa y *First Baptist Church*.

—Cyfartaledd oedran gweinidogion y Bedyddwyr fuont feirw yn 1876, ydoedd 66.

—Dywed Ap P. A. Mon, ei fod ef fel un, yn bleidiol i ni gyhoeddi "Gweledigaethau y Bardd Cwsg." Un o'r *Classics* Cymreig ydyw, medd efe.

Mae y diwygiad dirwestol yn Pittsburgh wedi ymledaenu yn gyffredinol. Darlunir ei brif symudydd Francis Murphy, fel Gwyddel dewr, heb un gronyn o ymffrost a seremoni yn perthyn iddo. Cynelir cyfarfodydd gweddi dyddorol, a thraddodir pregethau yn ddyddiol yn yr eglwysi.

—Mae y Parch. B. James, diweddar o Summit Hill, yn bresenol ar ymweliad a rhai o'r sefydliadau Cymreig yn y Gorllewin. Bydd yn dda ganddo dderbyn enwau a thanysgrifiadau at y WAWR. Diolchwn iddo'n fawr am ei sel a'i ymdrech dros y Cyhoeddiad.

— Cafodd y brawd Septua Jones, Audenried, Pa., golled drom yn ddiweddar yn marwolaeth ei anwyl wraig. Bydd yn chwith gan lawer golli un oedd mor garedig bob amser yn ei thy i weision Crist. Gwelir cofiant iddi mewn colofn arall.

—Gwelir yn y marw-gofion o'r rhifyn hwn, fod gweinidogaeth angau wedi bod yn llem yn nheuluoedd y Parch. D. T. Phillips, a'r brawd Smith, Parsons, Pa., yn marwolaeth eu hanwyl blant.

—Bu farw hen weinidog parchus perthynol i'r Bedyddwyr ar y 6ed o Chwefror, sef y Parch. Richard Owen, Amlwch. Yn ystod gweinidogaeth o driugain mlynedd, bedyddiodd dros ddeuddeg cant o bersonau. Claddwyd ef yn nghapel Salem.

"Gan edrych ar Iesu, Pen-tywysog a Pherffeithydd ein ffydd ni."

# Y WAWR;

—SEF—

CYLCHGRAWN MISOL

# Y Bedyddwyr Cymreig

YN AMERICA.

DAN OLYGIAETH

Y PARCH. OWEN GRIFFITHS (*GIRALDUS*),

UTICA, N. Y.

## CYFROL II.

UTICA, N. Y.

T. J. GRIFFITHS, ARGRAFFYDD, EXCHANGE BUILDINGS.

*1877—8.*

# CYNWYSIAD.



*** Nid ydym yn rhoddi yn y Cynwysiad uchod ond yn unig yr erthyglau cyntaf o'r gwahanol rifynau. Ceir Cynwysiad y Farddoniaeth ar y tu dalen nesaf.

# BARDDONIAETH.



## PERORIAETH.



*ydwyf yr eiddoch yn gywir*
*R Ellis*

**CYNDDELW.**

# Y WAWR.

CYF. II.] EBRILL, 1877. [RHIF. 1.

## "CAETH-GYMUNDEB."

GAN Y PARCH. FRED. EVANS (EDNYFED), FRANKLIN, PA.

Nodweddir yr oes hon gan ysbryd ymchwilio a beirniadu. Rhaid i'r hyn na ddeil ymchwiliad lechu yn y tywyllwch. Ni fu y pwlpud a'r wasg erioed mor rydd ag yn bresenol. Ni raid i "efengyl ogoneddus y bendigedig Dduw" ofni y rhyddid hwn. Mae prif berygl yr oes hon yn yr hyn a eilw rhai pobl "rhyddid barn;" a theimla yr eglwys fwy oddiwrth ei rhydd-dybwyr nag oddiwrth anffyddwyr penboeth, agored. Llawer a dybiant y dylai yr eglwys gydymffurfio ag arferion allanol a chyfnewidiol y byd, ac y dylai y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu, gael ei ddarllen yn ngoleuni gwanaidd ac ansefydlog dynion ymhongar a mympwyol. Mae hyn yn debyg i reoleiddio yr haul yn ol cloc y dref, neu i waith cyngor trefol yn pasio penderfyniad i'r perwyl fod llanw y môr yn rhy uchel, a'r trai yn rhy fynych, a'u bod hwy fel cyngor yn bwriadu cyfnewid y cwbl yn ol eu barn hwy. Mae Cristionogaeth yn berffaith gyfaddas at angenion eneidiau newynog, ond nid yn gymwys i fympwy, chwim, a gwagedd *meddylwyr rhydd* y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg. Nid yw ein bod yn byw yn oes yr agerdd, yn un rheswm dros anweddu gwirioneddau syml y Testament Newydd, er eu gwneuthur i droi am onglau ymenydd y newyddian. Nid yw ein bod yn byw yn oes ansicrwydd gwyddoniaeth, yn un rheswm dros roddi fyny hen wirionedd iach er cymeryd i fyny ysgerbwd cloff a pharod i farw. Gwell i'r eglwys fod yn *hen* ffasiwn ond gwir, na bod yn ffasiwn *newydd* ond gau. Gall fod yna rai pethau yn athrawiaeth ac ymarferiad yr eglwys yn annerbyniol i amryw, yn dramgwydd i lawer, ond os ydynt yn wirionedd, gafaeled yr eglwys ynddynt â'i holl galon; ac os yn angenrheidiol er eu hamddiffyn, eled trwy y fflamau a'r carcharau. Yr wyf yn berffaith ymwybodol o'n safle yn mhlith enwadau eraill ar gyfrif ein nodweddion gwahaniaethol, yn enwedig o herwydd yr hyn a alwant yn *gaeth-gymundeb.* Gwn fod rhai yn ein plith yn sigledig ar y pwnc hwn, ac y maent yn sigledig nid o herwydd eu bod wedi cael allan anysgrythyroldeb ein harferiad; nid o herwydd eu bod wedi dyfod i benderfyniad ein bod yn adeiladu ar sylfaen o dywod, ond oblegid eu bod wedi caniatau i'r galon wneuthur gwaith y pen; oblegid fod eu cariad at boblogrwydd y fath fel y maent yn barod i roddi o'r neilldu egwyddor er ei borthi.

Ymdrechwn yn yr erthygl hon brofi fod *caeth-gymundeb* yn iawn, am ei fod yn Ysgrythyrol, a *rhydd-gymundeb* yn gyfeiliornus am ei fod yn anysgrythyrol.

I. *Wrth* GYMUNDEB *y golygwn swper yr Arglwydd.*

Term eglwysig yw *cymundeb* fel y

defnyddir ef yn bresenol; ac, fel y rhan amlaf o'r termau hyn, y mae wedi bod yn foddion i arwain llawer ar gyfeiliorn, canys edrychant arno fel cymundeb y saint, neu gymundeb Cristionogion, ac fel arddangosiad o gariad brawdol. Nis gallwn gamsynied ein gwrthwynebwyr yn hyn, canys coronant y cwbl a'r geiriau swynol hyn:— "Yr ydym yn bwriadu cymuno gyda'n gilydd yn y nefoedd." Dyma swper yr Arglwydd, ac nid yw wedi ei sefydlu fel arddangosiad o deimladau da Cristionogion at eu gilydd, mwy na bedydd. Nid *cariad-wledd* yw; a phan yn amgylchynu y bwrdd, gwnawn hyny nid yn y cymeriad o bobl yn awyddus i ddangos eu cariad brawdol, ond fel rhai yn cofio angeu y Ceidwad. Mae yn ordinhad eglwysig, sefydledig gan Frenin Seion; y mae yn un o ddwy, a'r ail mewn trefn. Dyledswydd pob aelod Bedyddiedig yw cymeryd y bara a'r gwin, nid er dangos cariad at y brawd hwn a'r chwaer yna, ond er cofio angeu yr Hwn a'n prynodd. Cawsom ein bedyddio, ond nid ar broffes o'n ffydd yn aelodau yr eglwys, neu o'n hymddiriedaeth yn y gwahanol enwadau Cristionogol. Ni ddarfu i ni cyn ein bedydd adrodd y geiriau canlynol:

"Mae y brawd —— yn Gristion mor fucheddol, ac y mae y chwaer —— yn ddynes mor dduwiol, fel yr wyf yn benderfynol o gael fy medyddio, canys bwriadwyf fod gyda hwynt yn y nefoedd wedi gadael gwlad y dagrau."

Bedyddiwyd ni ar broffes o'n ffydd yn Iesu Grist, ac am mai ordinhad eglwysig yw swper yr Arglwydd, nid ydym i gredu ynddi fel hyn: "Mae hwn a hwn yn Gristion mor dda, a hon a hon yn addurn i'r eglwys, ac yr wyf yn rhwym o gymuno gyda hwy, canys dysgwyliwyf gymuno gyda hwy yn y nefoedd." Os gadawn i'n teimlad weithredu yn lle ein barn, cawn ein hunain yn bur aml ar ochr twyll. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," sydd i fod yn rheol, ac nid, "fel hyn y dywed ein teimlad." Geiriau Iesu Grist ydynt, "Gwnewch hyn er coffa am danaf fi."

II. *Y cymwysderau gofynol mewn cymunwyr.*

Rhaid i amryw bethau ragflaenu y cymundeb, ond gellir eu symio i fyny i dri o bethau, sef adenedigaeth, bedydd a bywyd Cristionogol. Y rhai a gredant yn Nghrist ydynt unig ddeiliaid y cymundeb. Una yr holl enwadau oddigerth y Crynwyr yn hyn. Yr Iesu a sefydlodd y swper yn Jerusalem, a chyda ei ddysgyblion yn unig y cawn ef. Os mai bwriad Crist wrth sefydlu y swper, oedd rhoddi cyfleusdra i'r dysgyblion ddangos eu cariad at eraill, diameu y buasai yno *dorf* yn bresenol. Yr oedd y dysgyblion wedi eu bedyddio, canys yr oeddent oll yn ufudd ac ewyllysgar. Mae yn wir nad oes genym hanes bedyddiad pob un o honynt, ond y mae yn eithaf eglur iddynt ufuddhau i orchymyn Iesu, a'u bod mor gyson a'r rhai a fedyddiwyd wedi hyny ganddynt hwy, y rhai a ychwanegwyd at yr eglwys, ac a rodiasant yn ol gair y Brenin. Y peth cyntaf a ofynai y dysgyblion oddiwrth y rhai a broffesent ffydd yn Iesu Grist oedd ufudd-dod i fedydd. "Edifarhewch, a bedyddier chwi." "A chynifer a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar, a fedyddiwyd." "Eithr pan gredasant i Phylip y pethau a berthynent i deyrnas Dduw, ac i enw Iesu Grist, hwy a fedyddiwyd, yn wyr ac yn wragedd." Dyma eiriau eglur a diaddurn y Testament Newydd ar y pwnc. Rhaid i fedydd ragflaenu y cymundeb, a dyma farn yr Episcopaliaid, Presbyteriaid, Methodistiaid, Cynulleidfaolwyr, &c. Dywed Mosheim, gyda golwg ar y rhai cymwys i gymeryd o'r swper, yn y drydedd ganrif: "Ni oddefid y rhai a wnaethent benyd, neu y rhai difedydd i fod yn bresenol yn ystod gweinyddiad yr ordinhad." Dyma *gaeth-gymundeb*, a dychymygaf glywed y gwahanol enwadau ag un llef yn dweyd: "Mae hyn yn berffaith iawn; ni ddylai yr hwn sydd heb ei fedyddio gymeryd o'r swper." Yn llaw-lyfr y Methodistiaid Esgobawl cawn y geiriau canlynol: "Fel y bedyddier hwynt â dwfr a'r Ysbryd Glan, ac y derbynier hwynt i mewn i'r eglwys sanctaidd." Dywed

Dr. Dick, un o weinidogion mwyaf dysgedig y Presbyteriaid, "Ni ddylai y person difedydd gymeryd y sacrament." Dyma eiriau Dr. Watson, un o gewri y Methodistiaid Esgobawl: "Arweinia bedydd y crediniwr i mewn i'r eglwys." Yn canlyn y cawn eiriau nerthol Dr. Wall, yr Eglwyswr: "Nid oes dim yn fwy gwrthun na dal y dylai person difedydd gyfranogi o'r swper." Wele farn yr anfarwol Ddr. Doddridge, awdurdod mawr yn mhlith y Cynulleidfaolwyr: "Sicr yw, fod Cristionogion mewn modd cyffredinol yn cael son am danynt fel personau bedyddiedig; ac y mae hefyd yn beth sicr, mor bell ag y gwyddom am ymarferiad yr eglwys gyntefig, na oddefid i rai heb eu bedyddio gymeryd o swper yr Arglwydd." Dywed Dr. Dwight, "Rhaid i'r cymunwr fod wedi ei fedyddio." Clywais yr enwog Dr. John Hall, o Efrog Newydd, yn defnyddio y geiriau hyn: "Pe y credwn, fel y Bedyddwyr, nad oes neb wedi eu bedyddio os na throchwyd hwynt ar broffes o'u ffydd yn Iesu Grist, yna, fel hwythau, gwrthodwn gymuno gydag eraill." Yn un o lyfrau "Cymdeithas y Traethodau" yn y wlad hon, darllenwn y geiriau hyn: "Dim ond y rhai a edifarhant ac a fedyddir ydynt ddeiliaid cymundeb." Amser a balla i mi ddyfynu ychwaneg o weithiau taenellwyr ar y pwnc hwn. Oddiwrth y dyfyniadau uchod, ac arferiad y gwahanol enwadau, gwelwn nad yw ein cymundeb ni yn gaethach na'u cymundeb hwy; nad ydym yn gwahaniaethu ar y pwnc o gymuno, ond ar y pwnc o fedyddio. Meddyliwch eich bod yn mhlith y rhai sydd newydd brofi grym cariad y Ceidwad, a bod eich calon yn llamu o lawenydd Cristionogol, ac yn awyddus iawn i gael derbyniad i eglwys y Trefnyddion neu yr Annibynwyr, ac i gymuno gyda hwy. Os heb fod yn aelod o un eglwys, os heb eich taenellu neu heb eich bedyddio, a wnant hwy eich derbyn i gyflawn aelodaeth? a roddant hwy i chwi roesaw cynes i gyfranogi o'r bara a'r gwin? Na wnant. Credant eich bod yn credu yn Nghrist, eich bod yn caru y Ceidwad a'r brodyr, ond gwyddant na thaenellwyd dwfr arnoch, ac na'ch bedyddiwyd. Gofynwch iddynt paham na wnant ganiatau i chwi eistedd wrth y bwrdd; ac atebant, "Nid ydych wedi eich bedyddio, ac nid yw person difedydd yn ddeiliad cymundeb; rhaid i fedydd flaenori y swper." "Ond y mae fy nhad yn ddiacon gyda y Trefnyddion, a fy mam yn aelod ddichlynaidd o'r un eglwys, a gobeithiwyf eich cyfarfod yn y nefoedd." Efallai yr atebant hwy, "Gwir, ond nid ydym yn y nefoedd eto, a rhaid i ni, tra yma, gadw rheolau yr eglwys." Os nad yw hyn yn gaeth-gymundeb, carwn wybod beth sydd. Ni rydd y Methodistiaid Esgobawl, gyda eu holl benrhyddid, aelodaeth i berson heb ei daenellu neu ei drochi. Ni chaniatâ yr Episcopaliaid i neb eistedd wrth y bwrdd ond y rhai a berthynant i'r bedyddiedigion. Ni wna yr hen Gyfamodwyr roddi cymundeb i aelodau enwadau eraill, er wedi eu taenellu a'u trochi. Daw aelod o'r Trefnyddion Calfinaidd, neu o'r eglwys Annibynol, ac a ddywed ei fod yn awyddus i gymuno gyda ni. Gofynwn iddo os yw wedi cael ei fedyddio. Etyb, nad yw yn ol ein barn ni. Gofynwn iddo os yw wedi ei fedyddio yn ol barn y Testament Newydd—os yw wedi ei gladdu gyda Christ yn y bedydd? Dywed, Na. Yna dywedwn wrtho, nad yw wedi ei fedyddio o gwbl, ac am hyny nad yw yn ddeiliad cymwys o gymundeb, ac na ddylai gymeryd o'r bara nac yfed o'r cwpan. Gwrida y brawd yn ei wedd, a gofyna mewn modd difrifol, "Ai nid ydych yn credu fy mod yn caru yr Arglwydd Iesu?"—a'n hatebiad iddo yw, "Frawd, nid ydym yn amheu eich cariad at y Ceidwad, ond fel y Methodistiaid, Presbyteriaid, &c., credwn fod bedydd yn rhagflaenu y swper, ac na ddylai neb gyfranogi o'r olaf heb ufuddhau i'r blaenaf. Yn awr, pa le y mae y gwahaniaeth rhyngom ni ag enwadau eraill? A ydym yn wahanol yn ein barn ar bwnc y cymundeb? A ydym ni yn gofyn mwy oddiwrth bersonau a ewyllysiant gymuno yn ein heglwys ni? Nac ydym. Bydded i aelodau enwadau eraill farnu y pwnc hwn yn ddiragfarn,

ymresymu mewn modd teg, heb ganiatau i'w teimladau ddallu eu rhesymeg, a gwelant nad ydym ni fel Bedyddwyr yn gofyn mwy fel cymwysder i gymuno, nag enwadau taenellyddol.

III. *Paham na wnawn, fel Bedyddwyr, gyd-gymuno ag aelodau eglwysi taenellyddol?*

Atebwn y cwestiwn hwn mewn un gair, "Am mai taenellwyr ydynt." Credwn mai trochi y credinwyr mewn dwfr yw yr unig fedydd eglwysig a wyr y Testament Newydd am dano; ac yn y goleuni hwn edrychwn ar y taenellwyr fel rhai difedydd, ac fel y cyfryw yn anghymwys i gymeryd o'r swper; a phe y cyfranogem ni o'r bara a'r cwpan gyda hwy, yna cefnogem yr hyn a ystyriwn yn groes i air Duw ac arferiad yr eglwys foreuol. A ddylem ni dynu i lawr ag un llaw yr hyn a adeiladasom a'r llaw arall? Credwn mewn un bedydd, a dim ond un, yn ogystal ag un ffydd ac un Arglwydd. Y rhai a gredant mewn taenellu, a thywallt, a throchi, ydynt yn debyg i Ephraim, yr hwn oedd fel teisen heb ei throi—nid oedd y naill beth na'r llall; nid oedd na bara na thoes, ond ar y ffordd i ludw. Y Bedyddwyr a gymunant gyda y taenellwyr, a rodiant yn afreolus, ac am hyny yn anghymwys i gymuno, er wedi eu bedyddio. Os y cymunwn gydag enwadau eraill, yna gosodwn fedydd o'r neilldu fel yn rhagflaenu y swper. Gwel ein gwrthwynebwyr resymoldeb y gosodiad hwn. Gwell genyf daenellwr selog a chyson, na Bedyddiwr cloff a sigledig. Mae genyf barch i farn y rhai a wahaniaethant i ni mewn modd cydwybodol; ond cas genyf yr haner Bedyddiwr. Dywed ef nad yw y taenellwyr wedi eu bedyddio, eto parod yw i eistedd gyda hwynt wrth y bwrdd, er bwyta o'r bara ac yfed o'r cwpan, a gwna hyn er dangos ei ysbryd haelfrydig! ei galon eang!! Mae bob amser yn barod i wneuthur llo, os nid o aur, o blwm, os gwna hyny gynyddu ei glod. Perthyna mor agos i Jeroboam, yr hwn a wnaeth ryfeddodau er gwneuthur ei hun yn boblogaidd; a gwnaeth y cwbl ar draul sathru dan draed ordinhadau Duw. Tyna i lawr yr hyn a adeiladwyd gan Iesu a'i apostolion. Gwna y gwahanol enwadau taenellyddol hyn. Ond dywed rhai, "Er hyny y maent yn gydwybodol gyda'r cwbl." Felly yr oedd Saul pan yr erlidiai yr eglwys, a John Calvin, pan y gosododd Servetus i farwolaeth. Gallaf roddi arian ffugiol yn dâl am fy nillad, gan gredu mai arian pur ydynt; derbynia y nwyddwr yr arian fel rhai pur, ond ni wna hyn newid gwerth y ffugiol; nid yw y ffaith ein bod yn gwneuthur unrhyw beth yn gydwybodol, yn brawf diymwad o uniondeb ac ysgrythyroldeb y peth. Gallwn fod yn hynod gydwybodol, a bod mor bell oddiwrth y gwirionedd a'r dwyrain oddiwrth y gorllewin, a phellach os oes modd. Gadewch i ni yn y modd difrifolaf a gonestaf ddatgan ein teimladau da at enwadau eraill, ond bydded i'r datganiad hwnw fod mewn perffaith gydgordiad a'r gwirionedd syml a phur. Credwyf fod yn well i ni fod yn gydwybodol ond anghywir, na bod yn rhagrithiol ac iach yn y ffydd; eto gwell fyth yw i ni fod yn ddewr o blaid y gwir, a gonest yn ein barn grefyddol, heb genfigen at neb, ond cariad at bawb. Gwyr pawb fod swper yr Arglwydd yn ail mewn pwynt o drefn—dilyna fedydd—â dengys y bwyd ar yr hwn y mae yn rhaid i'r Cristion ymborthi, a byddai gwahodd pobl, y rhai a alwant eu hunain yn Gristionogion, ond sydd heb eu bedyddio, yn gosod swper yr Arglwydd o flaen bedydd, yr hyn sydd yn taro yn berffaith groes i ddysgeidiaeth yr apostolion.

IV. *Ymdrechwn yn awr i ateb rhai o'r gwrthddadleuon a ddefnyddir gan ein gwrthwynebwyr.*

Paham y gwrthwynebant ein hymddygiad ni parth swper yr Arglwydd, sydd ddirgelwch i mi, am nad ydym yn gwahaniaethu yn ein barn ar y swper, ond ar fedydd. Ond gan fod ganddynt eu gwrthddadleuon, gwnawn sylw byr o honynt.

1. Dywedant mai "bwrdd yr Arglwydd" yw, ac am hyny y dylai pob Cristion ei amgylchynu, ac nad oes genym hawl i osod unrhyw delerau i lawr.—Gwn mai bwrdd yr Arglwydd

yw, ac onid yw hyn yn ddigon o reswm dros ein hymddygiad? Oni ddylem fod yn ofalus yn ei gylch? Pe ein bwrdd ni fyddai, yna gallem wahodd rhai, a gwrthod eraill; rhoddi y lle yn agored i'r anghrediniol fel y crediniol, yr anfedyddiedigion fel y bedyddiedigion. O, pe y buasai yn eiddo i ni, gallasem fabwysiadu rheolau bychain fel y gwelem yn dda, a gosod i lawr ein telerau ein hunain; ond gan mai bwrdd yr Arglwydd yw, rhaid gwrandaw ar ei lais Ef yn ei gylch, a chadw draw ein teimladau ein hunain, a gosod o'r neilldu ein rheolau ein hunain. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd," sydd i fod yn rheol. Nid ydym yn cadw un allan o gymundeb oblegid ein bod yn amheu troedigaeth y cyfryw un; credwn fod rhai y tu allan i'r eglwys yn mhlith y troedigion, ond nid ydym yn edrych arnynt fel rhai cymwys i fwyta o'r bara ac yfed o'r cwpan yn y swper. Pan y cyfnewidiaf yn fy marn, yna rhoddaf wahoddiad cyffredinol i bawb i eistedd wrth y bwrdd, ond pan y gwnaf hyn edrychaf ar y bwrdd fel yn perthyn i mi, ac nid i'r Arglwydd. A yw ef wedi gosod i lawr unrhyw delerau? Ydyw. Rhaid i ni gredu ac ufuddhau.

2. Mynych y defnyddir yr wrthddadl hon: Cymunwn gyda'n gilydd yn y nefoedd, ac am hyny dylem gymuno gyda'n gilydd ar y ddaear.—Ni wnawn gymuno yn y nefoedd; byddwn wedi darfod a'r swper cyn cyrhaedd yno. Mae hwn yn un o'r rhesymau gwanaf ac eiddilaf a all ein cyfeillion ddwyn yn erbyn ein caeth-gymundeb. Cawn roddi ein pleidlais yn y nefoedd, yna dylem yn wyr a gwragedd bleidleisio dros yr un tocyn yma ar y ddaear. Dywed un, "Y mae fy mrawd yn aelod gyda'r Annibynwyr, ac yn Gristion rhagorol, ac onid yw yn ormod peth i mi beidio cymeryd o swper yr Arglwydd yn ei eglwys, yn ei sedd, yn ei ymyl?" Nac ydyw; canys byddai yr un mor rhesymol iddo gynorthwyo ei frawd i daenellu ei blant. Daeth gwraig fwynaidd, Gristionogol, yr hon oedd yn aelod gyda'r Presbyteriaid, ataf ar dro, a siaradodd fel hyn:—"Frawd Evans, yr wyf yn amlach yn eich capel chwi nag yn fy nghapel fy hun, ac yr wyf yn mwynhau fy hunan yn dda tra yn gwrandaw arnoch yn pregethu; credwyf eich bod yn Gristion, ac y cawn gyd-ganu yr anthem yn y nefoedd, ac onid yw yn resyn na chaf gymuno gyda chwi ar Sul y cymundeb?" Atebais hi yn y modd canlynol: "Chwaer ——, beth pe y deuai rhyw chwaer ataf, gan ddweyd hyn: 'Frawd Evans, yr wyf yn mynychu eich capel chwi, yr wyf yn credu eich bod yn Gristion, a chredwn y cawn gyd-gyfranogi o fwynianau y nef, gan hyny a fyddwch chwi cystal a thaenellu fy maban bychan?'—a fyddai hyn yn rhesymol?" "O, na fyddai." Eto yn ol ei hymresymiad hi parth y cymundeb, ac ymresymiad ei brodyr a'i chwiorydd, byddai yn llawn mor rhesymol. Nid yw Brenin Seion wedi gorchymyn i ni gymuno gyda'r oll a ddysgwyliwn weled yn y nef. Bydd babanod yno, ond nid ydym i wahodd mabanod i eistedd wrth fwrdd yr Arglwydd yma. Bydd y rhai a dyfasant i fyny yn wirioniaid yno, ond nid oes eisiau i ni wahodd y cyfryw i gymeryd o swper yr Arglwydd yma. Pan y defnyddia ein gwrthwynebwyr y fath wrthddadl a hon, amlwg yw eu bod yn gosod rheswm ac ysgrythyr o'r neilldu, a gosod teimlad dynol ar yr orsedd. Nid oes a fyno y teimlad tyner (?) yma fwy â'r swper na'r bedydd.

3. Dywedant wrthym fod caeth-gymundeb yn brawf o feddwl cul, dallbleidiaeth, a phenboethni.—Yr ydym wedi clywed hyn drosodd a throsodd, ond nid yw hyd yn hyn wedi peri llawer o anesmwythder i ni. A ydwyf fi i alw enwadau eraill yn ddallbleidiol a phenboeth, am na chredant yn mhob peth yr un fath a mi? O, na, nid ydym yn ddall-bleidiol. Os ydym yn benboeth, yna penboeth ydym dros y gwirionedd; penboeth ydym dros ymarferiad yr eglwys gyntefig a'r apostolion; penboeth ydym dros y Testament Newydd fel rheol ffydd ac ymarferiad. Rhaid ydyw i ni ufuddhau i'r gwirionedd. Fel Bedyddwyr, yr ydym wedi bod yn arwyr rhyddid gwladol a chrefyddol; fel Bedyddwyr yr ydym wedi

ymladd yn erbyn gormes a thrais o ddyddiau Ioan Fedyddiwr hyd yn awr. Yr ydym wedi dyoddef erledigaeth, ond nid ydym wedi erlid neb. Cododd mam puteindra y ddaear, Babilon fawr, ei llaw haiarnaidd i'n herbyn; nid ydym yn synu llawer am hyn, canys creda y Babaeth y dylem gael ein difodi; ond ymgollwn mewn syndod pan y meddyliwn am yr erlidiau, y dyoddefiadau, y carcharau a'r poenau yr aeth ein tadau a'n mamau trwyddynt oblegid y Presbyteriaid, yr Episcopaliaid, a'r Cynulleidfaolwyr. Yr ydym ni wedi bod yn gyfeillion rhyddid, ac nid oes neb a all gyfeirio at adeg pan y darfu i ni fel enwad crefyddol ymyraeth â rhyddid enwadau eraill. Mae America yn fwy dyledus i'r Bedyddwyr am ei rhyddid nag i unrhyw enwad arall. "Rhyddid mewn pethau perthynol i'r gydwybod," oeddent eiriau swynol ein hanfarwol gyd-wladwr Roger Williams. Y gwirionedd yn gyntaf, yna teimlad y bobl. Nid ydym yn ddallbleidiol, nid ydym yn benboeth; bydded ein gelynion yn farnwyr.

4. Un o'r gwrthddadleuon cryfaf yw hon: "Nid ydym i wrthod y rhai y mae yr Arglwydd yn eu derbyn."—Derbynia yr Arglwydd fabanod, a gwirioniaid, gyda chalon agored, ond a ydym ni i wneuthur hyn? Er ein bod wedi defnyddio y termau arferol, megys cymundeb a chaeth-gymundeb, eto credwn fod y fath dermau yn anmhriodol ac anghywir. Nid ein *cymundeb* sydd yn gaeth a chyfyngedig, eithr ein *bedydd.* Arweinia cymundeb rhydd, fel yr edrychwn arno, at ddadfeiliad eglwysig, fel y gwelwn yn hanes y fath eglwysi a Llanbrynmair, yn Nghymru, a Bedford, yn Lloegr. Arweinia at ddinystrio ein henwad. Yn Nghymru, lle y mae ein hegwyddorion yn bur a digymysg, y mae ein llwyddiant yn fawr. Yn Lloegr, lle y mae yr eglwys yn gymysgedig, nid yw ein llwyddiant ond canolig. Yn America, lle y mae caeth-gymundeb, y mae ein llwyddiant yn hynod gyflym, tra y mae eglwysi y rhydd-gymunwyr yn gwanhau. Frodyr, byddwch gadarn a diysgog yn y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu; byddwch sefydlog a phenderfynol gydag egwyddorion y Cyfamod Newydd.

"Gwirionedd ddeil yn gadarn,
 Iē yn gadarn iawn bob darn,
Yn gadarn ar y ddaear,
 Yn gadarn yn y farn."

---

## TRADDODIAD AM Y BALMWYDDEN.

[Mae hen draddodiad yn Assyria fod cangenau y balmwydden, yn y boreuddydd, yn sisialu enw y Sancteiddiolaf, pan yn cael eu hysgwyd gan yr awel.]

Yn Assyria, hoffus enw,
 Lle mae ffrwythau teg eu lliw,
Eto'n tyfu ac yn llwyddo,
 Ac aur-dywod fel yn fyw,
Y bu Un a bendith ganddo,
 Yn mhob man y rhodiai Ef,
Pan yr aethai oddi amgylch
 Fel Cenadydd mawr y nef.

Yn nhawelwch gwâr y boreu,
 Fel i gywilyddio'n fawr
Anghof difraw, erch, dynolryw
 O'r Hwn atynt ddaeth i lawr,
Y mae cangau y balmwydden
 Yn sisialu'i enw Ef
Yn barhaol a diflino,
 Mewn mwyneiddiol, lariaidd lef.

Hwnt yn mhell o bob rhyw dwrw,
 Pan y byddo'r boreu'n glir,
Y gwych balmwydd a ymwingant
 Dros derfynau yr holl dir;
Fel y byddo y cangenau
 Yn ysgogi bob yr un,
Yna tybir seinir ganddynt
 Hoffus enw Mab y dyn.

Rhwydd gwnant ddwyn i'r cof yr adeg
 Pan y cuddid y ffordd oll
'N wych o flaen ei draed bendigaid;
 Gwnant ei foli yn ddigoll;
Nid yn uchel fel y dyrfa,
 Ond yn wylaidd iawn eu gwedd,
Hwy ymgrymant yn iselaidd
 I fwyn, hardd, Dywysog Hedd.

Pethau da a gwyrdd y ddaear
 Geir yn talu teyrnged gain,
Tra mae lleisiau gwae a thrallod
 Yn mawr hagru dynol sain;

Ond pe tawent hwy yn hollol,
Llef y ceryg ni raid ddod,
Can's y coedydd yn frwdfrydig
A adseinient oll ei glod.

*Arall-eiriad* O. G.

## HEDDWCH A DUW.

GAN Y PARCH. B. JAMES, (DIWEDDAR O SUMMIT HILL.)

Gair sydd yn seinio yn hyfrydawl ydyw heddwch. Mewn unrhyw ystyr mae yn fwyneiddiol. Heddwch gwladwriaethol—heddwch teuluaidd, heddwch eglwysig—ac yn benaf, heddwch â Duw. Rhaid fod pobl y wlad hon, yn y rhyfel diweddar, wedi eu dwyn i weled gwerthfawredd heddwch gwladwriaethol. Mor ddymunol ydyw heddwch teuluaidd! Mae yn rhoddi sirioldeb ar wyneb pawb yn y tŷ. Dichon na fydd cyfoeth lawer, ond os bydd heddwch, meddienir trysor annhraethol mwy ei werth. Felly yr un modd y mae heddwch mewn eglwys i'w fawr ddymuno. Yn yr eglwys lle mae heddwch, ceir undeb, cydweithrediad, a llwyddiant, a gwedd gwyneb Duw. Ddarllenydd anwyl, a wyddost ti rywbeth am heddwch â Duw trwy ein Harglwydd Iesu Grist? Nid oes neb yn feddianol ar yr heddwch hwn wrth natur. Ein gwir gymeriad gwreiddiol ydyw, "dyeithriaid a gelynion i Dduw mewn meddwl trwy weithredoedd drwg!" Yn y galon annychweledig mae rhyfel parhaus yn erbyn Duw a'i drefn rasol. Un o nodweddion y dyn newydd ydyw ei fod wedi ei greu "mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd." Hefyd gwerth gwaed ydyw, canys prynwyd ef i ni trwy y croeshoelio ar y croesbren garw. Oni buasai marw y groes, anmhosibl fyth fuasai ein heddychu â Duw.

"Gwaed y groes a gwyd y graith,
Na welir mo'ni eilwaith."

Dyma ydyw cyhoeddiad melus-sain yr efengyl fwyn, sef "bod Duw yn Nghrist yn cymodi y byd ag ef ei hun, heb gyfrif iddynt eu pechodau." Y mae y newydd da hwn fel cyfodiad haul o'r uchelder ar ein byd tywyll, a meddyginiaeth yn ei esgyll! Wrth ragfynegu y nodwedd hon yn y cyfnod efengylaidd, y cyfodai y beirdd Hebreig bob amser, hoewaf ar adenydd eu hawen ysbrydoledig. Un o'r enwau mwyaf perseiniol a roddent i Iesu ydoedd Tywysog Tangnefedd. Yr oedd yr elfen dangnefeddus mor arbenig yn nghymeriad Gwaredwr mawr y byd fel y taflai ei lewyrchiadau llariaidd a hyfwyn oesoedd cyn ei ymddangosiad yn myd y cystudd mawr. Pan y daeth yma, adseiniai yr angylion, "Gogoniant yn y goruchafion i Dduw." Beth arall? Ië, beth hefyd, ond diweddglo y byrdwn nef-anedig, "ac ar y ddaear *tangnefedd*, ac i ddynion ewyllys da!"

Dyweder fod calon dynoliaeth yn llawn gelyniaeth—fod haenau rhewllyd angharaid, malais a brad yn gorwedd dros wyneb tiroedd, llynoedd, a moroedd y bywyd dynol. Dyweder fod peiriant y meddwl, y cymalau a'r mer, wedi eu cloi i fyny gan rew oeraidd, sychawl pechod—boed i Dywysog Tangnefedd ddyfod i'r golwg yn ei rym achubol, a daw yr oll fel gardd yr Arglwydd, a'i pherarogl yn persawru y cread. Nid rhyfedd i'r awen Gymreig fyned ar ei gliniau gyda'r weddi yma yn ei genau:

"Marchog Iesu yn llwyddianus,
Gwisg dy gleddyf ar dy glun."

Pwy yw y rhai sydd yn dod i feddiant o'r heddwch hwn? Pwy yw y gwynfydolion ag mae y balm nefol hwn yn dyferu i'w clwyfau dyfnion nes eu llwyr wella? Pwy yw y ffodusion hyny yr adnewyddir eu natur—y cynesir eu calon—yr ymddeffroa eu cydwybod—yr ail-enir hwy gan yr eneiniad hwn oddiwrth y sanctaidd hwnw? Wel, gwrandewch—dyma hwy—"Y bobl a fyddant ewyllysgar i ti yn nydd dy nerth,"—y rhai fo yn gweled y ffolineb o wasanaethu hunan, a'r doethineb o ymostwng yn hollol ac yn gyfan i drefn Duw. Un o'r graddau cyntaf tuag at ei gyrhaedd ydyw syniad dwfn, aflonydd, eto swynol, yn y meddwl a'r ysbryd, fod heddwch Duw yn beth o

annhraethol werth. Yn gysylltiedig â hyn, ac yn ei ddilyn yn anocheladwy, mae syniad dolefus am wrthryfel hyllig yr enaid. Rhaid i'r pechadur deimlo ei hunan yn fath o ysgerbwd annheilwng—annheilyngdod yn ei fantellu—yn ymdreiddio drwyddo, nes ei ferwino a'i wneyd yn llwch ac yn lludw ger bron Duw. O'r adfail yna y cyfyd y dyn newydd, yn meddu gwyneb siriol, cydwybod ddirwystr, a mynwes dawel. Y mae a fyno gweddio â hyn.

O! fel y mae yr egwyddor, neu yn hytrach y gyneddf o weddi wedi cael ei rhoddi yn natur dyn. Nid yw y gyneddf hon byth yn dyfod i weithredu yn fwy naturiol na phan yr ymgyfyd oddiar syniad ac ymdeimlad o *wrthryfelgarwch* yn erbyn Brenin y breninoedd. Y mae mynwes wedi ei chysegru a'i thymeru gan wir weddi—gweddi o'r dyfnder i'r lan—gweddi wasgfaol—yn un o'r prif gymwysderau i dderbyn a mwynhau yr heddwch dwyfol. Pan deimlir hylifau adnewyddiadol heddwch Duw yn cael ei dywallt ar led yn y galon, crea awydd angerddol yn y gwrthryfelwr i foddio ei roddydd, i "fyw i ryngu ei fodd ef." Yn y man ni phetrusa fel Enoch i symud ei gamrau gyda'r bwriad o *rodio gyda Duw*, a theimlo ei hunan o-dan ei amddiffyniad bendigaid.

Mae i'r heddwch hwn ei ffrwythau tuag at eraill. Ceir ei feddianwyr yn bobl foneddigaidd, hawdd eu trin, llawn o ffrwythau diduedd a diragrith. Os ydym am fyned i'r nefoedd, i wlad yr heddwch tragywyddol, llafuriwn am yr heddwch hwn. Nis gall neb fod yn ddedwydd yno heb ei feddu. Y lle na fydd heddwch Duw ynddo, ni cheir ond wylofain a rhincian danedd. Ond am y nef,

"Bydd pawb o'r brodyr yno'n un,
Heb neb yn tynu'n groes,
Yn moli'r Duwdod yn y dyn,
A chofio'i angau loes."

Pwy na ddymunai fyned yno i fyw byth? Llwyddo wnelo efengyl y tangnefedd. Boed i holl ddarllenwyr y WAWR fod mewn heddwch â Duw trwy ein Harglwydd Iesu Grist.

## ANERCHIAD,

*Ar yr Achlysur o Ordeinio y Parch.* JAMES F. RICHARDS, *yn Church Hill, Ohio, Ion. 28, 1877.*

GAN Y PARCH. E. MORDDAL EVANS, PARIS, O.

Fy mrodyr a'm chwiorydd—Gan eich bod wedi fy ngosod i'ch cyngori, ymdrechaf wneyd hyny yn ddi-dderbyn wyneb. Y mae genyf un-ar-ddeg o destynau, a phregethaf un-ar-ddeg o bregethau yma heddyw. Os ydych am gadw eich gweinidog yn fyw, gwrandewch ar fy mhregethau; ac os ydych am ei ladd, cauwch eich clustiau. Os ydych am iddo fod yn ddefnyddiol, yn gysurus ei hunan, ac yn gysur i chwithau, gwrandewch ar yr un-testyn-ar ddeg; ond os ydych am iddo fod yn annedwydd, yn aflwyddianus, ac yn faich arnoch chwithau, trowch glust fyddar at y testynau, a chysgwch yn y cwrdd.

Y mae eglwys Church Hill heddyw fel llong yn cychwyn allan ar ddiwrnod hafaidd; ond cofiwch na welwyd haf eto na ddaeth gauaf ar ei ol; ac na fu dydd yr hwn na ddaeth nos i'w ganlyn; ond cofiwch y gallwch chwi wneyd haf a gwneyd gauaf pryd y mynoch yn yr eglwys. Os am haf a llwyddiant,

I. *Gofalwch garu eich gilydd.*—"Eithr o flaen pob peth bydded genych gariad ehelaeth tuag at eich gilydd, canys cariad a guddia luaws o bechodau."—1 Pedr 4: 8.

Os na fyddwch yn caru eich gilydd, bydd yn anmhosibl i'ch gweinidog ddysgwyl i chwi ei garu ef; os byddwch yn siarad yn anmharchus am eich gilydd, bydd eich gweinidog yn dysgwyl yr un peth oddiwrthych. Y mae yn anhebgorol angenrheidiol iddo gael ymddiriedaeth ynoch—gallu credu y gallwch garu. Un o brif rwystrau llwyddiant crefydd a gweinidog yw diffyg cariad ac undeb yn yr eglwys. Os yw y gweinidog yn ei le, y mae ei enaid yn ymawyddu am lwyddiant; a chan mai ar gydweithgarwch yr aelodau i raddau ehelaeth y mae hwnw yn

dibynu; tra y mae yr aelodau yn croesymdynu, ac yn angharedig i'w gilydd, y mae haul gobaith llwyddiant yr eglwys wedi machlud, a'r gweinidog o ran ei deimlad fel llong rhwng deu-for, fel milwr heb gleddyf, fel morwr heb gwmpawd, ac fel offeiriad heb lyfr gweddi. "*Three brothers, three castles*," medd hen ddiareb; a diareb arall a ddywed, "*Three, if united against a town, will ruin it.*" Ond Paul a ragora ar y diarhebion oll pan ddywed, "Ond os cnoi a thraflyncu eich gilydd yr ydych, gwyliwch na ddifethir chwi gan eich gilydd." Dangoswch eglwys ymrafaelgar yn llwyddo, a dangosaf i chwi dŷ ar y tywod yn sefyll, llong heb un llyw yn cyrhaedd y porthladd, a thŷ wedi ymranu yn ei erbyn ei hun, mewn diogelwch.

II. *Gwyliwch rhag segurdod crefyddol.*—"O herwydd paham cyfodwch i fyny y dwylaw a laesasant a'r gliniau a ymollyngasant."—Heb. 12: 12.

Siaredir yn fynych ar hyd a lled y wlad am yr eglwys hon a'r eglwys acw, eu bod yn eglwysi rhagorol. Os bydd eglwys yn talu cyflog mawr i'w gweinidog, dywedir ei bod yn eglwys dda ragorol. Rhyw ddarfodedigaeth yw segurdod crefyddol; ei *symptoms* yw cwrdd gweddi teneu, gweddiau sychion, llawn ensyniadau personol, y naill yn dysgwyl wrth y llall yn y gyfeillach, crymu penau dan y bregeth, a chysgu yn y cwrdd. Dyn segur yw'r terfysgwr yn yr eglwys bob amser. Mae yn rhaid i ddyn gael rhyw waith i'w wneyd, ac os na fyddi di yn gweddio, byddi yn cweryla, ac yn gyhuddwr y brodyr; os na fyddi yn darllen dy Feibl, byddi yn porthi "cythraul y canu," neu "gythraul dewis diaconiaid," neu "gythraul newid gweinidog." Ac onid yw y cyfryw ysbrydion cythreulig yn ddigon cryf heb i neb eu porthi?

Nid oes un amryfusedd nac anhwylder eglwysig yn heigio cynifer o anhwylderau ag a wna segurdod crefyddol. Dangoswch i mi eglwys segur, a dangosaf i chwi eglwys sydd yn lladd ei gweinidogion, pa faint bynag fydd yn dalu. Dangoswch i mi eglwys segur, a dangosaf i chwi dŷ annyben, yn heigio aflendid. Dangoswch i mi eglwys segur, a dangosaf i chwi nythle cynen a malais. Nid oes y fath beth a "dyn diddrwg, didda." Os na fyddi di yn weithiwr difefl yn y winllan, bydd dy wep gam, dy wyneb hir, a'th agwedd gysglyd yn y cwrdd, yn tori calon dy weinidog, ac yn dysgu arferiad drwg i eraill. Nid oes dim yn creu anffyddwyr mor gyflym a difaterwch pobl grefyddol. Y bobl segur yma sydd yn gweled beiau pawb. Y diaconiaid segur sydd yn dysgwyl i'r gweinidog ymweled â'r cleifion; y bobl segur sydd yn cysgu yn y cwrdd. Y diaconiaid segur sydd yn dysgwyl i'r gweinidog fyned i siarad a phobl y digio—y malwod crefyddol hyny sydd yn tynu eu cyrn atynt pan gyffyrddir â hwynt. Pan yw y milwyr yn cysgu, pwy sydd i amddiffyn yr orsedd?—ai y Cadfridog ei hunan? Os ydych chwi yn hepian oll, pwy sydd i fod yn barod pan eilw y priodfab? Os byddwch chwi yma yn esgeuluso eich dyledswyddau fel aelodau a diaconiaid, er mwyn eich eneidiau ac eneidiau eich gwrandawyr, peidiwch gwneyd "bwch diangol" o'ch gweinidog, oblegid bydd digon o bwys ar ei feddwl, a digon o bechod ganddo i'w ddwyn heb roddi eich pechodau chwi yn bentyrau ar ei gefn; ïe, peidiwch a'i "starfo i maes" trwy eich esgeulusdod, a'i anfon i anialwch maes arall, a holl bechodau Church Hill ar ei gefn. Os bydd yr achos yn farwaidd, a chwithau yn cysgu dan y bregeth, cofiwch gymeryd rhan o'r bai beth bynag. Os byddwch yn goddef dynion afreolus ac annuwiol yn yr eglwys, peidiwch rhyfeddu fod y bedyddio yn anaml. Peidiwch beio y gweinidog fod yr Amenau wedi ffoi, a Seion yn gartref annedwydd i'r plant.

III. *Cydymdeimlad a'ch gweinidog.* "Meddyliwch am eich blaenoriaid, y rhai a draethasant i chwi air Duw."—Heb. 13: 7.

Os oes marweidd-dra ac aflwyddiant yn yr eglwys, nid oes neb yn teimlo yn fwy na'r gweinidog. Dangoswch chwithau eich bod yn teimlo hefyd, os ydych am lwyddiant a gwirioneddolder

geiriau y bardd Seisnig yn eich cydymdeimlad:—

"Their streaming eyes together flow
For human guilt and mortal woe;
Their ardent prayers together rise
Like mingling flames in sacrifice."

Os bydd eich gweinidog yn glaf, bydd yn hyfryd i'w enaid feddwl eich bod yn gweddio drosto. Os bydd efe mewn tylodi, bydd gwyneb eich cydymdeimlad fel gwyneb siriol y gwanwyn iddo ef. Os bydd haul llwyddiant yn gwenu ar yr eglwys, bydd yn hyfryd iddo ef gofio eich bod chwi oll yn cydlawenhau. Nid oes dim yn fwy annymunol na gweled dyn crefyddol yn peidio cyd-lawenhau a'r saint ac a'r angylion, pan mae Seion ar ei huchelfanau. Cofiwch mai yn eich cydymdeimlad yr ychwanegwch ymddiried eich gweinidog ynoch. Gwnewch hyn fel pe na byddai genych un ddyled arall i'w thalu iddo; ac efe a gysga yn esmwyth y nos, ni bydd raid iddo ofni eich gadael eich hunain yn y cwrdd eglwys; a phan â oddicartref, bydd yn felus i'w fyfyrdod gofio y bydd awydd arnoch ei weled yn dychwelyd i fod yn swn eich gweddiau, ac yn nghanol eich sirioldeb.

IV. "Nac anghofiwch letygarwch, canys wrth hyny y lletyodd rhai angylion yn ddiarwybod."—Heb. 13: 2.

Gofalwch fod yn garedig i'ch gilydd, a chynorthwyo eich gilydd mewn cyfyngderau. Bydd eich gweinidog yn gwylio eich symudiadau, a bydd yn ddrwgdybus, wrth reswm, pan fyddoch yn glaiar ac angharedig tuag at eich gilydd, rhag mai felly y byddwch tuag ato yntau yn y man. Peidiwch dysgwyl i'ch gweinidog ruthro trwy y dorf i chwilio am danoch i ysgwyd llaw a chwi. Yr oedd y Gwyddel yn bwyta'r pwdin yn nghyntaf, rhag y byddai farw cyn gorphen ei giniaw—i wneyd yn sicr o'r pwdin. Ac y mae pobl yn ein heglwysi yn llyfu cymaint ar y pregethwr newydd, fel nad oes ganddo amser i ymweled a neb ond a hwy. Y maent yn rhy debyg i'r dyn hwnw oedd yn siarad a'i wraig yr ail flwyddyn ar ol priodi,—"Ferch," meddai, "yr o'wn i yn dy garu di cyn i ni briodi, o'wn yn wir yn dy garu, allwn i feddwl y gallwn dy fwyta di; ond gwyn fyd na fuaswn wedi dy fwyta yn lle dy briodi di." Dim ond holi hanes bywyd yr aelodau a'r diaconiaid hyny sydd wedi bod yn *dew, dew*, gyda'r pregethwr dyeithr, a'r pregethwr newydd; yr ydym yn cael eu bod yn deneu, deneu, yr ail flwyddyn. "Nac anghofiwch letygarwch," ond peidiwch a'i fwyta ef y flwyddyn gyntaf, oblegid bydd yr ail flwyddyn at hyny. Peidiwch a dysgwyl iddo aros yr un faint yn mhob ty, na galw yr un mor aml. Y mae rhai tai nad yw yn ddyogel i bregethwr aros yn hir ynddynt. Nid oedd yr Iesu na'i apostolion yn aros yn hir yn mhob man. Yr oedd rhai o'r apostolion yn cenfigenu am fod Ioan yn anwylach ganddo na'r lleill. Yr oedd yr Iesu yn caru y ffyddloniaid. Os ydych am i'ch gweinidog eich caru yn fwy nag eraill, a galw yn eich tai yn aml, aml, byddwch yn fwy ffyddlon na neb yn yr eglwys; oblegid gallaf eich sicrhau y bydd efe yn caru y ffyddloniaid yn fwy na'r anffyddloniaid. A ydyw hyn yn rhesymol ac ysgrythyrol? Ydyw. "Cerwch bawb eich gilydd," medd Iesu; ond *quality* ac nid *quantity* y cariad sydd yna. "Car dy gymydog fel ti dy hun." Ond a ydyw'r fam yna i garu yr Indiad a *scalpiodd* ei baban, gyda'r un cariad ag y carai hi y baban oedd ar ei dwyfron? Yr ydym i garu pob dyn, neu mewn geiriau eraill, i barchu ein cymydogion fel bodau rhesymol. Yr oedd Iesu yn treulio mwy o'i amser yn nghymdeithas Ioan nag yn nghymdeithas y lleill; a bydd eich gweinidog chwithau yn dyweyd mwy o'i feddwl, a rhoi mwy o'i gymdeithas i'r ffyddloniaid nag i neb arall.

Peidiwch gwastraffu eich "sebon" oll y flwyddyn gyntaf, oblegid bydd genych lai o hono, a bydd ei eisiau arnoch yr ail flwyddyn. Gadewch i reswm eich llywodraethu, ac nid y teimlad.

[*I'w barhau*].

---

Dywed un athronydd fod dyn yn dlawd heb arian, ond fod dyn sydd heb feddu dim ond arian yn llawer tlotach.

# MYNEGFYS Y CRISTION.

*Adgoffhad am Annhiriondeb at yr Ymadawedigion.*—Pan yn fachgenyn gartref, dywedai fy mam wrthyf weithiau, "De Witt, bydd yn ddrwg genyt ti eto am hynyna, wedi i mi fyned." Yr wyf yn cofio yn dda fel yr edrychai, ac yr eisteddai gyda ei chap a'i llygaidwydrau, gyda'r hen Feibl ar ei glin, ac erioed nid ynganodd well gwirionedd. Llawer gwaith ar ol hyny yr wyf wedi teimlo yn ddrwg. Pan fyddo ein ffryndiau gyda ni, dywedwn bethau anwyliadwrus, a fyddant yn dolurio eu teimladau. Bydd y tad, efallai, am fai tybiedig, yn tynu clustiau y plentyn, heb ymholi dim i'r achos. Mae yr un bychan ar ol syrthio yn yr heol, yn dyfod i'r ty yn orchuddiedig gan laid; ac fel pe na buasai yr anhap yn ddigon, mae yn ei fflangellu ef. Cyn hir, mae y plentyn yn cael ei gymeryd ymaith, neu rywun arall hoffus genym; a rhai fyddo ar ol a ddywedant, "O! na allasem gael yn ol y geiriau angharedig—y geiriau angharedig hyny! O! na allasem ond yn unig eu galw yn ol!" Ond ni ellwch eu cael yn ol. Gallwch ymgrymu ar fedd yr un anwyl, a llefain a llefain, wylo ac wylo, ond ni rydd y gwefusau gwynion yr un ateb. Y wers yw hyn, cymerwch ofal o'ch ffrindiau tra y maent gyda chwi; peidiwch ac ymhyllu, byddwch yn gynil mewn geiriau cas. Hoffech hyny ryw ddiwrnod—efallai yfory. O, ie, tra byddwch ofalus mewn gweinyddu dysgyblaeth briodol, gofalwch wneyd hyny gyda thiriondeb, rhag ofn y bydd rhyw lechfaen yn y fynwent gerllaw, ac yn doredig arni, "Ein Willie," "Ein Maggie;" ac er i chwi ogwyddo i lawr at y bedd, a cheisio am le i edifarhau, a cheisio yn daer mewn dagrau, ni ellwch ei gael.—*Parch. T. De Witt Talmage.*

*Dinas Duw.*—Nid oes un rhan o'r ysgrythyr yn fwy nodedig fel darluniad o'r nefoedd, na'r un a ddefnyddia awdwr yr Epistol at yr Hebreaid, pan yn anerch y rhai a garent Iuddewaeth mor fawr, gan ddangos iddynt ragoriaethau breintiau Cristionogaeth. Os na allent mwyach alw eu hunain yn ddinasyddion o'r Jerusalem ddaearol, yr oedd ganddynt Fynydd Seion, y Jerusalem nefol, dinas y Duw byw, yn lle hyny! Yn lle yr offeiriaid yn eu gwisgoedd gwynion, yn y deml ar fynydd Moriah, yr oedd ganddynt fyrddiwn o angylion. Yn lle tyrfaoedd gorfoleddus eu cenedl, yn ymgasgledig o bob gwlad i gadw y gwyliau mawrion blynyddol, yr oedd ganddynt "gymanfa a chynulleidfa y rhai cyntaf-anedig, y rhai a ysgrifenwyd yn y nefoedd." Yn lle y Secina yn y sanctaidd sancteiddiolaf, y man ofnadwy hwnw lle yr elai yr archoffeiriad unwaith yn y flwyddyn, yr oeddynt yn dyfod at Dduw, Barnwr pawb, ac at ysbrydoedd y cyfiawn, y rhai a berffeithiwyd. Heblaw y cwbl, yr oedd ganddynt yr hyn yn unig, ydoedd yn ddigon i ddileu o'u meddwl bob teimlad o golled ar ol teml eu tadau, a sefydliadau Moses, yn mherson Iesu fel Cyfaill a Brawd Hynaf. Oblegid yr oedd efe yn Gyfryngwr y Testament Newydd, yr hwn oedd yn tra rhagori ar yr Hen; ac haeddianau cymodol ei waed, yn ei wneyd yn annhraethol werthfawrocach na gwaed yr aberthau a arferent hwy eu hoffrymu, yn gymaint a'i fod yn galw am *faddeuant* i'r enaid, yn lle galw, fel yr eiddo Abel, am *ddialedd.*

*Y Gwahanol Enwau a Roddir i'r Arglwydd Iesu Grist yn y Beibl.*—Cymerodd gwr ieuanc y Beibl unwaith, gyda phwyntel a phapyr, a cheisiodd wybod am y gwahanol enwau a roddir yn y Llyfr Sanctaidd i'r Arglwydd Iesu Grist. Yn gyntaf ysgrifenodd i lawr *Mab Duw,* yna *Mab y dyn;* ac yna yr enw seinber hwnw, *Iesu.* Beth a ddylasai ysgrifenu wed'yn? *Crist, Emanuel, Gwaredwr*—ymgronai y geiriau i'w gof, oblegid yr oedd yn fachgenyn a ddarllenai yr Ysgrythyrau yn fynych; ac yr oedd yn dra hysbys ynddynt. O'r diwedd, efe a ddywedodd wrtho ei hun, "Yr wyf yn gweled fod Crist yn mhob man. Os edrychwn i'r wybren, mae Efe yno, Haul y Cyfiawnder a'r Seren foreu; yn y maesydd adgofir ni ei fod y Bugail Da; yn y goedwig, ei fod ef yn Bren y Bywyd; ac yn yr ardd, ei fod yn Rhosyn Saron. Os deuwn dra-

chefn adref, ac edrych o amgylch ar y rhai a garwn oreu, mae Efe ein cyfaill goreu, ac "yn glynu yn well na brawd." Yn sicr, ni dderfydd yr enwau hyn byth! Gwnaeth yr ieuanc restr hir, ac yna daeth i'w feddwl benill o emyn hoff, yr hwn a ysgrifenodd yn y diwedd:—

"Y ddae'r, y môr, y wybr, y sêr,
A'r nef, ni thraetha'n llawn ein Nêr;
Ei rinau oll nis gwyddom chwaith,
Nes ger ei fron ar ben ein taith."

*Darpariaeth Gogyfer ag Angenion ysbrydol Dyn.*—Mae Duw wedi darparu gogyfer ag angenion naturiol dyn, trwy ei gynysgaeddu âg ymborth a gwisgoedd; mae darpariadau mewn natur i iachau afiechyd corphorol. A ydyw yn debygol y buasai y Duw a drefnodd fel hyn, yn esgeuluso angenion uwch a phwysicach? Y tebygolrwydd yw, y byddai i'r Duw a drefnodd oleuni i lygad, ac ymborth i gylla, a meddyginiaeth i glwyfau naturiol dyn, drefnu hefyd i roddi goleuni dadguddiad i oleuo llygad ei feddwl, a bendithion ysbrydol i ddiwallu angenion ei enaid, a meddyginiaeth anffaeledig i'w iachau oddiwrth glwyfau diafol a phechod.—*Y Parch. H. Jones, A. C., Llangollen.*

*Y Saint yn y Nefoedd.*—Y bodau hyn, mor brydferth, mor ogoneddus, gyda chyneddfau yn anamgyffredadwy i chwi, oeddynt unwaith yn perthyn i'r ddaear. Mae eu natur ysbrydol wedi cyfodi trwy wahanol raddau o fywyd planedawl, yn gadael eu llwch ar ol, ac yn dwyn gyda hwynt yn unig eu gallu deallawl. Yr ydych yn gofyn i mi, a ydynt yn meddu unrhyw wybodaeth neu adgoffâd am eu cyfnewidiadau? Dywedwch i mi am eich hadgofion yn mru eich mam, a gwnaf eich hateb chwi. Mae yn ddeddf gan ddoethineb ddwyfol, nad yw un ysbryd yn dwyn gydag ef, i sefyllfa arall o fodolaeth, unrhyw arferion, neu gyneddfau meddyliol, heblaw y rhai a fyddo yn dwyn cysylltiad a'i angenion, neu ei fwynianau newyddion. Ni fyddai gwybodaeth gysylltiedig a'r ddaear o un gwerth mwyach yn eu sefyllfa uchraddol.—*O'r "Weledigaeth," gan Syr Humphrey Davy.*

---

# LLITHIAU I BAWB.

---

## Gweledigaethau y Bardd Cwsg.

RHAN III.

Nid oeddwn i yn cael gwrando mo'i resymau angylaidd ef yn iawn gan y pendwmpian yr oeddent ar hyd y stryd lithrig yma bob yr awr, a gwelwn rai âg ysgolion yn dringo'r twr, ac wedi myned i'r ffon uchaf, syrthient bendramwnwgl i'r gwaelod. "I ba le mae'r ynfydion acw yn ceisio myn'd?" ebe fi. "I ryw le digon uchel," ebe fe, "ceisio y maent dori trysordy'r dywysoges." "Mi wrantaf yno le llawn," ebe fi. "Oes," ebe fe, "pob peth a berthyn i'r stryd yma, i'w rhanu rhwng y trigolion: pob math o arfau rhyfel i oresgyn ac ymledu; pob math o arfau bonedd, banerau, scwtsiwn, a'u llyfrau achau, gwersi'r hynafiaid, cywyddau; pob math o wisgoedd gwychion, storïau gorchestol, drychau ffeilsion; pob lliwiau a dyfroedd i decâu'r wynebpryd; pob uchel swyddau a theitlau; ac yn fyr i ti, y mae yno bob peth a bair i ddyn dybio'n well o hono ei hun, ac yn waeth o eraill nag y dylai. Prif swyddogion y trysordy hwn yw meistriaid y seremonïau, herwyr, achwyr, beirdd, areithwyr, gwenieithwyr, dawnswyr, teilwriaid, pelwyr, gwniadyddesau, a'r cyffelyb." O'r stryd fawr hon, ni a aethom i'r nesaf, lle y mae'r Dywysoges Elw yn rheoli; stryd lawn a chyfoethog aruthr oedd hon; eto nid haner mor wych a glanwaith a Stryd Balchder, na'i phobl haner mor ehud wyneb uchel, canys dynion llechwrus isel-graff oedd yma gan mwyaf.

Yr oedd yn y stryd hon fyrdd o Hisbaenwyr, Holandwyr, Venetiaid, ac Iuddewon, yma a thraw, a llawer iawn o hen bobl oedranus. "Atolwg syr," ebe fi, "pa ryw o ddynion yw y rhai'n?" "Rhyw Sion lygad y geiniog," ebe yntau, "yw'r cwbl. Yn y pen isaf, cei weled y Pab eto, goresgynwyr teyrnas-

oedd a'u sawdwyr, gorthrymwyr, fforestwyr, cauwyr y drosfa gyffredin, ustusiaid a'u breibwyr, a'u holl hîl o'r cyfreithwyr hyd at y ceisbwl. O'r tu arall," ebe fe, "y mae physigwyr, poticariaid, meddygon, cybyddion, marsiandwyr, cribddeilwyr, llogwyr, atalwyr degymau, neu gyflogau, neu renti, neu elusenau a adawsid at ysgolion, elusendai, a'r cyfryw; porthmyn, maelwyr, ag fu'n cadw, ac yn codi'r farchnad at eu llaw eu hunain; siopwyr (neu siarpwyr) a elwant ar angen, neu anwybodaeth, y prynwr; stiwardiaid o bob gradd, clipwyr, tafarnwyr, fu'n yspeilio teuluoedd yr oferwyr o'u da, a'r wlad o'i haidd at fara i'r tlodion. Hyn oll o garn-ladron," ebe ef, "a mân-ladron yw'r lleill, gan mwyaf, fydd yn mhen ucha'r stryd, fel ysbeilwyr ffyrdd, teilwriaid, gwehyddion, melinyddion, mesurwyr gwlyb a sych, a'r cyffelyb." Yn nghanol hyn, clywn ryw anfad rydwst tua phen isa'r stryd, a thyrfa fawr o bobl yn ymdyru tua'r porth, a'r fath ymwthio ac ymdaeru, a wnaeth i mi feddwl fod rhyw ffrae gyffredin ar droed, nes gofyn i'm cyfaill, "Beth oedd y mater?" "Trysor mawr tros ben sydd yn y twr yna," ebe'r angel, a'r holl ymgyrch hyn sydd i ddewis trysorwr i'r dywysoges yn lle y Pab a drowyd allan o'r swydd." Felly ninau a aethom i weled y lecsiwn.

Y gwyr oedd yn sefyll am y swydd oedd y stiwardiaid, y llogwyr, y cyfreithwyr a'r marsiandwyr, a'r cyfoethoca o'r cwbl a'i cai; oblegid pa fwyaf fydd genyt, rhagor y gei ac y geisi (rhyw ddolur diwala sydd yn perthyn i'r stryd). Gwrthodwyd y stiwardiaid y cynyg cyntaf, rhag iddynt dylodi yr holl stryd; ac fel y codasant eu palasau ar fyrddynod eu meistriaid, felly rhag iddynt, o'r diwedd, droi'r dywysoges ei hun allan o feddiant, yna rhwng y tri eraill yr aeth dadl. Mwy o sidanau oedd gan y marsiandwyr; mwy o weithredoedd ar dir oedd gan y cyfreithwyr, a mwy o godau llawnion, a biliau, a bandiau, gan y llogwyr. "Hai, ni chytunir heno," ebe'r angel, "tyred ymaith, cyfoethocach yw'r cyfreithwyr na'r marsiandwyr, a cyfoethocach yw'r llogwyr na'r cyfreithwyr, a'r stiwardiaid na'r llogwyr, a Belial na'r cwbl, canys efe a'u piau hwy oll a'u pethau hefyd."

"I ba beth y mae'r dywysoges yn cadw'r lladron hyn o'i chylch?" ebe fi. "Beth gymwysach," ebe yntau, "a hi yn ben lladrones ei hun." Synais ei glywed ef yn galw y dywysoges felly, a'r boneddigion mwyaf yno yn garn-lladron. "Atolwg fy arglwydd," ebe fi, "pa fodd y gelwch y pendefigion urddasol yna yn fwy lladron na speilwyr ffyrdd?" "Nid wyt ond ehud," ebe fe; onid yw'r cnâf fel a'i gleddyf yn ei law, a'i reibwyr o'i ol, ar hyd y byd tan ladd a llosgi, a lladrata teyrnasoedd oddiar eu hiawn berchenogion, ac a ddysgwyl gael ei addoli fel concwerwr, yn waeth na'r lleidr a gymer bwrs ar y ffordd fawr? Beth yw teiliwr a ddug ddarn o frethyn, wrth wr mawr a ddug allan o'r mynydd ddarn o blwyf? Oni haeddai hwn ei alw yn garn-leidr wrth y llall? Ni ddug hwnw ond cynhinion oddi arno ef, eithr efe a ddug oddiar y tlawd fywioliaeth ei anifail; ac wrth hyny, ei fywioliaeth yntau a'i weiniaid. Beth yw dwyn dyrned o flawd yn y felin, wrth ddwyn cant o bobeidiau i bydru, i gael gwedi hyn werthu un yn mhris pedwar? Beth yw sawdiwr lled-lwm a ddygo'th ddillad wrth ei gleddyf, wrth y cyfreithiwr a ddug dy holl ystâd oddi arnat, a chwil gwydd, heb nac iawn na rhwymedi i gael arno? A pheth yw pigwr-poced, a ddygo bum' punt, wrth gogiwr dis, a'th ysbeilia o gan' punt mewn traian nos? A pheth yw hwndliwr a'th sioma mewn rhyw hen geffyl methedig, wrth y poticari a'th dwylla o'th arian a'th hoedl hefyd, a rhyw hen physigwriaeth fethedig? Ac eto, beth yw yr holl ladron hyn wrth y pen-lladrones fawr yna, fu yn dwyn oddiar y cwbl yr holl bethau hyn a'u calonau, a'u heneidiau yn niwedd y ffair."

O'r stryd fawaidd ac annhrefnus hon ni a aethom i Stryd y Dywysoges Pleser, yn hon y gwelwn lawer o Frytaniaid, Ffrancod, Italiaid, Paganiaid, &c. Tywysoges lân iawn yr olwg oedd hon, a gwin cymysg yn y naill law, a chrwth

a thelyn yn y llall; ac yn ei thrysorfa aneïrif o bleserau a theganau i gael cwsmeriaeth pawb, a'u cadw yn ngwasanaeth ei thad. Ië, yr oedd llawer yn dianc i'r stryd fwyn hon i fwrw tristwch eu colledion a'u dyledion yn y strydoedd eraill. Stryd lawn aruthr oedd hon o bobl ieuainc yn enwedig; a'r dywysoges yn ofalus am foddio pawb, a chadw saeth i bob nod. "Os sychedig wyt, mae i ti yma dy ddewis ddiod; os ceri ganu a dawnsio, cei yma dy wala. Yma y mae tai teg, a gerddi tra hyfryd, perllanau llawnion, llwyni cysgodol cymwys i bob dirgel ymgyfarfod, i ddal adar, ac ambell i gwningen wen, afonydd gloyw tirion i'w pysgota, meusydd maith, cwmpasog, hawddgar, i erlid ceinach a chadno. Ar hyd y stryd allan, gwelit chwareuon *interlude*, siwglaeth, a phob castiau hug, pob rhyw gerdd faswedd dafod a thant, canu baledau, a phob digrifwch; a phob rhyw lendid o feibion a merched yn canu ac yn dawnsio, a llawer o Stryd Balchder yn dyfod yma i gael eu moli a'u haddoli. Yn y tai yn yr heol hon gwelem rai yn tyngu ac yn rhegu uwch ben y dabler, eraill yn siffrwd y disiau a'r cardiau. Rhai o Stryd Elw, a chanddynt ystafell yn hon, a redant yma a'u harian i'w cyfrif, ond ni arosant fawr rhag i rai o'r aneirif deganau sydd yma eu hudo i ymadael a pheth o'u harian yn ddi-log. Gwelwn eraill yn fyrddeidiau yn gwledda, a pheth o bob creadur o'u blaen; ac wedi i bob un o saig i saig folera cymaint o'r danteithion, ag a wnaethai wledd i ddyn cymedrol tros wythnos, yna bytheirio oedd y gras bwyd; yna moeswch iechyd y brenin; yna iechyd pob cydymaith da, ac felly yn mlaen, i foddi archfa y bwydydd, a gofalon hefyd; yna tybaco, yna pawb a'i stori ar ei gymydog, os gwir, os celwydd, nis gwaeth, am y byddo hi yn ddigrif, neu yn ddiweddar, neu yn sicr, os bydd hi rywbeth gwaradwyddus. O'r diwedd, rhwng ambell fytheiriad trwm, a bod pawb a'i bistol pridd yn chwythu mwg a than, ac absen i'w gymydog, a'r llawr yn fudr eisoes rhwng colli diod a phoeri, mi ofnais gallai castiau butrach na'r rhai hyn fod yn agos, a deisyfais gael symud.

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR, YN T——, AM MAWRTH 11EG.

*Athraw.*—Ar ol yr ychydig sylwadau rhagarweiniol a wnaethom y ddau Sabboth diweddaf, yn awr ni a gawn ddechreu sylwi ar y benod. Ifan Meredydd, beth wyt ti yn olygu wrth yr ymadrodd "Llyfr cenedliad Iesu Grist?"

*Ifan Meredydd.*—'Sana i yn gw'bod wir; ond fe dybygwn taw llyfr yn rhoi hanes genedigaeth Iesu Grist yw e; dyna i gyd sy' gen' i i 'weyd.

*Abram Llwyd.*—S'poso taw dyma y *title* y ma' Math'w yn roi i 'fengyl. 'Dw i ddim yn meddwl y gall hwn fod yn deitl i'r Testament i gid, ond yn unig y llyfr a 'sgyfenodd Math'w i hunan.

*Athraw.*—Gwilym, beth yw dy olygiad tithe am hyn?

*Gwilym.*—Wrth y "Llyfr cenedliad Iesu Grist," yr wyf fi yn golygu y daflen achyddol sydd yn canlyn, ac yr wyf yn meddwl fod a fyno y *title* hwn yn fwyaf neillduol a'r rhan gyntaf, o'r hyn leiaf, nid yw yn golygu ychwaneg na'r benod hon. Yr oedd hwn yn ddull cyffredin o lefaru yn mysg yr Iuddewon, fel y cawn yn Gen. 5: 1. "Dyma lyfr cenedlaethau Adda;" a thrachefn yn y chweched benod a'r nawfed adnod yr ydym yn cael ymadrodd cyffelyb.

*Athraw.*—Yr oedd yn arferiad yn mysg yr Iuddewon, fel ag y mae gyda ninau, i gadw cyfrif o'u hiilogaeth; a dichon fod y daflen hon wedi ei chymeryd o *record* deuluol Joseph. Morgan, beth sydd i'w olygu wrth y geiriau anwyl Iesu Grist?

*Morgan.*—Ystyr y gair Iesu yw Gwaredwr; ac ystyr y gair Crist yw Eneiniog—sef Gwaredwr Eneiniedig. Messiah yr Hen Oruchwyliaeth yw ein Crist ni; yr un peth y mae y ddau air yn olygu. Pan y byddai dynion dan yr Hen Oruchwyliaeth yn cael eu neillduo i swyddi pwysig, yr oedd yn arferiad i'w heneinio ag olew. Gelwir Iesu yn Eneiniog Duw, sef yn un wedi ei gysegru i gylch, neu swyddogaeth neillduol fel ag y cawn yn Ioan 3: 34. "Canys yr hwn a anfonodd Duw sydd yn llefaru

geiriau Duw, oblegid nid wrth fesur y mae Duw yn rhoddi iddo yr Ysbryd." Eneiniwyd Iesu Grist ag olew gorfoledd tuhwnt i'w gyfeillion.

*Athraw.*—Oes gan rywun air yn mhellach ar y pen hwn? Dafydd, beth wyt ti yn olygu wrth y geiriau "fab Dafydd, fab Abraham?"

*Dafydd.*—Y mae "fab" yn y ddau le yn golygu Iesu Grist. Y mae llawer o ystyr yn y Beibl i'r gair *mab*; ond ei ystyr yma yw *disgynydd.* Y mae yr Iesu yn cael ei alw yn *fab*, neu yn *ddisgynydd* o Dafydd ac o Abraham, am i'r ddau ragfynegu am dano fel un a anesid o'u llinach hwy. Yr oedd galw yr Iesu yn fab Dafydd wedi dyfod yn beth cyffredin; ac yr oedd fab Abraham yn cyfeirio at yr ymadrodd, "Yn dy hâd di y bendithir holl genedloedd y ddaear."

*Athraw.*—Ie, yr oedd yn anhebgorol angenrheidiol fod Iesu yn ddisgynydd o linach Dafydd; oblegid yr oedd yr Iuddewon yn ddieithriad yn dysgwyl i'r Iesu gael ei eni o dy a thylwyth Dafydd. Byddai yn anmhosibl cael gan yr Iuddewon gredu mai Crist oedd y Messiah, oddieithr iddynt gael eu llwyr argyhoeddi, ei fod yn dyfod o linach Dafydd. Dichon y byddai yn gystal i ni basio y daflen achyddol a dechreu gyda y 18fed adnod. Owen, beth yw dy farn di am y gair "dyweddio," sydd yn yr adnod yma?

*Owen.*—Wel, mae yn dybygol fod Joseph a Mair wedi bod yn cyfeillachu yn garwriaethol, yn ol arfer ieuenctyd; ac ar ol dilyn eu gilydd am gryn amser, dichon am rai blynyddoedd, nes dyfod yn lled hoff o'u gilydd, yna y maent yn tyngu llw o ffyddlondeb y naill i'r llall, ac yn penodi ar ryw amser y buasent yn ymuno mewn glân briodas.

*Gwilym.*—Nid fel yna yn hollol, Owen. Yr wyf yn meddwl fod gan y rhieni ran lled flaenllaw gyda y *dyweddio* yma; hwy oedd yn gwneyd yr *agreement;* ond trwy ddewisiad y mab a chydsyniad y ferch.

*Ifan Meredydd.*—Wir, Gwilym, os ma' fel yna oedd hi, ma' petha' wedi newid yn fawr oddiar hyny. Ma' n'w wedi myn'd i briodi heb ofyn cenad eu rhieni yn awr; ac yn wir, ma' n'w yn priodi heb w'bod i neb. Ma' plant wedi myn'd mor hunanol ichi'n gwel'd yn ein dyddie ni, fel ma' nhw'n credu bod nhw'n gallach na phawb.

*Athraw.*—Wel, dichon fod gormod o wirionedd yn y peth wyt ti, Ifan, yn ddyweyd; ond nid felly yr oedd hi yn mysg yr Iuddewon. Rhai da am drefn a rheolau oedd yr Iuddewon, yr oeddynt yn dysgu i'w plant ufuddhau, ac yn dysgu iddynt barchu eu rhieni. Beth wyt ti, Abraham Llwyd, yn feddwl wrth yr ymadrodd, "Hi a gafwyd yn feichiog o'r Ysbryd Glân?"

*Abraham Llwyd.*—Ma'r geirie hyn yn lled ddelicat i fi i 'weyd dim arni n'w; ond s'poso taw yn llawn o'r Ysbryd Glân sy' i 'lygu, sef yn un ag oedd wedi cael ei ffafr'o a mwy na neb arall, o gymaint a'i bod i gael bod yn fam i'r Arglwydd Iesu.

*Athraw.*—Morgan, beth yw dy feddwl dithau am hyn?

*Morgan.*—Wel, un wedi beichiogi o'r Ysbryd Glân. Yr oedd y cenedliad hwn yn wyrthiol; a thrwy gael ei genedlu fel hyn yn wyrthiol, byddai yr hyn a enid o honi yn beth sanctaidd. Mae yn debyg mai pechod Adda yn unig yw y pechod sydd yn dyfod i lawr trwy yr hil ddynol. Yn Adda y mae pawb yn meirw. Nid ydym yn cael fod pechod y wraig, sef Efa, yn bechod trosglwyddol, neu etifeddiaethol. Pechod Adda yn unig yw y pechod etifeddiaethol (*hereditary*); a thrwy fod Iesu wedi ei genedlu o'r Ysbryd Glân, nid oedd yn cyfranogi o'r pechod etifeddiaethol hwn.

*Dafydd.*—Nid wyf yn meddwl mai am y rheswm yna yr oedd yr Iesu yn ddibechod, ond y gelwid ef "y peth sanctaidd," ar gyfrif cysylltiad uniongyrchol yr Ysbryd Glân â'i genedliad, fel ag y dywed Luc 1: 35, "Yr Ysbryd Glân a ddaw arnat ti, a nerth y Goruchaf a'th gysgoda di; am hyny hefyd, y peth sanctaidd a enir o honot ti, a elwir yn Fab Duw." Trwy ei fod fel hyn wedi ei eni o'r forwyn, yr oedd yn asgwrn o'n hasgwrn ni; ac yr oedd ei genedliad gwyrthiol o'r Ysbryd Glân

yn sicrwydd o'i burdeb a'i sancteidd-rwydd.

*Athraw.*—Gan fod y gloch yn canu, gadawn hi yn y fan hon am heddyw.

# Barddoniaeth.

### CWYMP AC ADFERIAD DYN.

Ar y chweched dydd o'r cread
  Crewyd dyn ar ddelw Duw,
Perffaith, sanctaidd a dibechod,
  Llywydd oedd ar bob peth byw;
Methu wnaeth y dyn er hyny
  Ufuddhau i ddeddfau Duw,
Mewn urddasedd nid arhosodd,
  Cwympodd, syrthiodd pawb o'r rhyw.

Clod i Dduw am iddo addaw
  Trefnu ffordd trwy Hâd y wraig,
Daeth mewn pryd i'r byd i gadw,
  Torodd dyn gadwynau'r ddraig;
Ffordd at Dduw agorwyd drwyddo,
  Dyn ddaeth eto at ei Dduw,
Dyled dyn yw talu iddo
  Barch tra yn y byd yn byw.

Colyn angau Iesu dynodd,
  Buddugoliaeth ddaeth i ni,
Aeth i'r nefoedd pan esgynodd,
  Brenin yw, a'n Brawd mewn bri;
Gan fod Iesu wedi codi,
  Codir pawb a'i carant ef,
Cawn ei garu a'i glodfori
  Ar ol cyrhaedd nef y nef.

*Mineral Ridge, O.* JAMES REES.

### Y BEIBL A GEFAIS YN RHODD.

Tra'r oeddwn yn blentyn yn Nghymru,
  'Nol clodwiw arferiad ein gwlad,
Mynychais yr Ysgol Sabbothol,
  Trwy ofal anwyl-fam a thad;
Anogwyd fi 'ddysgu penodau
  A Salmau i'w hadrodd ar g'o'dd,
Ac yno gan f'anwyl athrawon,
  Y Beibl a gefais yn rhodd.

Yn egwan fy agwedd i'w fwn-glawdd,
  Er hyny mor anhawdd i'r gwan,
I gloddio ei ddwyfol feddyliau,
  A'i ddeall yn rhwydd yn mhob rhan;
Trwy fendith ac ymdrech athrawon,
  Y gair fel y moddion a'm trodd;
Canfyddais brydferthwch yr Iesu
  Trwy'r Beibl a gefais yn rhodd.

Mae henaint yn dyfod mae'n amlwg,
  A phallu wna'r golwg cyn hir,
Am hyny rhaid ceisio'n gyfaddas
  Gael Beibl mwy bras a mwy clir;
Am ugain a deg o flynyddau
  Fy Meibl oedd i'm wrth fy modd,
Ond bellach prin gallaf ei ddarllen,
  Y Beibl a gefais yn rhodd.

Fe erys Gair Duw yn dragywydd,
  Er syrth ei ddarllenydd i'r llawr,
Bydd am oes y byd a dynolryw
  Mor nerthol ag ydyw yn awr;
I'r maith drag'wyddoldeb o'u llafur,
  Hen ffyddlon athrawon a ffodd,
Ond erys er coffa am danynt,
  Y Beibl a gefais yn rhodd.

Trwy'r Beibl a'r Ysbryd sancteiddiol,
  O gwneler fi'n addas a phur,
Fry gwelaf rai gynt fu'n fy nysgu,
  Yn iach ac yn canu heb gur;
A minau hyderaf gael myned
  I'r wlad lle mae pawb wrth eu bodd,
Ond geiriau oroesant y ddaear,
  Yw'r Beibl a gefais yn rhodd.

*Coal Valley.* DAFYDD MORGAN.

### MAWL-GERDD,

I'R MEDDYG B. H. DAVIES, YSW., ASHTON, PA.

Arferiad boreuol yw canu mawliadau
  I ddynion rhinweddol gwir hoffus a glân,
Cenir mawl-gerddi i ddynion yn ddiau
  Nad ydynt yn deilwng o'r awen na chân;
Ond wele foneddwr sy'n llawn o dynerwch,
  A berffaith deilynga athrylith y bardd,
Ein Davies gorenwog, i'r awen hyfrydwch
  Yw canu ei glodydd, mae'n wrthddrych tra hardd.

Bendith dra gwerthfawr i'w ardal odidog,
  Oedd cael y fath feddyg urddasol i'r lle,
Cefnogwn y Cymro yn helaeth a serchog,
  Ei lafur a fyddo dan fendith y ne';
Mae calon haelionus yn curo'n ei fynwes,
  Dan deimlad rhwymedig at lesiant pob dyn,
Cydnebydd bob amser yn fwynaidd a thyner,
  Fod Duw yn bendithio rhinweddau pob un.

Mae'n perthyn i'r meddyg elfenau gwir fawr-edd,
  Ei farn sydd yn graffus, a phuraidd ei chwaeth,
Y pur a'r aruchel sy'n cael ei edmygedd,
  I noddi gwir rinwedd'n arbenig y daeth;
Pan wela y claf ar wely cystuddiol,
  Dyngarwch, ffyddlondeb, yn dirion a rydd;
Ei ymdrech diflino fydd ato'n wastadol,
  Rhydd ffrydiau o gysur y nos fel y dydd.

Rhianod a meibion talentog y dyffryn,
  Fwynhaent ei bur wenau gan wir lawenhau,
Y dewr feddyg Davies fo i ni'n amddiffyn,
  Anwylir ei enw am oes i barhau;
I'r cywir foneddwr yn gynes dymunwn
  Am iddo a'i gydmar gan Dduw gael hir oes,
A'r nef a'i bendithion i'w rhan ni ddymunwn,
  Ei gamrau edmygwn, mae'n ddichlyn ei foes.

NATHAN.

### SUAD AWEL Y GWANWYN.

Mae'r gwynt ystormus wedi ffoi,
  Aeth heibio'r gauaf du,
A'r awel dyner yn deffroi
  Holl gerddi'r gwanwyn cu;
Ei suad swynol yn y llwyn
  Adfywia fryn a dôl,
Wrth glywed sain ei thelyn fwyn,
  Daw cor y wîg yn ôl.

Mae'r goedwig fu yn llwm a noeth,
  Mewn gwisgoedd gwyrdd di-ail,
Chwareua'r awel falmaidd goeth
  Delynau mwyn y dail;
Telora'r dyner ëos fach
  Ei pher alawon mwyn,
Wrth yfed yr awelon iach,
  A suant trwy y llwyn.

Mae'r helyg gleision gyda glan
  Yr afon fwyn ei su,
O dan ei bysedd tyner cân,
  Yn danau ar bob tu;
Gan wyro i lawr eu penau aur
  I fynwes loew y lli,
Hwy olchant eu hadenydd claer
  Yn mrig ei thonau hi.

Mae'r lili dlos, yn plygu ei phen
  At rudd y rhosyn brith,
Dan fysedd cân, yr awel fwyn,
  A deigryn gloew o wlith;
Ei suad yn eu clustiau sydd
  Yn falm iachusol rîn,
A'u cusan hwy, yn ol a fydd,
  Yn felus fel y gwîn.

Ysgydwa'n fwyn y gwenith gwyn,
  A blodau'r gerddi pêr,
Cusana donau llyfn y llyn
  Dan wenau mwyn y sêr;
Ac ocheneidia yn yr yw,
  Tan leni prudd y nos,
Ei lleddf alargerdd, pruddaidd yw,
  Uwch bedd fy ngeneth dlos.

Mae suad mwyn yr awel iach,
  A gwenau'r gwanwyn gwyrdd,
A cherddi pêr yr adar bach,
  Mewn llwyni deiliog fyrdd;
Yn wers i ddyn os dysgu wna—
  I wneyd y nef ei nod,
'Does yno ond trag'wyddol ha',
  Dim gauaf du yn d'od.

*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

### ENGLYN ANERCHIADOL

I'R PARCH. JOHN JONES (MATHETES).

Mathetes, ymwthio atoch,—am ddysg
  Wyf, o'ch gem ddawn, wyddoch;
Er nych nâg, man bynag b'och,
Trwy Iesu bydd Duw trosoch.

*Hyde Park, Pa.* DAFYDD DYFED.

### TEIMLAD A GOBAITH Y CRISTION.

[MESUR HIR.]

Pechadur wyf, a gwael yw'm llun,
  Ar lyfrau'r ddeddf, a Duw ei hun;
I'm dieuogi modd nid oes,
  Trwy rinwedd dim, ond Gwaed y Groes.

Mae Aberth Iawnol Calfari,
  Tros wael bechadur fel myfi,
Yn sicrwydd iachawdwriaeth lawn,
  I bawb a bwyso ar yr Iawn.

Rho'f ddiolch byth fod modd ar gael,
  I faddeu i droseddwr gwael;
A'r ddeddf a'r Duwdod wrth eu bodd,
  Pan gais pechadur Grist yn rhodd.

Fath werthfawr rodd, fath hyfryd flas,
  I'm henaid yw maddeuol ras:
A'r Ysbryd Glan yn nerthu'm ffydd,
  Gan roddi nerth yn ol y dydd.

Na lwfrhâ, O fy enaid gwan,
  Tra Iesu'n eiriol ar dy ran,
Ond cwyd dy ben, rho fawl ar gân,
  I'r Tad a'r Mab, a'r Ysbryd Glân.

Ymguddio wyf yn nghlwyfau'r Oen,
  Rhag pob trueni, gwarth, a phoen;
A thrwy ei Iawn caf fod cyn hir,
  Yn un o'r dorf yn Nghanaan dir.

*Hyde Park, Pa.* DAFYDD DYFED.

### GWEDDI'R FFYDD.

[MESUR HIR.]

Mae Iesu Grist yn awr i ni
  Yn Gynrychiolydd yn y nef;
Ar sail ei Iawn ar Galfari,
  Gwrandewir ein wylofus lef.

Rhyw nerthol waith wna gweddi'r ffydd,
  Cwyd ar ei draed garcharor gwan;
A'r holl gadwynau ddryllia'n rhydd,
  O gylch ei enaid yn y man.

Gan hyny awn at orsedd gras,
  A cheisiwn trwyddo bethau mawr,
A buan cawn ni hwyl a blas,
  A'r fendith fywiol lithra'i lawr.

*Hyde Park, Pa.* DAFYDD DYFED.

### YR AREITHFA.

Wrthyf o hyd o'r areithfa hon,—mae gair
  Am y gwaed yn brydlon;
Iôr a'i ddoniau ar ddynion,
A'i lais yw'r genadwri lon.

JAMES R. PRICE.

**Y BRADYCHIAD.**

Briw diachos, bradychu,—i galon
Y gwylaidd gâr Iesu;
Yn wir fwyn a thyner fu,
At eraill mewn tosturi.

Pwy wnaeth hyn, ai dyn adwaenai,—un gynt
Oedd yn gâr fel tystiai?
Hwn o'i fodd fu'n dwyn ei fai,
Ar y Dwyfol Wr difai.

JAMES R. PRICE.

## HANESION CARTREFOL.

BRAIDWODD, ILL.—*Mr. Gol.:* Mae eglwys y Bedyddwyr yn y lle uchod mewn undeb a'u gilydd, ac yn caru eu gilydd fel brodyr yn y berthynas oreu. Mae golwg lewyrchus arnom fel enwad yn y fan hon; mae gras a thrugaredd Pen Mawr yr Eglwys tuag atom yn fawr. Mae yn dda genyf eich hysbysu fod y brawd galluog Edward Anwyl Williams, gynt o Shenandoah, Pa., wedi dod i'n plith, ac y mae yn bregethwr da iawn, gwell na fu yma o'r blaen, ac y mae yr eglwys yn cynyddu o dan ei weinidogaeth ef, ac y mae swn tyrfa yn dod eto. Y mae wedi cael galwad genym i ddod i'n plith i weinidogaethu, a gobeithiwn y bydd yn fendith fawr yn ein plith o dan ddylanwad y Dyddanydd arall. Mae yma ddigon o le iddo ef i weithio. Mae yma lawer o Gymru; ac y mae yma gapel gan y Bedyddwyr yn y lle hwn, ac wedi talu am dano bob *cent*. Gwawrio wnelo'r boreu pan y bydd holl deyrnasoedd y byd wedi dyfod yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef, a phob un o honynt yn Fedyddwyr i'r carn. Amen. Hyn yw dymuniad, AELOD.

ORDEINIAD YN BROOKFIELD, OHIO.—Y mae eglwys Fedyddiedig y lle hwn yn amddifad o weinidogaeth gyson, er ymadawiad y doniol a'r athrylithgar Wm. M. Evans; eto, yr ydym wedi cael gwasanaeth gweinidogion y cylchoedd o dro i dro. O'r diwedd arweiniodd rhagluniaeth Duw y brawd parchus David B. Davies i'n mysg, ac y mae yn awr ac eilwaith wedi bod yn pregethu yma. Yn ddiweddar, rhoddodd yr eglwys alwad unfrydol iddo. Ionawr 15fed daeth dydd yr urddiad; gweinyddwyd gan y Parchn. John W. Jones, Mineral Ridge; Charles Jones, M. A.; a Mr. Mathews, Coalburgh. Cafwyd cynulliadau lluosog am ddau a chwech, ac effeithiau da yn dilyn. Cydnabyddwn yn ddiolchgar Mr. Wm. Meredith a'i briod hawddgar, am eu caredigrwydd ar yr achlysur. Y mae yn hyfrydwch genym hysbysu fod yr eglwys hon mewn cyflwr pur ddymunol. Gwir fod elfenau rhagluniaeth yn gwasgu, ond y mae elfenau gras yn gwenu. Ar yr 11eg o Mawrth, bedyddiwyd un ar broffes o'i ffydd gan y Parch. David B. Davies, am y tro cyntaf; cymerodd y brawd anwyl Mathews, Coalburgh, ran yn y gwasanaeth, siaradodd ar y pwnc yn ysgrythyrol. DEWI O RHYMNI.

PITTSBURGH, PA.—Y mae yr achos Bedyddiedig Cymreig yma yn llewyrchus dros ben; y cynulleidfaoedd a'r Ysgol Sabbothol yn lluosog a bywydus. Ar y 18fed o'r mis diweddaf, derbyniwyd 11 o aelodau newyddion, yn gwneyd i fyny 123 i'r Parch. H. Gwerfyl James eu derbyn er pan y mae yma, 29 o honynt trwy fedydd. Y mae 15 eto o flaen yr eglwys. Y mae amryw o Gymry blaenaf a mwyaf dylanwadol y ddinas yn aelodau yma. Da genym eich hysbysu, Mr. Gol., fod yr eglwys hon, a'r cyfeillion Bedyddiedig yn Pittsburgh, yn teimlo dyddordeb mawr yn llwyddiant y WAWR. Bwriedir ysgrifenu hanes yr eglwys yn fuan, a bydd pob teulu yn yr eglwys yn ymofyn y rhifyn hwnw. Penododd yr eglwys ar y brawd William Griffith, Ysw. (Diacon), i'w dosbarthu y flwyddyn hon, yn lle y brawd ffyddlon Henry W. Jones, yr hwn sydd yn teimlo yn rhy analluog i wneyd ei ddymuniad ar ei rhan, oblegid henaint a llesgedd. Felly, chwi welwch na fydd eglwys Chatham St., ddim ar ol i neb mewn pleidio cyhoeddiad yr enwad. BRAWD.

### *BEDYDDIADAU.*

HAMETOWN, O.—Sul, Mawrth 19eg, cawsom y fraint o weled un yn ufuddhau i'r ordinhad o fedydd yn ol y dull apostolaidd. Er fod yr hin yn oer a'r

tywydd dipyn yn annymunol, eto ymgasglodd cryn dorf i lan y dwfr er cael gweled yr ordinhad yn cael ei gweinyddu. Bu y bedyddiedig yn aelod gyda'r Annibynwyr am rai blynyddau, ond yn ddiweddar llwyr argyhoeddwyd hi ar y pwnc o fedydd, gyda golwg ar ei ddull a'i ddeiliaid; ac ar broffes o'i ffydd bedyddiwyd hi gan ein gweinidog, y Parch. Iago W. James. Da genym ddweyd fod yr eglwys yn cynyddu yn gyflym o dan ei weinidogaeth.—*J. W. James.*

Plymouth, Pa.—Mawrth 18, 1877, bedyddiwyd 12, ac adferwyd 7, a derbyniwyd un drwy lythyr—ychwanegiad o 20—yn gwneyd ein cynydd mewn rhifedi yn ystod y tri mis diweddaf yn 31, ac arwyddion fod y presenoldeb dwyfol yn aros yn ein plith—undeb a chydweithrediad yn ffynu o fewn pyrth Seion, a'n gweddi yw, "O, Haul, aros."—*E. Jenkins.*

*Mahanoy City, Pa.*—Da genyf allu eich hysbysu fod yr achos da yn llwyddo yn ein plith. Cawsom yr hyfrydwch, Sabboth y 18fed, o gladdu naw o bersonau trwy fedydd, ar eu proffes o'u ffydd yn Mab Duw; a derbyn yn ol amryw wrthgilwyr. Y mae rhagor eto yn aros am yr un fraint.

W. D. Thomas.

---

## *GANWYD—*

Chwef. 12, yn Minersville, Pa., mab i Mr. Thomas ac Ann Watkins. Gelwir ei enw ef Thomas Watkins.

Mawrth 10, 1877, yn Frostburg, Md., mab i Thomas a Sarah Gatehouse. Gelwir ei enw ef William Hayes Gatehouse.
*Frostburg, Md.* Wm. P. Thomas.

Mawrth 15, 1877, yn Upper Lehigh, Pa., mab i John a Mary T. James. Gelwir ei enw ef John.

Agorodd John ei lygaid
Fel rhosyn yn yr haf,
Yn faban hardd ryfeddol,
Ar aelwyd ty ei dad;
Hir oes gânt gyda'u gilydd,
I'w fagu ef i'r lan,
Fel byddo'n fab rhinweddol
I'w anwyl dad a'i fam.

D. Llewelyn.

## *PRIODWYD—*

Chwef. 16, 1877, yn ei dy ei hun, gan y Parch. David J. Evans, Mr. Joseph F. Potter, a Miss Rachel Thomas, y ddau o Johnstown, Pa.

Mawrth 5, 1877, yn Dodgeville, Wis., yn ei dy ei hun, gan y Parch. T. Holland, Mr. Isaac Jenkins, Mineral Point, a Margaret Rees, Ridgeway.

Mawrth 21, 1877, yn Springwater, Waushara Co., Wis., gan weinidog y lle, yn nhy rhieni y briodasferch, Mr. John Evans, Aurora, a Miss Sarah Ellen Evans.

---

## *BU FARW—*

Chwef. 15, yn Minersville, Pa., o'r *diptheria*, yn dair blwydd a dau fis oed, Mary E. Evans. Claddwyd hi yn mynwent y Bedyddwyr, ar y 18fed. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. J. R. Jones.

Rhag. 15, 1876, yn Youngstown, Ohio, Mrs. Frances Jenkins, priod William Jenkins, o'r darfodedigaeth, yn 33 mlwydd oed. Bu yn nychu yn hir, ond o'r diwedd cyrhaeddodd angau ei nod. Yr oedd ein chwaer yn enedigol o Parisville, Ohio—merch i Mr. John Rees a'i briod. Ymunodd â chrefydd oddeutu 19 mlynedd yn ol, pryd y bedyddiwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw gan D. Probert. Ymaelododd yn eglwys Fedyddiedig Parisville, a bu byw yno ac yn Youngstown yn deilwng o Gristion didwyll, gan fod yn ogoniant i enw y Gwaredwr. Dywedai yn ei horiau olaf nad oedd arni ofn marw, am fod y niwed wedi cael ei dynu o hono. Bu farw fel y bu fyw, a phwys ei henaid ar Grist, gan adael priod ac un plentyn bychan, yn nghyd a brodyr a chwiorydd, mewn galar. Rhagfyr 18fed daeth llawer iawn o Gymry yn nghyd er cludo ei gweddillion marwol i fynwent Brier Hill, pryd y gweinyddwyd gan Probert a Nicholas. Yr Arglwydd a fyddo yn dirion o'i phriod galarus a'r un fach amddifad.

David Probert.

Ion. 23, 1877, yn Minersville, Pa., Mrs. Mary Hopkins, anwyl briod George Hopkins, yn 35 mlwydd oed. Dyoddefodd yr ymadawedig dri mis o gystudd caled, ac yn y cyfamser rhoddodd enedigaeth i ferch fechan, yr hon sydd eto yn fyw. Wedi hyn coleddid hyder cryf am ei hadferiad; ond yn hyn fe'n siomwyd. Gadawodd briod a chwech o blant, yn nghyd a lluaws o berthynasau (yn enwedig ei mam oedranus) i alaru ar ei hol. Treuliodd yr ymadawedig y rhan helaethaf o'i hoes yn y lle hwn; ac yr oedd yn aelod selog a pharchus o'r eglwys Fedyddiedig yma er pan yn lled ieuanc. Bu yn briod ofalus, yn fam dyner, ac yn gymydoges heddychlawn a chariadus. Dyoddefodd ei chystudd blin yn hynod amyneddgar, er yr

ymawyddai am adferiad er ymgeleddu ei theulu. Cymerodd yr angladd le ar y 25ain, pryd y daeth tyrfa luosog yn nghyd. Gweinyddwyd yn y capel gan y Parchn. R. Edwards ac A. Myers, Pottsville, a J. R. Jones, gweinidog yr eglwys y perthynai iddi. Claddwyd hi yn mynwent y Bedyddwyr, a thraddododd J. R. Jones bregeth angladdol ar ei hol y nos Sul ganlynol. J. R. JONES.

Chwefror 21ain, 1877, yn Nanticoke, Pa., yn ei 57 mlwydd oed, wedi hir ddihoeni, mewn cystudd trwm am bedwar mis, o'r anhwylddeb afuol, Mr. Evan T. Williams. Ymadawodd â'r fuchedd hon gan ymddiried yn Nghrist Ceidwad pechadur, ac mewn gobaith o adgyfodiad gwell. Brodor oedd Mr. Williams o swydd Ceredigion; ganwyd a magwyd ef yn Llanbadarn Fawr. Cafodd ei ddwyn i fyny yn ddilledydd, a dysgodd y gelfyddyd yn dda; bu yn dilyn ei alwedigaeth yn Aberystwyth am gryn amser, ac yno yr ymunodd mewn priodas âg Elizabeth Jones (ei weddw yn bresenol). Yr oedd hi yn enedigol o Aberystwyth. Yn y fl. 1852 symudasant i Abersychan, sir Fynwy, ac oddi yno i Casnewydd (Newport), ac yn ol drachefn i Abersychan. Masnachwr oedd Mr. W. yn y lleoedd hyn, ac yn gwneyd yn dda mewn ystyr dymorol; casglodd lawer o arian; a'i gymeriad yn ddysglaer fel dyn diwyd a gonest. Bedyddiwyd ef ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw yn Sirhowy, tua 38 mlynedd yn ol, a bu yn selog a gweithgar fel crefyddwr yn Eglwys Crist, yn enwedig yn y "Noddfa," &c. Daeth ef a'i deulu trosodd i'r wlad hon er ys tuag wyth mlynedd yn ol, a sefydlasant yn Taylorville; ac oddi yno daeth y teulu i Nanticoke. Ymunodd â'r eglwys gan ddangos ei fod yn filwr dan faner Iesu. Testyn llawenydd iddo oedd gweled tri o'i feibion yn arddel Crist, ac yn cael derbyniad i'r eglwys yn Nanticoke; ond er ei lawenydd, daeth tristwch i'w gyfarfod yn marwolaeth disyfyd ei anwyl William yn y gwaith glo; aeth y saeth i'w galon; cwmwl du oedd hwn yn mhrydnawn ei ddydd, a gadawodd effaith difrifddwys ar ei feddwl. Clywai y llais dwyfol yn y tro yn dywedyd, "Nid fy meddyliau i yw eich meddyliau chwi." Do, cafodd lawer iawn o golledion arianol, a siomedigaethau yn nhaith bywyd; ond y mae heddyw wedi dianc o afael pob ystorm—hunodd mewn tangnefedd, gan adael gweddw a phump o blant mewn galar a hiraeth mawr ar ei ol. Gadawodd dystiolaeth dda ar ei ol, fod Iesu Grist yn Geidwad holl-ddigonol ar ei gyfer, ac yn alluog i achub hyd yr eithaf. Ymhyfrydai ar ei glaf wely yn nghyfarfodydd gweddi yr eglwys; yr oedd swn gweddi y frawdoliaeth yn gysur mawr iddo. Ond bu Evan Williams farw, a chladdwyd ef yn anrhydeddus ar bwys ei anwyl William, yn y Green Cemetry, y brawd J. P. Harris yn gweinyddu. Yr Arglwydd a f'o yn dyner wrth y weddw hiraethlawn, y plant a'r perthynasau oll. Amen. BRAWD YN Y FFYDD.

Chwef. 8, 1877, yn Braceville, Ill., Mrs. Margaret Williams, priod John O. Williams, yn 49 mlwydd oed. Ganwyd Mrs. W. yn Nantyglo, D. C. Yn 1847, unwyd hi mewn glân briodas a John O. Williams, mab Thomas Williams (*boss*) Pwll y Quick. Ymunodd a'r Annibynwyr yn Ebenezer, Sirhowy, D. C, dan weinidogaeth Noah Stephens, yn y flwyddyn 1849. Symudasant i America yn 1854. a sefydlasant yn Danville, Pa. Buont yn Nhalaeth Pennsylvania dair blynedd a chwe' mis; yna symudasant i Pomeroy yn 1857, ac oddiyno i Illinois yn 1864, ac ymsefydlasant yn y lle hwn (Braceville) yn 1865. Ebrill y 20, 1867, trochwyd hi ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. William Evans, a bu yn ffyddlon i'w phroffes hyd ddiwedd ei hoes; a phe buasai yn aros dau fis yn hwy, buasai ddeng mlynedd gyda'r Bedyddwyr. Yr oedd y ffyddloniaid yn Nghrist yn anwyl ganddi. Yr oedd yn un o egwyddor ddidwyll, tymer hawddgar a siriol, a chanddi fawr sêl dros y gwirionedd, ac iddi air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun. Collodd Seion un o'i cholofnau cadarnaf yn y lle pan symudwyd ein chwaer oddiwrth ei gwaith at ei gwobr; yr oedd yn anrhydedd i'r enwad a'i phroffes. Treuliodd ei hoes nid mewn gwneyd llawer, na gwneyd mwy nag eraill, ond mewn gwneyd yr hyn a allasai. Gwiriwyd yr ymadroddion canlynol yn ein chwaer hoff: "Hyn a allodd hon hi a'i gwnaeth." "Coffawdwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." Gweinyddwyd ar yr amgylchiad gan Jacob Davies, Thos. Pierce, ac Edward Williams, yr hwn a bregethodd ar y geiriau, "Os ein daearol dy," &c. Yna, aethpwyd tua'r fynwent, i osod y rhan ddaearol o honi yn y "ty rhagderfynedig i bob dyn byw." Daearwyd ei gweddillion marwol ar y 10fed. Gadawodd amryw o blant gyda'u tad (yr hwn sydd yn pregethu yn achlysurol yn y lle, gyda'r Bedyddwyr) i alaru ar ei hol. Teimla ein brawd yn alarus iawn ar ei hol, oblegid lle "byddaf fi y byddech di," ydoedd ganddynt bob amser; ond cwlwm y cysylltiad a dorwyd gan angau, a hwythau a wahanwyd, ac yntau a'i anwyl blant a adawyd yn unig i alaru a chwyno o herwydd ei cholli. Heddwch i'w llwch hyd foreu ail ffurfiad yr adgyfodiad,

> "Pan fydd dorau beddau y byd,
> Ar un gair yn agoryd."

A chwythed awel y dydd yn dyner dros ei gorweddfan. BRAWD.

Ion. 29, 1877, yn Dennison, New Sherman, Summit Co., Ohio, Ann Jones, yn 71 mlwydd oed. Ganwyd hi yn Gwm Dews, ger Crymlyn, swydd Fynwy, D. C., yn y fl. 1805. Merch ydoedd i Mr. John a Mrs. Ann Morgans, y rhai a fu yn byw am flynyddau wedi hyny yn Crymlyn. Yn y fl. 1832, pan yn 27 oed, ymunodd mewn glân briodas a Mr. Evan Jones, brodor o Grymlyn. Bu iddynt naw o blant, pump o ba rai sydd yn awr yn fyw, ac yn y

wlad hon, sef dau fab a thair merch. Y mae y meibion yn byw yn Straitsville, swydd Perry, Ohio, a'u henwau yw John a Dafydd Jones. Y mae y merched yn byw yn mhell oddiwrth eu gilydd—un yn McKean Co., Pa.; ei henw hi a'i phiod yw John R. ac Ann Evans. Merch arall sydd yn byw yn rhyw le yn Iowa; ei henw hi a'i phriod yw Richard a Mary Richards; a'r drydedd yn byw yma, gyda yr hon yr oedd ein chwaer ymadawedig yn aros. Bedyddiwyd hi yn yr Argoed, swydd Fynwy, gan y Parch. Mr. Evans, yn y flwyddyn 1842; bu felly yn grefyddol am 34 o flynyddau, a chadwodd ei phroffes yn ddysglaer hyd ei bedd; ac fel yr oedd blynyddoedd yn pasio, yr oedd bywyd ein chwaer yn dysgleirio yn fwy fwy. Yn y flwyddyn 1854, symudasant o Grymlyn i Gwm Rhondda, Morganwg, yn yr hwn le y buont yn byw am flynyddau. Ond yn mis Hydref, 1870, daeth gelyn dynoliaeth i'w ty, a chipiodd ei hanwyl briod oddiwrthi, nes ei gadael yn unig, a'i hamddifadu o briod hawddgar a thad tirion. Ond yn mhen ychydig amser, anfonodd ei merch a'i mab yn-nghyfraith, sef John R. a Jane Thomas, y rhai oedd yn byw y pryd hyny yn Pomeroy, Perry Co., Ohio, *pass* i'w chael hi atynt hwy i'r wlad hon; ac yn Ionawr, 1871, cychwynodd tua'r wlad hon, a chyrhaeddodd yn ddiogel i Pomeroy ar y 3ydd o Chwefror. Buont yn byw wedi hyny yn Straitsville, Perry Co., Ohio; wedi hyny yn Massillon, Ohio; ac yn y *Fall* diweddaf, daethant i'r lle hwn, lle y terfynodd ymdaith ddaearol un o ffyddloniaid Seion am flynyddoedd lawer. Bu farw a'i phwys ar yr hwn oedd wedi ei chynal a'i chadw am hir flynyddoedd. Ei geiriau olaf oedd, "Nad oedd neb a allasai ymddiried ei gofal iddo ond ei hanwyl Iesu." Canodd lawer ar yr hen benillion canlynol:

"Yn y dyfroedd mawr a'r tonau," &c.,

ac hefyd,

"Dros y bryniau tywyll niwliog," &c.

Dydd Mawrth, Ion. 30ain, hebryngwyd ei gweddillion i dy ei hir gartref. Yr oedd yn angladd mawr iawn. Claddwyd hi yn mynwent yr *High Church;* a gweinyddwyd gan y Parch. Iago W. James, Hametown. Pregethodd yn Saesneg, oddiar Thes. 4: 13, 14.

Felly'n chwaer Ann Jones a groesodd
  Geulan byd, ac aeth i'r bedd;
A chôl drysor grasol Iesu,
  Gyda hi i wlad yr hedd.

Heddwch i'w llwch, medd

WILLIAM J. DAVIES.

Dymuner ar bapyrau Cymru godi yr uchod, neu ran o hono, er mwyn perthynasau a chyfeillion. W. J. D.

Medi 24, 1876, yn Danville, Pa., yn 37 ml. 2 fis a 26 diwrnod oed, Thomas E. Evans, mab Eleazer a Mary Evans, Morris Run, (Danville gynt). Daeth y teulu uchod i'r wlad hon 34 mlynedd yn ol, o Nantyglo, D. C. Cafodd y teulu brofedigaeth chwerw ryw saith neu wyth mlynedd yn ol, trwy i'w mab Watkin gyfarfod a'i angau yn dra sydyn yn y lle hwn (Danville). Y tro hwn eto, y maent wedi eu clwyfo i waelod calon, trwy golli eu mab Thomas, eu cyntaf-anedig; ond gallant gymeryd cysur, yn yr ymwybyddiaeth fod marw wedi bod yn elw tragywyddol i'w hanwyl fab. Gobeithiwn y bydd i'r teulu yn gyffredinol ei efelychu, trwy fyw bywyd crefyddol. Da genym fod rhai o honynt wedi gwneyd proffes o Grist; a'n gweddi ydyw, am iddynt barhau fel Thomas, yn ffyddlon hyd y diwedd. Yr oedd ein brawd ymadawedig wedi treulio y rhan fwyaf o'i fywyd yn y lle hwn. Mwnwr oedd with ei alwedigaeth; gweithiai yn galed a diwyd i gadw ei deulu, sef gwraig a chwech o blant. Ni fu erioed ei ragorach i ofalu am ei deulu, yn ol awgrymiad yr Apostol. Yr hyn oedd yn ei flino oedd *hemorrhage* ar y *lungs*, er ys rhyw dair blynedd yn ol. Y mae yr ysgrifenydd yn cofio iddo daflu gwaed i fyny gyntaf yn y gwaith, ac ymataliodd rhag gweithio am dymor y pryd hwnw; aeth i weithio drachefn, ond nid hir y bu cyn iddo dori i waedu wed'yn; ac felly y parhaodd am ryw dair blynedd, nes o'r diwedd, gorfu iddo roddi fyny'r gwaith yn gyfangwbl ryw dri mis cyn ei farwolaeth. Diau fod y Gol. yn cofio am dano yn myned yn ein cwmni o'r lle hwn i Wilkesbarre, i'r Gymanfa yn Awst diweddaf, y pryd hwnw yr oedd yn alluog i gerdded heb gynorthwy. Dyoddefodd ei gystudd yn hynod o dawel, er nad oedd yn credu llai na fuasai yn cael adferiad buan wedi rhoddi fyny gweithio; ond er pob ymgais o eiddo y meddygon a'u cyfferi, yr oedd pob arwyddion fod ein brawd anwyl yn suddo yn gyflym yr wythnos ddiweddaf o'i fywyd; yr oedd y poenau yn cynyddu yn fwy-fwy, nes oedd yn dorcalonus i'r eithaf i edrych arno yn yr ymdrechfa galed hono, nad anghofiwn byth mo honi. Da genym ddeall i'w anwyl briod fod yn ffyddlon, tu hwnt i allu dynol, i ddal yn aml i'w wylied ddydd a nos, ac arfer y tynerwch mwyaf tuag ato, yr hyn oedd yn destyn syndod i feddwl ei bod yn gallu dwyn y cwbl yn ddiorphwys. Gwnaeth ei rhan. Priod y weddw fyddo felly iddi hithau, a Thad yr amddifaid fyddo'n Dad i'r plant bach, o ba rai y mae chwech mewn nifer, a rhai o honynt heb yr arwydd lleiaf y deuant byth i ofalu am danynt eu hunain. Ein gweddi yw, am i'r Hwn sydd bob amser yn gofalu am ei eiddo, ofalu am y rhai hyn. Y mae yn hyfrydwch genym wneyd coffawdwriaeth o'r rhai sydd wedi byw y fath fywyd a'r ymadawedig. Penderfynodd ef a'i briod gael eu "bywyd wedi ei guddio gyda Christ yn Nuw." Cawsant eu bedyddio gan y Parch. J. Seth Jones, oddeutu chwe' mlynedd yn ol; a da genyf allu dyweyd iddo barhau hyd y diwedd, a hyderwn y bydd i'r weddw wneyd yr un modd. Trwy golli Thomas E. Evans, y mae eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn Danville, wedi colli un o'i haelodau goreu; er na feddai ddawn neillduol i siarad yn gyhoeddus yn y cyfarfodydd, yr oedd yn

llanw ei le. Yr oedd yn aelod ac athraw tra defnyddiol o'r Ysgol Sul, a byddai bob amser yn barod i wneyd unrhyw beth er hyrwyddo yr achos da yn mlaen. Gellir dyweyd ei fod yn un gostyngedig, hynaws, ac hunan-ymwadol, a chanddo galon yn llawn o gydymdeimlad at bawb a phob peth teilwng. Gadawodd dystiolaeth ar ei ol, fod pob peth yn iawn, a'r mater wedi ei drefnu. Ar y 27ain o Fedi, ymgynullodd torf fawr yn nghyd. i gludo ei ran farwol tua'r gladdfa. Yr oedd tair o'r cymdeithasau dyngarol wedi dyfod yno, sef yr *Odd Fellows*, y *Brotherhood*, a'r *Druids*, o'r rhai yr oedd yn aelod. Amlwg oedd fod y rhai hyn wedi colli un oedd yn hoff ganddynt. Aethant yn orymdaith drefnus i gapel y Methodistiaid Esgobawl (gan fod capel y Bedyddwyr yn rhy fychan), pryd y gweinyddwyd gan y Parch. Jonathan Nicholas, Spencer, N Y., a thri myfyriwr o Athrofa Lewisburg, sef Morgans, Davies, a Richards, (y diweddaf yn Church Hill, O., yn bresenol); a gweinyddwyd ar lan y bedd gan y cymdeithasau. Yn mhen tair wythnos wedi hyny, daeth y bechgyn o Lewisburg drosodd i roddi pregeth angladdol, a chofir rhai o'r sylwadau tra parhao amser.

WILLIAM FRANCIS.

Chwef. 10, yn ardal y Coed, ger Dodgeville, Wis., yn agos i 5 mlwydd oed, o'r *scarlet fever*, John Wickam, mab David Wickam a'i briod. Claddwyd ef yn mynwent Bethel y Coed. Gweinyddwyd yn yr angladd gan D. M. Powell, a'r ysgrifenydd. Derbynied y rhieni ein cydymdeimlad yn eu trallod dwys, o golli John bach. T. HOLLAND.

Mawrth 10, 1877, yn Dodgeville, Wis., ymwelodd "*Sheriff*" marwolaeth ag anedd Mr. Samuel Roach a'i briod, ac a ddrafftiodd y ddau ieuengaf o'r plant i ryfel sydyn llywodraeth y "*scarlet fever*." Emma, lodes oleudeg lân, yn 7 mlwydd oed, a gymerwyd gyntaf; ni bu yn y rhyfel ond 24 o oriau, pryd y collodd y frwydr, ac y bu farw! "a'i dwyn gan angylion i fynwes Abraham." Yn mhen o ddwy i dair awr ar ol ei chwaer, cymerwyd ei brawd Dafydd i'r un ymrysonfa galed. Yr oedd yntau yn fachgen addawol a thlws, ac yn 11eg ml. oed; bu mewn ymdrech galed am ei fywyd hyd y Sadwrn canlynol, sef y 17eg, pryd y collodd yntau y dydd, ac y bu farw, a'i ddwyn yn ddiamheu gan angylion i'r un fynwes a'i anwyl chwaer. Er pob ymdrechion meddygol, methodd y meddyg drwy yr oll o'r moddion, wneyd cymod a'r gelyn, drwy atal y pla. Claddwyd eu pebyll marwol yn mynwent Dodgeville, pryd y gweinyddwyd yn grefyddol ar yr achlysur, gan y Parchn. S. Phillips a J. D. Davies (A.), T. Holland a B. James (B.) Heddwch i'w llwch.—Anwyl Giraldus: y mae llymder yr oruchwyliaeth chwerw hon wedi archolli yn ddwfn deimladau y teulu, fel ag y maent oll mewn galar, wylofain, ac ochain mawr;" y "fam yn wylo am ei phlant, ond ni fyn ei chysuro am nad ydynt." Oddeutu wyth mlynedd yn ol, bu farw ei hanwyl Mary Elizabeth, o 8 i 9 mlwydd oed, ac nid yw mynwes y fam wedi llwyr wellâu yn herwydd ei hiraeth ar ol hono; ond nid oedd ei gofid y pryd hyny yn deilwng i'w gydmaru i'r gofid a'r trallodion y mae hi ynddynt yn bresenol.

Er chwyddedig donau geirwon,
 Sydd yn rhuthro tan ei bron,
O fy Nuw, na ddigia wrthi,
 Yn y brofedigaeth hon;
Cwyd ei serch oddiar y ddaear,
 Doed esmwythder idd ei nyth,
Aed ei hiraeth mwy am Iesu,
 Yna caiff ddyddanwch byth.

TREBOR.

Emma ehedodd ymaith—at ei Duw,
 Eto daw yn fwy perffaith;
I'w foli yn well filwaith,
Yn nawdd Iôr, mewn newydd iaith.

Y FAM.

A Dafydd ar ei dyfiant,—a gollwyd
 Er gallu pob trefniant;
Dwyn o'n plith, Ie, dau o'n plant,
O'u symud cefais siomiant.

Y TAD.

Angau a'i ddyrnau ddarniodd—y rhai bach,
 Ac i'r bedd fe'i cwympodd;
Yno maent, o ran y modd
Yn feirwon, fel niferoedd.

Y TAID.

Medi 23, 1875, yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., Mrs. Esther Rees, yn 78 mlwydd oed. Dywed Solomon fod "coffawdwriaeth y cyfiawn yn fendigedig." Gan fod hyn yn wirionedd profadwy, nid addas yw gadael y sawl ag y mae eu bywyd hirfaith wedi bod yn addurn i grefydd Iesu Grist, heb air o goffâd am danynt. Yr oedd gwrthddrych y sylwadau hyn, yn ol tystiolaeth y rhai a'i hadwaenai am flynyddau lawer, yn un nodedig am ei rhinweddau crefyddol. Awn dros ei hanes mor fyr a chryno ag y medrwn. Ganwyd Mrs. Rees, yn ardal Rhydwilym, Sir Benfro, D. C., yn y fl. 1798. Bedyddiwyd hi pan yn 17eg oed, gan y diweddar Barch. Thomas Jones, Rhydwilym. Yn 1825, ymunodd mewn priodas â Mr. Thos. Rees; a buont byw wedi hyny yn ardal Rhydwilym a Chwmfelin, hyd nes iddynt ymfudo i'r wlad hon tua'r fl. 1840. Y man cyntaf y gosodasant eu pabell i lawr yn y wlad yma oedd, yn nghymydogaeth Utica, N. Y.; ond nid hir y bu eu harosfa yno, canys symudasant i Cattaraugus yn dra buan. Yr oedd T. Rees a'i deulu gyda'r sefydlwyr Cymreig cyntaf, yn yr ardal hon. Yn fuan wedi d'od yma, dechreuwyd achos gyda'r Bedyddwyr Cymreig yn nhy y brawd Rees. Bu ein chwaer ymadawedig yn aelod ffyddlon, gweithgar, a difrycheulyd yma am 35 o flynyddau. Ar y dyddiad uchod, ar ol byr gystudd, hunodd yn dawel yn yr Iesu. Gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parch. J. W.

James, Mineral Ridge, Ohio. Pan fu farw, yr oedd ei phriod hoff, T. Rees, yn wael iawn ei iechyd, ac yn anobeithiol i fyw; ond y mae ef wedi ei adferyd i raddau. Gadawodd ein hanwyl chwaer dri o blant ar ei hol, sef, John W. Rees, yr hwn oedd yn ddiacon ffyddlon yn yr eglwys hon; ond aeth yntau o ganol ei waith a'i ddefnyddioldeb i dangnefedd, yn mhen chwech wythnos ar ol ei fam! Prin yr oedd hi wedi dechreu ar y "gân am farwol glwy'," cyn fod ei mab John yn cyduno yn yr un anthem dragywyddol. Mae mab arall iddi yn byw yn Chicago, Ill., sef, Evan Rees. Ac y mae ei merch, sef, Mrs. Roberts—priod Mr. Hugh H. Roberts—yn byw yma, ac yn aelod ffyddlon gyda'r Bedyddwyr. Yn awr, gwnaf ychydig nodiadau ar nodweddion ein chwaer ymadawedig.

*Ei Haelfrydedd.*—Yr oedd yn ddiarebol am ei haelioni at bob achos da. Pan adeiladwyd yr addoldy cyntaf yma, nid oedd y Cymry ond ychydig mewn nifer, ac yn dlawd eu hamgylchiadau. Gwnaeth Mrs. Rees, y pryd hwnw, er mwyn cael PABELL I ARGLWYDD Y LLUOEDD, aberth o'r hyn ag oedd yn angenrheidiol arni hi a'i theulu, er mwyn diwallu y rhai a weithient wrth y "ty cwrdd." Bu ei bwrdd yn ddigon llwm lawer gwaith, er cael darpariaeth weddol i adeiladwyr Ty Dduw. Nid tra yn dlawd y dygodd hi y nodwedd hon; eithr, ar ol codi i amgylchiadau da yn y byd ni ddiffygiodd yn y gras hwn. Mae llawer yn hael tra na fydd ganddynt lawer i gael; ond pan ddechreuant gael gafael ar y byd ac ymgyfoethogi, syrthiant oddiwrth y gras o haelioni. Byddai yn fendith fawr i eneidiau y cyfryw pe caent eu cadw mewn amgylchiadau cyffredin, canys y mae cyfoeth yn fagl ac yn ddinystr iddynt. Ond am Mrs. R., defnyddiodd hi bethau y byd hwn, i ddadblygu ei pharch a'i hanwyldeb at ei Cheidwad. Nid yn aml yr âi un gweinidog yr efengyl i dalu ymweliad â hi, na fyddai yn well mewn ystyr arianol o alw. Byddai yn wastadol yn gofalu am ryw anrheg iddo. Ni chauodd ei thosturi, hefyd, oddiwrth y tlawd a'r angenus. Pwy bynag a gurai wrth ei drws am elusen, a fyddai yn sicr o lwyddo; ni throai neb ymaith yn wag-law. Am hyny, y mae ei choffawdwriaeth yn fendigedig yn Eglwys Dduw gan weision yr Arglwydd, a chan y tlawd a lonwyd lawer gwaith ganddi tra yn fyw.

*Yr oedd yn Ddidderbyn wyneb.*—Mae gan rai amrywiol wynebau—gwyneb i ateb pob amgylchiad. A gallant newid eu gwynebau mor aml ag y mynont. Gallu mawr ydyw medru gwneyd gwên ar y wyneb, tra y mae y galon yn llawn brâd, dichell, a gelyniaeth; ond dadblygiad o allu yr hwn sydd yn ymrithio fel angel y goleuni ydyw. Mae y rhai hyn fel seirph yn mysg y blodau tlysion, brathant yn ddiarwybod i ddyn. Maent fel Judas yn bradychu â chusan. Gwell cadw draw oddiwrth y bobl aml wynebau. Ond am wrthddrych y sylwadau hyn, nid oedd ganddi ond un gwyneb i bawb; yr oedd ei gwyneb bob amser yn *index* o'i chalon; yr oedd y naill yn cydgordio i'r dim a'r llall. Os buasai ganddi unrhyw beth yn erbyn rhywun, dywedai hyny yn blaen yn ei wyneb. Nid brathu o'r tu cefn, a gollwng ei saethau o'r tu ol i'r llwyni y byddai hi, eithr argyhoeddai y troseddwr yn ei wyneb. Dyma rinwedd teilwng o efelychiad.

*Yr oedd ei Duwioldeb yn Ddiamheuol.*—Nis gellir dyweyd am bawb sydd ar enw Israel, "Wele, Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll." Mae ymarweddiad llawer mor wyrgam gyda chrefydd, fel nas gellir bod yn benderfynol beth ydynt. Ar adegau, gellid meddwl eu bod yn wir ddysgyblion yr Arglwydd; bryd arall, dilynant o hir-bell, fel nas gellir dyweyd gydag un sicrwydd pa un ai yn y byd, ai yn yr eglwys y mae eu lle priodol. Mae gwresraddyr (*thermometer*) eu crefydd mor eithafol o ansefydlog, fel mai pur anhawdd yw i neb ond yr Hollwybodol ei hun, wybod beth ydynt. Ond y mae eraill mor gyson a rheolaidd yn eu rhodiad crefyddol, fel nad ellir amheu eu duwioldeb. Y maent yn oleuadau tanbaid yn y byd—dangosant yn mhob man eu bod yn blant i Dduw—adlewyrchant ogoniant eu Duw yn barhaus. Un o'r rhai hyn oedd ein chwaer Mrs. Rees. Nid crefydd cynhyrfiad y fynyd oedd ganddi, eithr crefydd gyson a sefydlog. Mae crefyddwyr *cynhyrfiad y fynyd* fel dail yn cael eu taflu yn ol ac yn mlaen ar frigau y tonau chwyddedig, tra y mae gwir dduwioldeb fel peiriant mawreddog, yn cario ei berchenog yn mlaen drwy nerth dwyfol ras, er gwaethaf y dymestl arwaf. "Ond elw mawr yw duwioldeb." Ymarferodd ein chwaer ei hun i dduwioldeb; a chan mai ymarferiad dyn sydd yn profi beth ydyw, felly profodd hi ei bod yn dduwiol. Dangosodd yn amlwg yn ei buchedd, ei bod yn credu ac yn teimlo ynddi ei hun, "fod duwioldeb yn fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd sydd yr awrhon, ac o'r hwn a fydd." Mae duwioldeb yn talu ei ffordd yn y byd hwn, yn angau, ac am dragywyddoldeb. O! mor ddedwydd y mae y duwiol yn gallu ymadael a'r byd hwn. Daliodd ein chwaer ei gafael yn "y rhan dda" hyd y diwedd; ac yn awr, mor felus yw edrych yn ol ar droion yr yrfa. Rhoddwn brawf amlwg i'r byd, cyn marw, ein bod yn feddianol ar yr anian dduwiol. W. M. EVANS.

Mawrth 9, yn Mahanoy, Pa., yn 21 mlwydd ac 21 diwrnod oed, Margaret, merch i'r brawd hoff William Williams a'i briod, o'r lle hwn, a gwraig i'r cyfaill hoff William Jones, mab i'r brawd Daniel Jones, Taylorville, Pa. Ni chafodd yr ymadawedig ond byr gystudd—diangodd i fyd yr ysbrydoedd braidd heb yn wybod iddi ei hun a'i pherthynasau. Gadawodd luaws o anwyliaid i alaru ar ei hol; ond gwaeth na'r oll, y mae yma faban bychan, pedair wythnos oed, wedi cael ei amddifadu o fam, eto mae yn y teulu hwn fynwesau cynes i'w feithrin. Claddwyd Mrs. Jones ar y 12, pryd

y gweinyddwyd gan y Parchn. Thomas, Lake, a Harkins; ac er ei bod yn oer iawn o ran yr hin, daeth tyrfa fawr yn nghyd i'r capel ac i'r fynwent. W. D. THOMAS.

Chwef. 13, 1877, yn Parsons, Pa., Thomas, mab ieuengaf ac anwyl y brawd Wooriwd Thomas, yn ddwy flwydd a haner oed. Ymgysured y rhieni yn y ffaith fod eu hanwylyd bychan wedi dianc o fyd o bechod a gofid, a chyrhaedd gwlad, lle y mae purdeb a llawenydd yn teyrnasu yn oes oesoedd.
D. T. PHILLIPS.

TEITHI Y DIWEDDAR NATHANIEL GRIFFITHS, WILKESBARRE, PA.

Y mae'r newydd galarus am symudiad disymwth y brawd hoffus hwn, wedi cyrhaedd darllenwyr Y WAWR, ond odid, yn hir cyn hyn. Ar ddydd Iau, Mawrth 1af, pan oedd ar ymadael o'r *breast* lle y ceisiai ei fara beunyddiol, daliwyd ef gan angau, "fel y pysgod a ddelir a'r rhwyd niweidiol, ac fel yr adar a ddelir yn y delm." Ie, fel hyny, ar un olwg; ond, ar olwg arall, fel y "corwynt" a ddyrchafodd Elias "i'r nefoedd" y bu y ddamwain a ddygwyddodd i Nathaniel Griffiths. Dyn allan o'r cyffredin ydoedd; ac am hyny, teimlwn yn hyf i a'w sylw at rai o'i *nodweddion arbenigol.* Bu yn pregethu am dymor, ac "y mae efe wedi marw, yn llefaru eto." Gobeithiwn y bydd y bregeth yn fendith i'r darllenwyr.

(*a*). Yr oedd SERCHAWGRWYDD Mr. Griffiths mor hynod, fel nas gallasai dyeithr-ddyn lai na nodi y nodwedd hon, ac nid yn fuan yr â ei wên siriol, a'i wyneb llon, o gof y rhai mwyaf cyfarwydd ag ef. Sylwai ei gyn-weinidog, y Parch. Theophilus Jones, ar hyn ddydd yr angladd, ac yr oedd lluosogrwydd ac agwedd y bobl, ar y pryd, yn esboniad da ar eiriau y gwr doeth, "Y neb y mae iddo gyfeillion, cadwed gariad." Yn ei dy ac yn mynwes ei deulu, yr oedd yn anwyl odiaethol. Bu ei farwolaeth yn archoll anfeddyginiaethol i'w weddw a'i blant cariadus; ac y mae yr eglwys yn dra galarus ar ei ol.

(*b*.) Nodwedd arall, yn codi yn naturiol o'r un flaenorol, oedd LLETYGARWCH. Yn y *pymtheg-mlynedd-ar hugain*, er pan fedyddiwyd ef —gan y diweddar Hybarch Morgans, Pottsville—yn Schuylkill a Luzerne y cadwodd N. G. dy agored i bawb; "ond yn enwedig i'r rhai sydd o deulu y ffydd." Yn hyn cafodd "ymgeledd cymwys" iawn yn ei briod haelfrydig. Gallai llawer ddyweyd, a dyweyd llawer, am y da hwn oedd mor nodweddiadol o'r cartref sydd heddyw yn wâg, ac yn fwy galarus, o bosibl, na'r hwn y lletyai yr Iesu ynddo yn Methania. Duw a ddyddano galonau y galarwyr.

(*c*). Yr oedd yn hynod am DDIWYDRWYDD hefyd. Yn ei alwedigaeth, er fod ei olygon bellach yn dechreu pallu, ni fynai er dim fod yn ddiog. O gwmpas ei anedd gwelir arwyddion lawer o'i lafur, a'i ddestlusrwydd, a'i chwaeth, a'r un modd oedd gyda chrefydd. "Yn wresog yn yr ysbryd yn gwasanaethu yr Arglwydd," y ceid ef ar hyd yr wythnos, yn ogystal ag ar ddydd Duw. Pan yn fwy hyall ac heinif, yn nyddiau boreuaf ei yrfa Gristionogol, nid oedd terfyn ar ei sêl a'i ymdrech gyda'r achos goreu. Gyda'r canu a'r cyrddau, yr Ysgol Sul a'r *Band of Hope*, &c., yr oedd ein brawd yn un o'r "*helaethion* yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol." Ni chawsom y cyfle i sylwi ar ei weithgarwch hyd o fewn y tri mis diweddaf; ond synwyd ysgrifenydd y llinellau hyn, wrth ei weled yn mhob cyfarfod gweddi—pell ac agos, hindda neu ddryghin—yn ddieithriad. Yn ddiweddaf oll, yn ychwanegol at ei flaenoriaeth o gyfarfodydd y bobl ieuainc ddwywaith yr wythnos, cymerodd afael yn yr anturiaeth o gychwyn Ysgol Sul yn Rolling Mill Hill, a hynod fu llwyddiant y mudiad yn ei law ef, a than fendith Iôr. Y mae yr ysgol hono llawn cryfed a'r hon a gynelir yn y capel.

(*ch*). Un o deithi enwog yr ymadawedig oedd GWYLEIDD-DRA NATURIOL (*modesty*). Yr oedd ganddo feddwl cryf, a barn oleuedig, a medrusrwydd tu hwnt i lawer o'i frodyr; ond rhaid oedd ei wthio i'r *front;* nid oedd byth yn honi blaenoriaeth. Fel y gwr parchus a'i priododd ac a'i bedyddiodd, rhoddid iddo y blaen, am ei fod yn teilyngu; nid am ei fod yn hawlio hyn! Gwnaeth y Parchedigion Joseph Davies (T. C.), ac E. B. Evans (A.), Hyde Park, Pa., sylwadau pwrpasol iawn yn y cyfeiriad yma, ddydd y gladdedigaeth. Sonient am ei fedr fel pregethwr, flynyddau yn ol; a chydnabyddent fod ynddo elfenau dyn mawr. Pa fodd bynag, tybiai efe nad oedd yn ddigon "cymwys" i waith mor bwysig, ac yn groes i ddymuniad llawer o'i frodyr, rhoddodd i fyny y gwasanaeth hwn. Yr oedd yn gwbl anhunanol; Ie, mor bell o fod yn ymffrostgar, fel y gwnai gam ag ef ei hun, ac a'r achos hefyd, drwy fod yn ormodol ostyngedig ac hunanymwadol.

(*d*). Nodweddid Mr. Griffiths gan ONESTRWYDD TRYLWYR. Cyfeiriai y Parch. J. P. Harris, oedd wedi ei adnabod flynyddau lawer, at hyn. Dywedodd, ar lan y bedd, y gellid sylwi am y Nathaniel hwn, fel am yr un cynt—"Yn yr hwn *nid oes dwyll.*" Cywir y dywedodd, "Nis *gallai* efe fod yn rhagrithiwr, nis *gallai* wisgo dau wyneb. Fel pob *true man*, pa oreu ei hadwaenid, mwyaf ei hoffid ef. Nid oedd y dernyn lleiaf o *veneer* yn nghyfansoddiad hwn."

(*e*). Rhaid, er yr ofnwn fyn'd a gormod o le, ychwanegu gair ar DDUWIOLFRYDEDD yr ymadawedig. Hyn oedd yn coroni ei holl ragoriaethau; a chan hyn y tymerid ei ysbryd ar bob adeg. Nid ydym yn cofio gweled un erioed yn fwy mabaidd a difrifol o flaen gorseddfainc y gras. Yn sicr, gallai efe ganu,

"Duwioldeb yn ei grym
Sydd werthfawrocach im'
Nag aur Peru."

Yn y cyfeillachau yr oedd ei brofiad bob amser yn werth i'w wrandaw, ac ar lawer tro byddai yn hynod o afaelgar ac adeiladol. Wel, aeth y cantwr i gael

"Cyfran o'r gân gu,
A melusedd mawl Iesu."

Aeth y didwyll hwn i fysg yr "Israeliaid yn wir" y tu fewn i'r llen. Aeth ein brawd gweithgar i fwynhau yr orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw. Aeth y caredig Griffiths i wlad y "cariad llawn didrai." Do, cyflwynasom ef i'r bedd, "gan ddiolch i'r Tad, yr hwn a'i gwnaeth yn gymwys i gael rhan o etifeddiaeth y saint yn y goleuni." Rhodded yr Arglwydd i'w berthynasau oll, ac i'w frodyr a'i chwiorydd yn yr eglwys, y cyfryw ras a doethineb ag a wna ei farwolaeth yn "elw," gogystal, os nid gogymaint iddynt hwy ag iddo ef.

*Wilkesbarre, Pa.* E.

## NEWYDDION CYMRU.

[O Seren Cymru.]

*Ymadawiad Mathetes.*—Ysgrifena gohebydd, wrth grybwyll am ymadawiad Mathetes o Rymni, "Ystyriwn ymddygiad ein brawd fel math o *brotest* yn erbyn gwaeledd ymddygiad rhai eglwysi tuag at y weinidogaeth.

*Synwyr Cyffredin.*—Testyn darlith gan Mathetes, yn ddiweddar yn Cwmdu, ydoedd "Synwyr Cyffredin." Yr oedd y ddarlith yn llawn synwyr, meddir.

*Capel Newydd yn Nghonwy.*—O'r diwedd mae capel newydd yn cael ei adeiladu yn Nghonwy, G. C. Yr oedd ei fawr eisiau er's blynyddau. Gwelwn fod y derbyniadau arianol ato yn barod yn rhifo dros bedwar cant o bunau.

*Tysteb.*—Gwneir tysteb i weddw y diweddar Barch. R. A. Jones, Abertawe, yn bresenol yn Nghymru. Mae rhif y tanysgrifiadau yn ychwanegu yn brysur.

*Tysteb Newydd eto.*—Mae y Parch. Owen, Narberth, D. C., yn cyflwyno i sylw Bedyddwyr Sir Gaer a Sir Benfro, "yr hen wr, y brawd parchus, y Cristion gloew, a'r pregethwr melus ac efengylaidd, William Gwynn," fel un teilwng o dysteb. Dichon nad yw ei enw yn adnabyddus iawn yn mhell ar y ddaear yma; ond dios genym ei fod yn eithaf adnabyddus a pharchus yn y wlad fry. Mae yn awr yn 74 mlwydd oed fel dyn, yn 51 mlwydd oed fel Cristion, ac yn 51 mlwydd oed fel pregethwr. Mae yn ddyn gwylaidd, yn Gristion gweddaidd, ac yn efengylwr goleu. Wedi teithio miloedd o filldiroedd, a phregethu filoedd o weithiau rhwng Rhydwilym, Bethel, Horeb, Carmel, Gelli, ac oddiyno i lawr i Arberth, Moleston, a'r cymydogaethau cylchynol, ac mewn anedd-dai trwy y wlad, ar hyd haf a gauaf, oerfel a gwres, heb ond ychydig iawn o dâl; wedi hau yn ddibrin had ysbrydol, ond heb fedi ond ychydig iawn o bethau tymorol.

*Tabor, Dyfed.*—Ysgrifena gohebydd o'r lle hwn i *Seren Cymru*, yn dadgan iddynt gael amser da yn eu cyfarfod blynyddol eleni. Dyma fel y dywed: "Cynaliwyd cyfarfod blynyddol yn y lle hwn ar y Mawrth a'r Mercher, y 30ain a'r 31ain o'r mis diweddaf, pryd y cawsom wasanaeth gwerthfawr y brodyr canlynol, sef Roberts, Caerfyrddin; Thomas, Arberth; Thomas, Trelettert, a Jones, Abergwaen. Os daeth Crist i'r golwg yn ei ogoniant i'r dysgyblion ar Tabor, yn Galilea, yn nghyfarfod y gweddnewidiad, daeth i'r golwg hefyd yn ei ogoniant yn Tabor, Dyfed, yn ein cyfarfod blynyddol ni. Os oedd Pedr yn y fath hwyl yn y cyfarfod ar Tabor, yn Galilea, nes dywedyd, "O, Arglwydd, da i ni fod yma," cawsom ninau y fath hwyl yn Tabor, Dyfed, nes dywedyd yr un geiriau; ac os oedd yr apostol yn foddlon gwneyd pebyll i genadon gogoniant i drigo yn mhlith dynion, byddem ninau yn foddlon i'r cenadon fu gyda ni i babellu yn ein plith. Nid rhyfedd i ni gael cyfarfod da, canys yr oeddym wedi cynal cyfres o gyfarfodydd gweddio yr wythnos flaenorol. Hyderwn fod yr had da wedi cael dyfnder daear, ac i Dduw y byddo y clod am ein bod yn cael arwyddion o hyny.

*Lord Kensington, M. P.*—Boreu dydd Mawrth, Ionawr 30, pan oedd y Parch. H. Price, Rhydwilym, ar ei daith i gwrdd chwarter Cwmduad, sir Gaerfyrddin, cafodd lythyr oddiwrth y boneddwr uchod, yr hwn oedd yn cyn-

wys *cheque* o bum' punt iddo at ei gapel newydd. Y Sul canlynol, gwnaeth Mr. Price y rhodd yn hysbys i'w gynulleidfa yn ei ddull doniol arferol, a mawr oedd y llawenydd a'r diolchgarwch a deimlid gan y frawdoliaeth a'r holl gynulleidfa, am fod y fath foneddwr wedi eu cofio o brif-ddinas y byd. Hefyd, gwnaeth William Davies, Ysw., Hwlffordd, yr un peth. Onid yw dynion o'r fath yn deilwng o bob cefnogaeth gan Ymneillduwyr sir Benfro yn yr etholiadau?

"*Ysgoloriaeth Gymreig Cynddelw.*"—Y mae cwrdd mawr y Byrom Hall wedi codi yr Ysgoloriaeth Gymreig i sylw cyffredinol Cymry Lerpwl. Bydd yr oll o honynt sydd ar wasgar yn y dref Seisnigaidd hon wedi teimlo dylanwad y cwrdd, ac wedi cael hamdden a chyfleusdra i ddangos hyd a lled eu parch i'r mudiad cenedlaethol hwn.

*Maenclochog.*—Flynyddau maith yn ol, prophwydodd un o hen frodorion y lle uchod, fod dyfodol llwyddianus yn aros Maenclochog, ac y byddai yn *Metropolis of Wales*. Nis gwyddom ar ba seiliau y darfu i'r hen wladgarwr enwog brophwydo felly; ond gwyddom i lawer ei wawdio a'i ddirmygu. Erbyn heddyw mae yr hen brophwydoliaeth fel wedi adgyfodi o fedd anghof a dirmyg y dyddiau gynt, ac arwyddion amlwg a gweledig ei bod yn cael ei chyflawni, a'r hen ddirmygwyr yn dechreu ei chofleidio. Mae gwneuthuriad y gledr-ffordd i'r lle wedi ei wisgo â gwedd arall, ac wedi gosod yr holl gymydogaeth mewn llawn bywyd a gweithgarwch. Mae Shoni y gwaddotwr wedi dal mwy o waddod y gauaf hwn nag a wnaeth er ys ugain mlynedd; ac y mae William, Ty-draw, yr haf diweddaf, wedi calchu dau o'r caeau mawrion, peth na wnaeth erioed o'r blaen. Bendith i amaethyddiaeth yw dyfodiad y *railway* i'r lle, a phob lle arall hefyd. Bydd ffermydd y gymydogaeth yn fuan yn gydwerth o ran gwrtaeth ag unrhyw ran o Gymru. A phwy a wyr na fydd Preselle Top yn fuan yn wersyllfan gan brif *astronomers* y deyrnas gyfunol! Hefyd, mae y seiri coed a'r meini, y gofiaid a'r teiliwriaid, a'r holl chwarelwyr, wrthi am eu bywyd; ac y maent oll yn eu hiaith yn tystio y daw prophwydoliaeth yr hen frodor i ben yn fuan. Hefyd, mae gwneuthuriad y gledrffordd i'r lle yn byrhau ac yn rhwyddhau y ffordd i deithwyr rhanau isaf sir Benfro i'r gweithfeydd, a phrif borthladdoedd Cymru. Ymwelir â'r lle yn ddyddiol gan luaws o drafaelwyr ac ymwelwyr, ac yn mhlith y cyfryw gellir rhestru Thalamus. Daeth yma tua thri mis yn ol; ei waith yw cerdded oddiamgylch gan werthu Beiblau, &c. Ar gais amryw o'r lle, nos Sadwrn, Ionawr 27ain, traddododd Thalamus ddarlith ar "Bobl y tŷ nesaf, a'r dyn dau-wynebog," yn ysgoldy y lle.

—Ymddengys nad yw Spurgeon yn credu mewn cadw gwleidiadaeth allan o'r pwlpud, fel y dengys y rhan ganlynol o'i weddi ddiweddar: "Ac, O Ar-Arglwydd, dyro i'n Seneddwyr ddoethineb, yn neillduol ar yr adeg beryglus hon. Na ad i ffolineb tra mawr ein llywodraethwyr arwain ein gwlad anwyl i ryfel. O Dduw, cyfnewidia ein llywodraethwyr can gynted ag y byddo yn bosibl."

*Buddugoliaeth Gwirionedd.*—Ceulanydd, yr hwn, tua naw mis yn ol, a aeth drosodd i'r Eglwys Sefydledig, a ddychwelodd yn ol at y Bedyddwyr, gan fwrw ei goelbren yn eglwys y Bedyddwyr yn Bethesda, Arfon, ar nos Sabboth, Ionawr 28ain. Y nos Sabboth dilynol, datganodd yn bendant a diamwys, mai yr haner blwyddyn a dreuliasai yn yr Eglwys oedd y fwyaf ofnadwy o boenus a brofodd efe erioed. Yr ydoedd fel anialwch yn ei fywyd; fel ffenestr chwilfriwiog mewn palas; yn haner blwyddyn wedi ei cholli o'i oes; a'r weithred yn gyfryw na allasai ef byth ei dadwneyd; ond llawenychai wrth feddwl y gallai, ac y gwnai Duw, faddeu iddo. Dywedai fod ei gydwybod fel arthes o'i fewn, ac yn troi pob ffafr yn uffern. Gwelsom ei ddagrau gloywon yn cyd-dystio â'i eiriau, a chredwn ei fod mor wir edifeiriol ag y gall pechadur fod. A chan nad yw

rheolau Cymanfa Arfon yn gyfryw ag a ganiatant iddo gael ail-ddechreu pregethu cyn y Gymanfa yn yr haf nesaf, a chan ei fod yntau yn hollol ymroddol iddynt, ac yn penderfynu dyfod i fyny yn hollol reolaidd, mae yn amlwg y rhaid iddo wrth gydymdeimlad ei frodyr, er ei alluogi ef a'i briod hawddgar, a'i blant bychain anwyl, i gael eu bara beunyddiol o hyn hyd hyny.

## RUFUS YN EI FEDD!

Iē, ddarllenydd anwyl, Rufus yn ei fedd! Nid llawer sydd oddiar pan drywanwyd dy galon gan y newydd blin fod "Cynddelw yn farw yn ei fedd." Wedi hyny, melltenodd y newydd galarus fod Jones, Abertawy, a'i lais soniarus, "wedi tewi yn y tywod." Yna cymerwyd ymaith yr anwyl Williams, o Nantyglo, ac eraill; ac yn awr dyma yr enwyg Rufus, un o'r ser dysgleiriaf yn ffurfafen enwad y Bedyddwyr, wedi syrthio. Pwy nesaf? Da yw i ni nas gallwn dreiddio i'r dyfodol, a gwybod yr hyn sydd o'n blaen. Buasai canfod y du sydd yn ein haros yn ddigon i'n suddo a'n llethu yn y presenol; ac eto buasai canfod y gwyn yn sicr o'n gwneyd yn ddiamynedd a gorbryderus am ei gyrhaedd. Yr oedd Rufus yn afiach er's blynyddoedd; ond yr oedd yn ymadnewyddu yn rhyfeddol mewn nerth tua haner blwyddyn yn ol, ac wedi dyfod bron mor heinyf ag y bu erioed, debygai. Yr oedd angeu, er hyny, mewn *disguise* yn ei gyfansoddiad. Tua dau fis yn ol cyfyngwyd ef i'w glaf-ystafell. Ymosodwyd arno gan gydgyfarfyddiad o wahanol ddoluriau. Bu Dr. Idris Davies, yr hwn sydd frawd caredig, a fedyddiwyd yn ddiweddar gan Rufus yn afon Rhondda, ar ei oreu yn gweini iddo. Er y cyfan, gwaethygu wnaeth, nes yn foreu dydd Llun, Chwefror 12fed, y rhoddodd yr anadliad ddiweddaf, ac yr hunodd yn dawel yn yr Iesu. Machludodd ei fywyd, fel yr haul, yn ogoneddus. Geiriau ei berthynas agosaf ac anwylaf oeddent, "Bu farw yn fendigedig." Dywedai wrth ei dad oedranus un diwrnod, ei fod bob tro y bu yn glaf yn flaenorol yn orawyddus am wellâd, ond ei fod yn teimlo yn wahanol y tro hwn —yn foddlon myned, os gwelai ei Dad nefol yn dda ei gymeryd. Yr oedd, fel y ffrwyth ar y pren, wedi ymaddfedu, ac yn barod i syrthio yn *dead ripe*. Er yn rhy wan i siarad ond ychydig er ys dyddiau, canodd yn felus ychydig oriau cyn marw. Yr ydym wedi clywed fod yr alarch, er nad yn gantores mewn bywyd, pan yn myned i lawr at y dwfr am y tro diweddaf i farw, yn rhoddi tôn beraidd. Aeth Rufus i lawr at rydiau yr afon dan ganu hen emyn toddedig Rowland Hill wrth farw:

"And when I'm to die
To Jesus I'll cry,
For Jesus hath loved me,
I cannot tell why;
But this I can find,
We two are so joined,
He won't live in glory,
And leave me behind."

Canodd yn Seisnig, debygid. am fod yr iaith hono yn ysgafnach iddo. Nid cynt y daeth y newydd am ei farwolaeth allan nag yr oedd llawer yn welw yn wylo, a'r prudd-der dwysaf yn teyrnasu trwy y gymydogaeth. Iaith groew y cyfan oedd, "Wele, yr oeddent yn ei garu."

Y dydd Iau canlynol, daeth torf luosog o ffryndiau galarus yn nghyd i hebrwng ei weddillion marwol i'r gladdfa. Yr oedd y Parch. E. Roberts, Pontypridd, a Mr. Howell, Inspector, wedi danfon hysbysiadau am yr angladd i bob cyfeiriad. Dydd du iawn oedd dydd yr angladd. Yr oedd y nefoedd fel pe mewn cydymdeimlad dwys â'r ddaear. Nid yn unig yr oedd torf fawr mewn galar-wisgoedd wrth Sunny Cottage, a lluaws a'r dagrau tryloywon yn treiglo dros eu gruddiau, ond yr oedd y cymylau uwch ben mewn *mourning*, ac yn llwythog, ar ymddryllio mewn dagrau gyda hwynt. Yr oedd calonau perthynasau a chyfeillion mor lawn o alar nes yr oeddent yn tori allan dros y glanau, ac yn llifo drosodd drwy y llygaid. Darllenodd y Parch. T. John, Ynyslwyd, ranau pwrpasol o'r oraclau bywiol wrth y ty, a gweddiodd y Parch. N. Thomas, Caerdydd. Yn yr orymdaith tua y gladdfa yr oedd 80 o wein-

idogion, a lluaws o bersonau, boneddigion a boneddigesau cyfrifol.

Dywedodd y brawd Jones, Treherbert, mai diwrnod du iawn i ni ydoedd diwrnod claddu Rufus; ond mai cysur mawr oedd meddwl fod Rufus cyn ei gladdu wedi byw, ac yn byw o hyd. Yr oedd y dorf yn bresenol yn siarad yn uchel am dano. Nid Rufus Cwm Rhondda yn unig ydoedd, ond Rufus y wlad. Efe oedd ein tad ni, weinidogion y dyffryn; ein *guide* gofalus, pwyllog, a llygadog. Yr oedd yn gyfaill caredig i bawb. Gallasai fod yn weinidog i un o'r eglwysi mwyaf cyfrifol yn y Dywysogaeth pe dewisasai; ond yr oedd wedi ymgylymu am Nebo, a Nebo am dano yntau, nes oedd eu calonau wedi ymdoddi i'w gilydd. Yma y bu fyw, ac yma y bu farw; heddwch i'w lwch.

Achwynai yr hybarch frawd Lloyd, Merthyr, yr hwn a ymddangosodd nesaf, mai anhawdd iawn ydoedd cymodi ag angeu, er mai cyfaill ydoedd. Ei gysur a'i galondid, er hyny, oedd, mae'n Tad sydd wrth y llyw, ac y daw yr adeg pan "O fryniau Caersalem ceir gweled," &c. Yr hyn a'i dyrysai ydoedd, fod dynion mor ddefnyddiol yn cael eu tori i lawr. Ein Tad mawr, er hyny, sydd yn gwybod oreu, a'n dyledswydd ni yw bod yn ddystaw. Meddylient tua Merthyr ugain mlynedd yn ol y buasai Rufus heb fod yn hir yn ei fedd; ond yr oedd wedi gwneyd diwrnod da o waith wedi hyny, a dyna ef yn awr wedi myned at ei wobr.

"Henffych i'r dydd cawn eto gwrdd," &c.

Dr. Price, Aberdar, er yn anewyllysgar, ar ol ei hir-boenus afiechyd, drwy daer gymelliad, a ymdrechodd siarad. Dywedodd mai diwrnod galarus i bawb o honom oedd y diwrnod hwn. Yr oedd un o'i ffryndiau goreu wedi ei golli. Yr oedd Rufus ac yntau gyda eu gilydd yn Birmingham yn amser cyfarfodydd yr Undeb yn cyduno mai efe (Dr. Price) fyddai yn y bedd gyntaf. Dywedai Rufus y pryd hwnw nad oedd ganddo ddim gobaith am weled Dr. Price, Aberdar, yn ei le drachefn. (Yr oedd yr ysgrifenydd yn bresenol yn clywed hyn.) Rufus oedd wedi myned, er hyny, ac yntau wedi ei gadw. Ië, Rufus, y cyfaill mwyaf dymunol; dyn Duw, Cristion gloew, ac un o'r goreuon feddai y Bedyddwyr. Yr oedd yn un ag amcan ganddo yn mhob pregeth a phob peth. Gweithiodd yn egniol, a gwnaeth waith mawr mewn ychydig amser.

Yna dygodd y brawd L. Evans, Casnewydd, dystiolaeth uchel i gymeriad Rufus. Dywedai iddo fyw mewn gwaith, a marw felly. Rhoddodd gyfle i'w frodyr yn y weinidogaeth i'w garu. Yr oedd yn frenin yn ei eglwys, yn teyrnasu mewn tynerwch. Yr oedd yn un o'r dynion mwyaf, er y tybiai ef ei hunan, yn ei wyleidd-dra mawr, nad oedd ddim. Yr oedd yn ddyn cyfan a gwastad, ac yn blentyn Duw. Yr oedd gwahanol enwadau crefyddol Casnewydd yn teimlo y boreu hwnw yn herwydd ei golli. Yr oedd ei enw yn berarogl yn yr angladd. Rhyfedd oedd gweled yr hen wr, y tad, yn bedwar-ugain oed, yno yn fyw, a'i blentyn Rufus, ond 43, yn farw. Ond yr oedd Duw am roddi gwell lle iddo nag sydd yma. Dylai ei hen wrandawyr deimlo yn yr angladd. Mae angeu yn y tir lle yr ydym yn byw; ond paham yr ydym yn ofni cymaint arno? Angeu sydd yn talu oreu i'r dyn da. Gallai perchenog ystad fod yn feddianol ar ddernyn o hen dir creigiog a diffrwyth yr olwg arno; ond o dano mae'r gwythienau glo a mwn, ac o hwn mae yn gwneyd ei *fortune* wedi'r cyfan. Felly mae angeu, er ei holl annymunoldeb, yn talu yn dda.

Dywedai Mathetes, yn ei *freshness* arferol, fod tuedd ynom, ar amgylchiadau fel hyn, i fod yn ormod yn y cywair lleddf. Yr oedd llawer o elfenau cysur yn yr angladd; yr oedd cydwybod dawel gan y perthynasau eu bod wedi gwneyd eu goreu i'w brawd anwyl ymadawedig; y gyfeilles oreu mewn angladd ydoedd cydwybod dawel. Nid gofid oedd yn yr angladd, ond galar. Yr oeddem yn gydwybodol lle yr oedd Williams wedi myned. Nid oedd yn gymwys ond i'r nefoedd. *The right man in the right place* sydd tu draw i angeu. Yr oedd Rufus yn naturiol fwyn, ac o dymer dda, heb gymaint o waith ganddo a llawer i ymladd yn er-

byn drwg. Lle deniadol oedd y bedd wedi bodolaeth ein Harglwydd ynddo. "Deuwch, gwelwch y fan lle gorweddodd yr Arglwydd." Gorchwyl caled i ddyn gonest ydoedd gwasanaethu yn angladd yr annuwiol; ond yr oedd yn wahanol yn yr angladd hwn.

Wedi i'n brawd a'n cymydog caredig, Hughes, Dinas, anerch gorsedd gras, ymwasgarodd y dorf alarus a hiraethlon.

*Tonypandy.* J. HOWELL.

## Y GENADAETH DRAMOR.

### Y "STUNDIAID" RWSSIAIDD.

Yn nechreuad 1873, daeth y ffaith ddyddorol o fodolaeth Cristionogion Beiblaidd yn nghanolbarth Rwsia, yn fwy cyffredinol adnabyddus. Daeth hysbysiad o'r ymerodraeth hono o ddyoddefiadau echrydus, dirwyiadau, carcharu, ac hyd yn nod fflangellu, a ddyoddefai y blaid grefyddol a elwid "Stundists," am yn unig ddarllen y Beibl, a chynal cyfarfodydd crefyddol yn nghyd. Cyffrowyd cydymdeimlad pobl grefyddol, cyfranwyd llawer o arian i leddfu eu poenau, a dyfeisiwyd mesurau i'w rhyddhau o afael y gorthrymwr. Cymerodd America ran dda yn hyn. Yn y flwyddyn ganlynol dygwyddodd fod cyfarfodydd y Cyngrair Efengylaidd yn cael eu cynal yma. Dygodd y Proffeswr Rauschenbusch y pwnc o flaen sylw y Gynadledd, gan gymell ymdrech egniol ac uniongyrchol ar eu rhan. Gwnaed hyn, ac os nad yw yr ysgrifenydd yn camgymeryd, arferwyd dylanwad llywodraethol hefyd. Gwedi hyn peidiodd y cais am gynorthwy, a rhoddwyd y pwnc heibio gan y papyrau. Ond nid yw y dirgelwch yn angenrheidiol mwyach. Yn awr, y mae y symudiad Stundiaidd yn cael ei ddadleu dros holl Rwssia, yn mhapyrau gwladyddol ac eglwysig y wlad, tra y mae y llywodraeth, er yn fynych yn cael ei chymell yn daer gan yr offeiriadon Groegaidd i amddiffyn eu heglwys, yn condemnio fel yr ymddengys, unrhyw weithrediadau gorfodol yn erbyn y darllenwyr Beiblaidd diniwaid.

Dengys hanes y bobl hyn yn ystod y blynyddau diweddaf, iddynt ddyoddef llawer iawn o erlid, o achos eu hymlyniad wrth y Beibl. Rhoddir hanes am ddau frawd, yn Gorphenaf, 1872, a dau gwpwl arall a chwaer ieuanc yn cael eu carcharu gan yr Archoffeiriad. Yn mhen amser symudwyd hwy i garchar y llywodraeth, yn yr hwn le yr ydoedd yn eu haros, berson neillduol o selog o'r un daliadau, o'r enw Balabau.

Y bobl hyn a elwir Stundiaid, nid ydynt meddir ond Bedyddwyr o dan enw arall. Efallai y byddai yn well dyweyd gair am yr enw. Y gair Germanaidd *Stunde*, yn wreiddiol a dybia *awr* yn unig, ond defnyddir ef hefyd am gyfarfodydd crefyddol a gynelir y tu allan i'r Eglwys Sefydledig, gan fod y cyfryw yn gyffredin yn parhau am awr. Yn y ffordd hon, daeth o amgylch i fynychwyr y cyfarfodydd i gael eu galw yn Stundiaid gan y werinos Rwssiaidd. Nid yw *Stundiad* o *angenrheidrwydd* yn tybio Bedyddiwr, ond y mae yn ddealladwy eu bod yn meddu golygiadau bedyddiedig. Mae yr holl symudiad yn ffafriol i ni, ac nid yw ryfedd, pan gofir fod yr Eglwys Roegaidd, yn arfer bedydd trwy drochiad hyd yn bresenol, a bod y Testament Rwssiaidd yn cael ei wasgaru yn fawr yn mhlith y Rwssaid. Y mae llawer yn ymuno a hwy, ac yn cael eu bedyddio trwy suddiad, ac ar broffes o'u ffydd. Llwyddo wnelont.

*Rhodd Deilwng o Efelychiad.*—Ysgrifena cyfranydd at drysorfa y *Missionary Union*, o Kansas, fel hyn: "Wyf yma yn amgau $10 at Genadaethau Tramor. Nid wyf yn gwybod nad hon fydd yr olaf oddiwrthyf fi, gan fy mod yn awr yn 70 o flynyddau oed. Ond os byddaf byw, gwnaf yr hyn a allaf. Fy elw blynyddol sydd yn fychan, dim ond yn nghylch $250. Yr wyf yn unig gyda golwg ar freintiau eglwysig. Nid wyf wedi bod mewn cyfarfod o'r Bedyddwyr er's tair blynedd. Mae amryw Fedyddwyr yn y gymydogaeth, ond dim pregethwyr, ac nid ydym yn alluog i dalu am un. Mae eglwys oddeutu saith milltir oddiwrthym mewn un cyfeiriad, ac un ddeg milltir mewn cyfeir-

iad arall; ond nid oes genyf un ceffyl, ac ni allaf adael cartref." Deg dolar at Genadaethau Tramor, allan o elw blynyddol o $250! Beth pe byddai eraill yn rhoi yn gyfartal?

*Japan.*—Yn ninas Tokio, Japan, dywedir fod 10,000 o bobl yn mynychu y cynulliadau cenadol. Mae y cyfnewidiadau ydynt yn cymeryd lle yn yr ymerodraeth boblog hono, yn parhau i fod yn llawn o gefnogaeth i Gristionogion.

*Cæsarea.*—Mae y fintai o ddeg ar hugain Protestaniaid yn Cæsarea wedi cynyddu o fewn yr ugain mlynedd diweddaf, i gyfundeb o 2,500, mewn rhan helaeth drwy lafur Mrs. Farnsworth, perthynol i'r *American Board.* Y mae cynydd mwy wedi bod ar genadaeth Cæsarea yn ystod y flwyddyn a aeth heibio, nag yn y pum mlynedd blaenorol, er i'r orsaf hono fod yr un mwyaf llwyddianus yn Twrci.

—Mae blwyddyn arianol y *Missionary Union* wedi diweddu ar y dydd ddiweddaf o Fawrth. Yn y misoedd diweddaf y mae cryn ysgrifenu a chymell wedi bod, er cael yr eglwysi i ymdrechu casglu a chyfranu, er gwneyd y diffyg i fyny yn y drysorfa. Yr oedd yn rhaid ychwanegu y cyfraniadau, neu leihau y treulion yn fawr, yr hyn fuasai yn peri i lafur blaenorol fyned yn ofer. Dysgwylir modd bynag, y bydd y derbyniadau yn ddigon i gyfarfod y gofynion.

## ADOLYGIAD Y WASG.

UNDEB YR EGLWYS YN NGOLWG Y GWYNFYD DYFODOL, *gyda Myfyrion Dyddanol ar Destynau Ymarferol Eraill. Gan* EVAN EVANS (*Ap Ieuan*). Dolgellau: Argraffwyd gan D. H. Jones. 1876.

Y peth cyntaf a ddywedwn am y farddoniaeth ag sydd yn y gyfrol hon yw, ei fod yn bell o fod yn dwyn tebygolrwydd i *reffynau llac*, diafael, a geir yn fynych yn y dyddiau hyn o dan yr enw barddoniaeth. Gellid meddwl oddiwrth orchest-weithiau amrywiaethol, cynghaneddol, ehediadol, rhai awdwyr, nad oes dim yn anhawdd yn perthyn i'r barddoni yma. Teimlant hwy (eu hawdwyr) mor galonog, heinyf, a didrafferth wrth redeg ar hyd y llinellau meithaf, fel y gellid yn ddigon naturiol dybied nad oes dim yn hawddach na chwareu â'r Awen. Yn y gwaith hwn y mae ol llafur, myfyrdod, meddwl, ac adfeddwl, cynllunio a thacluso, fel y mae ffurf a golwg y gyfrol yn ddarlun o ddestlusrwydd ei chynwysiad. Mae yn wir nad oes yma yr aruchel, yr ysblenydd, y llednais, y perlewygol—dim llawer o'r hyn sydd yn ysbrydoli yr ysbryd, yn hoewi y dychymyg, yn lleddfu y teimladau, ac yn deffroi y serchiadau; hyny yw, yn peri i'r cyneddfau yna dori allan o'u cwrs cyffredin, fel afon dros ei glanau, neu fel yr awel yn ysgythriad y corwynt, na chwaith fel yr ufel yn y daran gref. Yn y rhagymadrodd dywedir, "Protestiad ydyw rhan fawr o'r gyfrol yma yn erbyn ymorphwyso ar unrhyw ffurf o adddoliad, neu ar restr o gredoau," &c. Protestia hefyd yn eofn yn erbyn meddwdod, ffug-alarnadau, a Dic-Sion-Dafyddiaeth. Deallwn na phrofodd yr awdwr ddiod feddwol er's tua 40 mlynedd yn ol, a'i fod yn un o'r rhai cyntaf i ardystio llwyr-ymwrthodiad. Nid ydym yn hollol gyd-olygu ag ef yn ei brotestiad yn erbyn "ffurf o addoliad," neu yn hytrach yn erbyn crefydd mewn gwrthgyferbyniad i dduwioldeb, ac eto mae yn odli gwirionedd digon cywir pan y dywed am y pechadur, mai

> "Goreu peth yw y Gair pur
> Iddo weled ei ddolur."

Y prif gyfansoddiad yn y llyfr ydyw "Undeb yr Eglwys." Y mae y darn hwn ar ffurf awdl. Er mai "ychydig fesurau a ddefnyddiwyd" ynddi, eto y mae y mesurau a ddewiswyd yn cael eu defnyddio yn bur gywir. Tybiwn er hyny fod yr awdwr yn rhagori nid ychydig, pan yn y rhanau dilynol yr ymollynga gyda ei awen i'n dysgu yn y "mesurau rhyddion." Mae tuedd yr holl lyfr trwyddo yn dda, ac yn ddiau yn fwriadol felly. Moes-wersi ar gân ydyw y llyfr o'r dechreu i'r diwedd.

Nid ydyw hyd yn nod y rhanau "difyrol" yn amddifad o'r elfen foesol a rhinweddol. Yn ol a ddeallwn, nid yw yr awdwr yn "gymeriad cyhoeddus," ond yn llenor o chwaeth ac ymarferiad, ac wedi bod yn meddu ei ddysgyblion yn y cymeriad hwnw. Awgrymwyd i ni, fod Ap Ieuan yn berthynas i'r diweddar enwog Nicander—ac ni ellir casglu yn wahanol oddiwrth y gwaith dan sylw. Da fuasai genym gael ychwaneg o hanes yr awdwr. Dengys yn y dystawrwydd am dano ei hun, wyleidd-dra teilwng o fab yr awen. Yr ydym yn casglu mai un o feirdd bryniau Meirionydd ydyw.

Mae y Rhagarweiniad gan ei fab; yn mhlith pethau eraill dywed, "Cyfansoddwyd y rhan fwyaf o'r rhai hyn yn ystod y deng mlynedd diweddaf, *ac wedi i fy nhad golli ei olwg*." Bydd cofio y ffaith yna, yn fantais i werthfawrogi y cynyrchion.

---

## NODION AMRYWIAETHOL.

### ENGLYNION

**A gyfansoddwyd ar dderbyniad llythyr yn ddiweddar oddiwrth fy nghyfeill J. EVANS (*Mathrafal*), Youngstown, O., yn yr hwn y crybwylla am enedigaeth merch fechan yn y teulu. Gelwir hi yn HELEN BERTHA EVANS.**

**Mae iaith ryfedd gan Mathrafal,—amlwg**
**Fod ei deimlad yn feddal;**
**Moeth ei ddawn, a metha ddal,**
**Aur wenau byd yr anial.**

**Ei lythyr dystiolaetha—yn frawdol**
**Y brwdfrydedd brofa;**
**Mewn hwyl, O! fel mwynha,**
**Y brawd, ei ddynsawd ddawnsia.**

**Yma dywed, "Imi deuodd—iach fyw**
**Ferch fach fwyn, yn fawr rodd;**
**Mwyn y wraig a'm hanrhegodd,**
**Y fi mwy wyf wrth fy modd."**

*Coalburgh.*—Cynaliwyd cyfarfod ymadawol i'r brawd R. F. Richards, ar ei ymadawiad o'n plith fel deiliad o'r Ysgol Sul, ac aelod o'r eglwys, i Church Hill. Digon yw dyweyd fod un ffyddlawn a diwyd wedi ymadael. Cyfarfuasom ar nos Lun, Mawrth 19, i adrodd a chanu darnau chwaethus a buddiol. Llywyddwyd y cyfarfod gan ein parchus weinidog Charles Jones, a rhoddodd anerchiad byr a phwrpasol i'r ieuenctyd lluosog a hawddgar oedd wedi dyfod yn nghyd. Yna canodd cor bach y capel, yr hwn fu'n gwsanaethu drwy'r oedfa, dan arweiniad y brawd W. D. Jones. Ac yn ystod y cyfarfod bu amryw yn canu yn bersonol, megis Thomas J. Lodwick, a'r ddwy chwaer Mary Ann ac Elizabeth Jane Evans, a D. Vaughan, "Y bwthyn yn nghanol y wlad." Yna deuwyd at waith y cyfarfod, sef cyflwyno yr anrheg gan y Llywydd i'r brawd Richards, yr hon oedd yn gynwysedig mewn tri o lyfrau ardderchog, sef *Cruden's Concordance*, a dwy gyfrol o'r *Biblical Museum*. Yna adroddodd ychydig o'i deimlad, gan ddymuno llwyddiant y gwahanol gangenau y bu ef yn ymwneyd a hwynt, sef y canu, yr adrodd, a'r areithio; ac yn cymell yr ieuenctyd i ddadlenu eu galluoedd, i'r dyben o wneyd daioni yn y byd. Yna cawsom dair o anerchiadau gan frodyr; ac yn canlyn hyn canodd W. D. Jones, "O tyr'd yn ol;" ac i ddiweddu canodd y cor, "Tu draw i'r Afon," (o Swn y Jubili). Ac i goroni y cwbl, yr oedd pawb yn teimlo wedi eu boddloni wrth fyned adref.—*Un oedd yno.*

*Remsen, N. Y.*—Dymunaf gyflwyno fy niolchgarwch gwresocaf i drigolion y pentref hwn a'r cylchoedd, am eu caredigrwydd a'u hynawsedd tuag ataf, a'u rhoddion haelfrydig yn y *donation* rhagorol a gymerodd le Mawrth 7, 1877. Diolchwyf o galon i'r eglwys am ei pharodrwydd a'i hunfrydedd; i'r *committee* am eu hymdrech a'u prydlondeb, a'u trefnusrwydd; ac yn arbenigol i'r boneddigesau ffyddlon. Teimlwyf yn wir ddiolchgar hefyd i Mr. Dawson am fenthyg yr Hall fawr gyfleus, yn rhad ac am ddim, yn nghyd ag i Mrs. Dawson a'r teulu oll, am drefnu pob peth mor gysurus. Cyflwynodd T. D. Prichards, dros y *committee*, y cyfrifon i mi y dydd canlynol, a chawsom fod yr elw rhydd wedi talu pob costau, yn cyraedd y swm anrhydeddus o $125.75. Mae yn deilwng i mi hysbysu ein bod wedi derbyn amryw ddoleri wedi'r

*donation*, yn nghyd ag amryw roddion gwerthfawr; a chan eu bod yn parhau i ddyfod, mae yn anhawdd i mi nodi y swm ychwanegol ar yr adeg br...enol. Dichon y cawn gyfle i wneyd hyny yn hysbys eto. Mae Mrs. Jones a minau yn dymuno ar i'r oll o'n didwyll gyfeillion dderbyn ein diolchgarwch gwresocaf a mwyaf gwirioneddol, yn nghyd a'n dymuniadau goreu.—*J. Seth Jones.*

*Plymouth, Pa.*, Mawrth 18.—Chwanegwyd 31 at rif eglwys y Bedyddwyr yma yn ystod y tri mis diweddaf; ac y mae arwyddion fod y presenoldeb Dwyfol yn aros yn ein plith.—*Ed. Jenkins.*

*Church Hill, O.*, Mawrth, 21.—Mae yr eglwys Fedyddiedig yma, er gwneyd ymdrech deg, wedi methu llwyr glirio y ddyled ar eu capel, a hyny yn ddiau o herwydd yr amser caled. Y mae yn aros eto tua $80. Teimla yr eglwys yn wir ddiolchgar i bawb sydd wedi cyfranu; a hyderir y daw amser gwell yn fuan, pryd y trefnir rhyw gynllun llwyddianus er symud y baich.—D. T.G.

—Gwariodd yr *American Board* er ei sefydliad yn 1810, un miliwn ar bymtheg o ddoleri; ac anfonodd allan i waith Tramor 1149 o genadon. Yn bresenol mae yn yr ymerodraeth Dyrcaidd 150 o genadon anfonedig gan y Bwrdd hwn.

—Teimla eglwys y Bedyddwyr yn Everton, Lerpwl, yn llawen iawn eu bod wedi sicrhau gwasanaeth y Parch. Charles Davies, Bangor, fel bugail iddynt.

—Gwelwn fod y Parch. T. John, Aberdare, wedi cael galwad i eglwys y Bedyddwyr yn Siloh, Tredegar.

—A ganlyn yw y cynydd yn eglwys Hyde Park, Pa., am fis Mawrth: Bedyddiwyd pump, adferwyd chwech, a derbyniwyd pump drwy lythyrau.—E. Lloyd.

—Mae arferiad partioedd newydd briodi yn cymeryd mis, mwy neu lai, i fyned ar daith, a thrwy hyny yn rhoddi eu hunain yn agored i lawer o anghyfleusdra, yn cael ei gondemnio yn fawr yn y *Saturday Review*, Llundain. Dadleua fod yr arferiad yn tueddu i beryglu y serch dyfnaf, a'r dymer fwyaf tyner.

—Mae Dr. Williams newydd draddodi ei ddeuddegfed ddarlith. Ei destyn ydoedd, "Bedyddwyr y dyfodiant." Yr oedd hon yn un o'r rhai galluocaf o'r rhestr.

—Drwg iawn genym am drallod teulu caredig a pharchus Mr. Samuel a Mrs. Margaret Roach, gerllaw Dodgeville, Wisconsin. Cofiwn yn dda am y plant anwyl a gymerwyd ymaith gan angau mor ddisymwth. Mor heinyf a chwareus oeddynt pan oeddym yno ychydig fisoedd yn ol! Dysged y rhieni galarus dreiglo eu baich ar yr Arglwydd yn yr adeg ofidus hon a'u cyfarfyddodd.

—Traddododd Wendell Phillips ddarlith yn ddiweddar yn Philadelphia, pryd yr amlygai anghymeradwyaeth i weinyddiaeth Hayes tuag at y Deheu, yn defnyddio tynerwch, yn lle gorthrech.

—Mae yr eglwys Fedyddiedig Gymreig yn Nanticoke, Pa., lle mae'r brawd anwyl Ieuan Ddu yn gweinidogaethu, wedi ymneillduo o'r capel, gan adael y capel i'r brodyr Seisnig, ar yr amod iddynt dalu chwe' chant o ddoleri i'r Cymry am eu rhan hwy ynddo. Pregethodd y brawd Harris ar y Sul y 18fed o Fawrth, mewn *hall* eang a chyfleus, lle daeth cynulleidfaoedd lluosog yn nghyd. Bwriedir dechreu adeiladu addoldy newydd ar fyrder. Yr unig beth sydd yn peri digalondid, yw sefyllfa y gweithfeydd.

—Dymunol ydyw canfod yn yr Arlywydd elfenau teilwng o'i swydd. Mae Hayes eisoes wedi dangos, er ei fod yn meddu yr hynawsedd mwyaf, yn gyfryw na thry gyda phob awel, ac na chymer ei ddychrynu na'i droi yn ol gan bob gwrthwynebiad.

—Ymhelaetha y diwygiad dirwestol drwy y Gorllewin. Mae oddeutu 50,000 wedi tystio llwyrymwrthodiad yn Pittsburgh ac Alleghany.

# Y WAWR.

CYF. II.] MAI, 1877. [RHIF. 2.

## SAFON UNDEB CRISTIONOGOL.

GAN Y PARCH. W. M. EVANS, CATTARAUGUS, N. Y.

Mae llawer o siarad ac ysgrifenu wedi bod, ac yn bod, o barth Undeb Cristionogol, ond er y cwbl, parhau ar wahan dan amrywiol enwau, hyd yn hyn, y mae y rhai a broffesant eu hunain yn ddysgyblion i Iesu Grist. Meddylddrych tra rhagorol, teilwng o egwyddorion y gyfundrefn efengylaidd, ydyw cael undeb a chydweithrediad y teulu dynol yn mhob peth sydd dda. Un o brif amcanion Duw yn mhob goruchwyliaeth o'i eiddo, yn ei berthynas â dynion, ydyw eu cael i daflu o'r neilldu eu syniadau a'u hopiniynau eu hunain, a chymeryd eu llywodraethu gan un Deddf-Lyfr Dwyfol ac anffaeledig. I'r dyben hwn sefydlodd y Jehofa ddwyfollywodraeth (*theocracy*) ar y ddaear. Dewisodd genedl neillduol iddo ei hun, ac arweiniodd y genedl hono mewn modd gwyrthiol o dy y caethiwed, a rhoddodd un gyfraith i *reoleiddio* yr holl genedl. Felly yr un modd pan ddaeth ein Harglwydd Iesu Grist i'r byd, rhoddodd orchymynion pendant, a sefydlodd ordinhadau penodol i'w ganlynwyr drwy holl oesau y byd. Tra y cadwodd cenedl Israel y deddfau a'r gorchymynion fel y derbyniasant hwynt o law eu Duw-Frenin trwy Moses, cadwasant hefyd yn eu cyfanrwydd eglwysig a chenedlaethol. Dyna y cyfnod y cawsant ffafr ac amddiffyniad y Goruchaf; dyna dymor eu dedwyddwch, eu llwyddiant, a'u gogoniant. Ond pan osodasant ddefodau a thraddodiadau dynol yn lle gorchymynion Duw, ymranasant yn wahanol bleidiau a sectau crefyddol dan amrywiol enwau. Collasant yr heddwch a'r undeb oedd rhyngddynt gynt; ac yn lle bod yn arswyd a dychryn i genedloedd eraill, aethant yn wrthddrychau gwawd a dirmyg yr holl fyd. Er galar, y mae yr un ffaith yn gysylltiedig â hanes yr Eglwys Gristionogol. Tra y parhaodd canlynwyr Crist i ymlynu wrth symlrwydd yr efengyl, ni chafodd y *schism* melldigedig le i roi ei draed i lawr yn eu plith. Yn y cyfnod hwnw dywedasid am danynt, "A hwy beunydd yn parhau yn gytun yn y deml, ac yn tori bara o dŷ i dŷ, a gymerasant eu lluniaeth mewn llawenydd a symledd calon; gan foli Duw a chael ffafr gan yr holl bobl. A'r Arglwydd a chwanegodd beunydd at yr eglwys y rhai fyddent gadwedig."—Act. 2: 46, 47. Pan ymadawyd oddiwrth burdeb "y ffydd a roddwyd unwaith i'r saint," ac y mabwysiadwyd cynlluniau mympwyon dynol yn lle pethau dwyfol, ordeiniedig gan Ben yr Eglwys, daeth ysbryd ymbleidiaeth i fewn i gorlan yr Iesu fel ffrwd ddinystriol o wlad y tywyllwch tragywyddol. Wele y praidd mewn canlyniad, yn ymwasgaru yn amrywiol ddosbarthiadau, gan gyfeirio eu saethau gwenwynig, nid at ben y ddraig hudoliaethus, prif elyn dynoliaeth, ond at eu gilydd! A gwneir hyn *eto* ysgwaetheroedd, i raddau mawr, a hyny o dan

faner Tywysog Tangnefedd a Brenin Hedwch !!

Gwag-dybia rhai fod yr ymraniadau hyn yn fanteisiol i ledaeniad egwyddorion y Testament Newydd, a theyrnas yr Immanuel. Pa le y ceir sail i'r dŷb hon nis gwyddom, eithr credwn nad ydyw yn yr Oraclau dwyfol. Gweddïai Crist am i'r dysgyblion fod yn un, fel y gallent, trwy hyny, fod yn offerynau cymhwys i ddychwelyd y byd at Dduw: "Ac nid wyf yn gweddïo dros y rhai hyn yn unig (sef yr apostolion), eithr dros y rhai hefyd a gredant ynof fi trwy eu hymadrodd hwynt, fel y byddont oll yn un; megys yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni: fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i."—Ioan 17: 20, 21. A byddai yr apostolion yn eu hepistolau at yr eglwysi, bob amser, yn eu hanog i garu eu gilydd, ac i fod mewn undeb a chydweithrediad â'u gilydd. "Gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr ysbryd yn nghwlwm tangnefedd." Dyma iaith Paul wrth yr Ephesiaid.

Mae llawer cynyg wedi ei wneyd gan ddynion da, o blith yr holl enwadau crefyddol, i atal ymraniadau eglwysig, ac i gael y byd Cristionogol yn fwy unol; ond y mae pob ymgais, hyd yn hyn, wedi profi yn fethiant. Mae Cyffesion Ffydd wedi methu. Mae y rhai a fabwysiadodd Gyffes Ffydd Westminster, wedi myned er's amser maith yn bleidiau rhanedig, er mai tua'r flwyddyn 1643, y cyhoeddwyd hi gyntaf. Y mae yn yr Eglwys Sefydledig yn Mhrydain, heddyw, amryw bleidiau, megys Efengylwyr a Defodwyr, &c.; ac ergydiant yn llym at eu gilydd o'r pwlpudau, a thrwy y wasg. Mae Cyffesion Ffydd y Presbyteriaid a'r Wesleyaid (sef Pregethau J. Wesley), hefyd, wedi methu â'u cadw rhag myned yn rhanedig. Gellir dywedyd yr un peth am y Bedyddwyr, fod eu Cyffes Ffydd yn rhwymyn rhy wan i'w cadw gyda'u gilydd yn un cyfan-gorff. Rhaid cael rhywbeth heblaw hyn i sicrhau undeb parhaol. Teg yw nodi yma, mai ein harwyddair fel cyfenwad ydyw, "at y Gair ac at y dystiolaeth." Yr ydys yn foddlon sefyll neu syrthio wrth Y GAIR mewn eglwysi Bedyddiedig.

Pan gyhoeddwyd y Gyffes Ffydd gyntaf gan y Bedyddwyr, sef gan y saith cynulleidfa yn Llundain, yn 1643, gofalwyd crybwyll y pryd hwnw, eu bod yn benderfynol o ymlynu wrth y Gwirionedd, hyd yn nod ar y draul iddynt oddef merthyrdod. Wele eu geiriau:—"But if any man shall impose upon us anything that we see not to be commanded by our Lord Jesus Christ, we should in his strength, rather embrace all reproaches and tortures of men; and if it were possible, to die a thousand deaths rather than do anything against the truth of God, or against the light of our own consciences."

Dyna i ti, ddarllenydd, benderfyniad o blaid y gwirionedd dwyfol, teilwng o wroldeb Cristionogol. Cynyg lled dda at undeb oedd ffurfiad yr *Evangelical Alliance;* a chynyg da ydoedd eiddo y brawd Mr. Rowlands, o Whitesboro, N. Y.; sef, amcanu penderfynu y ddadl ar dir *Ieithyddol* ac *Hanesyddol*. Ond, y mae arnaf ofn fod caddug rhagfarn ddall-bleidiol yn rhy nerthol, fel nas gall y naill na'r llall o'r cynlluniau hyn, ar hyn o bryd, fod yn ymarferol. Gan fod Cristionogion mor ranedig, y gofyniad naturiol yw, Pa beth a wneir? Ai bod yn dawel a digyffro, gan ddysgwyl y daw gwawriad y milflwyddiant a phethau i drefn? Ni fyddai hyny ond dysgwyl effaith heb achos. Ai ynte ymddiried y pwnc i nifer benodol o ddysgedigion i'w benderfynu; ac yna, fod pob enwad i ymdoddi i'r cynllun a dynir allan ganddynt hwy. Credwyf pe gwnelid felly, y byddem yn fuan can belled ag erioed oddiwrth ein gilydd. Paham yr ymboenir cymaint i geisio tynu allan fesurau, ac i ddyfeisio cynlluniau i gael yr eglwys i'w hunoliaeth cynhenid? Ai syched am enwogrwydd, trwy gael yr enw o roddi bodolaeth i ddrychfeddwl, a allai drwy ei weithio allan, gylymu y byd Cristionogol mewn undeb trwyadl? Hyderwn mai nid dyma yr achos o'r holl ddamcaniaethau a wneir.

Gellid meddwl weithiau, wrth ym-

ddygiadau rhai dynion, fod yr Eglwys Gristionogol wedi cael ei gollwng allan fel llestr ar fôr garw a thymestlog amser, heb na chwmpawd na llyw ar ei bwrdd, a'i bod yn hollol at drugaredd y tonau. Na chamsynier, y mae y *Chart* anffaeledig yn ein meddiant, ac eisiau dilyn ei gyfarwyddiadau sydd arnom, yna daw y byd crefyddol i'w le. Nid yw yr Anfeidrol wedi ein gadael yn amddifad o gynllun undeb eglwysig a Christionogol; eithr i'r gwrthwyneb. Cawn y cynllun yn berffaith yn y Testament Newydd. Myn Duw y gogoniant am dano iddo ei hun.

*Os ydym am gael Undeb Cristionogol, rhaid cymeryd y Beibl yn unig, yn safon i'n holl ymarferiadau crefyddol.* Nid barnau dynion ffaeledig, gan nad pa mor ddysgedig bynag y byddont, sydd i fod yn sail ffydd ac ymarweddiad y credadyn. "Chwiliwch yr Ysgrythyrau, (ebe Crist), canys ynddynt hwy yr ydych chwi yn meddwl cael bywyd tragywyddol: a hwynt-hwy yw y rhai sydd yn tystiolaethu am danaf fi." Y Beibl ydyw y *magnet* sydd i at-dynu llwythau gwasgaredig Israel Duw at eu gilydd. Os na wna hwn, nid oes un gallu arall yn y nef na'r ddaear a fedr lwyddo.

*Dylid siarad am bethau yr efengyl yn iaith a thermau y Testament Newydd, yna darfyddai y Shibboleth bresenol sydd mor ddyeithr i Air y Gwirionedd.* Wrth siarad yn yr un iaith, a'r un geiriau ysbrydoledig, byddwn yn sicr o ddyfod yn nes at ein gilydd nag ydym. Bu cymysgiad yr iaith wreiddiol, yn Nhŵr Babel, i amrywiol dafod-ieithoedd, yn foddion i wasgaru lluoedd o wastadedd Sinar. Chwilfriwiodd hyn eu hundeb a'u cyd-weithgarwch, ac attaliodd hwynt i gario allan eu hamcanion uchelgeisiol. Mae gwahaniaeth iaith yn achosi pellder rhwng y naill berson a'r llall mewn ystyr gymdeithasol. Rhaid cyfaddef fod math o Dwr Babel wedi cymeryd lle yn y byd Cristionogol—pob sect yn siarad i raddau yn ei hiaith ei hun, ac nid yn ngeiriau cysefin yr efengyl. Dyma un achos o'r pellder, yr oerfelgarwch, a'r rhagfarn a fodola rhwng enwadau a'u gilydd. Os ydyw y gorchymyn i ddaenel'u babanod yn eiriau Beiblaidd, (?) dyweder hyny yn eglur a diamwys; a chyfeirier i'r fan lle y maent yn ddiofn, fel y gallo pawb eu gweled. Neu, os nad oes y fath eiriau yn Neddf-Lyfr yr Eglwys Gristionogol, paham yr ymdrechir cymaint i ddal i fyny y fath ddefod? O ba le eto, y daeth y geiriau *Cymundeb Caeth* a *Chymundeb Rhydd?* Nid ydynt i'w cael yn ngeiriadaeth y Testament Newydd. Ni wyddai Iesu Grist, Paul, na Phedr, na neb o'r apostolion am y fath dermau. Ni feddyliasant hwy am i neb gymuno ond credinwyr bedyddiedig; o ganlyniad, rhaid mai rhywun a dybiai ei hun yn fwy a doethach na'r Deddf-Roddwr ei hun, *fathodd* y cyfryw dermau anysgrythyrol. Cyn y ceir undeb dwfn, sicr, a pharhaol, rhaid i bawb a alwant eu hunain ar enw Crist arfer ei eiriau, a'u gweithio allan. "Os aroswch chwi yn fy ngair i, dysgyblion i mi ydych yn wir."—Ioan 8: 31. Dysger ac arferer iaith y Beibl mewn materion crefyddol, a daw pawb i ddeall eu gilydd yn well, a buan y gwelir y rhwygiadau wedi eu hadgyfuno.

*Er cael Undeb Crefyddol, rhaid i bawb chwilio a barnu drostynt eu hunain.* Mae lle i ofni mai ychydig mewn cymhariaeth sydd yn talu y sylw dyladwy i'r pwnc hwn. Gwaith caled yw chwilio yn fanwl, a myfyrio yn ddwys a difrifol, ar bwnc mor bwysig a sylfaen ein ffydd a'n gobaith am fywyd tragywyddol. Hwyrach fod llawer heb feddwl nemawr drostynt eu hunain, yn benboeth wyllt dros eu sect, ac yn llawn rhagfarn at bob enwad arall. Y mae y cyfryw yn fath o *dwarfs* crefyddol; nid ydynt yn ddigon tal i edrych dros glawdd eu henwad eu hunain. Nid yw eu crefydd wedi costio awr o fyfyrdod iddynt erioed. Gwrandawant ar Morris y Teiliwr, Tomos y Crydd, a Shon y Gof, oblegid cydnabyddir hwynt yn gallach, ac yn fwy gwybodus na phawb arall yn yr ardal. A pheth bynag fyddo barn y tri hyn, dyna wrth gwrs fydd barn y lleill. Dylid dilyn esiampl y Bereaid gyda pheth mor annhraethol bwysig a mater enaid; sef, "Chwilio beunydd yr Ysgrythyrau a yw y pethau hyn felly."

Mae llawer o broffeswyr achyddol i'w cael, perthynant i'r enwad hwn, neu'r enwad arall, nid am eu bod yn argyhoeddedig mai dyna'r enwad agosaf at y gwirionedd, eithr yn unig am fod eu hachau yn perthyn i'r cyfryw enwadau o'u blaen. Dyma y dosbarth anhawddaf i ymwadu ag enwadaeth er mwyn y gwir. Ysgyrnygant ddanedd fel yr Iuddewon Phariseaidd, ar y sawl a feiddia yngan gair yn erbyn eu henwad hwy. Anwybodaeth ydyw un o brif golofnau enwadaeth crefyddol. Nid ellir ymddibynu ar olygiadau ein dynion enwog a phoblogaidd.

Yr oedd dyn yn ddiweddar yn Chicago, yn teimlo awydd i uno â chrefydd, ond methai benderfynu at ba sect yr elai; gogwyddai ei feddwl yn benaf at y Bedyddwyr, a gofynodd gyfarwyddyd yr enwog Mr. Moody ar y mater. Gofynodd Mr. M. iddo, "Faint o ffordd oedd o Chicago i Milwaukee?" Atebodd yntau mai 87 milldir. "Pa faint sydd gyda'r dw'r yno?" ebai Mr. M. "Tebyg yr un faint," oedd yr ateb. "Wel, ar ol i chwi gyrhaedd Milwaukee," ebai Moody, "ni fydd o gymaint gwahaniaeth pa ffordd yr aethoch yno." Dylasai y byd-enwog Mr. Moody gofio mai un ffordd sydd yn arwain i'r nefoedd. "Myfi yw y ffordd," nid ffyrdd. "Ffordd (nid ffyrdd) newydd a bywiol." Mae gan ddynion eu ffyrdd; ond un ffordd sydd gan Dduw. Rhaid i ddynion adael eu ffyrdd, a dewis ffordd Duw, os ydynt am nefoedd. Mae dirfawr wahaniaeth rhwng diwygwyr yr oes bresenol, a diwygiwr mawr cymanfa dydd y Pentecost—Pedr—yn eu cyfarwyddiadau i bechaduriaid edifeiriol. Pan lefodd y tair mil allan dan ddylanwad dwysbigiad y galon, "Ha wyr frodyr, beth a wnawn ni?" atebodd Pedr—"Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau, a chwi a dderbyniwch ddawn yr Ysbryd Glan." Dyma fel y dylid ateb yr ymofynydd pryderus eto. Chwiliwn a barnwn drosom ein hunain; ac os yn chwilwyr gwirioneddol, bydd Duw yn sicr o ofalu am rywrai fel Pedr neu Phylip i'n cyfarwyddo i'r iawn ffordd. Mae eisiau mwy o annibyniaeth meddwl, a llai o ragfarn sectyddol wrth chwilio mwnglawdd y gwirionedd dwyfol am sylfaen gadarn i ffydd, yn lle ymfoddloni ar hongian ein credo ar Gyffesiau Ffydd, a chredoau dynol. Os gwneir hyn, ceir gweled pob enwad yn ymdoddi i ffurf ogoneddus Eglwys Crist, trwy gydgyfarfod mewn undeb trwyadl yn nheml orwych Gair Duw.

*Prif safon fawr Undeb Cristionogol ydyw Unoliaeth yr holl Gredinwyr yn Nghrist, Pen yr Eglwys.* Mae'r undeb hwn yn seiliedig ar gyflawniad deisyfiad y Gwaredwr. "Ac nid wyf yn gweddio dros y rhai hyn yn unig, eithr dros y rhai hefyd a gredant ynof fi trwy eu hymadrodd hwynt, fel y byddont oll yn un; megys yr wyt ti y Tad ynof fi, a minau ynot ti; fel y byddont hwy yn un ynom ni: fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i." Mae undeb hanfod rhwng y Tad a'r Mab; nis gall hwn fod yn gyfranogol; ond y mae ystyr yn bod ag y gall y saint gyfranogi o'r undeb dwyfol hwn. Mae y Tad a'r Mab yn un mewn cariad, ewyllys, ac amcan. Trwy ddod i undeb ysbrydol a'r Mab trwy ffydd, deuwn yr un pryd, drwy y Mab, i undeb ysbrydol a'r Tad; ac yn y dull yma deuwn i undeb ysbrydol a thragywyddol a'n gilydd; fel cangenau bywiol o'r un winwydden, aelodau o'r un corph dirgeledig, a meini bywiol a chaboledig yn yr un deml sanctaidd. Dyma undeb cymhlethedig gan yr Ysbryd Glan; ac nis gall ysbryd plaid, na holl gyfrwysdra y diafol byth ei ddatod. Pan gydgyfarfyddo yr holl fyd crefyddol ar y *platform* apostolaidd, yna gellir dyweyd am yr Eglwys Gristionogol yn ngeiriau Milton:—

"*One kingdom, joy, and union without end.*"

Ni ddaw yr eglwys yn "ŵr perffaith," hyd onid unir ei holl aelodau yn undeb ffydd. Mal hyn y deallai Paul y pwnc hwn:—"I berffeithio y saint i waith y weinidogaeth, i adeilad Corph Crist: Hyd oni ymgyfarfyddom oll yn undeb ffydd, a gwybodaeth Mab Duw, yn wr perffaith at fesur oedran cyflawnder Crist: Fel na byddom mwyach yn blantos yn bwhwman, ac yn ein cylch-

arwain â phob awel dysgeidiaeth, trwy hoced dynion, trwy gyfrwysdra i gynllwyn i dwyllo."—Eph. 4: 12—14. Nid ydyw undeb trwy benderfyniadau cynadleddau cymanfaol yn werth dim, oddieithr ei fod yn seiliedig ar "undeb ffydd." Gallwn fod yn aelodau o undebau o wneuthuriad dynol, ac eto, fod can belled oddiwrth ein gilydd, yn ysbrydol, ag yw y dwyrain oddiwrth y gorllewin.

Crist fel Pen yr Eglwys yw ei hunig lywodraethydd. Efe yn unig sydd yn meddu hawl i wneuthur deddfau, ac i osod ordinhadau yn yr eglwys. Un Pen, ac un corph, ac un reol yw ewyllys y Nefoedd. Byddai dau ben ac un corph yn anghenfil, ac felly un pen a llawer o gyrph. Un corph dirgeledig sydd gan Iesu, sef yr eglwys, ac un Pen sydd gan yr eglwys, sef Crist. Pe b'ai llai o benau yn ymgymeryd arnynt i wneyd deddfau i lywodraethu Corph Crist, y mae yn sicr, y delai aelodau y Corph hwnw yn fwy unol a'u gilydd. Syniad Crist o undeb, yw undeb y pren a'r cangenau, a'r undeb a fodolai rhyngddo ef a'r Tad. Syniad Paul o undeb yw, undeb yr aelodau a'r corph, undeb y corph a'r pen, ac undeb y gwr a'r wraig. "Y dirgelwch hwn sydd fawr; eithr am Grist ac am yr eglwys yr wyf fi yn dywedyd." Rhaid i bawb a gyfenwant eu hunain yn ganlynwyr i Grist deimlo nerth a dylanwad yr undeb ysbrydol hwn, mewn trefn iddynt fod mewn unoliaeth a'u gilydd. Trwy nerth ffydd yn Mab Duw, ac ufudd-dod i'w holl orchymynion, y mae dyfod i feddiant o'r undeb hwn, ac nid trwy nerth pwyllgorau daearol.

Y prif faen tramgwydd sydd ar ffordd enwadau eraill i ymuno a'r Bedyddwyr yw y bedydd, yn ei ddull a'i ddeiliaid. Gwahaniaethant i ni yn eu golygiadau ar Natur Eglwys Crist, yn nghydag amodau aelodaeth ynddi. Dywedir ein bod yn rhoddi gormod o bwys ar fedydd, &c.; eithr credwn fod genym sail dda i gredu na roddir mwy o bwys arno nag a osodwyd gan Grist a'i apostolion. Os dywedir mai seremoniau allanol, &c., yw y bedydd, pa beth, tybed, yw y cymundeb? Gellir gofyn, paham y mae y taenellwyr yn rhoddi mwy o bwys ar y swper nag ar y bedydd? Cedwir llawer o dwrw gyda golwg ar y blaenaf, tra yr iselheir ac y dibrisir yr olaf. Dywedir nad yw bedydd yn un o hanfodion iachawdwriaeth; ac am hyny, nad yw o nemawr bwys ar bwy na pha fodd y gweinyddir ef. Onid yw y ddwy ordinhad wedi eu sefydlu gan yr un awdurdod ddwyfol? Ac onid yw y naill mor rhwymedig a'r llall? Os chwilir y Testament Newydd yn fanwl, gwelir oddiwrth y cyfeiriadau aml a wneir at fedydd, yn nghyda'i arwyddocâd, fod y pwys mwyaf ynddo, mwy felly, o'r ddau, na'r swper. Ordinhad i'w gweinyddu ar y credadyn *unwaith* yw bedydd, tra y mae y swper i'w arfer yn aml; am hyny, dylid gofalu ei gwneyd yn iawn. Dywedir nad oes hawl i rwystro pwy bynag a ewyllysio gyfranogi o fwrdd y cymundeb, o herwydd mai bwrdd yr Arglwydd ydyw. Tynu muriau Seion yn gydwastad a'r llawr fyddai caniatau hyn. Credwyf fod nerth yr wrthddadl hon o'n tu ni, yn hytrach nag yn ein herbyn, Oblegid mai bwrdd yr Arglwydd ydyw, rhaid gofalu dilyn y cyfarwyddiadau neillduol a roddir mewn perthynas iddo. Yr unig ffordd uniawn a chyfreithlawn at fwrdd y cymundeb ydyw, trwy ufudd-dod i'r bedydd Cristionogol. Dyma'r cwbl a ofynir. Y mae y llwybr mor agored yn awr yn eglwysi y Bedyddwyr, ag oedd yn amser Crist a'r apostolion.

Pe gallai ein gwrthwynebwyr brofi fod rhywrai, yn yr oes apostolaidd, heblaw credinwyr bedyddiedig, wedi cyfranogi o'r swper sanctaidd, rhoddem y ddadl i fyny ar unwaith. Ond hyd nes gellir gwneyd hyn, yr hyn mewn gwirionedd sydd yn anmhosibl, penderfynwn gadw at y rheol ddwyfol. Mae cysondeb a'r Beibl yn hawlio hyn. Gan nad ydym yn ystyried taenelliad yn ddim ond defod ddynol ac anysgrythyrol, wedi dyfod i arferiad ganoedd o flynyddoedd ar ol sefydliad yr Eglwys Gristionogol, afresymol yw dysgwyl wrthym i wahodd y rhai nad ydym yn credu eu bod wedi cael eu bedyddio, at fwrdd yr Arglwydd. Dywedir ein bod

yn anfrawdol ac angharedig; cydnabyddem hyn pe teimlad fuasai ein rheol i weithredu wrthi; ond gan mai dilyn esiampl ein Meistr yr ydym, y mae'n well genym ddigio dynion na Duw. Prawf o'n cariad at yr Iesu ydyw ein bod yn cadw ei orchymynion. "O cherwch fi, cedwch fy ngorchymynion." Mae yr enwog Andrew Fuller, yn symio y ddadl hon i dri pheth:—(1). A ydyw bedydd yn angenrheidiol i gymundeb wrth fwrdd yr Arglwydd? (2). Ai trochiad ar broffes o ffydd yw bedydd? (3). Ar bwy y gorphwys y gwaith i farnu beth sydd yn fedydd—ar y sawl a fedyddir, neu ar yr eglwys, ai ar y ddau? Cydnabyddir y cyntaf gan y gwahanol enwadau; am hyny, nid yw yn bwnc o ddadl. Os amheuir yr ail, gellir dyweyd ein bod yn Fedyddwyr; ond nid Bedyddwyr caeth fel y'n gelwir. Gyda golwg ar y trydydd gosodiad, dylai yr ymofynydd am fedydd a'r eglwys ddyfod i gydolygiad. Fel bydd goleuni y gwirionedd yn ymledu, a hwnw yn ei burdeb cynhenid, fe symudir pob rhagfarn, a chulni sectyddol, a phawb a safant ar yr esgynlawr apostolaidd, sef "Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd." Un farn ac un galon ddylai fod yn Eglwys Dduw. Pan ddaw hyn i ben, gellir dyweyd gyda'r Salmydd: "Wele, mor hyfryd ac mor ddymunol yw trigo o frodyr yn nghyd." Ein harwyddair fyddo, "A Gair Duw yn uchaf;" a bydded,—"Fel hyn y dywed yr Arglwydd"—yn sail i'n holl weithrediadau eglwysig; ac yna, ceir undeb trwyadl a safadwy. Y mae gweddi yr Iesu am undeb eglwysig yn sicr o gael ei hateb; a gwnawn ninau ein rhan i gyflymu yr adeg hyfryd i ben, trwy ymdrechu am undeb sicr a pharhaol ar safon gadarn y gwirionedd.

---

[*O Seren Cymru.*]

## GEORGE MULLER.

Dyma un o'r dynion rhyfeddaf a fu yn y byd erioed, ac un o'r dynion goreu, yn ddiamheu, a sangodd ddaear er dyddiau yr apostolion hyd heddyw. Buom yn synu laweroedd o weithiau uwchben y ffaith fod y byd yn gyffredin yn gallu bod mor ddisylw o hono. Gwir fod llawer wedi ei ddyweyd a'i ysgrifenu am Muller; ond nid ydyw hyd yn hyn wedi derbyn haner y sylw a deilynga. Rhyfedd mor amddifad yw y byd o lygaid i weled a gallu i adnabod ei gyfeillion penaf! Y mae hanes ei ymddygiad trwy yr oesau tuag at rai o'r cymeriadau dysgleiriaf a welodd cymdeithas—cymeriadau nad oedd y byd yn deilwng o honynt, yn ddigon i brofi nad ydyw erioed wedi adnabod ond ambell un o'i gymwynaswyr goreu. Gyda phriodoldeb mawr y gellir dywedyd am lawer un fel y dywedodd ysgrifenydd ysbrydoledig am Iesu Grist, "Yn y byd yr oedd efe, a'r byd nid adnabu ef." Llawer o gyfoethogion y wlad hon sydd yn myned i gyfandir Ewrop a gwledydd eraill i weled henafiaethau a rhyfeddodau natur, pan y mae rhyfeddod annhraethol fwy yn eu hymyl. Rhyfeddod y rhyfeddodau yw yr *Orphanage* ar Ashley Down yn Bristol. Daw yr oes a'r oesau a ddêl i edrych arni felly. Y mae rhesymolion y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg yn byw yn rhy agos at George Muller i weled mawredd ei ffydd, ac yn rhy ddeillion i werthfawrogi ei esiampl ryfeddol o fyw egwyddorion y Testament Newydd.

Gwyr llawer o'n darllenwyr beth sydd yn hynodi George Muller. Nid ydyw yn ddeonglwr fel Owen; nid ydyw yn ddiwygiwr fel Luther; nid ydyw yn ysgrifenydd fel Melancthon; nid ydyw yn freuddwydiwr fel Bunyan; nac yn bregethwr poblogaidd fel Spurgeon; ond y mae yn fwy o lawer, mewn rhai cyfeiriadau beth bynag, nag un o honynt. Efallai mai yr hyn sydd yn ei hynodi fwyaf yw ei ffydd, ac y mae mawredd ffydd yn profi bodolaeth ei hunan gan fanylrwydd yr ufudd-dod a gynyrcha yn ngwyneb amgylchiadau a fyddant yn galw am aberth er iawndroedio yn ol y gwirionedd. Y mae Muller wedi rhoddi prawfion digonol o'i ffydd mewn amrywiol ffyrdd, ond yn fwyaf neillduol yn ei berthynas â'r tai i blant amddifaid. Cynwysa yr *Orphanage* bump o dai helaeth iawn, ac yn yr adeg yr ymwelodd yr ysgrifenydd

â'r sefydliad yr oedd yno tua dwy fil a haner cant o amddifaid, heblaw yr athrawon, yr athrawesau, y gweision, y morwynion, ac eraill sydd yn edrych ar ol y lle. Os ydym yn cofio yn dda, y mae dros £100 o arian yn angenrheidiol bob dydd er cario y sefydliad yn y blaen. Cofied y darllenydd fod yr *institution* yn cael ei gynal gan roddion a dderbynir mewn atebiad i weddi yn unig. Nid yw Muller, na neb o swyddogion y sefydliad, wedi gofyn am gymaint a cheiniog i neb yn uniongyrchol neu yn anuniongyrchol. Daw yr holl arian i'w law mewn canlyniad i'w ymorphwysiad ar ffyddlondeb Duw i'w addewidion, ac erfyniadau taerion ar Dduw mewn gweddi. "O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni." Pe buasai yn gyfreithlawn i wneuthur chwanegiad at y Beibl, buaswn yn dueddol i roddi adnod fach i mewn ar ddiwedd yr unfed-ar-ddeg o'r Hebreaid, rywbeth yn debyg i hyn:—"Trwy ffydd George Muller, pan oedd efe eto yn dlawd, a ddarparodd gartref i filoedd o blant heb dad a mam, gan gwbl gredu fod Duw yn dad i'r amddifaid."

Gan fod y Cristion dysglaer hwn yn gymeriad mor rhyfedd, nid annerbyniol, ond odid, gan y darllenydd fydd cael ychydig o hanes ei fywyd. Ganwyd ef yn Kroppenstadt, yn Prwssia, ar y 27ain o Fedi, 1805. Ei oedran felly yn bresenol yw 72. Cafodd addysg ragorol pan yn ieuanc. Bwriadwyd ef gan ei rieni i fod yn offeiriad yn yr Eglwys Lutheraidd, a derbyniwyd ef yn bur ieuanc yn aelod o Brif-ysgol Halle. Fel hyn y gwnaeth y Duw a ofalodd yn ei ragluniaeth am roi manteision i Moses yn llys Pharaoh, ac i Paul wrth draed Gamaliel, roi addysg i Muller, fel y byddai yn offeryn effeithiol i ddwyn gogoniant i'r Duw mawr a'i galwodd allan o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni Ef.

Fel Paul, bu yn enwog am ei ddrygioni yn flaenorol i'w droedigaeth, er nad mor enwog ag ef am ei ddaioni ar ol ei droedigaeth. Esboniad rhagorol yw ei fywyd ef ar y gair hwnw, "Lle yr amlhaodd pechod y rhagor amlhaodd gras." Byddai ei dad yn arfer rhoddi llawer o arian iddo pan yn blentyn. Ei amcan yn hyn oedd ei ddysgu i gadw arian heb eu gwario. Rhoddodd hyn fantais iddo i wario llawer ar wagedd yn foreu, a bu yn achlysur iddo ddywedyd wmbredd o anwireddau wrth ei dad pan yn rhoddi cyfrif am yr hyn oedd yn eisiau. Dywed yn hanes ei fywyd iddo ladrata arian y llywodraeth oddiar ei dad laweroedd o weithiau cyn ei fod yn 10 oed. Pan yn 16 oed dygwyddodd iddo fyned i Wolfenbüttel, lle y cytunodd am lety mewn *inn*. Bu fyw yn foethus yno fel pe byddai ganddo ddigon o aur ac arian i dalu am yr oll. Arosodd yn y lle am ddau ddiwrnod, gan edrych a dysgwyl am gyfleusdra i ddianc. Meddyliodd unwaith am fyned allan yn y nos drwy y ffenestr; ond yr oedd y llofft yn rhy uchel. Boreu y trydydd dydd aeth allan i'r *yard*, gan amcanu ffoi ymaith yn ddirgel. Ond ar ei waith yn myned, gwelwyd ef, a chafodd ei ddrwg-dybio. Rhoddwyd ef yn ngofal dau filwr, y rhai a'i cymerasant ef at yr heddgeidwad. Y canlyniad fu iddo gael ei fwrw i garchar. "Cefais fy hun yn awr" meddai, "yn mysg lladron a mwrddwyr, a derbyniais driniaeth gyfatebol." Bu yn ngharchar am yn agos i fis o amser. Yn lle cymeryd addysg oddiwrth ei garchariad, parhaodd yn ei annuwioldeb. Dywedai gelwyddau yn awr yn rhesi heb gymaint a gwrido wrth eu dywedyd. Cyflawnodd waeth pechodau ar ol dyfod allan o'r carchar na chyn myned i mewn, fel y mae yn anhawdd peidio teimlo wrth ddarllen ei lyfr, nad ydyw hanes ei fywyd hyd ei droedigaeth, amgen na hanes cruglwyth o weithredoedd pechadurus, er y teimlai yn bur drwm-lwythog yn ystod yr holl amser o dan bwysau euogrwydd cydwybod.

Ond fe ddaeth tro ar ei fywyd. Mae y gair "troedigaeth" yn llawn iawn o ystyr i George Muller. Felly yr ydoedd i Saul o Tarsus, a Bunyan o Bedford. Y person a fu yn offerynol yn llaw Duw i'w ddychwelyd oedd un o'r enw Beta. Yr oedd yr Alpha wedi ei ragluniaethu i fabwysiad cyn bod y byd. Yr oedd y

Beta hwn yn wrthgiliwr ac yn gyfaill mynwesol iddo. Un prydnawn Sadwrn, tua chanol mis Tachwedd, 1825, dywedai Beta ei fod yn arfer myned bob nos Sadwrn i dy Cristion, lle y cynelid cyfarfod gweddi, yn yr hwn y byddid yn darllen Gair Duw, yn canu, yn gweddio, ac yn darllen pregeth argraffedig. Wedi iddo glywed am hyn, teimlai fel un wedi cael gafael ar rywbeth y bu mewn ymchwiliad a hiraeth am dano. "Dymunais," meddai, "gael myned gyda fy nghyfaill, yr hwn a ymddangosai ar y cyntaf yn anfoddlawn i ganiatau i mi fy nghais. Gwyddai fy mod yn ddyn ieuanc gwyllt, o herwydd paham tybiodd na fedrwn fwynhau cyfarfod o'r fath." Galwodd Beta beth bynag am dano, ac aethant eill dau i'r cyfarfod yn yr hwyr. Gan na wyddai ddim am arferion credinwyr, a'r llawenydd a deimlant pan yn gweled pechaduriaid tlodion yn gofalu mewn rhyw fesur am bethau crefydd Mab Duw, gwnaeth ymddiheurad am fyned i'w plith. Dywed nad anghofia byth mo atebiad caredig un o'r brodyr. "Deuwch," meddai, "mor aml ag y mynoch. Mae y ty a'n calon yn agored i chwi." Ebai Muller, "*That evening was the turning point in my life.*" Cysgodd yn dawel y noson hono, a bu ei fywyd olynol yn dra gwahanol i'r hyn ydoedd yn flaenorol.

Y mae Muller wedi rhoddi digon o brawfion i'r byd o wirioneddolrwydd ei droedigaeth. Mae yr hyn a ddywedodd y bachgen dall am dano ei hun yn dra chymhwysiadol ato ef:—"Lle yr oeddwn i gynt yn ddall yr wyf yn awr yn gweled." Ychydig bersonau yn gymhariaethol sydd yn rhoddi chwareu teg i'r gydwybod i lefaru yn groew; ond y mae nifer y rhai sydd yn gweithredu yn unol ag argyhoeddiadau y gydwybod yn llawer llai. Saif Muller yn mysg y lleiafrif gogoneddus hwn. Ar ol bod yn y cyfarfod gweddi y cyfeiriwyd ato, gadawodd ei hen gymdeithion annuwiol, a rhoddodd i fyny fynychu y tafarndai, yn nghyd a'r arferiad o ddywedyd anwiredd. Tynodd y llygad, torodd y fraich, a bwriodd ymaith y glun dde. Rhaid bod yn foddlawn gwneyd aberth os ydym yn awyddus i foddloni Iesu Grist. Pan y cymerodd y cyfnewidiad hwn le yn ei fywyd, yr oedd wrth y gwaith o gyfieithu *novel* o'r *French* i'r *German*, fel y gallai gael arian i foddhau ei awydd am weled Paris. Ar ol gorphen y cyfieithiad, llawer gwaith y cyfryngodd yr Arglwydd yn ei ras er ei rwystro i werthu y *manuscript*. O'r diwedd, gwelodd fod yr holl waith yn bechadurus, a gwnaeth benderfyniad i beidio ei werthu, a llosgodd ef yn ulw. Mae cydwybod dda tuag at Dduw yn costio llawer i ddyn i fyned trwy'r byd, ond anmhosibl yw talu yn rhy ddrud am dani. Y gwirionedd hwn a gredai Muller, a gweithredai yn unol â'i grediniaeth. Yr oedd ganddo ragolygon gobeithiol iawn am le bras yn yr Eglwys Lutheraidd; ond fel Moses yn gwrthod ei alw yn fab merch Pharaoh, felly hefyd y rhoddodd yntau i fyny y rhagolygon hyny er mwyn ardderchawgrwydd gwybodaeth Crist.

Yn y flwyddyn 1829, daeth drosodd o Germani i Lundain. Heb aros yn hir yno, gadawodd y Brif-ddinas am Devonshire. Daethai yno o herwydd afiechyd a gawsai yn y Brif-ddinas. Ei gartref yn awr oedd Teignmouth. Yn ystod ei arosiad yno y deallodd mai Gair Duw a ddylai fod yn unig reol ffydd ac ymarweddiad i'r saint, a bod etholedigaeth, prynedigaeth neillduol, a pharhad mewn gras, yn athrawiaethau ysgrythyrol. Gwirionedd arall a argraffwyd yn ddwfn ar ei feddwl yn ystod ei arosiad yn Teignmouth ydoedd dychweliad yr Arglwydd Iesu. Fel y canlyn y llefara efe ei hunan ar y pen hwn:—"Yr oedd fy ngolygiadau ar y pwnc hwn hyd yr adeg hono yn dra thywyll ac anysgrythyrol. Yr oeddwn wedi arfer credu yr hyn a glywn gan eraill heb feddwl profi hyny erioed wrth y gair. Meddyliwn fod pethau yn dod yn well well o hyd, ac yn fuan y byddai i'r holl fyd gael ei ddychwelyd. Ond cefais allan yn y Gair nad oes genym un sail ysgrythyrol i ddysgwyl am ddychweliad y byd hyd ddyfodiad yr Arglwydd. Cefais allan hefyd yn yr ysgrythyrau, mai yr hyn a arweinia i mewn ogoniant yr eglwys a

llawenydd digymysg i'r saint fydd dychweliad yr Arglwydd Iesu, ac hyd hyny bydd pethau yn annhrefnus i raddau mwy neu lai. Gwelais hefyd mai ail-ddyfodiad Crist, ac nid marwolaeth, oedd gobaith y Cristionogion apostolaidd, ac mai gweddus i mi gan hyny, yw dysgwyl am ei ymddangosiad ef." Bu Muller yn faban-daenellwr selog hyd nes y darfu iddo gael ei argyhoeddi o gyfeiliornad, pan ar ei ymweliad â Sidmouth. Dygwyddodd fod yno ddwy chwaer yn dadleu ar y pwnc o fedydd, a galwyd ar Muller i benderfynu y ddadl rhyngddynt. Arweiniodd hyn ef i edrych i mewn i'r pwnc, a'r canlyniad fu iddo gael ei argyhoeddi. Wedi gweled ei gamsyniad, cymerodd ei fedyddio; a'i addefiad ef ei hunan yn awr yw, nad oes un athrawiaeth yn cael ei dysgu yn eglurach yn y Testament Newydd na bedydd y crediniol trwy drochiad. Mae hanes ei fedyddiad yn ddyddorol iawn; ac oni buasai ei fod yn rhy faith, buaswn yn ei roddi i mewn yma. Mae esiampl Muller wedi bod yn foddion i ddwyn rhai miloedd i ymofyn yr un peth.

GWILYM FFLUR.

O. Y. Cymerais y ffeithiau hanesyddol uchod allan o "*Narrative of some of the Lord's Dealings with George Muller.*" Mae hwn yn un o'r llyfrau mwyaf dyddorol ac adeiladol a ddarllenais erioed.—G. F.

---

## ANERCHIAD,

*Ar yr Achlysur o Ordeinio y Parch.* JAMES F. RICHARDS, *yn Church Hill, Ohio, Ion. 28, 1877.*

GAN Y PARCH. E. MORDDAL EVANS, PARIS, O.

[*Parhad.*]

V. *Cofiwch mai nid Gwas i bawb yw y Gweinidog.*—"Na fyddwch feistriaid lawer fy mrodyr."—Iago 3: 1.

Os y chwi sydd yn ei gynal, eich braint a'ch dyled yw hyny. Y mae syniad peryglus yn tarddu oddiar lygredd cymdeithas; hyny yw, yr ydych chwi yn cael eich talu am weithio, ac yr ydych dan rwymau i'r meistr, ac y mae y syniad hwn wedi dyfod i'r eglwys hefyd. Y mae cymaint o chwant ar ddynion i fod yn feistriaid mewn byd ac eglwys, fel y tybiant, os yw talu arian yn rhoddi hawl i'r meistr, y dylai yr hwn sydd yn talu i weinidog hefyd fod yn ben ar y gweinidog. Gweithio i Dduw y mae y gweinidog, ac arian Duw yw eich cyfraniadau.

Os edrychwch ar eich gweinidog fel "*genteel beggar,*" "onid ydych chwi yn gnawdol." Os tybiwch fod genych hawl i edrych ar ol ei wisgoedd a siarad yn ei gefn, yr ydych yn annuwiol. Os ydych dan yr argraff ei fod yn "*was bach*" i chwi am eich bod yn talu tipyn at ei gynal, yr ydych "fel plantos yn bwhwman."

VI. *Cynaliwch Freichiau eich Gweinidog.*—"Ac Aaron a Hur a gynaliasant ei ddwylaw ef, un ar y naill du, ac un ar y tu arall; felly y bu ei ddwylaw ef yn sythion hyd nes machludo yr haul."—Exod. 17: 12.

Bydded y diaconiaid yn Aaron, a bydded yr eglwys yn Hur. Cynalier ei freichiau trwy siarad yn dda am dano wrth bawb. Cynaliwch ei freichiau i fyny trwy siarad yn barchus am dano yn nghlyw eich plant, a phlant pawb. Nid oes gobaith i'r pregethu gael gafael yn nghalonau eich plant, os na fydd yr argraff ar eu meddwl ei fod yn ddyn da, ac yn weinidog i Iesu Grist. Peidiwch a thybied mai lladd y pregethwr yr ydych os byddwch yn siarad yn ddiystyrllyd am dano yn nghlyw eich plant. Os yr amcan yw lladd dylanwad y pregethwr, cofiwch mai damnio eneidiau eich plant fydd y canlyniad. Dysgu eich plant yn derfysgwyr eglwysig. Onid peth cyffredin yw i blant terfysgwr fod yn derfysgwyr eglwysig; i blant athrodwr fod yn athrodwyr; ac onid y rheol gyffredin yw, fod plant yr hwn sydd yn elyn i bregethwyr, yn tyfu i fyny yn ddraen yn nyth pob pregethwr, lle bynag y byddont.

Clywsom (pan fyddai ambell hen *dyrant* yn cael ei symud gan angau) ddynion yn dyweyd, "A'r wlad a gafodd lonydd." Ond y gofid i eglwys Dduw ydyw, fod y plant wedi eu magu yn yr un *grefft* a'u tad a'u mam; ac er fod y

dyn wedi ei gymeryd oddiar y ffordd, y mae ei ysbryd eto yn yr eglwys. Fe sonir am weinidogion digymeriad, a dylid son hefyd am eglwysi digymeriad, ar gyfrif fod dynion digymeriad yn cael eu goddef i dreulio oes ynddynt. Er cymaint o anwireddau a anfonir i'r newyddiaduron y dyddiau hyn, eto y mae cymeriad ambell eglwys yn ddigon adnabyddus. Pan glywir llawer o "seboni" yn y newyddiadur, gellir bod yn benderfynol fod yn y gyfryw eglwys ryw *glique*, o dan gochl malais, yn ceisio dyrchafu yr annheilwng, ar draul adlewyrchu ar gymeriad gweinidog—rhyw hen weinidog sydd yn ei fedd, y buwyd yn ceisio ei ladd, neu ryw gyn-weinidog a dorfynyglwyd ganddynt. Fel hyn y mae eglwysi yn America yn treulio oes, rai o honynt, yn anfon i'r cyhoedd, gan ganmol ffug-lwyddiant y gweinidog newydd, er profi fod yr achos yn llwyddo ar ol claddu, neu groeshoelio yr hen weinidog. "Fy mrodyr, ni ddylai y pethau hyn fod."

Cynaliwch freichiau eich gweinidog, trwy wrandaw yn astud arno. Peidiwch a gwrandaw yn hunanol arno. Peidiwch anffurfio'ch wynebau, a chrymu eich penau, os na fyddwch yn cael blas ar y moddion, rhag mai eich bai chwi ydyw na fyddech yn cael blas.

VII. *Gweddiwch drosto yn y Cyhoedd ac yn y Dirgel.*—"O frodyr, gweddiwch drosom."—1 Thes. 5: 25.

Os na weddiwch am lwyddiant y gweinidog, nis gallwch weddio am lwyddiant y gwaith. Os na weddiwch am lwyddiant eich gweinidog, bydd dynion annuwiol yn dyweyd fod gelyniaeth yn eich calon, a chwithau o flaen Duw. Os na weddiwch am lwyddiant eich gweinidog, bydd yntau, wrth bob rheswm, yn credu fod rhyw "gythraul y canu," neu "gythraul dewis diaconiaid," neu "gythraul symud y gweinidog" wedi eich meddianu. Bydd Satan hefyd yn credu ei fod ef yn boblogaidd, ac ar safle dda yn yr eglwys, os byddwch yn ddigon rhyfygus annuwiol i fyned at Dduw ac heb allu bod yn rhydd i weddio dros eich gweinidog.

Er mor wrol oedd Paul, efe a erfyniai am ran yn ngweddi y brodyr a'r chwiorydd,—"O! frodyr, gweddiwch drosom."

VIII. *Na fydded i chwi fod yn eofn ar eich Gweinidog ar gyfrif ei Ieuenctyd.*—"Na ddiystyred neb dy ieuenctyd di."—1 Tim. 4: 12.

Os ydyw yn ieuanc, nid yw yn rhy ieuanc i fod yn offeryn yn llaw Duw i wneyd llawer o ddaioni. Y mae'r dynion sydd heddyw yn sêr dysgleiriaf a fedd y pwlpud efengylaidd, unwaith wedi bod yn ieuainc. Efe a all bregethu yn dda yn awr, ond efe a ddaw i bregethu yn well, os gwnewch chwi eich dyledswydd tuag ato. Y mae yn beryglus i chwi fod yn rhy eofn arno, a lladd ei ddylanwad i raddau yn eich plith. Cyfarchwch ef fel eich bugail, a'ch gweinidog, ac nid fel bachgen a godwyd yn eich mysg. Rhoddwch esiamplau i'ch plant hefyd i fod yn barchus o hono. Y mae tuedd ynom ni fel Cymry, i fod yn rhy eofn ar ein gilydd, yr hyn sydd yn agoriad i lawer o ymrafaelion ac anghysonderau cymdeithasol.

IX. *Cedwch y Chwedlau oddiwrtho.*—"Eithr gad heibio halogedig a gwrachiaidd chwedlau, ac ymarfer dy hun i dduwioldeb.—1 Tim. 4: 7.

Y mae swyddogaeth gweinidog y fath, fel mae ei enw yn *public property*, a byddai dynion farw pe gorfodid hwy i beidio dyweyd eu barn am y pregethwr. Dysgwylir iddo gerdded fel dyn yn cerdded dros bentwr o wyau, a siarad iaith angel. Os siarada yn grefyddol, bydd ei wyneb yn rhy hir; os bydd yn llawen, bydd ei wyneb yn rhy fyr. Os bydd yn gwisgo yn drefnus, bydd yn rhy falch; ac os na fydd yn drefnus, dywedir pethau gwaeth na hyny. Os bydd yn pregethu yn dda, dywedir mai lladrata ei bregethau y mae; ac os pregetha ambell bregeth wael, sonir mwy am hono nag a sonir am haner cant o bregethau da. Y mae'r diogyn yn yr eglwys yn cael mwy o hwyl gyda'r bregeth wael na chyda dim arall; hono sydd ar ei fenydd yn y gwaith, yn y ty, ac ar yr heol. Y mae hon yn ddigon o esgus bythol dros ei ddiogi, a diogi yr holl eglwys.

Arferiad cas sydd gan rai personau o

ddyweyd ei barn wrth y pregethwr ac wrth bawb ar ddiwedd y cwrdd. Y mae yr hen wep yna, a'r hen gilwg yna, wrth wrandaw yn y cwrdd, yn cario "*clecs*" i'r pregethwr. Eistedda ambell ddyn i wrandaw gyda'r fath agwedd ddiystyrllyd a hunanol, nes yw yn ddrewdod i unrhyw gynulleidfa—"fel pe na byddai pregethwr yn meddu ar farn o gwbl. Eistedda'r dyn wedi ei grynhoi, a phob amser yn y *front*, fel y gall y pregethwr a'r gynulleidfa ei weled. Fel pe dywedasai, "Edrychwch arnaf fi,—y V sydd yn gwybod beth yw pregeth—y V ddylai fod yn y pwlpud yna—y V yw'r dyn callaf yn y gynulleidfa hon." Y ffaith yw, nid oes gan neb fusnes mewn addoliad crefyddol, o dan ddylanwad y fath ysbryd. Y dyn nad yw yn dyfod i'r cwrdd i wrandaw fel boneddwr, ac i eistedd fel boneddwr, dylai aros gartref rhag cywilydd.

Eto, os clywch rywun yn dyweyd yn nghefn eich gweinidog, gadewch iddo fyned o un glust i'r llall. Ni wna sofl y gymydogaeth niwed yn y byd i'ch gweinidog, os na chlywa efe hwynt. Ni fu un terfysgwr erioed mewn eglwys a ladda weinidog mor fuan ag y lladda "*clecs*" ef.

Gofalwch beidio ei gwneyd yn arferiad i ddyweyd eich barn am eich gilydd, ac i adrodd gwendidau neb. Gadewch iddo anadlu awyr bur cymdeithas ddihalog.

(*I'w barhau*).

---

## TOM PAINE, IOLO MORGANWG, A DR. JOHNSON.

GAN AP P. A. MON.

Unwaith y cyfarfyddodd yr hynod Ddoctor Johnson a Iolo Morganwg mewn ymddyddan a'u gilydd, a hyny yn siop llyfrwerthwr yn Llundain, lle yr oedd Iolo wedi bod o'r blaen yn prynu Gramadeg Seisnig. Yr oedd Iolo y pryd hyny yn analluog i wybod pa un o dri Gramadeg a ddangoswyd iddo oedd y goreu; a chan ei fod mewn petrusdod ar y mater, sylwodd ar ddyn hynod ei ymddygiad oedd yn edrych dros y Misolion a'r Chwarterolion, gan yngan yn awr ac yn y man, "*Rubbish.*" Wedi i'r Dr. fyned allan, gofynodd Iolo i'r siopwr, pwy oedd, ac wedi deall, gofidiodd am na wybuasai cyn i'r gwr mawr fyned allan, fel y gallasai ofyn cyfarwyddyd y Dr. i ddewis y Gramadeg goreu. "Y mae efe yn dyfod yma y dydd cyntaf o bob mis," ebai y siopwr, "i edrych dros y cyhoeddiadau." Gosodwyd y Gramadegau o'r neilldu, ac addawodd Iolo ddyfod drachefn pan byddai y Dr. yno. Felly, cyfarfyddodd yr *embryotic* hynafiaethydd, a'r geiriadurwr enwog. Yr oedd Iolo yn teimlo yn grynedig, y pryd hyny, i anerch "gwr mawr," o nodedigrwydd y Doctor Johnson. Anturiodd, pa fodd bynag, i ofyn pa un o'r tri Gramadeg oedd y goreu. Wedi cymeryd y llyfrau yn ei ddwylaw a chipdremu arnynt, edrychodd yn ddirmygus ar *poor* Iolo, gan ddyweyd, "Either of them will do for *you*, young man." Teimlodd Iolo i'r byw, ac o dan gynhyrfiad cryf, dywedai: "Then, sir, to make sure of having the *best*, I will buy them all." A byth wedi hyny, a phan oedd Iolo wedi dyfod yn ddyn y buasai *Nestor* llenyddiaeth Lloegr yn falch o'i gydnabyddiaeth, arferai enwi y llyfrau hyny, "the Dr. Johnson Grammars."

Yr oedd un nodweddiad pwysig yn hynodi y ddau ddyn rhyfeddol hyn—sef eu Dylanwad Moesol. Yn nyddiau Dr. Johnson, byddai prif lenorion yr oes yn cyfarfod mewn ystafell yn yr hwyr i ymddyddan—i smocio ac yfed "'*alf an*' '*alf.*" Yno, eisteddai Addison yn yr un gadair bob amser—oblegid, os dygwyddai iddo fod yn hwyr trwy ei ddyledswyddau yn yr *House of Commons*, neu o herwydd rhyw achos arall, ac un o aelodau y clwb, yn eistedd ynddi—codai ar unwaith ar ddyfodiad Addison i mewn. Eistedd a smocio ei bibell hir, y byddai Addison, yn ddystaw, heb gymeryd rhan yn ymddyddanion rhyfedd ac addysgiadol y doethion, hyd oni byddai wedi cymeryd ychydig gwpaneidiau o *borter*. Byddai hyny yn symud ei wyleidd-dra naturiol, ac yn

dadgloi ei dafod. A gallwn yn hawdd ddychymygu addysgiadau unrhyw ymddyddan o enau awdwr y *Spectator*.

Yn mhlith y doethion—*literati* yr oes hono—yr oedd "yfed" yn fwy cyffredin nag yw yn mysg y cyfryw ddosbarth yn Lloegr yn ein dyddiau ni. Cyfaddefa y Moesolwr Mawr ei hun (Dr. Johnson), iddo ar brydiau gymeryd mwy nag a ddylasai, a rhoddodd yr arferiad heibio yn hollol o yfed gwin—ei brif ddiod. "*Small beer, small mind*," oedd ddywediad o'i eiddo.

Yn mhlith aelodau y clwb, yr oedd rhai a ymollyngent ar brydiau, yn eu hymddyddanion, i derfynau masweddol; ond nid byth yn mhresenoldeb y Dr. Johnson. Yr oedd ei bresenoldeb ef yn ddigon effeithiol i gadw draw bob peth o'r natur yna. Dyma goron ddysglaer ar ben yr hen Ddr. er ei holl daiogrwydd.

Ond nid oedd achos i Iolo Morganwg roddi gwin nac unrhyw ddiod gadarn i fyny o herwydd cymeryd mwy nag oedd dda iddo. Nid oedd yn cymeryd dim o'r cyfryw ddiodydd. Er ei fod yn niwedd ei oes, fel Charles Kingsley, ac eraill, wedi rhoddi i fyny lawer o'i radicaliaeth, a chydnabod ffurflywodraeth Prydain y rhagoraf yn y byd, nid oedd yn llaesu dim yn ei sêl dros Ryddid Gwladol a Chrefyddol.

Yn nyddiau terfysglyd y *French Revolution*, pan yn Llundain, daeth Iolo Morganwg i adnabyddiaeth a Dr. Franklin, Tom Paine, ac eraill oeddynt yn cydymdeimlo âg egwyddorion rhyddfrydig. Y mae yn sicr fod yn Llundain gudd-negesyddwyr o Ffrainc y pryd hyny, yn ymdrechu cynllunio mesurau teyrnfradol, a bod Iolo wedi dyfod i gyfarfyddiad a'r cyfryw, heb ddeall eu hamcanion eithafol. Fel hyn dywed Mr. Waring, awdwr y "*Recollections and Anecdotes*," &c., am dano:—

"These men attracted Edward Williams into their sphere, by the congenial influence of their talents, but they were too sagacious not to perceive that his enthusiasm was mingled with too much simplicity of heart for purposes of intrigue, and they would be careful not to betray designs at which he would have revolted, although they might secretly entertain, and promulge (promulgate) them to the initiated. His abhorence of vice was so sincere, that unprincipled men dared not unmask themselves before him; and even Paine, with all his effrontery, was anxious to conceal from him his habitual intemperance; for when the bard had occasionally found this arch philosopher too drunk for concealment, he contrived to produce the impression that a very small quantity of liquor intoxicated him, and that 'company' had unfortunately tempted him to just a single extra glass of grog."—p. 105.

Y mae Vale, yn ei amddiffyniad o olygiadau gwrth-grefyddol Tom Paine, ac yn "Hanes ei Fywyd," yn dal yn gyndyn, na amlygodd awdwr "*Age of Reason*," edifeirwch am y syniadau anffyddol a gynwys ei waith. Dywed Mr. Waring (t. d. 106):—

"A gentleman of high standing in the Society of Friends, has recently told me that when he was at New York a few years ago, he saw and conversed with the person at whose house Paine died, and whose mother was in close attendance upon him during his last illness. The mother always spoke with extreme concern of the manner in which Paine's comrades confederated themselves, so as to exclude all Christian visitors from his dying pillow; but said, that in his private communication to her, he expressed a deep conviction that the principles of religion he had disputed were, after all, the most beneficent, and the most important to man's true happiness, bitterly lamenting his own violation of them in word and deed."

Y mae hyn, mi feddyliwn yn benderfynol ar y pwnc. Ond pe byddai honiadau edmygwyr Paine, a honiadau crefyddwyr yn amwys, a chydbwys ar ran y naill a'r llall, y mae tebygolrwydd yn gogwyddo at ochr y crefyddwyr, o herwydd y rhesymau canlynol:—Nid ffrwyth aeddfedrwydd meddwl Paine oedd ei "*Age of Reason*." Pan yn ddyn ieuanc yn Paris, daeth i gyfarfyddiad ag amryw o'r offeiriaid Pabyddol, a byddai yn dadleu a hwynt, *er mwyn dadleu*, medd efe. A chan ei fod yn gallu eu trechu yn eithaf rhwydd, ac yn teimlo dipyn yn gawraidd, penderfynodd gyhoeddi llyfr i ddangos mor feistrolgar ydoedd. *Poor* Paine! Nid rhyfedd ei fod yn siarad yn edifeiriol yn ngwyneb angau, ac yn "*bitterly lamenting*." Hawdd iawn coelio i awdwr "*Rights of Man*," gywilyddio, am iddo ysgrifenu yr "*Age of Reason*." Y mae y cyntaf yn waith a bery i gadw enw

Paine yn mhlith y radd uchaf o lesolion yr hil ddynol. Y mae yr ail yn waith mor annheilwng mewn ystyr lenyddol a chwaethol, fel nad yw yn syndod yn y byd fod ar Paine gywilydd o hono, yn yr ystyriaethau hyny, heb son am yr ystyriaethau mwy pwysig a achosodd iddo *bitter lamenting*. Er nas gall darllen yr "*Age of Reason*," wneyd argraffiad niweidiol ar y meddwl diwylliedig, rhaid cyfaddef, gyda galar, ei fod wedi gwneyd niwed mawr i bobl ieuainc anystyriol, y rhai nad oeddynt alluog i weled trwy dwyll-resymeg, nac yn darllen y llyfrau a ysgrifenwyd i ddymchwel honiadau Paine. I mi, er fy mod yn dra ieuanc, pan ddarllenais gyntaf yr "*Age of Reason*," ni wnaeth niwed yn y byd. Yr oedd y dull annheg, a'r ieithwedd isel a ddefnyddid wrth ymdrin a materion mor bwysig yn wrthus i fy meddwl, a'r effaith oedd i ffieiddio yn hytrach na'm denu. Y tebygolrwydd yw, fod Paine o dan arglwyddiaeth y diodydd meddwol pan ysgrifenodd ei lyfr gwrth-grefyddol; nid rhyfedd, gan hyny, ei fod, yn yr oriau sobr a phwysig yr oedd Trugaredd wedi ganiatau iddo cyn marw, "yn galaru yn chwerw am droseddu yn erbyn egwyddorion crefydd, "mewn gair a gweithred." Gadawer i ni obeithio fod ei edifeirwch mor llawn a gwirioneddol, fel y bu iddo erfyn gyda dwysder cymesurol a'i gamwedd, am faddeuant, gan yr Hwn sydd byth yn barod i faddeu a derbyn yr edifeiriol.

"Dyweder maint y Duwdod,
Yr un faint yw'r Iawn i fod."

## Y CYNGORAU CYN-GYFFREDINOL.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, WILKESBARRE.

### Rhif III.

Bellach, goddefer i mi arwain y darllenydd at y cyngor *Prac. Oecumenical* pwysicaf, oddigerth yr un yn Nghaersalem. Cynaliwyd hwn yn Carthage, prif ddinas Affrica ar y pryd. Mwy priodol, fe ddichon, fyddai defnyddio y rhif luosog, Cyngorau; oblegyd y maent yn ymgynull o'r fl. 251 hyd 256 o. c. Cyn hyn, galwyd rhyw fath o Gyngor yn y wlad hono, gan Donatus, yn y fl. 240, ac un arall chwarter canrif yn gynt, gan Agrippinus, ar y pwnc dyryslyd yr ymdrinid ag ef, yn fwy cyflawn, yn y cyfarfod dan sylw, sef

BEDYDDIAD GWRTH-GREDWYR (HERETICS.)

Yr oedd i'r gair *Heretics* ddau ystyr, h. y., safai am ddau ddosbarth o ddynion, y rhai oeddynt yn dyfod trosodd o eglwysi eraill—Novatiaid er engraifft, a'r rhai a ddychwelent ar ol ymlithro i baganiaeth ac eilun-addoliaeth. Gyda golwg ar y blaenaf, ni fynai Cyprian gyfrif unrhyw fedydd yn effeithiol a weinyddid y tu allan i'w *eglwys ef*. Ymddygai tuag at y Novatiaid yn ol Gair yr Arglwydd, yn Mat. 7: 2, "A pha farn y barnoch y'ch bernir, ac a pha fesur y mesuroch yr adfesurir i chwithau."

Yn arbenig, yr oedd a fyno y ddadl bresenol ag agwedd yr eglwysi tuag at y rhai dianwadal a gefnasent ar Gristionogaeth i arbed digofaint dynion o fath Decius. Rhenid y cyfryw i dri dosbarth, yn ol *graddau* eu gwrthgiliadau, sef *Thurificati*—arogldarthwyr, *Sacrificati*—rhai a aberthent i eilunod, a *Libellatici*—rhai a brynent ddiangfa rhag cosb y gyfraith drwy drwydded, ysgrifenedig gan y barnwr, yn tystio eu bod wedi cydsynio a'r hyn a ofynai yr ymerawdwr, a hwythau heb wneuthur hyny. Felly, defnyddid *arian* pryd hyn, fel yn yr oes bresenol, i ddybenion llygredig a dichellgar! Tybiem fod y rhagrithwyr hyn yr atgasaf o *bawb*, yn ngolwg y Barnwr cyfiawn a ddywedai, "Myfi a adwaen dy weithredoedd."

Dyfyna Coleman o lythyr Firmilian, esgob Cesarea, at Cyprian, esgob Carthage, grybwylliad fod yr esgob a'r henuriaid yn cyfarfod yn flynyddol i gydymgyngori ar bynciau eglwysig a gyflwynid i'w sylw, fel y gellid trefnu y rhai mwyaf pwysig o'r rhai hyn, drwy gyfrinach a'u gilydd. Dichon mai rhywbeth yn gyffelyb y bu rhai o gyfarfodydd Carthage. Pa fodd bynag, amlwg yw, fod Cyngor neu Gyngorau mwy,

pan ddaeth ugeiniau o esgobion yn nghyd. Yn 256 yr oedd pedwar ugain a saith esgob yn bresenol heblaw *plebis maxima pars*, (y rhan fwyaf o'r bobl). Yn nghyfarfod 253, yr oedd chwech a thriugain o esgobion yn wyddfodol pan ddygodd Fidus, esgob o'r wlad, y gofyniad hwn gerbron: "A ddylid bedyddio plant *cyn yr wythfed dydd?*" Cwestiwn teilwng o ddadl hirfaith, a phenderfyniad yn y *fath* Gyngorfa, onide?" Wel, rhaid cofio fod Cyprian wedi dal dros *bwysigrwydd* bedyddio plant, yn nghyfarfod y flwyddyn flaenorol; ac nid rhyfedd i'r un *ffyddlawn* (*Fidus*) feddwl gydag eraill, ei fod o bwys bedyddio cyn adeg priodol enwaedu, gan fod iachawdwriaeth y plentyn mewn perygl! Penderfynwyd y gellid eu bedyddio ar ddydd eu genedigaeth os mynid.

Gyda golwg ar brif gwestiwn Cyngor Carthage, gweddus hysbysu fod Affrica Ogleddol wedi cydweithredu ag Asia Leiaf, er y fl. 180 o. c., h. y., ail-fedyddiwyd *heretics*, a rhai wedi cefnu ar yr achos; eithr yn Rhufain, eu hadferyd ar dir edifeirwch, a thrwy arddodiad dwylaw yr esgob, *heb fedydd*, a wnaed. Bu y "*peculiar question*," fel ei gelwir gan Guericke, yn achlysur dadl gyhoeddus, yn Affrica, mor foreu a'r fl. 200. Yn Asia Leiaf bu hwn yn bwnc hynodawl yn y fl. 250. Yr oedd yr amserau yn peri fod Cristionogion y cyfnod yn *ansefydlog ryfeddol* am y rheswm hwn: Arfer y lluaws oedd tori AT neu ODDIWRTH Baganiaeth, yn ol fel y dygwyddai i'r awdurdod wladol symud. Rhywbeth fel y *drift-wood* a ymsymuda gyda y trai a'r llanw, yn gwbl ddiofal o'r cyfeiriad a gymera, oedd mwyafrif crefyddwyr yr oes. Nid rhyfedd, ar y fath adeg, fod mesurau mor eithafol a'r *justum tempus*, h. y., cyfrifiad pump, deg, ac hyd yn nod bymtheng mlynedd o brawf ar y gwrthgilwyr yn hollol *gyfiawn*. Nid rhyfedd fod Cyprian yn dadleu yn erbyn adferiad buan, er y dangosid ysgrif oddiwrth rai fu ffyddlawn—"*confessores*"—o blaid yr anffyddlawn.

Yn y fl. 249 o. c., cawn Decius ar yr orsedd Rufeinig—ac yr oedd Rhufain y pryd hwn yn honi mai hi oedd meistres y byd. Gorchymynodd hwn i'w holl ddeiliaid, *yn ddieithriad*, goleddu Paganiaeth. O hyn y cododd yr erledigaeth alarus o berffaith, y *seithfed* o'r deg. Aeth y *drift-wood* gyda'r ymerawdwr, gan "wadu yr Arglwydd, yr hwn a'u prynodd;" ac yr oedd llawer o'r fath yma wedi dyfod i'r Eglwys Gristionogol yn ystod y deugain mlynedd hafaidd a fu cyn y dryghin dychrynllyd yn amser Decius. Pan ddymunai pobl fel yma ddychwelyd i'r eglwys, yr oedd digon o angen eu bedyddio eilwaith, os oedd dwfr bedydd, fel y credid, yn golchi ymaith bechodau! Pa fodd bynag, digiodd Stephan, esgob Rhufain, yn aruthrol wrth Cyprian, esgob Carthage, am iddo ochri gyda'r eglwysi Dwyreiniol yn y ddadl hon: ac wedi i ail Gyngor Carthage—gwnaed felly yn y drydedd hefyd—gymeryd safle arbenig yn yr achos, tystiodd Stephan fod Cyprian a'r eglwysi Affricanaidd yn annheilwng o'r enw Brodyr, ac ymroddodd i ddywedyd pob drygair i'w herbyn. Bellach, fel yn y wladwriaeth gynt, yr oedd i fod yn yr eglwys o hyn allan; daeth ymadrodd esgob Rhufain yn gyffelyb i'r eiddo ei hareithiwr enwog, Cato, "*Delenda est Carthage*"—rhaid dymchwelyd Carthage! Gwir nad oedd Stephan yn gyfryw un a'r Pab mewn oesoedd diweddarach, ond ymladdodd hyd angau; ac ni bu heddwch mwy hyd y fl. 257 o. c., wedi marwolaeth yr esgob a dechreuad erledigaeth arall, yr wythfed, o dan Valerius.

Olrheinir yr hanes yn fanwl gan Mosheim. Nid yw o werth genym ni dreisio ar amser ac amynedd y darllenydd yn hwy, oddigerth i sylwi er cyfiawnhad neu esgusawd o Stephan, ei fod yn cyfrif pob bedydd yn ddiwerth oni weinyddid yr ordinhad yn enw y Drindod; ond os gweinyddid yn ol y drefn yn Mat. 28: 19, ystyriai y cyfryw fedydd un waith am byth yn ddigon! Eithr wedi dywedyd hyn, er esbonio y ffaith nas gallasai yr esgob ddyoddef gwrthddadl o gwbl ar y pwnc, rhaid dywedyd hefyd, fod gan yr ysgrifenwyr Pabyddol fwy na digon o waith gwyn-

gelchu y SANT hwn, yn gymaint a'i fod mor ddig fel nas goddefai i'r Cristionogion yn Rhufain *roddi llety* i'r esgobion a ddaethent drosodd o Affrica gan geisio gwell dealldwriaeth ar y cwestiwn! "*Outrageous conduct,*" ys dywed Mosheim, ac yn neillduol felly o'i osod yn ymyl Act. 15: 4. a Gal. 2: 9. Nid dyma y tro diweddaf i esgob Pabaidd ac "Apostol y cenedloedd" GLASHIO. Darllen Rhuf. 12: 13, 14.

---

## NODION AM Y BEDYDDIWR CYNTAF.

GAN Y PARCH. D. T. PHILLIPS, PARSONS, PA.

O bawb a anwyd erioed, ni chyfododd neb mwy nag Ioan Fedyddiwr. Cafodd y gymeradwyaeth uchelaf gan ei Feistr mawr. Fel prophwyd, safai yn uwch na'i ragflaenwyr. Fel pregethwr, yr oedd ar ei ben ei hun. Fel bedyddiwr, yr oedd yn esiampl i'w olafiaid. Efe oedd y prophwyd diweddaf, cyn ymddangosiad y Prophwyd Dwyfol, Brenin breninoedd, ac Archoffeiriad ein cyffes ni. Os yw yn wirionedd fod dynion yn cael eu hynodi gan yr amserau, y mae mor wir a hyny, fod dynion yn cael eu gwneuthur i'r amserau. Y dosbarth cyntaf sydd yn cyfansoddi'r mwyafrif. Ffrwythau naturiol eu hoes ydynt. Adlewyrchant ysbryd yr oes, a dadseiniant ei hopiniwnau. Y mae'r cyfryw gymeriadau megys gwellt ar y ffrydlif; clai yn nwylaw'r crochanydd, yn cael eu ffurfio i unrhyw agweddiad. Nid felly eraill. Ni chytunant, ac ni chydredant bob amser a'r oes. Y mae ganddynt feddyliau annibynol, gwroldeb moesol, a phenderfyniad diysgog. Nid yr oes sydd yn eu llywodraethu neu yn eu rheoli, ond hwynt-hwy sydd yn arwain yr oes. Cymeriadau fel hyn a adawant eu hargraff ar yr oes, ïe, effeithiant y fath ddiwygiadau, a chreant y fath chwyldroadau yn eu dydd a'u tymor, nas medr tragywyddoldeb ei hun ddim dileu eu dylanwad. Yn y dosbarth hwn mewn modd arbenigol saif gwron ein testyn, sef Ioan Fedyddiwr. Cafodd ei greu yn bwrpasol ar gyfer yr amserau. Yr oedd wedi ei gysegru o'r groth at waith diwygiwr. Pan gafodd y cyfle cyntaf, taranodd allan ar lan yr Iorddonen yn ngwydd miloedd o wrandawyr am ddiwygiad. "Edifarhewch, canys nesaodd teyrnas nefoedd," sef teyrnas yr efengyl, yr hon sydd deyrnas ysbrydol.

*Edrychwn arno, ynte, fel diwygiwr.* Yr hyn oedd John Huss, John Knox, John Calvin, John Wesley, John Bunyan, ac eraill yn eu gwahanol wledydd, felly yr Ioan hwn yn ngwlad Judea, ond ei fod yn tra-ragori arnynt. Caniata barddoniaeth i ni alw cymeriad fel Martin Luther, yn Ioan Fedyddiwr ei oes; ond y peth mwyaf gwrthun yw galw Ioan Fedyddiwr yn Martin Luther yr oes.

Fel diwygiwr, siaradai yn ddifloesgni. Gwyddai am y broffes wag, y gwasanaeth cnawdol, yr addoliad arwynebol, a'r ysbryd Phariseaidd oedd yn ffynu mor gyffredinol. Yr oedd ganddo lygaid eryraidd i dreiddio i mewn i galon yr oes. Ei lef felly yn y diffaethwch yw am ddiwygiad trwyadl—llef a ddadseiniai drwy'r holl wlad, ac a dynai filoedd i lanau'r afon. Diwygiad oedd ei ddrychfeddwl penaf, gwrthddrych ei weddi, testyn ei bregeth, ac ymgais ei fywyd. Pa fath o ddiwygiad a geisiai ddwyn oddi amgylch? Ai diwygiad meddyliol neu athronyddol ydoedd? Na! nid pregethu er rhoddi taw ar wrthddadleuon mewn athroniaeth neu dduwinyddiaeth, a wnai efe, er sefydlu rhyw fympwy o'i eiddo ei hun. Gwyddai efe yn dda am ansawdd y meddwl dynol. Gwyddai mai y pwnc pwysicaf oedd cael calonau'r bobl yn eu lleoedd priodol, ac wedi hyny y deuai'r farn yn gywir. Ymdrin a chalonau yr oedd efe, nid a'r ymenyddiau. Myned i mewn i gelloedd yr enaid wnai efe, nid i'w cyfundraethau crefyddol gymaint. Trafod egwyddorion llywodraethol dynion yn fwy na chredoau mympwyol.

Cynygiai Ioan at ddiwygio *calon* Judea. "Dygwch ffrwythau addas i edifeirwch;" hyny yw, na fydded eich hymddygiadau a'ch cyflawniadau allanol fel pethau arwynebol, ond ffrwythau pur yn tyfu allan o edifeirwch gwirioneddol. Diwygiad moesol a chrefyddol

yr ymdrechai Ioan am dano. Yr oedd am weled ei wlad yn gwella mewn modd *cymdeithasol;* ond y mae'n awyddus am ei gweled *yn gyntaf* yn diwygio mewn modd *ysbrydol.*

*Bu Ioan yn ffyddlon a didderbyn-wyneb yn ei weinidogaeth.* Gwelai Ioan yr egwyddorion melldigedig a weithient yn nghalonau y rhai oedd yn ei amgylchynu, fel y cynhyrfid ef i siarad mewn iaith gref a digamsyniol. Nid yw yn eu cyfarch fel "anwyl frodyr," neu "gyfeillion serchog," er eu bod o'i genedl ef; ond cyfarchai hwynt, fel yr oedd eu cymeriad yn haeddu neu yn hawlio. "O genedlaeth gwiberod," &c. Chwi ddynion o ymddangosiad llyfn, ond a chalonau gwenwynol, ac amcanion brathol, "pwy a'ch rhagrybuddiodd," &c. Nid tu cefn iddynt y triniai efe hwynt, ond yn eu gwynebau, a'i lygaid gonest yn fflachio yn yr eiddynt hwy. "*A severe disease demands a severe remedy.*" Dyna arwyddair Ioan ar yr adeg hon. Er mwyn eu hiachawdwriaeth, darbwylla hwynt mewn iaith lem o'u rhagrith, a dymchwela brif wrthddrych eu hymffrost ffol, sef eu perthynas cnawdol ag Abraham, yr hyn a'u harweiniai i ymddwyn yn gul ac anfrawdol tuag at eraill. "Na ddywedwch ynoch eich hunain, y mae genym Abraham yn dad i ni," &c. Fel pe dywedasai, "Yr ydych yn gorfalchïo yn eich gwaedoliaeth, ond nid yw hyny yn un rhinwedd ynoch. Duwioldeb personol yw'r pwnc mawr—adnabod y mabwysiad ysbrydol sydd anhebgorol angenrheidiol—gofalu fod y galon a'r fuchedd yn dwyn ffrwythau teilwng, sydd o'r pwys mwyaf." "Pob pren ar nid yw yn dwyn ffrwyth da, a dorir i lawr, ac a deflir yn tân."

Dysgwn ninau wers yn ffyddlondeb a gonestrwydd y Bedyddiwr selog. Traethwn y gwir yn ddiofn, a didderbyn-wyneb; eto, cofiwn wneyd hyny mewn cariad. Dynoethi twyll, lladd cyfeiliornad, gwrthwynebu'r diafol, a *mynu* bod yn rhydd oddiwrth waed ein gwrandawyr, drwy fod yn ffyddlon yn mynegi yn ddifloesgni iddynt "holl gyngor Duw."

*Neillduolrwydd y Bedyddiwr o ran ei berson.* Yr oedd ei wisg yn cyfateb i gymeriad ei bregethau. Yr oedd y rhai hyny fel ei wisg, yn hynod am eu symledd. Dywed un awdwr, fod ei ddillad yn "gysgod o'i ymwrthodiad a'r byd." Defnydd y dillad ydoedd "blew camel;" ac yn nghylch ei lwynau yr oedd gwregys o groen. Defnyddid y nwyddau hyn at wisgoedd a phebyll yn mhlith yr Iuddewon.

Ei fwyd oedd "locustiaid a mêl gwyllt." Dywedir fod amryw fathau o locustiaid yn cael eu bwyta, yn neillduol gan y dosbarth tlotaf. Wedi taflu ymaith y coesau a'r adenydd, gorchuddid y corph a halen, a bwyteid y cig naill ai wedi ei ferwi neu ei rostio. Mewn perthynas i'r mêl, y mae wedi bod yn gwestiwn, pa un ai o'r coedydd neu'r gwenyn y cesglid ef. Y diweddaf a lifai yn ffrydiau allan o'r agenau creigiog yn y diffaethwch; a'r cyntaf a ddeilliai oddiwrth ffigysbrenau, cedrwyddenau, a choedydd eraill. Y mae Meyer yn mabwysiadu syniad Suidas, mai mêl oddiwrth goedydd ydoedd, tra y mae eraill yn barnu'n wahanol. I'm tyb ostyngedig i, y mae yn eithaf tebygol fod y Bedyddiwr yn bwyta'r ddau fath, gan eu bod mor gyffredin yn niffaethwch Judea.

*Nodwedd neillduol yn y Bedyddiwr oedd ei ysbryd hunan-ymwadol.* Nid coleddu meddyliau bychanus am dano ei hun a wnai, pan yn siarad mewn dull gostyngedig. Darlunia ei hun fel "llef" yn y diffaethwch. "Tystiolaethu am un arall ydwyf." "Nid myfi yw y Messiah, ond yr udganwr am dano." "Llef wyf fi, fe ddaw y Siaradwr dwyfol ei hun, nas medr neb lefaru yn debyg iddo." "Y mae un yn dyfod ar fy ol i, carai esgidiau yr Hwn nid wyf fi deilwng i'w datod." Nid felly y siaradai Ioan am dano ei hun mewn unrhyw gysylltiad arall. Yr oedd ganddo ormod o olwg ar ei anrhydedd ei hun i ymostwng i un awdurdod arall mewn peth felly. Cyfrifai yn fwy o anrhydedd i ddatod carai esgidiau Iesu Grist, nag eistedd wrth draed Herod Agrippa. Darostyngiad iddo fuasai gwneyd y diweddaf; y dyrchafiad mwy-

af yn ei olwg fuasai'r fraint o wneyd y cyntaf.

"Myfi yn wir," meddai wedi hyny, "wyf yn eich bedyddio a dwfr;" ond nis gallaf fyned yn mhellach. Fy ngweinidogaeth i sydd "ddwfr." Bedyddio y rhai broffesant edifeirwch. Gweinidogaeth yr Hwn sydd yn dyfod ar fy ol i, sydd weinidogaeth o dân. Ei athrawiaeth a losga trwy'r mêr i'r galon, a danfona ei ddylanwad puredig drwy yr holl gyfansoddiad llygredig. Y mae genyf fi awdurdod i weinyddu'r bedydd cyntaf; ond *Efe* yn unig sydd ag awdurdod i weinyddu'r bedydd olaf. Y mae dyfroedd yr Iorddonen at fy *nemand* i; ond tywalltiad yr Ysbryd sydd wrth ei orchymyn Ef yn unig. Myfi a allaf eich suddo yn yr afon; ond *Efe* yn unig fedr eich llanw a'r dylanwadau nefol.

Gwrandawn y Bedyddiwr unwaith eto. "Y mae eisiau fy medyddio genyt ti; ac a ddeui di ataf fi." O syniad gwylaidd am dano ei hun, a goruchel am y Bedyddiedig. "Myfi, yr hwn nid wyf deilwng i ddatod carai dy esgidiau, yn cael yr anrhydedd o dy fedyddio." Nid rhyfedd iddo "warafuno." A dichon mai gwrthod a wnaethai, oni buasai yr amnaid dwyfol. "Gad yn awr, fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder."

Y mae bedydd yn sefydliad dwyfol. Er mai ordinhad allanol yw bedydd, ac nid egwyddor ysbrydol, eto y mae yn rhwymedig arnom fel rhai sydd yn proffesu bod yn ddeiliaid i'r Brenin Iesu. Os ymostyngodd y Brenin, yn sicr fe ddylai'r deiliaid ymostwng. Gweddus yw iddynt hwy gyflawni y ddyledswydd gyfiawn a theilwng hon. O, na welid y boreu pan ddaw pawb i efelychu esiampl y Meistr mawr. Gwyn fyd na theimlent, ac y dywedent, mai "fel hyn y mae yn weddus i dalu ufudd-dod i'r ordinhad sydd a'r sel ddwyfol yn argraffedig arni." Nid pa beth a wna'r tro yw'r pwnc, ond pa beth sydd iawn. Nid teimlad cnawdol sydd i lywodraethu, ond awdurdod dwyfol. "Bedydd edifeirwch" ydoedd bedydd Ioan, a dyna yr unig fedydd sydd yn gywir eto.

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T——, AM EBRILL.

*Athraw.* Ifan Meredydd, paham y dywedir yma, "A Joseph ei gwr hi?"

*Ifan Meredydd.*—Meddwl 'w i taw am mai Joseph oedd *i fod* yn wr iddi hi; do nhw ddim *wedi* priodi, ontê fyse Joseph ddim yn meddwl llai nad fe o'dd tad y plentyn.

*Gwilym.*—Am fod yr Iuddewon yn ystyried "dyweddio" yn beth pwysig a chysegredig iawn, ac yr oedd anffyddlondeb o du y naill neu y llall yn dwyn y cyfryw i gymaint gwarth a phe buasent eisoes wedi priodi; yr oedd Joseph a Mair mor rhwymedig i'w gilydd a'r un gwr a gwraig yn y wlad.

*Athraw.*—Iē, da iawn. Morgan, gad i ni glywed dy feddwl dithau am y geiriau, "gan ei fod yn gyfiawn."

*Morgan.*—Wel, gan ei fod yn ddyn oedd am wneyd yr hyn oedd yn *right* rhwng dyn a dyn—un cas ganddo dwyll a hoced. Wrth y gair *cyfiawn* yn y cysylltiadau hyn, y golygir fod Joseph yn ddyn tyner, hynaws a charedig, a chan ei fod mor hoff o Mair, ac yntau yn ddyn mor dyner-galon, yr oedd yn awyddus i'r gwarth hwn oedd wedi dyfod arni, gael ei gadw yn guddiedig. Er yr edrychid ar odineb yr un o'r troseddau mwyaf gwaradwyddus, eto y fath oedd ei gydymdeimlad â Mair, fel y dymunai i'w throsedd gael ei gadw yn hollol o olwg y bobl.

*Dafydd.*—Nid wyf yn amheu llai nad oedd Joseph yn ddyn tyner a charedig, eto nid dyna y prif reswm ei fod am gadw y peth hwn yn ddirgel, eithr yn hytrach am y rheswm a nodir yma—ei fod yn *gyfiawn.* Yr ydys yn gwneyd cam â'r meddwl sydd yma, wrth geisio dweyd mai *tyner* neu *garedig* yw ystyr y gair *cyfiawn* yn y fan hon. Yr oedd trosedd Mair, yn ol y syniad Iuddewig, yn ngolwg dyn o feddwl cyfiawn Joseph, yn galw am gosp rhy greulawn a barbaraidd. Gwelai Joseph, gan fod modd iddo sicrhau ysgariaeth yn ddirgelaidd, fod cyfiawnder yn gofyn iddo wneyd hyny, yn hytrach na'i gosod yn agored i gosp anhaeddianol.

*Athraw.* — Abraham Llwyd, dyro glywed dy farn dithau ar yr adnod nesaf.

*Abraham Llwyd.*—Mae yn debyg fod y pethe hin wedi peri llawer o drwbwl i Joseph, ac yn wir cynyg ofnatsen o'dd e hefyd ; mae llawer un wedi myn'd ar 'i ben i foddi am lai peth na hyn, a falle ma dyma fyse diwedd Joseph oni bae i'r angel ddyfod a rhoi ticyn o 'leuni iddo ar y mater.

*Owen.* — Dyn pwyllog, deallus, a duwiol oedd Joseph. Ymddengys fod ei serch y fath at Mair fel y boddlonai gymeryd rhan o'r gwarth, yn hytrach na'i *exposio* hi ; eto yr oedd yn benderfynol o dori yr *engagement;* ac am y rheswm hwn yr ymddangosodd yr angel iddo mewn breuddwyd, a'i hysbysu nad oedd perygl iddo gymeryd Mair yn wraig.

*Athraw.*—Beth oedd y rheswm dros alw y plentyn yn Iesu, Ifan Meredydd ?

*Ifan Meredydd.* — Am fod y prophwydi neu y pregethwrs dan yr hen oruchwyliaeth wedi dweyd yn mlaen llaw ma' Iesu oedd 'i enw e i fod.

*Gwilym.*—Gelwid ef yn Iesu am y rheswm a nodir yma, "Oblegid efe a wared ei bobl oddiwrth eu pechodau." Yn mhlith yr Iuddewon rhoddid enwau yn ateb yr amgylchiadau y genid hwynt hwynt ynddynt, neu i arwyddo amcanion eu bodolaeth. Galwodd Joseph ei gyntafanedig yn Manasseh, "oblegid (meddai efe) Duw a wnaeth i mi annghofio fy llafur oll, a thylwyth fy nhad oll." Yr ail a alwodd efe yn Ephraim, "oblegid Duw a'm ffrwythlonodd i yn ngwlad fy ngorthrymder." Ac am Jabes y dywedir, "A'i fam ef a alwodd ei enw ef Jabes, gan ddywedyd, Oblegid i mi ei ddwyn ef trwy ofid."

*Athraw.*—Ië, ganwyd ef i fod yn Waredwr i'w bobl, ac am y rheswm hwnw y gelwid ef yn Iesu.

---

—Cafodd John Chinaman afael arni yn y ddiareb a ddywed, "Yr hwn nad yw yn dal pan yn ugain oed, yn gryf pan yn ddeg-ar-hugain, nac yn gyfoethog pan yn haner cant, ni ddaw byth yn dal, yn gryf, nac yn gyfoethog."

# Barddoniaeth.

## A WELSOCH CHWI EF?

(*Cyhoeddir ar ddymuniad Mr. Thomas Evans, Sioux Rapids, Iowa.*)

A welsoch chwi ef, a welsoch chwi ef,
'Rhwn offrymodd ei enaid i Dduw?
Tros droseddwyr fel nyni
Rhoes ei hun ar Galfari,
Drwy gyfiawnder y Meichiau cawn fyw.

Hoeliwyd yr Aberth, hoeliwyd yr Aberth,
Yr Iesu o'i fodd ar y pren;
Efe a aeth dan ein drwg,
Dyoddefodd ddwyfol wg,
Dwg ein cosp yn ei gorph ar y pren.

Heddyw mae'n eiriol, heddyw mae'n eiriol,
Eiriol tros wael ddynolryw;
Gan ddywedyd, "O fy Nhad,
Gwel fy nwylaw a fy nhraed,
Mi a'u prynais, o gad iddynt fyw."

"Cânt os dychwelant, cânt os dychwelant,
Cânt anwyl Fab er dy fwyn;
Os dychwelant ataf fi,
Ac os credant ynot ti,
I drag'wyddol fwynhad cânt eu dwyn."

Heddyw mae'n uchel, heddyw mae'n uchel,
Uchel ar orsedd y nef;
Mae seraphiaid heb ddim rhi',
Ac o seintiau perffaith lu,
Yn dyrchafu ei fawl o un llef.

---

## OCHENAID CREDADYN.

Creadur mawreddog yw dyn,
Ardderchog a bywiog ei nwyf;
Ond nid hyn yw'r pwnc sydd i'w drin,
Ond holi fy hunan beth wyf;
Fe ddeil fy hunaniaeth 'run fath,
Tra chwala'r mynyddoedd yn sarn:
A feddaf fi noddfa rhag brâth
Llym gleddyf cyfiawnder y farn?

Mae noddfa yn nghlwyfau yr Oen,
Ac yma ymguddio a wnaf;
Er camwedd, a llygredd, a phoen,
Byth allan o honi nid af;
Yn angau, ac ofnau, a'r bedd,
Ar Iesu ymorphwys wnaf mwy:
Mae yn hen gyfamod ei hedd,—
Fath falm cyfatebol i'm clwy'.

Tosturia, O Arglwydd fy Nuw,
Wrth f'enaid crinedig a sych,
Oer, caled, gwywedig, diryw,
Andwyol lygredig fy nrych;
Wyf euog, ac aflan, a thlawd,
Mewn cyflwr gresynus a noeth;

Ond diolch am haeddiant fy Mrawd,
  I'w ddadleu o'th flaen, yr Holl Ddoeth.

'Rwy'n sefyll mewn angen o hyd,
  O wenau dy wyneb fy Nuw,
Tra'n teithio anialwch y byd,
  I'r Ganaan ysbrydol i fyw;
Nis gallaf dy hebgor un awr,
  Na mynyd, nac eiliad o'm hoes,
Tosturia, mae'm gwendid mor fawr,
  O! edrych ar Aberth y Groes.

Rhaid syrthio os cymorth ni ddaw
  I'm cynal yn agos i'm lle,
Gan hyny, o estyn dy law—
  Drugarog, a bendith o'r ne':
Mae genyt fath gyfoeth i'w gael,
  A lanwai fy ngwagder yn llawn;
A'th arfer yw rhoddi yn hael,
  I ddyn o drysorfa yr Iawn.

Ymnerthaf a cheisiaf trwy ffydd,—
  Fe lwyddodd miliynau'r ffordd hon,
Fu ganwaith fel finau yn brudd
  Ond heddyw maent sanctaidd a llon,
Yn moli o amgylch y fainc,
  Eu Hiesu gynt hoeliwyd ar bren,
Gan ddiolch yn felus eu cainc—
  Mae gobaith i minau. Amen.

*Hyde Park, Pa.* DAFYDD DYFED.

---

## PRUDD-GAN.

Lluniwyd y llinellau isod rhag blaen wedi clywed am dywydd gerwin y cyfaill caredig a'r bardd awenyddol, RHOSYNFARDD, yn mha un y collodd ei fam-yn-nghyfraith, ei fam, ei blentyn, ac yn olaf oll bu farw y wraig hefyd; a'r oll yn yr ysbaid byr o naw mis o amser! Claddwyd yr oll yn Wanamie, Pa., tra yr oedd ef yn ngwlad bell California.

Rhosynfardd sy'n edrych yn brudd,
  Fel agos a thori ei galon,
A thristwch yn dweyd ar ei rudd
  Fod hiraeth yn llonaid ei ddwyfron;
Ah! peidiwch a gofyn paham?
  Rhyw 'storom orphwyllog a'i daliodd,
Ac ynddi fe gollodd *ddwy* fam,
  Y corwynt aruthrol a'u cipiodd!

'Doedd hyn ddim ond agor y ddôr
  I ollwng creulonder o'i loches—
Rhyw gornant yn ymyl y môr
  Fo'n chwyddo bron hollti ei fynwes;
mgasglodd cymylau uwch ben,
  Rho'w'd gorchudd dros wyneb yr huan,
iffoddwyd canwyllau y nen,
  Mewn caddug arwisgwyd holl anian!

Och! dacw y corwynt cryf erch,
  Yn codi ei blentyn mewn gorwanc,
Rhy fychan oedd cryfder ei serch
  I'w guddio na'i gadw o'i grafanc;

Y fam oedd yn gweithio pryd hyn!
  Yn ofer aeth ymdrech yr awrhon,
Datodwyd y c'lymau oedd dŷn—
  Dyrwygwyd llinynau y galon!

Rhyw dymestl aneisior yw hon,
  Y môr sydd yn para i ferwi,
Uwch, uwch, yr ymgyfyd pob tôn,
  Mae nerth yr elfenoedd yn dyblu!
Ow! ow! gwel ei briod fwyn gu,
  Yn erbyn y cenllif yn rhwyfo,
Fe'i curir yn awr o bob tu,
  Ha! dacw hi weithian yn suddo!

Pa ddyn, yn enwedig pa fardd,
  A fedr ymgadw heb deimlo?
Gadewch i mi fyned i'r ardd,
  Neu rywfan cuddiedig i wylo:
Nis medraf fi aros yn hwy
  Ar faes y gyflafan i dremio,
Rhyw erfyn gorfiniog â trwy
  Fy enaid, wrth feddwl am dano!

*Plymouth, Calif.* IFOR CYNON.

---

## TEIMLADAU Y FAM,

*Yn gymysgedig o Lawenydd a Galar.*

GAN MRS. MARY ROACH, (Merch Trebor.)

Ar foreu dydd Sadwrn yn sydyn,
  Daeth gofid i lanw fy mron;
Hen dwymyn ysgarlat ymdaenodd
  Am ddau o'm rhai anwyl a llon;
Ymaflodd yn mywyd fy Emma,
  Oedd rosyn perarogl byw,
Nes gwywodd yn mhen y ddau ddiwrnod,
  I agor yn ninas ei Duw.

Ac yna'r oedd Dafydd bach dirion,
  A'i ddwyfron mewn hiraeth a chri,
'Nol colli ei anwyl chwaer Emma,
  Yn wylo y dagrau yn lli';
A minau mewn gobaith o'i adfer,
  'Nol d'wediad y meddyg i mi:
Y byddai yn eistedd'n ei gadair
  Ben boreu dydd Sabboth mewn bri.

Ond och! ar nos Wener wrth wylio,
  Y gwelwn ei babell yn rhoi;
Yr anadl yn boenus a chyflym,
  Ei degwch yn dianc gan ffoi;
A'r chwys megys pys yn ymrolio
  O'i dalcen mawr prydferth a glân;
Bu felly hyd naw boreu Sadwrn,
  Pryd 'hedodd i gwmni y gân.

Wel, wel, 'rwyf bron wedi'm llethu
  Gan dristwch a galar mor fawr,
'Nol colli f'anwyliaid mor sydyn,
  Oe'nt beunydd i'm lloni ar y llawr;
Nid oes i mi 'nawr ond dystewi,
  A pheidio ynfydu pryd hyn,
Ond gorphwys ar haeddiant yr Iesu,
  A'u prynodd ar Galfari fryn.

Beth yw'r galar? beth yw'r gofid
  Deimlir genyf tan fy mron;
Beth! ond Emma fach a Dafydd,
  Oe'nt mor swynol ac mor llon;
Nid y'nt yma'n awr i'm denu,
  Ni chaf mwyach gusan mwyn,
Byth ni chaf eu rhoi'n y gwely,
  O mor drymed yw fy nghwyn!

Cefais lawer o gyfrinach
  Felus, o'u gwefusau llaith;
Fel 'roedd serch yn myn'd yn ddyfnach,
  Hwythau'n nesu at y daith;
Wedi cefnu ar y gauaf
  Oer, a 'stormllyd, gwlyb a llaith,
Awel oer mis Mawrth a'u chwythodd
  Mewn i'r trag'wyddoldeb maith.

Yno maent yn dechreu canu,
  Dechreu canmol i barhau;
Iesu Grist yw'r unig wrthddrych,
  Sydd yn llanw serch y ddau;
Yno maent mewn etifeddiaeth
  Anllygredig, gyda'r saint,
'Rhon addawodd Duw yn berffaith
  I'r rhai bach, mawr yw eu braint.

*Dodgeville, Ebrill 12, 1877.*

---

## YR EGLWYS.

"Du ydwyf fi, ond hawddgar."—Caniadau Solomon

'Wy'n serchog fel canwyll yn nghaddug y nos,
  Neu flodyn yn dechreu ymagor;
Neu leuad brydferthawl ddeniadol a thlos,
  A'i llewyrch yn lloni ein goror;
Nac edrych yn farnol ar dduwch fy lliw,
  Fantella y galon wych swynol,
A gylchir gan flodau aroglus a gwiw
  Rhinweddau y bywyd trag'wyddol.

Wy'n serchog fel ewig a rodia y ddol
  A bywiog fel pysgod yr afon,
Yn nghelloedd fy enaid gorwedda rhyw gol
  O fwyniant y nefol fendithion;
Mae'm calon yn curo mewn cariad at ddyn
  A rodia yn nheyrnas tywyllwch;
Mi garwn ei weled yn gadael ei win
  Sy'n chwalu o'i fynwes wir heddwch.

Dirmygus edrycha rhyw ddynion ar dro,
  O herwydd y duwch a welant;
A liwiwyd gan heulwen danbeidiawl ein bro
  Diwynodd fy anwyl ogoniant.
Fy mhrofi a gefais gan luaws y llawr,
  Crochanau yn dduon am cylch'ant;
Llygredig gartrefle sy' imi yn awr,
  Yn duo a baeddu fy mwyniant.

Rhyw dduwch nad ydyw'n naturiol i'r cnawd,
  Effeithiau niweidiol yr heulwen,
A dynodd y dirmyg, y cellwair a'r gwawd
  Yn fynych i laesu fy awen.
Byd profus a gefais, yn llaesu fy mhen,
  Gelynion llechwraidd a beiddgar;
Anmharchus ymddygent trwy araeth a llen,
  Yn ngwyneb fy nghalon fwyn hygar.

Er hyny ni pheidiaf a gwneuthur 'ynt dda,
  Mae'm cariad yn chwyddo fy nghalon;
Gweddiaf yn wastad am iddi droi'n ha'
  Serchogaidd a bywiol rhwng dynion;
Hawddgarwch enilla drigolion y byd,
  Daioni duedda adferiad;
Tynerwch mewn geiriau a welaf o hyd
  Yn chwalu cenfigen a'i fwriad.

Rhyw feistriaid go galed fu arnaf yn hir,
  Gorthrymus fu deddfau caethiwed;
Carcharu a llosgi a fuont yn wir,
  Yn llidiog, a baeddu heb arbed;
Yn lloches y creigiau ymguddio am dro
  Rhag bleiddiaid a llewod gwyllt anwar,
A chwiliant am danaf yn nwydwyllt trwy'n bro,
  Er hyny mae'm calon yn hawddgar.

Fy ngosod i weithio dros eraill sydd fai,
  I gynal i fyny gau-grefydd;
Gadawir fi weithio a hyny'n ddi-drai
  Orchwylion berthynant i'm cynydd;
Ymroddwn mewn egni er llwyddiant y gwir,
  A'r rhinwedd a ddeillia o hono;
Fe welwn ryw lawer o lwyddiant cyn hir,
  A choron o berlau gwych arno.

Fy nillad y'nt afiach, o herwydd y byd
  Budreddog, a lleidiog heolydd;
Diwyno fy ngwisgoedd yr ydwyf o hyd,
  Nes peri i'm deimlad annedwydd;
Daw adeg fendigaid orwychol ryw dro
  I dori yn doraeth llawn arnaf;
Caf symud o'r fangre sy' heddyw dan glo
  I'r nefoedd at Briod hawddgaraf.

Ni welir ddim brychau na chrychni byth mwy,
  Ond mawredd ieuenctyd a gwychder,
Addurnawl wedd arnaf heb dduwch na chlwy',
  Yn llwythog gan arian a mwynder;
Goreurog a pherlog wych goron i'm mhen,
  A'm Brenin a'm harwain i'w balas,
Rhygyna fy ngwisgoedd y lloriau uwch nen,
  Mewn cariad, hawddgarwch cyweithas.

*Wiconisco, Pa.* B. E. JONES.

---

## Y GOFYNIAD MAWR.

Pa beth yw dyn? Planigyn byw
A darddodd maes o hedyn Duw;
Ei wraidd yn sugno'r ddaear ferth,
A'i ddail o'r haul yn casglu nerth.

Pa beth yw dyn? Drylliedig faen
A ddaeth yn rhydd o Ddwyfol haen;
A gorwedd bu'n mhlith meini'r gro,
Nes daeth y Saer i'w drwsio fo.

Pa beth yw dyn? Palasdy gwyn
O gelfwaith Duw ar ael y bryn;
Bryn perffeithrwydd ydyw ef,
A haf-breswylfa Brenin nef.

O'r uchel drum, lle'r wyf yn awr,
Edrychaf am y dderwen fawr;
Ei changau sydd i'r bôn yn grin,
Yn engraifft byw o erwin hin.

Y palas gwyn a'i g'lofnau mawr,
Sy'n adfail trwch ar hyd y llawr;
A thanllyd nwydau'n ddiwahardd,
Losgasant yr holl ddodrefn hardd.

Ac er i'r meini losgi'n ddu,
Ceir ol y gabol gainc yn hy';
Ac er i'r muriau borthi'r tân,
Mae'r ffurf ar sylfaen fel o'r blaen.

Mewn cystudd, ALWYN TREFOR.

## HANESION CARTREFOL.

*Cyfarfod Ysgol Sabbothol.*—Hwyr dydd Gwener, Mawrth 30, cynaliwyd cyfarfod perthynol i Ysgol Sabbothol y Bedyddwyr Cymreig yn ninas Utica, N. Y. Yr oedd y cynulliad yn lluosog o blant a phobl mewn oed, a chafwyd cyfarfod dyddorol, difyr ac adeiladol. Llywyddai J. Edred Jones, y gweinidog; ac wedi anerch gorsedd gras gan y brawd Owen Criffiths, aeth y plant at eu gwaith, ac aethant trwyddo hefyd yn gampus iawn. Yr oedd ar y *programme* tua deg-ar-hugain o ddarnau i'w hadrodd a'u canu, yr hyn a wnaed gyda'r parodrwydd a'r deheurwydd mwyaf—yn hynod felly ag ystyried fod llawer o'r plant yn ieuainc ac yn fychain. Ac er fod rhai ieuenctyd a gymerasant ran, yn deilwng o ganmoliaeth uchel iawn, eto ystyriwn mai annoethineb nodi y rhai hyny, pan yr oedd *pawb*, o'r ieuengaf i'r hynaf, wedi gwneyd mor rhagorol. Yr oedd y cyfarfod hwn yn mhell uwchlaw ein dysgwyliad, ac yn profi fod yr athrawon a'r rhieni wedi bod yn llafurus i ddysgu y plant, a'u bod hwythau yn meddu llawer o *smartness*. Cododd ynom awydd i gael cyfarfod cyffelyb yn fuan eto, ac y bydd y nesaf yn rhagori ar hwn.—*Pleidiwr yr Ysgol.*

*Capel Niles, O.*—MR. GOL.: Yr wyf wedi dechreu ar y gwaith o gasglu at ein capel yn Niles, Ohio. Y mae genyf orchwyl caled a phwysig o fy mlaen. Y mae ein dyled yma yn $1,400, swm mawr, ïe, mawr iawn ar amser mor wael. Y mae *judgment lien* yn sefyll ar ein capel o bum' cant o ddoleri. Y peth cyntaf sydd genyf i'w wneyd yw ceisio symud y *judgment lien.* Bûm yn casglu yn Coalburgh, O. Gwelais serchawgrwydd ac haelioni hefyd, ag ystyried amgylchiadau y lle. Bu fy anwyl frawd, y Parch. C. Jones, gweinidog y B. yn hynod ffyddlon gyda mi, a charedig iawn, ond er y cyfan nid oedd y casgliad ond bychan. Bum hefyd yn Hubbard, O.; mae ein heglwys yma yn wan iawn—ychydig o ffyddloniaid sydd yma yn ceisio dal coffadwriaeth i enw ein Gwaredwr. Bydd y brawd ffyddlon T. M. Matthews yn pregethu unwaith bob Sabboth yn Hubbard; trigle y brawd Matthews yw Coalburgh. Gwanaidd iawn oedd fy nghasgliad yn Hubbard; ond beth allaswn ddysgwyl mewn lle nad oes gwaith i rai a ewyllysiant weithio? Gwelais garedigrwydd mawr yn mhlith fy nghyfeillion hoff. Bum hefyd yn Sharon, Pa.; byddaf yn myned yno eto yn mhen pump neu chwech wythnos. Addewidion a gefais yno gan mwyaf. Cefais y bobl yn Sharon yn hynod garedig, a pharod i'm helpu yn fy ngorchwyl pwysig. Y mae eglwys y B. yn Sharon, dan ofal ein hanwyl frawd Thos. Thomas, yn llewyrchus a llwyddianus—Ysgol Sabbothol ragorol, a'r ffyddlon D. O. Davies yn arolygu. Cefais foddlonrwydd mawr yn Sharon, a chefais gyfeillach ddymunol a dedwydd y cywir a'r caredig frawd Thomas. Dymunaf i'r brawd Thomas, ei briod hoff a'i anwyl blant, yn nghyd a'r eglwys dan ei ofal, lwyddiant parhaus. Nawdd y Nef a fyddo arnynt. Gan fy mod wedi dechreu ar y gorchwyl hwn, tebyg y bydd yn rhaid i mi neu ryw un arall lynu wrth y gwaith o gasglu, hyd nes y byddo y capel yn ddiogel yn ein meddiant fel eglwys. Hyderwn y bydd i ni gael caredigrwydd cyfeillion yn mhob man, ac y cawn yn llaw ein Duw fod yn offerynol i wneyd llawer o les. Bydded i'r cyfeillion yn mhob man yr ydym wedi galw gyda hwynt dderbyn ein diolchgarwch cynesaf. Llwyddiant mawr i'r WAWR wiw-glodus, a'i golygydd tangnefeddfwyn, yw dymuniad eich gos-

tyngedig frawd yn rhwymau yr efengyl —D. C. THOMAS (*Christopher Bach*).

*Ashton — Lansford. — Cyfnewidiad Enw.*—Bydded hysbys i bawb pan yn ysgrifenu at bersonau yn Ashton, ger Summit Hill, Pa., fod enw Ashton wedi ei droi yn Lansford. Mae y lle hwn yn hen sefydliad Cymreig. Adwaenid ef gynt wrth yr enw Hen Fines (*Old Mines*). Summit Hill oedd prif dref yr Hen Fines. Yno yr adeiladodd y Bedyddwyr Cymreig eu capel cyntaf. Erbyn hyn, y mae y dyffryn a adnabyddid wrth yr enw Ashton yn cynyddu yn gyflym. Yn y dyffryn y mae yr holl weithfeydd, &c.; ac y mae stores mawrion yma, a'r lle wedi cael ei wneyd yn *borough*. Y mae yr enw hefyd yn newydd i'r lle—Lansford oedd enw y *depot* o'r blaen, ond Lansford yw yr oll yn awr. Yma y mae y Bedyddwyr wedi codi capel newydd hardd ac eang er ys blynyddau bellach. Rhifa yr aelodau tua 70, a chynulleidfa luosog. Yma y gweinidogaetha y Parch. D. S. Thomas er's yn agos i bedair blynedd. Mae yr eglwys mewn cyflwr dymunol—amrai o afradloniaid wedi eu dychwelyd, a rhai o'r newydd yn ymgeisio am fedydd. Cofier felly mai Lansford, Carbon Co., Pa., yw yr iawn gyfeiriad.—*Dysgybl.*

---

## *BEDYDDIADAU.*

*Mahanoy.*—Fel ag y nodwyd yn y rhifyn diweddaf o'r WAWR, ychwanegwyd at yr eglwys yn y mis diweddaf 13 o bersonau trwy fedydd; adferwyd tri o wrthgilwyr, a derbyniwyd un trwy lythyr. Eto, Ebrill 15fed, cawsom y fraint, yn ngwydd tyrfa fawr o bobl, o edrych ar ein gweinidog anwyl yn gweinyddu yr ordinhad sanctaidd o fedydd ar chwech o bersonau yn rhagor, a chafodd un gwrthgiliwr ei adferyd. Yr oedd yr olygfa yn hardd iawn i gyd; ond yr oedd yno ddau wrthddrych, y rhai yr oedd y dorf yn cyfeirio eu sylw atynt yn fwy neillduol na'r lleill; un oedd bachgen ieuanc 13eg oed, yr hwn sydd yn cofio ei Greawdwr yn nyddiau ei ieuenctyd, ac yn arddangos hyny trwy fyned yn wrol i'r dyfrllyd fedd ar ol ein blaenor bendigedig. Gwrthddrych arall ein sylw neillduol oedd hen wraig, yr hon oedd wedi bod yn aelod mewn eglwys o enwad arall am lawer o flynyddoedd; ond yn y dyddiau diweddaf hyn cododd rhyw aflonyddwch yn ein meddwl yn nghylch y bedydd—gweddiodd am oleuni, ac mae yn hyderus gredu fod Duw wedi ei hateb, ac ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, er boddlonrwydd i bawb, bedyddiwyd hi yma y Sabboth diweddaf, yn haner cant a phump oed. Parhaed brawdgarwch.—*Wm. P. Watkins.*

*Audenried, Pa., Ebrill* 1.—Da genyf allu hysbysu fod yr achos da yn llwyddo yma yn ein plith. Cawsom y fraint a'r hyfrydwch o weled ein parchus frawd, W. D. Thomas, Mahanoy, yn claddu trwy fedydd 13 o bersonau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, yn ol y dull apostolaidd. Er fod yr hin yn oer ac annymunol, eto ymgasglodd tyrfa o bobl at lan y dwfr i weled yr ordinhad yn cael ei gweinyddu. Yn yr hwyr, traddododd y brawd bregeth Seisonig yn ei ddull arferol. Yr oedd y capel wedi ei lenwi o wrandawyr, ac arwyddion fod pawb wedi eu boddloni, a Duw yn arddel y genadwri. Cyn y gweinyddiad o swper yr Arglwydd, derbyniodd y brawd 13 yn gyflawn aelodau, ac un oddiar dir gwrthgiliad; a darllenodd dri o lythyrau—yn gwneyd ychwanegiad at ein rhifedi o 17. Ar ol y swper taflwyd y rhwyd, a daliwyd un. Erbyn hyn mae pump o flaen yr eglwys eto; a'n gweddi yw, ar i Arglwydd y cynhauaf ddyfod i'r maes gyda ei genadwri, a llwyddo ei waith dros wyneb yr holl ddaear, megys ag y mae y dyfroedd yn toi y môr, a theyrnasoedd y byd i ddyfod yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef. Amen.—*B. D. Evans.*

Sabboth, Mawrth 4, 1877, yn Thomastown, O., bedyddiwyd dau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw; a dau ar Sabboth, yr 8fed o Ebrill, yr un modd, gan ein gweinidog, y Parch. J. T. Jones. Mae yr achos yma yn parhau ar ei gynydd hyd yn hyn. Yr ydym wedi derbyn pedwar o afradloniaid yn ol yn y misoedd diweddaf. O'r Arglwydd y mae hyn oll. Mae y WAWR

yn gwella o hyd. Llwyddiant iddi.—*E. R.*

*Plymouth, Pa.*—Bedyddiwyd un brawd yma ddoe, sef yr 22ain o Ebrill. Y mae yma fagad o afradloniaid wedi dyfod i'r gyfeillach, ac yn aros am eu cyflawn adferiad. Derbyniwyd yma hefyd ddoe bedwar trwy lythyrau. Gwelwch fod yr achos goreu ar gynydd yn raddol o hyd yn y lle hwn; ac os byddwn fyw yn blant da i'n Tad nefol, daw yma eglwys gref yn y man. Ymddibyna ein llwyddiant sylweddol ar burdeb bywyd gyda Duw a dynion.—*E. Jenkins.*

*Gair o Youngstown, O.*—Mae achos genym fel eglwys i lawenhau am fod rhai yn troi eu gwynebau i ymofyn am le yn ein plith, a rhai o honynt yn afradloniaid. Derbyniwyd tri trwy fedydd; adferwyd pedwar o dir gwrthgiliad. Yr Arglwydd a barhao yn ei ddaioni. Da genym allu dyweyd fod y frawdoliaeth yn gynes iawn, ac yn anwylo eu gilydd fel brodyr yn yr Arglwydd, a'r gynulleidfa wedi cynyddu llawer yn ddiweddar, a gweinidogaeth ein hanwyl frawd yn dderbyniol iawn gan yr eglwys a'r gynulleidfa yn gyffredinol.—*Un o'r Brodyr.*

*Vienna, O.*—Mae amgylchiadau y lle hwn yn isel iawn. Mae yma *shaft* newydd ar gychwyn; dichon y gwna hyny fywiocâu ychydig ar y lle. Mae yr eglwys Fedyddiedig yma heb farw, trwy drugaredd, er ein bod lawer gwaith wedi bod yn ddigon digalon. Cawsom Sabboth rhyfeddol yma yr 22ain o Ebrill. Ar ein cais daeth y Parch. D. C. Thomas, o Niles, Ohio, i dalu ymweliad â ni, a diolch i'r Nefoedd, daeth a bendith efengyl y tangnefedd gydag ef. Yn y boreu cawsom bregeth Gymraeg ganddo. Am 3 o'r gloch, anerchiad ar Fedydd, yn Saesoneg; yna cawsom y pleser mawr o weled brawd a chwaer yn dilyn Crist yn y dyfrllyd fedd. Yr oedd yma dorf fawr ar y pryd, a phawb yn ymddwyn yn weddaidd. Yn yr hwyr cawsom bregeth Saesoneg gan y brawd anwyl Thomas. Ar ol y bregeth adferwyd dau, a derbyniwyd y ddau a fedyddiwyd; yna gweinyddwyd swper yr Arglwydd. Ar ddiwedd y cyfarfod, arosodd un o'r newydd yn y gyfeillach. Felly gwelwch, os yw y byd yn gwgu arnom, fod y nefoedd yn gwenu. O, na allem gael y gwas ffyddlon hwn i Iesu Grist atom yn amlach. Rhagluniaeth a gras a'i noddo yn mhob man, ac a'i gwnelo yn fendith i filoedd, yw ein dymuniad yn gywir—*Wm. Pritchard, Ysg. yr Eglwys.*

*Pittsburgh, Pa.*—Derbyniwyd naw o aelodau newyddion ar Sabboth y 15fed o'r mis diweddaf, i eglwys Chatham Street. Yr oedd dau o honynt yn hen aelodau gyda'r Annibynwyr, ac un arall wedi bod yn aelod gyda'r T. C. am dros haner can' mlynedd; ac er ei fod yn 69 mlwydd oed, yr oedd mor ddigryn yn y bedyddfan ag oedd Ioan Fedyddiwr yn yr Iorddonen. Y mae tri oddiwrth enwadau eraill eto yn y gyfeillach yn dysgwyl am y fraint o gael eu bedyddio i Grist Iesu, a saith eraill hefyd o flaen yr eglwys yn dysgwyl am dderbyniad. Diolch i Dduw am ei bresenoldeb yn ein plith. Y mae yr Ysgol Sabbothol yn ein plith, dan ofal y diacon anwyl D. Lloyd Jones, wedi myned yn ormod i fod yn gysurus yn y capel, ac mae'r cymunwyr hefyd yn methu cael lle. BRAWD.

## *PRIODWYD—*

**Ebrill 14, yn llety "Christopher Bach," yn Niles, Ohio, gan y Parch. D. C. Thomas, Geo. Morgan, Ysw., a Miss Mary J. Evans; oll o Niles, O.**

**Happy and right are they who unite**
**To love and to cherish each other;**
**May providence bright,**
**With brilliance and light,**
**Go with them for ever and ever.**
**CHRISTOPHER BACH.**

**Mawrth 26, 1877, yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., gan y Parch. W. M. Evans, Mr. James Williams a Miss Hannah Jones; y blaenaf o Fairview, a'r olaf o Pike, N. Y.**

## *BU FARW—*

**Ebrill 6, yn Frostburg, Md., plentyn i Evan ac Elizabeth Rees, Ocean Mines, Allegheny Co., o'r *spotted fever*. Claddwyd ef dydd Llun, y 9fed, yn mynwent yr Odyddion yn Frostburg, pryd y gweinyddwyd ar yr achlysur**

gan y brawd D. R. Jones, (B.) Ei oedran oedd 15 mis. Ei enw oedd Thomas.

THOMAS GATEHOUSE.

Mawrth 12fed, 1877, yn Danville, Pa., Hannah Merchant, yn ei 72 mlwydd o'i hoedran. Cymerwyd hi yn glaf yn dra sydyn ryw wyth diwrnod cyn ei hymddatodiad. Dyoddefodd y cyfan yn dawel, gan ymostwng dan alluog law yr Arglwydd, yn yr hwn y gobeithiai er's llawer blwyddyn. Y mae y Cristion yn cael modd i ymdawelu yn ngwyneb holl droion yr anial dyrus; ac hyd yn nod pan y bydd angau wrth ei waith yn rhwygo y babell, nes y mae yr enaid yn ymadael am fyd yr ysbrydoedd. Yr adeg gyfyng hon, gall y Cristion lawenhau ac ymorfoleddu yn ei Dduw, gan wybod ei fod yn myned i fyd sydd gan' mil gwell na hwn. Y mae y rhai sydd yn cael byw i'r oedran hwn, yn cyfarfod a llawer o helbul, ac ystormydd dirif yn eu goddiweddyd; felly ein chwaer ymadawedig, a'n mam yn Seion. Gwelodd golli ei phriod er's blynyddau lawer; hefyd blant, a rhai o honynt yn benau teuluoedd. Pur anaml y mae dynion yn cael mwy o drallod a gofid yn y byd hwn, nag a gafodd yr ymadawedig. Gadawodd blant, wyrion, a gor-wyrion i alaru ar ei hol, rhai o honynt yma a thraw drwy y wlad. Ein gweddi ydyw, am i'r Hwn fu yn dyner o'n chwaer yn y gorphenol, fod yn ofalus o'r rhai amddifaid; ac y bydd i'r oll o honynt (diolch fod rhai) ddyfod i geisio Duw eu mam i fod yn Dduw iddynt hwythau. Gweinyddwyd y gwasanaeth angladdol ar y 14eg, gan y Parchn. Mr. Davies (A.), a Mr. Shindel (L.) Daeth tyrfa luosog yn nghyd i'r angladd, a chafodd gladdedigaeth barchus. Yr ydym fel eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn y lle hwn, yn teimlo yn ddwys o herwydd colli ein brodyr a'n chwiorydd mor aml. Ein chwaer ymadawedig oedd un o'r rhai hynaf yn yr eglwys, os nad yr hynaf o'r eglwys yn y fyddin. Yr ydym wedi cael achos i dristâu; ond nid fel y rhai nad oes ganddynt obaith. Y mae ein gobaith yn sylfaenedig ar ffydd, eu bod oll yn ddyogel, wedi cyrhaedd yr hafan ddymunol, a'u bod heddyw yn y rhan ysbrydol o'r eglwys. Frodyr a chyfeillion, paratowch i fyned ar eu hol.

WILLIAM FRANCIS.

Medi 6, 1876, yn Mason City, West Virginia, Daniel Davies, yn 52 mlwydd oed. Ganwyd y brawd Davies ar y ffarm a elwid Tar, ger y lle a adnabyddid wrth yr enw Llan, Swydd Benfro, D. C., yn y flwyddyn 1824.

Cafodd addysg foreuol dda, yr hyn a fu yn fanteisiol iawn iddo yn ngwahanol amgylchiadau ei fywyd, yn neillduol felly yn ei alwedigaeth ddyddiol, yr hon ydoedd, fel yr arferai ddyweyd, Saer Coed, yn yr hon gelfyddyd safai Daniel Davies yn y rhes flaenaf o'i gyd weithwyr.

Symudodd i Dowlais, ac adnabyddid ef yn gyffredin wrth yr enw Daniel Davies, y Saer. Yno hefyd y priododd ddwywaith. Bu iddo ddau o blant o'r wraig gyntaf, sef bachgen a merch. Ond yn sydyn ac heb fawr o rybudd, bu farw y fam dyner; ac yn mhen pymthegnos, wele'r eneth fechan yn cyd-orwedd a hi yn y gweryd. Cwpaneidiau chwerwon oeddent y rhai hyn i'r brawd Davies. Cafodd fagu y bachgen (William), yr hwn sydd heddyw yn fyw, ac yn ddyn cyfrifol yn San Francisco, California. Yn mhen rhai blynyddau, priododd a'r ail wraig, yr hon sydd heddyw yn galaru ei cholled ar ei ol.

Tuag ugain mlynedd yn ol, ymfudasant i'r wlad hon, ac ymsefydlasant am ychydig amser yn Utica, N. Y. Yr oedd ganddo ddau o frodyr yn byw yn Utica y pryd hwnw; eithr bu un o honynt farw yno, ac aeth y llall i California, lle y mae yn bresenol; ond nis gwyddom eu henwau. Nid hir y bu'r brawd Davies yn Utica, cyn penderfynu myned yn mhellach i'r Gorllewin; a'r fan yr ymsefydlodd ef a'i deulu oedd Mason City, West Virginia. Yma yr ystyriai efe ei gartref arosol, er iddo fod yn ninas Charleston, o'r un Dalaeth, am ychydig amser, tra yn cyflawni rhyw gywreinwaith perthynol i'w gelfyddyd, ar rai o adeiladau gwychaf y ddinas hono.

O herwydd tuedd annibynol ei feddwl, ac ansefydlogrwydd masnach, &c., penderfynodd roddi mantais i'w blant efrydu ac ymarfer amaethyddiaeth, yr hon alwedigaeth a ystyriai efe y fwyaf annibynol. Ac i'r perwyl, prynodd ffarm ryw ychydig filldiroedd o Mason City, a symudodd ei deulu yno; a byddai efe ran o'i amser gyda hwy ar y ffarm, a'r gweddill yn Mason City yn dilyn ei alwedigaeth.

Rhyw dri mis cyn ei farwolaeth, ymosodwyd arno gan y dolur a elwir "*hemorrhage of the lungs*," yr hwn a derfynodd yn angau i'r brawd anwyl Daniel Davies.

*Ei nodwedd a'i brofiad crefyddol.*—Nis gallwn nodi adeg ei argyhoeddiad, pa le, na phwy a'i bedyddiodd ef; ond ymddengys iddo ddechreu ei yrfa grefyddol yn ieuanc. Bu yn aelod dichlynaidd yn eglwys Caersalem, Dowlais, o'r hon y cafodd y gymeradwyaeth uchaf i ddyfod i'r wlad hon, fel brawd gwir deilwng, ac athraw yn yr Ysgol Sul o'r radd flaenaf.

Yr oedd wedi talu sylw mawr i ddarllenyddiaeth; ac anfynych y cyfarfyddid a'i gydradd i ddarllen y Beibl. Ystyriai ef ddarllen penod mewn cyfarfod cyhoeddus, y rhan bwysicaf o'r gwasanaeth, ac ni theimlai i wneyd hyny heb neillduo rhyw gymaint o amser i weddio am ddylanwad yr Yspryd Glan ar ddarlleniad y Dwyfol Air. Yr oedd y Daniel hwn fel bachgen y gaethglud gynt, yn hynod am onestrwydd, difrifoldeb, a chysegredigrwydd crefyddol. Lle bynag y byddai, ymdrechai gadw ei grefydd yn ddysglaer, a gwasgarai berarogl dymunol duwioldeb, yn deuluaidd a chymydogaethol. Pan gartref gyda'r teulu ar y tyddyn, teimlai pobl y gymydogaeth fod Cristion trylwyr yn y lle. Sefydlodd Ysgol Sabbothol ar unwaith, ac heddyw y mae golwg obeithiol am eglwys lewyrchus i Grist yn y gymydogaeth anfoesol hono.

Yn ystod ei gystudd ymddangosai yn dawel, gan gusanu y wialen a bendithio yr Hwn a'i hordeiniodd; a dywedai yn aml wrth ei berthynasau a'i gymydogion am werth y Gwaed, &c. Canai yn fynych y penill hwnw—

"Gwell i mi na'r greadigaeth,
Y Gwr fu farw un prydnawn," &c.

Ychydig cyn ei farw, dywedai wrth ei briod anwyl: "Y mae yn gyfyng arnaf o'r ddeutu, gan fod chwant arnaf i'm datod a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw; eithr aros yn y cnawd sydd fwy angenrheidiol o'ch plegid chwi." Pan welodd ei llygaid yn ffynonau o ddagrau, gwenai gan ddywedyd: "O fy anwylyd, y Beibl, y Beibl. Cofiwch yr adnod hono, 'Tad yr amddifaid a Barnwr y gweddwon yw Duw, yn ei breswylfa sanctaidd.'" Buan wedi hyny, gwelwyd ei lygaid yn tywyllu yn y glyn, ac y clywyd y twrf diweddaf yn ei wddf, ac yr ehedodd ei ysbryd at Dduw yr hwn a'i rhoes ef.

Aeth lluaws o bobl gyfrifol Mason ac Hartford Cities allan i'w angladd, yr hyn a brofai eu parch mawr tuag ato. Daearwyd ei ran farwol mewn man yn ymyl ei gartref, o'i ddewisiad ei hun. Pregethwyd ar yr achlysur gan y Parch. L. E. Peters (yn Saesoneg), oddiwrth eiriau Balaam: "Marw a wnelwyf o farwolaeth yr uniawn," &c. Cyn ymadael a'r bedd, canwyd yn Gymraeg—

"Torf o'm brodyr sydd yn gorwedd," &c.

Cysured yr Arglwydd y weddw alarus, a'r plant oll; a bydded iddynt fyw i Grist fel eu rhieni, a chael cyd-gwrdd eto ar fryniau anfarwoldeb. Galwed yr Arglwydd hefyd rywun i lanw y bwlch yn eglwys Mason City, ydyw dymuniad AP IEUAN.

O. Y. Dymunir i *Seren Cymru* godi yr uchod, er mwyn perthynasau a chyfeillion yn Nghymru. Bu iddynt 17 o blant. Saith o honynt sydd fyw.

Chwefror 11eg, 1877, yn Davies Co., Mo., (a gerllaw Dawn), Mrs. Eleanor Jones, priod Mr. Wm. Jones, o'r darfodedigaeth. Ganwyd hi yn Ngogledd Cymru (nid wyf yn gwybod pa sir), yn flwyddyn 1825. Ymfudodd y teulu i'r wlad hon pan oedd hi yn lled ieuanc, (tua 8 mlwydd oed.) Buont yn byw am rai blynyddoedd yn Nhalaeth New York. Bedyddiwyd hi pan oddeutu 16 mlwydd oed, yn y Dalaeth uchod (nis gwn yn mha le). Enw ei thad oedd Hugh O. Roberts. Bu yn ddiacon am flynyddoedd yn eglwys Ebenezer, Cattaraugus Co. Symudasant i'r ardal hon rai blynyddoedd yn ol, lle mae'r gweddill o'r teulu eto yn byw. Nid wyf yn gydnabyddus iawn a'r teulu yma o Gymry; ond yn ol yr hanes goreu a gefais i yr oedd y wraig hon yn briod ffyddlon, ac yn fam dyner a chariadus; ac hefyd mewn cysylltiad crefyddol a rhyw eglwys trwy holl daith ei bywyd. Felly, cofnoder ei henw yn y byd nesaf. THOMAS LEWIS.

Chwefror 6, 1877, yn Oshkosh, Wis., Mrs. Jane Owens. Ganwyd y chwaer Owens yn Swydd Gaernarfon, G. C., yn y flwyddyn 1818. Daeth i'r wlad hon gyda ei rhieni (John ac Eleanor Roberts) pan tua 8 mlwydd oed, a sefydlasant yn Swydd Oneida, N. Y.; yna symudasant i Swydd Cattaraugus. Yno ymunodd a chrefydd, gyda y Bedyddwyr, pan yn ferch ieuanc. Bedyddiwyd hi gan y Parch. Wm. F. Phillips. Priododd Ebrill 10, 1849, gyda Robert T. Owens, Remsen y pryd hwnw, ac yn aelod gyda y Trefnyddion Calfinaidd. Yn mhen rhyw gynifer o flynyddoedd, ymunodd R. T. Owens a'r Bedyddwyr. Bedyddiwyd ef gan y Parch. Thomas Roberts; ac yn fuan dechreuodd bregethu. Yn mis Mai, 1855, symudasant i ardal Oshkosh, Wis., gyda llythyrau o gymeradwyaeth a gollyngdod o eglwys Freedom, Cattaraugus; ac ymunodd ef a hithau ag eglwys y Bedyddwyr Cymreig, sef Salem. Bu y brawd Owens yn pregethu yn yr eglwys hon am yn agos i ddwy flynedd, ac yn achlysurol tra fu byw. Ond symudodd y teulu yn nes i ddinas Oshkosh i fyw, a chawsant lythyrau gollyngdod, ac ymunasant gyda'r Bedyddwyr Seisnig yno, am ei bod yn fwy cyfleus i addoli. Yn y flwyddyn 1868 symudasant i ardal Spring Water, Waushara Co., Wis., ac ymunasant ag eglwys y Bedyddwyr yno. Bu y brawd yn pregethu yn yr ardal hono eto yn Gymraeg a Saesoneg; ac yn Ebrill, 1870, daethant yn ol i Oshkosh i fyw; ac yn mis Mai, y 19eg, bu farw, ar ol ychydig ddyddiau o afiechyd. Gwel y darllenydd ei fod wedi bod yn lled symudol yn ei fywyd; ond credwn yn gadarn ei fod wedi myned i dangnefedd, i'r aneddle lonydd, lle na ddywed neb o'i phreswylwyr, mai claf ydwyf mwy. Gadawodd weddw a dwy ferch i alaru ar ei ol. Bu y chwaer fyw yn ninas Oshkosh ar ol claddu ei gwr, a rhoddodd ei llythyr o aelodaeth yn eglwys Salem, gan ei bod yn mwynhau ei hun yn well yn y moddion crefyddol yn yr iaith Gymraeg na'r Saesoneg; a byddai yn ymdrechu cadw ei chydgynulliad oreu y gallai ag ystyried pellder y ffordd oedd ganddi i ddod i'r moddion. Bu yn dihoeni o ran ei hiechyd yn hir o anhwyldeb yr afu. Cymerodd lawer o gyffeiriau, ond i ychydig o ddyben; yr oedd angau fel wedi anelu ei saeth ati er ys misoedd. Teimlodd awydd i fyned i'r wlad tua phum' wythnos cyn iddi farw, at ei chwaer a'i brawd-yn-nghyfraith, Jarrett Roberts, ac adfywiodd y symudiad ychydig arni ar y cyntaf. Bu yn myned allan yn y *sleigh* ychydig droion, ac hyderai y ca'i wellâd; ond tuag wythnos cyn iddi farw, gwaethygodd, a chafodd ar ei meddwl fod yn ddyledswydd arni i wneyd ewyllys o'r hyn oedd ganddi; ac ar ol gwneyd y gorchwyl hwnw, yr oedd ei meddwl wedi tawelu i ewyllys yr Arglwydd, er y carasai gael byw gyda eu merched. Ond dy ewyllys a wneler, oedd iaith ei hymddyddan. Yr oedd y chwaer hon o dymer garedig iawn, parod i weinyddu cymwynas yn mhob amgylchiad o

gyfyngder; perchid hi gan y rhai a'i hadwaenai oreu, a dangoswyd hyny yn weithredol ar ddydd ei chladdedigaeth. Yr oedd yr orymdaith yn fawr yn hebrwng ei gweddillion marwol i dy ei hir gartref, o dy Mr. Jarrett Roberts, lle y bu farw. Gweinyddwyd yn y ty, gan R. Roberts, Proscairon; ac yn y capel gan y Parchedigion John Evans (B.), J. Jones (W.), J. B. Evans (A.), Oshkosh, T. Foulkes (T. C.); ac ar lan y bedd gan J. Jones (A.) Felly y terfynodd y gwasanaeth. Heddwch i'w llwch. Tad yr amddifad a ofalo am eu merched. Mewn galar. R. BENNETT.

BYR-GOFION AM MRS. MARY DAVIES, O EGLWYS HYDE PARK, PA.

MR. GOL.: Y mae hen sefydlwyr crefydd yn Scranton yn myned yn llai eu rhif y naill flwyddyn ar ol y llall. O'r ychydig Gymru a fu'n foddion i barhau achos y Bedyddwyr yn Scranton er's mwy na thair-blynedd ar-hugain yn ol, a hyny yn nghanol y goedwig, gallwn ddyweyd fod Mary Davies yn un o honynt. Mae llawer o'r rhai ag oedd yn cydweithio a'n hen chwaer yn yr eglwys filwriaethus hon, wedi eu symud i'r eglwys orfoleddus fry yn y nefoedd, wedi myned oddiwrth eu gwaith at eu gwobr yn mhlith y llu. Darfu i'n hen chwaer gael y fraint o'i symud o'r gegin i'w pharlwr dydd Mawrth, y 12fed o fis Mawrth. Ganwyd ein chwaer yn Llanboidy, plwyf yn cydiaw Sir Benfro a Chaerfyrddin, D. C., yn y flwyddyn 1797, a'r 30ain o fis Hydref; felly, buasai yn 80 oed Calangauaf nesaf. Ymfudodd i'r wlad hon o gymydogaeth Blaenau Gwent, yn y flwyddyn 1849, a gosododd ei phwys i lawr yn nghyffiniau Scranton, lle y bu yn trigianu hyd nes i angau wasgu yr hyn oedd yn anfarwol o honi, fel ag y darfu iddi adael yr eglwys filwriaethus yn orfoleddus Bedyddiwyd ein chwaer gan y Parch. John James, Pittston gynt, y pryd hwn Scranton, yn y fl. 1853—gall mai yn y fl. 1854, nid yw yr ysgrifenydd yn gallu dyfod i un awdurdod ar y *date* yn well na roddodd ei mab, sef y cyfaill hael a didwyll Thomas Thomas, post feistr Hyde Park. Ond gallasai gael ei bedyddio rhwng y fl. 1852 a '54, yr hyn sydd yn cael ei gadarnhau gan amryw o hen frodyr a chwiorydd; felly, darfu i mi osod i lawr y flwyddyn 1853, felly gwelwn ei bod wedi proffesu yr enw o Gristion am 24 mlynedd, ac wedi dal yn wrol o blaid yr Hwn a ddechreuodd ynddi y gwaith da trwy ras.

*Dywedwn air am ei ffyddlondeb crefyddol.*—Y pethau egluraf yn nheithi ei chymeriad crefyddol oedd didwylledd a ffyddlondeb crefyddol. Mae yn Hyde Park aelodau mwy eu talentau, mwy diwylliedig eu meddyliau, ac helaethach eu doniau; ond yr ydym yn dyweyd gyda eofndra, nad oes yma neb yn eglwys Hyde Park yn fwy ffyddlon a didwyll na bu ein chwaer Mary Davies; yr oedd cydwybod yn cael ei *hactio* yn mhob cysylltiad masnachol a chrefyddol. Mr. Gol., o bosibl y dylwn ddyweyd gair yn y fan hon, nad ydwyf yn un o'r rhai hyny sydd yn diymwybyddu talent; ond credwyf fod bywyd dichlyn a ffyddlon ein hanwyl chwaer, yr *index* goreu i'r byd o ddidwylledd ei chrefydd. Un felly oedd bywyd Mary Davies. Peth arall oedd yn amlwg yn ei chymeriad crefyddol oedd ei *hysbryd defosionol.* Yr oedd yn treulio llawer iawn o'i chymdeithas gyda Duw. Cofus gan yr ysgrifenydd, wrth fyned i'r gyfeillach, er's dwy flynedd yn ol, yn y gauaf, tra yn dygwydd cerdded o'i hol, ei chlywed yn gweddio am i Dduw roddi ei wenau yn y gyfeillach. Meddai, "O Arglwydd, paid gadael i'r brodyr a'r chwiorydd gintach ac ymgecu a'u gilydd; ond dyro i ni gael gwybod beth yw eistedd gerllaw i'r pren afalau, a dyro i ni gael pob i afal fel y gallwn ddyweyd fod ei ffrwyth yn felus i'n genau." Dywedai wrth yr ysgrifenydd yn nhy y brawd profiadol Wm. C. Williams, Patagonia, y carasai gael marw heb gystudd trwm, na chystudd maith. Cafodd felly ei dymuniad, heb gymaint a ffarwelio a'i mab a'i hwyrion, na neb o'r eglwys. Daeth y cerbyd heb i neb o breswylwyr y ty ei glywed, ond ei hunan; ac yn hytrach na chyffroi neb o'r teulu, dywedodd yn iaith yr anfarwol Christmas Evans pan yn marw, "*Drive on coachman.*" Mae yn chwith gweled ambell un, er gofid i Seion, yn codi *ticket* am ogoniant, a throi yn ol cyn pen y daith. Ond nid felly Mary Davies. Prydnawn y 14eg o Fawrth, hebryngwyd yr hyn oedd farwol o honi i'r capel, mewn trefn i'r brodyr a'r chwiorydd gael golwg am y tro diweddaf ar yr hyn oedd wedi bod dan ddwylaw angau, pryd y cawsom bregeth angladdol gan y Parch. Moses Wright, ein gweinidog; yna hebryngwyd ei gweddillion i fynwent y Cymry yn Hyde Park. Yr oedd torf o'n cydgenedl yn y cynhebrwng. Bydded heddwch i'w llwch hyd y boreu,

"Pan bydd dorau beddau y byd
Ar un gair yn agoryd"

A bydded i arch Duw gael ei chadw yn yr un ty gan ei mab a'i hwyrion, yw dymuniad
*Hyde Park, Pa.* THOS. HOPKINS.

---

## NEWYDDION CYMRU.

[O Seren Cymru.]

### ARWYDDION YR AMSERAU.

BEDYDDIADAU YN NGHYMRU.

FFLINT.—Chwefror 13eg, dau oedd wedi eu dwyn i fyny gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, ac wedi bod yn aelodau ffyddlon hefyd o'r cyfundeb hwnw am amryw flynyddoedd, gan y Parch. J. Williams, Birkenhead. Y mae amryw eto yn aros am yr un fraint.

RAMOTH, HIRWAIN.—Chwef. 18fed, chwech, dwy chwaer a phedwar brawd, gan Mr. E. Ev-

ans, gweinidog. Yr oedd un o honynt wedi bod yn aelod gyda'r Annibynwyr, a'r llall gyda y Wesleyaid.

TABERNACL, CAERFYRDDIN.—Chwef. 25ain, pump-ar-hugain, gan y Parch. J. Thomas, gweinidog. Daeth dau frawd o'r nifer uchod yn mlaen ar y pryd, ac un o honynt wedi ei ddwyn i fyny gyda yr Annibynwyr.

CAERSALEM, VICTORIA.—Chwefror 17eg, un brawd a thair chwaer, gan Mr. Lewis, gweinidog. Yr oedd un chwaer wedi bod yn aelod gyda'r Annibynwyr am flynyddau.

CALFARIA, RAVEN HILL.—Chwefror 25ain, pedwar; adferwyd tri, a derbyniwyd un trwy lythyr. Gweinyddwyd gan y Parch. R. E. Williams. Bu un o'r pedwar yn aelod ffyddlon gyda'r Annibynwyr am flynyddau.

SEION, LLANWRTYD.—Chwefror 25ain, dau gan y Parch. J. R. Phillips. Yr oedd un o honynt wedi bod yn aelod am flynyddau gyda'r Annibynwyr.

MORIAH, LLANELLI.—Mawrth 4ydd, pedwar, gan y Parch. J. Rowlands. Derbyniwyd dau trwy lythyrau, ac adferwyd un. Yr oedd un o honynt wedi bod yn aelod gyda'r Methodistiaid Calfinaidd.

TWYNGWYN.—Chwefror 25ain, pum' chwaer, gan y Parch. Wm. Thomas, Casnewydd. Yr oedd un o honynt wedi bod yn aelod gyda'r Annibynwyr. Y mae eraill o flaen yr eglwys.

ABERCANAID.—Ion. 7fed, chwech; Mawrth 4ydd, dwy; oll gan y Parch. J. Parrish. Yr oedd dau o'r rhai uchod wedi bod yn aelodau gyda'r Annibynwyr. Hefyd adferwyd tri yn ystod y ddau fis.

BETHESDA, CWMAMAN.—Mawrth 24ain, dwy chwaer, gan Mr. J. Lewis, Athrofa Hwlffordd. Daeth un o honynt yn mlaen ar y pryd, yr hon oedd wedi bod yn aelod am flynyddau gyda yr Annibynwyr.

TRINITY, PENCLAWDD.—Ebrill 1af, pedwar, gan Mr. J. Thomas, gweinidog, un o'r rhai oedd wedi bod yn aelod am flynyddau gyda'r Methodistiaid Calfinaidd. Adferwyd dwy; ac y mae un eto o flaen yr eglwys.

ABERAERON.—Mawrth 18fed, bedyddiwyd dau, sef brawd a chwaer, un o honynt yn wrandawr cyson a selog, a'r llall wedi bod yn aelod rai blynyddau gyda'r Annibynwyr.

---

*Esboniad Newydd ar Rhufeiniaid.*—Y mae rhyw frawd wedi anfon i'r *Seren* at y Parch. A. J. Parry, Cloughfold (Cefn Mawr gynt), i geisio ganddo gyhoeddi ei bregethau ar yr Epistol at y Rhufeiniaid yn gyfrol. Y mae yntau yn ateb, ac yn dyweyd, fod "yn gryn ddadl yn ei feddwl pa un ai yn Gymraeg ai yn Saesoneg y cyhoeddir y gwaith." Gogwydda yn hytrach o du y Gymraeg, gan fod gweithiau o fri yn Saesonaeg yn barod ar yr Epistol. Cymer iddo flwyddyn neu ddwy cyn ei ddwyn allan o'r wasg. Bydd y cynyrchion meddyliol hyn yn ardderchog, yn ddiau, os caiff Mr. Parry fywyd ac iechyd i'w dwyn trwy yr argraff-wasg. Y mae efe newydd gyhoeddi hanes eglwys Cloughfold, lle y gweinidogaetha, yn gyfrol gwerth tri swllt a chwech cheiniog, ac mae canmol mawr arni.

*Penderfyniad Da.*—A ganlyn ydyw un o benderfyniadau Cyfarfod Chwarterol Sir Benfro, a gynaliwyd yn Horeb, Maenclochog, ar ddyddiau Mawrth a Mercher, y 6ed a'r 7fed o Fawrth:—Fod diolchgarwch mwyaf cynes y gynadledd a'r cyfarfod yn cael ei gyflwyno i'r Parch. B. Thomas, Narberth, am ei bregeth odidog ar y pwnc gosodedig, sef "Trefn mewn cysylltiad â dysgyblaeth Eglwysig," a'n bod, yn y modd taeraf, yn dymuno arno i'w hargraffu, a'i lledaenu trwy yr eglwysi er lles cyffredinol, ac yn addaw pob cefnogaeth i'w chylchrediad. Y mae y bregeth ragorol hon yn adlewyrchu yn ffafriol ar ben a chalon ein brawd hoff. Hyderwn na fydd iddo adael y fath gyfansoddiad gorchestol i fyned i ddifancoll, pan y mae cymaint o angen hyfforddi y werin ar y pwnc a drinir ynddi. Y mae yr ymosodiadau aml a wneir ar y Bedyddwyr y dyddiau hyn, o herwydd eu bod yn cadw trefn mewn cysylltiad â'r ordinhadau, yn profi ei bod yn ofynol i ni ddeall ein safle, yr hon sydd yn cael ei hamddiffyn yn deg a boneddigaidd yn y bregeth dan sylw. Dylai fod yn llaw pob Cymro, Bedyddiwr neu beidio; ac y mae llawn cymaint, os nid mwy, o'i heisiau ar y Saeson.

*Casglwyr Teithiol.*—Blinir eglwysi yn Nghymru yn bresenol gan gasglwyr afreolaidd ac anawdurdodol. Cwynir fod eisiau dychwelyd at yr hen arferiad o gael caniatad y Gymanfa i gasglu, yn lle i eglwys gael dau neu dri o weinidogion i gymeradwyo eu hachos, fel ag y gwneir yn bresenol gan rai.

*Gofyniad i Mathetes.*—Gohebydd a rodda y gofyniad canlynol i Mathetes: "A fyddai yn rheolaidd i dderbyn dyn

a fyddai wedi cael ei fedyddio trwy drochiad, ac ar broffes o'i ffydd yn Nghrist, gan offeiriad o'r Eglwys Sefydledig, neu offeiriad Pabaidd, neu gan un o weinidogion yr Annibynwyr, y Methodistiaid, y Wesleyaid, yn aelod o eglwys Fedyddiedig heb i'r cyfryw gael ei fedyddio drachefn?"

*Rhyddfrydigrwydd.*—Yr ydym yn edmygu rhyddfrydigrwydd *Seren Cymru* yn caniatau y Parch. William Thomas, Whitland, i fwrw ei lysnafedd mor ddiarbed ar y Bedyddwyr. O ran hyny, ni raid ofni dim oddiwrtho fe, beth bynag. Mae "yn curo yr awyr" ei oreu. Ei adeiladwaith nid yw amgen na "choed, gwair, a sofl." Dechreuodd y tân mewn Cyfarfod Cenadol gyda yr Annibynwyr yn Abergwaen.

*Tysteb William Gwynne.*—Er mwyn pobl Sir Benfro, rhoddwn air ar hyn: Dywedai y Parch. William Owen wrth ddwyn y dysteb i sylw, y buasai haner can' punt yn ei gadw rhag y *workhouse.* Mae rhyw un yn ateb, ac yn dyweyd, na fyddai hyny yn amgen na gwneyd *workhouse* iddo—ddim yn ddigon iddo fyw yn gysurus—ac yn atal yr awdurdodau gwladol rhag rhoi dim. Dyna dipyn o synwyr.

*Cymanfa Flynyddol Lerpwl, 1877.*—Yr etholedigion eleni oeddynt—Bootle—Parchn. J. Jones, Felinfoel, a Dr. Jones, Llangollen. Everton Village—Parchn. R. D. Roberts, Llwynhendy, a W. Morris, Treorci. St. Paul Square—Parchn. B. Evans, Castellnedd, a John Thomas, Llandudno. Boulsfield Street—Parchn. D. Davies, Beula, a D. Thomas, Llangefni. Windsor St.—Parchn. Isaac Thomas, Caersalem Newydd, a B. Thomas, Trelettert. Mount Vernon Street—Parchn. Seth Jones, Blaenwaen, a Lewis Evans, Casnewydd.

*Cyflwyniad Tysteb i'r Parch. J. Williams, Porth, Pontypridd.*—Ar adeg gyhoeddus, cyflwynwyd y dysteb uchod ar nos Wener, Mawrth 16eg. Yn mhlith eraill dywedai y Parch. H. W. Hughes, Dinas (Lerpwl gynt), mai dyn gwirioneddol (*true*) ac anrhydeddus oedd Mr. Williams; mor rinweddol a neb pwy bynag. Y mae y pwlpud yn ganolfan dylanwad; ac os yw dyn Duw ynddo, dylai gael parch; dylid gweled Duw trwyddo. Y mae eisiau codi chwaeth Cristionogion, er mwyn iddynt ddyfod i dy Dduw er mwynhau Duw yn ei dy. Lle gwael yw y pwlpud i sicrhau enill bydol. Enillai y llefarwr wyth swllt y dydd wrth y fainc; ond bu yn hir heb sicrhau mwy na haner coron yn y weinidogaeth. Yr oedd tuedd ddrwg mewn newid gweinidogion; y canlyniad o hyn yw, ansefydlogi y pwlpud yn marn a theimlad y bobl. Parodd hyn i lawer o rieni crefyddol anmharchu y pwlpud yn nghlyw eu plant, er mwyn eu digaloni rhag dewis yr areithfa.

*Galwad i'r Weinidogaeth.*—Mae y brawd ieuanc hyawdl, Mr. John Humphreys, o Glynceiriog, wedi derbyn galwad unfrydol oddiwrth eglwysi Llanfairtalhaiarn a Llansannan, ac wedi eu hateb yn gadarnhaol. Bwriada ddechreu ar ei weinidogaeth yn ddioed.

Efail y Gof.—Prin y mae eisiau i ni ddyweyd mae dernyn o "Efail y Gof," gan y Parch. D. Oliver Edwards, yn *Seren* Mawrth 30, yw a ganlyn:—

*Huw, Ty-draw.*—Ys dywedodd yr hen Sami Shon wrth J. P. Davies, Tredegar, "Os ffwlbert wyt ti, ffwlbert wyf finau hefyd;" felly yr wyf finau yn hollol o'r un golygiadau a Walter yn nghylch yr Eglwys Sefydledig.

*Mr. Parry.*—Y mae "llinell o olyniaeth apostolaidd" gyson, gyfan, swyddol, wedi bod, ac yn bod; ac yn Eglwys Loegr yn unig mae y llinell hono i'w chael; ac yr wyf fi yn beiddio dyweyd ar unwaith mai lladron ac yspeilwyr wedi tori mewn i'r gorlan i ysglyfio y praidd ydyw pawb eraill.

*Dic.—Well, upon my word and honor*, ni chlywais i y fath haeriadau beiddgar yn fy mywyd o'r blaen. Os clera, clera bid siwr. Mae yr haeriad hwn yn un o'r rhai mwyaf Phariseaidd ag a glywais yn fy mywyd. Neb yn olynwyr yr apostolion ond y rhai sydd yn gwisgo eu crysau (ys dywedai Cynddelw) dros eu cotiau. Mewn gair byr, neb ond swyddogion Eglwys Loegr. Dyma daw

bythol ar enau Samuel Roberts, Dr. Thomas, Pontypwl, Dr. Price, Aberdar, Mathetes, Henry Richard, Golygydd *Seren Cymru,* Miall & Co., yn nghyd a holl Ymneillduwyr y deyrnas hon, a phob teyrnas arall. Chwi, fechgyn y colegau yn Llangollen, Hwlffordd, Pontypwl, Aberhonddu, Caerfyrddin, a'r Bala, codwch eich paciau mor fuan ag y galloch, ac ewch tua Llanbedr, Rhydychain, neu Caergrawnt, i gael eich cymwyso i fod yn wir olynwyr yr apostolion; oblegid wrth gael eich codi yn y colegan Ymneillduol, ni ddeuwch byth ddim yn amgen na "lladron ac yspeilwyr." Dyma bwnc mawr y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg wedi ei hollol benderfynu, a'i benderfynu am byth yn Efail y Gof." Troer Colegdy Llangollen yn *bolice station*, bydded i'r *light dragoons* wneyd eu *head quarters* yn Ngholegdy Hwlffordd, a throer Athrofa Pontypwl yn *asylum* i wallgofiaid y capeli.

---

## Y DIWEDDAR BARCH. JOHN G. OWEN, D. D., HWLFFORDD.

Bydd yn ddrwg gan lawer glywed am farwolaeth y gwron uchod. Er ei fod wedi bod yn lled wael ei iechyd yn ddiweddar, eto nis gellid meddwl fod ei angau mor agos. Ychydig amser yn ol, talodd ymweliad â Gogledd Cymru, lle y treuliodd gymaint o flynyddau yn y weinidogaeth. Ar y 5ed o Fawrth, yr oedd i bregethu yn Salem, Caerdydd, maes olaf ei weinidogaeth. Dychwelodd oddiyno yn hynod wael, ac yn mhen wythnos yr oedd yn analluog i adael ei wely. O'r diwedd deallwyd ei fod yn dyoddef oddiwrth *congestion of the lungs,* yr hyn a derfynodd ei fywyd am un o'r gloch boreu dydd Mercher, yr 21ain o fis Mawrth. Claddwyd ei weddillion yn Cemetery Caerdydd, yn ymyl eiddo ei wraig gyntaf, y Llun canlynol. Yr oedd yn 62 oed.

Ganwyd y Dr. Hydref 14eg, 1814, yn Hallmos, plwyf Castellnewydd Bach. Bu farw mam y Dr. yn 1822. Collodd ef ei lygad yn y flwyddyn ar ol hyny yn agos i Bont Picton, trwy gael ei daro â *bando* gan fachgen, ond yn hollol anfwriadol. Yn y flwyddyn 1829 y teimlodd awydd gyntaf am grefydd. Yn 1831, aeth i fyw i Pantywarch, ac yno y bu un o'r enw Wm. Wilcox yn dyner a charedig iddo. Yn Ebrill yn yr un flwyddyn, bedyddiwyd ef gan y galluog bregethwr James Richards.

Yn 1833, aeth i Tre Ddafydd. Yn yr amser hwn, nid oedd ond un cyfarfod y Sul yn Jabez. Darfu i ddau eraill gydag ef benderfynu cychwyn cwrdd gweddi, a gwelodd Duw yn dda fendithio eu llafur. Dechreuodd bregethu yn 1835; ond dywedai na wyddai ddim am bregethu nes iddo fyned i'r athrofa. Ymadawodd â'r athrofa yn Ebrill, 1842. Yn mhen ychydig amser, ymsefydlodd yn Brynsiencyn. Yr oedd yr eglwys yn hynod wan, ac nis gallent addaw mwy na haner coron yr wythnos i'w gweinidog. Y brodyr fu yn pregethu yn ei ordeiniad oeddynt Dr. Morgan, Caergybi; Joel Jones, Pwllheli; John Evans, Bangor; Robert Jones, Llanllyfni; ac E. P. Williams, Bethesda. Bu yn llwyddianus yma, ond ni arosodd yn hir. Ymadawodd yn 1844, a sefydlodd yn Pandy'r Capel, cangen y pryd hwnw o Ruthin. Bu yma yn llafurus am flynyddau, hyd nes yn 1852, y symudodd i Manchester, i gymeryd gofal yr eglwys Gymreig yn Granby Row. Pan yma ymbriododd â Miss H. Morris, Brynsaithmarchog, Corwen. Hyn a achlysurodd iddo ddychwelyd eto i Pandy'r Capel, pan y derbyniai y cyflog da (?) o £32. Er hyn dywedai un o ddiaconiaid y lle wrtho, gan ei fod wedi priodi yn dda, y dylai roddi ei wasanaeth am ddim! Yn 1860, cymerodd ofal achos ieuanc yn Rhyl. Yn 1862, adeiladwyd yr addoldy Seisnig, yn benaf drwy ei offerynoliaeth ef. Yn 1867, yr oedd yr hen gapel yn myned yn fach, a phenderfynwyd adeiladu un newydd. Costiodd hwn £2,200. Ni phregethodd ond unwaith neu ddwy yn y lle newydd, gan iddo yn fuan ymsefydlu yn Salem, Caerdydd. Am bump neu chwech mlynedd, bu yn llwyddianus iawn yma, ac ychwanegwyd llawer at yr eglwys. Yn 1872, collodd ei briod hawddgar. Llethwyd

ef gan ofid, a chollodd ei iechyd i raddau helaeth. Medi, 1874, rhoddodd i fyny yr eglwys, a symudodd i Hwlffordd, gan iddo ymbriodi â Mrs. Rowlands, gweddw y diweddar James Rowlands. Ond er nad oedd arno ofal gweinidogaethol, ni charai fod yn segur. Gwasanaethodd yr eglwys yn Pope Hill hyd yn ddiweddar. Bu farw ei ail wraig ychydig amser yn ol, ac ni fu ef yn hir ar ei hol. Nid oedd yn ystod y blynyddoedd diweddaf mor galonog ac arfer, ac yr oedd fel rhyw gysgod wedi lledu dros ei ysbryd; ond rhaid cofio ei fod wedi dyoddef llawer ergyd drom, ac nid oedd ei iechyd ond gwael.

Yn 1868, derbyniodd y gradd o D. D. o Brif Ysgol William Jewell, America; ond nid oedd yn hoff o hono, gan yr ystyriai ei hun yn annheilwng o'r anrhydedd. Er hyny, yr oedd yn feddyliwr cryf, ac yn deall ei Feibl i raddau pell. Bu yn weithgar a llwyddianus yn y weinidogaeth; ac er nad oedd yn berffaith, eto yr oedd ynddo lawer o nodweddau da iawn a gwerthfawr.

—Gohebydd o Lerpwl wrth gyfeirio at alwad y Parch. Charles Davies, Bangor, i Everton Village, Lerpwl, a ddywed: "Bydd yn gaffaeliad mawr i'r weinidogaeth Fedyddiedig yn y dref hon. Nid wyf fi yn credu mewn symud. Gwell genyf y dderwen gadarn sefydlog na'r frwynen wanaidd sigledig. Dynion cyffelyb i Dr. Prichard, Dr. Ellis Evans, Dr. Price, Dr. Morgan, Hugh Williams, Amlwch, &c., sydd wedi gwneyd mwyaf o'u hol onide yn yr enwad Bedyddiedig? Os felly, dylai y cwestiwn o symud fod yn gwestiwn pwysig gan bob gweinidog. Daw yr eglwysi Bedyddiedig, feddyliwn, yn ddigon call yn fuan i weled nad yw yn un *credit* na lles iddynt i fyw ar weinidogaeth symudol. Er ysgrifenu o honom fel hyn, eto dymunwn bob llwyddiant i'r brawd anwyl Davies yn ei faes eang yn y dref hon; oblegid credwn y dylid symud os gwelir y gellir gwneyd mwy o ddaioni wrth wneyd hyny.

## Rwssia a Twrci mewn Rhyfel.

Mae Rwssia wedi cyhoeddi rhyfel yn erbyn Twrci. Nid yw Rwssia yn hyn ond gweithredu yn unol ag ewyllys y Galluoedd Mawrion. Sylfaena y Czar ei gwrs, ar waith y Porte yn gwrthod talu sylw i gyngorion Ewrop, ac ar ei ddymuniad i liniaru sefyllfa y Cristionogion yn Bosnia a Bulgaria. Gwrthodiad Twrci o hyny ydyw ei reswm dros orchymyn ei filwyr i groesi drosodd i diriogaeth y Twrc. Cyn i'r cyhoeddiad o ryfel gael ei wneuthur, yr oedd milwyr Rwssia wedi myned i mewn i Jassy, ac yr oedd nifer wedi gwthio cyn belled a Bucharest. Jassy yw prif ddinas Moldavia, ac yn gorwedd i'r gorllewin i'r Pruth, tra mai Bucharest yn brif ddinas Wallachia, ac nid yw ond deg-arhugain o filldiroedd i'r gogledd o'r Danube. Y ddwy dalaeth hyn sydd yn cyfansoddi Roumania; ac mae y symudiad hwn yn cadarnhau y dybiaeth fod ei thywysog mewn dealltwriaeth a'r Czar. Roumania sydd un o'r talaethau hyny sydd mewn perthynas ddibynol a Thwrci, ac yn talu teyrnged iddi; ond ni fedd un cydymdeimlad wleidyddol ag ymerodraeth y Twrc, yn cyfodi oddiar unrhywiaeth cenedl, crefydd, na lles cymdeithasol; oblegid y grefydd gyffredinol ydyw un Eglwys Groeg. O'r pedair miliwn a haner o'i phobl, y mae rhan luosog yn Roumaniaid pur; ac mae Iuddewon a chenedloedd i'w cael yn elfenau cryfion, fel na fedd y dywysogaeth odid un berthynas o ran gwaed a'r Twrc, na chrefydd y Mahomed.

Kischeneff, yr hwn le sydd wedi bod yn ganolbwynt symudiadau y Czar, a orwedd ryw ddeg-ar-hugain o filldiroedd i'r gorllewin o'r Pruth, yma yn derfyn gorllewinol Moldavia, ac mae cryn allu Rwssiaidd wedi ymgasglu yn agos i lanau yr afon hono. Ni all fod ond ychydig nifer o filwyr wedi gwthio mor bell i'r deheu o Bucharest; ond buan y bydd gwedd pethau wedi newid, ac amser yn unig a esbonia beth fydd y canlyniadau.

Yn flaenorol i hyn, mae Twrci wedi dangos ystyfnigrwydd digyffelyb bron

wrth wrthod cyngorion Ewrop; ond yn awr rhaid derbyn y canlyniadau, i ddechreu beth bynag, oddiwrth y ffrewyll yn llaw Rwssia. Rhyfedd yw os na fydd rhai o'r galluoedd mawrion eraill cyn y diwedd yn cymeryd rhan yn y gyflafan, yn enwedig Lloegr. Y mae gan Loegr lygaid ar ei ffordd i'r India; ac y mae ei llynges yn ddychrynllyd o nerthol ar hyn o bryd, i amddiffyn ei buddion os bydd galw.

Yr oedd yr Ymerodraeth Dyrciaidd er ys amser maith bellach yn ymaddfedu i'r ryw dro-bwynt—ryw *crisis*. Mae ei llygredigaeth yn eithafol, a'i dallineb yn gwneyd ei symudiadau yn annoeth. Cyhoeddwyd y Twrc er's llawer o flynyddau yn "Ddyn Claf;" ond yn awr, cyhoeddir gan wleidyddwyr goleuedig, fod yr ymerodraeth yn farw, ac yn waeth na marw, yn gorph marw mewn sefyllfa o ddadgyfansoddiad. Dyma y rheswm paham y mae y dalaeth hon a'r dalaeth arall, wedi myned yn ysglyfaeth i'w gelynion. "Canys pa le bynag y byddo y gelain, yno yr ymgasgl yr eryrod.

## PERSONOL.

—Ysgrifena y brawd E. Richards, o Thomastown, atom yn ddiweddar, gan hysbysu am afiechyd peryglus ei anwyl ferch, Miss Mary Richards. Dywed ei fod yn credu yn ddiysgog fod yr Arglwydd wedi ei hadferyd mewn atebiad i weddiau yr eglwys a'r gweinidog.

—Mae yn dda genym hysbysu fod y Parch. James R. Price, Kingston, Pa., yn bwriadu ysgrifenu yn y dyfodol ar sefyllfa ein llenyddiaeth Gymreig yn y wlad hon. "Ac nid anghofia y Bedyddwyr Americanaidd, efallai," dywed, "y rhydd olwg mwy ffafriol i ambell un ar ein henwad yn ei ddylanwad yn yr Hen Wlad a'r wlad hon." Mae un erthygl mewn llaw.

—Wedi i ryddid wawrio, mae math o fegeriaid diwaith yn heigio Rhufain, y rhai ydynt etifeddiaeth yr eglwys Babaidd, ond a esgeulusid ganddi. Yn awr, mae Mrs. Wall, gwraig cenadwr i'r Bedyddwyr Seisonig, wedi cymeryd trugaredd arnynt, ac yn darparu er eu gwellâu yn dymorol ac ysbrydol, ac y mae'r moddion yn dra llwyddianus.

—Y dydd o'r blaen cawsom lythyr oddiwrth y brawd selog Cadwaladr Richards, New York, yn hysbysu am yr afiechyd mawr y bu ynddo yn ddiweddar. Dywed ei fod yn cryfhau yn raddol. Da genym hyny.

—Gobeithiwn na fydd i ni yn America yma golli y Parch. H. C. Parry (*Cefni*) o'n plith, trwy ei ymadawiad i Gymru, yn ol y si sydd allan yn awr.

—Dysgwyliwn y cawn hanes hen eglwys Gymreig Utica, gan y Parch. J. Edred Jones, y gweinidog, yn y rhifyn nesaf. Brysied eraill.

—Da genym ddeall fod Mr. Reese D. Jones, Jennieton, Wis., yn teimlo mor selog o blaid y WAWR. Ewch rhagoch, frawd. Camgymeriad o eiddo y cysodydd oedd rhoddi Jamestown yn lle Jennieton, yn y rhifyn diweddaf.

## AMRYWIAETHAU.

*Peiriant Gweddio y Pagan.*—Un o'r rhanau mwyaf rhyfedd mewn addoliad paganaidd yn y Dwyrain ydyw y *mani*, neu y peiriant gweddio. Tybir fod y duwiau yn cael eu boddhau gan nifer y gweddiau; a chan na ddichon y bobl eu dweyd hwy yn ddigon buan, defnyddir olwyn, yr hyn a brysura y gwaith. Yn y ffordd hon gall dyn eistedd gan siarad ar bynciau cyffredin wrth ei gyfeillion, tra yn troi yr olwyn fo yn adrodd ei weddiau. Yn Japan mae olwynion gyda thair o ffyn (*spokes*), yn hongiedig ar byst uchel mewn lleoedd cyhoeddus, yn rhad at wasanaeth teithwyr. Mae'r olwynion yn meddu modrwy lac, swn yr hon pan fo yr olwyn yn cael ei throi yn gyflym, a dyna, fel y creda yr addolwyr, sylw y duwiau at eu deisyfiadau.

—Cynwysa dinas San Francisco 275 mil o boblogaeth. Ceir yn y ddinas 55 o leoedd addoliad. Gan y Bedydd-

wyr, 5; Cynulleidfaolwyr, 5; Esgobyddion a'r Lutheriaid, 7 yr un; Methodistiaid Esgobawl, 10; Presbyteriaid, 12. Ar gyfartaledd y mae'r cynulleidfaoedd yn 200 yn mhob addoldy, yn gwneyd 12,000 o bersonau yn addoli yn gyson. Heblaw hyny y mae yno gapeli—Pabyddion, 13; Universaliaid, 4; Swedenborgiaid, 1; Undodiaid, 1; Seventh Day Advents, 1; Mormoniaid, 1; synagogau Iuddewig, 7. Cyfrifir mai nifer holl addolwyr y ddinas yw 32,000; a chyfrifir fod yno 180,000 nad ydynt yn myned i le o addoliad. Dyna faes cenadol eang y tu yma i wledydd paganaidd.

—Rhoddwn a ganlyn ar dystiolaeth y Parch. R. Fuller, D. D., Baltimore: "Aeth gweinidog Bedyddiedig flynyddau yn ol i Germany, gwlad y gwybodaethau. Dymunwyd arno gan amryw ddysgedigion yno, megys Tholuck, Neander, ac eraill, i roddi anerchiad iddynt, a rhoddi iddynt eglurhad ar gredo Bedyddwyr America. Ar ol iddo orphen, ysgydwasant law ag ef, a dywedasant, "Paham y cymerasoch y fath drafferth i brofi mai trochi yw bedydd, ac nad oes fedydd babanod yn cael ei ddysgu yn y Testament? A oes rhyw ddyn dysgedig yn America yn credu yn wahanol?" Druain a hwy, nid ydynt wedi dychymygu am oleuni y byd newydd a'i ddysgleirdeb.

—Beth yw y rheswm fod eglwysi ac enwadau taenellyddol yn grwgnach byth a hefyd am na byddai y Bedyddwyr yn foddlawn cydgymuno â hwy? Ein gwawdio ni a'n bedydd oeddent 25 mlynedd yn ol, ac nid oeddem ond hereticiaid yn nghyfrif taenellwyr. Nid oeddent yn son am gydgymuno y pryd hwnw. A ydyw y Bedyddwyr wedi symud yn nes atynt hwy, ynte hwy sydd yn nesu atom ni? Dichon mai y rhod sydd yn troi.

—Dywedodd Descartes, "Yr wyf yn credu gan hyny yn fy modolaeth." Pa ddyben yw y resymeg hono nad yw yn galluogi dyn i brofi ei fodolaeth ei hun?

—Y mae cynllun newydd yn cael ei ddwyn i weithrediad yn Rhufain, sef cychwyn newyddiadur anffaeledig.—Bydd Cardinaliaid yn mhlith y golygyddion, a phrif swyddogion yr Eglwys Babaidd trwy Ewrop yn gohebu iddo.

—Dywed y Cymro, "Y mae beiau yn dew pan fo cariad yn deneu." Dywed y Sais, "Y mae serch yn ddall." Dywed yr Ellmyn, "Nid yw anwylyd neb yn hagr."

—Mor fynych, wedi dal ar, a beio gwendidau ein cyfeillion, yr ydym yn cael ein hunain yn ddarostyngedig i'r cyfryw wendidau! Synir ni yn aml o herwydd eu hunrywiaetholdeb; ac er fod ein cydwybod ar y pryd yn ein condemnio yn ddyblyg, mor fuan y bydd hunanoldeb yn dyfeisio esgusodion er tawelu ei llais!

—Yn natur, y grym anianyddol yw y gallu cryfaf; ond yn y byd deallawl y mae gallu moesol yn drech. Yn mhoethder y frwydr, gwelwyd rhengau un blaid o'r ymladdwyr wedi eu dyrysu, a'r milwyr yn ffoi o'r maes am eu bywyd. Yn ebrwydd gwnaeth y prif swyddog ei ymddangosiad, a chan flaenori y gwasgaredigion, arweiniodd hwynt i ail-wynebu y gelyn. Yr oedd hyder moesol y milwyr yn eu blaenor y fath fel y buont fuddugoliaethus heb gynorthwy mwy o allu anianyddol na phan oeddynt ffoedig. Y mae grym ysbrydol yn drech na phob un o'r ddau, oblegid tardda yn uniongyrchol oddiwrth Dduw yn Nghrist.

—Yr achos o'r amrywiaeth barn yn mysg proffeswyr crefydd yw, fod eu meddyliau yn cael eu cymylu gan ddysg ddynol. Pe byddem oll yn darllen ac yn astudio gwersi Crist, ac yn cymeryd ein harwain gan ei ddysgeidiaeth syml ef, byddai ein golygiadau am egwyddorion y grefydd Gristionogol yn llawer mwy union nag ydynt.

### ENGLYN.

*Cadwedigaeth ac Etifeddiaeth trwy'r Iawn.*

Ti Fab, anwyl Fab Ner—trwy dy waed
Drud y'm canner;
Goludoedd sy'n uwch gwledydd ser,
A gaf yn dy gyfiawnder.—*Nicander.*

# Y WAWR.

CYF. II.] MEHEFIN, 1877. [RHIF. 3.

## SYLFAEN A CHYNLLUN UNDEB YR EGLWYS FAWR GRISTIONOGOL.

GAN H. C. PARRY (CEFNI), PITTSTON, PA.

Mae undeb rhwng canlynwyr yr Arglwydd Iesu Grist a'u gilydd yn beth i'w fawr ddymuno, ac yn beth i ymgyrhaedd ato, gan bob Cristion; oblegid fod undeb y saint yn egwyddor fawr hanfodol i fodolaeth yr eglwys yn y byd; i nerth, llwyddiant a chysur y grefydd Gristionogol ar y ddaear; ac i gymeriad ac amcan yr efengyl fendigedig, fel moddion dyrchafu gogoniant Duw yn mhlith dynion. Yn gydweddol a'r egwyddor fawr a gogoneddus hon, yr oedd undeb y saint yn cael lle mor bwysig yn ngweddi fawr a thaer ein Harglwydd sanctaidd, cyn dyoddef o hono a marw, "fel y casglai efe yn nghyd yn un blant Duw hefyd y rhai a wasgarasid." "Fel y byddont oll yn un: megys yr wyt ti, y Tad, ynof fi, a minau ynot ti; fel y byddont hwythau un ynom ni: fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonaist i."

Mae y weddi fawr a dwyfol hon yn cynwys nid yn unig y pwysigrwydd a'r dymunoldeb sydd yn perthyn i undeb y saint, eithr hefyd sylfaen a chynllun yr undeb hwn. Yn ol gweddi ein Harglwydd glân, y mae sylfaen yr undeb yn gorwedd ar yr undeb dirgel a rhyfedd sydd rhwng y Personau Dwyfol yn yr Hanfod dragywyddol; a chynllun yr undeb yn ymgodi uwchlaw y dynol, ac yn ymagweddu yn ol y Dwyfol, yn ffurf yr undeb bendigedig sydd rhwng y Tad a'r Mab, yn yr Ysbryd Glan, yn yr Hanfod Ddwyfol!

Ofer a gwag yw i neb dybied mai mater o fympwy dynol yw undeb yr Eglwys Gristionogol yn ei gynllun neu ei reol, mwy nag yn ei sylfaen; oblegid mae y naill a'r llall i'w cael yn yr undeb Dwyfol sydd rhwng y Personau gwahaniaethol yn y Drindod oruchel a bendigedig. "Fel y byddont un, megys yr ydym ni yn un. Myfi ynddynt hwy, a thithau ynof fi; fel y byddont wedi eu perffeithio yn un, ac fel y gwypo y byd mai tydi a'm hanfonaist i, a charu o honot hwynt, megys y ceraist fi."

I ddeall sylfaen a chynllun yr undeb Cristionogol hwn, rhaid i ni wybod rhywbeth am natur yr undeb mawr a gogoneddus sydd rhwng y Personau dwyfol yn yr Hanfod sanctaidd; oblegid y mae ystyr ag y mae y naill i fod fel y llall.

Nid oes dim eglurach na dysgeidiaeth y Gair sanctaidd ar y ffaith ogoneddus a rhyfedd, fod y Duw mawr wedi gweled yn dda amlygu ei hun i ddynion, yn Drindod o Bersonau mewn Undod, yn yr Hanfod dragywyddol! Nid yw y naill yn rhagori ar y llall mewn mawredd, gwerth, nac urddas; eithr yn gyd-dragywyddol mewn sylwedd, yn ogyfuwch o ran natur, ac yn gydgyfranog o ran pob rhagoriaeth dwyfol. Y naill fel y llall, yn wir a phriodol Dduw; eto nid yn dri o Dduwiau; eithr yn un Duw! Nis gallai y naill

Berson Dwyfol fod yn Dduw gwahaniaethol oddiwrth y llall, heb fod yn meddu rhyw ragoriaethau naturiol gwahanol i'r lleill; yr hyn nad ydyw. Gan fod y Tri Pherson yn un yn mhob rhagoriaeth, y naill fel y llall, rhaid mai un Duw mewn sylwedd dwyfol, yw y Tri Pherson gwahaniaethol hyn. Un Duw yn Drindod o Bersonau!

Mae hyn yn bosibl, a'r hyn sydd yn bosibl a all fod; a'r hyn a all fod, nid ellir ei wadu. Nid yw anmherffeithrwydd ein dirnadaeth, mewn perthynas i'r ffaith, yn un prawf nad yw yn bodoli; eithr yn profi cyfyngder ein galluoedd ni. Mae pethau mewn mater yn ein hymyl, nad allwn eu hamgyffred, er nad ellir eu gwadu. Ceir lliw, ffurf, a maint yn yr un sylwedd. Mae y tri yn hollol wahaniaethol y naill oddiwrth y llall; ac eto un sylwedd a geir yn yr agwedd driphlyg hon! Codwn o'r anianyddol (*physical*) i'r uch-anianyddol (*metaphysical*), oblegid nad oes pwynt o fater a lle yno, eithr pwynt o ymwybodolrwydd. Cymerwn y meddwl yn engraifft. Mae un meddwl o sylwedd, yn gallu dangos ei hun mewn tri defnydd gwahaniaethol:—Serch, Ewyllys, a Rheswm. Mae y naill yn hollol wahaniaethol oddiwrth y llall. Mae y naill a'r llall yn y meddwl; eto y meddwl triphlyg hwn, nid yw ond un meddwl! Felly y Tri Pherson yn y Duwdod, nid ydynt, ac ni allent fod ond Un Duw!

Pan y priodolir gweithrediadau neillduol i bob un o'r Personau Dwyfol, eto priodolir y gweithrediadau hyny i'r oll o'r Duwdod! Engraifft oddiwrth natur:—Pan mae dyn yn cyflawni rhyw orchwyl, cyflawnir y gorchwyl hwnw gan ryw allu neillduol o'r dyn; eto, ar yr un pryd, priodolir y gwaith i'r oll o'r dyn. Mae canu, cerdded, ysgrifenu, yn weithrediadau rhanau neillduol o'r corph, ac eto priodolir y gweithrediadau hyny i'r oll o'r dyn. Felly gyda golwg ar yr enaid. Gweithrediad neillduol i'r serch yw caru; eto pan mae y serch yn caru, mae yr holl enaid yn caru!

Yr un modd gyda golwg ar y Duwdod:—Pan gyflawnir unrhyw waith gan un o'r Personau Dwyfol, cyflawnir ef gan yr oll o'r Duwdod! Felly, priodolir creu, prynu, sancteiddio, weithiau i'r Tad, weithiau i'r Mab, ac weithiau i'r Ysbryd Glan; ac felly pan briodolir gweithrediad neillduol i un o'r Personau Dwyfol, priodolir ef i'r oll o'r Duwdod, a hyny yn rhinwedd yr undeb tragywyddol a bendigedig hwn rhwng y Personau Dwyfol yn yr Hanfod fendigaid.

Mae i'r naill a'r llall o'r Personau Dwyfol ei swyddogaeth neillduol, a hyny nid fel mater o fympwy, eithr fel mater o briodoldeb, yn ol natur pethau. Gelwir y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan arnynt, a phriodolir swyddogaethau a gweithrediadau neillduol i bob un o honynt; nid am fod y naill yn blaenori y llall mewn pwynt o Fod, neu bwynt o werth, neu bwynt o urddas; eithr oblegid fod rhyw agwedd neillduol ar yr ymadferthion naturiol perthynol i'r ymwybodolrwydd dwyfol, yn fwy ffafriol i'r amlygiad neillduol hwnw o'r Duwdod. Mae trefn y fodaeth a threfn y gweithrediadau dwyfol yn ddarostyngedig i'r egwyddor hon o eglurhadaeth uch-anianyddol (*metaphysical interpretation*). Gelwir y Person cyntaf yn nhrefn y fodaeth yn Dad. Nid oblegid ei fod yn blaenori mewn pwynt o fodolaeth, eithr oblegid bod yr Ymwybodolrwydd dwyfol hwn yn meddu rhyw ymadferthiad naturiol i amlygu ei hun trwy allu cyfraniadol (*dispensing energy*), felly yn achos cynhyrfiol (*moving cause*) o bob symudiad creadigol, rhagluniaethol, a grasol—rhyw *energy* dwyfol yn boddhau ei hun trwy roddi. Rhoddi ei air i greu; rhoddi ei Fab i brynu; a rhoddi ei Ysbryd i gaboli a pherffeithio y cyfan. Am ei fod yn rhoddi, efe yw yr achos gwreiddiol o bob peth y mae yn Dad iddo. Felly yn Arglwydd pob peth, ac yn deilwng o'r mawl oddiwrth bob dim—Duw y Tad!

Gelwir yr ail Berson yn Fab. Nid am ei fod yn olynydd mewn pwynt o Fod, nac yn israddol mewn pwynt o urddas, y gelwir ef yn Fab; eithr oblegid bod *energy* naturiol yn yr ymwybodolrwydd dwyfol hwn i ymagweddu—ymgymeryd a ffurf, a rhoddi ffurf—

*formative energy*. Gelwir ef y Gair (*Logos*), oblegid gair sydd yn rhoddi ffurf ar feddwl; ac felly yntau yn rhoddi ffurf ar Dduw. Trwyddo ef yn unig yr oedd y sylwedd dwyfol i'w weled. "Ni welodd neb Dduw erioed; yr uniganedig Fab, yr hwn sydd yn mynwes y Tad, hwnw a'i hysbysodd ef." Cymer y gwreiddiol y darlleniad canlynol:—"Ni welodd neb Dduw ar un amser ond yn Fab, yr hwn sydd uniganedig o fynwes y Tad, yn ei arddangos ef." Gelwir ef ffurf Duw—delw y Duw anweledig—gwir lun ei Berson ef. Ffurf Duw yn golygu yr agwedd ddwyfol ar ei Berson ei hun; gwir lun ei Berson ef yn golygu agwedd ddwyfol Person y Tad; a delw y Duw anweledig yn golygu agwedd ddwyfol Person yr Ysbryd Glan. Rhoddes felly ffurf weledig ar y Duwdod, yr hon a gymerodd arno ei hun oddiwrth yr Anweledig. Efe a roddes ffurf ar y cread. Crewyd pob peth trwyddo ef. Efe sydd yn rhoddi ffurf ei ddelw ei hun ar y saint. Ymgymerodd a dull fel dyn i'r amcan hwnw. Mab ydyw ar gyfrif ei fod yn *manifestation* o Dduw.

Gelwir y trydydd Person, yr Ysbryd Glan; nid oblegid ei fod yn burach ac yn fwy ysbrydol na'r Personau eraill; eithr o herwydd ei fod yn meddu ar yr *energy* naturiol i ymdreiddio (*pervasive energy*). Awel neu anadl Duw ydyw, yn bywhau, addurno, a pherffeithio gwaith Duw. Mae yr Ysbryd Glan yn treiddio i'r Duwdod, ac yn chwilio dyfnion bethau Duw; ac yn treiddio i'r saint, ac yn dwyn Duw gydag ef, yn Dad, Mab, ac Ysbryd, i breswylio ynddynt. Felly y Tad yn rhoi, oblegid cariad yw; y Mab yn ffurfio, oblegid goleuni yw; a'r Ysbryd Glan yn treiddio, oblegid awel Duw yw. Pan mae yr Ysbryd Glan yn dwyn Duw, yn Drindod mewn Undod, i bob un o'r saint, y mae yn eu dwyn yn un a'u gilydd yn Nuw. "Fel y byddont hwythau un ynom ni; fel y credo y byd mai tydi a'm hanfonodd i, a charu o honot hwynt, megys y ceraist fi."

Dyma sylfaen undeb yr Eglwys fawr Gristionogol; ac o herwydd hyny y gelwir ef yn undeb yr ysbryd. Nid undeb ysbrydol, neu undeb ysbrydoedd dynion a'u gilydd, a ddeallir yn unig nac yn benaf; ond yr undeb ag y mae yr Ysbryd Glan yn awdwr iddo, a hyny trwy ei fod wrth dreiddio drwy yr holl saint, yn dwyn Duw iddynt oll, ac yn eu gwneyd yn un yn Nuw. "Undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd." Mae yr Apostol yn anog y saint i gadw yr undeb hwn." "Gan fod yn ddyfal i gadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd." Nid oes ormod o aberth i'r dyn i wneyd i gadw yr undeb hwn. Dyry yr Apostol res o'r pethau y gellid ac y dylid eu haberthu er mwyn yr undeb hwn. "Ar rodio o honoch yn addas i'r alwedigaeth y'ch galwyd iddi, gyda phob gostyngeiddrwydd ac addfwynder, yn nghyd a hir-ymaros, gan oddef eich gilydd mewn cariad." Dylid aberthu pob hunanoldeb, a phob angharedigrwydd, a phob dialedd, a phob sarugrwydd, a byw mewn gostyngeiddrwydd, mewn addfwynder, mewn hir-ymaros, ac mewn goddefgarwch, er mwyn magu a meithrin yr undeb hwn. Nis gall un Cristion unigol, nac un eglwys, neu gyfundeb crefyddol, wneyd gormod o aberth, er mwyn "cadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd." Beth bynag sydd yn y dyn, yr eglwys, neu y cyfundeb ag sydd yn ffordd yr undeb hwn, o eiddo y dyn, yr eglwys, neu y cyfundeb y gellid ei hebgor, heb aberthu gwirionedd, dylid ymwrthod ag ef. Nid ellir, ac ni ddylid aberthu gwirionedd ar un cyfrif, oblegid undeb y saint yn y gwirionedd, yw yr undeb y gweddiai Crist am dano. "Sancteiddia hwynt yn dy wirionedd: dy air sydd wirionedd." Yn y gwirionedd y maent i fod yn un. "Ac er eu mwyn hwy yr wyf yn fy sancteiddio fy hun, fel y byddont hwythau wedi eu sancteiddio yn y gwirionedd." Nid oes undeb Cristionogol yn bod ond yn y gwirionedd. Nid all fod ond yn y gwirionedd. Mae yr Apostol yn dangos yn mha bethau y mae yr undeb hwn yn gynwysedig—y pethau nad ellir eu gadael heibio, er mwyn undeb—yr elfenau mawrion sydd yn rhedeg drwy yr undeb hwn—y gwirioneddau tragywyddol, ag ydynt seiliau undeb Cristionogol. "Un

corph sydd, ac un ysbryd, megys y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedigaeth: un Arglwydd, un ffydd, un bedydd, un Duw a Thad oll, yr hwn sydd goruwch oll, a thrwy oll, ac ynoch oll."

Wrth sylwi ar osodiadau yr Apostol yn y geiriau a ddefnyddiwyd uchod, eglur yw bod y gosodiadau yn ymranu yn ddau gymeriad, yn y drefn a ganlyn:—Gwirioneddau Hanfodol y Grefydd Gristionogol; sef y rhai nad all Cristionogaeth, fel cyfundrefn grefyddol fodoli, hebddynt; a hefyd ymarferion neillduol Cristionogaeth, ag sydd yn gwahaniaethu Cristionogaeth oddiwrth bob cyfundrefn grefyddol arall, mewn defnyddiau allanol.

Mae y cyntaf yn gosod allan ddysgeidiaeth driphlyg, am wrthddrychau Ffydd yr Eglwys—un Duw, un Arglwydd, un Ysbryd. Edrychwn ar y ddysgeidiaeth hon.

*Bodolaeth Duw.* — Mae yn rhaid credu bodolaeth Duw, cyn y gellir bod yn Gristion. Bodolaeth Duw yw sylfaen crefydd. Ni buasai crefydd pe na buasai Duw. Credu y gwirionedd hwn ydyw y cymelliad cryfaf i grefydd. Nid rhyw fath o grediniaeth yn modolaeth Duw a ddysgir, rwymir, ac a gymeradwyir gan Gristionogaeth, eithr crediniaeth yn Mhersonoliaeth Duw—credu bod Duw Personol. "A'i fod yn wobrwywr i'r rhai sydd yn ei geisio." Dyna ddigon i'w ddangos yn Dduw personol. Un o hanfodolion Cristionogaeth yw credu bod Duw yn "Dad oll," fel achos gwreiddiol pob dim; "yr hwn sydd goruwch oll," fel llywodraethwr mawr y cyfan; "a thrwy oll," fel cynalydd pob peth; "ac ynoch oll," fel ffynonell fawr pob daioni a dedwyddwch. "Un Duw sydd."

*Arglwyddiaeth Crist.* — "Un Arglwydd." Mae crediniaeth yn y gwirionedd mawr hwn, "Bod Iesu Grist yn Arglwydd, er gogoniant Duw Dad," yn hanfodol i'r ffydd Gristionogol. Nid all unrhyw gynulleidfa fod yn eglwys Gristionogol, heb gydnabod arbenogaeth yr Arglwydd Iesu Grist yn yr eglwys, fel Deddfroddwr, Barnwr, ac Iachawdwr. "Ac efe yw pen corph yr eg lwys: efe yr hwn yw y dechreuad, y cyntaf-anedig oddiwrth y meirw; fel y byddai efe yn blaenori yn mhob peth." "Un Arglwydd."

*Dylanwad yr Ysbryd Glan.*—"Un Ysbryd." Mae crediniaeth yn Mherson a gwaith yr Ysbryd Glan yn hanfodol i'r cymeriad Cristionogol. Amrywir yn y modd y mae yn gweithio, yn nghyd a natur ei ddylanwad, yn marn Cristionogion; ond cytunant oll i gydnabod yr angenrheidrwydd am ei waith, a'r ffaith ei fod yn gweithio. Nid ellir bod yn Gristion heb deimlo gwaith yr Ysbryd Glan yn dychwelyd, sancteiddio, a nerthu y dyn. Yn yr Ysbryd Glan y mae y saint yn gweddio. "A gweddio yn yr Ysbryd Glan." Yr ydym yn gweddio ar y Tad, oblegid efe sydd yn rhoi; yn gweddio yn enw y Mab, oblegid efe sydd yn derbyn; ac yn gweddio yn yr Ysbryd Glan, oblegid efe sydd yn treiddio drwom, ac yn gweithio ynom.

Dyna y gwirioneddau mawrion a ystyria yr Apostol fel hanfodolion y grefydd Gristionogol, a phynciau sylfaenol ffydd yr eglwys; ac felly yn rhwymyn yr undeb hwn. Nid ellir bod o fewn cylch yr undeb Cristionogol hwn, ac ymwrthod a'r gwirioneddau hyn ag ydynt sylfaenol yn y grefydd Gristionogol. Gan mai un Tad sydd i ni oll, un Arglwydd arnom ni oll, ac un Ysbryd ynom ni oll, gelwir arnom fod yn un corph.

Mae y rhan olaf yn gosod allan ddefnyddiau ymarferion neillduol Cristionogaeth, yn rheolau neu amodau yr undeb hwn. "Un ffydd, un bedydd, un gobaith." Mae y gair *mia pistis*, a gyfieithir, un ffydd, yn tarddu o'r gair *pisis, persuasion, in the objective case;* felly yn golygu yr hyn a gredir, neu wrthddrych ffydd. Gan mai am bethau Cristionogaeth y sonia yr Apostol yma, eglur yw mai am ffydd yr efengyl, neu ddysgeidiaeth y Testament Newydd, fel yr unig ddysgeidiaeth i'w chredu a'i derbyn yn yr eglwys Gristionogol fel rheol ffydd ac ymarferiad, y llefara efe. Yr hyn y myn yr Apostol i ni deimlo yw, Mai y datguddiad a roes Duw o'i ewyllys dan yr efengyl, trwy Grist a'i apostolion, ydyw yr unig

wrthddrych a rheol ffydd yr eglwys Gristionogol. Nid all ond un ffydd fod, oblegid ni all y digelwyddog a'r perffaith Dduw fod yn awdwr ond i un datguddiad. Nis gall efe fod yn awdwr i un llyfr yn dysgu fel hyn, ac i lyfr arall yn dysgu fel acw. Os ydyw efe yn awdwr i'r Testament Newydd, nis gall efe fod yn awdwr i un llyfr sydd yn dysgu yn groes i ddysgeidiaeth hwnw. "Un ffydd." Gan mai un ffydd sydd, ffolineb yw son am wahanol ddulliau o gredu. Rhaid credu y gwirionedd, "megys y mae yn yr Iesu." Mae yn anmhosibl credu y *peth fel hyn*, a chredu yr *un peth fel arall*, a'r ddau ddull o gredu yn *iawn*. Nid rheswm, barn, na chydwybod yw rheol ffydd, eithr gair Duw. Rhoes Duw un datguddiad i fod yn un rheol i un ffydd, fel y byddai un meddwl, un farn, ac un gred yn y saint mewn perthynas i Hanfodolion Cristionogaeth. "Eich bod yn sefyll yn un ysbryd, ac un enaid, gan gydymdrech gyda ffydd yr efengyl." Dyna yw "undeb ffydd."

"Un Bedydd." Mae yr Apostol yn ofalus i osod allan ffydd yn rhagflaenydd i fedydd. "Un ffydd," yna, "un bedydd." Mae pob ymdrech ffol a gwrthun yn cael ei wneyd, i ddyrysu y darllenydd syml, yn y meddwl dwyfol yma. Ceisia rhai ei wneyd yn fedydd yr Ysbryd Glan! Eraill a amcanant ei wneyd yn ddoniau gwyrthiol! Y tryd-ydd dosbarth o ddeonglwyr a'i gwnant yn un bedydd yn y peth, er yn amrywiol yn y dull! Mae Barnes lafurus a dysgedig, wedi ymollwng i ddyweyd peth mor ffol a hyny! Beth sydd yn fwy syml ac eglur nad y bedydd Cristionogol, fel ufudd-dod i'r ffydd, fel gorchymyn; proffes o'r ffydd, fel datganiad; a derbyniad o'r ffydd, fel rhwymedigaeth newydd i fywyd o sancteiddrwydd, a olyga y geiriau? Beth sydd yn fwy syml ac eglur na dysgeidiaeth y Testament Newydd ar gyfraith bedydd? Mae yn rhaid mai gelyniaeth gwirfoddol yn erbyn y gwirionedd, sydd wedi tywyllu dysgeidiaeth mor syml ac eglur a hon, yn meddyliau dynion:—"Nid yw hyn yn cadarnhau nad oes ond un dull o fedydd, ond yn cyfeirio at y peth ei hun." Gofynaf, yn enw pob rheswm, beth yw y peth ei hun ond y bedydd? A oes rhywbeth yn bod heb ddull yn perthyn iddo? Os ydyw yn cyfeirio at "*y peth ei hun,*" rhaid ei fod yn cyfeirio at y dull sydd yn perthyn iddo, oblegid nid oes unrhyw beth heb ddull yn perthyn iddo. A all Mr. Barnes, neu ryw ysgolhaig arall, brofi fod mwy nag un dull i fedydd? A ellir profi bedydd yn yr *act* hono, yn rhywbeth heblaw dull? Os dull yw bedyddio, rhaid nad oes dim yn fedydd, ond a wneir yn y dull hwnw. Mae son am wahanol ddulliau o fedyddio yn wrthuni, yn ffolineb, yn anghyfiawnder a phob rheol iaith. Un bedydd sydd, am y rheswm mai un dull sydd i'w weinyddu. Byddai newid y dull yn newid y weithred; yna nid bedydd fyddai hyny. Gwelsom lawer o ffolineb, yn ddiweddar, oddiwrth rai y dysgwyliesid gwell pethau, a mwy o synwyr, ac addfedach dysgeidiaeth. Nid oes un lle i dybio, na chysgod o freuddwyd, bod bedyddio yn golygu ond un dull, yn ystyr syml y gair. Felly yma—un bedydd—*en baptisma.* Yn awr, *baptisma* yw y "*peth ei hun,*" a defnyddio geiriau Barnes; y modd y gwneir *baptisma* yw, trwy *baptizo*. *Baptizontes an tous*, "gan eu bedyddio hwy." Edrychwn beth yw ystyr priodol y gair *baptisma*:—"*Baptisma*, what is immersed; hence, immersion. *Baptismos*, immersion." Trochiad, ynte, yw y "*peth ei hun,*" chwedl Barnes. Eto: "*Baptizo*, to immerse, immerge, submerge, sink." Dyna y modd i wneyd "*y peth ei hun*" yn drochi, suddo, tan-suddo, soddi. Efallai y gallai Barnes, neu rai o'i ganlynwyr, ein hysbysu pa un o'r dulliau yna yw yr iawn ddull i wneyd *baptisma* neu *baptismos!*

Yr unig air a ddefnyddir yn y Testament Newydd i osod allan weinyddiad deddf bedydd, yw *baptizo*. Mae *bapto* yn golygu trochi; ond ni arferir y gair yn y ffurf yna am fedyddio yn y Testament Newydd. *Baptizo* yw y gair yno. Ystyr y gair *baptizo* yw, rhoi trochiad, neu wneyd yn drochedig. Mae y gair yn y ffurf hwn, yn golygu y weithred o

roddi trochiad o du y gweinyddwr; a'r weithred o dderbyn trochiad o du y bed-yddiedig; felly mae y gair yn *representio* y syniad o orchymyn o un tu, ac ufudd-dod o'r tu arall, yr hyn nad allai *bapto* wneyd. Gall *bapto* olygu lliwio yn ei ail ystyr; ond nid all *baptizo* olygu dim ond rhoi trochiad. Mae ystyr flaenaf *bapto*, sef trochi, yn cael ei gymeryd i mewn gan *baptizo*—rhoi trochiad; ond nid yw byth yn golygu ail ystyr *bapto*—lliwio. "Un bedydd" sydd, ac ni all fod ond un, gan mai yr unig fodd i wneyd *baptisma*—trochiad, ydyw *baptizo*—rhoi trochiad, ydyw trochi.

Mae y Parch. W. Thorn, a'i holl Thorniaid bychain, yn cyd-uno i gymeryd *baptizo* neu *baptismos* yn yr ystyr fenthycol neu ffugyrol, i osod allan y bedydd Cristionogol! Gofynwn, yn enw pob synwyr, Ai yn ei ystyr ffugyrol yr arferai yr Arglwydd y gair yn sefydliad deddf bedydd? Os felly, nid all bod un bedydd, eithr llawer; oblegyd mae yr holl Thorniaid yn rhoddi ugeiniau o ystyron ffugyrol i'r gair *baptizo*, a'i berthynasair *baptisma!* Golyga y gair gyflwr ac nid gweithred, ebe y Thorniaid. Y cyflwr hwnw ydyw meddwdod, dwbiedig, llofruddiedig, taenelledig, baeddedig, cysgedig, tagedig, a'r cyffelyb! A oes rhyw ddyn mor wallgof a thybio bod ein Harglwydd sanctaidd yn bwriadu i'r gair a ddefnyddiai, yn sefydliad yr ordinhad ddwyfol, gael ei ddeall a'i arfer, yn ol y deongliad Thornaidd hwn?

Profwn ei briodolder. "Ac yr oedd Ioan yn *dwbio* yn Ainon—A daeth yr Iesu i'r Iorddonen at Ioan i'w *feddwi* ganddo—a'r neb a gredo, ac a *lofruddier*, a fydd cadwedig—gan eu *pwyo* hwy yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan—a'r rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a *drybaeddwyd*—a hwy a *daenellwyd* ganddo yn afon yr Iorddonen—oni wyddoch chwi am gynifer o honom ag a *laddwyd* i Grist, ein *cysgu* ni i'w farwolaeth ef!!! Pa un o'r Thorniaid mwyaf gwallgof, sydd yn ddigon gwallgof, i gynyg amddiffyn *practice* y *theory* Thornaidd, ag yr ymffrostiant gymaint ynddi, fel digon byth i gau genau syml gwirionedd yr efengyl? Gwrided haerllugrwydd ei hun, a wyled pob teimlad o barch i'r efengyl yn chwerw, wrth gyrn allor fawr y merthyrdod hwn ar bob teimlad a synwyr crefyddol, er mwyn cynal i fyny ddefod ddynol, wag, a diamcan! "Un bedydd." Rhaid i'r un bedydd hwn gael ei gydnabod a'i dderbyn yn yr eglwysi, cyn y gellir byth gael y saint i'r undeb hwn, yn ol synwyr Gair Duw.

Mae yr annhegwch mwyaf, yn y cyhuddiad brwnt ac anghyfiawn a ddygir yn erbyn y Bedyddwyr, fel plaid o grefyddwyr gul a chyfyng yn ei chalon, tuag at Gristionogion eraill, a wahaniaethant mewn barn i'r blaid angharedig hon; ac hefyd, eu bod yn wrthwynebol i undeb crefyddol a Christionogol, i fod rhyngddynt a'r pleidiau crefyddol efengylaidd eraill. Mae y cyhuddiad brwnt hwn, wedi ei fwriadu i ddarostwng y Bedyddwyr yn meddwl y bobl, trwy eu camddarlunio yn y dull bawaidd, a llechwraidd yna, am yr unig reswm. o'u bod yn sefyll yn dystion ffyddlon i'r gwirionedd syml hwnw, ag yr ymadawodd enwadau parchus eraill oddiwrtho, trwy dwyll a hudoliaeth y Babilon Fawr.

Gall y Bedyddwyr "oddef" pobl eraill "mewn cariad," gan eu cydnabod "yn frodyr," a chydweithredu a hwynt yn mhob ymdrech grefyddol, gan belled ag na byddo hyny yn gofyn am wneyd aberth o'r gwirionedd. Ond nid allant wneyd hyny. Byddai cydnabod unrhyw ddefod ddynol, heb rith o sail iddi yn y Testament Newydd, yn gydwerth ag un o orchymynion pendant yr Arglwydd Iesu Grist, yn ormod o aberth o'r gwirionedd, i'r Bedyddwyr allu meddwl am wneyd byth. Caiff enwadau eraill foddloni ar eu dyfeisiau dynol, a gwneyd eu goreu o honynt; ond ofer ceisio i'r Bedyddwyr gydnabod y pethau hyny yn gydwerth a gwirionedd Duw. Am na wna y Bedyddwyr hyny, y cablir hwynt.

Mae y Bedyddwyr yn cydnabod rhyddid barn, a hawliau cydwybod, mewn pethau o "*ganiatad*." "Bydded pawb sicr yn ei feddwl ei hun" am bethau felly. Ond pan y byddo pwynt o *orchymyn pendant*, nid pwynt o *farn* a

*chydwybod* yw hwnw, eithr pwynt o *ufudd-dod.* "A hyn yr wyf yn ei ddywedyd o ganiatad, nid o orchymyn."—1 Cor. 7: 1—10. Pan mae gorchymyn oddiwrth yr Arglwydd, rhaid cadw a gwneuthur hwnw.—1 Cor. 7: 17—19.

Dylid gwybod y gwahaniaeth rhwng *pethau o ganiatad, a phethau o orchymyn.* Yn y cyntaf, cyfaddasrwydd a chydwybod sydd i reoleiddio; ac yn yr olaf, *ufudd-dod* a rwymir. Pe teflid bedydd dros y drws, nis *gallai* undeb Cristionogol *fod* felly; oblegid undeb yn y gwirionedd ydyw undeb y saint i fod. Bedydd ydyw y broffes ordeiniedig gan Grist, i fod yn arwydd gweledig ac allanol, o undeb y saint yn "*un corph,*" yn yr "*un ffydd,*" dan yr "*un Arglwydd.*"

*Un gobaith.* "Megys ag y'ch galwyd yn un gobaith eich galwedigaeth." Gobaith bywyd tragywyddol, i fod yn gartref nefol. Mae y gobaith hwn yn mhob un o'r saint, yn gynhyrfydd i sancteiddrwydd ymarferol, yn nerth i ymdrech ysbrydol, ac yn elfen llawenydd nefol. "Yn gorfoleddu dan obaith gogoniant Duw." Mae unoliaeth y Duwdod fel ffynonell yr iachawdwriaeth; unoliaeth crefydd fel moddion yr iachawdwriaeth; ac unoliaeth y cartref nefol fel dyben yr iachawdwriaeth, yn rhwymo y saint i fod "yn ddyfal i gadw undeb yr Ysbryd yn nghwlwm tangnefedd." Braint y saint yw bod yn un, dyled pob Cristion yw ymdrechu at hyny, trwy wneyd ei oreu i wybod ac i adnabod y gwirionedd, ei barchu, a'i fyw yn rhinweddol. "Y Tad sancteiddiol, cadw hwynt yn dy enw, y rhai a roddaist i mi; fel y byddont un, megys ninau." Amen.

---

## A YDYW YN HAWDDACH BYW YN GREFYDDOL YN NGHYMRU NAG YN AMERICA?

GAN DDINASYDD AMERICANAIDD.

Mae yn ffaith fod byw yn grefyddol mewn cylch a chymdeithas foesol a chrefyddol, yn fwy hawdd nag mewn cylchoedd a chymdeithasau fyddo yn llai felly. Y fath wahaniaeth a deimlir genym yn moddion gras, gyda y frawdoliaeth, yn y gyfeillach, yn y cyfarfod gweddi, neu wrth wrando y bregeth, i'r hyn a brofir genym ar faes y byd, yn mhlith dynion annuwiol a digrefydd, di-barch i Dduw. ac yn wir yn mysg personau a ymddygant yn foesol, ond yn ddigrefydd. Hawdd cadw y ganwyll yn oleu yn y ty, yn hytrach nag yn yr awyr agored. Hawdd cadw y llysieuyn yn ei brydferthwch yn yr ystafell gynes, ond nid allan yn awel lem y gauaf. Felly am danom ninau yn grefyddol. Mae y gwahaniaeth yn gyffelyb rhwng cymdeithas dda a chymdeithas ddrwg. Yn wir, mae y Cristion llednais yn teimlo gwahaniaeth yn ei brofiad mewn cymydogaethau gwahanol. A mwy na hyn, mae ambell i olygfa yn natur â'i thuedd i grefyddoli yn fwy na'r llall. Mae ambell i ystafell yn y ty, ac ambell i eisteddle yn y capel, yn fwy manteisiol i feithrin yr "anian dduwiol" na'r llall. Ceir llaweroedd o Gristionogion yn cael mwyniant, cryfder, a llawenydd mawr weithiau, pan ar ddiffygio, wrth hyd yn nod *adgofio* adegau a lleoedd ffafriol i dduwioldeb. Ac i ddangos hyn yn mhellach, gallwn nodi fod amryw orchestion ffydd enwogion y Beibl yn gysylltiedig â lleoedd neillduol a gawsant ddylanwad ffafriol arnynt.

O flaen trem ein dychymyg saif Cymru, gwlad y breintiau a'r mynyddoedd, "gwlad y gân," ïe, a gwlad crefydd a saint. Adgofiwn ein profiad tra yn anadlu ei hawyr, ac yn syllu ar ei golygfeydd; y fynyd hon profwn y perlewygon sanctaidd a wefreiddiodd ein hysbryd cyn hyn yn ei chynteddoedd, megys mewn teml, yn ail-enyn yn ein mynwes yn yr adgoffâd. "Cymru fynyddig," pa wlad, pa lanerch ddaearol sydd i'w chyffelybu i ti? Llecyn rhyfedd, rhyfedd, ar wyneb y belen hon ydwyt. Tir cysegredig yw dy dir; mynyddoedd cysegredig yw dy fynyddoedd; afonydd cysegredig yw dy afonydd; dyffrynoedd cysegredig yw dy ddyffrynoedd; peroriaeth gysegredig yw peroriaeth dy adar. Mae dy awelon yn fwy llariaidd, dy seiniau yn fwy peraidd nag eiddo un wlad adnabyddus i ni.

Edrychwch ar ei rhagfuriau a'i thyrau, a gyfodwyd gan yr Archadeiladydd dwyfol ei hunan. Nis gellir myned yn ei chyrau amrywiol, heb gael ein hadgofio o wrhydri cewri y ffydd. Mae ei themlau yn amlach na'i phalasau. Sain can a moliant yw yr uchaf a'r melusaf a adseinia yn ei hawyrgylch a'i broydd.

I dynu sylw y trigolion, ac i wanhau eu hegnion moesol, nid yw uchelgais breninol yn bodoli er ys canrifoedd. Erys mewn tangnefedd. Ni cheir twrf na therfysg gwrthlywodraethol o fewn terfynau yr Eden addfwyn, dlos, hon. Mae cydwybod y genedl yn dyner; medda hunan-barch a hunan-ymwybodolrwydd heb ei ail. Ond i ba beth yr ychwanegwn?—ni fynegwyd, ac ni fynegir mo'r haner, am fanteision crefyddol Cymru.

Wrth ddal y Talâethau Unedig mewn cyferbyniad iddi yn yr ystyr hon, meiddiwn ddweyd, na ddeil un gymhariaeth. Apeliaf at brofiad unrhyw berson crefyddol ag sydd wedi cael manteision i wybod, trwy fyw yn y naill a'r llall. Yr hyn sydd yn fawr ac yn benaf yn erbyn crefyddolder yn America, ydyw yr helbul gyda "*yr hen fyd yma;*" y mae yma ryw duedd angerddol i "garu y byd drwg presenol." O oes i oes mae ymfudwyr wedi dyfod trosodd o'r hen fyd, gyda'r bwriad a'r dymuniad i wella eu hunain yn eu hamgylchiadau tymhorol—nes o'r diwedd trwy ymdrech yn erbyn ymdrech y mae wedi dyfod yn drachwant—ac yn bob peth. Os n ethir yn yr *un* amcan mae siomedigaeth yn dod ac yn gwneuthur y person yn ddiwerth—heb feddwl—heb ysbryd—heb egnion i na chrefydd na dim arall. Yn agos at hyn eto mae y cynhyrfiadau politicaidd sydd byth a hefyd yn ymferwi y wlad o un cwr i'r llall. O ba le mae twyll a lladrad swyddwyr gwladwriaethol ac eraill yn dyfod, onid ffrwyth gwladweiniaeth lygredig ydynt? Ac nid ydyw tonyddiaeth y Werin-lywodraeth hon eto yn cyd-daraw ag ieithwedd a llafar y Testament Newydd, yr hwn mor groew a orchymyn i barchu pawb, ac anrhydeddu y Brenhin, "y gweision byddwch ufydd i'ch meistriaid." "Y plant ufuddhewch i'ch rhieni," &c.

Mor ryfeddol anghydnaws a'r cyfryw ddyledswyddau cristionogol y mae sefyllfa pethau yn America. Trwm ydyw cyfarfod mor fynych yma â Chymry wedi cael eu trawsffurfio i'r ysbryd anghristionogol hwn! Mor alarus ydyw canfod cymaint o wrthgilwyr oddiwrth grefydd, a phersonau wedi dirywio yn foesol a chrefyddol! Anogwn ystyriaeth ein darllenwyr yn gyffredinol at hyn, gan gymhell arnynt i fod yn wyliadwrus rhag myned o honynt hwythau gyda y llifeiriant annymunol hwn. Boed i bawb o honom fod yn dra ystyriol o'r dylanwadau dirywiedig sydd ar waith yn wastadol yn y wlad fawr, fydol, anianol, orwyllt hon. Cofiwn mai nid yn awyrgylch nefolaidd Cymru wen yr ydym, ond mewn gwlad y gellir ein hystyried yn ddyeithriaid a phererinion. Cofiwn fod yn llawer anhawddach byw yn grefyddol yn America nag yn Nghymru.

---

## HANES YR EGLWYSI.

RHIF I.

### Hanes Eglwys Utica, N. Y.

GAN J. EDRED JONES, Y GWEINIDOG.

Nid oes dim yn fwy amlwg yn y greadigaeth na *threfn*, ac un o gyfarwyddiadau penodol y Testament Newydd, ydyw i ni wneuthur pobpeth yn weddaidd, ac mewn trefn. Hyn, yn marn yr ysgrifenydd, yw un o ddiffygion eglwysi ein henwad, yn y wlad hon. Felly, nis gallem lai na chanmol chwaeth dda, Golygydd y WAWR, pan yn ymgynyg at gael hanes cywir, cryno, a dealladwy, o eglwysi Cymreig y Bedyddwyr yn America. Ond, wrth ddechreu ysgrifenu hanes yr eglwys uchod, rhaid i mi gyfaddef fod y gorchwyl yn fawr, ac yn anhawdd ei gyflawni i foddlonrwydd, heb son am y perffeithrwydd gofynol, oblegid diffyg defnyddiau. Y mae esgeulusdra anesboniadwy, wedi bod yn Ysgrifenyddion a Swyddogion yr eglwys hon er ei sefydliad, ar y pen hwn—esgeulusdra mewn rhan fawr, a llawer o ddiffyg trefn yn yr hyn sydd i'w gael ar y llyfrau.

Cyn dechreu ar hanes yr eglwys uchod, dichon mai nid anmhriodol fyddai taflu cip-

drem fer a brysiog. ar hanes yr egwyddorion a'n hynoda fel enwad, o'r eglwysi Apostolaidd i lawr trwy'r gwahanol oesoedd, hyd at Fedyddwyr yr oes hon. Gallwn weled, felly, fod ein hanes yn rhedeg trwy fwy na deunaw o ganrifoedd, a bod athrawiaethau bywiol Cristionogaeth wedi cael eu hamddiffyn, a'u cadw, trwy ddylanwad a gallu ein hegwyddorion ceidwadol ni.

Yr oedd Diwygwyr y pedwerydd canrif, y rhai a adnabyddid wrth yr enw Donatiaid, yn Fedyddwyr. Yr oedd yr Albigensiaid yn y seithfed, y Waldensiaid a'r Petrobrussiaid yn yr unfed-ar ddeg, a'r deuddegfed canrif, yn Fedyddwyr, ac yn ymladd tros burdeb ffydd yr efengyl, pan yr oedd yr holl bleidiau eraill wedi eu llygru gan heresiau dinystriol. Nid oes amheuaeth nad oedd yr Arnoldodiaid a'r Hussiaid, Diwygwyr cyn Luther, yn Fedyddwyr; ac y mae mor sicr a hyny, oddiwrth ei ysgrifeniadau, fod Wickliffe, "Seren foreu y Diwygiad," yn dal, yn y cyfanswm, yr athrawiaethau a gyfrifid wedi hyny, yn rhai bedyddiadol. Yr oedd ein hegwyddorion, felly, wedi bod yn cyffroi y byd crefyddol am amser maith o flaen symudiadau grymus yr unfed-canrif-arbymtheg; ac y mae lle i amheu, a fuasai y Diwygiad Mawr erioed wedi cymeryd lle, oni bai ffyddlondeb y dynion da a duwiol hyny, a fuont yn ymdrechu hyd at, a *thrwy* lawer o waed dynol, i gadw *lamp* Cristionogaeth bur i losgi yn oleu, pan yr oedd wedi ei chuddio, os nid ei diffodd, yn mhob rhan arall o'r byd.

Ond i frysio yn mlaen. ac i lawr at amser diweddarach, y mae trem ar hanes y Cyfandir hwn, yn ein hargyhoeddi mai'r Bedyddwyr fu'r symudwyr cyntaf yn erbyn gau-athrawiaethau, a bod ein heglwysi mewn amseroedd peryglus, wedi sefyll fel amddiffynfeydd yn erbyn ymosodiadau ffyrnicaf cyfeiliornad.

Pan yn meddwl, gan hyny, am ein hegwyddorion, ar linell hir a chlodfawr, i'r hon y perthynwn, yr ydym yn teimlo nad oes achos i ni gywilyddio wrth gofnodi hanes eglwysi yr enwad o Fedyddwyr. Yn y teimlad hwn, cawn ddechreu y gofres, gydag

HANES YR EGLWYS YN UTICA, N. Y.

Sefydlwyd yr eglwys hon yn y fl. 1801, a hi yw yr eglwys *henaf* berthynol i unrhyw enwad crefyddol o unrhyw iaith yn y lle; ac hefyd, yr *henaf* o eglwysi Cymreig ein henwad yn y wlad hon ag sydd yn bodoli yn bresenol. Y mae'n wir fod pregethu yn Whitestown ac yma yn achlysurol, mor gynar a 1794, a dichon cyn hyny; ond nid oedd un eglwys wedi ei ffurfio a'i chorffoli eto yn yr hen Fort Schuyler, fel yr adnabyddid y lle y pryd hyny. Tua'r blynyddau 1799, 1800, ac 1801, daeth yma amryw o Fedyddwyr Cymreig, ac fel mae arfer ein cenedl ni bob amser, dechreuasant yn fuan i gynal gwasanaeth crefyddol yn eu hiaith eu hunain, a chymaint fu eu llwyddiant, nes penderfynu o honynt ymgorffoli yn eglwys reolaidd.

Felly, ar y 12fed o fis Medi, 1801, cyfarfyddodd y gynulleidfa fechan, gweithgar a ffyddiog hono yn nhy *log* brawd o'r enw John Williams, lle a phryd y ffurfiasant eu hunain yn eglwys, a nifer yr aelodau oedd UGAIN. Yr oedd John Williams yn byw allan tua milldir o'r pentref, yn agos i'r man y saif y Lunatic Asylum yn bresenol. Yr oedd y wlad yn newydd, y tai yn anaml, ac wedi eu gwneyd yn y modd rhataf ag ydoedd amgylchiadau cyfyng yr amseroedd hyny yn hawlio. Nid oedd nifer y trigolion ond ychydig, ond yr oedd yr elfen Gymreig yn gref, yn myned ar ei chynydd bob blwyddyn, ac yn debyg o argraffu ei nodweddion yn ffurfiad cymdeithas mewn llythyrenau breision ac eglur. Nid oes lle i amheu na fu dylanwad moesol a chrefyddol yr elfen hon yn lles dirfawr i'r *colony* newydd, a bod y dylanwad boreu hwnw wedi rhedeg i lawr fel ffrwd iachusol hyd y dydd heddyw. Yn mysg aelodau ymgorffoledig yr eglwys hon yr oedd John Stephens a James Harries, dau o gewri y ffydd, a'r rhai, wedi hyny, fuont yn gwasanaethu iddi fel gweinidogion.

Y diaconiaid cyntaf oeddent Joseph Harries a John Reed. Am yr ymddiriedolwyr cyntaf, ni a soniwn air eto yn nes yn mlaen.

Dyma'r ugain aelod wedi ymgyfamodi a'u gilydd, ac wedi cyduno a'r amodau eglwysig, y rhai ydynt ar gael heddyw mewn ysgrifen; ond nid ydym yn gweled yr atebai unrhyw ddyben neillduol i gyhoeddi y cwbl yma. Eto, er cael mantais i weled iachusrwydd eu barn, dichon mai iawn rhoddi o flaen y darllenydd rai o'r prif bethau a osodent allan fel cyffes eu ffydd. Yn y rhagymadrodd dywedant:—

"Y Cymry Bedyddiedig o amryw fanau, ac o amryw eglwysi Iesu Grist, trwy drefn Rhagluniaeth a daioni Duw, gwedi dyfod i aneddu y wyneb hwn o'r ddaear, a chan olygu gogoniant Duw,

barnasom yn ddyledswydd, yn gystal a braint, i ni ymroddi ein hunain yn gyntaf i'r Arglwydd, ac yna i'n gilydd, yn ol ei ewyllys ef, yn eglwys drefnus, yn ol y Testament Newydd. Ac i'r dyben i ymgorffoli, ni a gyfarfuasom yn nhy John Williams, agos i Utica, Gogledd America, mis Medi 12fed, 1801." Yna ânt yn mlaen i ddyweyd eu "barn am grefydd, er mwyn y genedl a ddêl," a dyma rai o'r prif erthyglau :—

"Yr ydym yn credu mai gair Duw ydyw y Beibl sanctaidd, ac ar dystiolaeth y llyfr hwnw, yr ydym yn credu, mai un gwir a bywiol Dduw sydd i'w addoli—y Tad, y Gair, a'r Ysbryd Glan, a'r Tri hyn un ydynt. Fod Iesu Grist yn dragywyddol Fab Duw. Fod y cyfamod hedd, neu'r cyfamod o ras, wedi ei wneyd yn Nghrist cyn bod y byd. Fod Duw wedi ethol ei bobl yn Nghrist cyn bod y byd. Fod yr holl hil ddynol wedi myned yn bechaduriaid yn erbyn Duw, a than farn condemniad, yn yr Adda blaenaf. Fod Crist wedi llwyr brynu ei eglwys ar Galfaria. Fod Duw, trwy'r efengyl, yn galw ei bobl â galwedigaeth effeithiol. Fod cyfiawnhâd pechadur wedi ei orphen ar y groes, a'r Tad wedi ei lwyr foddloni. Mai trwy ffydd, neu gredu'r efengyl, y mae i bechadur gael cyfiawnhad. Fod y Duw sydd yn galw ac yn cyfiawnhau, yn cynal hefyd hyd y diwedd er ei glod. Y caiff y rhai a etholwyd, a brynwyd, a alwyd, ac a gyfiawnhawyd, eu gogoneddu gyda Duw a'r Oen am byth. Fod gweddi a gosodiad dwylaw yn bethau parhaus yn yr eglwys hyd ddiwedd amser. Mai'r dydd cyntaf o'r wythnos yw'r iawn orphwysfa dan y Testament Newydd i addoli Duw. Y bydd adgyfodiad y meirw—y cyfiawnion a'r anghyfiawnion. Mai'r duwiolion a gyfodant yn gyntaf. Fod barn, ac mai Crist fydd y Barnwr. Yr ydym yn llwyr wadu adferiad o uffern. Ac yr ydym yn credu mai ein dyledswydd, yn gystal a'n braint fel dysgyblion Iesu Grist, yw ymrwymo mewn cyfamod a'n gilydd," &c., &c. Eu barn am ordinhadau yr eglwys sydd fel y canlyn :—

"Yr ydym yn credu mai ordinhad *Crist* yw bedydd dwfr. Mai'r sawl sydd yn proffesu ffydd yn Nghrist, ac edifeirwch tuag at Dduw, ydynt yr unig ddeiliaid. Mai trwy gladdu yr holl gorph mewn dwfr yw'r unig ddull o weinyddu'r ordinhad. Bod swper yr Arglwydd yn ordinhad o osodiad y Pen Bugail mawr yn ei eglwys. Yr ydym yn ymwrthod a phob traws-sylweddiad yn y swper, a phob ordinhad arall."

Dyna *synopsis* o'r egwyddorion, ar y rhai yr ymgorffolasant, ac y maent yn aros hyd heddyw heb eu cyfnewid. O'r cychwyniad hwn ni awn yn mlaen i roddi ychydig o

HANES YR EGLWYS.

Nid oes genyf nemawr i ddyweyd am y pum' mlynedd cyntaf; ond yn y fl. 1806, cawn y frawdoliaeth ieuanc yn ddigon calonog i godi addoldy at wasanaeth Duw. Prynwyd tir ar y man, wedi hyny, y safai Hotel Street. Codwyd y ty, ac yma y bu'r eglwys yn addoli hyd nes i Gamlas yr Erie gael ei gwneuthur yn y fl 1817. Gan fod yr anturiaeth bwysig hon yn rhedeg trwy y tir ar yr hwn y safai yr adeilad, bu raid ei symud oddiyno, a gosodwyd ef i lawr ar sail yr addoldy presenol, ar Heol y Broadway. A phan ddaeth yn ofynol i godi adeilad mwy a gwell, cafodd yr hen babell gysegredig ei symud drachefn, a'i throi yn dy anedd ar Heol Charles.

Dichon mai yma y dylem grybwyll fod yr hen eglwys Gymreig yn *fam* i un o'r eglwysi Seisnig goreu yn y ddinas. Gan mai hi oedd yr unig eglwys Fedyddiedig yn y lle am flynyddau, fe ymunodd llawer o Fedyddwyr Seisnig â hi o bryd i'w gilydd. Ac er nas gallent ddeall yr iaith, eto deallent a theimlent gymundeb eneidiau yn ngwaith ac wrth fwrdd eu Harglwydd. Ond pan ddaeth y Saeson yn ddigon lluosog, penderfynasant fyned allan a ffurfio eu hunain yn eglwys Saesoneg o Fedyddwyr. Felly, ar y 23ain o Fedi, 1819, pasiwyd mewn cwrdd rheolaidd, fod yr eglwys yn cymeryd at ei hystyriaeth hyd y cyfarfod dilynol, "Y priodoldeb o roddi

caniatad i bawb a ewyllysiant i ymgyfamodi fel ail eglwys." Yn y cyfarfod a gynaliwyd Hydref 7fed, penderfynwyd fod y caniatad rhag-grybwylledig i gael ei roddi, a gollyngwyd dau-ar-bymtheg o aelodau i'r dyben hwnw, sef saith o frodyr a deg o chwiorydd. Dyna ddechreuad eglwys Broad Street, ond y Tabernacle yn bresenol. Yn mhlith y ddau-ar-bymtheg yr oedd Cymro a Chymraes, sef David Reed ac Elizabeth Williams. Gwnawd y brawd Reed yn un o'r diaconiaid cyntaf, a llanwodd ei swydd tra fu byw gyda pharch anghyffredin. Bu farw wedi cyrhaedd oedran mawr, ryw dair blynedd neu fwy yn ol.

Daeth y ferch hon yn raddol yn eglwys luosog, gyfoethog, ddylanwadol, a haelionus. Bu rhai o brif ddynion y ddinas yn aelodau o honi o bryd i bryd; ond er cymaint fu ei llwyddiant, ac er mor anrhydeddus fu, ac ydyw ei safle heddyw yn mhlith eglwysi yr enwad, y mae wedi profi ei chariad dwfn at, a'i chydymdeimlad gwresog â'i mam oedranus hyd y dydd hwn.

Yn yr un flwyddyn ag yr adeiladwyd yr addoldy cyntaf, fe ddechreuwyd ethol ymddiriedolwyr. Y mae hanes y cwrdd cyntaf i'r perwyl hwnw, o flaen yr ysgrifenydd yn bresenol, ac yn darllen fel hyn: "This certifies, that the subscribers who were chosen as returning officers, at a meeting notified and assembled according to law, for the purpose of establishing a Religious Society in the village of Utica, N. Y., do hereby certify that Abraham Williams, and James Morgan, and William Francis, were duly elected Trustees of the Society, and that the said Society shall be known by the name of the First Welsh Baptist Church in Utica. Witness our hands and seals, this twenty-third day of June, in the year of our Lord one thousand eight hundred and six.

"Daniel James,
"John Adams."

Y mae enwau yr ymddiredolwyr i lawr yn rheolaidd bob blwyddyn oddiar hyny hyd yn bresenol, ond nid oes dim o *weithrediadau* cyfarfodydd blynyddol yr ymddiriedolwyr wedi eu cofnodi hyd y flwyddyn 1840. O'r flwyddyn 1846 i lawr, y mae gweithrediadau pob cwrdd blynyddol wedi ei gadw yn ofalus, er yn fyr.

Yr oedd dirwest wedi cymeryd gafael gadarn yn aelodau yr eglwys er yn foreu, oblegid ni gawn y penderfyniad canlynol wedi ei fabwysiadu Hydref 10fed, 1840. Dyma fe yn *llythyrenol*:—

"*Resolved*, That no person or persons shall be received or admitted to this church, who shall sell or cause to sell ardent spirits of any kind or description, either male or female; and whoever aids in doing the same, cannot be received nor tolerated in this church."

Dichon fod amgylchiadau yn galw am y fath benderfyniad pryd hwnw; ond mae'r ysgrifenydd wedi byw yn y ddinas er's yn agos i ugain mlynedd, ac nid yw yn cofio am un Cymro ag oedd yn *pretendio* bod yn grefyddol, wedi cynyg ar y gwaith o werthu dioddydd meddwol. Hefyd, ni welodd un eglwys erioed yma nac yn Nghymru wedi cael cyn lleied o ofid yn amser ei weinidogaeth flaenorol a'r eglwys hon oddiwrth ddiotwyr anghymedrol. Y mae wedi bod yn nodedig ar y pen hwn am yr ugain mlynedd diweddaf.

Bu diwygiad grymus iawn yn y ddinas yn y flwyddyn 1838, yn mysg y Saeson, dan weinidogaeth effeithiol y Parch. Jacob Knapp. Parhaodd o ddechreu Ionawr hyd ddiwedd Mawrth, y flwyddyn hono, ac nis anghofir byth mo'r amser dedwydd hwnw gan neb oedd yn fyw i'w fwynhau. Crefydd a'r diwygiad oedd testyn ymddyddan pob dau, lle a phryd bynag y cwrddai dynion a'u gilydd. Yr oedd pobpeth yn rhoi ffordd i grefydd a llesiant eneidiau. Nid oedd un tŷ addoliad yn y ddinas yn ddigon mawr i gynwys un o bob deg o'r rhai a ewyllysient ac oeddynt awyddus i glywed gair y bywyd, a bernir fod o wyth cant i fil o bersonau wedi eu dychwelyd yn effeithiol at Dduw, yn ystod y diwygiad. Ond nis gwyddom faint—o'r gawod fendithiol hon, a ddisgynodd ar yr eglwysi Cymreig, eto, mae'n ddiau iddynt hwythau gael dyferynau breision, oblegid gwel-

wn ar y llyfr, fod mwy wedi eu bedyddio y flwyddyn hono, nag o fewn unrhyw flwyddyn arall, heblaw eraill a ddychwelwyd oddiar dir gwrthgiliad.

Mewn cwrdd eglwys rheolaidd, a gynaliwyd Ebrill 24ain, 1846, mabwysiadwyd y canlynol:—

"Yr ydym ni fel eglwys yn cyduno yn y cyfamod a ganlyn, ac yn ymrwymo, hyd y mae ynom, yn ofn yr Arglwydd, a thrwy ei gymorth ef, i gyflawni y gwahanol bethau a gynwysir ynddo, yn ffyddlon a diduedd. Yr ydym yn parhau i lynu wrth yr egwyddorion sylfaenol, yn ol y rhai y ffurfiwyd yr eglwys gyntaf, ag y'nt yn ysgrifenedig yn nechreu y llyfr hwn." Yna eir yn mlaen i enwi amryw o reolau newyddion—math o *by-laws*—er cario'r achos yn mlaen yn fwy trefnus a llwyddianus—rheolau, mae'n debyg, ag yr oedd amgylchiadau pethau yn galw yn uchel am danynt. Dyma grynodeb byr o honynt:—

"Byw wrth ddeddf cariad brawdol, yn ol Ioan 13: 34, 35. Cyfarwyddo a chyngori ein gilydd mewn cariad, yn ol Heb. 3: 13; ac mewn achosion o dramgwydd personol, yr ydym yn addaw ymddwyn at y troseddwr, yn ol rheol Crist yn Matthew 18: 15—17. Yn ymrwymo cyfranu at gynaliaeth a lledaeniad yr achos yn gartrefol a thramorol. I gadw cyfrinach yr eglwys. Bod yn ofalus o'n cydgynulliad. Na fyddo i neb o'r brodyr a'r chwiorydd ymgyfreithio o flaen y rhai digred, yn unol a chyngor yr Apostol yn 1 Cor. 6: 1," &c. Yr oedd tua chant a phumpar-hugain o aelodau yn arwyddo y cyfamod adnewyddol hwn.

Dichon mai un o'r prif bethau sydd wedi bod yn atalfa i lwyddiant yr eglwys hon am lawer iawn o flynyddau, ydyw *ymrafaelion*, yn codi o ddiffyg cariad brawdol. Hyn yw'r prŷf sydd wedi bwyta ei nerth, gwasgaru ei haelodau, a lladd ei dylanwad flwyddyn ar ol blwyddyn, ac oni bai'r ysbryd hwn, buasai heddyw yn un o'r eglwysi lluosocaf, a goreu, yn mhob ystyr, o unrhyw eglwys Gymreig berthynol i unrhyw enwad ar y Cyfandir hwn. Bu ynddi ymrafael pwysig, ac o ganlyniadau hynod niweidiol tua'r flwyddyn 1845, pryd y gadawodd amryw aelodau, gan ymuno ag eglwysi Seisnig y ddinas, lle yr arosasant heb byth ddychwelyd. Y mae'r person a fu yn *achos* o'r ffrae hono, yn aros ar faes y byd, ac ofnwn oddiwrth ei sefyllfa, y bydd ei ddiwedd yn waeth na'i ddechreuad.

Tua'r flwyddyn 1848, bu yma ffrae ddrwg arall, pryd yr *ymranodd* yr eglwys, a bu'r blaid a aeth allan yn cynal gwasanaeth crefyddol am flwyddyn neu ddwy ar gongl Heolydd Broadway a Pearl. Wedi rhoddi fyny, dychwelodd rhai, aeth eraill, mae'n debyg, at y Saeson, a bu rhai heb ymuno ag un eglwys am flynyddau. Yr *achos* o'r cweryl diweddaf, oedd yn nghylch sefydliad brawd yn y weinidogaeth. Bu amryw o fân derfysgoedd eraill, ond nid wyf yn gwybod fod *ymraniad* wedi cymeryd lle ond hwn.

Gwelodd yr ysgrifenydd rai adegau digon *ticklish* yma; ond, ar y cyfan, yr oedd yn llawn cystal ag y gellid dysgwyl, wrth ystyried y fath gymeriad hynod oedd un o'r swyddogion ar y pryd. Y mae stormydd geirwon, o wahanol natur, wedi chwythu yn arw ar droion ar y ddeadell hon. Siglwyd yr eglwys hyd at ei sylfaeni, ac mae'n syndod ei bod yn fyw heddyw, ac *ni fuasai*, oni b'ai fod ynddi rai dynion da iawn, a'u gafael yn gadarn yn y fraich dragywyddol, a bod Duw y tu cefn i'w anwyliaid ynddi. Cawn wneuthur byrgrybwyllion yn awr am rai o'r

GWEINIDOGION

a fu yn efengylu iddi. Y gweinidogion cyntaf oeddynt James Harries a John Stephens. Am y blaenaf, nid oes genyf nemawr i ddim i'w ddweyd, am na chlywais ond ychydig am dano. Ond am yr olaf, siaredir yn uchel am ei enw ef yn Sir Oneida, am lawer o genedlaethau i ddyfod, fel un o gewri y ffydd, a phregethwr rhagorol yn ei amser. Aeth Stephens oddiyma i New York, ond dychwelodd yn y fl. 1814, a bu eilwaith yn gweinidogaethu i'r eglwys. Medrai ef bregethu yn dderbyniol, yn Gymraeg a Saesonaeg, a llafuriodd lawer yn y ddwy iaith, ar hyd a lled y wlad.

O'r diwedd casglwyd ef at ei dadau, mewn oedran addfed, a chladdwyd ei weddillion yn y fynwent sydd wrth addoldy y B. Cymreig, yn South Trenton.

Yr oedd brawd o'r enw Abraham Williams, yn bregethwr cynorthwyol derbyniol a chymeradwy, ac ordeiniwyd ef gan yr eglwys i waith y weinidogaeth yn y fl. 1806. Nid wyf yn gwybod dim mwy am ei hanes.

Bu Joseph Richards a David Griffiths yn pregethu yn hir i'r eglwys bob yn ail Sabboth. Yr oedd Richards yn enedigol o Llanuwchllyn, G. C. Bedyddiwyd ac ordeiniwyd ef yn Nghymru. Yr oedd yn frawd-yn-nghyfraith i'r enwog Jones, o Ramoth, gyda'r hwn y bu mewn llawer dadl frwd. Yr oedd Mr. Richards yn ddyn o gyneddfau cryfion—un hynod am ei barodrwydd i roddi atebion ffraeth a phwrpasol pan fuasai galwad am danynt. Bu farw 35 mlynedd yn ol. Y mae iddo fab, ag sydd wedi bod am lawer o flynyddau yn wrandawr cyson yn yr eglwys hon, ac edrychir arno gan bawb a'i hadwaenant, fel un o'r dynion mwyaf synwyrol, a moesol ei fuchedd, o holl Gymry y ddinas.

Yr oedd D. Griffiths, hefyd, yn bregethwr tra chymeradwy, ac yn barchus gan ei holl gydnabod. Y mae yntau yn ei fedd er's yn agos i 40 mlynedd, a'r canlynol yn gerfiedig ar y *monument* o dan ba un y gorwedda:

"Mewn coffadwriaeth am y diweddar Barch. Dafydd Gruffydd, un o weinidogion y Bedyddwyr, yn preswylio yn Frankfort. Yr hwn a fu farw Rhag. 27, 1840, yn 68 mlwydd a 10 mis oed. Brodor ydoedd o Sir Benfro, D. C. Efe a ymfudodd i America yn y flwyddyn 1818.

Yma gorphwys mewn hun felus,
Un o weision dawnus Ne':
Yn y ddu-gell rho'wd ei briddell,
Newid pabell wnaeth efe.
Dros hen bynciau Calfin goleu
Hoff y seintiau dygai sel;
Moli'r Drindod am y cymod,
Yn ddiddarfod 'nawr a wnel."

Yn ganlynol i'r rhai hyn cawn y brawd da a hynod gymeradwy, David Michael, yma yn gweinidogaethu. Cafodd efe ei fedyddio yn Cwmfelin, Sir Gaerfyrddin, ond daeth i'r wlad hon o Bethel, Mynachlog Ddu, cangen lewyrchus o hen eglwys enwog Rhydwilym. Os nad oedd y brawd hwn yn bregethwr poblogaidd iawn yn ystyr gyffredin y gair, yr oedd yn bregethwr ag oedd y Nef yn bendithio ei lafur â llwyddiant tu hwnt i'r cyffredin. Clywais iddo fedyddio rhywrai *bob mis y bu yma,* ond y cyntaf. Ei fai mwyaf yn nghyfrif dynion da enwadau eraill, oedd, ei "fod yn yr afon yn rhy fynych." Fel y dywedodd un arall wrthyf, "Yr oedd yn y dw'r o hyd." Y mae ei weddw yn fyw eto, er mewn gwth o oedran, a gwael ei hiechyd, ond yn aelod ffyddlon yn yr hen eglwys, ac yn dwyn mawr sel dros lwyddiant yr achos.

Ar ei ol daeth William H. Thomas yma yn y flwyddyn 1836 neu 1838. Pregethwr hynod boblogaidd oedd hwn. Tynodd gynulleidfa fawr yn nghyd, a bu yn llwyddianus am amser. Wedi gadael y ddinas, cododd achos yn Marcy, lle y bu yn llafurio am dymor byr; yna ymadawodd o'r ardal yn dra disymwth, ac nid ydys yn gwybod fod neb o'i gydnabod a'i gyfeillion goreu wedi cael gair byth oddiwrtho, na chlywed son am dano, mwy na phe buasai y ddaear wedi ei lyncu yn fyw. Cymaint oedd gallu y dyn hwn i swyno y bobl, nes y siarada llawer am dano, heddyw, gyda'r serch a'r anwyldeb mwyaf, er cymaint y camsyniad a wnaeth.

Y gweinidog nesaf oedd William F. Phillips. Llafuriodd ef yma am dair blynedd, ac ymadawodd i fyned i Cattaraugus, yn Mai, 1845.

Olynydd hwn oedd y brawd David Phillips, yr hwn oedd dra adnabyddus yn Nghymru, fel Phillips, Caerlleon, Mynwy. Safai yn hynod o uchel yno, ond yr oedd mewn oedran yn dyfod yma, ac yr oedd dyddiau ei ddefnyddioldeb llwyddianus wedi myned heibio. Ni fu yma yn hir, a chredwyf iddo orphen ei ddyddiau yn Pennsylvania. Yr oedd Mr. Phillips yn ddyn a llawer o ragoriaethau yn perthyn iddo. Yr oedd yn foneddwr.

Ar ei ol ef daeth y brawd Hugh Hughes i bregethu i'r lle. Nid oedd y pryd hyny wedi ei ordeinio, ond neill-

duwyd ef i waith y weinidogaeth yn yr eglwys hon, yn mhen ychydig ar ol ei ddyfodiad. Wedi gwasanaethu yr eglwys am tua blwyddyn, efe a ymadawodd. Y mae yn fyw eto, ac yn cartrefu yn Wisconsin.

Ar ol ymadawiad Mr. Hughes, cafodd y brawd David Jenkins alwad i fugeilio'r praidd, a bu yma yn y swydd hono o Mehefin, 1850, hyd Medi, y flwyddyn ganlynol. Y mae yntau ar dir y byw, mewn gwth o oedran, ac yn cartrefu yn Ohio.

Yna daeth Morris J. Williams, a bu yntau yn gwasanaethu yr eglwys hyd wanwyn, 1857. Y mae yntau hefyd yn fyw, ac yn aros yn Remsen, yn y Sir hon.

Yn Hydref, 1857, dechreuodd J. Edred Jones ei weinidogaeth, a bu yn llafurio yma hyd fis Gorphenaf, 1865,

Ar ei ol ef daeth D. Rowlands, o Canada, i'w bugeilio, ac wedi aros am tua blwyddyn, dychwelodd i Canada drachefn.

Bu y brawd David H. Jones yn gwasanaethu yr eglwys am ychydig fisoedd, pryd y penderfynodd fyned i Brif Ysgol Madison, lle y mae yn aros eto.

Joshua Morgans (Thalamus) oedd y gweinidog nesaf. Bu yma o Rhagfyr, 1869, hyd Mehefin, 1870.

Ar ol ei ymadawiad, daeth H. C. Parry (Cefni) i gymeryd gofal y ddeadell, yn Ionawr, 1872, a gadawodd am Pittston, Pa., yn Ebrill, 1873, lle y mae yn para i wasanaethu yr eglwys yno gyda llawer o lwyddiant.

Y gweinidog nesaf oedd brawd o'r enw Joseph T. Jones. Yr oedd newydd ddyfod o Gymru; bu yma ychydig o fisoedd, pryd yr ymadawodd, a deallwyf ei fod yn bresenol yn boblogaidd a llwyddianus, yn Thomastown, Ohio.

Yna cafodd H. Gwerfyl James wahoddiad i gymeryd gofal yr eglwys. Dechreuodd ei weinidogaeth yn Mai, 1875, ac yn Gorphenaf, 1876, aeth oddi yma i gymeryd gofal yr eglwys yn Pittsburgh, Pa., lle mae yn llafurio yn bresenol; a deallwn oddiwrth y newyddiaduron, fod arddeliad mawr ar ei weinidogaeth.

Wedi i'r brawd James ymadael, rhoddodd yr eglwys wahoddiad drachefn i J. Edred Jones i gymeryd ei gofal yr ail waith, ac efe yw y gweinidog presenol.

Mae yn angenrheidiol nodi, hefyd, fod llawer o frodyr eraill wedi bod yn fendithiol iawn i'r eglwys fel *supplies*, pan yn amddifad o weinidogaeth sefydlog; megys Jesse Jones, Richard Edwards, yn awr o Pottsville, Pa. Bu Mr. Vinton yma am amser byr. Yna y brodyr William ac Owen F. Perry, yr olaf yn weinidog presenol Bardwell, J. P. Harris (Ieuan Ddu), ac Alfred Harris, pan yn yr ysgol yn Whitesboro. David T. James, yr hwn oedd aelod a phregethwr cynothwyol. Aeth oddiyma i Brif-Ysgol Madison, graddiodd yno yn anrhydeddus, a bu farw pan yn weinidog ieuanc, poblogaidd, gyda'r Saeson, yn Whitehall, N. Y. Bu y brawd Ioan Hughes, hefyd, am flynyddau lawer, yn aelod parchus, a phregethwr cynorthwyol cymeradwy yn yr eglwys hon. Un o gedyrn y ffydd oedd y brawd hwn, a bu yn llafurus tros egwyddorion ei enwad yma ac yn Nghymru. Bu farw ryw bedair mlynedd yn ol. Y mae ei weddw oedranus a'i fab yn aelodau ffyddlon yn yr eglwys eto. Dichon fod brodyr da eraill wedi bod o ddefnyddioldeb i'r eglwys, nad wyf wedi clywed am danynt, ac os clywais, fy mod wedi anghofio ar hyn o bryd. Y mae yn bresenol frawd ordeiniedig yn aelod yn ein plith, sef Owen Griffiths (Giraldus), perchenog a golygydd y WAWR. Pe na chymerai ormod o le, gallasem roddi taflen led gryno o'r

BEDYDDIADAU

a weinyddwyd yma o'r corpholiad i lawr mor bell, o leiaf, ag mae'r llyfrau yn cofnodi hyny. Cawn enwau 130 o bersonau heb un dyddnodiad yn dangos yr *amser* y cawsant eu bedyddio. Y nifer fwyaf a fedyddiwyd mewn un flwyddyn, sef 1838, oedd 21. Cawn 14 o fedyddiadau yn 1835. Ac yn yr amser y bu yr ysgrifenydd yn weinidog o'r blaen, cafodd y fraint o fedyddio i gymundeb yr eglwys 33 o bersonau. Tua thri chant yw nifer yr holl fedyddiadau sydd ar y llyfr, o'r corph-

oliad hyd yn hyn, a diau fod hyny yn brawf na chroniclwyd enwau yr *holl* fedyddiedigion, onide buasai y nifer yn fwy na hyn mewn 76 o flynyddau, a hyny mewn dinas a sir lle mae cymaint o Gymry wedi bod yn preswylio. Fel y gellid dysgwyl, mewn cyfnod mor hir, a lle unwaith y cyrchai cymaint o'n cydgenedl, bu yma o bryd i'w gilydd

GYMERIADAU NEILLDUOL

yn perthyn i'r frawdoliaeth—cymeriadau a adlewyrchent anrhydedd ar unrhyw gymdeithas. Dyn hynod iawn oedd Edward Baldwin. Yr oedd ganddo gof tu hwnt i nemawr o'i gyfoedion. Adroddai yn rhwydd *fanylion* dygwyddiadau cyffredin, mewn cysylltiad a phersonau a phethau eraill, gan nodi y dydd o'r wythnos, y mis, a'r flwyddyn, y cymerodd pethau neillduol le. Ni welais i erioed ei gyffelyb yn hyn. Yr oedd yn ddyn da, ond tra anesmwyth. Symudai yn fynych oddiwrth y Cymry at y Saeson, ac yn ol drachefn. Er na fu yn aelod yn yr eglwys yn amser yr ysgrifenydd, eto yr oedd gyda ni yn gyson, agos yn mhob cyfarfod wythnosol, er ei fod yn llesg a methedig, ac mewn cryn oedran; ond anaml iawn yr oedd ei le yn wag. Bu yn llawer o gymorth i mi yn mlynyddoedd cyntaf fy ngweinidogaeth yma. Casglodd gryn olud. Yr oedd ar y cyfan yn haelionus, a bu farw mewn oedran mawr.

William James, o'r Welsh Bush, oedd ddyn nodedig arall. Bu am flynyddau yn ddiacon parchus i'r eglwys. Yr oedd ef a'i wraig yn hynod am eu deall da yn yr Ysgrythyrau, eu profiadau gwresog, a'u duwioldeb ymarferol. Codasant deulu lluosog, a chawsant y fraint o'u gweled yn aelodau buchedd-ol yn eglwys Crist. Bu y teulu hwn yn un o golofnau cryfaf eglwys Broadway, am flynyddau. Ond heddyw nid oes un o honynt gyda ni.

Yr oedd y diacon Thomas Roberts yn ddiarebol am ei hynawsedd, ei addfwynder, ai dduwioldeb. Ymddangosai i mi fel lwmp o ddaioni, a rhinwedd. Nid oedd yn feddianol ar wybodaeth helaeth, na chyneddfau cryfach na'r cyffredin, eto yr oedd ei *ddaioni*, yn hawlio iddo y sylw a'r parch mwyaf.

Bu y diacon John Lewis, yn awr o Cattaraugus,* yn swyddog yma, am lawer o amser. Gan ei fod yn fyw, ac yn adnabyddus i ganoedd yn eglwysi yr enwad, afreidiol yw dyweyd rhagor am dano yma.

Hen gymeriad neillduol arall oedd Hugh Williams, yn awr o Frankfort, N.Y. Sonia'r hen bobl lawer am dano fel *gweddiwr*. Cymerai afael yn nerth y Goruchaf, fel un yn *credu'r* addewidion. 'Roedd yn hwyliog iawn, fel Cristion gonest, a llawen, ond yn hollol ddidderbyn wyneb, heb fod yn *insulting*. Ymddengys oddiwrth a glywais, mai math o ail SAMI SHON ydyw. Deallwyf ei fod yn fyw, ond yn hen iawn.

Bu Evan T. Davies yn aelod amser hir. Blaenorai y gân am flynyddau. Daeth yma o Hengoed. Bu farw yn ddiweddar.

Bu Edward D. Hughes. yn ddiacon am hir amser. Bu yn ddefnyddiol iawn. Cadwodd dŷ agored am flynyddau. Bu farw yn ddiweddar.

Yr oedd James Morgans, a'i wraig, o'r Welsh Bush, hefyd yn perthyn i'r *hen* aelodau. Buont hwy yn ffyddlon, yn eu cylch, ac o ddefnydd nid bychan i'r achos. Chwaer oleu yn yr Ysgrythyrau oedd Mrs. Morgans, ac yr oedd y ddau o dduwioldeb diamheuol.

Isaac Thomas, oedd ddiacon y blynyddau diweddaf o'i fywyd. Bu ef farw ddiwedd y flwyddyn ddiweddaf. Y mae ei weddw, a dau o'r plant, yn aelodau yn bresenol,—y bachgen yn blaenori y canu fynychaf. Gweler hanes am y brawd Thomas, mewn colofn arall o'r rhifyn hwn.

Y mae William E. Williams wedi bod yn aelod o'r eglwys hon am 35 o flynyddau. Y mae ef, fel llawer eraill o'r frawdoliaeth bresenol, wedi cyrhaedd gwth o oedran. Brawd o gyneddfau cryfion iawn yw hwn, ac nid ydynt yn pallu er heneiddio y dyn oddiallan. Y mae wedi bod erioed yn ddarllenwr mawr. Ymhyfryda yn rhai o'r prif weithiau, ac mae yn bur hyddysg mewn hanesyddiaeth hen a diweddar. Colled

drom i'r eglwys yw ei heneiddiwch, eto mae yn yr addoliad, unwaith y Sabbath, pan fyddo ei iechyd yn caniatau. Mor hyfryd yw gweled hen bererin Cristionogol, yn feddianol ar ei holl gyneddfau meddyliol, yn cael amser i ddarllen a meddwl, ac edrych yn mlaen, gan raddol addfedu i'r cyfnewidiad mawr, a'r sefyllfa ddedwydd ddyfodol. Yr oedd ei wraig hefyd yn un o'r aelodau goreu a feddwn, o ran serchawgrwydd ysbryd, tymher addfwyn, haelioni at yr achos, a duwioldeb amlwg. Bu farw ychydig flynyddau yn ol.

Y mae yma amryw o frodyr a chwiorydd eraill, sydd yn lled oedranus, ac er bod yn y winllan am amser maith, ydynt eto yn parhau yn ffyddlon yn ol eu hamgylchiadau. Ond y maent yn ein gadael o un i un, ac yn mhen ychydig flynyddoedd eto, byddant oll wedi eu symud o'r eglwys filwriaethus i'r un orfoleddus. Hyn yw ein sefyllfa *bresenol*, ac mae'n naturiol gofyn beth ydyw

Y RHAGOBEITHION DYFODOL?

Nid yw hwn yn ofyniad anhawdd ei ateb i neb sydd yn gyfarwydd ag amgylchiadau pethau yma. Y mae ymfudiaeth Gymreig wedi llwyr ddarfod yma. Y mae plant yr hen ddinasyddion yn tyfu i fyny yn Saeson, a phan y proffesant grefydd, ymunant ag un o'r eglwysi Saesonig. Teimlant uwchlaw gwneyd dim â'r Cymry. Nid yw hyn heb eithriadau anrhydeddus, ond dyna deimlad y mwyafrif mawr o'n hieuenctyd. Fel mae'r hen aelodau yn marw, mae'r achos Cymreig yn myned yn wanach, wanach o hyd, ac nis gall fod yr amser yn mhell, pan fydd yr eglwys Gymreig wedi *peidio* a bodoli yn Utica. Y mae yn rhy wan yn awr i *gynal* gweinidog, oddieithr fod ganddo rywbeth arall i ymddybynu arno am ei fara beunyddiol. Er treio cadw ein hieuenctyd yn yr eglwys, yr ydym yn cynal cyfarfodydd Saesonig, bob yn ail nos Sul. Yr ydym newydd brynu organ fechan at wasanaeth y cantorion, ond wedi y cwbl, nid oes genym le cyfreithlon i ddysgwyl i'r eglwys gynyddu mewn rhifedi, nerth, a dylanwad, oddieithr i lawer o'r Cymry sydd heddyw yn aelodau gyda'r Saeson, ond yn llawer mwy hyddysg yn y iaith Gymraeg nag ydynt ac na ddeuant byth yn y Saesoneg, i ddychwelyd i'r hen gorlan y *dylent fod ynddi*, er eu lles personol eu hunain, yn gystal ag anrhydedd eglwys y Duw byw. Pe byddai i bymtheg neu, ugain o ddynion da, gweithgar, a ffyddlon, weled eu dyledswydd tuag at yr hen fam eglwys, a dychwelyd o'r eglwysi, lle nad ydynt, a lle nas *gallant* fod o unrhyw ddefnydd gwirioneddol, a lle nad oes eu heisiau ychwaith, i'r hon y gallant fod o'r lles mwyaf, byddai genym eto eglwys gref ar Broadway. Y mae'n fater sobr, a phwysig, i oleuni y *Light-house* fyned allan ar noson dywyll, a thymhestlog. Bydd canoedd o fywydau dynol mewn perygl. Nid oes un goleudy i'w hebgor ar forlenydd amser. Gyfeillion crefyddol, yn Utica, a lleoedd eraill, gwnewch eich goreu i ddal allan lamp y bywyd tragywyddol, i losgi yn llachar, yn mhob cymydogaeth lle mae Cymry yn preswylio. Bydd yn golled, ac yn drueni mawr, ïe mwy, bydd yn bechod a erys wrth ddrws llawer, pan ddiffoddo lamp y Bedyddwyr Cymreig yn y ddinas hon.

---

## BETH YW'R AMCAN, AI EIN DIFRIO?

Yn rhifyn Ebrill o'r *Cenhadwr Americanaidd* cawn y nodyn a ganlyn :—

AT OLYGYDDION Y CENHADWR.

*Foneddigion*—Y mae yn dda genyf eich bod yn gafael yn eich gwaith mor dda. Deliwch ati. Yr amcan genyf fi wrth ysgrifenu atoch yw, gofyn eich caniatad i awgrymu i Ioan Einon i roddi hwn yn yr ail argraffiad o'r Bedydd Cristionogol. Mae efe wedi rhoddi 39 o resymau dros beidio uno â'r Bedyddwyr yn eu hopiniynau presenol, ac yr oeddwn inau am awgrymu hwn :—

40. Mae bedyddio trwy drochiad yn peryglu bywyd, fel y bu y Sabboth cyntaf o Ebrill diweddaf yn Holland Patent, N. Y., pan y syrthiodd y gweinidog a'r drochyddiedig i'r dwfr, ac oni buasai i eraill neidio i'r dwfr, yn ol pob tebygolrwydd, buasai y ddau wedi boddi; gan hyny, yr wyf yn methu yn lân a gweled fod dull fel hyn yn fedydd o gwbl, ac mewn canlyniad yn groes i feddwl Duw.

Cymered Ioan Einon yr awgrym yn garedig fel y mae yn cael ei roddi.

*Holland Patent.* WAETH PWY.

Yr ydym yn methu a deall beth a allai fod amcan y nodyn hwn, os nad difrio y Bedyddwyr. Yr ydym yn ei ystyried yn angharedig i'r eithaf, ac yn hollol annheilwng o berson yn arddel enw Iesu Grist. Clywsom flynyddau yn ol am bersonau digrefydd yn amlygu eu gwawdiaeth tuag atom yn adeg bedyddio, trwy daflu pethau i'r dwfr, &c., &c.

Dichon na fuasai awdwr y nodyn brwnt uchod yn meddu ar y digywilydddra i wneyd hyny, ond mae ei ymadroddion yma yn dangos yr un yspryd yn gymwys. Er fod y nodyn wedi ei gyfeirio at *Olygyddion* y *Cenhadwr*, a thrwy hyny yn eu gwneyd hwy yn gyfrifol am ei ymddangosiad, eto prin y gallwn gredu y buasai rhai o honynt, ac yn wir y mwyafrif o honynt yn rhoddi eu cydsyniad dros ei ymddangosiad. Ni fuasai newyddiadur, neu fisolyn anffyddol proffesedig, yn gwneyd dim yn fwy difriol na hyn. Diau y buasai yr ysgrifenydd hwn yn cyngori Ioan ac Iesu Grist i beidio myned a'r bobl yn agos at yr Iorddonen rhag eu boddi ynddi. Y mae defnyddio y dull hwn i benderfynu y fath fater pwysig o grefydd, yn dangos gwendid mawr yn y gwrthwynebydd, a llechwreidd-dra, isel-wael. Yn ddiweddar, mae Ioan Einon, sef y Parch. Robert Evans, (Trogwy), Remsen, wedi cyhoeddi y "Bedydd Cristionogol," yn cynwys 39 o "resymau" dros beidio uno a'r Bedyddwyr, ac yn awr dyma *Waeth Pwy* yn ychwanegu rheswm arall i wneyd y rhif yn 40.

Nid amheuwn nad yw y rheswm diweddaf hwn yn llawn mor *rymus*, ag un o'r 39 eraill. Nid yw yr un o honynt yn "rhesymau" Ysgrythyrol "dros beidio uno â ni," ond yn seiliedig ar ddygwyddiadau anhapus a gymerasant le o bryd i bryd, &c. Nis gwyddom faint o eirwiredd sydd yn y cofnodiad hwn gan "Waeth Pwy." Ond a chaniatau ei fod yn llythyrenol gywir, a fyddai hyny yn newid rhywbeth ar air Duw? Mae yn eithaf posibl i'r brodyr sydd yn taenellu plant, gyfarfod a throion lledchwith yn nghyflawniad y ddefod arnynt, a fyddai yn swnio yn *frwnt* mewn argraff, er hyny annheg i'r eithaf fyddai myned i gollfarnu yr arferiad yn unig am y rheswm hwnw. Dywed "mae Bedyddio trwy drochiad yn peryglu bywyd." Ag ymostwng am fynyd i ddweyd gair ar hyn, dywedwn, *Nad ydyw*, ond fel y gall pethau eraill beryglu bywyd, wrth eu cam-weinyddu a'u cam-arfer. Onid yw "*water cure*" "*the order of the day*," ac yn dyfod yn fwy felly bob dydd? Y mae y gwyr rhagorol, cefnogwyr yr achos dirwestol, yn dadleu dros ddefnyddio *dwfr* yn unig yn *fewnol* fel diod; ac mae meddygon yn unfrydol yn cymeradwyo ymdrochi mewn dwfr yn feddyginiaeth *allanol* effeithiol ar gyfer anhwylderau amrywiol y corph dynol. A pheth sydd yn dra hynod yw, fod pobl o'r un daliadau a'r rhai sydd yn dadgan fod "bedyddio trwy drochiad yn peryglu bywyd," yn dewis lleoedd o bwrpas i ymdrochi er mwyn iechyd a mwynhad.

Mae y Methodistiaid Episcopalaidd a'r Presbyteriaid yn ddiweddar wedi dewis lleoedd cyfleus iddynt eu hunain ar yr afon St. Lawrence, fel ymdrochleoedd, ac yn myned i dreulion dirfawr er sicrhau hyny. Dadleuir yr ach os ganddynt gyda brwdfrydedd ac yni digyffelyb bron. Os dygwydd i rywun neu rywrai foddi, neu fod bron a boddi, yn y lleoedd crybwylledig, diau na fydd hyny yn newid dim ar eu meddyliau parthed gwerth a manteision y cyfryw leoedd.

Yr ydym yn credu y dylai pobl grefyddol fod yn ofalus iawn i beidio rhoddi achos tramgwydd i'r naill a'r llall. Wrth ddweyd hyn pell ydym o awgrymu y dylid darnguddio dim o'r gwirionedd â geiriau teg; na, amddiffyner y gwirionedd yn eofn, yn gadarn, a chyda brwdfrydedd, ac yn ysbryd y gwirionedd. Yr ydym yn ysgrifenu y nodion hyn, ni a hyderwn, mewn tymer garedig, ac mae yn ddrwg genym fod golygwyr y *Cenhadwr* wedi rhoddi caniatad i'r fath sylw anmharchus ar y Bedyddwyr, a'r ordinhad sanctaidd, i ymddangos yn eu misolyn. A oes gan y Bedyddwyr ryw "*opiniynau*" yn bresenol gwahanol i'r hyn oedd ganddynt yn flaenorol? Nid ydym ni yn

gwybod am un gwahaniaeth. Ac ychwanegwn, nid "opiniynau" ydyw rheolau ffydd ac ymarweddiad y *Bedyddwyr*, ond egwyddorion Ysgrythyrol, pur, cedyrn, a thragywyddol—egwyddorion ag y maent wedi dyoddef gwawd, llid, ac erledigaeth ac angeu, trwy yr oesau, wrth eu hamddiffyn—ac ymddengys fod yr erledigaeth, a'r gwawd o leiaf, yn cael eu parhau a'u hadnewyddu eto. Pa bryd daw y byd crefyddol i seilio eu daliadau ar y Gair, ac ar dystiolaeth Duw? Pa bryd y deuant i ofyn gyda phryder, "Beth a ddywed yr Arglwydd? A pha bryd y daw dynion i fod yn foddlawn i dderbyn y genadwri ddwyfol, a chydymffurfio â hi beth bynag fydd y canlyniadau?

GOL. Y WAWR.

## GOFYNIADAU, &c.

AT OLYGYDD Y WAWR—Mi a fum yn ieuanc, ond yr wyf yn awr yn hen, ac yn ystod fy nhaith wedi cyfranogi wrth fwrdd yr Arglwydd mewn amryw fanau yn Nghymru ac America; ac wrth gwrs, wedi clywed llawer o ddarllen yn nghylch y "Testament," "Testament Newydd," Testament gwell," "Testament hwn," ac nid wyf yn cofio fy mod wedi clywed un pregethwr na gweinidog yn cynyg rhoddi esboniad nag eglurhad arnynt, na pheth y maent yn gynwys. Carwn pe bae rhai o'ch gohebwyr talentog yn rhoddi ychydig o oleuni ar y pwnc, trwy gyfrwng y WAWR, os barnwch hyny yn ddoeth. Hefyd, pa air Cymraeg sydd yn gyfystyr a "Testament." Fy amcan yw cael goleuni, ac nid creu dadl. Yr eiddoch yn frawdol,—*Hen Wr o Girard, Ohio.*

Teimlwyf ddyddordeb neillduol yn y *Lewisburg boys.* Derbyniais yn ddiweddar ddwy bregeth a draddodwyd yn yr iaith Seisneg, yn Spencer, N. Y., gan y Parch. J. Nicholas (M. A.), ac a gyhoeddwyd ar gais y gynulleidfa. Maent yn ddwy bregeth ragorol, mae'r iaith yn ddetholedig ac ystwyth, a'r meddyliau yn aruchel a newydd. Credwyf y byddai yn fendith fawr, pe caent ymddangos yn y WAWR yn Gymraeg. Gobeithio y gwna y brawd hyn er mwyn ei genedl. Yr eiddoch,—*J. F. Richards (Iota).*

[Beth pe caem un o'r pregethau i ddechreu?—GOL.]

"Y DOETHION O'R DWYRAIN."—Anfonodd brawd atom o Mineral Ridge, Ohio, yn erfyn arnom gyhoeddi y "Doethion o'r Dwyrain," gan Ieuan Ddu. Anfonasom ato am gopi o'r cyfryw, a dyma'r ateb:—

"NANTICOKE, Mai 8, 1877.

"ANWYL FRAWD: Nid oes genyf gopi o'r "Doethion o'r Dwyrain. Yr wyf wedi chwilio llawer am un yn mhlith fy mhapyrau. Mae i chwi roesaw i'w gyhoeddi. Gellir ei gael yn un o'r hen "Ser Gorllewinol." Nid wyf yn meddwl nemawr am y farddoniaeth fel y cyfryw; os gall fod o ryw ddefnydd fel dernyn adroddiadol, *all right.* Pethau yn parhau yn farwaidd iawn yn y cylchoedd hyn yn yr ystyr fasnachol, ac o ganlyniad, yn dylanwadu ar bethau eraill. Yr eiddoch, &c, *J. P. Harris.*"

AT OLYGYDD Y WAWR: Anwyl Frawd—Da genyf weled fod y WAWR mor deg ei gwisg, a bod ei chynwysiad mor dda a choeth. Carwn yn fawr weled ysgrif dda genych chwi, neu rai o'ch gohebwyr galluog, ar y testyn, "Hunanoldeb." Bu dadl lled boeth genym yma yn ddiweddar, ar hyn. Yr oedd un ochr yn dadleu yn gyndyn iawn, ei fod yn rhinwedd, ac fod lles mawr yn deilliaw i'r byd o'r dosbarth hunanol, tra yr ochr arall yn dyweyd, nad oeddynt yn dda i ddim ond i niweidio cymdeithas. Felly, bydd ysgrif yn y WAWR lachar yn dra derbyniol genym ni fel derbynwyr yma yn Newburgh. Llwydd i'r WAWR. Yr eiddoch yn gywir, *J. H. Powell.*

Efengyl Iesu yw arddangosfa rhyfeddodau Duw.

## BLODAU 'R OES.

Y Geiriau gan Ifor Cynidr Parry, Plymouth, Pa.

Y Gerddoriaeth gan Thos. J. Davies, Kingston, Pa.

*Moderato.* *mf* *mf*

1. Y chwi, blant bach angylaidd, Y chwi, ieuenctyd byd, Y chwi a'ch lleisiau

peraidd Sy'n swyno pawb yn nghyd; Y chwi sy'n cario ban er Yr

*Cres - endo.* *f* *f* *Ritard.*

Ysgol Sul a'i chroes, Y chwi yn un Gobeith - lu, Y chwi yw Blodau 'r Oes.

* *Sing 16th bar soft (pp) last time.*

2. Mae llawer hen flodeuyn
   (I'w wel'd a'i wallt yn wyn,
A'r eira newydd ddisgyn)
   Yn mhlith y blodau hyn;
Mae ynddynt harddwch swynol,
   Er hened, onid oes?
Cyn byth b'ai'r cyfryw flodau
   Yn harddu Blodau 'r Oes.

3. 'Roedd un o'r cyfryw flodau
   Yn d'wedyd ar ryw dro,
"'Nol i ni orphen gwywo,
   A'n gosod yn y gro,
Rho'wch faen uwch ben fy meddrod,
   Heb enw, cerf na chroes,
Ond d'wedwch i mi farw
   Yn un o Flodau 'r Oes."

# Barddoniaeth.

## PRYDDEST FUDDUGOL

I'r Diweddar W. W. EVANS, Pittston, Pa.; yr hwn a gafodd ei ddiwedd yn y Gwaith Glo, Medi 21, 1867, yn 21 mlwydd ac 8 mis oed.

*Beirniad*—DEWI EMLYN.

Nid wyf yn eilio clod
I'r enwog ddewr Gadweinydd,
Enillodd is y rhod
I'w enw fawl ysplenydd;
Nid dysglaer oleuadau'r byd
Yn awr a ddenant fy lleddf fryd.

Gall arall fardd, os myn,
Arfoli yr Athronydd,
A nodi'r uchaf fryn
Yn deml i'w bêr-glodydd;
Ond disgyn wna fy awen i,
At arall fryn, am arall fri.

Am gyfaill mae fy nghri,
Am dano ef 'rwy'n wylo—
Fy awen esyd fri
Ar gyfaill pan yr elo;
O! boed ysbrydoledig dân
Yn chwyddo'm serch, a phuro'm cân.

Mae llawer dyn yn darfod mewn dinodedd,
Heb ddringo bryniau clod na gris anrhydedd;
Yn byw ei oes i'r pen heb ddenu sylw
Na gwneuthur dim i anfarwoli 'i enw;
Nid yw y byd yn cofio am ei hanes,
Ac nid yw serch y byd yn rhoddi achles
I gadw'n fyw ei enw am fyr enyd—
Ei anadl ydyw arwydd olaf bywyd!

Ond nid yw hyn yn ffaith yn hanes Gwilym,
Er machlud haul ei fywyd yma'n gyflym;
Er colli seren gobaith o'i ffurfafen,
Ac er i'r nefoedd ddiosg ei haiarn-len,
A gwisgo am dani nos gymylau angau,
Pan hyrddiwyd ef yn sydyn i'w grafangau;
Er hyn, gan herio gallu'r bedd a'i lygredd,
Saif enw Gwilym eto mewn anrhydedd!

Yn ieuanc cefnodd ef ar wlad ei dadau—
Paradwys bardd a chartref y telynau;
Ymadael wnaeth a hoff fagwrfa swynion—
Y wlad i Gymro sydd yn wlad enwogion;
Dilynodd yrfa'r haul i'r pell Orllewin,
Heb ofni gwg y môr na'r dymestl erwin;
A'i breswyl wnaeth yn Nyffryn Lackawanna,
Rhwng moelion fryniau enwog Pennsylvania.

Nid hir y bu yma na chlywodd y grochfloedd,
"I ryfel! i ryfel!" yn adsain trwy'r cymoedd;
Hen ysbryd caethiwed a ddyrcha ei orsedd,
Gan herio gwladgarwch dewr-feibion y Gogledd;
Byddinoedd ddylifant i'r farwol ymdrechfa,
A chraig wrth ei chwaer-graig dwrf magnel adseinia;
Yr huan a'r fidog a chledd sydd yn gwenu,
Tra'r milwr clwyfedig yn ymyl yn gwaedu.

Mae'r wlad yn dadebru o'i hen ddifaterwch,
A'r tân sydd yn cyneu ar allor gwladgarwch;
Coelcerthi sy'n llosgi ar benau'r mynyddoedd,
Tra'n erbyn y gelyn yr hwylia y lluoedd;
Yn nghanol y milwyr y gwelaf ein Gwilym,
A'i farch gan weryru'n hyf redeg yn gyflym;
I frwd-serch ein cyfaill yr oll sy' farworyn
Yn tanio ei ddewrder i ymladd â'r gelyn.

Ymladda yn wrol dros ryddid dynoliaeth,
Ymladda dros hen egwyddorion Undebiaeth;
Gwyneba'n ddilwfr beryglon y rhyfel,
Ac nid yw yn cefnu pan egyr y magnel
Ei safn i wasgar o bob tu elfenau
A fyddant i filoedd yn achos eu hangau;
Mae Gettysburg heddyw yn gof golofn oesol
Er cof am wroldeb ein cyfaill mynwesol.

Mae brwydrau yr Undeb, o Salem i Luray,
I'n cyfaill yn gedyrn ac enwog golofnau;
Cold Harbor, Tre' Frederick a Strausburgh arosant
Yn addurn i'r gwrol, tra dwfr rêd mewn cornant;
Tra haulwen yn gwenu yn entrych ffurfafen,
Tra seren yn siriol oleuo y nef-len,
Bydd rhinwedd ein Gwilym yn rhinwedd a gofir,
A'i deimlad gwladgarol yn deimlad a berchir.

Mewn parch y cofnodwn am fryncyn bach Fisher,
Lle teimlwyd gan Gwilym eithafion cyfyngder,
Y gelyn a hyrddiai beleni cyflegrol,
Ond byddin yr Undeb wrthsafai yn wrol;
Aeth ugain fel ungwr i wyneb erch angau,
Am danynt amgauodd y duon gymylau—
Ac allan o'r ddunos i ddydd diogelwch,
Ond dau ddiangasant i adrodd eu tristwch

Dychwelodd Gwilym adref at ei fam,
Er cael mwynhau ei gofal tyner hi;
Ei serch angerddol losgai megys fflam,
A'i dagrau lifent dros ei grudd yn lli'
Pan soniai Gwilym am ryw adeg flin
Yn ngyrfa rhai o ddewrion feib y gad,
Pan oedd y cleddyf dur a'i danllyd fin
Yn gyfeiriedig atynt gan law brad.

Ein cyfaill, tra'n mwynhau cysuron serch
Ei gartref, a edrychai ar y byd
A golwg siriol. Nid oedd perygl erch
Y rhyfel yn ei flino; ond ei fryd
Osodai ar drysorau mawr eu gwerth—
Diwylliant meddwl, a chyrhaeddiad bri
Yn nghylchoedd addysg, fel y celai nerth
I lywio llong ei fywyd yn y lli'.

Dyfodol oes a ymagorai'n fwyn
O'i flaen, gan addaw pethau mawr,
Os ef a wnai barhau i yfed swyn
Gwybodaeth. Toriad euraidd wawr
Haul llwyddiant oedd yn nghadw iddo ef;
Ni welai yr un cwmwl yn y nen—

Ni fynai gredu fod un dymestl gref
I gario yn ei chol y farwol len.

Ond pan oedd haul bywyd yn gwenu siriolaf,
Pan ydoedd y rhosyn yn edrych yn harddaf,
Daeth corwynt dinystriol, gorchwalwyd y blod'yn,
A chuddiwyd o'r golwg bob hawddgar belydryn;
Fel hyn yn ddisymwth daeth cenad erch angau
I gipio ein cyfaill i'w oerion grafangau—
Y ddamwain echryslon a'i hyrddiodd mewn mynyd
O fynwes hoff amser i gôl trag'wyddolfyd.

Ar allor cyfeillgarwch pur
Fy Awen sy'n aberthu
Ei holaf offrwm yma'n awr,
Er cof am gyfaill mwyngu;
Tra prisier calon lawn o dân
Gwladgarol gan blant dynion,
O! parcher bedd fy nghyfaill hwn,
Ac wyled yr awelon
Wlith-ddagrau iraidd uwch y man
Mae cyfaill imi'n gorwedd—
Y fan a fydd i mi drwy f' oes
Yn arwydd o anrhydedd.

"TRIST-GALON,"
Sef ISAAC BENJAMIN, Bellevue, Pa.

---

ENGLYNION

I WILLIE, Cyntafanedig Mr. JOHN M. a Mrs. ANNIE G. POWELL, Upper Lehigh, Pa. Ganwyd ef Chwef. 24, 1877.

Ymwelodd â ni William—yn wyl bur,
'N ol bwriad Duw Abram;
Boed ei glod â'i nod heb nam,
A'i wirgais rhag y gwyrgam.

Willie a gaiff ei wylio—yn ddyfal,
Iê'n ddifyr, 'rwy'n coelio;
Da ei fyd—pwy ond y fo
Yn gyfaill fydd i'w gofio?

Haeddawl, a gwir rinweddol—deolwyd
Dy dylwyth parchusol;
Dilyn hwy—dal yn eu hol
A Iesu yn ddewisol.

*Drifton, Pa.* T. AB IAGO.

---

LLINELLAU HIRAETHLON

A Gyfansoddwyd ar ol Mrs. JANE OWENS, Wis., gan Gyfaill Ieuanc i'r Teulu.

Daeth angau unwaith eto,
Ar dro i'n daear ni,
Cymerodd oddi wrthym
Un anwyl iawn a chu;
Un hoffem yn wastadol,
Ei chwmni oedd yn wiw,
Un deilwng o'r cymeriad
O fod yn ofni Duw.

Er hardded oedd ei rhodiad
A'i bywyd yn y byd,
Diangodd oddi arno
A'i holl ofidiau i gyd;
Er dyoddef cystudd hirfaith,
Mae heddyw'n iach a rhydd,
Heb boen na gofid arni,
Trag'wyddol ddedwydd fydd.

Fel Cristion hi ragorodd,
Ei bywyd oedd y fath
Fel nad oedd neb yn amheu
Nad cyrhaedd nefoedd wnaeth;
Ei phrofiad oedd yn uchel
Tra yma yn y byd,
Ond o hyn allan cana
Yr anthem fawr o hyd.

Gofynai i'w theulu cyn myned
A oeddynt yn ei gollwng i fyn'd;
Wrth eu gweled hwy'n gollwng, dywedodd,
'Rwyf finau yn foddlon i fyn'd;
Hiraethai yn aml am fyned,
Gofynai pa beth oedd yn bod,
Ond eto dywedai yn dawel,
Arosaf i'r amser i ddod.

A phan yn y glyn hi ddywedai,
O, peidiwch a wylo, fy mhlant,
'Rwyf fi yn myn'd adref i seinio,
Fy nhelyn fydd lawen ei thant;
Cewch chwithau fy nghwrddyd i yno
I seinio y gân gyda mi,
Ac yna ni fyddwn yn ddedwydd
Yn canu am iawn Calfari.

Wrth feddwl yr enill a gafodd
Eich mam wrth gael myned i'r nef,
O, peidiwch ag wylo heb obaith,
Can's cywir a ffyddlon yw Ef;
Dywedodd Duw, Gad dy amddifaid,
Gofalaf am danynt bob un,
Fy aden gysgodol fydd drostynt,
Yn Dad byddaf iddynt fy hun.

Fy nghyngor yn awr, wrth derfynu,
Yw, cofiwch i ba le i droi,
Mae'r Iesu yn barod i'ch derbyn,
Gorch'myna bob gelyn i ffoi;
Gobeithio cewch lawer o gysur,
Er teimlo y golled yn fawr,
A'r grefydd ga'dd eich mam yn ei bywyd
Fo'n eiddo i chwithau yn awr.

---

COR AP MALDWYN.

Clywch beraidd ganiadau y dyffryn
Mae'r maesydd mewn miwsig i gyd—
Ap Maldwyn a'i gôr sydd yn canu
Hosana i Brynwr y byd.

Holl fechgyn a merched y dolydd
Sy'n gwrando Ap Maldwyn a'i gôr
Yn seinio anthemau soniarus,
Gan gymwys folianu ein Iôr.

*Coal Valley, Ill.* WM. ROBERTS.

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T——, AM MAI.

*Athraw.*—Dechreuwn heddyw ar yr ail benod. Morgan, yn mha le yr oedd Bethlehem Judea?

*Morgan.*—Gelwid y dref hon yn Bethlehem Judea i'w gwahaniaethu oddiwrth Bethlehem arall ag oedd yn Galilea, fel ag y cawn yn Jos. xix. 15. Yr oedd yn sefyll tua chwech milldir i'r de-ddwyreiniol o Jerusalem. Enw cyntefig y cyffiniau hyn oedd Ephratah. Y cyfeiriad cyntaf a gawn am y lle hwn sydd yn Gen. xxxv. 16–20, pan yr oedd Jacob yn galaru ar ôl ei anwyl Rachel. Gelwir hi hefyd yn ddinas Dafydd (Luc ii. 4,) oblegid yma y ganwyd ef. Yr oedd yn lle tra dymunol ar lawer o ystyriaethau. Gwisgid y bryniau oddiamgylch â gwinwydd, ffigyswydd, ac almonau. Nid yw ond tref fechan yn bresenol, yn cynwys o gylch 4000 o drigolion, y nifer luosocaf o ba rai a berthynant i Eglwys Groeg.

*Athraw.*—Beth oedd yn peri i Joseph a Mair fyned i Bethlehem y tro hwn Dafydd?

*Dafydd.*—Nid oeddynt yn myned fel y genid yr Iesu yno, onite buasent wedi cychwyn yn gynt, oblegid buont bron a'i gadael yn rhy ddiweddar. Eu hamcan hwy oedd myned yno i gael eu trethu, (Luc ii. 4, 5). Eithr yr oedd gan Dduw amcan uwch, sef cyflawni yr Ysgrythyrau, ond hyn nid oedd hysbys iddynt hwy.

*Athraw.*—Ifan Meredydd, pwy oedd Herod frenin?

*Ifan Meredydd.*—Wir, dyna fwy na wn i. Mae'n debyg i fod e'n rh'wn enwog, ac yn wir yn fwy na neb arall, oblegid 'dodd dim ods am enwi dyddie neb ond 'i ddyddie fe. Pwy bynag o'dd e, yr o'dd yn ddigon o hen deirant *anyhow*, a'i galon mor galed a chalone *copperheads* 'Merica 'ma.

*Gwilym.*—Gan fod Judea y pryd hwn yn diriogaeth o'r Ymerodraeth Rufeinig, brenin Rhufeinig oedd Herod, sef Herod Fawr, mab Antipater. Gelwid ef yn Herod Fawr ar gyfrif ei wroldeb a'i wrhydri mewn rhyfeloedd.

*Athraw.*—Beth sydd genyt ti Abram Llwyd i ddyweyd am y "doethion" yma a ddaethant o'r dwyrain?

*Abram Llwyd.*—'Sposo taw am y mod i dicyn yn ddoeth y'm hunan i chwi'n gofyn y cwestiwn hyn i fi. Wel, fe leicswn allu gweyd rhiwbeth am y mrodyr, ond os i chi yn y fan 'na, 'ma rhain yn lled ddyeithr i fi. 'Rw i yn folon i chi mhaso i at Owen.

*Owen.*—Yr wyf yn dy adnabod ti, Abram Llwyd yn lled dda, ond am y rhai hyn, ychydig iawn wyf yn wybod am danynt. Y doethion yn y dyddiau gynt oedd y dewiniaid, yr astronomyddion, a'r hudolion, &c. Yr oedd llawer iawn o'r rhai hyn yn Babilon, ar ba rai y gwnaeth Nebuchodonozor Daniel yn ben,. (Dan. ii. 48). Ystyrid fod ganddynt wybodaeth ddirgeledig yn nghylch y gwyddonau a chrefydd. Diau fod y doethion hyn yn dyfod allan o'r dosbarth anrhydeddusaf yn eu plith. Pa fodd y daethant o hyd i'r wybodaeth hon am y mab bychan, sydd ddirgelwch. Dichon i brophwydoliaeth Balaam, ac hefyd eiddo Daniel ddyfod i lawr iddynt trwy draddodiad. O ba ran o'r dwyrain yr oeddynt yn dyfod sydd hefyd yn ddirgelwch. Rhai a farnant mai Arabia, eraill mai o Persia, ac eraill mai o Mesopotamia; tebygol yw mai o'r tiriogaethau tu hwnt i'r Euphrates yr oeddynt, oblegid yn y cylchoedd hyn yr oedd eu prif eisteddle. Ymddengys eu bod wedi dyfod o bell, ac mai cenhedloedd oeddynt. Galwai yr Iuddewon Grist yn frenin Israel, a'r cenhedloedd ef yn frenin yr Iuddewon.

## HANESION CARTREFOL.

CYFLWYNIAD TYSTEB.

Dymunaf trwy gyfrwng y WAWR, gyflwyno fy niolchgarwch i drigolion y pentref hwn a'r cylchoedd, am eu caredigrwydd a'u haelioni tuag ataf, a'u rhoddion haelfrydig, yn y *aonation* a gymerodd le Chwef. 23ain, 1877.

Yr wyf yn diolch o galon i'r eglwys am ei hunfrydedd; i'r *committee* am eu hymdrech a'u trefnusrwydd; i'r bon-

eddigesau am eu sirioldeb a'u ffyddlondeb yn y mater; ac yr wyf yn ddiolchgar iawn i H. B. Johns a'i deulu am *use* eu ty ar yr achlysur hwn. Yr wyf hefyd yn cyflwyno fy niolchgarwch i flaenor ac aelodau y *Bangor Library Brass Band*, y rhai a chwareuasant amryw ddarnau rhagorol yn soniarus iawn. Casglodd cantorion y lle, a chanasant yn rhagorol. Dangoswyd haelioni a medr gan y rhai a huliasant y bwrdd y noswaith uchod. Yr oedd y ty yn llawn o bobl y lle, a phawb yn siriol a hyfryd. Nid gormod yw dyweyd, nad hawdd yw curo pobl Bangor am wneuthur *donation* teilwng ac anrhydeddus. Derbyniais y swm gwerthfawr o $128, a gyfranwyd noson y *donation*, ac hefyd mae yn deilwng i mi hysbysu fy mod wedi derbyn amryw ddoleri wedi'r *donation*. Gobeithio y caf fyw i fod yn fwy defnyddiol yn ngwasanaeth fy Arglwydd, ar ol derbyn cefnogaeth mor dda.

*Bangor, Wis.* J. J. VAUGHAN.

---

URDDIAD GWEINIDOG YN EUREKA, GER BRAIDWOOD, ILLINOIS.

Boreu Sabboth, y 6ed o'r mis diweddaf, cynaliwyd cyfarfod yn y lle uchod, i urddo y brawd Edward Anwyl Williams, (gynt o Shenandoah Pa.,) i gyflawn waith y weinidogaeth. Dechreuwyd oedfa y boreu gan y Parch. Thomas Holland, Dodgeville, Wis. Yna aed at y gwaith o ordeinio. Rhoddwyd ychydig ofyniadau i'r eglwys, a chafwyd atebion boddhaol gan un o'r diaconiaid. Rhoddwyd gofyniadau i'r brawd Williams, y rhai a atebodd mewn modd difrifol a chymeradwy. Yna derbyniwyd ef yn weinidog i'r eglwys drwy arddodiad dwylaw. Traddododd y brawd Holland am ddau, bregeth ar "Ddyledswyddau yr eglwys tuag at y gweinidog," a gobeithiwn y cawn eu gwneuthur yn ofn Duw. Am chwech, pregethodd y brawd Griffith Evans, oddiwrth Luc xv. 32, a'r brawd Holland oddiwrth 2 Cor. v. 20. Cawsom Sabboth cysurus iawn. Diolchwn yn fawr i'r brodyr yr Annibynwyr am roddi eu cyfarfodydd heibio a dyfod i'n cynorthwyo yn yr amgylchiadau cyfyng presenol ar fasnach. Dros yr eglwys —*Brawd.*

---

ANRHEG I UN TEILWNG.

Ymgasglodd aelodau a swyddogion yr Urdd Iforaidd, yr ail wythnos yn mis Mai, yn ninas Wilkesbarre, Pa. Nos Fercher, y 9fed, cyflwynasant i'r enwog a'r caradwy Benjamin Hughes, o Hyde Park, ddarlun hardd a destlus *o hono ei hun*. Hynod mor gywir a tharawiadol yr ymddangosai yr *Oil Painting* rhagorol, o waith arlunydd Cymreig, sef Mr. Evans, Scranton; bydd yn enwogrwydd i'r *artist* ac i'w genedl. Yr oedd y darlun mawr a rhagorol yn gydnabyddiaeth o ddyled y Gymdeithas i un a'i gwasanaethodd yn ffyddlawn am saith mlynedd fel Llywydd. Dyma rif perffeithrwydd, ac felly nid oedd anaddas i Mr. Hughes ddewis ymryddhau o'i swydd. Dywedwyd llawer—nid gormod. am rinweddau y dyn—am ei nerth a'i fedr fel swyddog—am ei ymdrechion i lesoli ei genedl, ac i noddi ei iaith, &c. "Parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus."—*E.*

---

BEVIER, MO.

Isel a di-lewyrch yw yr achos goreu yma yn bresenol; nid oes neb yn dyweyd "awn gyda chwi," ac nid yw yr eglwys yn meddianu yr un sêl, brwdfrydedd, a ffyddlondeb ag a welsom gynt. Pa beth yw y rheswm, nis gwyddom; dichon fod llawer o hyn i'w briodoli i sefyllfa dlawd y lle. Y mae amgylchiadau y bywyd hwn yn gwasgu mor galed ar y mwyafrif yma er ys llawer dydd, nes ein gwneyd yn rhy ddigalon i ddim braidd. Ond gobeithio y bydd i'r Arglwydd yn fuan beri i'r cymylau brochus sydd yn hongian uwch ein penau, i droi yn gawodydd bendithiol i ni, ac y gwelir Seion eto yn ei gogoniant, a gwaredigion newydd o'i mewn.

Ond er mor farwaidd yw yr achos, llwyddasom i gael Cyfarfod Adroddiadol yr Ysgol Sul, ar nos Sabboth, Mai 13eg. Adroddwyd tua deg-ar-hugain o

ddarnau da iawn gan blant yr Ysgol. Canodd y côr o dan arweiniad Mr. Lewis Williams, chwech o ddarnau pwrpasol yn dda ragorol, ag ystyried y drafferth a gafodd i'w cael at eu gilydd i'w dysgu. Llywyddwyd y cyfarfod gan ein gweinidog, y Parch. S. Pierce. Gobeithio y bydd i'r cyfarfod hwn fod yn foddion i greu tipyn o ddiwygiad gyda'r sefydliad gogoneddus hwn. Y mae yr Ysgol yn rhifo yn bresenol tua thri-ugain.—*Dewi Hydref.*

### *BEDYDDIADAU.*

Yn Brookfield, Ohio, Sul, Ebrill y cyntaf, cawsom y fraint o weled dau yn ufuddhau i'r ordinhad o fedydd yn ol y dull Apostolaidd. Yr oedd yr hin yn bleserus a dymunol. Daeth torf luosog i lan y dwfr er cael gweled yr ordinhad yn cael ei gweinyddu. Hynodrwydd y bedydd hwn yn fwyaf neillduol oedd, y gwahaniaeth oedran eithafol rhwng y ddau a fedyddiwyd ar broffes o'u ffydd. Sef geneth ieuanc, 13 oed, a hen frawd, 78 oed, tad i'r Proffeswr William Aubrey Powell. Er ei fod wedi treulio ei amser yn wrthodwr o ewyllys Duw, eto gall fod yn flodeuyn hardd, ac yn weithiwr diwyd (er ei bod yn brydnawn-ddydd) yn ngwinllan ei Arglwydd, a chael ei dâl yn llawn, a mynedfa helaeth i drigfanau dedwydd ei Arglwydd. Dymunem iddo dynu ei gysuron o'r gair, fel ag y bydd "yn llusern yw draed, a llewyrch i'w lwybrau olaf."—*Dewi.*

Yn Kingston, Pa., oddiar ordeiniad ein parchus weinidog James R. Price yn yr eglwys hon, y mae gwenau Duw yn tywynu arnom, a llwyddiant wedi canlyn ei weinidogaeth, gyda chydymdrech y frawdoliaeth. Sabbath, Ebrill y 15fed, bedyddiwyd 4 ar broffes o'u ffydd yn Nghrist. yn ngwydd tyrfa luosog. Cawsom hyfrydwch a boddhad wrth weled yr ordinhad fendigedig yn cael ei gweinyddu mor syml gan ein parchus frawd. Gobeithiwn y bydd ei lafurwaith eto yn y dyfodol o dan fendith Duw, fel y byddo yn foddion i droi lluoedd o bechaduriaid i ymofyn am y Ceidwad.—*Brawd.*

Mai 20fed, 1877, yn Lansford, Pa., bedyddiwyd un brawd a dwy chwaer ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. D. S. Thomas, Gweinidog. Y mae rhai eto o flaen yr eglwys yn aros yr un fraint.

Nanticoke, Mai 20fed, yn ngwydd torf luosog o edrychwyr, yn cael eu gwneyd i fyny o wahanol genhedloedd, bedyddiwyd gan y Parch. J. P. Harris, bedwar o bersonau mewn oedran teg, ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, ac ychwanegwyd at yr eglwys dan ei ofal y dwthwn hwnw saith o bersonau.—*W. W.*

### *GANWYD—*

Ebrill 26, 1877, yn Frostburgh, Md., mab i James Gatehouse a'i briod. Gelwir ei enw ef John Thomas Gatehouse.

O Ioan bach, wyt hardd a gwiw,
Yn dlws fel rhosyn teca'i liw;
Wyt ddarlun o'r eginyn bach,
Yn tyfu fyny'n gryf ac iach.

### *PRIODWYD—*

Mai 17, 1876, yn Johnstown, Pa., gan y Parch. D. J. Evans, yn ei dy ei hun, Mr. George F. Grimsley a Miss Sarah Ann Johnson, y ddau o Johnstown.

### *BU FARW—*

MR. ISAAC THOMAS, UTICA, N. Y.

Yn rhifyn Ionawr diweddaf gwnaeth golygydd y WAWR grybwylliad byr am farwolaeth y brawd da uchod. Ei y bwriadem ar y pryd wneyd cofnodiad helaethach am dano na'r crybwylliad soniedig, eto fe'n lluddiwyd i gyflawni ein bwriad hyd yn hyn.

Ganwyd y brawd Thomas yn mhlwyf Llanbadarn Fawr, ger Aberystwyth, Swydd Ceredigion, D. C. Enwau ei rieni oedd John ac Eleanor Thomas. Bu iddynt chwech o blant, ac y maent oll yn fyw ond gwrthddrych y sylwadau hyn, ac un chwaer o'r enw Sophia. Daeth yr holl deulu drosodd i'r wlad hon yn y flwyddyn 1825, gan dirio yn Quebec, ar ol mordaith hir o saith wythnos. Troisant eu gwynebau yn fuan tua'r Talaethau Unedig, ac ymsefydlasant yn Utica, N. Y. Yr oedd y bachgen Isaac y pryd hyn tuag 16 oed. Wedi treulio ychydig amser yma i edrych o amgylch, tueddwyd ei feddwl i adael y ddinas am y wlad. Sefydlodd yn Marcy, ac yno y treuliodd yr 16 mlynedd dilynol yn amaethwr llwyddianus. Yn y flwyddyn 1835 priododd

Elizabeth Evans. Bu pedwar o blant o'r briodas hon, sef tair merch, ac un mab, yr hwn a fu farw yn y fyddin yn amser y gwrthryfel mawr diweddar.

Yn y flwyddyn 1841, cawn ef yn dychwelyd i Utica, ac yma yr arosodd hyd ddydd ei farwolaeth, yn dilyn yr alwedigaeth o wneuthur badau y gamlas. Bu ganddo ef a'i frawd William *boat yard* helaeth am lawer o flyny dau, lle y carient yn mlaen fasnach fawr yn y linell a nodwyd. Er hyny nid oedd yn rhydd oddiwrth ystormydd a gofidiau chwerwon. Collodd ei wraig hoff, a mam dyner ei anwyliaid bychain; ac, fel y crybwyllwyd yn barod, collodd fachgen anwyl yn mlodau ei ddyddiau, tra allan yn brwydro dros iawnderau ei wlad. Yn y flwyddyn 1850 priododd eilwaith, gyda Mary Evans, yr hon, gyda thri o blant, sydd wedi eu gadael i alaru eu colled am briod a thad mor dyner, gofalus, a charedig, ag a fu erioed yn blaenori teulu.

Y mae genym un ffaith i'w chofnodi, nad yn aml y gwyddis am ei chyffelyb, sef fod rhieni y brawd Thomas yn aelodau selog gyda y Methodistiaid Calfinaidd, a'r holl blant ond un yn Fedyddwyr! Nis gwyddom pa fodd y bu hyn, ond gwyr yr ysgrifenydd trwy brofiad boreu, am yr afael gadarn a diogel sydd gan aelodau yr Hen Gorph ar eu plant, ac mai nid llawer o honynt sydd yn gallu dianc o'u corlan hwy i unrhyw gorlan arall, yn neillduol y gorlan Fedyddiedig. Ac er fod ambell i un, fel fy hunan, yn meiddio barnu trosto ei hun, a neidio dros y terfynau er gwaethaf y ddysgeidiaeth lwyraf, a'r wyliadwriaeth fanylaf; eto nid peth cyffredin yw clywed fod yr *holl* blant oddigerth un, ac yn bump mewn rhifedi, yn gadael eu rhieni Methodistaidd ac yn ymuno a'r Bedyddwyr! – ond deallwn mai felly y bu gyda phlant y rhieni hyn.

Bedyddiwyd y brawd Thomas gan y diweddar Robert Williams, yn y flwyddyn 1846. Ymunodd a'r eglwys yn Utica, a bu yn ddiacon iddi am rai blynyddau cyn ei farwolaeth. Yr oedd o nodwedd a thymer araf, pwyllog, a dystaw, yn ddigon parod i wneyd ei ddyledswydd, ond yn rhy wylaidd i wthio ei hun i'r blaen, mewn byd nac eglwys, yn ddi-alw am dano. Yr oedd yn llawer o gymorth gyda'r canu, a theimlir colled ar ei ol yn y gangen yna o wasanaeth y ty. Nodweddid ei weddiau cyhoeddus â llawer o ostyngeiddrwydd, taerineb a gwyleidd-dra, heb fod un amser yn aml eiriog. Nid oedd ganddo lawer i'w ddyweyd, ond yr hyn a ddywedai yr oedd fynychaf i bwrpas. Yr oedd o gyfansoddiad corphorol cadarn, ac yn mwynhau iechyd rhagorol trwy ei oes, hyd o fewn i flwyddyn i'w farwolaeth. Ond pan yr ymaflodd afiechyd ynddo, gwnaeth hyny gyda'r fath afael ddiymollwng fel nas gallodd medrusrwydd meddygol ein dinas ei symud. Eto codai bob dydd, gan fyned ychydig o gwmpas, hyd o fewn deuddydd i'w farwolaeth. Er ei fod yn lled isel ddydd Nadolig, eto coleddai obeithion am ei adferiad. Cerddodd i'w wely y noson hono, gydag ychydig o gymorth, ond ni chododd o hono yn fyw wedi hyny. Y dydd canlynol yr oedd angeu wrthi o ddifrif yn dadfeilio y babell, a gwthio y *tenant* allan o honi; ac yn yr hwyr aeth ein brawd hoff adref yn dawel i dangnefedd. Claddwyd y gweddillion yn barchus yn *Forest Hill Cemetery*, ger y ddinas hon. Yn yr angladd yr oedd tyrfa fawr o Gymry, Saeson, Gwyddelod, ac Ellmyniaid, wedi dyfod yn nghyd i ddangos eu parch i'w hen gyfaill. Gweinyddwyd yn y ty ac yn y fynwent gan J. Edred Jones, gweinidog yr eglwys, yr hwn ar ol hyny a draddododd bregeth angladdol iddo yn yr eglwys i dyrfa luosog o alarwyr.

Cafodd y teulu a'r eglwys golled fawr yn angeu y brawd Isaac Thomas. Y mae bwlch yn y naill nas gellir yn hawdd ei lanw yn sefyllfa bresenol pethau, a thorwyd archoll ar galon y llall ag y bydd yn anhawdd i amser ei wella; oblegid galar am y marw yw yr unig dristwch y gwrthodwn ymryddhau oddiwrtho. Ymdrechir gwella pob archoll arall, ac anghofio pob trallod arall; ond teimlir hi yn ddyledswydd i gadw yr archoll hon yn agored. Pa le mae'r fam a anghofiodd yn wirfoddol, y plentyn a wywodd fel rhosyn ar ei mynwes, er fod pob adgof am dano yn meddu ei golyn? Pa le mae'r plentyn a anghofia ei rieni tyner, er fod meddwl am danynt fel brathiad picell, ac yn llanw ei lygaid a dagrau? Pa le mae'r priod sydd yn barod i dderbyn cysuron cyfeillgarwch pan mae'r arch a'i chynwysiad gwerthfawr yn cael ei gostwng yn araf i waelod y bedd, ac yn gorfod clywed swn y "pridd, y elai a'r ceryg" yn disgyn i'w cuddio byth o olwg y byw? Na, ys dywed Irving, y mae'r cariad sydd yn goroesi y bedd yn un o brioddoleddau ardderchocaf yr enaid! Y mae llais yn dyfod o'r bedd sydd felusach na chaniadau. Y mae cofion am y marw yn peri i ni droi oddiwrth swynion y byw. O, y bedd! y bedd! Y mae'n claddu pob cyfeiliornad, yn cuddio pob anmherffeithrwydd, ac yn enhuddo pob gwrthwynebiad. Dim ond adgofion tyner a maddeugar sydd yn dyfod o fynwes heddychol hwn. Pwy all edrych ar fedd *gelyn*, heb deimlo yn ddolurus iddo ffraeo erioed â dyrnaid o lwch gwael, sy'n gorwedd yn awr wrth ei draed! Ond bedd *cyfaill*—plentyn, rhiaint, neu briod—y fath le i fyfyrdod! Y fath ffrydlif o adgofion sy'n llanw yr enaid. Bydd holl gysylltiadau bywyd yn *banorama* o flaen y meddwl. Y mae yn annaturiol i'r byw i anghofio eu hanwyliaid ymadawedig. Nid oes ond un balm a ddichon leddfu poenau y meddwl dolurus – fod angeu yn borth i anfarwoldeb dedwydd i ganlynwyr ffyddlon a didwyll yr Iesu. Gras mawr a gaffo gweddw a phlant crefyddol ein brawd ymadawedig i fyw bywyd yr uniawn, fel y byddo marwolaeth a diwedd yr uniawn yn eiddo iddynt, yw dymuniad,

J. E. J.

MRS. MARY LEWIS, DAWN, MO.

Ymddengys fod ein chwaer yn enedigol o le. a elwir Glan yr-ynys, yn agos i dref Aberteifi, a chymerodd hyn le yn y flwyddyn 1803. (Ni wyddom y dydd na'r mis.) Enwau ei rhieni oeddynt William a Mrs. Rhydderch. Buasai yn dda genym wybod mwy o hanes ei rhiaint, parth eu nodwedd, pa un a oeddynt yn grefyddol neu beidio, ac os oeddynt, gyda pha enwad, &c., ond rhaid boddloni heb hyny. Ond gellir meddwl fod argraffiadau crefyddol wedi eu gwneyd ar ei meddwl hi pan yn dra ieuanc. Pan oedd tua phedair blwydd oed collodd ei hanwyl fam. Yn fuan wedi hyn wele y plant amddifaid a'r tad galarus yn symud o Glan yr-ynys, Aberteifi, ac yn symud i dyddyn bychan, yn agos i Trefdraeth, Sir Benfro. Yma priododd ei thad yr ail waith, a bu yn byw ar y tyddyn bach yna hyd ei farwolaeth. Fodd bynag, daeth gwrthddrych y coffa hwn, mewn amser priodol, a phan yn ferch ieuanc, i adnabyddiaeth garwriaethol ag un o'r enw Thomas Lewis (ei phriod ar ol hyny), yn nghymydogaeth Llangloffan, yr hwn oedd yn aelod ffyddlon o'r eglwys Fedyddiedig yno, ac a fedyddiwyd tua'r flwyddyn 1826. Yma y bedyddiwyd hithau, a chan yr un gweinidog, sef y diweddar H. Davies, yn y flwyddyn grybwylledig, a bu yn ffyddlon i'w phroffes ar hyd ei hoes, er newid o'r naill wlad i'r llall.

Yn y flwyddyn 1832, wele y ddau yn ymuno mewn glan briodas, ac yn penderfynu brwydro a'r byd a'i drafferthion, a dechreuasant eu byd newydd mewn tyddyn bychan, yn agos i breswylfod ei thad, yn mha le y buont yn byw am rai blynyddau. Aelodau oeddynt y pryd hwn o eglwys Tabor, a mwynhasant lawer o wenau y nefoedd yno, dan weinidogaeth y diweddar Barch. James Harries, tad y Parchn. John P. Harries (Ieuan Ddu), Nanticoke, Pa., ac Alfred Harries, ei frawd. Heddwch i lwch y brawd da a ffyddlon hwn i Grist Iesu.

Ar ol hyn cawn hwynt yn symud, er ceisio gwella eu hamgylchiadau, i ardal Dyffryn Gwaun (yr un sir eto), ac yma y trigasant tra buont yn Nghymru. Wedi dyfod i'r lle hwn, fe ddarfu iddynt ymaelodi yn eglwys Jabez, dan weinidogaeth y Parch. D. George, yr hwn sydd yno hyd y dydd heddyw, ac y mae ei enw yn berarogl ar aelwydydd Mr. Thomas Lewis a'i blant yn barhaus.

Ganwyd i wrthddrych ein cofiant bump o blant, sef tri mab a dwy ferch, oll wedi eu geni yn Nghymru, y rhai sydd oll yn fyw yn y wlad hon; dau fab ac un ferch mewn sefyllfaoedd cysurus yn y lle hwn, un mab yn Nevada, a chanddo ffarm ardderchog yma, ac un ferch yn Iowa, yn gwneyd yn dda.

Ymfudasant fel teulu o Gymru am America yn y flwyddyn 1848, a threuliasant lawer o'u hamser er pan yn y wlad hon yn agos i Burlington, Iowa, a'r gweddill yn yr ardal hon, sef Dawn, Missouri. Ond er mwynhau cysur on bywyd am flynyddau meithion, er i Ragluniaeth ddwyfol wenu,

"Ond darfu, darfu, daeth y terfyn:"

do, bu y wraig dda, heddychlawn, haelionus, dangnefeddus, a gwir grefyddol hon farw dydd Gwener, Mawrth y 23ain, 1877, yn ei thriugain a phedair ar ddeg mlwydd o'i hoedran; ond cafodd yr hyfrydwch mawr o weled cyn ei symud, ei phlant oll yn arddel crefydd Mab Duw, y rhai sydd yn anrhydedd i'w proffes, ac yn gefnogwyr selog i achos y Bedyddwyr yn y lle hwn—mae un mab, sef D. W. Lewis, yn ddiacon ffyddlon a gweithgar, a J. A. Lewis a'i deulu yn gwasanaethu yr Arglwydd, yn yr un eglwys a'r chwaer Mrs. Williams, a'i phriod yn ofni Duw yn fwy na llawer. Y maent fel teulu mewn galar dwys ar ol mam dyner a gofalus, a'r hen frawd galluog, a'r bardd awenyddol, Thomas Lewis (ei phriod), mewn dagrau ar ol priod ei ieuenctyd, ac un a brofodd yn ffyddlon wraig iddo tra y bu byw. Claddwyd hi yn mynwent y sefydliad, yn agos i bentref Dawn, boreu Sabboth, Mawrth 25ain, 1877, pryd y daeth yn nghyd (er garwed y tywydd) un o'r tyrfaoedd mwyaf a welwyd erioed yma, i dalu y gymwynas olaf iddi. O herwydd afiechyd yr ysgrifenydd, gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd, gan y Parch. H. X. Hughes (A.) Am ddau yn y prydnawn, daeth torf luosog yn nghyd i wrando ei phregeth angladdol, yr hon a draddodwyd gan yr ysgrifenydd, oddiwrth Ezeciel 24: 15—18. Yr oedd y dagrau heillt a lifai o lygaid y dorf yn brawf amlwg, fod "Gair da iddi gan bawb, a chan y Gwirionedd ei hun." Fel y dywedai blaenor yr Annibynwyr, Mr. L. D. Jones, wrthyf yn ddiweddar, ei bod yn hynod yn y gymydogaeth fel un dangnefeddus. Mewn cyfeillach undebol, ryw bryd cyn ymffurfio yn eglwys yma, yr oedd rhyw anghydfod rhwng rhai o'r brodyr, ac yn mhlith eraill dyma Mrs. Lewis yn rhoi cyngor iddynt, sef eiddo Joseph i'w frodyr, "Nac ymrysonwch ar y ffordd." "Ac O!" meddai Mr. Jones, a'r dagrau ar ei ruddiau, "fel y gwasgai y pwysigrwydd o ymryson ar ein meddyliau," &c. Yr oedd yn well ganddi unrhyw adeg oddef cam na'i wneyd. Fel yr adroddai ei mab, J. A. Lewis, wrthyf, os byddai rhyw anghydweledd rhyngddo ef, neu rai o'r plant a rhywun arall, yr oedd am iddynt hwy fyn'd dros y terfyn bob amser, os byddai angen, yn hytrach nag ymddadleu, gan eu cysuro nad oeddynt hwy ddim yn gyfrifol am gam-ymddygiadau neb arall, ond y caent eu gwobrwyo am eu hiawn-ymddygiadau eu hunain, &c.

Ond er ei holl rinweddau, bu farw; ac yn ei marw collodd Seion un o'r ser dysgleiriaf, y cymeriad gloywaf, a'r chwaer ddirionaf. Heddwch i'w llwch, hyd y boreu hwnw, y bydd

"Dorau beddau y byd,
Ar un gair yn agoryd."

Nawdd y Nef fyddo ar ei phriod galarus a'i phlant hynaws, yw dymuniad calon

M. Ddu.

# NEWYDDION CYMRU.

---

### CYFLWR MASNACHOL EWROP.

Wedi traethu ar farweidd-dra masnach yn America, ymhelaetha Gol. *Seren Cymru* fel y canlyn :—

Gan adael America, a dychwelyd i'n gwlad ni ein hunain, nid yw yr arwyddion ar hyn o bryd yn nemawr gwell, os dim. Dywedir fod glo yn cael ei werthu yn Rhiwabon yn awr yn rhatach y cant nag o fewn cof neb yn fyw. Isel a phruddaidd yw y fasnach haiarn a glo drwy y Deheudir, ac anaml yw y bywiogrwydd gynt y dyddiau hyn. Nid yw sefyllfa fasnachol Gogleddbarth Lloegr yn nemawr gwell. Cwynid yr wythnos ddiweddaf nad oedd un archeb am haiarn yn nosbarth Cleveland, nac arwyddion adfywiad yn amlwg. Cyngorai Macdonald y glowyr, mewn llythyr y dydd o'r blaen, i dreio galwedigaethau ereill, gan nad oedd arwydd y ceid adfywiad yn y fasnach lo yn fuan. Yr oedd ei gyngor yn ddigon priodol; ond y cwestiwn yw, pa le i droi ar y pryd? Y mae gweithwyr sidan Lyons, yn Ffrainc, yn dyoddef eisieu, ac y mae y Llywodraeth wedi bod yn eu helpio. Am weithwyr Germani, nid ydynt hwy mewn sefyllfa well mewn llawer o fanau, ac y mae eu sefyllfa yn peri cryn bryder yn Berlin i'r awdurdodau gwladol.

Yn awr edrycher i gyfeiriad a fyner, yr un peth yw yr arwyddion, a thros ba amser y parhant ni wyddis. Y mae yn bur amlwg ein bod yn myned drwy *grisis* masnachol a effeithia yn ddwys ar weithwyr o bob dosbarth drwy y byd. Mae digon o arian yn y wlad, ond dim anturiaeth; digon o weithwyr, ond dim gwaith. Bydd Canghellydd y Trysorlys yn gwneyd ei fynegiad blynyddol yn y Senedd ar gyllid a threulion y wlad pan y byddwn ni yn dyfod o'r wasg, a byddai yn dda genym weled yn ei araeth ryw obaith am amser gwell. Ond ofnwn mai ein siomi a gawn. Dywedir fod tua miliwn o ddiffyg yn y cyllid eleni i gyfarfod â'r treulion; felly gallwn ddysgwyl am godiad neu ychwanegiad yn nhrethi y wlad eleni. Nid yw hyn yn debyg o wella dim ar sefyllfa fasnachol y wlad. Gyrodd llwyddiant masnachol y blynyddoedd diweddaf y wlad yn wallgof, a mynodd, fel pe wedi meddwi ar lwyddiant, droi yn wastrafflyd; ond yn awr y mae yr olwyn yn troi, a'r gwastraff a welid yn mhob dosbarth masnachol yn dyfod yn eisieu llym, a masnachwyr cyfrifol, fel y bernid, yn myned yn yfflon.

Yr ydym ni yn hyderu na ddaw y *crisis* mor chwerw ag y mae yn argoeli yn awr, ac yr ydym yn gobeithio y cymerir gwers amlwg yr adeg bresenol i ystyriaeth ddwys a difrifol yn fuan.

Rhaid dychwelyd yn ol i'r hen linellau o bwyll, gofal, cynildeb, a doethineb, cyn y gallwn ddysgwyl am amser gwell na'r presenol. Credwn yn ddiysgog y daw yr amser hwn eto, ond rhaid i bob dosbarth, gweithwyr a meistriaid, ddiwygio llawer cyn y daw hyn oddiamgylch.

---

### YMWELIAD A BIRMINGHAM.

Ebe "Ymwelydd," Y mae yn werth i dalu ymweliad am dro â Birmingham. Dyma y *leading Liberal town*; oddiyma y mae y *School Board* yn dod allan yn ei nerth. Dyma dref ddaliodd fel y dur yn bur i egwyddorion rhyddid yn yr etholiad diweddaf, pan yr oedd rhai bwrdeisdrefi a siroedd yn cymeryd eu twyllo gan Disraeli a'i blaid ddioglyd i bleidleisio dros weinyddiaeth na feddylient wneyd yr un da i neb ond tafarnwyr. Dros y lle hwn y mae John Bright a Chamberlain, yr areithwyr a'r Rhyddfrydwyr enwog yn Aelodau Seneddol. Y mae hyn ar unwaith yn gosod enwogrwydd oesol ar y lle. Y mae yma *libraries* enwog. Y mae y *Free Library* yn Paradise street, yn cynwys *reference library* o 38,500 vols. a 15,800 vols. o *lending library*. Y mae yr olwg ar hon yn ddigon i synu ambell i fachgen ieuanc dichwaeth, a dybia fod rhyw lyfr grot neu ddau yn ddigon o *study* iddo am ei oes. Dywedir gan rai mai ychydig o lyfrau a brynir gan ambell un o ddarllenwyr y *Seren*, ond fel cymwynas â'r trueiniaid sydd yn eu cyfansoddi a'u gwerthu. Os yw hyn

yn wir, buasai yn dda genyf pe buasai rhyw foneddwr cyfoethog yn rhoddi *excursion treat* i'r oll am dro i'r *Free Library* yn Birmirgham, i gael golwg am unwaith ar 54,300 o gyfrolau yn yr un adeilad. Dyma faes o flaen y darllenydd. Dyma gyfrolau uwch trwchus gyfrolau o wybodaeth. Eto yn Union street, dyma lyfrgell yn cynwys dros 50,000 o gyfrolau, heblaw *Medical Library* o bedair mil. Pa ryfedd fod pobl Birmingham yn bobl gall, flaenllaw, a dysgedig, gan eu bod yn gymydogion i dorf mor enfawr o lyfrau. Deallwn hefyd fod cangenau o'r Llyfrgell Rydd yn ngwahanol ranau y dref.

Nid yw y dref yn amddifad o enwogion y pwlpud. Yma y mae Dale, yr Annibynwr, yr hwn sydd yn areithiwr ac yn bregethwr enwog. Y mae y Bedyddwyr wedi colli eu Vince enwog; ond eto y mae ganddynt eu Brown a'u Walters, dau bregethwr tra adnabyddus yn Lloegr. Tybiwyf fod gwaed Cymreig yn rhedeg trwy wythienau y brodyr hyn. Yr wyf yn sicr am Brown ei fod yn gallu parablu iaith bryniau a broydd Gwalia deg, gwlad y gân. Y mae poblogaeth y dref yn 343,696. Ar gyfer y boblogaeth hon, y mae gan y Bedyddwyr yn agos i ugain o gapeli, heblaw y cangenau. Da iawn. Ond pa ryfedd, y mae y Bedyddwyr yn sicr o lwyddo yn mhob man lle y ceir rhyddid cyflawn, a Beibl pur. Ond er fod yr enwad yn lluosog a dylanwadol yn y dref, eto nid yw y Bedyddwyr Cymreig ond ychydig a gwan yn y dref hon. Ond da genyf oedd gweled cangen fechan, fywiog, weithgar, yn cydgyfarfod i addoli Duw eu tadau yn yr iaith Gymraeg, mewn ystafell *central*, ddestlus, a boneddigaidd, yn Ann street.

---

Y DDAMWAIN YN NGHWM RHONDDA.

Mae yr amgylchiad torcalonus hwn sydd wedi tynu cymaint o sylw y deyrnas yr wythnosau diweddaf fel hyn:— Ar y 9fed cynfisol, torodd dwfr i fewn i bwll glo y Tynewydd, Porth, Pontypridd, a gorlifodd yr holl waith mewn ychydig amser. Diangodd y rhan fwyaf o'r gweithwyr y perygl, ond methodd tua thri ar ddeg a chyrhaedd allan o gwbl. Cloddiwyd pedwar allan yn lled fuan, ond am y naw eraill yr oeddid yn y pryder mwyaf. Clywid curo mewn cyfeiriad neillduol yn y gwaith, a chan gynted ag y gallwyd gostwng ychydig ar y dwfr, dechreuwyd gweithio yn egniol am eu rhyddhad. Mawr oedd pryder pawb am eu bywydau, a meddyliwyd am gael *divers* i fyned atynt. Anfonwyd i Lundain am rai: daethant i lawr gyda *special train*, a dechreuasant yn uniongyrchiol ar y gwaith. Aethant am dros bum' cant o latheni; ond daeth yr anhawsderau yn gymaint, fel y gorfodwyd hwy i roddi fyny, neu i golli eu bywydau eu hunain. Ar ol y methiant hwn, aeth y braw am eu diogelwch yn llawer mwy, a thyrai pobl wrth y miloedd at y pwll yn barod i roi pob cynorthwy. Cynlluniwyd y mesurau goreu a ellid meddwl am danynt, ac awd yn mlaen gyda sêl di-ildio i gloddio atynt. Parhaodd hyn am naw diwrnod. Gweithid fel hyn gan chwe' cwmni am bedair awr yr un; ac yn mhrydnawn y degfed dydd, torwyd twll yn ddigon o faint i ddyn fyned trwodd atynt, a dygwyd pump allan yn fyw, ar ol bod yn gladdedig am ddeng niwrnod. Deallwyd erbyn hyn mai dim ond pump oedd yno, a bod y pedwar eraill wedi boddi, gan na chlywid ergydio mewn unrhyw ran arall o'r gwaith. Cafwyd cyrph dau o'r lleill dranoeth, ond mae y cyrph eraill heb eu cael heddyw, pan yr ydym yn ysgrifenu. Yr oedd y perygl a'r pryder yn fawr iawn, fel yr oeddid yn dynesu at y dynion. Y perygl a gyfodai oddiwrth y *compressed air*, ac ofnid ar bob eiliad y byddai yn ymdori ac yn lladd y rhai a weithient. Yn wir, daeth y perygl mor fawr unwaith, fel yr ofnai dynion weithio; ond ar ol gadael y lle am ychydig i'r awyr glirio, ac i arolygydd y llywodraeth fel dewrddyn fyned i fewn o flaen y gweithwyr, ail ymosodasant ar eu gwaith, gan benderfynu marw yn yr ymdrech, neu ryddhau eu cyd-ddynion. Coronwyd eu hymdrech â llwyddiant mawr, a llonwyd y wlad â newydd o'u gwaredigaeth. Mae y weithred hon wedi dyrchafu y Cymry i

sylw a bri yn mhlith pob dosbarth. Gyda gweddeidd-dra cenedlaethol, cynaliwyd cyfarfodydd o ddiolchgarwch i Dduw am y waredigaeth ar ben y pwll, ac ar y Sul yn nghapelydd y gymydogaeth; ac yn wir, cyfeiriwyd at yr amgylchiad yn holl addoldai y Cwm, ac mewn llawer o addoldai drwy Gymry. Anfonodd ein Grasusaf Frenines frys negeseuau i ymholi pa fodd yr oeddid yn myned yn mlaen gyda y gwaith; ac ar ol eu gwaredu, pa fodd yr oedd y dynion yn gwella. Mae trysorfa wobrwyol wedi ei chychwyn hefyd er budd gweddwon ac amddifaid y rhai a foddwyd, er budd y rhai a waredwyd o'u perygl, ac er budd i'r rhai a lafuriodd yn egniol i'w gwaredu. Mae y bathodyn a arferir ei roddi ar amgylchiadau neillduol am arbed bywydau ar y môr gan y frenines, i gael ei roddi yn awr am y tro cyntaf i'r Cymry hyn a weithiodd mor egniol i waredu eu cydlowyr o'u carchar hirfaith heb unrhyw luniaeth yn y gwaith. Y mae hyn yn gydnabyddiaeth weddaidd ar ran y frenines i ymdrechion clodwiw y glowyr i ryddhau eu cydlowyr. Dywedir fod y glowyr a ryddhawyd wedi penderfynu gofyn i'r Frenines dderbyn eu lluniau yn eu dillad gwaith, fel yr oeddynt pan waredwyd hwy.—*Y Greal.*

---

EIN HATHROFEYDD A'R IAITH GYMRAEG.

*At Olygydd Seren Cymru.*

Mr. Gol.—Y mae Rufus anwyl wedi myned; ond y mae ei enw a'i weithiau ar ol, a pharhant tra parhao yr hen iaith mewn bodolaeth. Cofus genych, a darllenwyr y *Seren*, iddo ysgrifenu amryw ysgrifau i'r *Greal* yn y flwyddyn ddiweddaf, ar "Hanes addysg weinidogaethol yn mhlith y Bedyddwyr yn Nghymru a sir Fynwy," ac yn ei lith olaf, iddo wneyd y sylwadau a ganlyn:—"Maddeued awdurdodau ein colegau Cymreig i ni am awgrymu—dim ond awgrymu, y priodoldeb fod yr hen iaith Gymraeg yn cael sylw eto yn ein sefydliadau addysgol yn ein dyddiau ni. Credwn y dylai gael cymaint o sylw a'r ieithoedd eraill, os nid llawer mwy. Bwriedir ein myfyrwyr ieuainc yn weinidogion i eglwysi Cymru, ac yn benaf i eglwysi Cymreig; ac os felly, dylent fod yn weddol, os nid yn gwbl, gyfarwydd â holl deithi yr iaith Gymraeg. Ond nid felly y mae pethau yn bod. Ofnwn fod ein hathrawon parchus, a boneddigion ein pwyllgorau, yn cymeryd gormod yn ganiataol, sef fod pob ymgeisydd am dderbyniad i athrofa yn Nghymru yn gwybod y Gymraeg, yn adnabyddus hollol a'i llenyddiaeth, yn gwybod ac yn deall ei gramadeg, a phob dim a berthyn iddi. Y mae hyn yn sicr o fod yn cymeryd gormod yn ganiataol. Ofnwn fod rhif luosog o'n gwyr ieuainc, a hyny, nid o herwydd un bai o'r eiddynt hwy, nid yn unig yn myned i mewn i'n colegau, ond hefyd yn dyfod allan o honynt, heb fod yn alluog i ysgrifenu llythyr cyffredin yn iaith eu mam. Y mae'r bai o hyn yn gorwedd wrth ddrws ein pwyllgorau yn benaf. Frodyr, ni ddylai y pethau hyn fod felly. Goreu oll po fwyaf fyddo ein myfyrwyr yn wybod; goreu oll po fwyaf o ieithoedd estronol a ddysgant; ond ni ddylid ar un cyfrif ymboeni gydag ieithoedd dyeithr ar draul esgeuluso, diystyru, ac aberthu iaith ein gwlad—iaith ein tadau, yr iaith yn yr hon yr addolwn Dduw, ac y pregethwn anchwiliadwy olud Crist i'n cynulleidfaoedd. Gan nad yw y Gymraeg yn cael ei dysgu ond yn ein hysgolion Sabbothol, ac nad oes genym yn ein gwlad ysgolion neillduol i ddysgu gramadeg yr iaith, dywedwn eto, dylai y Gymraeg gael sylw, a sylw arbenig, yn athrofeydd Cymru."

Dyna ddywed Rufus. Wel, a fyddai yn ormod i ni ofyn i bwyllgorau ein hathrofeydd i wneyd sylw o'i "awgrym—dim ond awgrym?" Credwyf y byddai yn lles i'r myfyrwyr, a lles mawr i'r eglwysi. Y mae yn wir deilwng o sylw. Y gwir yw—er ei fod yn arw—y mae Cymraeg *rhai* o'n myfyrwyr yn druenus o wael, ac yn annheilwng i ddod o'n pwlpudau. Carwn glywed rhywrai eraill sydd henach a challach yn traethu eu llen ar y mater. Carwn glywed teimlad y myfyrwyr eu hunain ar y pwnc hefyd.—*M. G. Elyrch.*

Nodiad.—Mae y peth yn cael ei wneyd mewn dwy, os nad mewn tair o'n hathrofeydd.—Gol.

*Rhymni.—Ymadawiad Mathetes.*—Yr ydym wedi cael ar ddeall fod y Parch. J. Jones, (Mathetes), wedi derbyn galwad gynes, unol, a thaer, eglwys ieuanc obeithiol Salem, Briton Ferry, i gymeryd ei gofal fel ei gweinidog, a'i fod yntau wedi arwyddo ei gydsyniad â'i chais. Bydd ei ymadawiad yn golled neillduol i'r lle hwn. Fel aelod o Fwrdd Ysgol Bedwellty, nid oedd neb yn deall nac yn cyflawni ei waith yn rhagorach nag ef. Llwyddodd, a hyny yn ngwyneb gwrthwynebiad penderfynol, ac wedi hyny ddichellgar, y blaid eglwysig, i gael gan y Llywodraeth i ganiatau prynu ysgoldai isaf ac uchaf Rhymni a New Tredegar, pa rai oeddynt wedi cael eu hadeiladu yn werth canoedd o bunau, ar gyfrifoliaeth personau yn dal cysylltiad â rhai o brif eglwysi Ymneillduol y lle, yr hyn sydd wedi rhoddi boddlonrwydd ac esmwythad mawr i feddyliau y personau hyny ag oeddynt gyfrifol ar ran yr eglwysi am yr arian. Bydd dyfodiad un o safle a chymeriad Mr. Jones i Briton Ferry yn gaffaeliad gwerthfawr i'r lle. Dymunwn iddo ef a'i deulu parchus bob llwyddiant hyd derfyn oes.—*Cyfaill.*

Clywsom wedi cysodi yr uchod, fod Mathetes wedi derbyn galwad hefyd i Hermon, Nantyglo, a bod cyfarfod chwarterol Mynwy yn anog eglwys Hermon i wneyd ymdrech i'w gael yno yn lle Briton Ferry.—*Gol. y Wawr.*

*Addoldy Newydd Llydaw.*—Y mae yn barod bedwar o addoldai genym fel Bedyddwyr yn Llydaw. Y mae gan y Methodistiaid addoldai hefyd; eithr yn y Ffrengaeg y pregethir ynddynt; ac felly nyni, y Bedyddwyr, yn unig sydd yn pregethu yr efengyl i Frythoniaid unieithawg Ffrainc. Nyni fel Cymry a gawsom ein cynhyrfu gan Ysbryd Duw i fyned allan â'r efengyl iddynt yn y ganrif hon, ac ymddengys fod yr Arglwydd wedi rhoddi y fath lwydd i'r ymgyrch, fel na feiddir encilio o'r maes heb achlysuro yr euogrwydd mwyaf ger bron y Nefoedd. A ydym yn barod i ystyried a chydnabod ein cyfrifoldeb?

Yn awr, y mae galwad ar eglwysi Cymru i gyfranu ychydig at ddiddyledu y pumed addoldy yn Llydaw. Y mae llwyddiant arbenig wedi cydfyned â llafurwaith y cenadwr ieuanc Alfred Ll. Jenkins, dros ac ar gais yr hwn y mae yr apeliad hwn yn cael ei wneuthur.

*Athrofa Hwlffordd.*—Cynaliwyd pwyllgor haner blynyddol yr athrofa uchod dydd Iau, Mawrth 22ain, pryd y penderfynwyd yn unfrydol, fod cais taer yn cael ei roddi i'r Parch. W. Edwards, B.A., i beidio cydsynio â gwahoddiad *Central Committee* Athrofa Pontypwl, iddo lanw y gadair dduwinyddol yno, ond i aros yn nghadair glasurol Athrofa Hwlffordd, yr hon a lenwir ganddo i foddlonrwydd cyffredinol, ac er anrhydedd iddo ei hun.

Y mae yn llawen genym hysbysu fod Mr. Edwards wedi penderfynu aros. Y mae y cynygiad a dderbyniodd o Bontypwl yn anrhydedd mawr i Mr. Edwards; ac y mae ei wrthodiad o'r swydd anrhydeddus yn profi ei hunanymwadiad didwyll.

*Ymadawiad y Parch. Thomas John.*—Cynaliwyd cwrdd poblogaidd ar ymadawiad y Parch. Thomas John, Ynyslwyd, Aberdâr, D.C., i gymeryd gofal bugeiliol yr eglwys yn Tredegar. Yr oedd wedi llafurio yn gymeradwy yno am 14 o flynyddau.

—Y mae yn wybodus i'n darllenwyr fod y gwahanol enwadau crefyddol yn arferol o gynal eu cylchwyliau blynyddol yn Llundain y tymor hwn o'r flwyddyn. Saif enwad y Bedyddwyr y cyntaf ar y gofres, a chynelir ein cyfarfodydd ni yr wythnos olaf yn mis Ebrill. Ymddengys nad oedd y cyfarfodydd mor lluosog eleni ag y maent wedi bod rai blynyddau; ond ar y cwbl, yr oeddynt yn ddyddorol a dylanwadol.

Mae y Cyfarfod Cenadol Cymreig bob amser yn rhagredegydd i gyfarfodydd blynyddol y gwahanol gymdeithasau sydd yn dal cysylltiad ag enwad y Bedyddwyr, y rhai sydd yn myned o dan y penawd o "Gyfarfodydd Mai." Fel arfer, cynaliwyd ef yn llyfrgell y Tŷ Cenadol, nos Wener, yr 20fed o Ebrill. Er nad oedd y trefniadau rhagbarotoawl

gogyfer â'r cyfarfod eleni wedi cael y sylw arferol, a'n gobeithion am dano o herwydd hyny yn bur isel, eto, yn ystod yr wythnos flaenorol, drwy gydweithrediad pwyllgor o'r ddwy eglwys Gymreig, sicrhawyd cadeirydd enwog a pharchus yn mherson Stephen Evans, Ysw., yr hyn, gyda rhai pethau eraill a gawsant sylw, a fu yn foddion i ddwyn oddiamgylch y cyfarfod mwyaf poblogaidd a llwyddianus a gynaliwyd erioed.

---

# NEWYDDION Y MIS.

---

### TROBWYNT YN NGWLADLYWIAETH FFRAINC.

Wrth ddyweyd *trobwynt*, nid ydym yn barod i brofi fod dyddiau y Weriniaeth wedi eu rhifo i roddi lle i deyrnasiad Ymerodrol, eto, gellir casglu oddiwrth ddymchwelfa Ty y Cynrychiolwyr sydd newydd gymeryd lle, fod pethau yn gogwyddo yn brysur at hyny. Y gwir yw mae'r elfenau gwerinol ac ymerodrol yn Ffrainc yn gryfion ryfeddol, ac yn meddu ar eu manteision a'u hanfanteision. Anhawdd dyweyd heddyw pa un o'r ddwy lywodraeth ydyw yr oreu i'r Ffrancod. Mae y werin yno mor hynod nwydwyllt, clebrawg, ac ansefydlog—yn cynwys cymaint o'r ysbryd gwaedlyd fu yn ymrwyfo gyda rhwysg mor fynych yn Paris a'r prif-ddinasoedd. O'r tu arall mae cefnogwyr deddfwyr ymerodrawl yn lluosog, a'u tuedd bob amser i fod yn llawdrwm. Mae Paris yn ymerodrol—yn falch, yn eiddigeddus a brochus. Gormod ganddi oddef gwladlywiaeth yr anwar, y brâs, yr anhywaeth, a'r anniwylledig. Anhawdd gweled na dychmygu pa bryd y peidia yr elfenau gwrthwynebol hyn a bodoli.

Mae cynulliad Ty y Cynrychiolwyr wedi ei ohirio am fis, a gweinyddiaeth newydd wedi ei ffurfio gyda Duke de Broglie yn flaenor. Fel y gellid dysgwyl, mae pethau yn awr yn hynod gynhyrfus drwy yr holl wlad. Daroganir bydd etholiad cyffredinol yn cymeryd lle yn fuan.

—Er llawenydd i lawer, a gofid i rai, terfynodd amser y breintebau ar y peirianau gwnio, ar yr 8fed o'r mis diweddaf. Fel yr oedd tymor y breintebau yn dirwyn i fyny, mawr fu ymdrechion y gwahanol gwmniau i estyn yr amser, ond gwrthododd y Gydgyngorfa. Y canlyniad yw, fod y peirianau gwnio yn awr yn gwerthu am tua haner y pris.

—Hwyliodd y cyn-Arlywydd Grant a'i deulu am Ewrop, yn yr agerdd-long *Indiana*, o Philadelphia, ar y 17eg o'r mis diweddaf. Diamheu na fydd ei groesaw yn fawr yr ochr draw i'r dwfr.

—Crewyd syndod a chyffro mawr tua chanol y mis diweddaf yn California, ac yn wir, yn mhell ac agos, gan y daeargryn tanforawl a gymerodd le yn ngwely y Tawelfor. Dechreuodd y cryniad yn Japan, a chroesodd y môr i ororau gorllewinol America. Yn y cyfamser dinystriwyd tref Iquique, Peru, gan ddaeargryn.

—Ar lanau yr afon Rio Grande, mae lladradau yn cymeryd lle yn gyson. Parha Mexico i ymesgusodi o herwydd y terfysg cartrefol; ond nid yw dinasyddion Americanaidd yn well o hyny—y rhai a ddyoddefant golledion parhaus mewn canlyniad. Mae gweinyddiaeth Hayes yn penderfynu cael rhyw ddealltwriaeth buan gyda Mexico yn nghylch hyn.

—Nid yw y rhyfel rhwng Rwssia a Twrci eto ond rhagbarotoawl. Ymgasgla y byddinoedd Rwsiaidd tua glanau y Danube gyda y bwriad o groesi yn fuan. Tra mae yr adranau eraill yn ymarllwys i'r Dwyrain o'r Môr Du, yn nhueddau Asia. Dywedir fod Lloegr wedi rhybuddio Twrci na oddefa atalfa ar drafnidiaeth forawl i longau anmhleidiol yn nhueddau Camlas Suez a Constantinople.

—Yn ddiweddar yn New York, bu Woo Ching Foo, Chineaid dysgedig, yn darlithio, gyda'r amcan o gywiro y syniadau a goleddir gan Gristionogion o barth crefydd Buddha, yr hon sydd mor gyffredinol yn yr India a China.

Tystia nad yw y Chineaid yn addoli ond un gwir Dduw; nid yw y delwau, medd efe, y sonir cymaint am danynt, ond yn unig arwyddluniau o wahanol briodoleddau y Duwdod. Ai tybed fod y byd Cristionogol yn camgymeryd yn nghylch cyflwr y byd paganaidd? Na, na, rhy wir fod y byd paganaidd yn gorwedd mewn drygioni heb obaith ac heb Dduw yn y byd.

—Dygwyddodd yn anffodus i'r agerlong *Dakota*, o linell Williams a Guion, a hwyliodd ar y 9fed o'r mis diweddaf, o Liverpool am New York. Am haner awr wedi deg, noson y diwrnod hwnw, rhedodd i'r lan ar ochr Sir Fon, heb fod yn mhell o Amlwch. Ar y pryd yr oedd y noson yn dra thywyll, ac yn ystorm o fellt a tharanau. Glaniwyd y teithwyr yn llwyddianus, a chymerwyd hwy yn fuan i Liverpool i ail gychwyn y fordaith y dydd Sadwrn canlynol yn y *Wisconsin*. Rhoddir canmoliaeth uchel yn y newyddiaduron Seisnig i'r Cymry yn ngwasanaeth Gwylwyr yr Arfordir, am eu medrusrwydd a'u dewrder anarferol.

—Yn ystod mis Ebrill talwyd o'r ddyled wladol $4,315,509.43. O gylchrediad tynwyd $1,161,800, a phrynwyd i mewn $1,253,936.56 o bapyrau mân.

—Parhau i leihau mae ymfudiaeth i America. Achosir hyn gan adroddiadau anffafriol. Ni laniodd yn New York yn ystod y tri mis cyntaf o'r flwyddyn hon ond 7,250 ar gyfer 9,056 yn yr un amser y flwyddyn ddiweddaf.

—Yn ddiweddar yn New Hampshire, rhoddodd y Dalaeth brawf ymarferol ei bod am lynu wrth yr hen bethau, yr hen farnau, a'r hen gredoau, drwy wrthod gwelliant yn neddfau y Dalaeth, i ddiddymu cred grefyddol fel amod i swyddi gwladol.

—Mae yn hyfrydwch genym hysbysu ddarfod i'n cyfaill Mr. Josiah Parry, o'r ddinas hon, mab i'r Parch. Owen F. Parry, Boardwell, basio ei arholiad y dydd o'r blaen yn llwyddianus o flaen y Bar yn Ngoleg Clinton. O 19 o ymgeiswyr, efe oedd yr unig Gymro dan yr arholiad. Atebodd *bob* gofyniad a roddwyd, yn gywir a llawn. Dyma ryw beth teilwng!

—Ebrill 30ain, bu farw yn ddisymwth yn ei gadair, y Parch. J. Davies, gweinidog gyda y T.C. yn Picatonica, Wis. Yr oedd Mr. Davies yn sefyll ar flaen y rhes fel pregethwr galluog. Rhoddir gair uchel iawn i Mr. Davies gan yr enwad yn gyffredinol, fel gweinidog llafurus a ffyddlon, yn gystal ag fel Cristion diwyrni.

—Sylwer ar hyn beth bynag: "Mae gwleidiadwyr y Gorllewin yn blaenori gyda y symudiad i roddi ethol-fraint i'r menywod; os nid yn yr etholiadau cyffredinol, yn y rhai lleol." Tua chanol y mis diweddaf, hysbysir fod rhwng 500 a 600 o fenywod wedi pleidleisio wrth ethol swyddogion lleol yn St. Paul, Minnesota. Yn flaenorol yr oedd y menywod wedi bod yn weithgar yn parotoi y ffordd.

—Un o brif weithrediadau y Parliament Prydeinig y mis diweddaf ydoedd, y ddadleuaeth ar benderfyniadau Mr. Gladstone mewn perthynas â'r rhyfel rhwng Rwsia a Twrci. Yr amcan oedd cael ar ddeall beth oedd safle y Weinyddiaeth ar bwnc y Dwyrain. Drwy gyfryngiad Iarll Granville, darfu i Mr. Gladstone newid a lliniaru cryn lawer ar ei benderfyniadau. Caed trwy hyn gan y Llywodraeth i gyhoeddi ei hunan yn anmhleidiol yn y rhyfel.

—Cymerodd damwain hynod le ar y 3ydd o'r mis diweddaf ar lan yr afon Viellet, can' milldir o Montreal, Canada. Llithrodd dros erw o dir i'r afon, lle yr oedd yr ymyl yn 86 troedfedd o uchder, pryd y claddwyd dwy felin a thy, yn ngyda deg o bersonau. Achoswyd y llithriad gan ddadmeriad y rhew a'r gwlawogydd.

—Anfonwyd Negro yn Alabama i garchar am ddwy flynedd, am iddo ladrata bwsiel o indrawn.

—Mae un cwmni o wneuthurwyr cwrw yn Lloegr yn talu i'r llywodraeth $5000 o drethi am bob diwrnod gwaith yn y flwyddyn.

# Y WAWR.

Cyf. II.] GORPHENAF, 1877. [Rhif. 4.

## CYFOD, GALW AR DY DDUW.

GAN Y PARCH. D. RHYS JONES, FROSTBURGH, MARYLAND.

"Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd: bydd eto, y daw pobloedd, a phreswylwyr dinasoedd lawer: Ac yr â preswylwyr y naill ddinas i'r llall, gan ddywedyd, awn gan fyned i weddio ger bron yr Arglwydd, ac i geisio Arglwydd y lluoedd; minau a âf hefyd." ZECH. VIII. 20, 21.

Yr hwn yr ydym yn galw ar ei enw yw ein Duw a'n Tad. Nid Duw dyeithr ydyw, ond un, enw yr hwn a adwaenom, ac am hyny yn yr hwn y gallwn lwyr ymddiried.

Nid ar sylfaen amheus yr ydym yn dyfod ato. Nid yw ein perthynas âg ef, nac ef â ni yn beth ansicr; y mae yn un sicr ac arosol. Efe yw ein Tad, a ninau yw ei blant; dysgasom ddyweyd Abba, Dad, heb betrusdod nac amheuaeth calon; peidiasom a'i ddrwgdybio a'i arswydo fel y gwnaem unwaith; dyrchafa ein llygaid ato ef, ymafl ein llaw yn ei law ef, ein calon a ymorphwys yn dawel ar yr eiddo ef. Ymresymwn fel hyn:—"Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab, ond a'i traddododd ef trosom ni oll, pa wedd gydag ef hefyd na ddyry efe i ni bob peth?" Yr hwn a roddes i ni rodd fwy, a balla efe i ni rodd lai? Yr hwn a roddes y môr mawr, a rwgnacha efe roddi i ni y dyferyn? Neu, ysgatfydd, wrth edrych i fyny i'r lle mae Crist yn eistedd ar ddeheulaw Duw, wedi puro ein pechodau ni trwyddo ef ei hun, ymresymwn fel hyn: "Canys os pan oeddym yn elynion y'n heddychwyd â Duw trwy farwolaeth ei Fab ef; mwy o lawer wedi ein heddychu y'n hachubir trwy ei fywyd ef." Rhuf. v. 10. Os gwnaeth Duw gymaint drosom pan oeddym yn elynion, pa beth ar ni wna efe pan ydym yn gyfeillion? Os gwnaeth y Ceidwaid wrth farw gymaint drosom pan oeddym yn elynion, pa beth ar ni wna y Ceidwad byw trosom pan ydym yn gyfeillion? Os rhoddes Duw i ni y fath fendith anfeidrol heb ei cheisio, a phan nad oedd genym un enw i ddadleu er ei fwyn, pa beth ar ni rodda i ni yn awr pan ydym yn dyfod ato i ofyn yn enw ei anwyl Fab?

Yr ydym yn dyfod ynte at Dduw fel rhai sydd yn adnabod y Tad. Dyna y nod y mae Crist ei hun yn ei ddethol allan o fysg amryw eraill, fel yn neillduol nodi allan a darlunio ei ddysgyblion. Dan y cymeriad syml hwn y llefarodd am danynt wrth y Tad ei hun; trwy y darluniad hwn y cyferbyna hwy a'r byd. Maent yn adnabod y Tad; nid edwyn y byd ef. Nid ydynt ragorach trwy enedigaeth—natur—addysg—neu fywyd—na, dichon eu bod y gwaelaf o bechaduriaid, ond y maent yn adnabod y Tad, a dyna yr oll allant ddyweyd drostynt eu hunain; a dyna y mwyaf a'r goreu a allai Crist ddyweyd am danynt. Maent yn adnabod y Tad, ac mae hyn yn ddigon. Nid adnabu y byd ef, ond y maent hwy yn ei adnabod, ac yn hyn y maent yn mawr lawenhau. "Hyn yw y bywyd tragywyddol, iddynt dy adnabod di, yr unig wir

Dduw, a'r hwn a anfonaist," &c. Ioan xvii. 3.

Ond nid fel eu Tad yn unig y maent yn ei adnabod ef, ond fel Tad eu Harglwydd a'u Hiachawdwr, ei Dad ef a'u Tad hwythau. Mae y berthynas ddeublyg hon yn eu cysylltu ag ef trwy gwlwm deublyg. Perthynant iddo yn uniongyrchol, oblegid efe yw *eu* Tad; perthynant iddo hefyd yn anuniongyrchol, eto yn y modd agosaf, oblegid efe yw Tad ein Harglwydd Iesu Grist. Oblegid hyn y dywed yr Apostol, "O herwydd hyn yr wyf yn plygu fy ngliniau at Dad ein Harglwydd Iesu Grist, o'r hwn yr enwir yr holl deulu yn y nefoedd ac ar y ddaear." Eph. iii. 14, 15. Ac am yr un rheswm mae y saint yn canu y fath gân a hon, "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n bendithiodd ni â phob bendith ysbrydol yn y nefolion leoedd yn Nghrist." Eph. i. 3. Neu hon, ag sydd bron o'r un ystyr, "Bendigedig fyddo Duw a Thad ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn yn ol ei fawr drugaredd a'n hadgenedlodd ni i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw." Y cymeriad gan hyny yn yr hwn yr ydym yn edrych i fyny at Dduw. ac yn galw ar ei enw yw, fel Tad ein Harglwydd Iesu Grist, pen yr un teulu a elwir ar yr enw gogoneddus hwnw; ac felly yr ydym yn dyfod ato fel yn sefyll yn yr un berthynas ag ef ag y saif Crist ei hun, heb olrhain ein rhyddid i ddyfod i'w bresenoldeb yn unig oddiar yr hyn a wnaeth Crist, ond dyfod yn *ei enw ef*, fel pe byddai Duw i ni mewn gwirionedd yr oll ag yw ef i Grist. Efe yw uniganedig y Tad, ac yr ydym ninau hefyd yn febion; mae efe yn un â'r Tad, ac yr ydym ninau yn un ag ef. Gyda chyfeiriad at hyn y gweddiai Crist yn nyddiau ei gnawd, "Fel y byddont oll yn un," &c. Ioan xvii. 21—23.

Yn mhellach, mae ein rhyddid i ofyn yn un *eang* iawn—o'r braidd na ddywedem diderfyn. Gallwn ddwyn ato ef bob peth, y mawr a'r bach, yr ysbrydol a'r tymhorol, y cyffredinol a'r personol. Y mae efe yn caru y rhoddwr haelionus a llawen, ac yn rhoddi ei hunan yn haelionus a llawen heb ddanod ac heb flino. Ein tueddiad ni yw ceisio rhy ychydig o bethau ac nid gormod; nid yw ef byth yn blino ar dywallt arnom ei wlith a'i wlaw, ac nid yn brin y mae yn rhoddi i ni o oleuni ei haul a'i ser; rhodda i ni yr oll mewn cyflawnder, a'r oll heb eu ceisio. Pa faint mwy ynte y gallwn edrych am ei roddion pan geisiwn hwynt? Os yw efe yn rhoddi i ni gymaint heb eu ceisio, pa beth ar ni rodda efe i ni pan ofynom am danynt? Os yw efe yn rhoddi mor haelionus i bawb yn ddiwahaniaeth, y drwg a'r da, pa beth ar ni rodda i'w rai anwyl pan ddyrchafant eu dwylaw a'u llef at orseddfainc y gras? Jer. xxxiii. 3; Marc xi. 24. Mor eang ac annherfynol ydynt y geiriau "*oll*" a "*beth bynag*,"—"Beth bynag oll a geisioch wrth weddio, credwch y derbyniwch, ac efe a fydd i chwi." Beth all fod arnom ni ei angen neu a deilynga ei alw yn ddaioni ar nad yw yr "*oll*" a "*beth bynag*" yn eu cynwys.

Y fath gerydd a weinyddir yn y geiriau hyn, "Hyd yn hyn ni ofynasoch ddim," ac eto y fath anogaeth a ddilyna. "Gofynwch a chwi a gewch, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn." Os na chawsom, yr achos yw, *am nad ydym yn gofyn*. Os ychydig o'r Ysbryd sydd genym, yr achos yw, *am nad ydym yn gofyn*. Os araf ein cynydd, ac afreolus ein rhodiad, a marwaidd ein teimlad, yr achos yw, *am nad ydym yn gofyn*. Os yw y weinidogaeth yn ddifendith, ac ychydig yn troi at yr Arglwydd yn ein plith, yr achos yw, *am nad ydym yn gofyn*.

Yn mhellach, mae ein braint o *ddysgwyliad* yn un bendigaid iawn; y mae yn mhell uwchlaw y *tebygol* a'r *posibl*, mae yn sicrwydd. Mor fawr ynte y dylai ein *hyder* fod, hyder y rhai a wyddant rywbeth am fawredd cariad Duw a rhagorol fawredd ei ewyllysgarwch i gyflawni ein holl raid yn ol ei olud ef mewn gogoniant yn Nghrist Iesu ein Harglwydd! Ai nid yma yr ydym yn tramgwyddo yn athrist? Nid ydym yn gweddio yn *ddysgwylgar*, ac felly nid ydym yn derbyn. "Nid yw yn gwneuthur nemawr o weithredoedd nerthol yn

ein plith oblegid ein hanghredinaeth." Ond gelwir arnom i "*gyd-synio*" mewn gofyn am ddim oll. Mae yn amlwg y gosoda ein Harglwydd bwys mawr ar hyn. Dichon ei bod yn anhawdd canfod yn llawn paham y gwna hyny, eto mae yn ddigon eglur ei fod yn gosod allan *gydsynio mewn gweddi* yn rhywbeth ag y mae efe yn ymhyfrydu ynddo, ac yn neillduol dueddol i roi clust o wrandawiad iddo. Mae yn caru gweled ei bobl yn ymrwymo yn nghyd i ddadleu ag ef, ac i dderbyn ganddo eu dymuniadau. Mae yn hyfrydwch ganddo eu clywed yn sengl, ond yn llawer mwy yn unol; ymddengys fel pe na allai wrthod apeliad unol; ac fel y mae cydsain unol lleisiau lawer yn fwy hyfryd na pheroriaeth un llais, gan nad pa mor rhagorol y dichon iddo fod, felly hefyd mae gweddiau unol llawer o galonau yn fwy hyfryd ac yn fwy anwrthwynebol na dadleuaeth un, neu y llawer ar wahan, gan nad pa mor daer a chrediniol y dichon iddi fod. Nid oes dim yn amlycach na bod ein Harglwydd am i ni ddeall a theimlo ei fod yn ymhyfrydu yn y *cydsynio* mewn gweddi, ïe pe na byddai ond cydsyniad dau neu dri o'i rhai crediniol. Ac mae mor amlwg a hyny ei fod am argraffu ar ein calonau fod y cydsynio hwn y drefn fwyaf effeithiol er cael y fendith, ac i alw ar ei eglwys i gadw hyn mewn cof Gwrandawai tad caredig ar bob un o'i blant yn eu ceisiadau ar wahan; bydd i lais hyd yn nod un o'i hiliogaeth weithio ei ffordd i'w galon; ni chyferfydd a'i gais gyda gwrthwynebiad a gwrthodiad; ond pan y daw yr holl deulu gyda eu gilydd, pan ymgynullant o'i amgylch law yn llaw i gyflwyno iddo ddeiseb neillduol, ag mae yn hawdd canfod eu bod o galon dros ei llwyddiant, pa mor anwrthwynebol yr apeliad? Mae cais plentyn yn llawer, ond y mae cais teulu yn fwy; ac at yr olaf o'r ceisadau hyn y galwai Crist sylw ei ddysgyblion gynt, a sylw ei eglwys yn awr. A dalodd yr eglwys y sylw priodol i hyn? A geisiodd hi aelodau gwasgaredig y teulu? A ddywedodd hi wrthynt, "Deuwch yr awr hon, cydunwn fel un gwr i gyflwyno deiseb y teulu gyda'r taerineb ag sydd mor dderbyniol a llwyddianus?" Y mae pob peth o'n hamgylch yn galw ar eglwys Dduw i ddeffroi o ddifrif at ei gwaith—i ymaflyd gyda brys yn ei thuser sydd wedi cael ei hesgeuluso yn rhy hir, a rhedeg â hi rhwng y meirw a'r byw, mewn gobaith y bydd iddi eto lwyddo i atal y pla. Onid yw anffyddiaeth, Pabyddiaeth, coelgrefydd, annghymedroldeb, trythyllwch, a chabledd yn ymdoni dros wyneb y wlad fel dylif dinystriol? Onid yw cymdeithas yn gwywo dan y fath bwn, a'i hawyrgylch yn cael ei gwenwyno gan ei halogrwydd? Heblaw hyny, O, mor ddiffrwyth yw ein maesydd ysbrydol. O, ein culni, O, ein culni! Pa le mae y lluaws o eneidiau deffroedig? Pa le mae yr "ychwanegu beunydd at yr eglwysi y rhai fyddant cadwedig?" Pa le mae gweinidogaeth y bywyd, a'r nerth, a'r fendith? Pa le mae yr ymgyrch ar deyrnas Satan, a bloedd buddugoliaeth wrth weled tŵr ar ol tŵr yn ei amddiffynfa yn syrthio i'r llawr, a rheng ar ol rheng yn rhoi ffordd o flaen rhuthr buddugoliaethus y "Llu Banerog?"

Pwy all gyfrif yr euogrwydd a orwedda yr awr hon ar Gristionogion, oblegid eu hesgeulusdod o weddi? Treulir oriau ac wythnosau i ofera, ond anghofir gweddi! Cwsg, cymdeithas, ymweliadau ofer, siarad ffol a chellweirus, darllen llyfrau diwerth, a'u hysbeiliant o'r amser a ddylai gael ei dreulio mewn gweddi. Paham cyn lleied o ofal am amser i weddi? Paham na neillduer rhyw gyfran o bob dydd i'r weddi ddirgel? Paham gymaint o siarad a chyn lleied o weddio? Paham gymaint o deithio draw ac yma, a chyn lleied o weddio? Paham gymaint o drafferthu a llafurio, a chyn lleied o weddio? Paham gymaint o ofal a rhagfeddwl, a chyn lleied o weddio? Paham gynifer o gydgyfarfodydd â'n cyddynion, a chyn lleied â Duw? Paham mor ychydig wrthym ein hunain? Paham mor ychydig o syched enaid am y neillduedd tawel o dwrf y byd i ddal â Duw gymdeithas gynes ac anhawdd ei therfynu? Os ydym am gynyddu mewn

gras, rhaid i ni fod yn aml wrthym ein hunain. Nid mewn cymdeithas, nac hyd yn nod un Gristionogol y cynydda yr enaid gyflymaf a chryfaf. Yn fynych mewn un awr dawel o weddi gwna fwy o gynydd nag a wna mewn dyddiau o gymdeithas ag eraill. Yn yr anialwch mae y gwlith yn disgyn buraf, a'r awyr iachaf; felly gyda'r enaid. Pan nad oes neb ond Duw yn agos—pan mae ei bresenoldeb yn unig fel awyr yr anialwch, yr hon nad yw wedi ei chymysgu ag anadl afiach dyn, yn amgylchynu ac yn treiddio trwy yr enaid; dyma y tymor y mae yn cael yr olwg fwyaf syml ac eglur ar sylweddau tragywyddol, a'i fendithio yn rhyfeddol ag adfywiad a nerth. A hon yw y ffordd yr ydym yn dyfod yn wir ddefnyddiol i eraill. Pan y deuwn allan o gymdeithas gynes ac agos a Duw, yr ydym yn gwneyd ei waith yn fwyaf llewyrchus a llwyddianus. Yn y dirgel, mewn cymdeithas a'n Duw, yr ydym yn cael llanw ein llestri a'r fendith, a phan y deuwn allan, yr ydym yn fwy cymwys i fod yn fendith i eraill!

Dichon fod rhai yn ein plith a arferent weddio yn amlach nag y gwnant yn awr. Pan y cafwyd gyntaf flas ar weddio, ni chyfrifid yr amser a dreulid wrthi; gallasent weddio trwy y dydd; mae yn wahanol yn awr. Nid yw ysbryd gweddi wedi ei gwbl golli, ond mae y blâs awchus wedi myned; ychydig amser a wna y tro yn awr. Mae adfeiliad crefyddol wedi ymaflyd ynddynt. Mae yn rhaid iddynt wrth edifeirwch, a gwneyd y gweithredoedd cyntaf, a sicrhau y pethau sydd yn ol, y rhai sydd barod i farw.

Edrycha eraill am atebiad diatreg i'w gweddiau; edrychent am gawodydd mwy o fendithion yn mhell cyn hyn, ac oblegid na ddaethant, ac am fod y maesydd yn edrych yn ddeifiol, a'r diweddar-wlaw heb ei gael, rhoddant i fyny yn raddol eu herfyniadau am adfywiad ar waith Duw yn eu plith. Maent yn digaloni oblegid eu bod wedi gofyn mor aml ac mor hir, ac eto ni ddaeth yr ateb. Ond a ddylai hyn fod? A ddylid rhoddi ffordd am eiliad i'r gwan-obaith anghrediniol hwn? Oni ddylai y ffaith ein bod wedi gweddio cyhyd yn ofer, os yn ofer hefyd, wneyd i ni deimlo yn fwy sicr fod yn rhaid i'r ateb ddod yn fuan? Onid oes genym y sicrwydd cadarnaf nad â un o weddiau y ffydd i'r llawr? "Beth bynag oll a geisioch wrth weddio, credwch y derbyniwch, ac efe a fydd i chwi."

Ond dichon ei bod yn dda i ni na chawsom ein hateb yn ddiatreg. Nid yw yn beth hyfryd, ond y mae gan Dduw ddyben i'w ateb wrth beidio rhoddi i ni ar unwaith ein cais. Gallem ddod yn falch o'n llwyddiant mewn gweddi, a dyweyd, "Trwy nerth fy llaw y gwnaethum hyn, a thrwy fy noethineb, o herwydd doeth ydwyf." Dichon y tueddid ni i addoli ein gweddiau, ac i roddi iddynt yr anrhydedd sydd yn perthyn i Dduw yn unig. Efallai y dechreuem deimlo fel pe baem yn haeddu cael pob peth y mynyd y gofynem am dano, ac yn ein ffordd ein hunain. Beth a fyddai y diwedd pe agorid i ni holl drysordai Duw yn ddiatreg ar y curiad cyntaf? Mae'n ddigon tebyg yr ymfalchïem ac na welem eu gwerth.

Ond O, y fath angen gweddio sydd! Mae ein bywyd ysbrydol yn isel, ein ffydd yn wanaidd, ein cariad yn oeri, ein sel yn gwanhau. Mae llawer o ysgafnder ac ychydig ddifrifwch, llawer o fydolrwydd ac ychydig o ysbrydolrwydd, llawer o ffurf ac ychydig o allu, llawer o'r ddaear ac ychydig o'r nefoedd, neu o Grist, yn ein rhodiad a'n llwybrau. Nid ydym yn hunan-ymwadol, llariaidd, gostyngedig, nefol, sanctaidd, ond llawer i'r gwrthwyneb. Ychydig o gynydd ydym yn ei wneyd yn bersonol; mae ein hysbrydoedd yn sychlyd; nid yw y bywyd sydd ynom ond llesg; nid ydym o fawr fendith i eraill. Ychydig o allu sydd gan ein geiriau, a llai gan ein buchedd; gorwedda y meirw o'n hamgylch yn y dyffryn, yn malurio ac yn ddifywyd; ychydig sydd yn deffro ac yn cyfodi i fuchedd newydd. Mae gwahoddiadau grasol efengyl yn cael eu gwrthod, ac argyhoeddiadau yn cael eu mygu—difaterwch ac anystyriaeth yn uchel eu penau; oedi ac addaw diwygio yn beth cyffredin.

Onid yw yn hen bryd ynte i Seion Duw gyfodi a galw ar ei Duw? "O, Israel aed pawb i'w pebyll." I'r dirgel ac ar eich gliniau, O saint y Duw Goruchaf; na ddystewch ac na adewch lonydd iddo. Yr hyn sydd i'w wneyd, rhaid ei wneyd ar frys, oblegid mae'r storm yn ymgasglu, a'r awyr yn duo, a chysgodau hwyrddydd y byd yn ymdaenu mewn düwch dros fryniau, mynyddoedd, dolydd, a moroedd y byd hwn.

Cyfodwn ynte a dadleuwn; unwn yn nghyd i eiriol o ddifrif. Boed i ni fel un teulu blygu y glin o flaen gorsedd gras, a'n bys ar addewid rasol Duw i weddi *unol*; boed i ni ddyrchafu i glustiau ein Duw un llef hir, ddifrifol, a chrediniol, y fath ag y mae efe yn sicr o'i hateb. Mae arnom eisiau llawer, boed i ni ofyn llawer. Mae genym lawer o resymau, boed i ni eu trefnu ger ei fron, ac na adawn lonydd iddo, hyd oni osodo Seion yn ben moliant ar y ddaear. Ychydig o amser sydd genym yn ngweddill. Mae'r nos yn dyfod; peidiwn a cholli eiliad; ymofynwn am yr hwn mae ein henaid yn ei garu, ac wedi ei gael, na ollyngwn ef, nes y caffom sicrwydd o atebiad ganddo. Y mae genym ar yr un pryd lawer o bechodau; boed i ni eu gosod oll ar yr allor, fel y byddo i waed yr Aberth eu cwbl olchi ymaith, ac yr esgyno ein gweddiau yn gymeradwy ger ei fron ef. Daliwn ati, nis gallwn fod yn rhy daer, hyderus, a dysgwylgar.

## BARN Y PAB AM YR AMERICIAID.

Mae y Pab newydd gyrhaedd pen ei haner can' ml. fel penaeth y Babaeth. Er urddasoli yr adeg, mae pererinion Catholicaidd wrth y canoedd wedi talu ymweliad â'r ddinas sanctaidd, a chyflwyno eu hanrhegion i'r Pab, wrth y miloedd o ddoleri. Cyflwynodd dau gant o bererinion Americaidd iddo y swm o $50,000. Go dda, onite? Wrth eu hanerch, ac wedi derbyn y rhodd, arddangosai yr hen dad, dymer hynod foddhaus.

Traethodd gyda manyldeb ar gynydd yr eglwys yn America, a chyfeiriodd at yr erlidiau a ddyoddefai yr eglwys yn Ewrop. Dywedai ei sancteiddrwydd, ei fod yn cofio y modd y dywedasai Cardinal enwog wrtho, ar ddechreu ei weinyddiaeth, mai "o America y deuai dyddanwch mawr i'r eglwys." Gwelai yn awr gyflawniad o'r rhag-ddywediad hwnw. Llefarai yn uchel iawn am y genedl Americaidd, y pethau mawrion a gyflawnodd, a'r modd yn mlodau ei dyddiau yr enillodd ddigon o nerth i gynyrchu eiddigedd cenedloedd Ewropaidd.

"Ond mae," meddai, "wallau ieuenctyd yn perthyn i genedloedd fel ag i ddynion," a nododd allan wall a welai yn yr Americiaid. Gormod o frys i ymgyfoethogi, a gormod o falchder o'u hannibyniaeth. Da iawn, yr hen dad am unwaith. Er cymaint o anwireddau a chyfeiliorniadau am bobloedd, a chrefydd a ddysgwyd, ac a ddysgir gan yr *anffaeledig*—dyma "eiriau gwirionedd a sobrwydd" wedi eu hyngan ganddo.

Wyddoch chwi, beth! mae yr hen lanc yn graff hefyd! Yn sicr y mae. Dylasai gofio ar yr un pryd, na fuasai dim cymaint yn dyfod iddo ef o America, oni bae eu bod yn hoff o'r ddolar. Wyddoch chwi, beth eto? Onid oedd yr hen lanc dipyn yn wrol hefyd, a didderbyn wyneb, yn gallu dyweyd y gwir mor onest a difloesg o flaen ei garedigion, a tharo mor uniongyrchol ar le mor dyner ar galon yr Americiaid. Byddai yn dda i'r Americiaid i ddysgu yn y peth hwn, hyd yn nod gan y Pab. Byddai yn lles iddynt i gymeryd yr awgrym. Tra mae y Pab wedi colli ei deyrnas ddaearol, gwelir yn yr engraifft hon, fod lles cenedloedd yn dymorol yn gystal ac yn ysbrydol, yn agos at ei galon.

## Y BEDYDDWYR A LLENYDDIAETH.

GAN Y PARCH. JAMES R. PRICE, KINGSTON, PA.

Beth bynag yw maint a gwerth cronfa fawr lenyddol y byd; pe yr ymofynid pwy a'i casglodd, ac a'i cyfoethogodd a'r fath drysorau uchel bris, gellid ateb fod y Bedyddwyr wedi bod â llaw ar-

benig yn y gwaith mawr a gorchestol hwn. Nid haeriad disail yw ein gosodiad, ond ffaith a ategir gan brofion cedyrn yn hanesiaeth hen a diweddar y byd. Tybiaf y dylem, fel enwad, goffhau yn awr ac eilwaith am ein henwogion, nid fel achlysur ymffrost a gwag ogoniant i ni y rhai ydym yn myned i mewn "i'w llafur hwynt," ond o barch i goffadwriaeth meibion athrylith, ac hefyd i gynyrchu ymegniad dyfal a llafurus yn ein gwyr ieuainc, i gyrhaedd safle anrhydeddus mewn dysg, yn gystal a bywyd rhinweddol, yr hwn sydd o wir werth i'n byd; tybiwyf hefyd y dylem wneyd hyn er mwyn i ni ddeall ein safle wirioneddol mewn cyswllt â llenyddiaeth, fel y gallwn weled nad ydym yn ol i eraill mewn cydymgais am lawryf enwogrwydd llenyddol o wir werth a theilyngdod. Dyna rai o'n rhesymau dros ymgymeryd a'r penawd hwn i'n hysgrif fer y tro hwn beth bynag.

Y blaenaf a nodwn yn bresenol yw John Milton, y prif-fardd Seisnig, ac yn ddiau un o brif feirdd y byd. Ysgrifenodd lawer heblaw ei gynyrchion barddonol, sef ysgrifau ar rai o brif bynciau y Grefydd Gristionogol. Ymddengys yn y rhai hyn yn gyfarwydd â chyfraith yr Arglwydd, a theimlai yn ddedwydd i'w hamddiffyn pan oedd anffyddwyr ei oes yn ddiwyd ymosod arni trwy y wasg Seisnig. Ni fu yn ddystaw chwaith ar y bedydd Cristionogol, ond amddiffynodd ef yn deilwng o hono ei hun, ac yn deilwng o ddysgybl ffyddlon i Grist.

Dichon mai ei "Goll Gwynfa" yw campwaith ei fywyd llenyddol. Dibrisiwyd y cyfansoddiad gorchestol hwn yn oes ei awdwr; telid mwy o sylw i gynyrchion crach brydyddion gan lawer, nag i ffrwyth meddwl galluog a goleuedig y *Bardd Dall;* ond nid oes eisiau hysbysu darllenwyr ystyrbwyll y WAWR, fod Coll Gwynfa Milton yn enill sylw parhaus prif feddylwyr y byd. Y mae y bryddest hon yn un o'r gemau dysgleiriaf ar gof a chadw yn unrhyw iaith adnabyddus.

Bedyddiwr o gred a phroffes oedd yr hyglodus fardd Dewi Wyn o Eifion. Bardd natur ydoedd, bu yn llwyddianus i esgor ar feddyliau byw, prydferth ac aruchel, y rhai a anwylir gan hîl Gomer, tra byddo Cymro, Cymru, a Chymraeg.

P. A. Mon hefyd ydoedd wr o ddysg a gallu meddyliol uwchlaw y rhan fwyaf o'i gyfoedion llenyddol. Ysgrifenodd lawer i amddiffyn egwyddorion y Bedyddwyr yn Nghymru, yn neillduol yn y Gogledd, pan oedd *Sandemaniaeth* fel cyfeiliornad yn peryglu yr eglwysi; ac amddiffynwyr bedydd babanod yn dylanwadu yn mhob modd, yn erbyn bedydd y crediniol yn ol yr athrawiaeth Apostolaidd.

Dichon na ddylem fyned yn mhellach cyn coffa am Joseph Harris (Gomer), sylfaenydd *Seren Gomer*, yr hon a ymddangosodd yn ffurfafen lenyddol Cymru, pan oedd anwybodaeth fel caddug yn döedig dros Gymru hoff, y bobl yn credu mewn chwedlau ac ofergoelion gwrthun a disail. Nid yn hir y parhaodd pethau yn y sefyllfa hon wedi ymddangosiad y *Seren;* yr oedd goleuni gwybodaeth fel "codiad haul o'r uchelder." Cynorthwyid Mr. Harris gan brif ddynion y Dywysogaeth mewn erthyglau grymus ac amserol yn erbyn pechodau yr oes, a llwyddasant yn eu hamcan i raddau helaeth. Ysgrifenai Mr. Harris lawer heblaw yn y ffordd hono; y mae ei weithiau awdurol yn cynwys rhai o'r traethodau mwyaf gorchestol yn yr iaith Gymraeg, yn neillduol ei draethawd ar "Briodol Dduwdod yr Arglwydd Iesu," ac hefyd ar y "Pechod Anfaddeuol." Nid sylwadau llac ac arwynebol yw cynwys ei draethodau ef, "ond geiriau gwirionedd a sobrwydd," wedi eu cyflwyno i ni yn eglurhad yr Ysbryd, a chyda nerth mawr yn ddiau.

Bu cynydd y Bedyddwyr gymaint yn y ganrif hon yn Nghymru, fel y bu raid cael cyfryngau gwybodaeth helaethach; ac o fewn cyrhaedd y cyffredin o'r enwad, fel y gallent gynyddu yn fwy cyflym mewn perffeithrwydd at fesur oedran cyflawnder Crist.

Daeth y *Bedyddiwr* allan o Gaerdydd, dan olygiaeth y Parch. Wm. Owen ac eraill. Gwasanaethodd yr enwad yn ffyddlon am flynyddau lawer, ac yn y

cyfamser, yn y Gogledd, cyhoeddid y *Greal*, y *Tyst Apostolaidd*, a'r *Athraw Bach*, yr hwn oedd yn benaf dan olygiaeth Dr. Prichard, Llangollen; eithr y blynyddoedd diweddaf, dan olygiaeth y Parchn. E. Roberts, Pontypridd, a J. Williams (Rufus), o'r Ystrad, Morganwg. Gwyr pawb oeddynt yn adnabyddus a'r brodyr galluog hyn mai nid sothach oedd cynwys y cyhoeddiadau gwerthfawr hyn, ond llenyddiaeth bur, i goethi chwaeth, ac i dynu allan alluoedd a nerth yr enwad yn fwy grymus a dylanwadol yn erbyn egwyddorion gau.

Y mae genym fel Bedyddwyr Cymreig yn Nghymru, bapyr wythnosol, sef *Seren Cymru*. Dr. Price, Aberdâr, oedd golygydd y *Seren* hyd yn ddiweddar; gorfu ef i roi fyny o herwydd afiechyd. Clywsom mai y talentog John Jones, gweinidog yr eglwys yn Felinfoel yw ei olynydd; nis gallesid cael ei gymwysach fel golygydd. Ceir yn y *Seren* erthyglau goleuedig ar wleidyddiaeth a masnach, a chofnodion aml am sefyllfa yr enwad yn y Dywysogaeth. Heblaw hyn, y mae llenorion enwog a berthynant i'r enwad, wedi cyhoeddi llawer o gyfrolau gwerthfawr ar eu cyfrifoldeb eu hunain, megys Ioan Emlyn, Cynddelw, Jones, Llanllyfni, a Mathetes. Bwriadwn sylwi ar gynyrchion y brodyr galluog hyn yn y dyfodol.

---

## ESIAMPL PLENTYN.

GAN Y PARCH. B. JAMES.

---

MR. GOL.—Yr wyf yn anfon yr hanesyn canlynol i chwi, yr hwn a ddarllenais yn y *Bedyddiwr* gyda dyddordeb mawr, gan obeithio y bydd yn gefnogaeth i athrawon yr Ysgol Sabbothol yn America, sef am hen forwr a'i ferch:

Mewn Cyfarfod Undebol yr Ysgolion Sabbothol yn Lerpwl rai blynyddau yn ol, adroddodd hen forwr ei brofiad, a'r achos oedd ganddo ef i fod yn fawr ei sel dros yr Ysgol Sabbothol. Dywedai fod capel Anghydffurfiol yn agos i'w dy ef, ychydig filldiroedd y naill du i Lerpwl, ond nad oedd ef byth yn caniatau i'w wraig na'i blant fyned iddo; canys os oedd ganddo feddwl da o rywbeth, Eglwys Loegr, fel y dywedir, oedd yn myned â hi yn ei olwg. Wrth ei fod ef gymaint o'i amser oddicartref, yr oedd yn ffol yn ei serch at y plant, a'r plant yr un fath am dano yntau; a mawr oedd y dysgwyl a fyddai am dano adref o'i fordaith gan bawb yn y ty, ac yntau mor, os nid yn fwy, awyddus na hwythau i gyrhaedd i'w plith.

Ryw bryd pan yn dychwelyd adref ar ol mordaith hir, ar nos cyn Nadolig, yr oedd yn hwyr iawn, a'r plant oll wedi myned i'w gwelyau, fel na welodd hwynt y noson hono, ond yn eu cwsg, a pherswadiodd y fam ef i beidio eu deffro. Ond bore dranoeth, yn fore iawn, yr oeddynt fel ceiliogod o amgylch ei wely yn ei roesawu, ac yntau yn nghanol eu twrf yn meddwl ei hun y dyn dedwyddaf ar y ddaear, ar dir na mor.

Pan ddaeth amser ciniaw, yr oedd y pethau goreu a allasai y ty fforddio wedi eu harlwyo, a phawb yn eistedd yn siriol yn ei le wrth y bwrdd. "Torodd fy ngwraig," meddai ef, "beth ar fy *mhlate* i yn gyntaf, yna mi a gydiais yn y gyllell a'r fforch, a dechreuais fwyta; ond gwelwn fy merch fach hynaf, yr hon oedd oddeutu chwech mlwydd oed, ar yr hon yr oeddwn yn *dotio* mewn serch ati; yn edrych yn syn arnaf. Gofynais iddi, beth oedd yn ei weled? 'Dada,' meddai hithau, 'a fyddwch chwi ddim yn arfer gofyn bendith ar eich bwyd?' Teimlwn ei geiriau yn rhedeg yn oer trwy fy ngalon; sylwai ei mam arnaf yn edrych yn syn, ac yn dal y gyllell a'r fforch heb allu eu symud; a gofynodd i'r ferch fechan, 'A ydych chwi, Ann, yn arfer gofyn bendith?' Ar hyny, rhoddodd ei dwylaw bychain yn mhleth, cododd ei llygaid i fyny, a dyferodd dros ei gwefusau y weddi fwyaf effeithiol a glywais erioed. Yr oedd hyn yn ormod i mi; gollyngais y gyllell a'r fforch, torais allan i wylo yn hidl, a gofynais i'w mam yn mha le yr oedd hi wedi dysgu pethau fel hyn; canys gwyddwn, fel yr oedd

yn fwyaf galarus, nad oedd hi erioed wedi dysgu y fath beth oddiwrthyf fi. 'Y mae hi,' meddai ei mam, 'wedi cymeryd er's tro i fyned i'r Ysgol Sabbothol yn y capel bach oedd gerllaw yma; ac y mae hi er hyny wedi rhyw gyfnewid yn rhyfedd. Nid yw hi byth yn myned i'w gwely nac yn codi o hono, heb fyned ar ei gliniau bach i weddio trosti ei hun, a thros bawb yn y ty, yn enwedig dros ei thad pan yn mhell ar y môr.'

"Ha," meddai yr hen forwr wrth glywed hyn, "teimlwn fy nghydwybod yn cnoi ac yn condemnio, o herwydd nad oeddwn i byth yn arfer myned ar fy ngliniau i weddio drosof fy hun na'm plant bach. Ond aethum inau i'r capel y nos hono am y tro cyntaf erioed, a gwelodd Duw yn dda gymeryd trugaredd ar fy enaid euog; ac yr wyf yn awr mewn undeb gyda phobl Dduw er ys llawer blwyddyn."

Onid ydyw pethau fel hyn yn galondid i athrawon yr Ysgol Sabbothol i blanu egwyddorion crefydd yn y plant bach sydd dan eu gofal, a'r rhai hyny, o dan fendith Duw, i fod yn foddion i achub eu rhieni annuwiol. Y mae Duw yn abl gwneyd pob peth. Nerth i ddysgwyl wrtho.

## A ELLIR ADNABOD CYMERIADAU?

GAN MR. DAVID D. PHILLIPS, COALBURGH, O.

[Mewn Llythyr at Gyfaill.]

Y mae yn ffaith nad all pren da ddwyn ffrwyth drwg, na phren drwg ddwyn ffrwyth da; o herwydd paham, wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt. Dadleuir yn fynych nad ellir adnabod cymeriadau. A ydych chwi yn foddlawn i mi ddyweyd gair yn y cyfeiriad hwn? Credwyf eich bod. Nid y tir lle mae y pren yn tyfu sydd yn profi daioni y pren, o herwydd y mae prenau da a drwg yn tyfu yn yr un gweryd. Pa fodd, ynte, y mae dau bren, hollol wahanol yn eu rhyw a'u natur, yn gallu tyfu a bodoli yn gymydogion yn yr un tir? Barnwyf fod y gwahaniaeth i'w briodoli i ansawdd peirianyddol bywyd y ddau bren; credwyf hefyd fod lleoldeb bywyd y pren yn y goler neu y cwlwm byw, fel y gelwir ef, oddiwrth ba un y mae y sawdl-wreiddyn yn tyfu i lawr, a'r mân wreiddiau fel math o wasanaethyddion yn cludo o adnoddau'r gweryd oddiamgylch i'r cwlwm byw, sef eisteddle bywyd y pren. Gyda phriodoldeb, gellir ystyried y fan hon yn debyg i'r cylla anifeilaidd, yr hwn sydd yn derbyn adnoddau cynaliol bywyd. Maent trwy allu peirianyddol y cylla yn myned dan gyfnewidiad, yn sylweddau addas, yn gyfatebol i ansawdd bywyd yr anifail. Yn awr, dywedaf, fod y cwlwm byw yn lleolfan sydd yn derbyn i mewn o'r gweryd trwy wasanaeth y mân wreiddiau; hefyd y mae yn derbyn i mewn trwy y cangenau i'r cyff, ac yn hwn y mae llwybr trefniedig yn arwain i'r cwlwm byw. Rhyw beth yn debyg i hynyna y mae y ddwy oruchwyliaeth yn myned yn mlaen yn y gwaith o gludo adnoddau bywyd i mewn. Yn awr, dylem sylwi mai nid gallu bywydol yw yr achos o'r gwahaniaeth sydd yn bodoli rhwng pren da a phren drwg. Yr achos yw, gwahaniaeth natur, yr hwn sydd trwy allu bywyd, nid yn trawsffurfio, ond yn traws-sylweddoli adnoddau cynaliol bywyd. Os yw y rhesymeg hon yn unol â deddfau natur, fe welir fod dau anmhosiblrwydd. Yn gyntaf, nad all pren gynyrchu dim yn wahanol i ansawdd ei natur; yn ail, nad all natur guddio ei hunan; ac yn drydydd, fod y ddau beth cyntaf yn rhoddi posiblrwydd i adnabod pob pren, beth bynag fydd. Yn awr, yr wyf yn myned i efelychu y pregethwyr am unwaith yn fy oes, gan ddechreu dywedyd ar y pen cyntaf, sef nad all pren gynyrchu dim yn wahanol i ansawdd ei natur. Nid yw o un gwahaniaeth yn mha le y plenir pren drwg, drwg fydd ei ffrwyth. Pe chwilid am y tir goreu ag y tywynodd yr haul arno, a phe gwrteithid ef a'r gwrtaith goreu a gafodd gwybodaeth amaethyddol afael arno erioed; a phe gosodid y garddwr mwyaf medrus a gofalus a sangodd y ddaear erioed i ofalu am dano o ddydd ei blaniad hyd gyfnod ei gryfdwr i fwrw

allan ffrwyth, yr wyf yn *sicrhau* i chwi frawd, mai drwg fyddai y ffrwyth; ïe, er gwaethaf y modd y byddai brasder y gweryd yn rhoddi mantais iddo i ddadblygu ei hun yn helaethach. Pe planesid ef yn ngwastadedd yr Iorddonen, yr hwn oedd fel gardd yr Arglwydd, yn ddyfradwy oll, ni wnelai hyny y cyfnewidiad lleiaf yn ei natur. Dylaswn ddyweyd, mai nid natur y pren yw ei fywyd, ond effaith neu ddadblygiad o ansawdd bywyd yw ei natur. Er bod yn fwy eglur, dywedaf fel hyn: nid ffrwyth y pren yw ei fywyd, ond esboniad cyflawn o gyfeiriadau bywyd yw ffrwyth. Cyn y gellir cael ffrwyth da oddiar bren drwg, rhaid traws-sylweddoli ei fywyd, fel y gallo yntau drawssylweddoli adnoddau cynaliol bywyd. Rhag bod yn ormodol gyda'r anianol a'i gysylltiadau, dywedaf air ar yr ysbrydol. Bedyddiwyd Simon y swynwr, ond nid oedd ei galon yn uniawn ger bron Duw. Bu Ananias a'i wraig yn aelodau eglwysig, ond dywedasant gelwydd, ïe, wrth Dduw. Bu Judas yn cario'r gôd, ac ymddiriedwyd iddo bethau pwysig. Tebygol iddo glywed y pregethu goreu a fu erioed; cafodd brawf gweledig o allu dwyfol yr Arglwydd Iesu, ond pren drwg yn dwyn ffrwyth drwg oedd ef yn y tir brasaf a fu erioed, ac yn y diwedd fe fenthycodd y cyfrwng goreu o eiddo'r ddynoliaeth i ddangos ei theimladau goreu, (sef cusan) i fradychu Mab y dyn. Y mae wedi bytholi ei enw fel arch-fradwr trwy yr holl genedlaethau, hyd ddiwedd amser, mewn *un* weithred.

"Dyn yn ei frâd anianawd,
Wnai fron ei Dduw, yn frawd."

Y mae y ffeithiau a grybwyllwyd, yn profi nad all bywyd gynyrchu dim yn wahanol i'w natur. Pe byddai pethau yn myned yn groes i hyn, byddai deddfau anian o reidrwydd i ddyrysu, a moesoldeb a chrefydd yn dryblith annhrefnus.

Yn *nesaf*, sylwn nad all natur guddio ei hunan. Y mae yn rhaid i ni ddychwelyd yn ol at y pren eto, er egluro y pwnc. Pe byddai natur yn gallu cuddio ei hun, ni fyddai hyny ond profi amddifadrwydd o fywyd. Y mae yn ffaith fod y rhan fwyaf o'r prenau a'u gwreiddiau yn ymestyn cymaint yn y gweryd, ag ydyw y cangenau yn ymledu yn yr awyrgylch. Profa hyn allu cyfartaledd bywyd—yn gweithio cymaint yn anweledig ag ydyw yn weledig. Beth yw dyben bywyd—a'i rhyw beth i fodoli mewn cell ddirgel ydyw? Na, y mae iddo ddybenion uwch a rhagorach, sef dwyn ffrwyth yn ol ei ansawdd. Y mae pob math o fywyd yn holl anian fawr i gyd, a siarad yn gymhariaethol, yn ymfalchio yn ei fodolaeth. Casgla yn ol ei nerth, gymaint a fedr o sylweddau'r ddaear; dangosa sirioldeb am dywyniad yr haul; y mae yn llawenhau dan y cawodydd cynar a diweddar, ac ymddigrifa yn yr awel iach, a'r canlyniad fydd iddo ddadblygu ei hun yn lliw a blas ei ffrwyth, yr hyn ydyw mewn gwirionedd yn fewnol. Onid fel hyn y mae gyda chymeriadau dynol, byddant ddrwg neu dda? Yr wyf yn beiddio dyweyd, mai yr un peth fyddai ceisio cuddio cymeriad da neu ddrwg, ag a fyddai i'r pren geisio cuddio ei hun yn amser ffrwythau. Y mae yn wir y gall cymeriadau fodoli am amser maith yn eu carcharau anamlwg, ond y mae amgylchiadau bywyd yn fath o agoriadau, yn rhoddi tro yn ngloion yr hen garchar yn awr ac yn y man, nes ydyw ei hen ddrysau rhydlyd yn agor led y pen. Onid yw hyn yn wirionedd, frawd?—pa sawl cyfaill oeddym yn ei feddwl oedd genym a drodd yn elyn? Onid yw y weniaeth a ddangosent gynt, a'u cusanau oerion wedi oeri ein calon, fel nas gall yru y gwaed trwy rydwelïau cyfeillgarwch? Agoriadau yw y rhai hyn oll, yn gallu agor drws cuddfanau bradwriaeth, fel y gallo llygad diniweidrwydd ganfod cyfrolau o ffalsder crefyddol. Nid oes eisiau gosod rhyfeddnod wrth y sylwadau uchod, o herwydd y maent yn gosod allan gymeriad mor naturiol gythreulig, ag ydyw rhediad dwfr i'r goriwaered. Nis gall cymeriadau guddio eu hunain ddim mwy nag y gall y cymylau beidio gwlawio, a'r cornentydd redeg i'r afon, a'r afon redeg i'r môr; y maent o reidrwydd cwrs pethau i godi i'r wyneb. Os ydwyf wedi bod mor ffodus a gallu adlewyrchu ychydig o oleuni ar y ddau

beth cyntaf, y mae yn hawdd, dybygwn, allu profi y posiblrwydd i adnabod cymeriadau. Dychwelwn eto i faesydd prydferth anian, i gasglu ychydig o ffeithiau a fydd yn ddigonol i gyrhaedd yr amcan hwn. Y mae yr adnabyddiaeth hon yn dyfod i'n meddiant mewn pedair ffordd ; yn gyntaf, mewn ffurf,* lliw, arogl, ac archwaeth. Nid yr un ffurf, lliw, arogl, ac archwaeth sydd i afalau a phêr. Y mae y pedwar synwyr hyn yn rhoddi i ni gyflawn foddlonrwydd am y gwahaniaeth a fodola yn *anianyddol* rhwng y pren afalau a'r pren pêr. Ffolach na ffolineb fyddai ceisio ein perswadio, mai pren afalau yw pren pêr, a ninau wedi cael prawf o hono trwy gymorth y synwyrau soniedig. Y mae yn wir nad all y dall, y diarogl, a'r diarchwaeth wahaniaethu rhyngddynt; ond y mae y ffaith yr un. Yr wyf yn meddwl mai y dall, diarogl, a'r diarchwaeth moesol, sydd yn dadleu nad ellir adnabod cymeriadau. Y mae y dosbarth hwn yn y byd er ys canrifoedd. Dywed Paul wrthynt am ddysgu adnabod y pethau sydd a gwahaniaeth rhyngddynt.

Pe rhoddid grobwnsyn (*crab-apple*) i ddyn, a cheisio ei berswadio mai afal ydyw, byddai yn barod i gymeryd ei lw yn fuan ar ol ei brofi i'r gwrthwyneb. Cyfaddefir y gallu hwn, yr hwn sydd yn perthyn i'r natur anifeilaidd, ond gwedir y gallu moesol, sydd yn perthyn i'r enaid, ac wrth y rhesymeg dywodlyd hon, y mae synwyrau corphorol yn rhagori ar synwyrau eneidiol; ac felly yn gosod dyn ac anifail ar yr un gwastad-dir; ac hefyd yn gwneuthur bodau moesol yn anghyfrifol. Diolch i Dduw mai nid felly y mae pethau yn bodoli. Y mae yn hawdd gwahaniaethu rhwng sobrwydd a meddwdod, rhwng cybydd-dod a haelioni, rhwng tiriondeb a thrawsedd, a rhwng gwir a chelwydd. Gwell genyf gredu *haner* brawddeg o eiddo Crist, na holl ddywediadau ffug rhesymegwyr. Terfynaf yr epistol bychan hwn yn ngeiriau Crist, "O herwydd paham wrth eu ffrwythau yr adnabyddwch hwynt."

---

* Y mae ffurf yn dyfod i'n meddiant trwy olwg.

## Y FEIBL GYMDEITHAS A'R PABYDDION.

---

Mewn rhifyn diweddar o *Seren Cymru*, mae y Parch. Thomas Lewis, Risca, Mynwy, wedi ysgrifenu yn alluog ar lygriadau cyfieithiadau y Feibl Gymdeithas o'r Ysgrythyrau a ledaenir ganddi. Dywed fod y llygriadau hyn yn cael eu cydnabod gan brif ysgolheigion y byd, ac mewn rhan, gan bleidwyr y Gymdeithas eu hunain. Yn yr un newyddiadur, am Mai 25ain, mae Mr. Lewis yn rhoddi ei ail lythyr ar y pwnc, yn yr hwn y mae yn ymhelaethu yn y dull a ganlyn:

Yn fy llythyr blaenorol, mi a ddangosais fod pwyllgor y Feibl Gymdeithas yn taenu cyfieithiadau llygredig a Phabyddol o'r Ysgrythyrau. Gallaswn ymhelaethu yn fawr yn y cyfeiriad hwnw, ond ymataliais er mwyn byrdra. Yn bresenol, mi a roddaf lawr *amddiffyniad* y pwyllgor o hono ei hun, neu ei *resymau* dros ledaenu y cyfryw gyfieithiadau.

1. Dywed pwyllgor y Feibl Gymdeithas mai eu lle hwy yw cymeryd y cyfieithiadau fel y maent, ac nad oes rhwymau arnynt i ymchwilio yn fanwl i bob brawddeg ac adnod. Yn ngwyneb fod amryw gyfieithiadau lled ragorol yn cael eu darllen gan Babyddion, barn y pwyllgor yw, y dylent daenu y cyfryw lle bynag y gallont. Sylwer fod y Gymdeithas yn ymrwymo, *yn ol ei Rheolau*, i ledaenu *Gair Duw yn unig—y gwir, a dim ond y gwir*. Mae'n eglur oddiwrth hyn na ddylai y pwyllgor werthu a thaenu Beiblau, heb yn gyntaf wneyd pob ymdrech i dynu allan bob llinell ac adnod na fyddai yn cytuno â'r testyn gwreiddiol. Ond yn awr, haera y pwyllgor nad yw y ddyledswydd bwysig hon yn rhwymedig arno !

2. Dywed y pwyllgor fod y *Vulgate*, o'r hwn y tynir y cyfieithiadau Pabaidd, yn bodoli *cyn* cyfodiad y Babaeth. Gwnawd y *Vulgate*, mae'n debyg, tua diwedd y bedwaredd ganrif; ond y mae yn ffaith fod dirgelwch yr anwiredd yn gweithio y pryd hwnw, ac yn foreuach. Heblaw hyn, y mae o bwys i ni gofio na ellir gwybod pa fath yn hollol oedd y *Vulgate* fel ag y daeth o law Jerome; canys fe wnawd llawer o gyfnewidiadau ynddo mewn canrif-

oedd ar ol Jerome. Adolygwyd y *Vulgate* gan Alcuin, yn yr wythfed ganrif; gan Lanfranc yn yr unfed ganrif ar ddeg; gan Cardinal Nicholas, ac eraill, yn y ddeuddegfed ganrif; gan Rob. Stephens yn 1528 hyd 1546; gan Hentenius yn 1547; gan Brugensis yn 1573; gan y Pab Sixtus V., yn 1590; gan Clement VIII. yn 1599; gwnaeth y rhai hyn oll gyfnewidiadau lluosog yn y *Vulgate*, fel ag y mae yn anmhosibl gwybod pa gymaint o hono sydd yn perthyn i'r bedwaredd ganrif. (Gwel *Horne's Introd*, *v. 2, p. 198*, &c.) Ofer yw y syniad y gallasai y *Vulgate* fyned drwy gynifer o gyfryngau Pabaidd heb dderbyn llawer iawn o'r peth ag y mae cyfeiliornwyr yn gyfoethog ynddo, sef *twyll*.

3. Dywed y pwyllgor fod y cyfieithiadau a daenir ganddynt yn cynwys llawer iawn mwy o wirionedd nag o gyfeiliornad. Ni a wyddom hyn cystal â hwythau; ond er hyny yr ydym yn gwrthod eu hamddiffyniad. Ni ddylai y pwyllgor oddef *un* camsyniad ar ol ei ddangos iddynt. Nid yw fod y cyfieithiadau Pabaidd yn cynwys mwy o Grist nag o'r Pab yn un rheswm. Gall mwy o flawd fod yn y bara nag o wenwyn; ond gwnai yr ychydig wenwyn niwed marwol i'r bwytawr. Gall fod digon o Grist yn y cyfieithiadau dan sylw i gadw'r enaid; ond gall fod yno hefyd ddigon o rywbeth i ddistrywio yr enaid am byth.

4. Dadleua y pwyllgor fod cyfieithiadau eraill, y rhai na ddywed y Protestaniaid ddim yn eu herbyn, yn cynwys beiau a gwallau pwysig; a gofynir, Paham y dywedir cymaint yn erbyn y naill, gan fyned heibio y lleill? Sylwer, fod gwahaniaeth mawr rhwng beiau a gwahanol ddarlleniadau a chyfieithiadau y Pabyddion. Beiau *bwriadol* sydd yn eiddo y Pabyddion, ac y maent yn wir beryglus; ond nid felly y cyfieithiadau a gefnogir gan y Protestaniaid.

5. Rheswm cryf yn mryd y pwyllgor dros ei ymddygiad yw hwn, fod Crist a'i apostolion yn dyfynu o'r LXX., ac nid o'r Hebraeg; gan hyny, fod ganddynt hwythau hawl i fabwysiadu y *Vulgate*. Ond dylid ystyried hyn, nad oedd yr hyn a ddyfynai Crist a'r apostolion o'r LXX. yn gwrthdaro yn erbyn rhanau *eraill* o air Duw; ac hefyd, yr oeddynt yn defnyddio yr unig gyfieithiad ag oedd yn wybyddus i'r Iuddewon. Ond y mae yn ffaith fod y *Vulgate* yn cynwys cyfeiliornadau marwol, ei fod yn gwrthdaro yn erbyn ysbryd y Beibl, a'i fod yn ategu cyfundrefn ag sydd yn elynol i'r efengyl. Er mor wyneb-dêg yw y gosodiad hwn o eiddo y pwyllgor, wrth ei chwilio ni ddeil yn nghlorian beirniadaeth.

6. Rheswm cryf arall gan y pwyllgor yw hwn:—"Gan na dderbyn y Pabyddion gyfieithiadau Protestanaidd, dylid rhoddi iddynt Feiblau yn y cyfieithiad derbyniol ganddynt hwy." Rheswm rhyfedd! Fel hyn. Os na chymer y claf ddwfr pur, rhodder iddo ddwfr afiach. Os na chymer fara pur, gadewch wenwyn ynddo! Os na foddlona ar Grist yn unig, rhoddwch iddo Grist *a pha beth bynag a fyno efe!* Onid gwell o lawer fyddai gadael y dyn cyndyn i'w dynged, a dyweyd wrtho, Os na chymeri o'm llaw *y gwirionedd*, ni chei ddim arall genyf fi; mi a olchaf fy nwylaw oddiwrth dy waed; ni cheisiaf dy achub ond yn *ffordd Duw yn unig*. Ond nid yw haeriad y pwyllgor yn wirionedd; canys *fe dderbyn miloedd o Babyddion gyfieithiadau Protestanaidd.* Ysgrifena y Parch. Carus Wilson fel hyn: Fy mhrofiad i yw, y gellir taenu cyfieithiadau Protestanaidd yn agos mor rhwydd â rhai Pabaidd. Pan oedd Cadben Kelly, Mr. Stuart, a minau yn gauafu yn Vevy, ni a daenasom tua mil o Destamentau yn Savoy a Canton de Valais. Ni wnelem ni ddim â De Sacy. Yn y flwyddyn nesaf, ni a daenasom 3,000 o Feiblau Protestanaidd yn Sardinia; ni theimlasom anhawsdra. Dr. Graham a ddywed i gan' mil o Feiblau Protestanaidd gael eu taenu yn Boulogne mewn tua dwy flynedd. Nid yw Beibl Gymdeithas Ysgotland yn taenu namyn cyfieithiadau Protestanaidd. Y mae ganddi *agents* yn Holland, Denmark, Sweden, Itali, Germani, Awstria, Belgium, Ffrainc, Yspaen, Portugal, &c., ac nid yw yn cwrdd ag anhawsder o bwys i gylchred-

iad y cyfieithiadau Protestanaidd. Ac y mae yn ffaith bwysig fod yn well gan lawer o Babyddion gael cyfieithiadau Protestanaidd na'r eiddynt eu hunain. (Gwel *Prize Essay*, gan Froggatt, *p.* 147.)

7. Rhesymau eraill o eiddo y pwyllgor yw y rhai hyn :—Fod y cyfieithiadau Pabaidd wedi gwneyd llawer o dda, a dim niwed; i Luther gael ei oleuo wrth ddarllen y *Vulgate;* ac y byddai atal y cyfieithiadau hyn yn fantais fawr i'r Babaeth. Nid yw y pethau gwaelion hyn yn haeddu ein sylw; ac y mae fod diffynwyr y Gymdeithas yn eu defnyddio, yn dangos mor brin yw pethau gwell. Nid yw y pwyllgor hyd yn hyn wedi gallu rhoddi rhesymau boddhaol i gyfreithloni cymdeithas Brotestanaidd gyda y gwaith o ledaeni Beiblau ag sydd yn ategu cyfeiliorniadau gwaethaf y Babaeth. Y mae y peth yn afresymol, yn anghyson, ac yn annuwiol. Y gwir yw, fod lledaenu y cyfieithiadau hyn yn gwneyd niwed mewn llawer ffordd, ac yn peri rhwystr yn ffordd y rhai sydd yn taenu cyfieithiadau mwy pur.

Yr wyf eto yn galw sylw Cymru at y pethau hyn, ac yn dymuno ar bawb yn mhob enwad i wasgu y pwyllgor i ffordd ei ddyledswydd—*a'r hen ffordd gyntefig.*

*Risca.* THOS. LEWIS.

## TRYDANIAETH.

GAN TRICHRIG, HYDE PARK, PA.

### RHAN I.

Mae y testyn hwn yn ddyrys, ac yn anhawdd ei egluro i foddlonrwydd. Mae awduron galluog yn methu a chytuno arno. Er fod trydaniaeth wedi ei ddarganfód i raddau, 600 o flynyddau cyn Crist, eto y mae y wybodaeth o'i ansoddau yn ei mabandod. Mae dysgedigion yn methu cydweled o barth y sylwedd sydd yn ei gyfansoddi. Maent yn ei alw yn hylif trydanol, (*electric fluid*), ond pa beth yw hwnw, sydd anhawdd ei egluro. Modd bynag, bwriadwn wneyd cynyg i daflu goleuni ar y sylwedd hwn. Dichon na fyddwch yn cytuno â mi yn mhob peth, ond ceisiwn ddyweyd ein meddwl yn syml ac eglur. Mae llawer wedi ei ysgrifenu ar y mater, fel y mae yn hysbys i chwi, ond ar ol darllen cyfrolau ar ol cyfrolau, nid ydys yn gallu treiddio nemawr i athroniaeth trydaniaeth; er hyny gwyr pob dyn rywbeth am ei effeithiau. Mae athronwyr hen a diweddar wedi gwneyd arbrawfiadau, ac wedi darganfod rai teithi newyddion yn barhaus. Heb aros i egluro amrywiaeth agweddion ac effeithiau trydaniaeth, awn rhagom i sylwi fod trydaniaeth yn cael ei ysgogi trwy rwbiad, dirwasgiad, neu wres. Mae gwydr trwy rwbiad yn dyfod yn drydanol, nes y mae yn meddu ar y gallu i atdynu neu wrthdaro cyrph bychain ysgafn, bob yn ail. Mae cyrph eraill yn dyfod yn drydanol wrth eu cymhwyso at sylweddau fyddo wedi eu hysgogi eisioes, nes y byddant yn ddigon cryf i danio rhai gwirodydd, megys *spirits of wine*, a sylweddau hylosgawl eraill. Wrth gyffwrdd a *tube glass* â nodwydd a'r bys, teimlir (heblaw y gwreichion a welir) frathiad ar rai amgylchiadau, nes y byddo yn cynhyrfu yr holl gyfansoddiad. Heblaw gwydr, y mae sylweddau eraill, megys cwyr, *sealing wax*, ac ufelai, *sulphur, amber*, &c., yn dyfod yn drydanol trwy rwbiad. Ond nid yw pob sylwedd yn meddu ar y gallu hwn, i'r un graddau a'r rhai a nodwyd. Mae sylweddau eraill, er eu rhwbio, nad ydynt yn dangos fawr o effaith drydanol, ond pe gosodid hwynt i gyffwrdd a'r cyntaf a nodwyd, deuant hwythau yn drydanol hefyd. Felly gwelir fod dau ddosbarth o sylweddau, sef y rhai sydd yn dyfod yn drydanol wrth rwbiad, a'r rhai sydd yn dyfod yn drydanol trwy gyffyrddiad. Mae y gwahaniaeth sydd rhwng y gwahanol sylweddau hyn, yn deilwng o sylw; mae un yn dyfod yn drydanol wrth rwbiad, a'r llall wrth gyffyrddiad. Mae meteloedd yn perthyn i'r dosbarth olaf, megys *wires* wrth eu cysylltu, yn arwain trydaniaeth i bellder daear. Mae dwfr hefyd yn sylwedd ag sydd yn dyfod yn drydanol wrth gyffwrdd ag ef. Gwneir rhai llynoedd bychain i'r fath

raddau yn drydanol, fel y byddai i ddyn dderbyn ysgydwad cryf, pe gosodai ei fys ynddo.

Erbyn heddyw, y dyb gyffredin yw, mai effeithiau trydaniaeth sydd yn dod i gysylltiad a'r cymylau ryw fodd, yw y mellt a'r taranau. Nid yw y dymestl daranllyd, ond agweddion o drydaniaeth ar radd fawreddog, o'r hyn a wna athronwyr yn eu mân brawfiadau. Erbyn hyn, tybiwyf eich bod yn barod i ofyn pa beth yw y gallu cuddiedig hwn mewn natur, ag sydd yn cynyrchu y fath effeithiau rhyfeddol? Fel y dywedwyd eisioes, mae llawer o athronwyr yn cydnabod eu hanwybodaeth o wir athroniaeth y pwnc. Cydnabyddant oll mae hylif yw, a hwnw yn hylif trydanol. Tybiwyf nad oes angen i ni fyned i ardaloedd dychymyg, i chwilio er cael allan yr hylif teneu hwn, ceir digonedd o hono yn ymyl, ac yn mhob man lle mae nwyfre (*ether*). Yn awr, mae yn angenrheidiol i ni wybod ychydig am natur y sylwedd teneu, treiddgar hwn. Mae yr awyr a anadlwn, yn cyrhaedd i uchder neillduol, sef o 45 i 50 o filldiroedd, mwy neu lai, ond po uchaf y cyrhaedda i fyny, mwyaf teneu yw, ac o'r diwedd y mae yn cwbl ddarfod; eto, nid ydym i dybied fod gwagle hollol tu draw iddo yn yr eangder mawr. Mae pelydrau y goleuni a ymsaetha o'r haul i'r ddaear, yn profi yn eglur fodolaeth rhyw hylif teneu, trwy ba un y mae yn cael ei hyrddio gyda chyflymder melltenaidd. Tebygol mai rhyw sylwedd ysgafn, hydwythol, (*elastic*) o'r natur yma sydd yn cario y goleuni i ni gyda'r cyflymder braidd anghredadwy o dros 21,000 o filldiroedd bob mynyd. Nwyfre, gan hyny, sydd gyfrwng addas i gario y goleuni, a rhydd gynorthwy mawr i ddyfod i wybodaeth o drydaniaeth. Mae awyr wedi ei addasu i gario swn, ac i fwyhau yn mhob cyfeiriad pan symudir y rhwystrau fydd ar ei ffordd; nid yw yr awyr byth yn llonydd, ond pan fyddo ei hydwythedd yn gyffelyb yn mhob man. Pan fyddo ei hydwythedd yn fwy mewn un man na'r man arall, y mae yn eangu yn uniongyrchol. Yr ydym yn canfod hefyd, po fwyaf y dirwasgir awyr, mwyaf oll mae ei hydwythedd yn cynyddu; er engraifft: Cymerwch wn-awyr, yr hwn a deifl belen o blwm gyda chyflymder rhyfeddol, neu'r *air compresser*, yr hwn a wasanaetha yn lle ager, yn mhell o dan y ddaear, pryd nad ellir cael ager yno. Felly hefyd yn y gwrthwyneb, pan y byddo wedi ei deneuo, mae ei hydwythedd yn lleihau yn gyfatebol. Felly ar hydwythedd yr awyr, yn nghyda'i ddwysder, yr ymddibyna cyflymder swn, yr hyn sydd 1142 troedfedd bob eiliad. Pe cynydda hydwythedd awyr, ac i'w ddwysder aros yr un, carid swn yn llawer cyflymach. Yr un peth a gymer le hefyd, pe byddai yn llai dwys, neu yn fwy teneu, os byddai ei hydwythedd i aros yr un. Yn awr, po fwyaf tebyg y byddo unrhyw gyfrwng o ran ei hydwythedd, ac ar yr un pryd yn deneuach ac yn ysgafnach, mwyaf i gyd ei ymsigladau, ac yn foddion trosglwyddiad cyflymach. Fel y mae y goleuni yn cael ei drosglwyddo filoedd o weithiau yn gyflymach na swn, yr ydym yn gwybod mai trwy ymsigliad, (*vibrations*) yn yr awyr, mae swn yn cael ei gario. Mae yn ofynol fod 30 o leiaf o'r ymsigliadau hyn bob eiliad, onide ni fodola digon i gynyrchu swn. Rhwng y 30 a'r 7,500 bob eiliad, y mae swn yn cael ei gynyrchu; os bydd y sigliadau o dan 30, ni ellir cael swn o gwbl, ac os byddant dros 7,500 bob eiliad, neu 8,000, ni ellir cael swn, ond ni ellir cael goleuni os byddant yn llai na tua 8,000 bob eiliad, felly mae cyflymder goleuni filoedd ar filoedd o weithiau yn gyflymach na swn, (un awdwr a ddywed 9,000,000 yn gyflymach—yr hyn sydd yn *amheus iawn*). Dyma y rhesymau sydd yn ein harwain i gredu fod nwyfre (*ether*), yn filoedd o weithiau yn fwy hydwythol (*elastic*), ac yn fwy treiddiol nag awyr, eto o ran ei natur yn debyg i awyr fel defnydd hylifol, ac yn agored i gael ei deneuo a'i ddirwasgu. Dyma y sylwedd sydd genym i egluro holl arddangosiadau trydanol.

Nwyfre (*ether*), sydd sylwedd treiddiol (*subtle*), a thebyg i awyr, ond fel y sylwyd, yn ysgafnach, yn fwy hydwythol (*elastic*), a'i duedd i ymeangu yr un

modd i bob cyfeiriad; felly mor gynted ag y byddo mewn un man yn ystwythach na'r llall, yr hyn sydd yn sicr o gymeryd lle, os bydd yn cael ei ddirwasgu, bydd iddo fwyhau, nes llanw yr holl le o'i amgylch, hyd nes byddo wedi dyfod i'r un gradd o ystwythder (*elasticity*), yna byddant yn gydbwys. Nid yw cydbwysedd *ddim* ond sefyllfa o lonyddwch pan na byddo'r nerthoedd fyddo a'i tuedd i aflonyddu y cydbwysedd yn un man yn fwy na man arall. Cymer yr un peth le ag a gymer le yn yr awyr—y gwynt; diffyg cydbwysedd yn yr awyr sydd bob amser yn cynyrchu gwynt; felly hefyd y mae gyda'r nwyfre, ond yn anghydmarol yn fwy teneu, yn fwy cyflym, ac yn fwy treiddgar y dylifa yr hylif hwn o'r man y byddo yn cael ei ddirwasgu, i'r man lle y byddo yn llai felly. Wedi gosod hyn i lawr fel sylfaen, yr wyf yn hyderus ddyweyd nad yw holl arddangosiadau trydanol, yn amgen na chanlyniadau naturiol o eisiau cydbwysedd yn y nwyfre, fel pa bryd bynag y byddo cydbwysedd wedi ei aflonyddu, bydd arddangosiad trydanol o angenrheidrwydd i gymeryd lle, felly nid yw trydaniaeth ddim yn fwy na llai, nag annhrefn yn nghydbwysedd y nwyfre.

## DYLANWAD ANFFYDDIAETH.

GAN E. M. RICHARDS, GLAN MEULWG, WILKES-BARRE, PA.

"Ac megys nad oedd gymeradwy ganddynt gadw Duw yn eu gwybodaeth, Duw a'u rhoddes hwynt i fyny i feddwl anghymeradwy, i wneuthur y pethau nid oedd weddaidd."—RHUF. i. 28.

Gellir cymwyso y geiriau uchod at gymeriad, arferiad, a dylanwad anghredinwyr. Yn y geiriau uchod, a'r adnodau dilynol, y mae yr Apostol, yn rhoddi desgrifiad ofnadwy o ddylanwad anffyddiaeth. Ni fu erioed yn ffynon un daioni a dedwyddwch, ac ni all chwaith, am ei fod yn groes i'w natur; "A ellir casglu ffigys oddiar ddrain," &c. Y mae anffyddiaeth fel calon dyn, yn ffynonell drygioni, a hyny yn feunyddiol.

Yn gyntaf cawn sylwi ar ddylanwad anffyddiaeth ar anffyddwyr eu hunain. Y mae anffyddwyr wedi dangos mwy o anghydwelediad, a chroes-dyniadau o barthed eu credo, na neb dynion eraill, yr hyn sydd wedi achosi poen dirfawr iddynt. Beth oedd, ac yw eu golygiadau am Dduw? Yr oedd Hobbes yn dysgu fod Duw yn bodoli, ond yr oedd yn amheu hyny pan mewn lle arall yn dywedyd, beth bynag nad oedd fater (*matter*), nid oedd ddim. Blount a ddywedodd fod Duw Anfeidrol yn bod, eto dywed, fod dau Fod Anfeidrol, annibynol. Bolingbroke a ddywedodd ei fod yn fwy naturiol i gredu fod llawer o dduwiau nag un. Voltaire, yr oedd efe yn cyfaddef yn y dechreu fod Duw meidrol, neu derfynol, ond yn y diwedd, a wadodd fodolaeth yr un Duw. Tyndal a ddywedodd bethau tebyg. Toland a dystiolaethodd mai y byd oedd Dduw. Hume, unwaith a dystiodd fod Duw, wedi hyny a wadodd y bod o Dduw, ac wed'yn a ganiatataodd fod Duw. Gyda golwg ar ragluniaeth, llywodraeth, rheolaeth, &c., y byd, dywedodd Blount, fod y byd yn dragywyddol, ac nad wedi ei greu yr oedd. Chubb a ddywedodd nad oedd Duw yn ymyraeth â phethau'r byd o gwbl, ac nad oedd ganddo ddim i'w wneyd a gweithredoedd dynion, pa un ai da ai drwg fyddant. Bolingbroke a ddywedodd mewn un man yn ei weithiau, wedi i Dduw adeiladu peirianwaith y byd, a gosod y peirianwaith i fyny, a phob olwyn i gerdded, a throi yn rheolaidd, nad oedd yn gofalu mwy am dano, na'r peirianydd (*mechanic*) am gloc, ar ol iddo ei ddirwyn i fyny; ond mewn lle arall, tystia fod Rhagluniaeth, nid yn unig yn gofalu am ei chreaduriaid yn unigol, ond yn gasgliadol. Hume a wadodd athrawiaeth Rhagluniaeth, gan ddywedyd, ei bod yn afresymol i gredu fod Duw yn ddoeth a da, tra y gallai y pethau yr ydym ni yn alw yn berffeithrwydd fod yn ffaeleddau. Ar egwyddorion Hume, gall anghyfiawnder, ffolineb, malais, anwiredd, &c., fod yn rhagoriaethau yn y cymeriad Dwyfol. Y mae Blount, Chubb, a Collins, yn tystio nad ydyw dyn ond megys

*machine*, a bod yr enaid yn faterol a marwol. Yr oedd Hume yn cytuno â hwy, ond mewn lle arall efe a ddywed, nad oedd yr enaid yr un fath y fynyd hon, ag oedd y fynyd ddiweddaf; bryd arall, dywedai, nad un peth oedd yr enaid, ond llawer o bethau, a phryd arall tystia nad oedd yr enaid yn ddim o gwbl. Bolingbroke a ddywedodd, nad oedd meddyliau yn ddim mwy na llai, na bod y rhan fewnol o'r dyn yn symud; ac nad oedd cydwybod mewn dyn o gwbl ond celfyddydol; ac nad oedd dyn ond yn rhagori ychydig ar greaduriaid eraill, a byw yn unig yn y byd presenol, a bod yr enaid yn tyfu mewn cyfatebiaeth i'r corph. Y mae anffyddwyr yn sarhau Cristionogion am eu gwahanol gredoau, &c., ond bydded iddynt edrych nes gartref, a chwilio i'r gwahanol farnau ffieiddiaf sydd yn bodoli yn eu mysg eu hunain. Gyda phriodoldeb, y gallwn ddyweyd, na fu yr athronwyr paganaidd erioed yn fwy rhanol yn eu barnau ar y pynciau mwyaf pwysig, na'r anffyddwyr, hyd yn nod anffyddwyr diweddaraf.

II. Dylanwad moesol anffyddiaeth:

Beth yw haeddiant y gyfundrefn bwdr yma, sydd yn honi yn chwyddedig ei bod hi yn dyfod â rhyddid i ddynion, yn lle'r efengyl? A beth yw ei rhyddid? Atebaf:—Rhyddid i ymarfer â phob math o anianolrwydd (*sensuality*) heb ofni y canlyniadau—rhyddid i ddarostwng galluoedd yr enaid i chwantau anifeilaidd—rhyddid i chwerthin am ben ofergoeledd y rhai (meddent) sydd yn ufuddhau, ac ymostwng i orchymynion ac ordinhadau yr efengyl—rhyddid i wawdio y syniad o ddydd barn—rhyddid i ddyweyd nad yw Duw yn talu yr un sylw i fywyd moesol dynion; ac i'r fath raddau a hynyna o iselder y mae yr athrawiaeth ddisail yma wedi cario rhai anffyddwyr. Y mae eu haeriadau beiddgar, hyd yn nod wedi synu rhai o'u canlynwyr ffyddlonaf. Dyma Du Clos, er ei fod yn anffyddiwr, wrth weled yr eithafion yr oedd rhai o honynt wedi myned iddo, a ddywedodd, "Fe fydd i'r dynion hyn ddyweyd cymaint maes o law, nes peri i mi fyned yn grefyddol." Yr oedd eu dywediadau ffiaidd yn myned mor bell, nes peri i rai o honynt eu hunain i'w ffieiddio. Dyna Voltaire, ar ol mynwesu y fath wmredd o bethau anffyddol ar gyflwr dyn, a ysgrifenodd, "Yr wyf yn crynu wrth edrych ar y darlun â dynais, pan ganfyddais ei fod yn cynwys achwyniad yn erbyn Rhagluniaeth; a mawr hoffwn, pe nas ganesid fi." Dyna Lord Herbert, yr awdwr cyntaf ar Ddeistiaeth (*Deism*), a ddywedodd, "I ddyn fynwesu pob chwant, a digofaint; nid yw hyny yn feius, mwy na syched wedi ei achosi gan y dyfrglwyf." Hobbes a ddywedodd, "mai barn dyn yw prawfreol pob dyn, am ddrwg neu dda, a bod gan ddyn hawl i bob peth, a'i fod yn gyfreithlon iddo ei gymeryd os gall." Bolingbroke a ddywedodd, "Mai prif amcan dyn oedd rhyngu bodd ei dueddiadau." Hume a ddywedai, "nad oedd hunan-ymwadiad, a gostyngeiddrwydd yn rhinweddau, ond eu bod yn ddiles a niweidiol!!"

## ANERCHIAD, &c.

GAN Y PARCH. E. MORDDAL EVANS, PARIS, O.

[Parhad.]

X. *Gofalwch am ei amgylchiadau, fel na byddo tylodi yn llethu ei feddwl.* "Canys y mae yr Ysgrythyr yn dywedyd, na chau safn yr ŷch sydd yn dyrnu yr ŷd, ac y mae y gweithiwr yn haeddu ei gyflog."—1 Tim. v. 18.

Syniad cyffredin yw, na ddylai pregethwr gael ond digon i'w fwyta a'i wisgo. Pwy, tybed, sydd i'w gadw mewn afiechyd a henaint? Dywed Paul fod y gweithiwr yn haeddu ei gyflog; nid ei fwyd a'i ddillad, ond ei gyflog. Pan y mae eglwys yn cytuno â gweinidog, ac yn addaw talu iddo, y maent mor gyfiawn iddo ag un arian a dalwyd erioed; eto y mae gan y gweinidog hawl, nid yn unig ar yr hyn a addewir, ond ar yr hyn a ddylid gyfranu. Y dyn sydd yn rhoddi llai na'i allu, y mae mor anonest a'r hwn sydd yn addaw, ac yn gwrthod talu.

Peidiwch chwi, y diaconiaid, byth a dyweyd, nas "gallwch fyned i boced neb." Y mae genych hawl i fyned

i boced aelod o'ch eglwys, os bydd rhywbeth yn ei boced; a'ch dyledswydd chwi yw gwybod fod pob aelod yn rhoddi yn ol ei allu. "Ie, rhoi y gweddill ar ol talu pawb arall." Nage, eithr y blaenffrwyth—fel y mae Duw yn dy lwyddo. Y mae gan Dduw hawl i'r *per centage*, ac nid y *sparings*, ar ol talu pawb. "Ac," meddai rhywun, "a gadael y *store* heb ei thalu?" Ie, a gadael peth o'r *store* heb ei thalu. Y mae Duw trwy weinidogaeth yr efengyl yn porthi dy enaid di, ac y mae porthwr dy enaid mor bwysig a phorthwr dy gorph di. Ni welwyd eglwys gybyddlyd erioed yn llwyddo, ond fe welwyd llawer un yn gwywo ac yn marw.

Y mae'r eglwysi Americanaidd wedi dysgu ffordd *genteel* o ladd eu gweinidogion, "*Let's starve him out,*" meddai'r Yankee, ac y mae y Cymro yn dysgu y wers yn gyflym; ac yn cyfieithu gwers yr Yankee,—"*Ni starfwn e' ma's.*"

Y chwi y diaconiaid sydd i ofalu am fwrdd y gweinidog; y chwi sydd i ofalu am heddwch yr eglwys; y chwi sydd i ddal gwialen dysgybliaeth yn eich llaw, uwchben yr afreolus a'r anwastad; y chwi sydd i ofalu fod eich gweinidog yn gallu cysgu'r nos yn dawel o ran y pethau hyn.

XI. *Byddwch yn yr un man ar ddiwedd y flwyddyn, ag ydych heddyw ar ddydd yr ordeiniad.* "Na'ch sigler yn fuan oddiwrth eich meddwl, ac na'ch cynhyrfer, na chan ysbryd, na chan air, na chan lythyr."—2 Thes. ii. 2.

Yn y ty annhrefnus y mae ymrafaelion. Y mae gwisgoedd carpiog a budron yn awgrymu ty annhrefnus, a phen teulu ymrafaelgar. Lle y bydd dysgybliaeth ar lawr, y mae darfodedigaeth yn nghyfansoddiad yr eglwys, ac y mae ynddi elfenau i ladd gweinidogion. Y mae'r byd anffyddol heddyw yn dal anwadalwch a ffaeleddau pobl grefyddol i fyny fel profion yn erbyn Cristionogaeth. Y mae eglwysi yn ein gwlad, y byddai yn syndod i ddynion ac angylion weled llwyddiant ynddynt, heblaw ffug-lwyddiant, ar gyfrif eu hanwadalwch, eu hymddygiadau tuag at eu gilydd, a thuag at eu gweinidogion, un ar ol y llall.

Y chwi y diaconiaid sydd yn gyfrifol am lawer o bethau. Y mae eich swyddogaeth y fath ag y mae genych allu i dawelu ymrafaelion yn rhwydd, ond i chwi ddeall eich gilydd, a gweithredu yn ol gair Duw, ac nid yn ol mympwy ac uchelgais. Bydd y gymydogaeth yn sicr o gondemnio anghyfiawnder mewn eglwys, a chofia cymydogaeth o genedlaeth i genedlaeth, am ymddygiadau bryntion, lle bynag y byddont; a byddant yn atal-furiau oesol ar ffordd llwyddiant pob gweinidog a ddaw heibio.

Cofiwch chwi y diaconiaid, mai anfynych y mae gweinidog yn gorfod gadael maes ei lafur, pan fydd diaconiaid ei eglwys yn deall eu gilydd, ac yn teimlo fel y dylent tuag ato. Peidiwch a bod yn frysiog i wrando ar y *fault-finders,*—sydd yn gweled bai ar bawb, ond arnynt eu hunain. Anaml y mae ymrafael yn yr eglwys, heb fod rhyw ddiacon segur neu hunanol wrth ei wraidd, neu ei gorn—yn ei borthi yn lle ei fygu a'i ladd.

Yn ei sylwadau ar y Ddiaconiaeth, y mae Dr. Boyd yn rhoddi i ni bortread o sefyllfa llawer o eglwysi Americanaidd. Un o'r dynion goreu a fedd y Bedyddwyr yn America ydyw ef, ac ar ol siarad am y "diacon bydol," y "diacon hunanol," y "diacon 'piniwnog," a'r "diacon segur," fel hyn y dywed am y "*diacon newid gweinidogion.*"

Y mae efe (Mr. Newid Gweinidog) ar y cyntaf yn gyfaill cynes i'r gweinidog bob amser. Y mae yn dotio ar ei bregethau, ac yn diolch i Dduw am fod y fath ddyn wedi ei anfon atynt; a dywed wrth y cyfeillion, fod yr eglwys wedi cael y dyn iawn o'r diwedd. Ond yn fuan y mae pethau yn cyfnewid, daw pregethwr dyeithr heibio; pregetha ychydig bregethau—hen rai, ac wedi eu pregethu ganwaith o'r blaen; ac wedi eu llanw o chwedlau dyddorol, apeliadau dwys, a blodau gwastraffus. Y mae "Mr. Newid Gweinidog," wedi ei wefreiddio, a thystia na chlywodd y fath bregethau erioed. Yn nesaf, de-

chreua godi cynwrf, i'r dyben o wneyd nyth y gweinidog yn anesmwyth. Cerdda o dy i dy, yn mhlith yr aelodau, gan ddyweyd nad oes ganddo ddim yn erbyn y gweinidog, ac na chymerai y byd am wneyd niwed iddo ef na'i deulu, a'i fod yn ei hoffi yn fawr fel dyn, ond nad yw yn ateb lle fel ein heglwys ni. Yn fuan, fuan, y mae yn gwneyd pethau mor annymunol i'r gweinidog, fel y mae y gweinidog yn gorfod gadael maes lle y gallasai wneyd llawer o ddaioni. Ond pan bregethodd y gweinidog newydd ei ychydig bregethau dewisol, cafwyd ei fod mor sych a marw a *mummy;* ac erbyn hyn, y mae'r eglwys yn gweled ei bod wedi cael ei cham-arwain yn druenus.

Fy mrodyr, byddwch yn sefydlog, "ac na'ch sigler" gan bob awel, a phob teimlad. Dylai eich gweinidog wybod pa le yr ydych yn byw, fel y gallo alw am danoch pan fydd eich angen, ac onid yw mewn angen parhaus am danoch?

## GOFYNIAD.

At Olygydd y Wawr.—A fydd i chwi, neu rai o'ch darllenwyr, fod mor garedig a rhoi hysbysrwydd yn nghylch awduraeth yr Emyn, Rhif 757, o gasgliad L. Jones, Treherbert. Mae'n gofus gan y gofynydd weled y penill flynyddau yn ol, yn *Seren Gomer*, neu un o gylchgronau misol y Bedyddwyr yn Nghymru, yn dwyn yr enw, "Alltud Glyn Maelor." Ond clywais ddadl yn ddiweddar ar y mater, a dadleuwyd yn gryf, mai rhyw *Fethodist* oedd yr awdwr. Gair o eglurhad ar y mater trwy y Wawr, a foddlonai,

*Plymouth.* P. R.

### CAIS ODDIWRTH THOMAS CADWGAN JONES, PITTSBURGH, PA.

Yr wyf yn hoffi "Y Wawr," yn fawr ar amryw ystyron. Yn un peth, am yr erthyglau cynwysfawr, cryno, ac i'r pwynt, sydd yn ymddangos yn fisol. Byddai yn ddymunol genyf weled bywgraphiadau o Ioan Emlyn, Nefydd, John Williams, Rhos, (Drefnewydd gynt), a D. R. Stephens, &c. A wna Aneurin Fardd, a Cefni, fy hen gyfaill, fod mor hynaws ac anrhegu darllenwyr y Wawr a byr nodiad o'r enwogion uchod? Byddai yn dderbyniol genyf gael gan fy nghyfaill Ap P. A. Môn roddi ychydig nodiadau o'r Parch. Daniel Jones, Tongwynlas, (Telyn Cymru). Yr oedd yn foneddwr o'r radd flaenaf, dybygwn!

# Barddoniaeth.

### Y TERFYN.

Mae henaint wedi dyfod,
A'i ddrych sy'n hynod wael,
Mae cwysau dyfnion trallod,
Yn llydain uwch yr ael;
Ac ynddynt hwy y claddwyd,
Had gobaith dyddiau f'oes,
O honynt hwy ni chafwyd,
Ond dreiniog gnwd y groes.

R'wyf wedi cyrhaedd henaint—
Llom fangre glan yr aig,
Lle'r aeth ar ffo fy ngheraint,
A chanu'n iach o'm gwraig;
Hen derfyn afon einioes,
A'm hanes yn ei bron,
A rhydd i mi y ddu-loes,
Neu gywair canig lon.

Mae'r *ysgraff* wedi cyrhaedd,
Gorwedda wrth y lan,
A dyg fi i dangnefedd,
Neu ynte, rhydd fi dan
Hyll donau chwyrn yr eigion,
Neu'n iach ar war y lli',
A dianc o'm gwasgfeuon,
A hwylio i fro o fri.

Ond cyn im' adael daear,
Mae golud ffawd yn ffoi,
A melus wtn yn gynar
Yn *wermod* yn ymdroi;
Mae'r nerth oedd i fy mywyd
Ar encil n'awr yn llwyr,
A'r wawrddydd deg a gafwyd
Yn trengu yn yr hwyr.

Ond pan yn gadael einioes
Dreuliedig 'r ochor hon,
A thirio draw mewn eiloes,
'Rol croesi'r echrys don,
A'r cwmwl dua'n oleu—
Ceir cilfach yn y graig,
Ac awel bur y bryniau,
Yn mhell uwch ofnau'r aig.

'Rwyf wedi croesi'r eigion,
Y gwyllt fôr, fu cyhyd

Yn esgor ar amheuon
  I ddofi brwd fy mryd;
Mae'r ffynon fach yn afon,
  A'r maen yn fynydd mawr,
A blodau y "pren almon,"
  Yn hinsawdd nef yn awr.

*Upper Lehigh.* ALWYN TREFOR.

## MAI.

Fe ddaeth tyneraf Fai,
  A'i ber awelon mwyn;
Prydferthwch, swyn, a cherdd,
  Sydd yn mhob gwyrddlas lwyn;
Ddedwyddaf dymor, a'i deleidion chweg,
Ei felus oriau, a'i ddiwrnodau teg.

Yr haul a'i bwyntel aur,
  A'r lloer arianaidd dlos,
Yr awyr las, a'r ser,
  Sy'n paentio grudd y rhos;
A'r awel falmaidd gyda'i bysedd mwyn,
Rydd wisgoedd Mai ar bob ryw faes a llwyn.

Mae bywyd yn mhob chwa
  Rydd awel dyner Mai;
Fel mamaeth dyner, dda,
  Yn gwisgo'r ddaear mae;
O fryn a dol, y wig, a'r gerddi per,
Bendithir hon a cherddi rif y ser.

Yr haul o'i orsedd aur,
  Ar lwyfan awyr las,
A'i fron yn llawn o serch,
  Wasgara fôr ei ras;
Cofleidia'i briod, ei gusanau sydd,
I Mai yn felus, ond melusach fydd.

Anwylaf Fai, wyt deg,
  Ac yn dy degwch di
Mae rhyw ddedwyddwch pur—
  Ei gael ddymunwn i;
Rhyw hedd diderfyn, a phrydferthwch byw,
Yn lloni dyn, a gwenau siriol Duw.

*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

## OAN,

Cyflwynedig i DEWI SANT MORGANS, sef mab i'r PARCH. DAFYDD MORGANS.

'Rwyt Dewi Sant Morgan,
Yn flod'yn tlws gwiwlan;
Ni welwyd o faban,
  Mwy purlan o un.
Dy harddach ni welir,
A'th lonach ni enir,
A mwynach ei natur,
  Un hawddach ei drin.

Mae'th wyneb glan siriol,
A'th lygaid llon bywiol,
Yn denu'n wastadol,
  Bob bachgen a merch,
I hoffi yn wresog,
Dy wenau mwyn serchog,
Nes arnat yn foddog,
  Y rhoddant eu serch.

Mal angel bach fyddi,
Yn ngolwg dy deulu,
Maent beunydd yn hoffi,
  Rhoi cusan i'th fun;
Ni welwyd rhieni,
Yn hoffach o'i Dewi,
Maent yn dy fynwesi
  A chariad sydd gun.

Dymunaf wrth orphen
Fy nghaniad fwyn addien,
It' ddyfod yn seren,
  Ddysgleiriaf o blant;
Yn uchel mewn sylw,
Y delot cyn marw,
Nes byddot mal delw,
  O'r hen Ddewi Sant.

EDWARD HUGHES, (*Ap Maldwyn*).

## PENILLION

Er coffadwriaeth am y Diweddar DAVID CHARLES, yr hwn a fu yn ddiacon yn eglwys Bethesda, ger Oshkosh, Wisconsin.

Rhyw destyn galaru sy'r awrhon,
  Wrth golli duwiolion o'n plith;
Na feier fi weithian am wylo,
  O herwydd 'rwy'n teimlo yn chwith;
Bethesda ga'dd golled annrhaethol,
  Pan 'hedodd Charles dduwiol i'r nef;
'Rwy'n methu er i mi ymorol,
  Gwel'd neb oedd mor dduwiol ag ef.

'R oedd doniau y Nef ynddo'n amlwg,
  Yn gweithio i'r golwg yn hardd,
Fel blodau perlysiau pur lesol,
  'N arogli'n wastadol yn'r ardd
Ei brofiad a'i rodiad oedd rasol,
  A'i dymer oedd nefol o hyd;
Ehedai ar union i'r nefoedd,
  Er gwaethaf helbulon y byd.

Gweddiwr digymar oedd Dafydd,
  Mewn gweddi 'r oedd beunydd yn byw,
Fel Jacob yn Peniel yn ddiau,
  Yn hynod ymdrechai â Duw;
Ymaflai trwy ffydd yn addewid
  Y Duw digyfnewid a'i drefn;
Ei sail oedd yr Iawn o fawr roddiad,
  Am gaffael ymweliad drachefn.

Os gelyn a fyddai 'n ymosod,
  Ac yntau mewn trallod yn troi,
Dadleuai addewid yn union,
  Nes byddai'r gelynion yn ffoi;
"D'wed, wele fi, Iesu anwylaf,"
  Ei ddadl yn benaf oedd hon;
Fe dynai a'i daerni digymar
  Y nefoedd i'r ddaear o'r bron.

THOMAS FOULKES.

### CYFLWYNEDIG

I MR. a MRS. JONES, Sutter Creek, Amador Co., California. Pan oedd y Bardd yn myned heibio eu ty hwy, canfyddodd eu geneth fechan ANNA yn mhlith amryfal flodau yr ardd, yn syllu mor daer ar anian yn ei phrydferthwch gwyrddlesniol, a hithau can lloned ag un o engylesau gardd baradwysaidd y nef.

---

A oes un bardd, rydd ddarlun pur
O Anna (fach yn awr),
Neu ryw ddarfelydd cryf ei nerth,
All ddirnad swyn ei gwawr ?
Sirioli wnai ei gruddiau blydd,
Fel heirddion flodau haf—
Ei gwallt llywethog addurn y'nt,
Ar ben yr eneth fraf.

Ie, bywyd diniweidrwydd chwardd,
Yn llygaid yr un fwyn—
E lonir pawb wrth edrych ar
Ei cheinbryd nefol swyn;
Ail i angyles gwynfa bur,
Yn rhodiaw'n pelmynt gwyrdd—
Ni chred ei thad na'i mam fod un,
Can hardded hon, ei ffyrdd.

Na chwythed corwynt angau erch
Ar blagur pur ei hoes,
Fel y derbynio addysg lawn
Am rinwedd gwaed y Groes;
Ar ol cyrhaeddyd dyddiau hen,
Y nef a fyddo'i rhan,
Fel caffo wobr am ei gwaith,
Uwch ser y bydoedd ban.

D. RHOSYNFARDD MATTHEWS.

*Sutter Creek, California.*

---

### PENILLION

A adroddwyd gan IFOR EBBWY yn mhriodas y Parch. J. F. RICHARDS, Church Hill, a Miss SOPHIA MATTHEWS, Coalburgh.

---

Dau addwyn o dueddiad—mor addas,
Ymroddwch i'ch rhwymiad;
Eich coron fo a'ch cariad,
Yn bur hedd o faith barhad.

Yn yr oes cyd-ddwyn yr iau—a wneloch,
Anwylion, drwy'ch dyddiau;
Anrhydeddus ddestlus ddau,
Di-ing y bo'ch hyd angau.

Boed gwynfyd, hawddfyd a hedd—dedwyddyd,
A dyddiau tangnefedd;
A cheinion nef i'ch anedd,
A rhoed Ion ei rad a'i wedd.

Drwy einioes ddau dirionaf—rhowch iawnder
I'ch undeb anwylaf;
Byw'n enwog heb un anaf—i'ch aros
Nac ar wiw achos y Duw Goruchaf.

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

---

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM MEHEFIN.

*Athraw.*—Mae yn ymddangos fod y doethion hyn yn dra sicr yn eu meddyliau fod y Mab bychan wedi ei eni; eu pwnc hwy oedd gwybod yn *mha le.* Owen, pa fodd y gallasent fod wedi derbyn y wybodaeth sicr hon?

*Owen.*—Gan eu bod hwy yn bobl ddoethion, dichon eu bod yn gwybod fod adeg ymddangosiad y Messiah wedi dyfod, a hyny am fod y deg wythnos a thri-ugain y prophwydai Daniel am danynt wedi dyfod i ben; y deyrnwialen wedi myned o Judah; y llywodraeth wedi myned i ddwylaw y Rhufeiniaid, oddiwrth ba rai y dysgwylient i Grist ddyfod a'u gwaredu.

*Gwilym.*—Y mae yn amheus iawn genyf fi, a oedd y doethion hyn yn gwybod y pethau yna, ond hyn sydd sicr, yn ol tystiolaethau unol haneswyr mor enwog, ac mor foreu a Tacitus, Josephus, a Suetonius, fod dysgwyliad cyffredinol yn y Dwyrain i frenin mawr a rhyfeddol godi o Judea, a phan welsant y seren hon, yr oeddynt yn benderfynol fod y cyfryw wedi ei eni, ac felly eu hymofyniad oedd, *Pa le?*

*Athraw.*—Beth sydd i'w olygu wrth "ei seren ef," Abram Llwyd?

*Abram Llwyd.*—I chi'n gw'bod fod breninoedd yn gwisgo dillad sowjwrs, ac fod ser ar i cote nhw bob tamed bach. Yr o'dd y bobol wedi gwneyd *patrwn* o'r ser o'dd i fod ar got y brenin hyn, ac wedi myn'd i lawr i'r dwyrain iddi dangos hi i'r doethion.

*Athraw.*—O, *pshaw!* Dafydd beth yw dy feddwl di ar hyn?

*Dafydd.*—Y mae rhai yn deall mai angel sydd i'w olygu wrth y seren hon. Y mae eraill yn tybied mai goleuni llachar a ymddangosodd o amgylch y bugeiliaid ydoedd, a'i fod yn ymddangos o bellder mawr yn debyg i seren. Y mae llawer o feddyliau lled-wylltion wedi eu llefaru yn nghylch y seren hon, ond y farn gyffredin yw, mai goleuni a barodd Duw i ymddang-

os yn y ffurfafen ydoedd, gyda'r amcan i arwain y doethion athronyddol a duwiol hyn at orweddle y Mab bychan.

*Athraw.*—Beth oedd natur yr addoliad hwn, Morgan?

*Morgan.*—Y mae y gair addoli yn air lled gryf yn y fan hon. Nid yw yn ymddangos i mi eu bod yn ei addoli fel Duw, ond mai gwarogaeth ddaearol ydoedd. Fel brenin wrth fodd calon Duw yr oeddynt yn edrych arno, ac fel y cyfryw y talent eu parch a'u gwarogaeth iddo.

*Athraw.*—Beth oedd yr achos i Herod a Jerusalem gael eu cyffroi, Ifan Meredydd?

*Ifan Meredydd.*—Magu'r eddigedd o'dd Herod. Yr o'dd e'n meddwl i fod e'n ddigon o frenin i hunan. Ofon colli i swydd o'dd arno fe, ac yr oedd digon o hen *gowards* yn Jerusalem i gydymdeimlo ag ef. Yr o'dd Herod yn gw'bod o'r gore nad o'dd gydag ef un hawl gyfreithlon i'r orsedd, ac yr o'dd hyny yn i hela fe'n waeth ac yn fwy ffyrnig.

*Athraw.*—Da iawn, Ifan. Owen, Pwy oedd yr archoffeiriaid a'r ysgrifenyddion yma?

*Owen.*—Yr archoffeiriaid oedd yn cyflawni gwasanaeth cysegredig y deml, a hwynt-hwy oedd yr athrawon mewn pethau crefyddol dan yr hen oruchwyliaeth. Y Phariseaid oedd ddosbarth arall. Dynion gwybodus yn y gyfraith oedd y rhai hyn, ac arnynt y dibynai y gorchwyl o ysgrifenu copïau o'r gyfraith i'r bobl. Y rhai hyn, gyda'r archoffeiriaid, oedd prif ddynion yr Iuddewon.

*Athraw.*—Gwilym, beth oedd amcan Herod yn gofyn hyn?

*Gwilym.*—Gallesid meddwl mai er mwyn rhoddi gwybodaeth lawn i'r doethion pa le yr oedd y Mab bychan, ond yr oedd amcan arall llawer pwysicach yn ei olwg ef, sef cael gwybod b'le yr oedd, mewn trefn iddo ef allu mabwysiadu mesurau priodol, sicr, ac effeithiol i roddi terfyn ar unwaith ar einioes y Mab bychan, fel ag y cawn yn yr adnodau dilynol yma.

## HANESION CARTREFOL.

### CYMANFA Y BEDYDDWYR CYMREIG YN EFROG NEWYDD.

Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni gyda'r eglwys yn Freedom, Cattaraugus Co., E. N., ar y 6ed, yn cyraedd dros y 10fed o'r mis hwn. Y pregethwyr y tro hwn oeddynt y brodyr Owen F. Parry, Bardwell; John Edred Jones, ac Owen Griffiths, Utica; David Probert, Youngstown, O., a Fred. Evans, Franklin, Pa., y ddau olaf fel dyeithriaid, yn wahoddedig. Y ddau ddiwrnod cyntaf, ni chafwyd ond un bregeth yn yr hwyr. Dydd Gwener, caed cyfarfodydd am ddeg, dau, a chwech. Am ddeg ddydd Sadwrn, cynadledd, a phregethu yn yr hwyr. Dydd Sul, pregethwyd am ddeg, dau, a chwech; am ddeg a dau, gan ddau; ac yn yr hwyr, gan dri.

Ddydd Gwener yn y boreu, am naw, o flaen y pregethu a nodwyd, cynaliwyd cwrdd gweddi cyffredinol, i ddeisyf am fendith yr Arglwydd ar y Gymanfa. Yn y gynadledd ddydd Sadwrn, ymdriniwyd â materion perthynol i eglwysi y cylch, a rhai pethau o natur mwy cyffredinol. Yn mhlith pethau eraill, etholwyd y Parch. W. M. Evans, Cattaraugus, yn llywydd y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol, a'r brawd Owen Griffiths, Utica, yn ysgrifenydd.

Rhoddwyd gwahoddiad unol a brwdfrydig i'r brodyr dyeithr, David Probert a Fred. Evans, i gymeryd rhan yn ngweithrediadau y gynadledd. Darllenwyd llythyrau oddiwrth yr eglwysi, ar y cyfan yn foddhaus.

1. *Penderfynwyd*, Fod y Gymanfa hon i gael ei chynal yn flynyddol, yn rheolaidd, yn ei chylch fel arferol.

Wedi peth ymddyddan yn bleidiol i'r cyhoeddiad misol,

2. *Penderfynwyd*, Ein bod fel Cymanfa yn datgan ein boddlonrwydd yn y Wawr, yn ei dygiad allan yn brydlon, ac yn ei chynyrchion galluog a dyddorol, a'n bod yn taer anog pob Bedyddiwr Cymreig trwy yr eglwysi, i

wneyd ei oreu dros ledaeniad y WAWR, a thaliad rheolaidd am dani.

3. *Penderfynwyd*, Fod y brawd Owen Griffiths i ysgrifenu llythyr y Gymanfa at yr eglwysi am y flwyddyn ddyfodol.

Yn mhlith pethau eraill, siaradwyd yn selog tros fod yr eglwysi yn ymdrechgar i gadw y Gymanfa Gymreig hon yn fyw, am fod bodolaeth, lles, a llwyddiant yr enwad yn y cylch, yn dibynu llawer ar hyny, &c.

Yr oedd y Gymanfa yn Cattaraugus eleni, ar y cyfan, yn un dra llewyrchus a phoblogaidd. Y dystiolaeth gyffredinol oedd, fod y pregethau yn rymus, efengylaidd, a gwlithog. Peth mynych yn yr oedfaon oedd gweled llawer grudd wlyb, o dan effeithiau y gair. Nid amheuwn na fydd y Gymanfa hon yn lles i'r ardal, yn adfywiad i'r eglwysi perthynol iddi, ac hyderir, yn foddion dychweliad eneidiau at y Gwaredwr.

Yn niwedd y cwrdd nos Sabbath, cyfeiriodd y brawd Evans, y gweinidog, yn effeithiol at yr hen frodyr anwyl, William Owen, Pittsburgh, a William Morgan, Pottsville, y rhai a arferent fynychu y Gymanfa, ond ydynt yn awr yn derbyn eu gwobr. Nodai fod un o'r un dosbarth a hwy gyda ni eto, sef yr hybarch David Probert, Youngstown, a bod yn dda genym ei weled gyda ni eleni.

Nos Lun canlynol, traddododd y Parch. Fred. Evans, ei ddarlith boblogaidd ar "Ddynion Od," yr elw i fyned at wasanaeth yr eglwys. Da oedd genym weled y Parch. W. M. Evans, yn ymddangos mor gysurus yn ei faes newydd. Gobeithiwn y bydd ei iechyd yn gwella yn fuan. Mae ganddo faes pwysig a manteisiol i wneyd daioni. Rhifa yr eglwys dan ei ofal ddau gant o aelodau. Mae yma bobl garedig yn ddiau i lafurio yn eu plith. Yr oedd y caredigrwydd a'r lletygarwch mawr a ddangoswyd i ddyeithriaid, pregethwyr, a chenadon yn y Gymanfa hon, fel bob amser, yn brawf ymarferol o hyny.

OWEN GRIFFITHS, *Ysg.*

CYMANFA Y BEDYDDWYR YN WISCONSIN.

Cynaliwyd y Gymanfa uchod yn Dodgeville, Swydd Iowa, Wis., gyda'r eglwysi yn Oshkosh, Berlin, Springwater, Ridgeway, Salem-y-Coed, Picatonica, a Braidwood, Ill., yn dechreu Mehefin 1af, ac yn terfynu Mehefin 3ydd. Neillduwyd y brawd T. Holland, yn Gadeirydd, a'r brawd R. C. Owen, yn Ysgrifenydd. Cafwyd fod cynrycholiad yr eglwysi yn gyflawn, oddieithr yr eglwys yn Braidwood, llythyr yr hon a ddarllenwyd, ac a gafodd gymeradwyaeth y gynadledd. Darllenwyd y llythyrau eraill at y Gymanfa, yn y rhai y cafodd y gynadledd foddlonrwydd mawr, am fod heddwch a thangnefedd yn bersawrus yn eu plith, yr hyn sy'n brawf eu bod yn "rhodio wrth yr un rheol, ac yn synied yr un peth," yn ol rheol auraidd y Testament Newydd. Cafodd y brodyr Samuel Thomas, o Ohio, a B. James, gynt o Summit Hill, Pa., gyd-eistedd yn ein cynadledd ar sail eu llythyrau o gymeradwyaeth. Yn mhlith pethau eraill, penderfynwyd, Ein bod yn mawr gymeradwyo ein misolyn, sef y WAWR, yn cynwys gwarogaeth o barch i'w olygydd parchus a galluog. Ymrwymasom oll i'w phleidio oddigerth un; a'r un hwnw, ("megys yr oedd yn y dechreu, felly y mae yr awrhon,") yn rhyw "Feros," am atal ei gynorthwy oddi wrthi, heb fod ganddo un rheswm da dros ei ymddygiad, namyn cenfigen at y golygydd. Ymdrechwyd ei ddarbwyllo i synwyr cyffredin, ond y cyfan yn ofer, am ba herwydd, tybiodd yr Ysgrifenydd y dylid ei anfon i'r *asylum* i'w groesholi, a'i ddwyn i ddeall ei ddwlni,

**Wed'yn y WAWR, dd'wed un Wi,**
**Ddyfalach er ei foli.**

Anogwyd yr eglwysi i ffyddlondeb a gweithgarwch o'i phlaid, ac i gyd-ymdrechu dros ei chylchrediad, drwy ohebu iddi, ei dosbarthu, a thalu yn brydlon am dani, er lles i'r enwad, ac er cysur a dyddanwch i feddwl ei golygydd ffyddlon a didwyll.

Y MODDION CYHOEDDUS.

Am 6 yr hwyr, y dydd cyntaf, preg-

ethodd y brawd William Jones, Ridgeway; am 6 yn hwyr yr ail ddydd, pregethodd y brodyr Robert Evans, Pine River, a Fred. Evans, Franklin, Pa. Am 9, boreu Sabboth, cwrdd gweddio; am 10, pregethodd y brodyr Samuel Thomas, diweddar o Dawn, Mo., a Fred Evans. Am 2, pregethodd y brodyr John Evans, Oshkosh, a Fred. Evans. Am 6 yn yr hwyr, pregethodd y brodyr William Jones, Ridgeway, a Fred. Evans (Ednyfed). Cafwyd Cymanfa lewyrchus, a'r pregethau oll yn canol-bwyntio er dwyn yr eglwysi i fwy o weithgarwch Cristionogol.

Had nefol hauodd Ednyfed bywiol
Mewn bywyd egined;
Os ânt fawr, y saint a fed,
O noddfa y grawn addfed.

Penderfynwyd fod y Gymanfa am 1877 i gael ei chynal yn Berlin a Pine River, yr amser i'w benodi gan yr eglwysi yn y lleoedd soniedig.

Wele daflen y gweithrediadau, yn nghyd a'r cyfnewidiadau a fu yn yr eglwysi er y Gymanfa o'r blaen, fel y daeth i law yr Ysgrifenydd:—

| Eglwysi. | Gweinidogion. | Bedyddiwyd. | Adlerwyd. | Bu Farw. | Diarddelwyd. | Gollyngwyd. | Der. tr. Lythyrau. | Rhif yr Aelodau. | Ysgolheigion. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Salem, Oshkosh | John Evans . . | | 2 | 2 | 2 | | | 28 | 36 |
| Berlin . . . | Robert Evans . | | 2 | | | | 1 | 14 | 25 |
| Springwater . . | Robert Evans . | | | | | | | 9 | 12 |
| Ridgeway . . . | William Jones . | | 2 | | | 1 | | 48 | 40 |
| Salem y Coed . | J. Holland . . | | | | | | | 12 | 25 |
| Picatonica . . | Hugh Hughes . | | 1 | | | | | 13 | 15 |
| Braidwood . . | E. A. Williams. | | | | | | | 17 | 30 |
| Sardis, Dodgev. | T. Holland . . | | | | | | | 32 | 15 |
| Cylanswm | . . . . . | | 7 | 2 | 2 | 1 | 1 | 173 | 199 |

Mae casgliadau arianol yr eglwysi yn gyfyngedig i'r Gynadledd.

Yr eiddoch, TREBOR.

GWELL NA'R DYSGWYLIAD.

Yr oedd diwedd blwyddyn gyllidol Undeb Cenadol y Bedyddwyr Americaidd, Mawrth 31ain, 1877, yn cael ei ddysgwyl gyda phryder poenus gan swyddwyr a chyfeillion y gymdeithas. Ofnid y byddai diffyg dirfawr yn cael ei ychwanegu at ddyled y flwyddyn ddiweddaf, yr hwn a wnai faich na fedrai yr Undeb mo'i ddwyn, ac ar yr un pryd gyfarfod â threulion y flwyddyn bresenol, 1877—78.

Yn ystod yr holl flwyddyn ddiweddaf, o fis i fis, yr oedd lleihad yn y derbyniadau, wrth eu cymharu â rhai cyferbyniol yn y flwyddyn flaenorol. Ystyrid hyn yn ganlyniad yr "amser caled." Pan ddaeth mis Mawrth i mewn, y tymor, pryd mae mwy na haner y tanysgrifiadau yn dod i mewn, ni allasai y mwyaf gobeithiol ddysgwyl mwy na deugain neu bump a deugain mil o ddoleri cyn diwedd y flwyddyn. Cwyno oblegid yr amser caled oedd i'w glywed oddiwrth yr eglwysi yn gyffredinol trwy y wlad, pan yn cael eu cymell i gyfranu at genadaethau tramor. Atebai rhai na fedrent wneyd dim modd bynag dros yr Undeb, ac eraill a ddywedent, y byddai eu cyfraniadau yn llawer llai na blynyddoedd blaenorol.

Yr holl dderbyniadau yn Mawrth, 1876, oeddynt $67,400.36, a'r rhai yn Mawrth, 1877, ni ellid dysgwyl iddynt fod yn debyg i'r rhai yn 1876; ond er syndod a llawenydd pawb, yn niwedd y mis, pan yr oedd y drysorfa yn cael ei chau i fynu, yr oedd ynddi $75,687.42. Cynydd o $8,287.06 ar y flwyddyn flaenorol.

Ceryddwyd ein hofnau a'n hanghrediniaeth, meddai pawb. Ond gyda hyn oll, nid oedd holl dreulion y flwyddyn ddiweddaf yn cael en cyfarfod yn llawn. Yr oedd diffyg o $17,225.34. Gwelir fod $92,912.76 yn angenrheidiol i gyfarfod â threulion y flwyddyn sydd newydd derfynu, ar wahan oddiwrth yr hen ddyled o dros $30,000.

Os ychwanegwn y diffyg newydd o dros $17,000 at yr hen ddyled, bydd gan yr Undeb i'w ddwyn y flwyddyn hon faich o dros $47,000. Ond mae

rhai addewidion haelfrydig wedi eu gwneuthur yn barod tuag at y diffyg, ar yr amod fod darpariaeth yn cael ei gwneyd at yr holl ddyled.

---

*Dawn, Mo.*—Mehefin 12fed. Mae ein heglwys yn llewyrchus ac yn obeithiol iawn, llawer ar y drws i ddyfod i mewn, o hen ac ieuainc, a rhai oddiwrth yr Annibynwyr. Mae yn wanwyn gwlyb, diweddar, ac annymunol iawn. Nid yw y corn i mewn i gyd eto. Tyfa y gwenith yn gyflym iawn, ond mae llawer o hono wedi troi yn efrau. Mwynheir iechyd da gan ddyn ac anifail. Canmolir y WAWR yn fawr gan ei derbynwyr, a'u dymuniad oll yw, am iddi barhau i lwyddo.—*Hugh Tudor.*

---

## *BEDYDDIADAU.*

*Parsons, Mai 20fed.*—Bedyddiwyd pedwar o frodyr ac un chwaer, gan y Parch. D. T. Phillips. Hefyd, Meh. 17, dwy chwaer, gan yr un gweinydd-ydd. Adferwyd pedwar, a derbyniwyd un trwy lythyr. Y mae'r achos goreu ar ei gynydd yma yn barhaus.

*Taylorville, Meh. 10fed.*—Cawsom yr hyfrydwch o weled ein gweinidog, y Parch. D. Rhoslyn Davies, yn arwain dau i'r dyfrllyd fedd, yn ol gorchymyn ac esiampl y Blaenor mawr.

*Audenried, Meh. 3ydd.*—Y mae genym yr hyfrydwch a'r pleser o'ch hysbysu ein bod wedi cael y fraint o weled ein hanwyl frawd, Mr. Thomas, Mahanoy, yn gweinyddu yr ordinhad o fedydd ar ddwy chwaer mewn oedran teg, ar broffes o'u ffydd yn ein Harglwydd Iesu Grist, yn ngwydd tyrfa fawr o edrychwyr. O, ïe, y mae genym y fraint o'ch hysbysu, fod ein parchus frawd, Mr. Owen James, yn llanw ein areithfa am ystod ei *vacation* yn yr ysgol, ac yr ydym yn credu fod Duw yn gwenu ar ei lafur, oblegid y mae afradloniaid yn dychwelyd adref, a'r capel yn llawn o wrandawyr bob Sabboth.—*Brawd.*

*Swydd Clay, Iowa.*—Mae genym fel eglwys achos i lawenhau am fod rhai yn troi eu gwynebau i ymofyn am le yn ein plith. Ar Sul, Mehefin 10ted, cawsom y fraint a'r hyfrydwch o weled ein gweinidog, sef y Parch. J. W. Jones, yn bedyddio dwy chwaer ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw. Mae un eto o flaen yr eglwys yn aros am yr un fraint. Yn y prydnawn, cyfarfyddwyd yn y capel, a phregethodd y brawd Jones yn Gymraeg a Saesonaeg. Yr oedd y capel wedi ei lenwi o wrandawyr, ac arwyddion fod pawb wedi eu boddloni, a Duw yn arddel y genadwri. Cyn gweinyddu y swper, derbyniodd y brawd y ddwy chwaer yn gyflawn aelodau. Da genym allu dyweyd fod y frawdoliaeth yn gynes iawn, ac yn anwylo ei gilydd fel brodyr yn yr Arglwydd.—*T. Evans.*

*Church Hill, O., Mai 20fed, 1877.*—Golygfa hardd ar y "Sulgwyn." Cawsom y fraint o weled wyth yn rhoddi ufudd-dod trwyadl i orchymyn Pen mawr yr Eglwys. Hwy a drochwyd, ac ydynt lawen mewn canlyniad; a ni hyderwn eu bod wedi adgyfodi i fyw buchedd newydd.

Cyflawnodd ein parchus weinidog ei waith gyda rhwyddineb a boddlonrwydd i bawb. Mae cynydd yn yr eglwys hon i'w weled yn amlwg; teimla afradloniaid chwant bwyd, a dychwelant at eu Tad. Adferwyd dau y mis hwn. Llwyddiant fyddo ar y gwirionedd.

*Mai 21ain, 1877.*—Cynaliodd yr eglwys hon wledd o *de* a *bara brith*, er lleihau neu glirio y ddyled arosol ar y capel. Yn yr hwyr cafwyd cyngerdd, pryd y gwasanaethodd Mr. J. Rees, Church Hill, a'i barti; William Jones, Coalburgh, a chôr bach y Shaft, o dan arweiniad Mr. David Rees. Cafwyd canu da iawn. Yr oedd y ty yn llawn, a'r hin mor boeth, nes gwneyd y lle yn anghysurus i ddyn fod ynddo. Teimla yr eglwys yn wir ddiolchgar i'r personau uchod, a'u cynorthwywyr, am fod mor garedig a rhoddi eu gwasanaeth. Cawsom hefyd yn y gyngerdd, ddarluniad byw o'r gwragedd yn gwneyd y *bara brith*, gan y doniol T. ap Davies. Ni wyddis eto pa fodd y mae'r wledd wedi troi allan mewn ystyr arianol;

cewch air eto heb fod yn hir, yn hysbysu hyny. Llwydd i'r WAWR.—*Dewi Mai.*

*Plymouth, Pa.*—Ffyddlawn Olygydd, Y mae yn hoffus genym i hysbysu drwy y WAWR harddwych, fod yr achos da yn symud yn mlaen yn araf yn ein plith o hyd. Sabboth, Mai yr 20fed, bedyddiwyd un, ac adferwyd pedwar; ac arwyddion o'r presenoldeb Dwyfol yn aros yn y cynulliadau. Pob llwydd i'r WAWR, yn nghyd a'i golygydd, a'i holl ddarllenwyr.—*Edward Jenkins.*

*Upper Lehigh, Pa.*—Da genym hysbysu trwy gyfrwng y WAWR, fod achos yr Arglwydd yn llwyddo yn ein plith, trwy fod Seion yn esgor ar ei meibion a'i merched, a'r deyrnas a sefydlodd ein bendigedig Iesu yn y byd, yn cynyddu mewn deiliaid. Am 9, boreu Sabboth, Mai 20fed, ymgasglodd tyrfa luosog o edrychwyr parchus at lan y fedyddfa. Wedi cael anerchiad galluog ar y bedydd Cristionogol, gan y brawd A. J. Morton, cawsom y fraint o weled deuddeg o bersonau ar eu proffes o'u ffydd yn Iesu Grist, yn cael eu claddu ganddo yn ol dull yr apostolion mewn dwfr. Yr oedd y gweinyddiad yn ogoneddus iawn. Canodd y côr tra yr oedd efe yn gweinyddu. Erbyn haner awr wedi deg, yr oedd y capel yn orlawn; ac ar ol pregeth nerthol ac addysgiadol, gweinyddwyd yr ordinhad o swper yr Arglwydd, a derbyniwyd y rhai bedyddiedig i gymundeb yr eglwys, mewn symledd a llawenydd calon. Mae golwg lewyrchus ar yr achos yn bresenol, a'n dymuniad yw, i'r Arglwydd barhau i arddel ei was nes i luaws yn rhagor droi o gyfeiliorni ei ffyrdd. Yr ydym fel eglwys yma yn teimlo colled o herwydd ymadawiad y brawd D. Llewelyn oddiwrthym; am yr ychydig amser y bu gyda ni, ymroddodd o ddifrif i wneuthur daioni, trwy ddysgu yr anllythrenog i ddarllen gair Duw. O herwydd afiechyd, gorfodwyd ef i roddi ei waith heibio, a phenderfynodd ei luosog gyfeillion wneuthur casgliad cyffredinol iddo trwy y gwaith, a llwyddasant yn rhagorol. Yn awr, y mae wedi ymsefydlu yn Wilkesbarre, a bydd yn ddiolchgar am y gefnogaeth leiaf oddiar law y Cymry yno. Yr ydym ni yma yn dymuno llwyddiant iddo, a derbynied y rhai oll a gyfranasant yw gynorthwyo, ei ddiolchgarwch puraf.—*R. Thomas.*

*Lansford.*—Cawsom y fraint o weled tri yn rhoddi ufudd-dod cyflawn i orchymynion pendant Pen mawr yr Eglwys, Sabboth, Mai 20fed. Gweinyddwyd ar yr achlysur yn fedrus gan ein gweinidog, y Parch. D. S. Thomas. Yr oedd llawer wedi dyfod yn nghyd o'r brodyr taenellyddol, yn nghyd â'n cynulleidfa ninau, fel yr oedd y capel yn orlawn o bobl. Gwnaed sylwadau ar ddull a deiliaid bedydd, oddiwrth Rhuf. vi. 3, 4. Cawsom hefyd ystyr y gair "*Baptizo*" ynddo ei hun, yn nghyd a barn dynion enwog ar y pwnc. Yn yr hwyr, gweinyddwyd yr ordinhad arall, sef Swper yr Arglwydd, a derbyniwyd y bedyddiedigion i gyflawn aelodaeth. Derbyniwyd dau afradlon yn ol o'r tir pell, fel yr ychwanegwyd pump at yr eglwys. Y mae pedwar arall o flaen yr eglwys yn ymofyn am le yn ein plith—golwg ddymunol ar yr achos da. I Dduw y byddo'r diolch.—*Bedyddiwr.*

---

## *GANWYD—*

**Ebrill 5ed, 1877, yn Picatonica, Wis., merch i John E. Morris a'i briod. Gelwir ei henw hi Margaret Anna.**

**Ebrill 14eg, 1877, yn Minersville, Pa., merch i William a Lizzie Lloyd. Gelwir hi Mary.**

**Y brydferth fach yn hyn o fyd,**
**Gynyddo'n hardd a theg ei phryd,**
**A bydded iddi ar bob awr,**
**Ddyrchafu clod i'w Cheidwad mawr.**
**AP IEUAN.**

**Ebrill 15eg, 1877, yn New Straitsville, Perry Co., O., dwy ferch i John a Harriet L. Jones. Gelwir hwy yn Susanah ac Emma Elizabeth.**

**Mai 19eg, 1877, yn Sharon, Pa., mab i John P. Davies, Engineer, a'i briod. Gelwir ef yn Thomas John Davies.**

---

## *PRIODWYD—*

**Yn Taylorville, Pa., Mehefin 9, 1877, gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. Jenkin J. Jones a Miss Catherine Thomas, y ddau o'r lle uchod.**

Mai 9fed, 1877, yn Nanticoke, Pa., gan y Parch. J. P. Harries, William Phillips ac Ann Powell, ill dau o Wanamie.

I William a'i Ann anwyl,—eiddunaf
Nawdd Iôn hyd eu noswyl,—
Oes heulawg iawn Sul a gwyl,—byw heb fâr
Yn bur, a hygar ar bob rhyw egwyl.

IEUAN DDU.

Mai 22ain, 1877, yn nhy tad y briodasferch yn Coalburgh, gan yr hybarch D. Probert, Youngstown, yn cael ei gynorthwyo gan y Parchedigion C. Jones, M. A., Coalburgh, a D. Nicholas (Ifor Ebbwy), Youngstown, y Parch. J. F. Richards, gweinidog y Bedyddwyr yn Church Hill, a Miss Sophia Mathews, Coalburgh, merch y Parch. T. Mathews, gweinidog y Bedyddwyr yn Hubbard.

Nid dau heddyw, ond un,
Yn dyst mae'r siriol fodrwy gun.

Boed cariad yn cynyddu byth,
Yn ddilyth rhwng y ddeuddyn;
Dedwyddwch anfesurol fo
Yn dô i'w hoffus fwthyn.

DEWI MAI.

---

## *BU FARW—*

### HERBERT W. EVANS.

Nis gall angau drugarhau, ac ni chymer y bedd ei lwgr-wobrwyo; o ganlyniad, cymerir rhai o ragorolion y ddaear trwy "lyn cysgod angau," ac i borth marwolaeth, a thynir yr adeiliadau corphorol anwylaf i lawr gan weision diwyd y bedd.

Daeth brenin y dychryniadau i'r dyffryn lle y bodola Ashton, neu yn ol ei enw newydd, Lansford. Yma y cymerodd feddiant o eneidiau i'w trosglwyddo i dragywyddoldeb, nad oedd neb a'u hadwaenent yn foddlon i'w waith; wedi hyn aeth yn union i Summit Hill, gan wneyd yr un gorchwyl yno. Pwy oeddent?

Herbert W. Evans, baban tlws ac anwyl Mr. W. ac Ann Evans, gynt o Lanelli, sir Gaerfyrddin, D. C. Ni chafodd yr un bychan ond tua naw diwrnod o glefyd, pryd y rhoddodd angau ryddid i'w enaid trwy offerynoliaeth y *convulsive inflammation*. Wedi cael dwy flynedd a haner yn ngwlad y ddaear, cymerwyd ef i'r baradwys nefol. Bu farw yn Lansford, Pa., Mawrth 6ed, 1877. Claddwyd ef yn Summit Hill, Pa. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd.

### MRS. MARGARET PRICE.

Eto, Ebrill 1af, 1877, yn Lansford, Pa., Mrs. Margaret Price (o *firm* Price, Hall, & Co.), gwraig Mr. Rees T. Price (Price y builder o Brynmawr gynt). Merch ydoedd i John a Gwenllian Jones. Ganwyd hi yn Senny, Defynog, sir Frycheiniog, D. C. Pan yn agos i ugain oed, ymunodd â chrefydd, a chafodd ei bedyddio gan y diweddar Barch. B. Williams (Pembrey), yn Maes y Berllan. Priododd a Mr. Rees T. Price, yn Llanwenarth, Mai 14eg, 1841. Ymsefydlodd y pâr ieuainc yn Blaenafon, wedi hyny buont byw yn Llanelli a Brynmawr. Ymfudasant i America yn 1868. Buont yn byw am ychydig yn Slatington, wedi hyny daethant i'r lle hwn. Yma, felly, y gorphenodd ein chwaer ei gyrfa ddaearol, pan yn 60 mlwydd a haner oed. Ebrill y 4ydd, daearwyd ei gweddillion marwol yn nghladdfa Summit Hill, Pa. Gweinyddwyd gan y Parchedigion D. S. Thomas, D. A. Evans, (A.) Lansford, ac A. J. Morton, Upper Lehigh.

### MRS. ANN JONES.

Eto, yn Summit Hill, Pa., Ebrill 6ed, 1877, yn 69 mlwydd oed, Mrs. Ann Jones, chwaer i Mr. Rees T. Price uchod, a phriod Mr. John R. Jones (y North). Ganwyd hi yn Plwyf Llanynys; enw ei rhieni oedd Thomas a Mary Price. Yn Llandyvale, ger Maes y Berllan, D. C., y treuliodd foreu ei hoes. Ymunodd mewn glan briodas a Mr. John R. Jones, yn Blaenafon, tua deugain mlynedd yn ol. Yr oedd wedi gwisgo Crist am dani yn y bedydd ychydig amser cyn hyny.

Yn 1846, moriasant i'r wlad hon. Buont am beth amser yn Llewelyn, Schuylkill Co.; ond yn Summit Hill, treuliasant y 29 mlynedd diweddaf. Yno y cafodd ei chladdu, y Parch. A. J. Morton a'r ysgrifenydd yn gweinyddu.

Yr oedd y chwiorydd hyn yn aelodau yn eglwys y Bedyddwyr—yn addoli yn Lansford, Pa. Nos Sabboth, Ebrill 15eg, 1877, pregethodd yr ysgrifenydd bregeth goffadwriaethol i'r ddwy chwaer uchod. Pa fath oeddent?

1. Gwragedd oedd yn gwarchod gartref yn dda; gofalus am eu teuluoedd. Er na chawsant godi eu plant eu hunain, eto buont yn famau tyner i amddifaid.

2. Buont fyw yn grefyddol; dilynasant Grist yn y bechadurus a'r odinebus genedlaeth hon. Canwyllau oeddent a gyneuwyd gan yr Ysbryd Glan, a osodwyd nid dan lestr, ond mewn canwyllbren yr eglwys; goleuent yn y gymydogaeth.

3. Cartrefent yn nhy yr Arglwydd. Fel rhai yn cartrefi yno, gofalent am y ty i'w lanhau a'i gynal. Yr oedd glanhau y capel mor bwysig ganddynt hwy a glanhau cartref eu teuluoedd. Cyfranasant lawer i gynal crefydd mewn ystyr arianol yn ystod deugain mlynedd eu haelodaeth; ond er cymaint a roddasant, ni thlodwyd eu teuluoedd (fel y blawd yn y celwrn, a'r olew yn yr ystên) er cyfranu i grefydd—yr oedd awdwr crefydd a rhagluniaeth yn adfendithio. Nid rhoi ar gyfrif cyfeillgarwch, ond ar gyfrif Crist. "Yn gymaint a'i wneuthur i un o rhai hyn, i mi y gwnaethoch." Ac ni bu Crist yn ol o dalu ei addewid? "Pwy bynag a rodda i chwi i'w yfed gwpanaid o ddwfr oer yn fy enw i am eich bod yn perthyn i mi, yn wir meddaf i chwi, ni chyll efe ei wobr." Mae y rhai sydd yn hael egwyddorol felly at ei grefydd, yn cael eu talu yn rhagluniaethol ac ysbrydol.

4. Carent weinidogion Crist er mwyn eu

gwaith, ac nid oedd eu cariad at un yn eu dallu fel nas gwelent werth mewn eraill. Yr oedd llety ac ymborth yn barod i'w groesawi bob amser mewn angen.

5. Crefydd heddychol oedd ganddynt. Ffrwynent eu tafodau rhag rhoi tramgwydd i neb, a pheri cynwrf yn yr eglwys; ni bu raid cael cwrdd eglwys o achos un gynen o'r eiddynt. Er hyn oll, yr oeddent yn ddirodres a difalch; cÂs ganddynt gael eu canmol, ond yr ydym yn nodi y rhinweddau hyn i'r dyben i eraill ei hefelychu. Yn eu marwolaeth cafodd eu gwyr oedranus golled ddiadfer; ond hyderwn y cânt tra yn yr anial wenau adfywiol a chysurawl Duw, ac yn y diwedd wlad well. Mae y byd wedi colli pleidwyr rhinwedd—y Beibl ddarllenwyr cyson, crefydd y rhai oedd yn harddu eu ffyrdd—y Bedyddwyr aelodau selog, a'r frawdoliaeth yn Lansford ffyddloniaid egwyddorol.

Erbyn hyn mae eu cyrph yn pasio trwy *brocess* sydd yn eu hanllygredigaethu, fel y caffo y rhan farwol a'r rhan anfarwol ad-uno yn anllygredig boreu yr adgyfodiad.

Yn awr y maent wedi cyrhaedd bryniau Caersalem; gwelant fod holl droion yr yrfa wedi cyd-weithio er daioni; y maent yn awr yr ochr draw heb friw na braw o dan eu bron, yn gorphwys oddiwrth eu llafur, yn mwynhau eu gwobr Bydded i ninau oll redeg yr yrfa a osodwyd o'n blaen. D. S. THOMAS.

Coded *Seren Cymru* yr hanes uchod.

FRANCIS DAVIES.

Yn Ashland, Pa., Mai 7, 1877, bu farw Francis Davies, ychydig fisoedd yn fyr o fod yn 57 mlwydd oed. Ganwyd ef mewn lle o'r enw Cae-draw, ger Merthyr, D. C., Gorphenaf 31, 1820. Yr oedd yn un o'r lluaws mawr a dreuliant ddyddiau boreu bywyd yn esgeulus a difater. Gwir nad oedd manteision yr Ysgol Sabbothol y pryd hwnw yr hyn ydynt yn awr, eto rhy waelion fel esgusodion ydynt i guddio difaterwch ac esgeulusdod. Yr oedd yn ei ddyddiau boreuol yn dewis pob man o flaen y capel. Yr oedd myned i'r cwrdd yn beth dyeithr iddo; llai fyth feddyliai am yr Ysgol Sul. Fel lluaws o ieuenctyd Cymru uchel-freintiog, yr oedd yn hoff iawn o *gamblio.* Gellir ffurfio barn am gymeriadau pobl ieuainc pe heb glywed rhagor am danynt na'u bod yn hoff iawn o *gamblio.* Gwir fod i'r arferiad hwn ei raddau mewn drygioni a phechod, ond drwg a phechadurus ydyw yr arferiad yn mhob rhan o hono. Gofidus meddwl fod plant rhieni crefyddol yn ymneillduo i hen fynwent Aberdar, o dan leni tywyllion y nos i chwareu *pick and toss,* &c.; ond dyna'r ffaith, er gwarth i grefydd yn Nghymru. Un boreu Sabboth, ar ol bod yn *gamblio* yr oriau a'r arian i ffwrdd, daeth arwr hyn o lith adref, gan edrych yn sŷn a difrifol ar bawb o'i gwmpas. Dichon ei fod wedi deffroi ei gydwybod wrth feddwl am y lleoedd yr oedd ef yn eu mynychu, a'r drwg-weithredoedd yr oedd yn eu harfer pan oedd ei gyfoedion, lawer o honynt, yn cael eu hyrddio i'r farn ar fyr rybudd o'i amgylch ogylch. Yr oedd hyn tua'r flwyddyn 1851, pan oedd y *cholera* wedi braidd anrheithio pob teulu, taraw â dychryn bob calon, ac argraffu gwelwder ar bob grudd. Yn yr amser hwn daeth cyfnewidiad bywyd yn etifeddiaeth i Francis Davies. Dywedodd y boreu Sabboth hwn, na fuasai yn dychwelyd mwyach at y gorchwylion pechadurus o yfed a *gamblio,* ac ni wnaeth ychwaith. Dechreuodd fyned i'r cyfarfodydd, a daeth yn aelod o gymdeithas well. Symudodd yn fuan i Bont-y-pridd, lle y bedyddiwyd ef gan y Parch. Mr. Williams, Trefforest. Oddi yma symudodd i Gwmaman, Aberdar, lle y treuliodd amryw flynyddoedd yn aelod ffyddlon o'r gymdeithas oreu. Wedi hyny symudodd i British Columbia a California, lle y treuliodd yn agos i bedair blynedd. Tuag un-mlynedd-ar-ddeg yn ol daeth i'r lle hwn, ac yma yr arosodd hyd adeg ei farwolaeth.

Ystyrid yr hen frawd yn un o'r hen frodyr *stern,* hyd nes peri i ni feddwl weithiau ei fod *the last of the Puritans.* Yr oedd yn un o'r ffyddloniaid; braidd y buasai cyfarfod na fuasai Francis yno. Yr oedd hefyd yn debyg iawn o fod yno yn brydlon. Cas gan ei enaid oedd dyfod rywbryd i'r cyfarfod. Yr oedd hefyd yn ddyn didderbyn wyneb. Dywedodd ar ei wely angeu, "Dywedwch wrth y brodyr a'r chwiorydd fy mod yn caru cael cwrdd gweddi, ond nid cyfarfod gweddi a dau neu dri ynddo, ond cyfarfod gweddi a'r brodyr a'r chwiorydd i gyd ynddo, os bydd bosibl. Yr oedd hefyd yn gywir a gonest. Yr oedd, fel y dywedai, yn "darfod am byth" â'r person a feddyliai ef oedd "dwyllodrus."

Pan oedd awr ei ymddatodiad yn nesâu, gofynodd yr ysgrifenydd iddo, pa fodd yr oedd yn teimlo yn ngwyneb yr ymadawiad oedd yn bosibl o gymeryd lle yn fuan? Ei atebiad oedd, fod pob peth yn ddiogel—ei fod yn barod i fyned—ei fod yn aros yr alwad. Pan o fewn ychydig fynydau i farw, dywedodd wrth ei fab hynaf, "William, yr wyf fi yn myned; paid a wylo o'm plegid i—mae pob peth yn ddiogel." Yr oedd wedi dymuno llawer am gael gweled ei blant yn eiddo y Gwaredwr mawr; ond aeth i fröydd byd tragywyddol heb gael y fraint fawr hono.

Dydd Mercher, y 9fed o Fai, daeth tyrfa luosog yn nghyd i'w hebrwng i "Fan fechan ei fedd." Rhoddwyd ei weddillion marwol i orwedd yn ymyl eiddo ei hoffus ferch, yn mynwent y dref. Gellir dyweyd am dano yn ngeiriau yr hen Galedfryn:

Ei ruddiau ro'ent arwyddion,—o lesgedd,
Ymlusgai'n ddigalon;
Ai yn wanach yn union,—o'i aelwyd
Ei fwrw a welwyd at farwolion.

Heddwch i'w lwch yn y llanerch lonydd, a'r parch dyladwy i'w goffadwriaeth. Gweinyddwyd yn ei angladd gan L. M. R.

GEORGE D. HOWELLS.

Yn St. Clair, Pa., bu farw George D. Howells, mab i Daniel a Mary Howells, yn 21 ml. ac 8 mis oed. Dydd Iau canlynol ymgynullodd torf luosog i'r angladd. Cludwyd y corph i gapel y Bedyddwyr Cymreig. Pregethwyd ar yr achlysur gan y Parchn. W. D. Thomas, Mahanoy City, a Mr. Planett, o'r lle hwn; ac ar lan y bedd gan y Parchn. J. R. Jones, Minersville; R. Edwards, Pottsville, a'r *Brotherhood* i ba *order* y perthynai yr ymadawedig. Dyma un o'r angladdau mwyaf anrhydeddus a welwyd yn y lle. Canodd côr y Bedyddwyr yn y capel, o'r capel i haner y ffordd i'r gladdfa, ac ar lan y bedd.

Cyn ei farwolaeth, enillodd Georgie enw da iddo ei hun fel ysgolor yn Hinman's Business College, Pottsville, o'r lle y cafodd ei *ddiploma*. Cafodd gi daro yn glaf y dydd y derbyniodd ei *ddiploma*, ac ni fu yn alluog i fyned allan mwyach. Ym mhen pum' wythnos graddiodd mewn coleg, a derbyniodd *ddiploma* a *stamp* y Duwdod arno mewn byd arall. Effeithiol iawn oedd gweled Professor Hinman a'r myfyrwyr yn cerdded o flaen yr *hearse*, yn arwydd o'u serch a'u hanwyldeb tuag at eu cyfaill. Yr oedd holl drigolion yr ardal yn ei garu, a dywedant mai bachgen da a rhinweddol ydoedd.

Cododd ei rieni ef yn dyner, gofalus ac anrhydeddus. Cafodd fanteision helaeth i gyrhaedd dysgeidiaeth, a gwnaeth yntau iawn ddefnydd o honynt. Ergyd chwerw iawn i'r teulu oedd colli George anwyl, a chaled yw clywed eu gruddfanau tor-calonus. Bydded iddynt ymorphwys ar Dduw pob cysur, a dyddanwr pawb mewn galar.

Y mae ysgrifenu cofiant am bersonau weithiau yn orchwyl digon rhwydd a naturiol. Gwneir hyny yn aml ar ddymuniad cyfeillion; ac am nad oedd unrhyw agosrwydd neillduol rhwng yr ymadawedigion â'r ysgrifenwr, noda yn anmhleidiol ac yn ddiduedd, nodweddau eu bywyd. Brydiau eraill y mae y gorchwyl hwn yn un o'r rhai mwyaf anhawdd i'w argymeryd mewn amryw ystyriaethau. Felly y ffaith olaf a wirioneddolir o berthynas i mi. Y mae ceisio ysgrifenu gair am George hoff yn llethu fy nheimladau, yn dryllio fy nghalon, ac yn agor y ffynonau hyny o ddagrau y mae Duw wedi eu gosod yn fy natur. Yn ei ymadawiad collais gyfaill gwir fynwesol. Cynyddodd ein hagosrwydd yn barhaus, a phriodolem fodolaeth ein cyfeillgarwch, yn ogystal a'i gynydd, i debygolrwydd ein tueddiadau, a nodweddion ein cymeriadau Y mae ef wedi dystewi yn yr angau, ond nid heb deimlo cariad cyd-gyfranog rhyngddo ef â Iesu. Ei eiriau olaf a chysegredig oeddynt—"I am so glad that Jesus loves me; yes, Jesus loves even me." Dyma eiriau bendigedig yn adeg bwysig yr ymddatodiad. Teimlodd fod tywyllwch y glyn wedi ei wasgaru, a llusern bywyd tragywyddol yn llewyrchu ar ei lwybr. Teimlodd fod rhyferthwy yr Iorddonen wedi arafu, a buan y teimlodd wedi drylliad y babell ddaearol, fod "ty nid o waith llaw" yn ei feddiant. Ffarweliodd â'r anialwch, a chafodd ei hun yn y Ganaan baradwysaidd, lle y mae pob gwrthddrych yn ogoniant, pob awel yn berarogl, pob ffrwyth yn fywyd, pob anadl yn fawl, a phob teimlad yn gariad. "Na thristewch fel rhai heb obaith genych." Ymdrechwn i sefydlu cymeriadau urddasol i'r "wlad well."

*Athrofa Lewisburg.* T. P. MORGAN.

HENRY LEWIS.

Mai 1af, yn Lansford, Pa., Henry, plentyn tair blwydd oed, i D. H. Lewis a'i briod. Bu yn nychu am rai wythnosau. Claddwyd ef Mai 3ydd yn Summit Hill, Pa. Eto, yn yr un lle, a pherthynol i'r un rhieni,

GRIFFITH JOHN LEWIS,

yn 6 mlwydd a 4 mis oed. Ni fu yn glaf ond tuag wythnos o amser, pryd y terfynodd y *diphtheria* ei ymdaith ddaearol Mai 5ed. Claddwyd ef yn Summit Hill y Llun canlynol, pryd y gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol yn yr angladd hwn a'r un blaenorol gan y Parch. D. S. Thomas, a dangoswyd cydymdeimlad dwys gan yr ardalyddion. Mae angau ynddo ei hunan yn chwerw iawn i gig a gwaed; ond pan y mae yn cymeryd yr unig ddau fachgen o'r teulu mor agos i'w gilydd, pwy na thywalltai ddeigr? Hyderwn y sugna eneidiau y rhieni galarus hyn felus win ysbrydol o'r amgylchiad pruddaidd hwn. D. S. THOMAS.

WINNIE ELIZA JONES.

Yn Russel Gulch, Mai 8, 1877, Winnie Eliza, anwyl ferch fach i Edward ac Eliza Jones, a fu farw o'r *pneumonia* a'r *brain fever*, yn 9 mis oed. Ni fu yr un fach yn glaf ond o ddydd Sadwrn, Mai 5ed hyd yr 8fed, yna gwywodd y blodeuyn prydferth pan yn dechreu ymagor, a diflanodd y seren o'r golwg i oleuo mewn gwlad na fachluda byth mwy. Daearwyd ei gweddillion gan dorf luosog o Gymry a Saeson yn mynwent y lle, ar y 9fed o'r mis. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan Mri. Oar, Potter, a Diacon McKee, yn Saesoneg, a'r ysgrifenydd yn Gymraeg. Yr Arglwydd a gysuro y rhiaint galarus yn eu profedigaeth, yw gweddi

*Central City, Col.* O. M. WILLIAMS.

MARGARET DAVIES.

Mai 19eg, yn Ashland, Pa., bu farw Margaret Davies, gweddw Mr. Francis Davies, yn y 58 flwydd o'i hoedran. Llai na phythefnos ar ol ei phriod yr oedd hithau yn cael ei symud o fyd o amser i'r byd mawr tragywyddol. Ganwyd hi yn Rhyd-y-caer. ger Merthyr, D. C, ar yr 17eg o fis Medi, 1819. Unwyd Francis Davies a hithau mewn glân briodas yn hen eglwys y plwyf, Merthyr, gan y Parch. Thomas Williams, curad, ar y 30ain o fis Medi, 1839. Gwelir y gwahanol fanau lle y bu y teulu yn hanes marwolaeth ei gwr, felly nid oes eisiau ail ddyweyd pethau yn yr hanes hwn eto. Yr oedd yr hen wraig wedi bod yn hir yn wael ei

hiechyd. Pan orfodwyd yr hen wr gan afiechyd i gadw ei wely, nid oedd neb a wnai y tro i weini arno ond yr hen wraig ei hun. Yr hir a'r dyfal weini a gwylio yn ystod ei afiechyd ef a yfodd ei nerth gwanaidd i ffwrdd, fel mai buan iawn y daeth galwad arni hithau i fyned trwy "y dyffryn tywyll garw" i arall fyd i fyw.

Rhoddwyd ei gweddillion marwol i orwedd yn ymyl eiddo ei gwr a'i merch, yno i orphwys mewn gwely oer gwaelod bedd hyd ganiad yr "udgorn mingorn mawr," pan welir

"Dorau beddau y byd
Ar un gair yn agoryd."

Daeth tyrfa luosog eto yn nghyd i'w hebrwng i dy ei hir gartref, i'w gadael, fel y dywedodd y bardd Cymreig:

"Yn mhlith y tawel deulu
Sydd yn y llwch yn llechu,
Heb air o gyfeillachu,
Ond pawb yn esmwyth gysgu
Yn y bedd."

Wrth weled rhoi y tad, y fam a'r ferch, ochr yn ochr yn ngwaelod bedd, fel y dywed y bardd Seisonig, "together, yet alone," gall y meddylgar gael testyn myfyrdod yn y dirfawr wahaniaeth cyd-rhwng y "teulu ar yr aelwyd" a'r "teulu yn y bedd." Priodol iawn y gellir cymwyso iddynt eiriau yr awenyddol Caledfryn:

Wedi am hir dymhorau—in' aros
Yn nhir cysgod angau,
Daw o'r dyfnfedd culfedd cau,
Yn wanwyn arnom ninau.

L. M. R.

## HANESION CYMRU A LLOEGR.

### ATHROFA PONTYPWL.

*Etholiad Llywydd.*—Y mae yn wybodus i'n darllenwyr fod yr hybarch Ddr. Thomas wedi rhoddi ei swydd fel Llywydd yr Athrofa yn Mhontypwl i fyny; a dydd Mercher, Mai 23ain, oedd y dydd penodedig i ethol olynydd iddo yn y gadair dduwinyddol. Dygwyd dau foneddwr yn mlaen fel rhai cymwys i lanw y swydd, sef Mr. W. M. Lewis, M. A., yr Athraw Clasurol, a Mr. T. Williams, B. A., Merthyr.

| | |
|---|---|
| Lewis | 81 |
| Williams | 51 |
| Mwyafrif dros Lewis | 30 |

Yn y *Greal* am Mehefin, ceir y nodion a ganlyn gan y Golygydd:—

I. *Y Wasg Gymreig a'i Dylanwad.*—Yn eisteddiad diweddaf *convocation* Canterbury, cyflwynwyd cofeb gan Henry Edwards, Deon Bangor, yn cynwys cwyn oddiwrtho ef ac amryw o'i frodyr, yn hysbysu fod yr Eglwys Sefydledig yn Nghymru "yn dyoddef colled fawr, oddiwrth y ffaith fod y wasg Gymreig, yr hon sydd yn cario dylanwad mawr ar gorph y boblogaeth, wedi cael ei goddef i syrthio braidd yn hollol i ddwylaw dynion sydd yn adnabyddus elynol i egwyddorion yr eglwys." Dymunent hefyd ar i'r llywydd grefu am sylw "yr Esgobion yn y dywysogaeth, er mwyn lleihau y drwg." Yr ydym yn credu na ddododd y Deon o Fangor erioed ei law wrth gofeb fwy plentynaidd na hon. Diolch iddo am addef dylanwad y wasg Gymreig, a chydnabod y rhan bwysig a gymer Ymneillduwyr gyda llenyddiaeth; ond beth all yr Esgobion wneyd? A ddymunir iddynt ddwyn argraffiad Cymreig o'r *Church Times* a'r *Church Herald?* A ddysgwylir iddynt gyhoeddi anathema uwchben y *Greal*, a chyhoeddiadau eraill, gan eu gosod mewn *Index Expurgatories* fel y gwna y Pab gyda llyfrau sydd yn gâs ganddo? Hyderwn y deil Ymneillduwyr yn gyffredinol, a'r Bedyddwyr yn neillduol, i lafurio gyda'r wasg; ceir drwyddi gyfleusdra ardderchog i drosglwyddo syniadau, i ledaenu gwybodaeth, ac i feithrin rhinwedd a daioni. Y mae y newyddiadur a'r cyhoeddiad misol yn medru eu ffordd i'r lleoedd mwyaf anhygyrch, lle nad yw llais llafaredig plant athrylith braidd byth yn treiddio. Y mae yn werth cael myned i "baradwys y pen a'r inc" fel y gelwid hi gan Gladstone yn ddiweddar, os gellir oddi yno droi cyfeiriad y ffrydiau, a'u dwyn i ffrwythloni anialwch y byd.

II. *Dadgysylltiad.*—Y mae y pwnc hwn yn enill nerth adnewyddol yn barhaus. Y mae y llanw yn dyfod, ac ni bydd gwell llwyddiant ar yr hwn a saif yn ei erbyn, nag a fu ar ymdrechion y ddewr Mrs. Partington, yr hon a geisiai gyda'i hysgubell fechan droi llifeiriant y môr yn ol! Y mae lluaws o gyfarfodydd

wedi eu cynal yn Nghymru yn ddiweddar ar y mater; y mae y Golygydd, o'r Felinfoel, yn dal yn ddiwyd a llwyddianus iawn i ledaenu syniadau cywir am yr Eglwys a'r Wladwriaeth. Ymdrechir mewn rhai manau gau genau areithwyr dadgysylltiad, a cheir hyd yn nod rai Ymneillduwyr llwfr ac eiddil yn erfyn am i ni dewi er mwyn heddwch a chymydogaeth dda. Gwerthfawrogwn y bendithion hyn gymaint a neb, ond ni fynem eu derbyn ar draul dibrisio egwyddorion tragywyddol cyfiawnder. Beth pe buasai Milton, Hampden, Cromwell, &c., wedi tewi rhag cyffroi heddwch a theimladau da? Dylem oll astudio y mater, fel y bo genym reswm i'w roddi i'r neb a ofyno reswm i ni ar y pwnc; ac os cawn fyw am rai blynyddoedd, mae'n ddiau y gofyna llawer am reswm i ni. Bydded i ni ymarfogi â gwybodaeth, gwroldeb, a doethineb.

III. *Bedyddwyr Cymreig America.*—Cawsom bleser nid bychan, wrth edrych dros gynwysiad y WAWR, cyhoeddiad misol prydferth sydd gan ein brodyr dros y Werydd, dan olygiad y llenor medrus O. Griffiths (*Giraldus*), gynt o Abergele. Ceir darlun o Roger Williams ar y wyneb-ddalen. Sylwasom yn neillduol ar ysgrifau mewn ffordd o adolygiad ar lyfr A. J. Morton, ar "Yr elfen Gymreig yn hanes Bedyddwyr Pennsylvania." Gwelir yn amlwg fod Gwyllt Walia wedi dylanwadu yn fawr ar y rhanbarth hon o'r byd, ac y mae llawer o'r derw cadarnaf yn nghoedwig yr Arglwydd yno, wedi tyfu yn mhlanigfa y dywysogaeth. Dalied athrawon Cymru at eu gwaith,—"Y boreu haua dy had, a'r prydnawn nac atal dy law, canys ni wyddost pa un a ffyna, ai hyn yma ai hyn acw, a'i ynte da fyddant ill dau yr un ffunud." Dichon mai mewn cyfandir arall, ac mewn oes arall yr ymddengys ffrwyth yr hyn a hauir yn awr.

H. C. W.

---

*Cymdeithas Genadol y Bedyddwyr.*—Cynaliwyd cyfarfod blynyddol y Gymdeithas hon, eleni, yn neuadd Exeter, yr hon oedd wedi ei gorlenwi â gwrandawyr astud. Cymerwyd y gadair gan Mr. Alderman Barran, A. S., Leeds. Darllenwyd y mynegiad gan y Parch. C. Bailhache, yr hwn a ddengys fod yn Ffrainc yn bresenol fwy o ryddid gwladol i ledaenu yr efengyl; yn Italy y mae ysbryd ymofyn a chwilio difrifol yn mysg y trigolion; yn Norway y mae yr Arglwydd wedi gweithio yn rhagorol; yn ngorsafoedd yr India Orllewinol, er yn dawel, nid yw wedi bod heb fendith; ac yn yr India y mae y rhagolygon yn dra gobeithiol. Yr oedd gwaith mawr wedi ei gyflawni yn nghyfieithad yr Ysgrythyrau gan Dr. Wenger a Mr. Rouse, Calcutta; Mr. Bate, Allahabad; Mr. Ellis, Jessore; a Mr. Carter, Ceylon. Lledaenwyd cant a haner o filoedd o gopïau o'r Beibl gan oruchwylwyr y Gymdeithas; ac yn Italy, drwy garedigrwydd Mr. Rylands, Manchester, yr oedd Mr. Wall wedi lledaenu haner cant o filoedd o gopïau o'r Testament Newydd. Anfonwyd Cenadon newyddion allan i Chefoo, India, glanau Gorllewinol Affrica, Norway, ac Italy. Er galar, bu dau frawd ac un chwaer feirw yn ystod y flwyddyn; dychwelodd dau eraill i'r wlad hon, a phedwar eraill i aros yma am dymor o herwydd afiechyd. Cyfanswm derbyniadau y Gymdeithas am y flwyddyn oeddynt, 38,359p. 6s. 10c., yn dangos cynydd ar dderbyniadau y flwyddyn flaenorol o 4,470p. 17s. 7c.; a chyfanswm y treulion oeddynt, 38,330p. 18s. 10c., yn dangos lleihad ar dreulion y flwyddyn flaenorol o 1,102p. 7s. 5c. Cyfranwyd hefyd 591p. 9s. 1c., at ddyled y Gymdeithas, a 94p. 10s. 2c., at drysorfa y Gweddwon a'r Amddifaid, yr hyn sydd yn gwneyd cynydd y derbyniadau yn ystod y flwyddyn yn 5,156p. 16s. 10c. Y mae y pwyllgor yn apelio yn daer at yr eglwysi am gynydd eleni eto yn eu cyfraniadau. Hyderwn y gwna pob aelod ei ran hyd eithaf ei allu yn y gwaith da hwn.

*Undeb Bedyddwyr Prydain Fawr a'r Iwerddon.*—Yn nghapel Bloomsbury y cynaliwyd cyfarfod cyntaf yr Undeb eleni, o dan lywyddiaeth y Parch. J. T. Brown, Northampton. Darllenwyd

mynegiad calonogol gan yr ysgrifenydd, y Parch. J. H. Millard, B. A., oddiwrth yr hwn y gwelwn fod yn ystod y flwyddyn, ddeugain o eglwysi wedi eu corpholi, pum' deg a phump o gapelau, ac ugain o ysgoldai wedi eu hadeiladu. Gwariwyd mewn cysylltiad â chapelau, fwy o 20,000p. nag a wariwyd yn ystod y flwyddyn flaenorol. Yr oedd anerchiad y llywydd ar "Grist a'i Eglwys," yn wir alluog. Cynaliwyd yr ail gyfarfod yn nghapel *Walworth-road*, lle yr etholwyd Mr. J. Harvey yn drysorydd, a Mr. S. Pattison yn gyfreithiwr anrhydeddus. Hefyd, cydunwyd i anfon deiseb i Dŷ yr Arglwyddi, ar ran dros 3,000 o eglwysi Bedyddiedig, yn condemnio y Mesur Claddfeydd a gynygir gan y llywodraeth. Darllenwyd mynegiad yr *Annuity Fund*, cyfanswm addewidion at yr hon ydynt 52,000p. Pasiwyd penderfyniad mewn cysylltiad â'r cwestiwn Dwyreiniol, a phenderfynwyd anfon dirprwyaeth ar ran yr Undeb i gynadledd tair-blwyddol Cymdeithas Rhyddhad Crefydd.

*Cymdeithas Gyfieithiadol y Bedyddwyr.*—Yn nghapel Bloomsbury hefyd y cynaliwyd cyfarfod blynyddol y Gymdeithas uchod, o dan lywyddiaeth Dr. Underhill, y trysorydd, yr hwn a draddododd anerchiad rhagorol ar waith y Gymdeithas. Siaradwyd gan amryw frodyr ereill ar benderfyniadau yn ffafr y Gymdeithas, ac yr oedd y cyfan yn dangos ei phwysigrwydd a'i gwerthfawredd fel moddion i gael cyfieithiad cywir a gonest o'r gair Dwyfol yn y gwledydd y llafuria ein Cenadon ynddynt. Yn sicr dylai y Gymdeithas hon gael y gefnogaeth flaenaf a gwresocaf, fel y cyfrwng ffyddlonaf sydd yn trosglwyddo gair Duw yn ei burdeb i baganiaid ein byd.

*Cymdeithas Genadol Gartrefol Brydeinig a Gwyddelig y Bedyddwyr.*—Cynaliwyd cyfarfod blynyddol y Gymdeithas hon yn nghapel Bloomsbury. Llywydd, T. Blake, Ysw., A. S., Leominster. Derbyniadau y flwyddyn oeddynt 5,140p. 4s. 8c., ac y mae gweddill mewn llaw o 442p. 7s. Dywedodd y Parch. W. Sampson, Folkestone, y dylasai y derbyniadau gyrhaedd y swm anrhydeddus o 50,000p., yn lle y swm begerllyd o dipyn yn rhagor na 5,000p., sef tua 6½c. yr un yn ol cyfartaledd yr aelodau. Beth a ddywedwn yn ngwyneb hyn?

*Cymdeithas Traethodau y Bedyddwyr.*—Cynaliwyd cyfarfod blynyddol y Gymdeithas hon yn ystafell isaf neuadd Exeter, o dan lywyddiaeth Mr. Alderman Whitehead, Bradford, ac yr oedd cynulliad lluosog yn bresenol. Darllenwyd y mynegiad gan y Parch. J. T. Briscoe, oddiwrth yr hwn y gwelwn fod y Gymdeithas wedi ei sefydlu er's 36 o flynyddau, ac wedi gwneyd cynydd helaeth yn y flwyddyn ddiweddaf. Cyhoeddwyd 36 o draethodau newyddion yn ystod y flwyddyn. Cyfanswm y treulion oeddynt 1,361p. 1s. 11c., yn gadael yn llaw y trysorydd 108p. 15s. 9c.

*Cymdeithas Ddirwestol y Bedyddwyr.*—Ystyriwn y Gymdeithas hon gyda'r bwysicaf o'n Cymdeithasau. Cynaliwyd ei chyfarfod blynyddol eleni yn llyfrfa y Tŷ Cenadol, Heol y Castell, Holborn, o dan lywyddiaeth Mr. J. P. Bacon, y trysorydd. Rhif yr aelodau yw, gweinidogion, 223; swyddogion eglwysig, &c., 263; a myfyrwyr, 110. Y mae yn dda genym fod y Gymdeithas wedi cynyddu yn rhifedi ei haelodau er y flwyddyn ddiweddaf. Yr oedd ei threulion y flwyddyn ddiweddaf ychydig dros 70p. Dymunwn eleni eto ar i ryw frawd yn mhob Cymanfa yn Nghymru alw sylw ati yn ein cynadleddau. Y mae yn amser i holl enwadau Cymru fel un gwr bleidio y Gymdeithas hon a'i chyffelyb. Deffrown!

*Gorchfygiad y Llywodraeth.*—Yn Nhy yr Arglwyddi yn ddiweddar, gorchfygwyd y Llywodraeth ar Fesur y Claddfeydd. Pasiwyd cynygiad Iarll Harrowby, drwy bleidlais o 127 yn erbyn 111, yn caniatau i gyfeillion person ymadawedig adael heibio ffurfwasanaeth yr Eglwys Sefydledig os ewyllysiant. Mewn canlyniad, tynodd y Llywodraeth y mesur yn ol.

Mae y croesaw pendefigaidd i Grant yn parhau yn Llundain a manau eraill.

# NEWYDDION Y MIS.

—Brydnawn yr 20fed o'r mis diweddaf torodd tân echryslawn allan yn St. John, New Brunswick, yr hwn a ddinystriodd fwy na haner y dref, ac a wnaeth 20,000 o bersonau yn ddigartref. Tref borthladdol yw St. John, yn sefyll wrth geg yr afon o'r un enw, a thua 185 o filldiroedd i'r gogledd-orllewin o Halifax. Hi yw prif dref Swydd St. John, ac mae yn lle o gryn bwysigrwydd mewn ystyr fasnachol. Dechreuodd y tân am haner awr wedi dau mewn gweithdy berwedyddion, a chan fod gwynt cryf o'r gogledd-orllewin yn chwythu, ymledodd yn gyflym i'r rhan fasnachol o'r dref, gan ddarostwng ystrydoedd cyfain o adeiladau i ludw. Nid oes un o'r tai cyfanwerthol wedi ei adael, nac ond ychydig o'r tai mânwerthol. Allan o ddeugain o *blocks*, yn sefyll ar tua 200 o erwau yn y rhan hon, nid oes mwy na chwech o adeiladau yn sefyll. Llosgwyd hefyd bron yr oll o'r adeiladau cyhoeddus yn cynwys y Llythyrdy newydd a gyfrifid yn werth $200,000; yr oll o'r banciau oddieithr un; y rhan fwyaf o'r prif westdai, chwareudai, eglwysi, ac ysgolion; yr oll o'r swyddfau newyddiadurol ac yswiriol, a swyddfa bellebrol y Western Union.

—Er nad yw y Rwssiaid wedi croesi y Danube eto, maent yn brysur iawn yn gwneyd pontydd, adgyweirio ffyrdd, &c., fel ag i fod yn barod i symud gyda brys mor fuan ag y cânt orchymyn i groesi. Mae y Rwssiaid a'r Twrciaid wedi codi gwrthgloddiau mawrion ar lanau y Danube, yn rhandir Dobrudja, lle y croesodd y Rwssiaid yn 1828. Y dygwyddiad pwysicaf a gymerodd le yn Asia yn ddiweddar oedd, gwaith y Rwssiaid yn syrthio yn ol o Pennek ac Olti, gyda'r bwriad o grynhoi eu galluoedd i ymosod ar Kars, cyn myned yn mlaen at Erzerum, fel y bwriadent unwaith. Y mae cryn frwydro yn cymeryd lle o amgylch Kars, a hawlia y Tyrciaid fod y Rwssiaid yn cael colledion trymion. Kars oedd prif asgwrn y gynen yn 1855, pryd y cadwodd 15,000 o Dyrciaid feddiant o'r lle am agos i chwe' mis yn erbyn 40,000 o Rwssiaid. Gellir dysgwyl newyddion cyffrous o Asia yn fuan bellach.

Yn ol newyddion diweddarach, mae rhanau o'r fyddin Rwssiaidd wedi croesi y Danube.

—Rhoddir ar ddeall yn awr fod y Weinyddiaeth yn gwneyd darpariadau i ddechreu talu arian bathol yn gynt nag y dysgwylid yn gyffredin. Mae Ysgrifenydd y Trysorlys a'r Arlywydd yn cydsynio yn hollol ar y pwnc. Gwerthwyd yn ddiweddar werth $5,000,000 o wystlon y Llywodraeth, a derbyniwyd aur yn dâl am danynt. Y pwnc mawr ydyw cynyddu swm yr aur yn y drysorfa, fel ag i fod yn barod ar alwad i newid yr arian-nodau. Nid ydyw yr holl arianwyr yn cyd-olygu gyda golwg ar arian fel safon gwerth, ar yr un telerau ag aur; a daw y pwnc o flaen eisteddiad nesaf y Gydgyngorfa. Dadleua pobl y Gorllewin yn gyffredin dros safon arian yn gystal ag aur; ond y mae arianwyr profiadol y Talaethau Dwyreiniol yn gwrthwynebu hyny, o herwydd ansefydlogrwydd pris arian anfathedig.

—Mae croesawiad y Cadfridog Grant yn Lloegr wedi bod yn dra brwdfrydig—pawb yn dangos yr awyddfryd mwyaf i'w anrhydeddu. Rhoddwyd *reception* iddo gan y Llysgenad Pierrepont, yn ei breswylfod yn Llundain. Yr oedd tuag 800 yn bresenol, yn cynwys holl aelodau Cyfringyngor ei Mawrhydi, oddieithr Arglwydd Beaconsfield, yr hwn ydoedd yn glaf. Yr oedd yn bresenol bron yr oll o'r llysgenadon tramor, Mr. John Bright, Mr. Gladstone, nifer mawr o aelodau Parliament, yn nghydag Americaniaid mwyaf cyfrifol Llundain. Mae y Cadfridog Grant yn cael gwahoddiadau yn barhaus i dderbyn caredigrwydd amrywiol bersonau a chorphoriaethau. Hefyd anrhegwyd ef â "rhyddid dinas Llundain" mewn blwch aur, gyda llawer o seremoni.

—Bu farw yn New York yr olaf o'r pedwar brawd a gyfansoddent y *firm* wreiddiol o Harper & Brothers, y cyhoeddwyr enwog, o New York, ar y 29ain o Mai, sef Mr. Fletcher Harper. Efe ydoedd yr ieuengaf o'r pedwar brawd. Ganwyd ef yn Newtown, Long Island, Ion. 31ain, 1806. Tua'r flwyddyn 1850, efe a gynygiodd yr anturiaeth o gyhoeddi "Harper's Magazine," "Harper's Weekly," a "Harper's Bazar," yr hyn a ystyrid gan y brodyr eraill yn anturiaethau peryglus; ond troisant allan y mwyaf buddiol iddynt o'i holl fasnach eang, yn cynyrchu *profit* blynyddol o tua haner miliwn o ddoleri. Yr oedd yn foneddwr ac yn Gristion cydwybodol.

—Edrych yn fygythiol iawn y mae yr awyrgylch politicaidd yn Ffrainc, o herwydd yr anealltwriaeth rhwng MacMahon a Thy y Cynrychiolwyr. Yr oedd eisteddiad y *Chamber of Deputies*, un diwrnod yn ddiweddar, yn un o'r rhai mwyaf cynhyrfus a welwyd erioed, a dysgwylid clywed ergydion a gweled ymladdfa lawlaw. Anfonodd MacMahon genadwri i'r Senedd yn hawlio dadgorfforiad y *Chamber of Deputies*, a'r tebygolrwydd yw, mai hyny a gymer le, ac yr apelir at y wlad drwy etholiad cyffredinol.

—Torodd pont Widcombe, ger Bath, ar y 6ed o'r mis diweddaf, trwy yr hyn y lladdwyd ugain ac yr anafwyd 51 o bersonau—rhai yn farwol. Yr oedd tua 200 o bobl wedi cyraedd gorsaf y rheilffordd er bod yn bresenol mewn arddangosfa amaethyddol. Ar eu gwaith yn gadael y gerbydres, rhuthrodd y bobl ar y bont, yr hon yn ddisymwth a dorodd yn ei chanol, gan eu hyrddio oll i'r dyfnder o 30 troedfedd, i ganol yr Avon, yr hon oedd tua saith troedfedd o ddyfnder. Anfonwyd cychod

yn ddioed o'r lan i achub y rhai byw a chwilio am y cyrff. Pont goed, gul, 30 troedfedd o hyd ydoedd, heb fod wedi cael ei bwriadu i bwysau trwm.

—Pan oedd yr agerlong haiarn, "Saratoga" yn cael ei *launchio* yn ddiweddar, yn yard John Roach, yn Chester, Pa., yr oedd tua 40 o ddynion o tan y llestr, pan ddechreuodd lithro i'r dwfr, y rhai, meddir, na chlywsant y gorchymyn i ddod oddiyno; a'r canlyniad fu i saith o honynt gyfarfod a marwolaeth sydyn a dychrynllyd, a chafodd tri eu hanafu yn dost.

—Bu un o brif ddynion y wlad hon farw yn Lloegr yn ddiweddar, yn mherson Mr. John Lothrop Motley, yr hanesydd enwog, yn dair a thriugain mlwydd oed. Yr oedd yn ddyn nodedig ar lawer o ystyriaethau. Yn ei flynyddau boreuaf, cyfansoddodd lawer o ddarnau barddonol, ond wedi hyny trwy ei ysgrifeniadau hanesyddol yr enilloddd ei boblogrwydd. Flynyddau yn ol anfonwyd ef yn weinidog i Austria, a bu yn cyflawni yr un swydd wedi hyny yn Lloegr. Ar doriad allan y gwrthryfel, safodd yn wrol o blaid ei wlad, ac ysgrifenodd lawer mewn amddiffyniad i achos yr undeb.

—Cadwyd y 30ain o Fai, yn gyffredinol drwy yr holl wlad, yn ddydd gwyl, er coffadwriaeth am y dewrion a gollasant eu bywydau ar faes y gwaed, yn ystod y gwrthryfel diweddar. Pallai gofod i ni fanylu ar hanes y gorymdeithiau lluosog yn y gwahanol ddinasoedd, a'r modd teilwng yr addurnwyd beddau y milwyr â blodau a banerau, ac y traddodwyd anerchiadau i goffadwriaeth amddiffynwyr rhydd-id eu gwlad.

—Gadawodd y *Pacific Mail Steamer* "San Francisco" Panama ar yr 11eg o Fai, gyda 137 o deithwyr, a 150 o swyddogion a morwyr. Yr oedd ei llwyth yn werth tri chwarter miliwn o ddoleri. Ar yr 16eg tarawodd y llestr ar graig guddiedig, a llanwodd yn gyflym. Yr oedd 13 milldir o'r lan. Achubwyd bywydau pawb, ond collodd yr oll o'r teithwyr bron y cwbl a feddent.

—Tarawyd Mount Carmel, Ill., pentref o 3,000 o drigolion, gan gorwynt aruthrol, ar y 4ydd o'r mis diweddaf, gan ladd ac anafu llawer o'r trigolion, dinystrio tai ac eiddo, &c. Sonir am fachgenyn a gariwyd i fyny gan y gwynt uwch ben y tai i'r pellder o haner milldir, ac a osodwyd i lawr heb dderbyn un niwed. Rhyfedd, os gwir, onide?

—Mae dyfeisgarwch yr Yankee wedi profi yn ormod i'r grasshoppers! Adroddir fod un amaethwr pryderus yn Minnesota yn gorchuddio darn ysgwar o haiarn gyda *coal tar*. Llusgir hwn ar draws y cae, a neidia yr hoppers arno er mwyn cael *ride*. Pan gyrhaeddant ben eu siwrnai, methant yn lan a disgyn. Yn y dull hwn sicrheir tua bwsiel o honynt bob tro. Rhoddwyd archeb am bum' tunell o *sheet iron* a llawer iawn o *tar* o Chicago.

—Tarawyd eglwys Babyddol, yn Wieschen, Grand Duchy of Posen, gan fellten, ar ddydd Sul, Mai 27, yn ystod y gwasanaeth. Lladdwyd chwech o bersonau, a niweidiwyd yn dost tua 70.

—Mwydodd Perry Lewis, o Swydd Bradford, Pa., ei ddillad mewn glo-olew, a rhoddodd ei hun ar dân. Yr oedd y poenau yn fwy nag y meddyliodd y buasent, a cheisiodd ddiffodd y fflamau, ond yn aflwyddianus.

—Tra yr ydoedd *tramp* yn taflu ceryg at gerbydres ar y N. Y. Central Railroad, yn agos i Amsterdam, N. Y., tarawyd ef gan agerbeiriant oedd yn myned y ffordd arall, a'r hwn ni welodd, a lladdwyd ef yn y fan.

—Mewn canlyniad i welliant yn nghyfraith y *Savings Banks* yn Nhalaeth New York, nid ydynt i dalu dros 5 y cant o log ar ol y 1af o Gorphenaf hyd nes y bydd ganddynt 15 y cant o *surplus* ar yr holl swm a ymddiriedir i'w gofal.

—Mae Mri. Hook & Hastings, Boston, yn adeiladu organ i'r Cincinnati Music Hall, yr hon a fydd yn un o'r rhai mwyaf yn y byd, ac a fydd y fwyaf yn y wlad hon. Bydd iddi 94 o stops, a 6,189 o bibellau. Costia tua $30,000, ac y mae i gael ei gorphen erbyn Mai, 1878.

—Aeth Ymerawdwr Brazil yn ddiweddar i un o gyfarfodydd "Cymdeithas Americanaidd Ffrainc," ac etholwyd ef yn un o'r deugain o aelodau, yn lle Christian Rafn, o Copenhagen.

—Yn ol y *Christian Intelligencer*, ychwanegwyd at eglwysi Boston, y Sabboth cyntaf o Mai, 2 000 o aelodau, fel ffrwyth llafur Mr. Moody.

—Mae Sophia Frederika Matilda, brenines Holland, wedi marw. Merch ydoedd i William I., o Wurtumburg, a ganwyd hi yn Mehefin, 1818.

—Y mae canlynwyr y gwrthryfelwr Lerdo, yn Mexico, wedi cymeryd tref Acapulco, ac y maent yn herfeiddiol iawn.

—Mae rhodd o $50,000 wedi cael ei gwneyd i Fwrdd y Genadaeth Dramor Bresbyteraidd, gan Mrs. John C. Green, o ddinas New York.

—Mae milwyr Spaen yn Cuba yn ddyoddef yn dost oddiwrth wahanol glefydau. Dal mor ystyfnig ag erioed y mae y gwrthryfelwyr.

—Dywedir fod yn agos i haner y defaid yn California wedi meirw o herwydd y sychder diweddar.

—Mae Alexander Corbet, o Peru, Vt., 82 oed, newydd orphen darllen ei Feibl o Genesis i'r Datguddiad, am y 80fed tro.

# Y WAWR.

CYF. II.] AWST, 1877. [RHIF. 5.

## Y CYMRY A'R LLYDAWIAID.

GAN ANEURIN FARDD.

Y mae y Wasg Americaidd wedi rhoddi cryn ofod yn ddiweddar i ohebiaethau o berthynas i sefyllfa bresenol y Llydawiaid yn eu cyssylltiad a'r Genadaeth Brotestanaidd. Nis gallasai hyn lai na bod yn ddyddorgar, o herwydd y berthynas agos sydd rhwng y Cymry a'r Llydawiaid o ran gwaedoliaeth.

"Esgyrn gwiw o'n hesgyrn ninau,
Cnawd o'n cnawd yw Cymry Ffrainc."

Ar yr un pryd, gellir casglu oddiwrth y cyfan, nad yw y wybodaeth gyffredinol am y rhan y mae y Cymry yn ei gymeryd i gyfranu addysg Ysgrythyrol i'r Llydawiaid, mor helaeth ag y dylai fod. Yn wir, crybwyllir yn rhai o'r gohebiaethau a nodwyd, am enwau, ac amgylchiadau Llydawig, megys pethau hollol newydd a dyeithr, pan mewn gwirionedd, nad yw y cyfryw grybwyllion ond profion mai gwybodaeth yr oes bresenol, o'r hyn sydd wedi ei wneyd yn yr oes a aeth heibio, yw y dyeithraf. Hynyna a'm tueddodd i roddi mynegiad o'r dyddordeb cenedlaethol a gymerodd y Cymry haner can'-mlynedd yn ol yn eu brodyr Llydawig, fel ag i osod mwy o werth ar yr hyn a fynegir am danynt yn awr, yn hytrach na nodi diffygion yn y mynegiadau diweddar. A gan fod y WAWR am Fehefin diweddaf yn taflu ei llewyrch dros ein cyfneseifiaid Brythonawl, mal arwydd gwarantedig o oleuni mwy llachar, ac ernes o ddyddhad mwy ysplenydd ar Lydaw o dan dywyniad Haul Cyfiawnder, tybiais nad oedd cyfrwng priodolach i roddi amlygiad o ymlidiad cyntaf hirnos Babyddol ein brodyr Armoricaidd, na'r WAWR!

Os ymddengys y cenedlaethol mor gryf a'r enwadol yn hyn o ysgrif, tybiaf na fydd hyny yn tynu oddiwrth, ond yn hytrach yn ychwanegu at, ddefnyddioldeb a lledaeniad y WAWR, herwydd y mae hi yn agor ei llygad ar bawb.

Y cais cyntaf tuag at gael yr Ysgrythyrau yn argraffedig yn y Llydawaeg, a wnawd gan Gymdeithas Hynafiaethol Ffrainc at y Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor yn Llundain, trwy lythyr oddiwrth M. de St. Martin, Ysgrifenydd y flaenaf, dyddiedig, Paris, Medi 6ed, 1814. Yn y llythyr hwn, dywedir fod M. Le Gonidec, awdwr grammadeg Llydawig, yn mhlith enwogion Brythonawl eraill, yn aelod o'r Athrofa, ac y gellid yn rhwydd ddwyn allan argraffiad o'r Ysgrythyrau yn yr iaith hono ar draul y Gymdeithas, &c.

Nid yw cofnodion y Feibl Gymdeithas yn rhoddi ar ddeall i ddim gael ei wneyd yn y cyfeiriad hwnw ar y pryd, yn amgen na phenderfyniad, dyddiedig Tach. 21ain, 1814, yn gorchymyn i'r Ysgrifenydd Tramor i gydnabod derbyniad y llythyr oddiwrth Ysgrifenydd Hynafiaethwyr Paris, gan ddiolch am yr hyfforddiad a gynnwysai,

gyda dymuniad am ychwaneg o hyfforddiant ar y pwnc.

Yn gynnar yn y flwyddyn 1819, cyhoeddodd y Parch. John Hughes ei lyfr dysgedig, yr *Horæ Britanicæ*. Y Parch. Thomas Price (Carnhuanawc), wrth ddarllen y gwaith hwn, a darawwyd â syndod, ac a gynhyrfwyd gan frwdfrydedd cenedlgarol ar yr un pryd, pan yn myned dros y darn perthynol i'r Brythoniaid Armoricaidd. Yn ei wresawgrwydd cymmeriadol, efe a ysgrifenodd lythyr yn ddioedi at y Feibl Gymdeithas, dyddiedig Crick-howell, Ebrill 13eg, 1819, yn dymuno sylw neillduol ar yr achos. Yn ei gais, y mae Carnhuanawc yn difynu o'r *Horæ Britanicæ* yr hyn a gynhyrfodd ei ysbryd, a gan fod y darn mor ddyddorol, a Gymreigir i'r Wawr :—

"Y mae yr Ysgrythyrau Santaidd genym yn mhob iaith lafaredig yn yr Ynysoedd Prydeinig. Y mae y *Manawiaid a'r Ysgrythyrau yn nafodiaith yr Ynys fechan hon. Ond nid oes gan Frythoniaid Ffrainc gymmaint a'r Testament Newydd yn eu hiaith hynafol. Nid yw yn ymddangos fod neb yn barod i ymgymmeryd â'r cyfryw waith, oddieithr i ryw Gymry wneyd hyny, ac felly, gwneuthur rhyw ad-daliad yn mhen cynifer o oesau, am lafur Garmon a'i gymdeithion yn ein hynys yn y bedwerydd ganrif."

Nid oes un cofnodiad eto ar lyfrau y Feibl Gymdeithas, nac ychwaith yn mhlith ysgrifau Mr. Price am y llythyr uchod, na'r effaith o'i anfoniad.

Yn rhag-hysbysiad Eisteddfod Powys, a gynnaliwyd yn Hydref 1824, rhoddwyd yn destun traithawd; "The Causes and Extent of the Early Intimacy and Mutual Intercourse between the Armoricans and Britons; and the National Affinity still existing between their Descendants."

Y Parch. John Jenkins (Ivor Ceri), yn gwybod am deimladau Carnhuanawc ar y mater, yn nghyd a'i alluoedd i ysgrifenu ar y testyn, a'i annogai i gystadlu arno, â'r hyn y cydsyniodd yntau, gan fynegi ar yr un pryd fod ymdrechion yn cael eu gwneyd gan Gymreigyddion Aberhonddu i godi trysorfa tuag at gyfieithu yr Ysgrythyrau i'r Llydawaeg.

Ac ychwanegai mewn llythyr, dyddiedig, Crick-howell, Chwefror 7fed, 1824 :—"Efallai y gwnai rhai o'ch Cymdeithasau chwi ein cynnorthwyo. Addawodd gwyr Merthyr Tydfil wneyd hyny wrthyf pan ymwelais a'u Heisteddfod Morganwg, Nos Calan diweddaf. Yr oedd yno rhai telynwyr unrhes rhagorol, ac oddeutu tri chant o lowyr yn rhuo 'Triban Morgan,' a'r 'Ferch o'r Scêr,' &c., fel hen Siluriaid; nid eich canu pennillion chwi, eithr caniadau teg trwyddynt," &c.

Dengys adroddiad y *Cambrian* am Chwefror 14eg, 1824, o gyfarfod Cymreigyddion Aberhonddu yn rhagflaenol i'w Cyfarfod Blyneddol dydd Gwyl Dewi, i Carnhuanawc ddwyn y Llydawiaid ger bron y cyfarfod yn hanesyddol, gyda'r fath hyawdledd, fel oedd adsain ei araeth yn aros dydd yr Wyl yn y cyfryw fodd, fel ag oedd pwnc y Llydawiaid a'u sefyllfa Ysgrythyrol erbyn hyn, wedi dyfod yn bwnc y Dywysogaeth. Gwelir wrth y *Gwyliedydd*, Cyf. II. a Cyf. III., a hefyd *Seren Gomer* am 1824. Yn y gohebiaethau i'r misolion hyn, gwelir mai teimlad cenedlgarol, annibynol i'r enwadol, oedd yn gweithio i gael cyfieithiad o'r Ysgrythyrau i'r Llydawaeg.

Yn y drafodaeth o'r achos, daeth tyb i fodolaeth fod yr enwog Morgan John Rhys, yr hwn oedd wedi marw yn y wlad hon yn 1804, wedi bod yn pregethu i'r Llydawiaid yn eu hiaith eu hunain, ac wedi cyfieithu y Beibl iddynt. Eithr profodd ymchwiliad, na fu ef ond yn unig yn Mharis, ac na wyddai ef ddim o'r Llydawaeg. Y mae ei Farwnad i'r Parch. David Jones, gynt o Benygarn, Pontypool, yr hwn mewn cyssylltiad a'r Parch. Peter Williams, a gyhoeddodd Feibl Cann yn Gymraeg, yn 1790, yn rhoddi goleuni ar y rhan a gymerodd Morgan J. Rhys yn Ffrainc. Gwel Hengoediana, tu dal. 86 :

***Manksmen*, trigolion Ynys Manaw—*Isle of Man*.

"Gyda Williams, gyfaill anwyl,
Ffrynd i'r Cymry er ys talm,
Jones ymdrechodd roddi canwyll
Yn eu llaw i bwyntio'r balm;
Beiblau Cann fydd dyst i'w herbyn,
Os gwrthodant wrando'r gwir,
Nid oes meddyg i'r rhai cyndyn,
Sy'n pechu'n erbyn goleu clir;
Ni feddyliais wrth ymadael
Yn Nghymanfa'r dwyrain dir,*
Byddai 'nghoelbren yn yr ardal
Hon i draethu geiriau'r gwir;
Jones a'i delyn yn y bywyd,
Minau yn mhrif-ddinas Ffrainc,
Yn pregethu cyfraith rhyddid,
Lle mae'r Pab a'i orseddfainc;
Jones, y llynedd gyda'i Feiblau
Yn eu taenu ar hyd y wlad,
Minau 'leni yn eu printio,
I'r dyben i'w cyfranu'n rhad
I dlodion Ffrainc fu'n hir yn dwlu,
Uwch ben crefydd Ladin dlawd,
A'r offeiriaid yn eu twyllo,
I 'ddoli pren yn lle eu Brawd."

Y mae yn ymddangos oddiwrth yr uchod, fod Cymry yn Mharis ar y pryd, o herwydd mai at Feibl Cann yn Gymraeg y cyfeiria. Ond i ddychwelyd at y misolion. Cymerodd y Parch. D. Jones (mab y Parch. Thomas Jones, Caerfyrddin), ran yn nghohebiaethau *Seren Gomer*, o dan yr enw *Dewi Carnac*. Yr oedd ef yn Athraw Coleg Ieithyddol yr Arglwyddes Huntingdon, yn Cheshunt. A gan ei fod ar dalu ymweliad a Ffrainc er mwyn ei iechyd, fe'i awdurdodwyd gan y Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, i ymweled â Llydaw, a gwneuthur ymchwiliad a oedd cyfieithiad o'r Beibl, neu ranau o hono yn iaith Llydaw. Wedi holi dysgedigion, a chwilio prif lyfrgelloedd y deyrnas (herwydd teyrnas oedd y pryd hwnw), ni chafodd ond rhanau o hono yn unig yn gyfieithiedig, a hyny yn mhlith llyfrau Pabaidd. Awdurdodwyd ef hefyd i sicrhau gwasanaeth cyfieithydd, ac arweiniwyd ef at Le Gonidec, fel y cymhwysaf i'r gwaith, yr hwn ddysgawdwr a ymgymerodd a'r gorchwyl.

Yr oedd y Parch. T. Price (Carnhuanawc), y pryd hwn yn ymroi i feistrioli y Llydawaeg. Y prawfleni cyntaf o'r cyfieithiad gan Le Gonidec ar eu dyfodiad trwy y wasg, a ddarllenid ac a gyweirid gan y Parch. D. Jones; eithr ar ol ei farwolaeth, ymddiriedwyd y gorchwyl hwnw i Carnhuanawc.

Argraffwyd mil o gopïau o'r cyfieithiad hwn, eithr o ddiffyg cludyddion a goruchwylwyr addas, bu y mil copïau hyn dros ugain mlynedd cyn cael eu gwasgaru oll yn mhlith y Llydawiaid.

Y fath ddyddordeb oedd Carnhuanawc yn ei gymeryd yn y Llydawiaid, fel y penderfynodd yn haf 1829, ymweled a Llydaw. Yr oedd gohebiaeth helaeth wedi bod rhyngddo â Le Gonidec, a phrif nod ei daith oedd ymweled a'r dysgawdwr hwnw. Yr oedd wedi cael ar ddeall fod yr ieithydd Llydawig wedi gorfod oedi ei gyfieithiad ar yr Hen Destament o ddiffyg meddiannu Geiriadur Lladin a Chymraeg Dr. Davies. Cymerodd Carnhuanawc y Geiriadur hwnw gydag ef, a chroesodd gulfor Lloegr, gan lanio yn St. Malo. Aeth oddiyno i Rennes, Morlaix a Brest, a thrwy orllewinbarth Ffrainc, yn ddeheuol trwy Quimper a Quimperlai i L'Orient, Vannes a Nantes. Gan adael talaeth Bretange trwy Bourgneof, aeth trwy La Vendee, ac wedi ymweled a La Rochelle, Rochefort, a Saintes, trodd yn ddwyreiniol, a chyrhaeddodd Angoulême, lle y cafodd afael ar brif wrthddrych ei ymdaith, Le Gonidec, a gosododd y Geiriadur Lladin a Chymraeg yn ei ddwylaw.

Crybwyllwyd am destun traithodol Eisteddfod Powys, 1824. Dyfarnwyd y wobr i Carnhuanawc. Wedi ei ymweliad â Llydaw, ysgrifenodd ei *Tour through Brittany*, (gwel ei *Literary Remains*), ac ymgorphorodd ei draithawd buddugol yn ei "*Tour*," yr hwn sydd yn cynnwys cymmaint ag sydd ar gael am sefyllfa genedlaethol y Llydawiaid. Gyda golwg ar gyfieithad Le Gonidec, a'r canlyniadau, nis gallwn yn well nag adysgrifio geiriau y diweddar Barch. Thomas Phillips, D. D., Ysgrifenydd y Feibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, o'i Lyfr Jubili, tu dal. 177. Wedi sylwadau a chofnodion arweiniol, y rhai a ddefnyddiasom eisioes, dywed am y cyfieithad:

"Adolygwyd y gwaith gan y Parch. D. Jones, ac wedi ei farwolaeth ef, gan y

*Abertawe.

Parch. T. Price, Crughowel, (yr enwog Carnhuanawc), yr hwn oedd yn hyddysg yn yr iaith. Argraffwyd y Testament Newydd yn 1824; ac er nad oedd yr argraffiad ond mil o nifer, parhaodd am fwy nag ugain mlynedd! o herwydd nad oedd offerynau i'w cael a gymerai y drafferth o'u dosparthu. Pan sefydlodd y cenadon Protestanaidd yn Llydaw, teimlwyd yr angenrheidrwydd am yr Ysgrythyrau, ond buan y gwelwyd fod y cyfieithad, er ei fod ar y cyfan yn dra rhagorol, eto, oblegyd cyfnewidiadau yn yr orgraff, a defnyddiad llawer o eiriau Ffrancaeg, yn annealladwy i'r werin gyffredin.

Wedi gwneyd ei hun yn berffaith adnabyddus o'r iaith, trwy hir breswyliad yn y wlad, cafodd y Parch. J. Jenkins, cenadwr y Bedyddwyr yn Llydaw, bob cefnogaeth i adolygu a diwygio y cyfieithad, a'i wneyd yn ddealladwy i'r bobl. Ar ol cael pob boddlonrwydd yn y cyfieithad, argraffwyd ef yn Brest yn 1847, ar draul y Feibl Gymdeithas, a defnyddiwyd mesurau i'w ledaenu drwy y wlad. Yn y gorchwyl hwn, y mae cenadon y Methodistiaid yn Llydaw, y Parch. J. Williams ac ereill, wedi cydweithio yn ymdrechgar gyda Mr. Jenkins." Yna â yn mlaen i ddangos gwrthwynebiad yr offeiriaid Pabaidd, a'r rwystrau a gyfodasant. Ac er fod tair-blynedd-ar-ugain oddiar pan ysgrifenwyd y geiriau uchod, ychydig iawn y mae y Genadaeth Gymreig yn Llydaw wedi allu ei gyflawni hyd yn hyn, ac y mae yn lled debyg nad yw yr "amser gwell" y crybwylla Dr. Phillips yn niwedd ei ysgrif ar Llydaw, wedi gwawrio eto! "Mae yr Hen Destament mewn ysgrifen yn llyfrgell y Feibl Gymdeithas, yn dysgwyl am amser gwell, ac amgylchiadau mwy annogaethol i'w roddi yn y wasg, er lles miloedd Celtaidd sydd yn preswylio yn Morbihan a Ffinisterre."

Teilwng o hysbysrwydd hefyd yw, pan benderfynodd y Bedyddwyr Cymreig anfon cenadwr i Lydaw yn 1834, yn mherson y Parch. J. Jenkins, iddynt ei anfon i dderbyn hyfforddiadau a chynghorion at ryddfrydig *Vicar y Cwmdu*, yn flaenorol i'w ymadawiad.

Eithr fe achlysurodd y teimlad hwn yn herwydd amddifadrwydd y Llydawiaid o'r Ysgrythyrau yn eu hiaith eu hunain, a'r ymdrechion tuag at gyflawni eu hangenion, adnabyddiaeth a chyfathrach rhwng enwogion llenyddol Cymru ag eiddo Llydaw, fel yr ennynodd gwres Brythonawl y ddwy ganghen Geltaidd yn fflam na ddiffoddodd tra y daliodd anadl y rhai a'u cyneuodd. Yn gydfynedol a hyn, rhoddwyd yn destun traithawd erbyn ail Eisteddfod y Fenni, yr hon a gynaliwyd Tachwedd 1835, yn nghyd a gwobr o bum' gini a thlws gwerth tri gini i'r goreu, ar "Hanes foreuaf Llydaw, hyd yr amser hwn, ei chyflwr moesol a chrefyddol presenol, yn nghyd ag ateb i'r gofyniad canlynol:—A oes angen am anfon cenadau o'r wlad hon i bregethu yr efengyl i'r trigolion?" Un traithawd a dderbyniwyd ar y testun, yr hwn a ystyrid yn un rhagorol ac yn gwbl haeddianol o'r wobr. Ei awdwr oedd Thomas Williams (Gwilym Morganwg). Yr oedd yr awdwr y pryd hwnw yn ei fedd, a chynrychiolid ef yn yr Eisteddfod gan ei fab Taliesin, yr hwn a wisgwyd a'r tlws, ac a gafodd anrheg o dri gini yn ychwanegol at y wobr, gan y cadeirydd, J. J. Guest, Ysw., wedi hyny, Syr J. J. Guest.

Erbyn trydydd Eisteddfod y Fenni, a gynnaliwyd Tachwedd 23 a'r 24, 1836, yr oedd Monsieur Rio (Riew), o Lydaw, yr hwn a breswyliai yr amser hwnw yn swydd Fynwy, wedi ei bennodi yn Llywydd yr Eisteddfod, ond a luddiwyd i fod yn bresennol, a llywyddwyd gan W. Williams, Ysw., Llangibli.

Yn mhumed Eisteddfod y Fenni, a gynnaliwyd Hydref 10 a'r 11, 1838, yr oedd cynnrychiolaeth Lydawig yn bresenol, yn cynnwys y Comte de la Villemarque, a phedwar eraill o bendefigion Llydawig; M. Dumarhallach; M. de Franchville; M. de Jacquelot du Beisrouvroy; ac M. de Mauduir. Yr oedd eu cynnrychiolaeth wedi cael ei ganiatau a'i gymmeradwyo gan ei Fawrhydi y Brenin Louis Phillippe. I ddangos eangder cenedlgarol yr Eisteddfod hono, rhoddwyd yn llwnc destun, heb-

law "Y Cenadon Llydawig,"—"Ein brodyr Cymreig yn America." I ychwanegu at ddyddordeb yr Eisteddfod, traddododd y Comte de la Villemarque y syniadau canlynol yn ei araeth:

"Dwy flynedd yn ol, mi a adalwais yr oll rwymiadau gwaedoliaeth, a llenyddol sydd yn fy uno a'ch tadau. Mi a adroddais ein gwrhydri yn ystod ein ymdrechiadau unol yr amser gynt yn erbyn y Rhufeiniaid, y Saxoniaid, a'r Normaniaid, ac i lawr agos at ein dyddiau ni, a hefyd frwydr fythgofus St. Just, pan oedd y Cymry a'r Llydawiaid, y blaenaf yn myddin y Saeson, a'r olaf yn eiddo y Ffrancod, a adnabuant eu gilydd trwy eu hiaith, ac a wrthodasant ymladd, ond a safasant yn edrychwyr ar y gad, ac ar ol gorphen yr ymdrech, a gofleidiasant eu gilydd, gan ganu rhyfel-gerddi mewn anrhydedd i'w cyndeidiau. Mi a roddais yr holl weithredoedd hyn, a derbyniwyd fy nghibli (*toast*), gyda brwdfrydedd unawl. Y pryd hwnw, mi a yfais iechyd da y Cymry, er yn absenol,—heddyw, pan y meddianwyf y dedwyddwch o fod yn eu plith, mi a yfaf eto, "'I'n brodyr yn Nghymru.'"

Efe a ganodd Gân Lydawig a gyfansoddodd erbyn yr Eisteddfod, gyda dirfawr gymmeradwyaeth, o herwydd oedd y presenolion yn deall llawer o honi pan yn cael ei chanu. Byddai ei chyfleu yma gyda Chymreigiad o honi, yn cymeryd gormod o ofod yn bresenol, ond gellir ei chyflwyno eto i'r adran farddonol os dewisir. Nid yw y mynegiad hwn ond crynodeb tra thalfyredig o'r adroddiadau a'r gohebiaethau cyssylltiedig a'r testun. Ac wrth ei gyflwyno fel hyn, nis gallaf ond galw sylw at y ffeithiau cynnwysedig ynddo, y rhai ydynt yn dra gwahanol mewn egwyddor a dyben, i'r dull presenol o gyfyngu ein sefydliad cenedlaethol, yr Eisteddfod, yn ei dull a'i hamcan i fod yn ddim amgen na difyrwch gwag at ddybenion lleol. Mewn cyfathrach a rhwng gyfnewidiad cenedlaethol, y fath ddirfawr gymhorth a ellid ei estyn i Genadaeth Llydaw yn amgen nag ymddiried y gwaith i bregethiad yr efengyl yn unig, gyda gwasgaru cynyrch y wasg, heb fod mwy o adnabyddiaeth personol nag sydd rhyngom a'r Chineaid!

Bu farw Le Gonidec, ond ni bu farw y parch tuag ato yn mynwesau llenorion cenedlgarol y Fenni, herwydd erbyn eu Heisteddfod, Hydref, 1848, yr oedd deg gini o wobr am y Beddargraff goreu i Le Gonidec. Un o anhebgorion y Bedd-argraff oedd, iddo fod yn ddealladwy i'r Cymry a'r Llydawiaid yn ogystal a'u gilydd, prawf o agos berthynas y ddwy ganghen Geltaidd. Yr awdwr buddugol oedd y Parch. J. Jenkins, cenadwr y Bedyddwyr yno.

Nis gallaf derfynu hyn o frasnodion, heb fynegi fy mod yn gobeithio na welaf eto unrhyw ohebiaeth Gymmreig o Lydaw heb fod yn hollol anenwadol, o herwydd y mae y rhan genedlaethol a gymerodd y Cymry yn yr achos yn hawlio hyny. Yn ngwyneb hyn, rhaid yw i mi fynegi i'm teimlad gael ei ddolurio pan yn darllen gohebiaeth Gymmreig yn ddiweddar oddiyno, megys am sarhau urddas swyddogol Esgob, ond i bob dyn synwyrol, nid oedd ond dangos gwrthuni arwynebol colegau Germani, yn graddio eu hefrydwyr yn Ddoctoriaid Philosophi, cyn dysgu moesgarwch iddynt! Dyma ddywedodd y rhyddfrydig a'r mynwesol Barch. Ddr. Phillips, pan glywodd fod Bywgraffiad Carnhuanawc i'w gyhoeddi: "I have seen with pleasure the announcement of a Memoir of Carnhuanawc, and I sincerely hope that *justice will be done* to his exertions in behalf of Brittany."

Y mae Gomer, golygydd y *Seren*; Geirionydd, golygydd y *Gwladgarwr*; Dewi Cernac, Le Gonidec, Carnhuanawc, Dr. Phillips, Parch. J. Jenkins, ac eraill a gymmerasant ran genedlaethol i Efengyleiddio y Llydawiaid, yn huno yn dawel yn eu beddau, a'u gweithredoedd yn eu canlyn; na ddangosed pleidgarwch na rhagfarn grefyddol eu gwynebau gwenwynllyd, wrth gario allan hyd orpheniad yr hyn a ddechreuasant hwy mor deilwng o'u cymeriadau i roddi,

"Beibl i bawb o bobl y byd."

*New York, Mehefin 20, 1877.*

## GAIR CAREDIG YN YR IAWN BRYD.

CYF. GAN IOTA.

William a Henry oeddynt glercod mewn masnachdy cyfanwerthol mawr. Cyfarfuasent un boreu ar eu ffordd i'r stôr, ac aent yn mlaen yn nghyd. Ar ol siarad am beth amser ar wahanol faterion, cymerodd y gyd-ymddyddan ganlynol le:

"Gyda llaw, William," ebe Henry, "yr wyf yn deall i chwi fod yr hwyr neithiwr yn ——," gan enwi *billiard saloon* adnabyddus.

"Dyna gamgymeriad Henry. Ni fum i erioed mewn *billiard saloon.*"

"Wel, tarawodd y peth fi yn bur ddyeithr pan ei clywais."

"Paham felly?"

"Paham?" ebe Henry mewn syndod. "Paham, oblegid eich bod chwi yn ddyn ieuanc crefyddol, ac yn aelod o'r eglwys."

"A fyddwch chwi un amser yn myned i'r fath leoedd, Henry?"

"O, byddaf; ond mae hyny yn fater hollol wahanol. Gwyddoch nad wyf fi yn proffesu bod yn Gristion."

"A ystyriech chwi yn ddrwg i mi fod yno?"

"Ystyriwn, wrth gwrs."

"Ac yn iawn i chwi?"

"Wel, ie; nid oes un niwed i mi fod yno."

"Paham nad oes?"

"Paham, oblegid—oblegid nid wyf fi yn proffesu bod yn rhwymedig gan yr un cyfrifoldeb ag yr ydych chwi."

"A phwy sydd wedi eich rhyddhau chwi oddiwrth yr un rhwymedigaethau, a'u rhoddi arnaf fi?"

"O, wel, nid yw o un dyben siarad, William, gwyddoch nad yw Cristionogion, ac na ddylent, ymarfer yn yr hyn a ystyriant yn ddifyrwch niweidiol."

"Yn sicr yr wyf fi yn gwybod na ddylent; ond dymunwn wybod paham y mae yn ddrwg iddynt hwy ac yn iawn i eraill?"

"Gwyddoch y ffaith mai felly y mae."

"Na, nid wyf yn gwybod ei bod felly; a dymunwn alw eich sylw at y gwirionedd fod y rwymedigaeth i ymgadw oddiwrth ddrwg, yn gorphwys *ar bob* person rhesymol mewn gwlad Gristionogol. Mae Duw wedi gorchymyn i bawb ddynion i'w garu ac ufuddhau iddo; hefyd, at y ffaith mai y gwahaniaeth rhwng y Cristion a'r pechadur ydyw, fod un yn cydnabod y rwymedigaeth, tra mae y llall yn ei gwadu, ac nad yw y gwadiad ddim yn symud y rwymedigaeth. Nid yw Duw wedi eich gwahodd chwi i'w garu, os bydd yn ddewisol genych hyny; ond y mae wedi gorchymyn yn bendant i chwi ac i minau i'w garu ac ufuddhau iddo. Mae genyf fi hawl, os oes genych chwi, i gymeryd rhan mewn unrhyw fath o ddifyrwch; ac y mae yn ddyledswydd arnoch chwi, yn gyfartal a minau, i barchu cyfraith ein Meistr trwy ymgadw oddiwrth bob ffordd ddrygionus. Meddyliwch am hyn, gyfaill Henry, yr wyf yn erfyn arnoch, a chydnabyddwch y cyfrifoldeb, yr hwn nad allwch chwi ei symud, ac oddiwrth yr hwn ar ol ei gydnabod, na fyddwch yn teimlo awydd o gael eich rhyddhau."

Yr oeddynt wedi dyfod i'r stôr, ac aeth y ddau at eu gwahanol orchwylion. Yr oedd y dynion ieuainc hyn wedi dyfod i wasanaeth A. B. a'i Feibion ar yr un amser, oddeutu dwy flynedd cyn i'r ymddyddan uchod ddygwydd. Yr oedd William wedi enill ymddiriedaeth ei feistriaid, ac wedi cyfodi mewn safle. Yr oedd y *partner* hynaf yn bwriadu ymneillduo o'r busnes, ac yn edrych am ddyn ieuanc crefyddol ac o egni i'w gynyg yn bartner i'w feibion, ac wedi bod yn ddiweddar yn meddwl am William fel person addas. Yr oedd wedi ei wylio yn ofalus, a meddyliodd y gwelai ynddo yr arferion a'r cymhwysderau angenrheidiol i wneyd dyn o fusnes llwyddianus. Yr oedd efe hefyd wedi bod yn gwylied cwrs Henry. Yr oedd wedi clywed am dano mewn lleoedd na fyddai dyn ieuanc fuasai yn ymgyrhaedd at safleoedd o eirwiredd ac anrhydedd byth i'w weled, ac yr oedd yn nghylch cynyg am iddo gael ei droi ymaith, i aelodau eraill y *firm*. Gwydd-

ai y bydd i glerc fyddo yn gwario mwy na'i gyflog, fod yn bur debyg, 'yn wir braidd yn sicr, o fabwysiadu arferion anonest i wneyd i fyny y diffyg.

Mae engreifftiau o'r natur hyn yn dygwydd bob dydd yn ein dinasoedd; ac mor hir a b'om yn cyfarfod, fel y gallwn bob boreu a phrydnawn yn ngherbydau Broadway, ddynion ieuainc moethus, yn gwisgo dillad llawer gwell na'u meistriaid, gyda cadwyni aur, oriaduron gorwychaf, pinau a modrwyau diamond, gallwn ddysgwyl clywed am lawer yn ychwaneg.

Gwnaeth ymddyddan y boreu hwnw argraff ddofn ar feddwl Henry. Ni roddwyd y mater o'i flaen yn y goleu hwnw erioed o'r blaen. Yr oedd yn dychymygu, fel mae dynion ieuainc yn dueddol i dybio, nad oedd un cyfrifoldeb moesol yn gorphwys arno ef, nes y byddai iddo ei arddel yn gyhoeddus drwy uno ag eglwys. Nid oedd Henry yn meddwl marw yn bechadur, O, nag oedd; bwriadai yn hollol, ar ol iddo ef fwynhau yr hyn a ystyriai yn bleserau ieuenctyd, i sefydlu mewn bywyd Cristionogol. Ar ol yr ymddyddan hwn â William, ni allai gael yn rhydd y drychfeddwl o rwymedigaeth i Dduw. Ymddangosai ei ddifyrion annuwiol, a'i arferion eithafol, iddo yn wahanol i ddim erioed o'r blaen, a dechreuai weled eu canlyniadau anocheladwy. Y canlyniad oedd cyfnewidiad hollol yn ei fwriadau a'i ymddygiad. Yr oedd hyn mor amlwg, fel y daeth yn fuan yn hysbys i bawb o'i gymdeithion, ac wrth gwrs, i bawb o'i gyflogwyr.

Arosodd yn y tŷ hwnw, gan gyfodi i fyny yn raddol i fod yn brif glerc, ac yn ddiweddaf, i fod y *partner* ieuengaf yn y *firm*, o'r hwn yr oedd William wedi bod yn aelod am beth amser. Priodolai ei ddedwyddwch a'i lwyddiant bob amser i'r gair a lefarwyd yn garedig wrtho gan ei gyd glerc. Y mae wedi bod yn llwyddianus, nid yn unig fel masnachwr, ond fel Cristion, yn cario dylanwad grymus er daioni ar bawb o'i amgylch, ond yn enwedig ar y dynion ieuainc a wasanaethent yn ei fasnachdy.

## GOG A MAGOG.

GAN H. C. PARRY, "CEFNI."

Un o brophwydoliaethau pwysicaf y Beibl mewn perthynas i gyflwr y genedl Iuddewig, yn amgylchiadau ei dychweliad at Gristionogaeth, ydyw y brophwydoliaeth am amcanion, parotoadau, goresgyniad, a dinystr Gog a Magog, a geir yn y 38 a'r 39 o benodau yn Ezeciel.

Mae deall y brophwydoliaeth hon yn bwysig iawn i'r Eglwys Gristionogol, ac i gyfeillion achos y gwirionedd; yn neillduol yn yr amser terfysglyd hwn, pan mae byddinoeddd y Rwsiaid yn croesi y terfynau i ymosod ar fyddinoedd y Tyrciaid yn Asia ac yn Ewrob. Mae syniad lled gyffredinol yn bod, mai yr un yw dinystr Gog a Magog, a brwydr Armagedon. Os darllenir y prophwydoliaethau yn fanwl ac ystyriol, bydd yn hawdd penderfynu yn wahanol. Nid yr un yw dinystr Gog a Magog, a brwydr Armagedon; ac nid at yr un amgylchiad y cyfeiria y brophwydoliaeth am Gog a Magog yn Ezeciel, a'r brophwydoliaeth am Gog a Magog yn y Dadguddiad. Addefir mai enwau cyfriniol ar elynion y gwirionedd yw y naill a'r llall; a bod Gog a Magog y Datguddiad wedi ei fenthyca oddiwrth Gog a Magog Ezeciel; eto, credir nad at yr un amgylchiadau y cyfeirir. Mae dinystr Gog a Magog y Datguddiad, i gymeryd lle wedi gollyngiad Satan yn rhydd ar derfyniad y Milflwyddiant; pryd mae dinystr Gog a Magog Ezeciel i gymeryd lle cyn dychweliad yr Iuddewon at Gristionogaeth. Ond pwy yw Gog a Magog? Dyna y cwestiwn mawr! Ymddengys mai Gog yw enw y Tywysog, a Magog yw enw y bobl, neu y wlad. Ystyr y gair Gog yw gorchuddiad. Magog oedd ail fab Japheth, a thad y Scythiaid a'r Tartariaid, sylfaenwyr y teyrnasoedd a orweddant i'r Gogledd-ddwyrain o'r Mor Du, yn cyrhaedd o'r Caucasus hyd derfynau China, ac yn cymeryd i fyny y wlad a adwaenir yn awr fel Ymerodraeth Rwsia yn y

Dwyrain. Gelwir Gog yn Ben Tywysog Mesech a Thubal. Mesech oedd frawd i Magog, a thad y Moscofiaid, neu y Rwsiaid; a Thubal oedd frawd i Jafan, tad y Groegiaid. Jafan a Thubal a boblogasant Ynysoedd yr Archepelago, a'r wlad yn gorwedd o'r Môr Adriaidd, hyd derfyn deheuol Twrci yn Ewrob. Felly mae Thubal yn cynrychioli y genedl Roegaidd mewn rhyw agwedd. Jafan yn cynrychioli y Groegiaid yn wleidyddol, a Thubal yn eu cynrychioli yn grefyddol; oblegid y Macedoniaid a ymlynasant wrth batriarchiaeth Caercystenyn, yn erbyn y grefydd Fahometanaidd, wrolaf o'r holl Roegiaid, nes llwyddo i gadw y grefydd hono a elwir Eglwys Groeg, yn grefydd genedlaethol y Groegiaid. Yn mhellach, gosodir allan fangre, neu eisteddle llywodraeth Gog, fel yn ystlysau y gogledd o Palestina; yr hyn sydd yn ateb i Ogleddbarth Ewrob.

Casglu y ffeithiau hyn yn nghyd, a esyd allan Gog yn gorchuddio gwlad Magog, yn Ymerawdwr yr holl Rwsiaid, ac yn ben crefyddol y Groegiaid. Nis gellir cael neb yn ystlysau y gogledd, yn ateb i'r darluniad o Gog, ond Czar yr holl Rwsiaid. Dyma Gog Ezeciel. Yn mhlith ei gyngreiriaid, nodir Persia, Ethiopia, a Libia—cenedloedd yn gorwedd i'r Deheu-ddwyrain o'r Euphrates—ac yn debygol, yn golygu Armenia, Asia Leiaf, ac Arabia. Mae y cenedloedd hyn yn bur debygol yn awr wedi eu gorchfygu gan Rwsia. Hefyd, "Gomer a'i holl fyddinoedd," sef yr Almaeniaid; a "Thy Togarmah o ystlysau y gogledd;" sef y Crimeaid a'r Tyrciaid ar y Môr Du a'r Danube, wedi eu gorchfygu gan Rwsia, y pryd hyny, ac wedi eu dwyn i gyngrair â Gog, i gyflawni ei amcanion drygionus. Ei fwriad a'i gynllun fydd meddianu Caercystenyn, trwy oresgyn Twrci yn Asia, a darostwng gwlad Canaan dan ei lywodraeth.

"Bydd hefyd yn y dydd hwnw, i bethau ddyfod i'th feddwl, a thi a feddyli feddwl drwg." Dyma y meddwl, neu gynllun y Czar i gymeryd Caercystenyn. "Mi a af i fyny i wlad maesdrefydd, af at y rhai llonydd, y rhai sydd yn preswylio yn ddiogel, gan drigo oll heb gaerau, ac heb drosolion, na dorau iddynt." Y meddwl yw, rhyw genedl dan nodded ac amddiffyn rhyw allu, neu alluoedd o'r tu allan iddi ei hun. Amcan Gog yn myned at y genedl hono yw, "I yspeilio yspail, i ysglyfaethu ysglyfaeth, i ddychwelyd dy law ar anghyfaneddleoedd, y rhai a gyfaneddir yr awrhon, ac at bobl a gasglwyd o'r cenedloedd, y rhai a ddarparasant anifeiliaid a golud, ac ydynt yn trigo yn nghanol y wlad." Pa wlad? Gwlad Palestina, neu "Fynyddoedd Israel." Cyfaneddir y wlad hono, y pryd hyny, gan "bobl a gasglwyd o'r cenedloedd." Pwy yw y bobl hyny? Y genedl Iuddewig. Felly y dywedir, "Am hyny, fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw: yr awr hon y dychwelaf gaethiwed Jacob, tosturiaf hefyd wrth holl dŷ Israel, a gwynfydaf dros fy enw santaidd: wedi dwyn o honynt eu gwaradwydd, a'u holl gamweddau a wnaethant i'm herbyn, pan drigent yn eu tir eu hun yn ddifraw, a heb ddychrynydd. Pan ddychwelaf hwynt oddiwrth y bobloedd, a'u casglu hwynt o wledydd eu gelynion, ac y'm sancteiddier ynddynt y'ngolwg cenedloedd lawer; yna y cânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd eu Duw hwynt, yr hwn a'u caethgludais hwynt yn mysg y cenedloedd, ac a'u cesglais hwynt i'w tir eu hun, ac ni adewais mwy un o honynt yno. Ni chuddiaf chwaith fy wyneb mwy oddi wrthynt: o herwydd tywelltais fy ysbryd ar dŷ Israel, medd yr Arglwydd Dduw." Ezeciel xxxix. 25—29.

Mae y geiriau hyn yn dysgu mai Israel yw y bobl hyn, y byddant wedi eu casglu o blith y cenedloedd i'w gwlad eu hun. Mai yn nyddiau yr efengyl y bydd hyn; oblegid bydd i'r Ysbryd Glan gael ei dywallt arnynt, ac ni chuddia Duw ei wyneb oddi wrthynt mwy. Cyn y gallwn ddysgwyl am oresgyniad tir Israel gan Gog, rhaid i'r genedl gael ei dychwelyd i'w gwlad ei hun yn gyntaf.

Y cwestiwn mawr yw, A ddychwelir yr Iuddewon i wlad Canaan? Addefir nas gallwn weled un rheswm digonol a

boddhaol yn erbyn eu dychweliad; cynygir llawer, ond nid oes grym yn yr un o honynt. Mae rhesymau cryfach dros y dybiaeth y dychwelir hwynt. Cawn nodi tri rheswm:—

1. Ni chyflawnir yr addewid i Abraham, a'r llw dyngodd Duw iddo, byth, oni ddychwelir y genedl i Ganaan. Rhoed yr addewid am y tir i Abraham yn ddiamodol. Yn amodol y rhoddwyd yr addewid i feibion Israel. Yr oedd Duw yn gyfiawn a chywir wrth beidio gadael i'r genedl gael meddiant llawn o'r tir, tra nad oeddynt yn cadw at amodau yr addewid. Ni feddianodd Israel holl wlad Canaan erioed. Hyd yn nod yn amser Dafydd, yr oedd y Philistiaid a'r Phœnisiaid yn perchenogi rhan fawr o'r wlad. Ni fu Israel erioed yn meddianu yr holl dir a addawodd Duw i Abraham; sef yr holl wlad o afon yr Aipht hyd yr Euphrates. —Gen. xv. 18.—o'r Môr Coch i Fôr y Canoldir.—Exodus xxiii. 31.—o Fynydd Hor, mynydd y mynyddau, Caucasus, neu Libanus Uchaf, hyd y môr eithaf—culfor Persia.—Deut. xi. 24. Yn ol y mesur yna, y mae tir yr addewid i Abraham yn cymeryd bron yr holl wlad a elwir Twrci yn Asia. Tyngodd Duw trwy lw, y rhoddai y tir hwn i Abraham a'i had, yn yr addewid ddiamodol i Abraham, yr hon nid ellir ei thori. Ni chafodd hâd Abraham erioed yr holl dir hwn. Bydd y llw heb ei gyflawni, nes y rhoddir ef i'r genedl. Yn ei hadferiad i Ganaan eto, rhoddir yr holl dir hwn iddi; oblegid, pan daw Gog yn erbyn y genedl, bydd y bobl hyn *yn trigo yn nghanol y wlad;* neu fel y gellir darllen, *yn trigo yn yr holl wlad;* ac *nid* mewn *rhan* o honi, fel gwlad Canaan gynt. Dyna ddigon o le i gynwys yr holl genedl.

2. Nid ellir cyflawni llawer o brophwydoliaethau, heb i'r genedl ddychwelyd i'w gwlad ei hun. Rhaid iddi fod yn preswylio mynyddau Israel, cyn y gall Gog ddyfod i'w herbyn; oblegid yr Iuddewon yw y bobl y daw efe i'w herbyn, nid oes dadl. Heblaw hyny, cawn brophwydoliaeth eglur am gyngrair bendithiol rhwng yr Aipht, Assyria, ac Israel, ar ol agor *Camlas Suez.* Esaiah xix. 33—35. Nid oes genym hanes am un cyngrair o'r fath hwn wedi bod eto rhwng Israel a'r cenedloedd hyn. Nis gall y fath gyngrair fod, ond yn nyddiau yr efengyl; oblegid yn adeg y cyngrair hwn, bydd yr Aiphtiaid a'r Assyriaid wedi eu dychwelyd at yr Arglwydd, ac yn bobl iddo dan gyfamod yr efengyl. Rhaid hefyd i Israel fod yn llywodraeth annibynol, yn eu tir eu hun, cyn y gellir ffurfio y cyngrair hwn. Mae y brif-ffordd wedi ei hagor o'r Aipht i Assyria, trwy *Gamlas Suez,* a rhaid eto gael Israel i'w gwlad ei hun, cyn cyflawnir y brophwydoliaeth. Gellir nodi lluaws o brophwydoliaethau ereill, a arosant heb eu cyflawni byth, oni ddychwelir y genedl i'w gwlad ei hun.

3. Bydd mwy o enw a gogoniant i Dduw yn dyfod oddiwrth ddychweliad y genedl yn ol i'w gwlad ei hun, o blith cenedloedd y ddaear, nag oddiwrth ei gwaredigaeth o'r Aipht gynt. Yn nyddiau yr efengyl, pan y bydd gwreiddyn Jesse yn arwydd i'r bobloedd, y cyflawnir y brophwydoliaeth hon:—"A hi fydd yn brif-ffordd i weddill ei bobl ef, y rhai adewir o Assyria, megys ag y bu i Israel, yn y dydd y daeth efe i fyny o dir yr Aipht." Eiaiah xi. 10—16. Gwna Duw bethau mawrion er mwyn ei enw, ac i fawrhau ei ogoniant ar y ddaear.

Pa bryd y dychwelir y genedl i'w gwlad ei hun? Ar derfyniad Amerodraeth y Twrc yn y Dwyrain. Gosodir hyn allan dan yr arwyddlun o sychu dyfroedd yr afon Euphrates, fel y parotoid ffordd breninoedd y Dwyrain. Pwy yw brenhinoedd y Dwyrain? Pwy sydd wedi bod yn llywodraethu y Dwyrain, er cwymp y Mogul Mawr yn Hisdwstan? Pwy yw Amherodres India y Dwyrain yn awr? Y gallu Prydeinig yw breninoedd y Dwyrain. Ond pa rwystr i freninoedd y Dwyrain gael eu ffordd, yw afon Euphrates, neu Amerodraeth y Twrc? Rhyfeddir gan lawer bod Prydain Fawr yn amddiffyn gallu mor aflan ag yw y Twrc. Rhaid cofio, bod dros ddeugain miliwn o Fahometaniaid dan lywodraeth Prydain Fawr, yn Hindwstan. Nid yw deugain mil-

iwn o bobl yn beth i chwareu ag ef. Pe na amddiffynai Prydain Fawr Amerodraeth y Twrc, byddai yn debyg o gynhyrfu gwrthgodiad yn mysg Mahometaniaid India.

Pan y cwymp Amerodraeth y Twrc, trwy gyfryngiad dwyfol uniongyrchol—sychu yr afon gan wres a phoethder y farn—bydd Prydain Fawr yn rhydd i roi gorchymyn allan i'r Iuddewon ddychwelyd i'w gwlad eu hun, o bob cwr o'r ddaear. Mae hanes sefydliadau, llwyddiant, a goruchafiaeth Prydain Fawr yn yr India, a chwymp Amerodraeth y Mogul Mawr o'i blaen, yn profi mai y Prydeiniaid yw breninoedd y Dwyrain, ac yn gyflawniad eglur o'r brophwydoliaeth: "Pwy a gyfododd y cyfiawn o'r dwyrain, ac a'i galwodd at ei droed, ac a roddodd y cenedloedd o'i flaen, ac a wnaeth iddo lywodraethu ar freninoedd—y mae efe yn eu herlid hwynt, ac yn myned yn ddiogel ar hyd llwybr ni cherddasai a'i draed." Esa. xli. 2, 3.

Ffordd y mor, ac nid arwain byddinoedd dros y tir, fel Alexander Fawr, a wnaeth Prydain Fawr. Prydain Fawr fydd y gallu a ddefnyddia Duw yn offeryn i ddychwelyd y genedl i'w gwlad ei hun. "Gwae y tir sydd yn cysgodi ag adenydd, yr hwn sydd tu hwnt i afonydd Ethiopia." Esaiah xviii. 1. Yn ol y gwreiddiol, "Ho! y wlad." Iaith morwyr yn galw ar eu gilydd. Mae y darlleniad Chaldaeg yn eglurach. "Ho! y tir, yn yr hwn y deuant mewn llongau o wlad bell, hwyliau y rhai a ledir allan fel eryr yn ehedeg ar ei adenydd." Rhyw allu morwriaethol mawr yw hwn. Mae y gallu hwn yn estyn ei awdurdod i'r tu hwnt i afonydd Ethiopia. Afonydd Cush; golyga Cush ddau le. Gwlad i'r dwyrain o Euphrates, a gwlad yn gorwedd yn yr Aipht ddeheuol. Felly mae y gallu morwriaethol mawr hwn yn llywodraethu tu hwnt i afon Euphates, yn y Dwyrain—yn India; ac yn llywodraethu tu hwnt i afonydd Ethiopia, yn y dehau—yn Mhenrhyn Gobaith Da. Mae y tir hwn yn anfon "cenhadau hyd y môr, ac hyd wyneb y dyfroedd, mewn llestri brwyn." Ad. 2. Mae y gallu hwn yn amddiffynol i'r genedl Iuddewig. "Ewch genadon cyflym at genedlaeth wasgaredig ac yspeiliedig, at bobl ofnadwy er pan ydynt, ac eto cenedlaeth wedi ei mesur a'i sathru, yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei thir." Nid oes neb yn amheu, nad y genedl Iuddewig yw y bobl hyn yr anfonir y cenadon cyflym hyn atynt. Cenedl wedi ei gwasgaru yn mysg yr holl genedloedd; wedi ei hyspeilio o'i breintiau gwladol; pobl ofnadwy dan amddiffyniad dwyfol erioed, ac a fydd felly eto; cenedlaeth wedi ei mesur gan y farn, a'i mathru gan y cenedloedd; yr hon yr yspeliodd yr afonydd ei thir—y Chaldeaid, y Rhufeiniaid, y Saraceniaid, a'r Tyrciaid. Y wlad, neu y tir, "sydd yn cysgodi ag adenydd," fydd yn galw y genedl hon i'w gwlad ei hun. Ond pwy yw y tir, neu y gallu hwnw? Pwy yw y gallu morawl mwyaf yn y byd? Pwy sydd yn llywodraethu India y Dwyrain a Phenrhyn Gobaith Da Affrica? Pa allu sydd wedi bod bob amser yn bleidiol i'r Iuddewon? Pa allu sydd yn cynal i fyny Amerodraeth y Twrc? Atebir, Prydain Fawr.

Pan bydd gallu y Twrc yn darfod yn Syria, ac yn Asia, bydd gwlad fawr yn myned yn wag yn nghanolbarth y ddaear; a chenedl fawr heb gartref iddi, ar ei chyfer. Naturiol fydd i Prydain Fawr i atal gorlifiad y Rwsiaid, iddi alw ei hen etifeddion gynt i gymeryd meddiant ynddi. Dychwelant iddi yn Iuddewon. Llwyddant ynddi dan amddiffyniad y gallu Prydeinig, nes myned yn gyfoethog a goludog iawn. Cynhyrfa ei llwyddiant a'i golud eiddigedd a thrachwant y Czar, daw meddyliau drwg i'w galon; ffurfia gyngrair mawr a chryf, a daw gyda ei luoedd lluosog, "fel cwmwl," dros holl fynyddoedd Israel. Yn llyfr y prophwyd Esaiah viii. 3—6, cawn ddarluniad o hono yn cyfodi ei faner ar y mynyddoedd, ac yn udganu ag udgorn i'r gad, yn nhir Israel; wedi dychwelyd o'r genedl Iuddewig iddo, a bod yn llwyddianus iawn ynddo. "Canys fel hyn y dywedodd yr Arglwydd wrthyf, Byddaf lonydd (yn fy anedd), a mi a

ystyriaf yn fy anedd." Bydd i'r Arglwydd Ior adael i Gog addfedu ei gynlluniau, fel yr addfeda ffrwythau i'r cynhauaf. Mae yr hen feddyliau yn ei galon er's blynyddau lawer iawn; ond mae cyfryngiad dwyfol, trwy ymyriad Prydain Fawr, wedi bod yn ei atal i'w rhoddi mewn gweithrediad effeithiol. Pryd hyn, bydd dyfroedd yr afon Euphrates wedi sychu, fel na theimla Prydain angenrheidrwydd arni amddiffyn Amerodraeth Twrci Fahometanaidd, mewn trefn i gadw ei deiliaid Mahometanaidd yn yr India yn heddychol; ac o herwydd hyny, ni theimla y Czar gymaint pryder oddiwrth ymyriad Prydain. Daw ef a'i holl gyngreiriaid lluosog i fyny yn erbyn tir Israel. Bydd ei oresgyniad ar dir Israel yn peri dychryn a therfysg mawr trwy y gwledydd a'r teyrnasoedd. Darlunir y terfysg yn Ezeciel xxxviii. 19, 20.

Bydd dichellion, a thwyll, a rhagrith y Czar yn dyfod i'r golwg, nes cynhyrfu Prydain Fawr a'i chyngreiriaid, i ddyfod allan yn ei erbyn. "Seba a Dedan, a marchnadyddion Tarsis hefyd, a'u holl lewod ieuainc, a ddywedant wrthyt, Ai i yspeilio yspail y daethost ti? Ai i ysglyfaethu ysglyfaeth y casglaist y gynulleidfa? Ai i ddwyn ymaith arian, ac aur, i gymeryd anifeiliaid a golud, i yspeilio yspail fawr?" Ezec. xxxviii. 13.

Wrth Seba a Dedan, y deallir y cenedloedd a orweddant o'r ddwy ochr i *Gamlas Suez*, a fyddont y pryd hyny mewn cyngrair masnachol â Phrydain; y rhai a gynrychiolir mewn manau ereill gan yr enwau, yr Aipht ac Assyria. Bydd y cenedloedd hyny yn cael eu gwneyd i fyny o Arabiaid gwareiddiedig ac Ethiopiaid Cristionogol. Marchnadyddion Tarsis yw y Prydeiniaid; a'r llewod ieuainc, yr holl drefedigaethau Prydeinig, yn nghyd â'r llywodraethau annibynol a gyfodasant o sefydliadau Prydain Fawr. Mae yr Unol Dalaethau, a'r ddwy Canada, Awstralia, Trefedigaethau Prydeinig Affrica, Jamaica, Malta, a Gibraltar, yn y llewod ieuainc. Cesglir y galluoedd hyn yn nghyd, mewn cyngrair yn erbyn Rwsia; oblegid bydd ei addewidion teg, dan rith amddiffyn Cristionogaeth, a'i wrthdystiad i unrhyw fwriad o'i eiddo i helaethu ei lywodraeth, wedi eu profi yn dwyll a rhagrith. Deuant allan yn erbyn Gog. Bydd llyngesau Prydain, Ffrainc, ac America, yn hulio Môr y Canoldir; a galluoedd Seba a Dedan yn anfon allan eu llyngesau a'u cadddarpariadau hyd Fôr India, a chulfor Persia. Bydd yn adeg dychryn a chynwrf mawr. Ond cyn y bydd i Gog daraw tir Israel a'i gleddyf, a chyn i'r cyngreiriaid ymosod ar ei luoedd ef, bydd i'r Arglwydd gyfryngu mewn modd barnol, er difetha lluoedd Gog. Dadleua Duw i'w erbyn â haint ac a gwaed. Daw twymynau poethion a lluchedenau blinion i blith y milwyr, nes ymwallgofi, a lladd eu gilydd. Bydd ystormydd ofnadwy o fellt a tharanau, gwynt rhuthrol, gwlawogydd arswydus, cur-wlaw a chenllysg dinystriol, nes dyrysu, chwalu, gwasgar, a difetha byddinoedd Rwsia ar fynyddoedd Israel. "Wele efe a ddaeth, ac a ddarfu, medd yr Arglwydd Dduw; dyma y diwrnod am yr hwn y dywedais." Ezec. xxxix. 8—16.

Beth fydd y dyben moesol, yn ninystr Gog a Magog? Darostyngiad gallu gorthrymus Rwsia yn y Dwyrain, yn gospedigaeth am ei balchder a'i thrachwant, fydd un dyben. "A gosodaf fy ngogoniant yn mysg y cenedloedd, a'r holl genedloedd a gânt weled fy marnedigaeth, yr hon a wnaethum, a'm llaw yr hon a osodais arnynt." Ergyd ar falchder fydd dinystr Gog a Magog.

Dyben mawr, pwysig, a gogoneddus arall, fydd trefnu dinystr Gog i fod yn foddion dychweliad yr Iuddewon at Gristionogaeth. Dallineb barnol sydd ar y genedl, a rhaid cael yr un llaw i symud y farn, ag a'i rhoddodd. Rhaid cael gallu gwyrthiol i hyn. Bydd dyfodiad lluoedd Gog i dir Israel, yn peri y dychryn mwyaf i'r genedl yno; a bydd y dinystr barnol llwyr, a disymwth, a ddaw ar luoedd Gog, mor fawr, ac mor eglur, nad ellir ei amheu, fel cyfryngiad dwyfol uniongyrchol oddiwrth Dduw, yn mhlaid y genedl. Dwg hyn y genedl i ystyried, a meddwl, a deall

pethau yn briodol. Daw i gofio bod prophwydoliaeth am hyn i gymeryd lle yn y dyddiau diweddaf. "Ai tydi yw yr hwn y lleferais am dano yn y dyddiau gynt, trwy law fy ngweision, prophwydi Israel, y rhai a brophwydasant y dyddiau hyny flynyddoedd lawer, y dygwn di yn eu herbyn hwynt." Dywed y genedl, "Dyna y peth!" *Efe a ddaeth, ac a ddarfu!* Mae yn rhaid bod y dyddiau diweddaf, teyrnasiad y Messiah, wedi dyfod; oblegid yn y dyddiau diweddaf yr oedd hyn i gymeryd lle. Rhaid mai Iesu o Nazareth yw y Messiah. Dyna y pryd y "daw y Gwaredwr allan o Seion, i droi yr anwiredd—y farn am eu cyfeiliorni—oddiwrth Jacob; a holl Israel fydd cadwedig. Genir cenedl ar yr un dydd." Yn y dyddiau diweddaf y bydd hyn. Am hyny y dywedir, "Canys llawer o ddyddiau yr erys meibion Israel," wedi eu dychwelyd i'w gwlad eu hun—"heb frenin, a heb dywysog, a heb aberth, a heb ddelw, a heb ephod, a heb teraphim."

Er bydd Israel yn mwynhau breintiau gwladol yn eu tir y pryd hyny, eto byddant yn llywodraeth ddibynol ar Brydain Fawr. Ni bydd ganddynt deml, na ffurf o wasanaeth grefyddol gyhoeddus; oblegid ymddengys y byddant, naill ai yn rhy fydol o deimlad i ymdrafferthu gyda chrefydd, neu ynte yn rhy anghrediniol i deimlo pwysigrwydd mewn addoli Duw. Yr olaf yw y tebycaf; oblegid sonir am "dynu y galon gareg allan o'u cnawd, a rhoddi calon newydd dyner o gig yn ei lle,"—calon i adnabod Duw, ac i'w barchu, yr hyn na feddent cyn hyny. "Wedi hyny y dychwel meibion Israel, ac y ceisiant yr Arglwydd eu Duw, a Dafydd eu brenin; ac a barchant yr Arglwydd a'i ddaioni yn y dyddiau diweddaf." Cyn y daw Gog yn erbyn mynyddoedd Israel, bydd yn rhaid i'r Iuddewon ddychwelyd i'w gwlad. Dychwelir y genedl i'w gwlad ar derfyniad llywodraeth y Twrc yn y Dwyrain. Bydd Israel yn Iuddewon anffyddaidd yn eu tir, dros amser—y byddant i'w dychwelyd at Gristionogaeth, trwy ddinystr lluoedd Gog—y bydd dychweliad y genedl at Gristionogaeth, i geisio Dafydd eu brenin, sef Crist y Messiah, yn y drefn ryfedd hon, yn ogoniant, ac enw tragywyddol i'r Arglwydd Dduw. "Fel hyn yr ymfawrygaf, ac yr ymsancteiddiaf; a pharaf fy adnabod yn ngolwg cenedloedd lawer, fel y gwypont mai myfi yw yr Arglwydd." Ezeciel xxxviii. 23. "A thŷ Israel a gânt wybod mai myfi yw yr Arglwydd eu Duw hwynt o'r dydd hwnw allan. Ni chuddiaf chwaith fy wyneb mwy oddiwrthynt; o herwydd tywelltais fy Ysbryd ar dŷ Israel, medd yr Arglwydd Dduw."

Ni bydd dinystr Amerodraeth y Twrc yn cael ei effeithio trwy rym arfau gelynion allanol; ond trwy ymraniadau mewnol, adfeiliad gwleidyddol, a darfodedigaeth naturiol yn y boblogaeth. Nid troi afon Euphrates i redeg i ffordd arall, ond sychu ei dyfroedd a fydd. Mae y "corn bychan," a gododd yn y Dwyrain, sef y gallu Mahometanaidd, i gael ei "ddryllio heb law," sef, heb foddion rhyfelgar; eithr trwy gyfryngiad dwyfol uniongyrchol. Dan. viii. 9—12, ac o adnod 23 hyd ad. 26. Fel y torwyd y gareg o'r mynydd, "heb law," heb nerth arfau—y dryllir y "corn bychan" Mahometanaidd, neu lywodraeth y Twrc, "heb law," heb nerth arfau. Gall trachwant Rwsia fod a'i lygad ar Caercystenyn drwy y blynyddau, ond ni wel y dydd i'w meddianu byth. Gall beri blinder a thywallt gwaed, ond delir y Cosac allan o dir y Twrc, hyd nes y daw y genedl i Ganaan. Gollyngir ef i fynyddoedd Israel, ar ei ffordd i Caercystenyn, trwy Armenia a Syria; ond difethir ef ar fynyddau Israel. Mae dylanwad Prydain Fawr yn ddigon i'w gadw o Caercystenyn; oblegid gwyr y Czar, a'i bedwar-ugain-a-deg o filiynau deiliaid, nad gallu i chwareu âg ef yw Prydain Fawr, a'i dau gant o filiynau deiliaid; a deugain miliwn o'r rhai hyny yn Fahometaniaid calonog! Mae mwy o Fahometaniaid dan lywodraeth Prydain Fawr, na holl boblogaeth yr Unol Dalaethau!

Hawdd y gall yr Ianci ffrostgar ddifrio Prydain Fawr fel gallu milwrol a'i

dafod; ond peth hollol wahanól y teimlai, bod ei gorff rhwng crafangau ewinog gallu sydd yn llywodraethu dros y chweched ran o drigolion y ddaear! Gwyr y Czar hyny yn dda; a cheidw o'i afael gan belled ag y gall, heb orfod arno ddyfod i wrthdarawiad ag ef. Nid arwydd o wendid na llwfrdra, yw *policy* heddychol Prydain Fawr, ond arwydd o ddylanwad gafaelgar Cristionogaeth ar galon ei phobl. Ymfawryga Prydain Fawr yn ei gogoniant Cristionogol, yn llawer mwy na gogoniant milwrol. Dylai America, a phob gwlad Gristionogol arall, ddiolch am hyny; ac nid cymeryd mantais ar hyny i ddifrio gallu, cyfoeth, a dylanwad Prydain Fawr. Ni fydd y rhyfel Rws-Dyrcaidd presenol, ond tywallt gwaed ofer, heb un canlyniad o bwys iddo. "Ni ddaeth yr amser eto."

---

## LLITH I'R BOBL IEUAINC.

### Y DDYLEDSWYDD O WEDDIO.

GAN CALLESTR, PARSONS, PA.

Arfaethaf ysgrifenu ychydig o lythyrau byrion i'r WAWR ar foddau ac effeithiau gweddi. Bydd fy sylwadau yn cael eu cyfeirio yn benaf at bobl ieuainc; ond os bydd ambell i frawddeg yn denu sylw yr hen, nid oes genyf yr un gwrthwynebiad iddynt i'w benthyca. Y mae ein hanwyl Iesu wedi gweddio llawer, er, a throsom ni; llefarodd llawer am weddio yn ei gyfeillachau, a rhoddodd amryw engreifftiau o ddull a dyben gweddi. Anwyl frodyr a chwiorydd ieuainc, os oes arnoch awydd bod yn weddiwyr wrth fodd y Nefoedd, rhoddwch heibio yn hollol i geisio gweddio fel eich brodyr, ac ymdrechwch dalu sylw manwl i addysgiadau Iesu, a pha fodd y mae efe wedi dyweyd am i ni weddio. Y mae ambell i frawd yn gweddio gyda sêl fawr, ond eto, yn mhell iawn oddiwrth yr addysgiad a gawn gan Ben yr Eglwys—gan hyny, goddefwch i mi eich anog i fyned at y gair, ac at y dystiolaeth.

Mae ambell un wedi crefydda blynyddau, ond heb weddio yn iawn erioed —er engraifft, dacw Saul o Tarsus, ar ei ffordd i Damascus, yn grefyddol iawn, ond cyn iddo gyraedd y dref, dacw Iesu yn myned i'w gyfarfod. Yr oedd yno eraill gyda Saul, ond Saul oedd y prif wrthddrych! â Saul yr oedd a fynai Iesu! Yr oedd dysgleirdeb Iesu yn ddigon i'w daro i lawr, "ac yn ddisymwth, llewyrchodd o'i amgylch oleuni o'r nef." "Ac efe a syrthiodd ar y ddaear, ac a glybu lais yn dywedyd wrtho, Saul, Saul, paham yr wyt yn fy erlid i?" "Yntau a ddywedodd, pwy wyt ti, Arglwydd?" Collodd ei olwg wrth syrthio, ac nid oedd ond gwrandaw wedi hyny; a'r Arglwydd a ddywedodd, "Myfi yw Iesu yr hwn wyt ti yn ei erlid." Nid wyf fi yn dy erlid *di* Iesu mawr, erlid yr hereticiaid sydd yn codi sect newydd yr wyf fi. "Nage," meddai Iesu. "Caled yw i ti wingo yn erbyn y symbylau." Tarawodd goleuni ef i lawr. "Wel, Arglwydd, beth a fyni di i mi ei wneuthur?" A'r Arglwydd a ddywedodd wrtho, "Cyfod, a dos i'r ddinas, ac fe ddywedir i ti beth sydd raid i ti ei wneuthur."

"Ac yr oedd rhyw ddysgybl yn Damascus, a'i enw Ananias, a'r Arglwydd a ddywedodd wrtho mewn gweledigaeth, Cyfod, a dos i'r heol a elwir Uniawn, a chais yn nhŷ Judas un a'i enw Saul o Tarsus; canys wele y mae efe yn gweddio." Paid ag ofni, Ananias, "wele y mae efe yn gweddio."

Wele Saul yn dechreu gweddio; nid ydym yn dysgu fod neb ond Saul yn gweddio. "Wele y mae *efe* yn gweddio." Atebodd y weddi bob peth oedd yn eisiau ar Saul i'w wneyd yn wâs ffyddlawn i Grist. Wel, tydi sydd ieuanc, nac ymfoddlona heb weddio, ïe, gweddio nes enill dy Dad i'th wrandaw, ac i'th fendithio. Dichon er yn ieuanc, dy fod wedi darllen llawer ar dy Feibl, ac heb weled fawr o Dduw ynddo erioed. Os mai felly y mae, nid yw yn llawer o ryfeddod. Dichon nad ydwyt erioed wedi gweddio yn iawn. Os ydwyt wedi dechreu gweddio, dechreua ddarllen yr un pen-

odau ac adnodau drosodd eilwaith, ac os gwnei, yr wyt yn sicr o weled mwy o Dduw y tro nesaf; a phan y cyfarfyddi a'r frawddeg felus hono, "Pob duwiol a weddia arnat yn yr amser y'th geffir," paid a darllen ychwaneg heb ymholi â thydi dy hun, ac a Duw, a wyt ti yn perthyn i'r dosbarth sydd ar y ffordd i gael Duw; ac os byddi mewn trallod o herwydd, bydd i dy Dad dy hyfforddi i weled ystyr y frawddeg arall sydd yn darllen, "A galw arnaf fi yn nydd trallod, a mi a'th waredaf, a thi am gogoneddi." Os byddi yn methu a deall meddwl rhyw adran o'r Beibl, dos at dy Dad a gofyn iddo yn ddystaw fach, am yr addewid, sef am y Dyddanydd arall. Os gwnei, byddi yn sicr o gael help i ddeall y dirgelwch a ddichon fod yn guddiedig oddiwrth dy lygaid. Mae llawer o grefyddwyr yn aros i ymborthi ar *laeth* holl ddyddiau eu heinioes, a dyna yr achos eu bod yn grefyddwyr mor weiniaid. Maent yn aros o hyd gyda'r ymadrodd sydd yn dechreu rhai yn Nghrist, yn lle ymestyn at berffeithrwydd. Ond fy anwyl frawd neu chwaer, nid wyf yn hoffi dy adael, heb wasgu ar dy feddwl i gofio myned i'th ystafell. "Ond tydi, pan weddiech, dos i'th ystafell, ac wedi cau dy ddrws, gweddia ar dy Dad yr hwn a wel yn y dirgel, a'th Dad yr hwn a wel yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg." Dyna y fan i ddechreu. Dichon y bydd yn weddi lled annrhefnus, ond dyna y fan ag y mae dy Dad yn ewyllysio dy weled. Os cymeri yr addysg gan Iesu, a gwneyd fel y mae efe yn dysgu, ni raid i ti ofni na chei dy wrandaw, "Canys dy Dad yr hwn a wel yn y dirgel, a dâl i ti yn yr amlwg."

Paid a gadael i anghrediniaeth i'th berswadio na chei wrandawiad, am dy fod yn gofyn pethau na feddyliodd dy Dad erioed eu rhoddi i ti; dichon i ti a minau i wneyd hyny bob tro y gweddiom; ond nid yw hyny yn un rhwystr i'n Tad i'n gwrando, a phaid a gwneyd rhyw ystori hir iawn wrth weddio, canys "Gwyr eich Tad Nefol pa beth sydd arnoch eisiau, cyn gofyn o honoch ganddo." Ac nid yw ei fod ef yn gwybod beth sydd yn eisiau arnom, yn un rheswm i ni beidio gofyn. "Ceisiwch a chwi a gewch; canys pwy bynag sydd yn ceisio sydd yn cael." Plant yr eisiau ydym ni, ac y mae digon yn nhrysordy grâs gogyfer ag eisiau yr holl fyd; ond nid ydyw wedi ei addaw heb ofyn am dano.

Mae ysgrifenydd y llinellau hyn wedi cyfarfod a llawer o ystormydd er ys 45 o flynyddoedd, sef, er yr amser y dechreuodd arfer gweddi. Cyfarfyddodd a llawer o wrthgiliadau yn ei galon ei hun i beidio gweddio; ac y mae yn cofio yn dda iddo gyfarfod â rhai *brodyr gau* hefyd, y rai a dueddent i'w atal i arfer gweddi. Ond y mae yn parhau i ddiolch i'w Dad, yr hwn sydd yn y Nefoedd am drugareddau. Gall ddyweyd heddyw, "Hyd yma y cynaliodd yr Arglwydd fi."

Fy anwyl rai ieuainc, a gaf fi ddyweyd wrthych pa fodd yr oeddwn yn cael yr oruchafiaeth ar fy holl elynion? Caf yn ddiau. Wel, dywedaf i chwi; y lle goreu a welais i erioed i ysgafnhau fy maich, yw myned at fy Nhad yn y dirgel, ac os dygwydd i chwithau syrthio i brofedigaeth, peidiwch a rhoddi fyny i weddio, ond myned at eich Tad, gan deimlo eich eisiau mawr; nis gadewir chwi heb y fendith; byddwch yn sicr o gael gafael mewn rhyw gilfach a glan iddi. Y mae Duw yn Dduw parod i faddeu, ac yn chwilio am le i drugarhau. Wedi ysgrifenu fel hyn y tro hwn, ychydig o lawer sydd yn perthyn i'r ddyledswydd o weddio, yn y nesaf ymdrechaf ddangos pa fodd i orchfygu gyda Duw.

## TRYDANIAETH.

GAN TRICHRIG, HYDE PARK, PA.

### RHAN II.

Er dangos effeithiau trydaniaeth, dylid sylwi ar y modd mae nwyfre yn dirgel gymysgu â'r holl sylweddau fyddo yn ei amgylchynu. Mae y nwyfre i'w gael yn y manau lleiaf fyddo heb eu llenwi gan ronynau awyr. Nid oes dim yn fwy naturiol, na bod nwyfre yn gallu ymwthio i'r gwagle lleiaf, lle nas gall

awyr ei dreiddio, ac hyd yn nod i'r gronynau awyr eu hunain. Cofia y darllenydd fod pob corph caled yn llawn o fân dyllau, fel tyllau chwys yn y corph dynol. Mae arbrawfiadau yn ein dysgu fod y tyllau hyn yn cymeryd mwy o le mewn llawer corph ysgafn, nag a gymer y rhan gyfan o hono; felly po fwyaf ysgafn y byddo unrhyw gorph, mwyaf i gyd o dyllau sydd ynddo, a'r oll yn llawn o nwyfre. Felly mae yn amlwg fod y nwyfre hwn wedi ei wasgaru trwy y mân dyllau lleiaf all fod. Y canlyniad yw, fod digonedd o hono yn agos i arwynebedd y ddaear; eto mae yn hawdd deall fod gwahaniaeth dirfawr rhwng y mân dyllau hyn, mewn maint a ffurf, yn ol natur y sylwedd. Dichon mai yn ol rhywogaeth y sylwedd y bydd rhywogaeth y mân dyllau. Mae rhai tyllau yn ddiamheu yn fwy cauedig mewn rhai sylweddau, ac yn fwy agored mewn sylweddau eraill. Yn y cyrph hyny, lle mae y tyllau yn fân iawn, ac ychydig o gysylltiad rhyngddynt a'r rhanau eraill o'r un corph, felly yn fwy cyfyngedig, nis gallant ymryddau ond trwy anhawsder mawr. O'r ochr arall, mewn sylwedd fyddo a'r mân dyllau yn fwy agored, os byddant wedi eu haflonyddu, gallent wrth lai ymdrech ymryddau. Mewn trefn i ni ddeall ein gilydd mewn perthynas i'r ddau ddosbarth hyn o dyllau neu *pores*, galwn y rhai cyntaf yn dyllau cauedig, a'r lleill yn dyllau agored. Nid ydym yn golygu eu bod yn hollol gauedig, nac yn hollol agored. Hefyd, naturiol meddwl fod rhai canolog rhwng y ddau. Pe byddai pob sylwedd yn meddu ar dyllau cauedig, byddai yn anmhosibl cyfnewid ei hydwythedd, hyd yn nod pe byddai y nwyfre fyddo ynddo trwy ryw achos neu gilydd, wedi cyrhaedd graddau helaethach o hydwythedd, felly yn methu ymryddhau er adenill cydbwysedd, a hyny o achos nad oedd cysylltiad rhyngddynt. Yn yr achos hwn ni fyddai yr un cyfnewidiad, fel pe buasai y nwyfre yn gydbwys, ac ni chanfyddem ymddangosiad trydanol. Yr un fath eto be byddai y tyllau yn berffaith agored. Pe dygwyddai unrhyw gynhyrfiad fel ag i fwyhau hydwythedd y nwyfre, gallant mor rwydd gysylltu a'i gilydd mewn eiliad i adenill eu cydbwysedd, fel na fyddai yr un arwydd o drydaniaeth i'w ganfod o gwbl. Ond yn gymaint nad yw tyllau pob defnydd yn hollol agored, nac yn hollol gauedig, felly y mae yn bosibl aflonyddu cydbwysedd y nwyfre, a phan y dygwydda hyn, mae yn bosibl hefyd i'r nwyfre adenill ei gydbwysedd, ond cymera gryn amser, ac weithiau canfyddir yn y dygwyddiad effeithiau trydanol. Yn y ddamcaniaeth hon mae genym i gadw mewn cof y nwyfre, yr hwn sydd sylwedd anghyffredin o dreiddiol, teneu, ac hydwythol, ac wedi ei wasgaru trwy bob man fel nad oes un man mewn natur nad yw yn bodoli. Fel y dywedwyd am y gwahanol sylweddau a'u tyllau, eu bod yn fwy neu yn llai cauedig—mae gwydr yn un o'r rhai a elwir genym yn gauedig, fel y mae yn anhawdd ei wneyd yn drydanol, ond ar ol iddo unwaith ddyfod felly, mae yn aros yn hwy, am y rheswm a nodwyd, sef *tyllau cauedig*. Mae yr awyr hefyd o'r un nodwedd, fel nas gall y nwyfre fyned i mewn yn rhwydd na dyfod allan o hono yn rhwydd; felly mae *pitch*, *amber*, ufelai, *sulphur*, a chŵyr, yn meddu tyllau cauedig. Mae dwfr, anifeiliaid a gwahanol feteloedd yn meddu fel y gelwid hwy, dyllau agored. Mae dwfr yn cyfnewid natur yr awyr mewn cysylltiad â thrydaniaeth, am y rheswm hwn,—pan y mae yr awyr yn wlyb, mae y nwyfre yn gallu dianc heb fawr rwystr. Mae cyrph eraill, megys coed, amryw fathau o geryg ac arwynebedd y ddaear, yn meddu ar safle ganolog, sef rhwng y ddau ddosbarth a nodwyd. Pan fyddo y nwyfre yn myned o un corph lle y ca ei ddirwasgu i gorph arall na fyddo felly, mae yn cyfarfod â rhwystrau dirfawr gan yr awyr sydd rhwng y ddau gorph a nodwyd. Mae'r symudiad hwn yn gofyn nerth grymus i orchfygu y rhwystr, am fod tyllau yr awyr yn agos gauedig, a phob gwagle wedi ei lanw eisoes. Yma y canfyddir bron yr un peth a phe chwythir awyr gyda nerth cryf trwy fân dyllau, nes clywir

ei swn yn suo, yr hyn a glywir bob amser pan byddo gwynt cryf. Yn gyffelyb mae y nwyfre wrth fyned o un man i'r llall, yn cynyrchu goleuni, ac awyr yn cynyrchu swn yn ei gynhyrfiadau. Dichon fod y darllenydd wedi gweled gwreichion goleu yn myned oddiwrth y *galvanic battery*. Pa beth a effeithia hyn? Nid amgen na chyflymder annesgrifadwy (yn erbyn a thrwy y mân dyllau), yr awyr gan y nwyfre sydd yn dianc i lanw man sydd yn llai hydwythol. Pa mor fynych bynag byddo y nwyfre yn dianc neu yn symud o un corph i gorph arall, y mae bob amser, os bydd yno swm o hono, yn cynyrchu gwreichion, ac weithiau fflachiad o dân fel mellten. Cymer hyn le pan fyddo gormod o nwyfre wedi ei drosglwyddo i unrhyw gorph; neu pan fyddo rhan wedi colli ag oedd ynddo yn ei sefyllfa naturiol. Yn y blaenaf mae y nwyfre wedi ei orlanw, felly yn fwy hydwythol; yn y llall, wedi dyfod yw fwy teneu ac yn llai hydwythol. Yn y ddwy sefyllfa hon y mae wedi colli cydbwysedd. Mae yr ymdrech hwn mewn natur i adenill cydbwysedd, yn cynyrchu arddangosiadau trydanol. Gwelir erbyn hyn y gall sylwedd ddyfod yn drydanol mewn dwy ffordd, pan byddo y nwyfre yn y mân dyllau yn fwy neu lai hydwythol na'r hwn fyddo tu allan. Felly y mae dau fath o drydaniaeth; yn un, y mae y nwyfre yn fwy hydwythol, neu dan fwy o ddirwasgiad; mae hwn yn cael ei alw yn drydan gorddodol, (*positive electricity*); y llall sydd yn llai hydwythol, ac yn fwy teneu, a elwir yn drydan negyddol (*negative electricity*). Mae ymddangosiad y ddau agos yn gyffelyb.

Nid yw cyrph neu sylweddau yn naturiol drydanol, o herwydd fod tuedd yn holl natur i gadw a dal pob peth yn gydbwys, ac felly nwyfre. Rhaid cael gallu cryf anghyffredin i aflonyddu cydbwysedd, ac i wneyd unrhyw beth yn drydanol. Mae yn well, pan ellir (er mor afrwydd yw), weithredu ar gyrph sydd a'u mân dyllau yn gauedig, fel unwaith y collant gydbwysedd, yr arosant felly am dymhor. Yr arbrawf mwyaf rhwydd a'r mwyaf cyffredin yw, rhwbio *sealing wax*, cŵyr, a darn o frethyn gwlanog, i'r dyben o roddi y gallu i'r cŵyr hwnw i atdynu *slips* bychain o bapyr a gwahanol sylweddau ysgeifn eraill. *Amber* hefyd yr un fath. Oddiwrth hwn y cafwyd yr enw *Electrum*.

Mae'r effeithiau yn ddiamheu yn cyfodi oddiwrth annrhefn mewn cydbwysedd, megys y gwelir mewn *amber*, cwyr, *sealing wax*, &c. Trwy rathiad, mae y tyllau yn cael eu dirwasgu, felly yn colli rhan o'r nwyfre, neu dderbyn rhan yn y weithred; mae *amber* yn dyfod yn orddodol, sef yn derbyn rhan. Ond y mae y brethyn yn colli rhan, felly yn negyddol, ond ni fydd yn hir cyn adfeddianu cydbwysedd, am fod y tyllau yn agored. Hefyd, cawn fod cŵyr, *sealing wax*, yn colli rhan, felly yn dyfod yn negyddol.

Erbyn hyn, hyderaf y dealla y darllenydd fod cyrph yn dyfod yn drydanol i'r graddau y mae y nwyfre fyddo ynddynt yn dyfod yn fwy neu lai hydwythol, yn ol y dwysder neu y dirwasgiad fyddo ar waith yn y sefyllfa hon. Mae y nwyfre yn gwneyd ymdrech galed i adenill ei gydbwysedd; mae yn amlwg fod rhathiad, dirwasgiad, a gwres, yn foddion i gynyrchu trydaniaeth. Yn awr, amcanaf egluro paham y mae tymestl o fellt a tharanau yn cymeryd lle. Mae genym brawfion eglur i ddangos fod y cymylau ar adegau yn dyfod yn drydanol, trwy eu bod yn cael eu gorlanw, neu ynte yn cael eu dyhysbyddu o'u cyfran naturiol o nwyfre. Mae y ddau achos hyn yn eu gwneyd yn drydanol. Mae genyf dybiaeth gref, a rhesymau cedyrn, dros gredu mai wedi eu gorlanw y maent, felly yn orddodol. Mae tymhestl o fellt a tharanau yn dygwydd fel y gwyddoch, ar ol tywydd twymn. Peth anfynych yw tymhestl felly pan byddo yr hinsawdd yn oer, neu yn y gauaf. Mae gwres bob amser a'i duedd i fwyhau sylweddau ac i agor y mân dyllau. Felly mae yr awyr hefyd, yn mwyhau ac yn yfed y nwyfre, yna coda yn naturiol i'r awyrgylch, ag yno y mae yn cyfarfod a lle sydd oerach, ag fel y mae oerfel yn cwtogi pob peth, felly y

mae yr awyr yn ceisio dyfod yn ol i'w le cyntefig, o ganlyniad y mae mwy o nwyfre nag fyddo yn naturiol, a metha ddianc gan yr awyr, o herwydd fod y mân dyllau mor gauedig, yna mae ei hydwythedd yn cynyddu. Pe byddai i ddyn, yr hwn fyddo ei fân dyllau yn agored, ddyfod yn agos i'r cwmwl yn y sefyllfa hon, digon tebyg y byddai iddo ei daro nes dinystrio ei gyfansoddiad. Mae yn amlwg felly nad yw y fellten yn amgen na'r nwyfre yn cymeryd ei aden i le fyddo yn llai hydwythol, ac wrth fyned, yn gwneyd cynhyrfiad yn yr awyr, ac hefyd yn ei wahanu, a phan y byddo yn llanw yn ol i'w le, yr ydym yn clywed y daran. Yn fwyaf cyffredin mae y mellt yn taro cyrph uchel, megys brigau coed, clochdai, ac yn fynych yn taro y dwfr, am fod eu mân dyllau yn agored, ond nid yn gyffredin y maent yn taro gwydr, *pitch*, *sulphur*, a sidan, os na fyddant yn wlyb iawn. Pan fyddo'r fellten yn taro, mae yn sicr o daro y sylwedd hwnw fyddo a'i fân dyllau yn agored. Yn y cyffredin, pan darawir ffenestr, nid y gwydr a darawir, ond (lle byddo un felly), y plwm fyddo yn cysylltu y gwydr a'r *frame*, bron bob amser, o herwydd fod y tyllau yn agored. Mae bob amser yn taro y man rhwyddaf i fyned i mewn iddo. Llawer milwr ar faes y gwaed a'i gleddyf yn hongian wrth ei hochr yn y wain, y fellten yn taro y cleddyf ac weithiau yn ei doddi fel *toddi cwyr* gan y gwres, pan nad yw yn gwneyd un effaith ar y wain. Tarawa yn fynych y dwfr, ond yn anaml y mae yn taro y ddaear. Paham? Am fod yr awyr ar adegau o'r fath yn wlyb, felly yn cael lle i fyned i mewn i'r gwlybwr. A phan y byddo yn taro y ddaear, yr ydym i raddau helaeth yn gwybod hyny wrth y swn, o herwydd mae y swn yn fwy crâs o lawer y pryd hwnw, na phan y mae yn cael lle i fyned i mewn i'r gwlybwr fyddo yn yr awyr cyn cyrhaedd y ddaear. Am y rheswm hwn, po fwyaf y bydd y fellten yn tramwy trwy yr awyr, mwyaf i gyd yw y rhwygiad; ac hefyd y mae yn dyfod yn nes atom, felly mae y swn yn gryfach, ac yn uniongyrchol ar ol y fflachiad—yr hon sydd yn gosod pethau weithiau ar dân; brydiau eraill bydd y drylliad yn nerthol a dinystriol iawn. Gofynwyd lawer gwaith, a yw yn bosibl amddiffyn ein tai a'n meddianau rhag dinystr y fellten? Yn ddiameu y gellir i raddau helaeth. Mae wedi cael ei wneyd, ac fe ellir eto yn ddiau. Er hyny, yr wyf yn credu nad yw y *lightning rods* a roddir ar benau ein tai yn gyffredin, yn ddigon eu maintioli i dderbyn y trydan, os bydd llawer o hono ar unwaith, megys mewn tymestl o fellt a tharanau.

---

## GOCHELIADAU GAN HEN DDIACON.

Peidiwch a siarad mewn modd yn y byd yn anmharchus am un cwrdd crefyddol, pa mor wael bynag y byddo—er engraifft: Na ddywedwch "hen gyfeillach wael;" "hen Gymanfa wael;" "hen Gynadledd ryfedd." Os dim, canmolwch. Os na fydd dim da, na ddyweder dim yn ddarostyngol. Cofiwn ein bod ni, efallai, yn gyfrifol am yr hyn y beuir o'i herwydd. "Cariad a guddia luaws o bechodau," (gwendidau hefyd).

Peidiwch byth a gadael i'r hen ddyn fyned yn drech na'r dyn newydd.

Pan ar ymweliad â ffryndiau ac eraill, peidiwch ag eistedd yn afler—actiwch y boneddwr bob amser, ac yn mhob man.

Peidied y pregethwyr, pan mewn cwrdd cyhoeddus, megys Cymanfa, fod yn wasgaredig yn y gynulleidfa, deuant yn mlaen at yr areithfa, a boed iddynt gynorthwyo eu brodyr i draethu geiriau y bywyd; ac felly gwnaed y cantorion hefyd, deuant yn mlaen i gynorthwyo eu gilydd.

Peidiwch un amser a gweddio yn faith. Os bydd genych neges, dywedwch hi ar unwaith wrth yr orsedd, yn fyr ac yn gryno, canys gwyr eich Tad pa beth sydd arnoch ei eisiau cyn gofyn o honoch ganddo.

---

—**Pleidleisiodd perchenogion y nwyddau yn arddangosfa barhaol Philadelphia, drwy 835 yn erbyn 509, o blaid agor yr arddangosfa ar y Sabboth.**

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

*Atebiad i Ofyniad P. R., o Plymouth, Pa., yn y Rhifyn diweddaf.*

Awdwr yr emyn 757, ydyw John Jones (*Alltud Glyn Maelor*), o Brymbo, Sir Ddinbych, Gogledd Cymru.

Bedyddiwr yw Mr. Jones. Y mae iddo ddau fab yn bregethwyr talentog, ac un o honynt yn fardd fel ei dad. Ysgrifena lawer dan yr enw Ioan ab Alltud.

Y mae *Seren Gomer*, y *Greal*, a'r *Athraw* wedi eu britho a gweithiau Alltud. Clywais Roberts, Trosnant gynt, diweddar o Rhosllanerchrugog, yn dyweyd fod Alltud yn un o'r beirdd mwyaf tanbeidiol a fagodd Cymru erioed. Mae sylwedd a bywyd i'w ganfod yn ei holl weithiau. Ceir yn nghylchgronau misol y Bedyddwyr luaws o'i garolau, ag sydd yn cael sylw mawr yn Nghymru. Hefyd, y mae Alltud wedi cyfansoddi llyfr o'r enw "Y Fodrwy Aur," yn cynwys rhyddiaeth a barddoniaeth. Dylai y llyfr hwn fod yn meddiant pob Cymro. Y mae yn un o'r llyfrau mwyaf difyrus a ddarllenais erioed. Dyma un o'i emynau:—

Fel hyn dywedodd Ef,
Y rhaid bedyddio;
Fe gerfiwyd sêl y nef
I aros arno;
Mae'n ddrych o gladdu'n Duw,
A'i adgyfodi'n fyw,
Ac O! mor weddus yw
Ymostwng iddo.

Mi âf i'r dyfrllyd fedd
O fodd fy nghalon,
Lle claddwyd Brenin nef
A'i apostolion;
Rho'f her i wawdwyr byd,
A'u holl gynlluniau i gyd,
Mi ro'is fy serch a'm bryd
Ar Iesu tirion.

Hyderwyf y tor hyn y ddadl, a boddlona y pleidiau. AMOS ROBERTS.

*Irwin Station, Pa.*

O. Y. Ni fuaswn yn ysgrifenu y llinellau hyn oni bae fy mod yn adnabod y teulu, ac wedi fy ngeni a'm magu gerllaw y lle y trigai y bardd uchod—A. G. M. A. R.

[Derbyniwyd atebion cyffelyb oddiwrth y Parchedigion R. M. Richardson, Dawn, Mo., ac Owen M. Williams, Central City, Colorado.—GOL.]

# Barddoniaeth.

### LLINELLAU HIRAETHLON

Ar ol fy anwyl Fam, sef SUSAN JOHN, Penrhiwgoch, Baglan, swydd Forganwg, yr hon a fu farw Mawrth 31ain, 1877, yn 64 mlwydd oed.

Pan ddaeth y lem frawddeg, bu farw fy mam!
Sefais yn syn a digyffro;
Ataliwyd am fynyd holl ffrydiau fy serch,
A chronfa nas gellir byth blymio;
Pan wiriwyd y ffaith fod mam yn y bedd,
Agorwyd y gronfa mewn eiliad; [pur,
Fy ngruddiau orchuddiwyd gan ddagrau serch
At fam oedd mor orlawn o gariad.

Gorweddais mewn dagrau dan effaith y clwy,'
Wrth gofio, hir fethais a chysgu;
Arteithiau erch rwygol y frawddeg yw hyn,
Bu farw fy mam hoff, anwylgu!
Er fod haul natur yn cuddio ei ben,
Tan leni tywyllwch caddugol,
A mantell fawr nosawl tros wyneb y byd,
Nes cuddio y blodau amrywiol;

Ond wele e'n dod o'i ystafell fel cawr,
Gan ymlid y caddug blaenorol;
Y meusydd dryfrithir â blodau fil myrdd,
Dan wenau ei wyneb serchiadol;
Daw hâf ar ol gauaf, a dydd ar ol nos,
Ymbrancio wna'r ddafad a'r oenig,
Ond byth ni chaf weled hoff wenau fy mam,
Bu farw yn Nghymru fynyddig.

Ei geiriau diweddaf cyn myned i ffwrdd,
Tros foroedd o Walia fynyddig,
"Dy Dduw nac anghofia, yr un yw o hyd,
Bydd ffyddlon i'r gwir yn Amerig;"
Hi dro'dd yn siomedig cyn rhoddi ffarwel,
A'r dagrau tryloewon yn treiglo:
Methodd a siarad, och'neidiodd fel hyn,
"O cofia! O cofia weddio!"

O! gwn erbyn heddyw trwy brofiad beth yw
Gofid o herwydd marwolaeth;
Helbulon fy mywyd ânt oll gyda'r gwynt,
Yn ymyl gwir ddyfnder yr alaeth;
Heddwch i'w phabell sy'n gorphwys mewn gwir
Obaith am godiad dedwyddol;
Ei henaid sydd fry uwch drygfyd a phoen,
Yn nghanol goleuni ysbrydol.

Elfenau anianol, O byddwch yn fwyn,
Na ruthrwch byth dros ei gorweddfan;
Yn berlau i harddu man fechan ei bedd,
O byddwch chwi ddagrau nos anian;
Y gornant fúrmurol sy'n ymyl y fan
Yn suo yn nghlustiau dynolion;

Blaenu wnaeth hon fel eraill o'i blaen,
  I helaeth baradwys gwlad swynion.

Fy mrodyr hoff anwyl, O byddwn yn ddoeth,
  Dewisiwn y rhan na fydd farwol;
Ei gadarn fraich ef a'n hamgylcho bob pryd,
  Fe n ceidw rhag drygau amserol;
Ymdrechwn i ddilyn cymeriad ein mam,
  A diwyd o blaid egwyddorion,
Bydd marw yn elw i ni pan y daw,
  Cawn wledda am byth yn heddychlon.

*Lansford, Pa.* JOHN JOHN (*Nathan*).

## CRAIG-Y-GARN, EIFIONYDD.

Craig y Garn gadarn, gysgodol :—llanerch
  Llwynog yw'n wastadol;
 A llechau glâs addasol
 I doi'r byd godir o'i bol.

Ar ei hylon orielau,—y defaid
  Difyr saif yn rhesau;
 Haf glwys ceir golygfa glau
 O'i phen ar y cyffiniau.

IEUAN DWYFACH.

## Y BEIBL.

Goleudy yw ar draeth amser,
  Sy'n rhoi goleuni clir
I'r lluddedig rai i'w lloni,
  Nes eu dwyn hwy oll i dir;
Goleu haeddiant iawn Calfaria,
  Yn dysgleirio ynddo sydd,
Yn y caddug niwl llewyrcha,
  Nes gwneyd nos yn oleu ddydd.

Dyma'r cwmpawd hynod, cywir,
  Tebyg iddo ni cheir un,
Sydd yn arwain tua'r hafan,
  Er annhirion stormydd blin;
Deial ydyw wedi ei roddi
  Gan y Duwdod ar y llawr,
Er i ddynion dd'od i wybod,
  Amser myn'd i'r frawdle fawr.

Yspienddrych dysglaer ydyw,
  Er cael gwel'd gogoniant Duw,
A'r haelionus un a hoeliwyd,
  Awdwr bywyd dynolryw;
Oracl dwyfol llawn doethineb,
  Iôr anfeidrol yw i'r byd,
Yn darlunio gwir sancteiddrwydd,
  A'i hanfodion oll i gyd.

Pren gwybodaeth pur iachusol,
  Safon bywyd yw o hyd,
Duw sy'n galw yr hîl ddynol,
  I ymborthi arno i gyd;
Didwyll laeth gwir faeth ei eiriau,
  Er dwyn dyn ar gynydd Duw,
Diau dyma y dwy fronau,
  Drefnodd Iôr fel byddom byw.

Yn ei eriau mae peroriaeth,
  Melus gân mewn ing a loes,
I'r credadyn ar ei ymdaith,
  Modd i ganu yn y nos;
Nerth wrth raid i deithio'r anial,
  Geir yn gyflawn ganddo ef,
Y mae ynddo fodd i gynal,
  Enaid dyn hyd deyrnas nef.

Blwch yw hwn a gynwys berlau,
  Gemau pur y Ganaan bêr;
Ynddo ef y mae trysorau,
  I dylodion îs y ser;
Y mae'n galw heddyw'n dyner,
  Ar drueiniaid ato i droi,
I'w diwallu o'i gyflawnder,
  Cyn i'w ganad gael ei gloi.

*Upper Lehigh.* R. THOMAS.

## YR IAITH GYMRAEG.

Ust! dystewch! pa'm d'wedwch hyny,
Y bydd marw iaith y Cymry,
Y mae perlau anfarwoldeb,
Yn pelydru yn ei gwyneb;
D'wedwch bydd i'r haul i d'wyllu,
A'r cynddeiriog fôr i ferwi,
Ond ymsynwch cyn dyweyd hyny,
Y bydd marw iaith y Cymry.

Gwlad gysefin y Siluriaid,
Sy'n parablu iaith estroniaid,
Ac mae'r trefydd yn ymffrostio,
Fod y Saesnaeg wedi 'u swyno;
Ond llwch dewrion, 'n'awr sy'n huno,
Floeddia "Byw fo iaith y Cymro,"
Gwell yw tewi, n'awr am hyny,
Y bydd marw iaith y Cymry.

Mae adfeilion hen gastelli,
Y mae creigiau yr Eryri,
Y mae côf o'n dewrion dadau,
Y mae gwaedd o'r hen ddefodau,
Y mae brŏydd heirdd Morganwg,
Oll yn codi bonllef amlwg;
O, na, peidiwch d'wedyd hyny,
Y bydd marw iaith y Cymry.

"Tra Môr, bydd Brython" yn llefaru,
Gydag ymffrost iaith y Cymry,
Marw n hiaith! pwy sydd mewn pryder
Y bydd marw iaith hen Gomer?
Ha, ha, bydd ieuanc yn dragywydd,
Nid oes marw yn ei defnydd,
Am hyn, byth, na dd'wedwch hyny,
Y bydd marw iaith y Cymry.

*Hyde Park.* T. MORGAN (*Llyfnwy*).

## "AC EFE A FU FARW DROS BAWB," &c.

Drwy farw awdwr bywyd,
  Daeth bywyd i'r holl fyd;
Drwy fywyd 'r un fu farw,
  Daeth iachawdwriaeth glyd;
Rhaid marw er cael bywyd,
  Yn 'r hwn fu un prydnawn
Yn marw, drwy roi 'i fywyd,
  Er gwneyd anfeidrol *Iawn*. TREBOR.

### Y WYBREN AR NOSON GLIR.

Mor bur yw cymhesuriad,
Wrth reol y Dwyfol Dad,
Pob rhyw ran o gyfanwaith
Y Duw Mawr drwy'r Cread maith!
Y wybren uwchben y byd,
A'i hafrif weddau hyfryd,
Holl luoedd ei chylchoedd chwai
Oddiarnodd addurnai.

Yno gwelir peleni golau,
Iach eu mudiad, ser a chomedau;
A newidiol, siriol blanedau,
Drwy ehedynt drwy'n cylch-droadau;
Ennynol yn y nenau—i'w dilyn,
Mae lliw edyn y mil lleuadau.

Hardd, y nos, gwel'd ser-ddinasoedd—lawer
Yn tryloewi'r nefoedd;
A'u golau yn gwau, ar g'oedd,
I dyrau'r eangderoedd!

Oni ddyry afonydd arian
Y fro liwdeg drwy'r nwyfre lydan,
Redant o loewder y ser seirian,
Heinyf olwg ar y nef wiwlan?

Rhwng gwregysoedd bydoedd ban
Ddeilliant yn ffrydiau allan!
Ein cydser a'n niwlser ni,
O balas y Nebiwli,
Sy'n danfon eu rhoddion rhydd,
A weiniant i'n dywenydd.

Lluoedd y bydoedd tanllyd gwibiadol
Ydyw llinellau'r wybrenau breiniol,
Heibio ehedant yn gyrff tanbeidiol,
Ac a chwareuant wrth eu gwych reol;
Eu llysoedd a'u pebyll oesol—ydynt
O agwedd arnynt yn deg, addurnol.

*Pittston, Pa.* CEFNI.

---

### TEYRNGED O BARCH

I Ymuniad Priodasol y Parch. J. F. RICHARDS gyda Miss SOPHIA MATTHEWS, yr hyn a gymerodd le yn Church Hill, O., ar yr 22ain o Mai, 1877.

Uno hyd farw anadferol,
Wnaeth Sophia hawddgar fun;
Gyda Richards, dyn synwyrol,
Er dedwyddwch iddo 'i hun;
Undeb syniad, undeb cariad
Fyddo'u hundeb is y nen;
Yn y fodrwy aur anfeidrol,
Uner y ddau am byth, Amen.

TREBOR.

Hawddamor i Sophia,
Yw fy nymuniad i,
I rodio er anrhydedd
I'w phen a'i phriod hi;
A'r ddau fo'n cyd-ddymuno,
I'r undeb ar y llawr,
I droi yn elw iddynt,
Yn nhragwyddoldeb mawr.

*Dodgeville, Wis.* MRS. ANN HOWELLS.

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM GORPHENAF. (Matt. ii. 5—10).

*Athraw.*—Morgan, pa brophwyd sydd i'w olygu yma?

*Morgan.*—Y prophwyd Micah. Adroddiad anghywir o'i dystiolaeth yw yr adnodau dilynol. Nid pwnc yr efengyl yw ail adrodd, gair am air, brophwydoliaeth Micah, eithr yn hytrach cofnodi atebiad y Sanhedrim, yr hwn a roddodd foddlonrwydd i Herod.

*Athraw.*—Owen, paham y dywedir "nid lleiaf wyt?"

*Owen.*—Tref fechan oedd Bethlehem o ran nifer ei thrigolion mewn cymhariaeth i drefydd eraill yn y wlad; ond yr oedd y ffaith fod Iesu Grist i gael ei eni ynddi yn ei chodi mewn enw ac anrhydedd uwchlaw y dinasoedd oll. Y mae genedigaeth Iesu wedi anfarwoli Bethlehem.

*Athraw.*—Beth a feddylir wrth dywysogion Judah, Gwilym?

*Gwilym.*—Rhenid y bobl yn ddosbarthiadau, ac i ofalu am ba rai y dewisid penaethiaid, pa rai a elwid yn dywysogion; eithr yma y mae y *term* "tywysogion" yn golygu y trefydd lle yr oeddynt yn trigianu.

*Athraw.*—Evan Meredydd, beth oedd yn galw ar Herod i fynu ymgynghori yn ddirgel â'r doethion?

*Evan Meredydd.*—Dyna fel mae dynion drwg yn arfer gwneid. Ma' nhw'n leico hen gwnselau dirgel. Hen gadno ffalst o'dd Herod. Fe widde'r bobol yn itha da am lawer o'i hen strancie twyllodrus e'. Ac fel na byse neb yn i ddrwgdybio fe, wrth wel'd i bryder mowr e', ac hefyd fel byse fe'n shwr o gyradd i amcan llechwrus, y mae am gâl y manilion yn "ddirgel." Fe dreiodd i neid i hunan yn ddyn *nice* yn ngolwg y doethion, er mwyn i cael nw 'nol y ffordd hyny wedin, fel y byse fe yn gallu i lladd nhw a'r Mab bychan.

*Athraw.*—Pa argraff a gafodd yr ymgynghoriad dirgel hwn ar feddyliau y doethion, Dafydd?

*Dafydd.*—Nid oedd eisiau gwell, oblegid "hwythau wedi clywed y brenin *a aethant*." Ychwanegodd hyn eu parch i'r Mab bychan, wrth weled fod un mor fawr a Herod mor awyddus i'w addoli ef. Yr oedd pob peth wedi ei wneyd mor ddeheuig, fel mai Duw yn unig allasai gyfryngu. Os llwyddodd i dwyllo y doethion, ni thwyllodd Dduw. Nid dyma y tro cyntaf na'r diweddaf i flaidd wisgo croen dafad. Eithr y tro hwn, fel bob amser, y mae Duw yn rhagflaenu cynllwynion y tywyllwch.

*Abram Llwyd.*—Dyna hen lanc ond te fe. A'th rhagrith heibio i ddoethineb yn deg. O mor ddyoddefgar yw Duw i fod e'n gadel i'r fath ellyll i gael byw fynyd ar ol hyn.

*Athraw.*—Ydyw, y mae yn amyneddgar iawn. Ond cofier, yr ynfydrwydd mwyaf truenus y gall dyn fod yn euog o hono, yw ceisio rhwystro amcanion Duw. Bydded i ni ddysgu llawer o ddoethineb oddiwrth y gwersi buddiol all pob un o honom dynu iddo ei hunan allan o'r hanes dyddorol hwn.

---

## HANESION CARTREFOL.

### LLYTHYRAU

ODDIWRTH YR EGLWYSI I GYMANFA EFROG NEWYDD, YN CATTARAUGUS, A GYNALIWYD MEH. 6—10.

---

*Eglwys Iesu Grist o Fedyddwyr Neillduol, yn Freedom, Cattaraugus, N. Y.*

Anwyl Frodyr: Yr ydym yn rhwym o gydnabod daioni a thrugaredd fawr Duw tuag atom, fel eglwys, yn ystod y flwyddyn Gymanfaol sydd wedi myned heibio. Gallwn dystiolaethu ein bod wedi mwynhau graddau helaeth o wenau y nefoedd arnom. Er nad ydym wedi cynyddu llawer mewn rhifedi, credwn ein bod wedi cynyddu mewn grasusau crefyddol. Y mae'r Arglwydd wedi bod yn dirion wrthym, ac wedi profi lawer gwaith ei hen addewid werthfawr, sef, "Byddaf fel gwlith i Israel."

Y mae brawdgarwch ac undeb eglwysig ar eu cynydd yn ein plith. "O'r Arglwydd y mae hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni."

Collasom rai o'n plith, trwy gael eu symud oddiwrth eu gwaith at eu gwobr, yn ystod y flwyddyn ddiweddaf. Ymgysurwn yn y ffaith eu bod wedi gadael tystiolaeth ar eu hol, eu bod yn newid er gwell, a dymunwn ar i'r Arglwydd wneyd i fyny y bylchau a wneir gan angau yn Seion.

Mae y cyfnewidiadau am y flwyddyn ddiweddaf fel y canlyn: Bedyddiwyd, 2; Adferwyd, 2; derbyniwyd trwy lythyrau, 7; diarddelwyd, 3; gollyngwyd trwy lythyrau, 3; bu farw, 2; rhif presenol, 198.

Cenadon—Diacon J. W. Williams, a diacon John Lewis.

---

*Eglwys y Bedyddwyr yn Remsen, at Gynadledd y Gymanfa Gymreig yn Cattaraugus, N. Y., Anerch.*

Anwyl Frodyr: Wrth gyflwyno ein hepistol blynyddol i chwi, nid oes genym ddim o ddyddordeb neillduol i'ch hysbysu, heblaw fod heddwch ac undeb yn ffynu yn ein plith, a'n bod yn mwynhau llafur gweinidogaethol y Parch. John Seth Jones, yn yr hwn yr ydym yn unedig a boddlawn. Mae genym bregethu ddwywaith, ac ysgol bob Sabboth; cyfarfod gweddi wythnosol a misol; a chyfarfodydd eglwysig; a chymundeb ar y Sabboth cyntaf o bob mis.

Ein cyfnewidiadau am y flwyddyn sydd fel y canlyn: Bedyddiwyd, 3; derbyniwyd trwy lythyr, 4; rhif presenol yr eglwys, 70. Dros yr eglwys,

HUGH R. JONES, Ysgrifenydd.

*Mai 28, 1877.*

[Yr oedd y brawd Hugh R. Jones, ysgrifenydd y llythyr uchod, yn un o ragorolion y ddaear. Ni bu y brawd anwyl fyw ond ychydig wedi ysgrifenu y llythyr. Mawr yw y golled a deimlir ar ei ol.—GOL.]

---

*Eglwys y Bedyddwyr Cymreig yn Utica, N. Y.*

At y gynadledd o weinidogion a chenadon yr eglwysi Cymreig perthyn-

ol i Gymanfa Efrog Newydd, a gynelir eleni gyda'r eglwys yn Freedom, Swydd Cattaraugus.

Anwyl Frodyr: Yr ydym yn cymeryd y cyfleustra hwn i'ch llongyfarch eleni eto yn eich cylchwyl flynyddol, gan ddadgan ein teimladau diolchgar i Dad a rhoddwr pob trugaredd am ei ddaioni i ni fel brawdoliaeth fechan yn y ddinas hon.

Er nad oes genym ddim i'w ysgrifenu atoch a fydd o lawer o les, calondid, na llawenydd i chwi, eto y mae yn dda genym eich hysbysu ein bod yn fyw, hyd yma, ac yn parhau i gynal moddion gras yn rheolaidd, yn Sabbothol ac wythnosol. Ond yr ydym yn weiniaid. Nid yw ein rhifedi ond ychydig, a'n hamgylchiadau ond isel, fel crefftwyr a gweithwyr yn yr amser caled hwn.

Nid yw cyfnewidiadau y flwyddyn ond yn ychydig. Nid ydym wedi bedyddio neb, na derbyn neb trwy lythyr, adferu, na diaelodi ond un. Ymadawodd ein gweinidog, y brawd H. Gwerfyl James, â ni yn fuan ar ol y gymanfa ddiweddaf; ac yr ydym wedi rhoddi galwad i'n hen weinidog, y brawd J. Edred Jones, i gymeryd ein gofal drachefn. Cydsyniodd a'n cais, a phregetha i ni bob Sabboth. Felly, er mor wanaidd ydym, yr ydym yn mwynhau gweinidogaeth gyson.

Y mae'n perthyn i ni lawer o frodyr a chwiorydd anwyl, y rhai sydd wedi cyrhaedd gwth o oedran, cymdeithas y rhai nis gallwn ddysgwyl fwynhau ond am ychydig iawn o amser yn mhellach. Maent yn ein gadael yn barhaus o un i un. Collasom dri aelod y flwyddyn ddiweddaf, sef, y chwaer Mrs. Mary Jones, ac Isaac Thomas—y diacon—ac Owen Jones.

Gyda dymuno ar fod tangnefedd Duw yn gorphwys arnoch oll, ac ar i lwyddiant mawr fod ar y Gymanfa hon, y gorphwys eich cydlafurwyr yn ngwinllan ein Gwaredwr,

J. EDRED JONES, Gweinidog,
J. M. WILLIAMS, Ysgrifenydd.

---

CYMANFA Y BEDYDDWYR YN OHIO.

Cynaliwyd Cymanfa y Bedyddwyr yn Ohio a Gogleddbarth Pa. y flwyddyn hon yn Church Hill, Ohio, Mehefin 22, 23, 24. Yn ystod y gwahanol gynadleddau, ymdriniwyd a gwahanol faterion perthynol i'r eglwysi, a phenderfynwyd a ganlyn:

1. Derbyniwyd y Parch. D. Evans, Ebensburg, Pa., i undeb y Gymanfa hon, ar sail ei lythyr gollyngdod o Gymanfa Dwyrain Pa.

2. Derbyniwyd eglwysi Dennison a Palmyra, Ohio, i undeb y Gymanfa.

3. Derbyniwyd cais eglwys Newburgh am ryddid i ymadael a'r Gymanfa Gymreig, ac ymuno a'r Gymanfa Seisnig.

4. Ail etholwyd y Parch. D. Probert yn Llywydd, E. Morddal Evans yn Ysgrifenydd, a T. Thomas, Sharon, yn Drysorydd y Gymanfa am y flwyddyn ddyfodol.

5. Rhoddwyd derbyniad cynes i'r Parch. O. Griffiths, Gol. y WAWR, a dymuna y Gynadledd bob llwydd iddo yn ein gwasanaethu fel enwad, a thaer anogir pawb yn mhob man trwy gylch y Gymanfa i dderbyn, cefnogi a thalu yn brydlawn am y WAWR.

6. Penderfynwyd ein bod i gymeryd dan ystyriaeth o hyn hyd y Cyfarfod Chwe' Misol nesaf, achos gweinidogion sydd yn symud o un Gymanfa i Gymanfa arall heb lythyrau gollyngdod.

7. Penderfynwyd fod y brodyr T. Parry, S. Job a D. Jenkins, yn bwyllgor ymchwiliadol o barth ein capel yn Hubbard.

8. Penderfynwyd ein bod yn cydymdeimlo ag eglwys Niles yn ei chyfwng presenol.

9. Cynelir y Gymanfa y flwyddyn nesaf gyda'r eglwys yn Sharon, Pa.; a'r Cyfarfod Chwe' Misol gyda'r eglwys yn Palmyra, Ohio.

Dechreuodd gwasanaeth cyhoeddus y Gymanfa yn Church Hill, nos Wener, yr 22ain, pryd y gweddiodd y Parch. J. F. Richards, a phregethodd y brawd D. D. Davies, Brookfield, O., a'r Parch. J. T. Jones, Thomastown, O. Nos Sadwrn, y 23ain, dechreuwyd trwy weddi gan y Parch. T. M. Mathews, a phregethodd J. J. Morris, Nanticoke, a'r Parch. D. Evans, Ebensburg. Boreu y Sabboth, am ddeg, dechreuwyd trwy

weddi gan y Parch. D. Probert, a phregethodd y Parchn. D. C. Thomas, T. M. Mathews a J. W. James. Am ddau o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. D. Nicholas, a phregethodd Thos. Thomas, Charles Jones, ac O. Griffiths, Utica. Nos Sabboth, am chwech, gweddiodd y brawd J. J. Morris, a phregethodd Samuel Job, Joseph T. Jones, a'r hen dad D. Jenkins. Yr oedd y cynulliadau yn anarferol luosog, y cyfarfodydd yn dda drwyddynt, a'r weinidogaeth mewn nerth, fel mai da oedd bod yno. Ar gyfrif lluosawgrwydd y gynulleidfa, cynaliwyd rhai o'r oedfaon yn yr awyr agored mewn lle dymunol. Yr oedd pobl Church Hill fel arfer, yn siriol a charedig oll.

E. Morddal Evans, Ysg.

Athrofa Lewisburg, Pa., Mehefin 27.—Mae heddyw wedi dwyn *Commencement* yr Athrofa uchod i derfyn iad. Yr oedd yma un Cymro yn graddio y tro hwn eto, sef Mr. T. P. Morgan, Plymouth, Pa., ar ol brwydro yn galed yn erbyn anhawsderau lawer dros chwe' blynedd. Pan tua chanol ei yrfa athrofäol, cafodd y newydd chwerw a chalon-rwygol, fod ei anwyl dad wedi cyfarfod â'i angau yn sydyn yn y gwaith. Ond yn ngwyneb hyn, a llawer o bethau eraill a ellid enwi, ag oedd yn rhwystrau mawrion i fachgen tlawd yn ymdrechu am ddysg, daeth trwyddynt oll trwy ddyfal-barhad ac ymroddiad, a heddyw cyhoeddwyd ef yn deilwng o hyn allan i osod ychwanegiad o B. A. at ei enw.

Mae Mr. Morgan wedi cael galwad oddiwrth eglwysi Bedyddiedig Pottsville a St. Clair, ond heb benderfynu ei derbyn eto. Os derbynia yr alwad, hyderaf y ca y bugail a'r praidd lawer o gysur a gwenau y nef, a sel fawr i wneyd daioni dros y Ceidwad.

Mae yma dri Chymro arall yn yr Athrofa, ac yn awr wedi derbyn *promotion* o'r Freshman i'r Sophomore Class, sef D. H. Evans, Plymouth; T. W. Lewis, St. Nicholas, a T. M. Mason, Wilkesbarre. Chwi fechgyn sydd ar ol, ewch rhagoch, a mynwch dd'od yn ddynion y bydd o wir werth i'r byd gael eich gwasanaeth. Bu yma un arall am y ddwy flynedd ddiweddaf yn cymeryd *select studies*, sef W. F. Davies, Hyde Park, Pa. Bwriada eto fyned am dymor i Crozer Theological Seminary, os bydd amgylchiadau yn caniatau, pan fydd y flwyddyn Athrofäol yn dechreu. Mae Athrofa Lewisburg wedi gwneyd llawer iawn o ddaioni i fechgyn y Bedyddwyr Cymreig yn Pennsylvania. Trueni na fyddai yr Athrofa, ac yn nellldduol y *Baptist Educational Society*, yn cael mwy o sylw ein heglwysi nag y maent yn gael yn bresenol.

Yr ydym fel bechgyn Cymreig yn y lle, yn diolch o galon i berchenog parchus y *Drych* am ei haelfrydedd yn anfon ei bapyr yn rhad i ni bob wythnos. Addawodd papyr arall wneyd yr un peth, a gwnaeth hyny am dro, ond buan iawn y blinodd, "a rhoddodd ei geiniog yn ei gôd," a dywedodd wrthym, os am y papyr yn hwy, bod yn rhaid talu am dano; ond nid oes eisiau i mi ddyweyd wrthych na thalasom, ac na chawsom y papyr yn hwy; oblegid yr oeddwn yn rhy dlawd i dalu, a hwythau yn meddianu ar ormod o'r dyn i beidio sefyll at yr hyn a ddywedent. Mae gwahanol ffyrdd i gael tanysgrifwyr, onid oes? Un peth sydd yn wir am y papyr a nodwn, nad yw yn sectarol o gwbl.—*Rhodynog.*

*Morris Run, Pa.*—Ar y *Fourth*, yn ol penderfyniad blaenorol, cychwynodd Ysgol Sul y Bedyddwyr tua'r coed, rhwng 9 a 10 o'r gloch, i gynal *picnic*, a chafwyd yno fwrdd wedi ei osod allan yn drefnus, ac arno gyflawnder o bob danteithion. Digonwyd pawb ag ymborth a *candies*, ac aeth pob peth drosodd yn drefnus a heddychol. Tystiai pawb oedd yn bresenol fod hwn yn eithriad ar y *picnics* yn gyffredin. Mae eglwys y Bedyddwyr yma wedi sicrhau gwasanaeth y brawd ieuanc W. F. Davies, gynt o Athrofa Lewisburg, Pa., i'w gwasanaethu am ychydig fisoedd yr haf yma. Pregethodd yn neillduol o dderbyniol y Sabboth diweddaf. Tystiai y gynulleidfa oedd yn bresenol yn ei

wrando, yr hon oedd yn llawer lluosocach na'r un sydd wedi bod yn y capel hwn er ys amser maith, fod Mr. Davies yn werth ei wrando. Mae gweled y dyn ieuanc hwn heddyw, a chofio pwy yw efe, a'r anhawsderau y mae wedi myned trwyddynt er cael ychydig addysg, yn brawf ychwanegol o'r hyn wna penderfyniad diysgog. Llwyddiant iddo ef a phawb o'r un penderfyniad a thueddiad, yw dymuniad calon—*Timon.*

*Agoriad Eglwys Fedyddiedig yn Hyde Park.*—Dyddiau Sadwrn a Sul, Meh. 22, 23, agorwyd yma eglwysdy hardd a chyfleus iawn gan y Bedyddwyr Seisnig. Bedyddwyr Cymreig Seisnig a ddylasem ddyweyd, oblegid Cymry o darddiad ydynt gan mwyaf oll. Mae yr eglwys hon yn un addawol iawn, gan mai rhai ieuainc yw mwyafrif yr aelodau. Dechreuwyd hi Mehefin, 1871, yn gynwysedig o saith o aelodau. Rhoddasant alwad i'r Parch. B. W. Thomas, Ashland; ac erbyn heddyw maent yn rhifo yn agos i ddau gant o aelodau. Rhoddasant yn agos i dair mil o ddoleri am *lot*, ac y maent wedi talu am dani, ac oddeutu dwy fil o ddyled sydd yn aros ar eu heglwysdy. Y mae Mr. Thomas wedi gweithio yn ddiwyd iawn, ac y mae yn hynod boblogaidd gan ei eglwys. Cafwyd cyfarfodydd ardderchog ar yr agoriad. Pregethwyd ar yr achlysur gan y Parch. E. R. Mott, Hyde Park; Parch. J. S James, Allentown; Parch. Dr. Bailey, Pittston; Parch. Theo. Jones, Wilkesbarre; a'r Parch. B. D. Thomas, Philadelphia. Traddodwyd y *bregeth gysegrol* gan y Dr. Bailey. Pregethai y Parch. B. D. Thomas, Philadelphia, yn hyawdl a dylanwadol anghyffredin.

—Mae y Parch. J. Windsor Lewis, Victoria, Ebbw Vale (gynt o'r Tabernacl, Cefn Mawr), ar ymweliad a'r wlad hon. Y mae yn bregethwr da a phoblogaidd, o gymeriad dichlynaidd, a llythyr o gymeradwyaeth uchel ganddo oddiwrth Gymanfa Mynwy. Bwriada ymweled ag ychydig o eglwysi cyn dychwelyd i'r Hen Wlad Hyderwyf y caiff dderbyniad caredig, ac y bydd ei ymweliad a'r eglwysi yn lles iddynt. Ein dymuniad yw, ar fod i Ben mawr yr Eglwys ofalu am dano yn ei holl deithiau, a chaniatau iddo ddychwelyd i fynwes ei deulu hoff yn iach a diogel. Bwriada ddychwelyd i Gymru ddechreu mis Medi. M. WRIGHT.

*Hyde Park, Pa., Gorph. 7, 1877.*

---

## *BEDYDDIADAU.*

*Coalburgh, O., Mehefin 10.*—Bedyddiwyd chwech gan y Parch. Charles Jones, ar broffes o'u ffydd yn Nghrist. —*C. Jones.*

*Frostburgh, Md.*—Mae yr achos goreu yn bur llewyrchus yma. Bedyddiodd ein parchus weinidog, y Parch. D. R. Jones yn ddiweddar ddwy chwaer ar broffes o'u ffydd.—*Jacob Davies.*

*Dawn, Missouri.*—Mae yr eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn yn llwyddo. Mae 13 wedi eu hychwanegu ati er pan wyf yma, drwy lythyrau, adferiad, a bedydd. Bedyddiwyd dau boreu Sabboth, Gorph. 1af, ac adferwyd dau. Mae eraill yn y gyfeillach.—*R. M. Richardson.*

*Kingston, Pa., Mehefin 17eg.*—Cawsom y fraint o weled tair chwaer yn cael eu bedyddio ar broffes o'u ffydd yn y Gwaredwr, gan ein parchus weinidog, y Parch. James R. Price. Ar ol ymgynull i lan y dwfr, darllenodd a gweddiodd yr hen frawd parchus, Theophilus Jones, Wilkesbarre; yna gweinyddwyd yr ordinhad yn ol y dull Apostolaidd, gan ein hynaws frawd rhag-grybwylledig. Er fod y gwyddfodolion yn gyfansoddedig o wahanol genedloedd, darfu iddynt oll ymddwyn yn foneddigaidd tra y bu yn cyflawni y commisiwn. Er nad oes ond amser byr oddiar pan ordeiniwyd ein parchus weinidog i gyflawn waith y weinidogaeth, y mae eisioes wedi cael y fraint o fedyddio 13; y mae hyn yn llefaru yn uchel fod a fyno Duw ag ef. Yr oeddwn yn meddwl wrth weled yr ordinhad yn cael ei gweinyddu, fod pethau gogoneddus yn cael eu harwyddocau ynddi, sef cymdeithas â Christ yn ei ddyoddefiadau, ei angau, ei gladdedigaeth, a'i adgyfodiad; marwolaeth i bechod, a

chyfodiad i fuchedd newydd; claddedigaeth y corph, ac adgyfodiad yr unrhyw yn y dydd diweddaf. Fe anrhydeddwyd bedydd o'r nefoedd. Pan oedd Ioan yn bedyddio Iesu yn afon yr Iorddonen, cafwyd prawf fod Duw yn caru y gwaith. Y Mab yn cael ei fedyddio, yr Ysbryd yn disgyn fel colomen, ac yn aros arno ef, a'r Tad yn llefain mewn llais hyglyw, "Hwn yw fy anwyl Fab yn yr hwn y'm boddlonwyd." Y mae y byd Cristionogol yn rhanedig iawn yn bresenol mewn cysylltiad a'r orhinhad o fedydd. Ai yn rhanedig y bydd Cristionogion hyd derfyn yr oesau? Na, oblegid, dywed y Pen Bugail mawr, y gwelir un gorlan ac un bugail. Daw dydd pan y llyncir yr holl enwadau i fyny yn enw ein Harglwydd ei hun, ac ni fydd ond un Jerusalem, a holl Israel yn ymlwybro yn mlaen dan yr un faner fawr, yn siarad yr un iaith, yn seinio yr un mawl, ac yn dwyn yr un nodau. Y mae i raddau yn nos yn awr, oblegid ni all yr holl bleidiau fod yn rhodio yn y goleuni; ond daw dydd na fydd ond un dyrfa fawr yn ymdynu tua'r bywyd, dan un rhwymyn cariadlawn, ac yn arddelwi yr un enw, a'r holl enwau daearol wedi darfod. Sicr yw mai dyledswydd arbenig Cristionogion yw gwneyd pob ymdrech efengylaidd i helaethu teyrnas Mab Duw, ac i enill eneidiau i ffydd Crist; ond y mae yn ofnus, fod y dull a gymerir yn fynych yn tueddu mwy i oglais teimladau nag i beri gwir ddychweliad. Mae yn eithaf amlwg wrth ddal sylw ar sefyllfa bresenol crefydd, fod llawer iawn o'r rhai a'i harddelant, yn ymddibynu gormod ar ryw gyflawniadau allanol, heb ymdrechu digon i gael eu heneidiau dan lywodraeth ysbryd Cristionogaeth. Digon gwir, mai arwyddair yr efengyl yw heddwch, ac y mae mor wir a hyny, fod yn ddyledswydd ar bob un a broffesa grefydd Crist, i wneyd pob ymdrech i fagu a meithrin heddwch a brawdgarwch, y naill at y llall; ond dylai hyn fod yn seiliedig ar gyfiawnder a sancteiddrwydd, cyn y gellir ei bleidio ar dir efengylaidd. Brysied yr amser y byddo Seion yn deffro o'i chysgadrwydd, yn gwisgo ei nerth yn erbyn mympwy dynol, a llygredigaethau yr oes, fel y glanhaer y byd oddiwrth bob traddodiad ag sydd yn groes i reol y Testament Newydd. Dymunwn bob llwyddiant i'r WAWR i ymosod yn wrol yn erbyn gau-athrawiaethau a chyfeiliorniadau yr oes.—*J. A. Davies.*

## *GANWYD—*

Ebrill 15, yn Straitsville, Perry Co., Ohio, dwy ferch i John a Harriet L. Jones. Gelwir hwy Susannah ac Emma Elizabeth.

## *PRIODWYD—*

Gorphenaf, 4, 1877, yn Church Hill, Ohio, gan y Parch. James F. Richards, yn ei dy ei hun, yn cael ei gynorthwyo gan y Parch. Thos. Matthews, Hubbard, Rees Rees, Ysw., a Miss Martha Griffiths, merch y diweddar Barch. G. Griffiths, Hubbard, y ddau o Hubbard.

Yn Mineral Ridge, Mehefin 20fed, yn ei dy ei hun, gan y Parch. J. W. James, Mr. William Parker a Miss Catherine Williams, ill dau o'r lle uchod.

Mehefin 23ain, gan y Parch. W. D. Thomas, Mahanoy City, Pa., yn nhy tad y briodasferch, T. Hughes, y cerddor, Mr. Edmund H. Jones a Miss Elizabeth Hughes, y ddau o Shenandoah, Pa.

## *BU FARW—*

### CHARLES ABRAHAM JONES.

Ebrill 8fed, 1873, yn nhy y brawd Mr. Hugh F. Jones, Charles Abraham Jones, mab i Mr. Charles Jones, Plymouth. Y frech wen fu yn angeuol i'r un bychan. Claddwyd ef yr un dydd yn mynwent Upper Lehigh.

### THOMAS JONES.

Ebrill 25ain, 1873, yn 1 flwydd a 3 mis oed, Thomas Jones, anwyl blentyn Mr. Hugh F. Jones a'i briod, o'r un clefyd.

### WILLIAM JONES.

Ebrill 27ain, 1873, bu farw William Jones, mab i'r un teulu trallodus, yn 16 oed. Yr oedd yr ymadawedig hwn yn fachgen golygus a gobeithiol iawn. Yr oedd yn proffesu crefydd yn moreu ei oes, ac er yn fachgen yn gwybod yr Ysgrythyr lân. Pan ar ei wely cystudd, yn daer cymellai ei dad i gyd-weddio ag ef yn fynych. Cysur meddwl ei fod ef yn weddiwr ei hunan, a gellir dyweyd yr un peth am ei dad yn awr, y mae yntau hefyd yn gweddio. Mae genym sail gref i obeithio, fod William yn ngwlad y bywyd pur. Am 1 o'r

gloch y dydd y bu farw, daeth torf luosog iawn i dalu y gymwynas olaf yw weddillion marwol. Cyn cychwyn, ceisiwyd canu "Yn y dyfroedd mawr ar tonau," &c., ond ni ellid canu—wylo yr oedd pawb. Credwn na fu erioed angladd yn Upper Lehigh a chymaint o wylo cyffredinol ynddo a hwn. Ar lan y bedd, canwyd y geiriau hyn:

Pan byddai'n gorwedd yn y llwch,
  Mewn heddwch rho i'm huno;
Ac adgyfodi ar dy wedd,
  Pan glywai'r bedd yn datglo.

—

Aeth William o gyrhaedd gofidiau,
  A phob ryw glefydau a phoen,
I'r wlad lle mae ei hinsoddau,
  Yn iachus gan rinwedd yr Oen;
Mae yno'r awelon dymunol,
  A geidw'n drag'wyddol yn fyw,
Yr enaid a fyddo'n wirfoddol,
  Cyn marw yn caru'r gwir Dduw.

Gan hyny na fyddwch alarus,
  Rieni, er colli eich plant,
Daw boreu y dydd gorfoleddus,
  Pan godir eich blodau o'r pant;
Pryd hyny bydd melus cyfarfod
  Rhieni a phlant yr un wedd,
A'r Iesu o'i ras yn eich gosod,
  I aros heb 'madael, mewn hedd.

R. THOMAS.

### MARGARET ANN HENRY.

Mawrth 22ain, 1877, yn Houtzdale, Margaret Ann Henry, merch John a Martha Henry. Buasai yn 10 mlwydd oed y 4ydd o Orphenaf. Yr oedd yn blentyn call iawn, hawdd ei charu, ac yn hynod hoff o holi cwestiynau i'w rhieni. Gofynai i'w mam ychydig amser cyn ei marwolaeth, os oedd plant yn cael myned i'r nefoedd mor gynted ag y buasent yn marw? Atebodd ei mam hi yn gadarnhaol, eu bod. Meddyliodd lawer am adrodd dernyn oedd wedi ei ddysgu erbyn y cwrdd adroddiadol oedd i fod tua phythefnos ar ol hyny, ond diangodd ei henaid i fyd yr ysbrydoedd cyn yr *exhibition;* ond cafodd well cyfarfod na neb o honom ni ar y llawr, o herwydd y mae sicrwydd genym mai eiddo y cyfryw rai yw teyrnas nefoedd. Ei chlefyd oedd y *typhoid fever*. Dylaswn ddyweyd ei bod yn aelod o'r Ysgol Sabbothol yn y lle hwn. Yr eiddoch yn rhwymau cariad, ei thad galarus,

JOHN HENRY.

### MISS MARTHA EVANS.

Mai 13eg, 1877, yn Kingston, Pa., Miss Martha Evans, yn 21 ml. a 9 mis oed; merch ydoedd i William a Mary Evans o'r lle hwn. Cafodd ei bedyddio a'i derbyn yn aelod cyflawn o'r eglwys Fedyddiedig sydd yma, Ebrill 19eg, 1874. Gweinyddwyd gan y Parch. A. J. Morton, Upper Lehigh. Bu fyw yn deilwng o'i phroffes hyd y diwedd. Yr oedd o dymher addfwyn a hawddgar, a gwelir ei heisiau yn fawr yn y cylch teuluaidd, gan ei bod mor ofalus i "warchod gartref," a chymeryd dyddordeb arbenig mewn trefn a glanweithdra cyffredinol, yn hyn yn ddiau yr oedd yn esiampl i lawer o ferched ieuainc y wlad hon. Gwelwn ei heisiau hefyd yn y cylch eglwysig. Yr oedd yn ffyddlawn ac ymdrechol yn ol ei manteision; ni fu ei thaith ond ber, ond "rhedodd yn dda." O fewn diwrnod neu ddau i'w marwolaeth, dywedodd ei mam wrthi, y carai yn fawr ei gweled yn gwella; ysgydwodd hithau ei phen, a gwenodd. Meddianai ei hun yn dawel; nid oedd yn gwybod am ofn marw. Diau iddi farw o "farwolaeth y cyfiawn." Mai y 15fed, hebryngwyd yr hyn oedd farwol, gan dyrfa luosog o'i chydnabod i fynwent Forty Fort. Gweinyddwyd yn y ty ac ar lan y bedd gan yr ysgrifenydd,

JAMES R. PRICE.

### MIRIAM BEVAN.

Mehefin 21ain, yn Gilberton, Mahanoy City, yn 13 mlwydd a 10 mis oed, o'r *inflammation*, bu farw Miriam, merch David a Jane Bevan, o'r lle uchod. Yr oedd yr ymadawedig yn un o'r rhai mwyaf mwyn a hawddgar; ac er ei chystuddio yn y modd mwyaf poenfawr, yr oedd yn berffaith amyneddgar hyd y diwedd. Blinid hi yn fawr ei bod yn achos o gymaint trafferth i'w mam. Claddwyd ei gweddillion yn mynwent yr Odyddion yn Tamaqua, ar y 23ain. Gweinyddwyd gan y Parch. W. D. Thomas, Mahanoy City. Mae ein brawd a'n chwaer uchod wedi ei chael hi yn bur arw er ys rhai blynyddau bellach. Y Dyddanydd mawr fyddo yn eu cysuro yn nydd y ddryghin.

W. D. THOMAS.

### MRS. MARY JOHN.

Mai 28, 1877, yn Houtzdale, Pa., yn 26 ml. a 7 mis oed, Mrs. Mary John, gwraig anwyl Mr. David John, a merch ieuengaf y Parch. William R. Jones, gweinidog y Bedyddwyr yn y lle uchod. Ei chlefyd oedd y *brain fever*, yr hyn a drodd yn *convulsion fits*, ac effeithiodd hyny wewyr esgor anamserol. Gadawodd briod hoff a thri o blant bychain i alaru ar ei hol, yn nghyd a thad a mam hoff, dwy chwaer a thri brawd, mewn gofid a thrallod dwys. Ymunodd ag achos y Gwaredwr yn foreu, a chafodd ei bedyddio gan ei thad yn Morris Run. Symudodd i'r lle hwn gyda'i phriod tua thair blynedd yn ol, ac yr oedd hi yn aelod hawddgar yn eglwys y B. Teimlir colled mawr ar ei hol yn yr ardal, heblaw gan ei pherthynasau hoff. Claddwyd hi Mehefin 1af yn mynwent Henderson, tua thair milldir o'r fan lle yr oedd y chwaer anwyl yn byw, a daeth tyrfa luosog i dalu y gymwynas olaf a allent iddi. Gweinyddwyd yn y cynhebrwng gan y Parch. John Chase, pregethwr cynorthwyol yn eglwys yr M. P., Houtzdale. Methodd ei thad fyned i'r cynhebrwng gan gystudd trwm a gofid dwys. Mae y bychan gafodd ei

eni yn fyw. Bachgen ydyw, ac mae argoel dda am iddo ddyfod yn mlaen. Yr oedd ein chwaer yn enedigol yn y wlad hon.

J. D. JONES.

HUGH R. JONES.

Mehefin 16, 1877, yn Steuben, N. Y., y brawd anwyl a'r diacon ffyddlawn, Hugh R. Jones, yn 58 mlwydd, 5 mis a 17 niwrnod oed. Claddwyd ef y dydd Mawrth canlynol yn mynwent Prospect; ac nid oedd dim ond eisiau gweled yr angladd er cael prawf fod rhyw un anwyl a pharchus yn y gymydogaeth wedi huno. Yr oedd dros gant, meddir, o gerbydau wedi eu dwyn yn nghyd. Gweinyddwyd yn y claddedigaeth gan y Parch. M. J. Williams, Remsen; O. F. Parry, Bordwell; R. Trogwy Evans, Remsen; Mr. Hughes, Steuben, a J. Seth Jones, Remsen. Ni chawsom fod mewn claddedigaeth erioed a phawb o'r gweinidogion yn tystio mor hyglyw glodydd yr ymadawedig. Defnyddient yr ymadroddion cryfaf er dangos rhagoroldeb ein hanwyl frawd, megys, "Gwr mawr yn Israel," "Perl o ddyn ydoedd y brawd." Nid oedd neb mewn petrusder rhag canmol gormod, gan fod y gymydogaeth yn gyffredinol yn edrych ar H. R. Jones fel *model* o berffeithrwydd. Fel priod, yr ydoedd yn dyner a serchog; fel cymydog, yr ydoedd yn garedig, tawel a heddychlon; fel Cristion, er dechreuad ei yrfa grefyddol, yr ydoedd yn ddi-goll; ac fel diacon, gallasai heb wrido ddywedyd wrth ei gyd-swyddogion, "Byddwch ddilynwyr i mi, frodyr." Dyma yr unig ddyn y cawsom ni yn ein bywyd yr anrhydedd o fod yn ei angladd a phawb yn dyweyd yn dda am dano. Credwn i ni fod mewn amryw angladdau a'r gwirionedd yn tystio yn dda am yr ymadawedigion; ond am Hugh R. Jones, dywedwn yn ddibryder, "fod iddo air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hunan." Priod y weddw a ofalo yn dyner am ei anwyl briod yn ei gweddwdod a'i hunigedd, a Duw Seion a ofalo am eglwys y B. yn Remsen. Colli Jones oedd y golled fwyaf a gafodd erioed. Heddwch i'w lwch hyd y boreu y byddo yn cael ei gasglu er ei ffurfio ar ddelw yr hwn a orchfygodd angeu a'r bedd.

---

## NEWYDDION CYMRU.

—O'r diwedd, mae y cysylltiad a fodola rhwng eglwys a gwladwriaeth, yn datod yn gyflym. Mae Eglwyswyr yn gystal ag Ymneillduwyr yn siarad yn groew a difloesgni ar y mater. Yn bresenol mae mudiad pwysig iawn yn myned yn mlaen tu fewn i'r Eglwys ei hunan ar y pen hwn. Ychydig yn ol sefydlwyd "Cymdeithas Dadgysylltiad yr Eglwys" gan Eglwyswyr, yr hon sydd eisoes wedi cyhoeddi amryw bamphledau ar y mater. Bu cyfarfod dylanwadol yn Llundain yn ddiweddar, mewn cysylltiad a'r gymdeithas hon. Mae y "*Mesur Claddu*" ar y ffordd i lwyddo. Cafodd y mwyafrif yn Nhy yr Arglwyddi yn ddiweddar.

*Cymanfa Dinbych, Fflint a Meirion.*—Cynaliwyd hon eleni yn y Tabernacl, Cefn Mawr, Meh. 5ed a'r 6ed.

Yn mhlith y penderfyniadau cawn a ganlyn:—

Fod y Gymanfa hon yn cydymdeimlo yn ddwys gyda Mrs. Williams, Rhos, yn ngwyneb afiechyd poenus ei hanwyl briod.

Ein bod yn cymeradwyo y cwrs a gymerwyd gan Mr. Gladstone gyda golwg ar Bwnc y Dwyrain, ac yn gobeithio y ceidw y wlad o'r rhyfel presenol.

Ein bod yn dymuno ar yr eglwysi i sefydlu Cymdeithas *Band of Hope* i'r ieuenctyd, a gwneyd ymdrechion egniol i wrthsefyll anghymedroldeb yn y wlad.

Yn mhlith y pregethwyr dyeithr gwelwn enwau y Parchn. E. Thomas, Casnewydd; B. Thomas, Narberth; C. Davies, Lerpwl; ac E. Roberts, Pontypridd. "Cafwyd Cymanfa ardderchog."

*Cymanfa Mynwy.*—Cynaliwyd yr uchod yn y Casbach, Mai 29 a'r 30. Penderfynwyd cyfyngu aelodaeth gymanfaol i eglwysi nad ydynt yn rhoddi cymundeb i ddynion difedydd. Cymeradwywyd Cyfarfod Blynyddol Athrofa Pontypool yn penodi y Parch. W. M. Lewis yn Llywydd yr Athrofa, a'r Parch. D. Thomas, B. A., yn Athraw Clasurol a Mesuronol. Cyngorwyd fod *Bands of Hope* a chymdeithasau dirwestol yn cael eu ffurfio mewn cysylltiad â phob eglwys yn y Sir. Y pregethwyr yn rhai cartrefol. Cafwyd Cymanfa lewyrchus.

*Cymanfa Sir Benfro.*—Lle cynaliad hon oedd Croesgoch, Meh. 5, 6.

Penderfynwyd fod y Sul cyntaf yn Awst i'w neillduo i weddio am dywalltiad helaethach o'r Ysbryd Glan, &c.

Y pregethwyr oeddynt James, Tabor; Jenkins, Trefdraeth; Lloyd, Merthyr;

Jones, Llanberis; Jones. Blaenywaen; Griffiths, Blaenconin; James, Aberafon; Roberts, Llwynhendy; L. Evans, Casnewydd; a Thomas, D. D. Cafwyd pregethau grymus.

*Yr Hen Gymanfa*—A gynaliwyd yn Even Job, Maesyfed, Meh. 6, 7.

Cynadledd boreu y dydd cyntaf, pryd y mabwysiadwyd lluaws o benderfyniadau, y rhai sydd a'u tuedd at lesoli yr eglwysi perthynol i'r Gymanfa. Yr oedd y pregethu yn felus ac effeithiol. Y rhagolygon yn obeithiol.

*Cymanfa Caerfyrddin ac Aberteifi*—Yn Penuel, Heol-y-prior, Caerfyrddin, Meh. 11, 12, 13. Pregethwyd gan y brodyr Hughes, Talybont; Jones (T. C.); Phillips, Horeb; Davies, Login; Phillips, Ferwig; Phillips. Maescaner; Davies, Aberteifi; Price, Rhydwilym; Thomas, Aberduar; Evans, Casnewydd; T. F. Williams, Sharon; Roderick, Cainewydd; N. Davies, Rhandirmwyn; G. H. Griffiths, Castellnewydd; George Morgan, Hughes, a Rowlands, Llanelli; Watkins, Pembre; Owen, Abertawe; Williams, Aberystwyth; Roberts, Llwynhendy; James, Llandeilo; Jones, Llangyndeyrn; a Jones, Felinfoel. Cafwyd Cymanfa dda a chysurus.

*Cymanfa Brycheiniog.*—Yr oedd yr uchod eleni yn Pisgah, Meh. 12, 13.

Y cynadleddau y dydd cyntaf dan lywyddiaeth Mr. Rees, gweinidog y lle. Cafwyd cynulliadau lluosocach nag a gafwyd er pan y mae Brycheiniog wedi ymffurfio yn gymanfa ar wahan. Awdwr y llythyr blynyddol yw y Parch. J. L. Evans, Soar.

*Cymanfa Arfon.*—Cynaliwyd hon eleni yn Llanberis, Meh, 14, 15, yn nghanol tywydd ffafriol a dymunol, yn nghapel y Methodistiaid Calfinaidd (y Capel Coch), yr hwn yn garedig a roddwyd yn fenthyg ar yr achlysur. Yn y cynadleddau ymdrinwyd â gwahanol faterion yr achos yn y Sir. Pregethwyd gan y brodyr Lewis, Maesteg; Thomas, Casnewydd; Davies, Caerynarfon; Roberts, Llwynhendy, yn y Capel Coch; ac yn Llanrug, nos Iau, gan y brodyr Williams, Pwllheli; Jones, Llanllyfni; ar yr un pryd yn Seion, capel y Bedyddwyr, James, Llandudno, a Roberts, Llwynhendy. Am chwech boreu dranoeth, yn yr un lle, gan y brodyr J. J. Williams, ac A. Williams. Cafwyd Cymanfa dda, a derbyniad calonog a chroesawgar gan bobl Llanberis o bob enwad. Y cynydd clir mewn aelodau, yn ol y cyfrif a ddaeth i mewn, ydyw 104, ychydig yn llai na phedwar ar gyfer pob eglwys. Yr oedd swn bywyd a gweithgarwch adnewyddol yn y Gymanfa eleni. Hyderir fod y wawr ar dori.

*Y diweddar Barch. Samuel Williams, Nantyglo, D. C.*—Yn Hermon, Nantyglo, o'r tu ol i'r *platform*, ar y mur, y mae *marble tablet* dlos iawn, ac arni yr *inscription* canlynol:—

ER COFFADWRIAETH
AM Y
PARCH. SAMUEL WILLIAMS,
Yr hwn a fu am 35 o flynyddoedd yn weinidog ar yr eglwys hon.
Bu farw Tach. 10fed, 1876, yn 69 oed.
Yr oedd yn Gristion cywir, yn weinidog ffyddlon, ac yn un o'r cymeriadau dysgleiriaf a addurnodd y weinidogaeth Gymreig erioed.
Bydd ei goffadwriaeth yn berarogl i'r oesoedd dyfodol.

Y gwneuthurwr ydoedd Mr. James, Casnewydd.

---

## Y GONGL GENADOL.

MONGHYR.—Anfona y brawd T. Evans y newydd am fedyddiad Brahmin yn ddiweddar, sydd yn llawn o ddyddordeb. Ymddengys ei fod er's rhai blynyddau yn ddysgybl cuddiedig i'r Arglwydd Iesu, ond fel Nicodemus yn dyfod liw nos at yr Athraw. Darllenai y Beibl a llyfrau Cristionogol eraill, ond methai wneyd proffes gyhoeddus o Grist yn y bedydd. Darllenwr. cyfreithiol, mae yn ymddangos, yw y brawd hwn wrth ei swydd yn y llysoedd gwladol. Gwyddai, os arddelai Iesu yn gyhoeddus, y cawsai wrthwynebiadau lawer, a hyny yn benaf oddi-

wrth ei deulu ei hun. Bygythiai ei wraig ei adael, a chymeryd y plant gyda hi; ac yn y cyflwr anmhenderfynol hwn y bu am amser lawer. Penderfynodd unwaith i dori drwy bob rhwystr, a dyfod i'r cwrdd parotoad i ymofyn am ei le; ond methodd wneyd hyny y tro hwnw. Collodd y Cenadwr ef yn aml am dymor; ond er ei fawr syndod, dychwelodd un diwrnod, a chyfarchodd ef yn y geiriau hyny, "*All for Jesus.*" Adroddodd i'r Cenadwr ei helynt a'i ymdrechion, ei ddagrau a'i weddiau, a'r modd y daeth i'r penderfyniad yn y diwedd, ar ol gwneyd y mater yn destyn gweddi, i wneyd arddeliad cyhoeddus o Grist. Bedyddiwyd ef gan y Cenadwr, a thraddododd yntau araeth cyn ei fedyddiad, ar ei droedigaeth, gan offrymu gweddi daer at Dduw dros ei deulu oedd newydd ei adael. Ciliodd ei deulu oddiwrtho, ac yn awr y mae yntau yn byw ei hun; ond nid yw efe ei hunan, oblegid y mae y Tad gydag ef. Y mae yr hanes dyddorol hwn yn dangos i ni mor anhawdd yw i baganiaid arddel Crist, ac mor ddyledus ydym ni i ras am y breintiau mawrion sydd yn ein gafael yn awr. Gadawodd ei berthynasau, ei wraig, a'i blant, er mwyn achos Crist; ond y mae iddo y can' cymaint yn y byd hwn, ac yn y byd a ddaw fywyd tragywyddol.

RHUFAIN.—Da genym weled fod ymdrech yn cael ei wneyd ar y pryd hwn i adeiladu addoldy arall i'r Bedyddwyr yn ninas y Saith Bryn. Y bwriad presenol yw adeiladu addoldy gwerth tua thair mil, rhwng y ty i'r Cenadwr at fyw, Grassi, yr hwn a ddaeth drosodd oddiwrth Babyddiaeth amser yn ol. Mae y llafurwr hwn wedi bod yn cydweithio â'r Cenadwr Wall oddiar hyny hyd yn awr, ac yn bresenol yn cymeryd gofal, yn rhanol o leiaf, o gynulleidfa o bobl yn y brif ddinas hon. Deallwn fod Wall yn rhoddi y ganmoliaeth uchaf i lafur ac hunanymwadiad Grassi, ac yn cymeradwyo y mudiad presenol. Gobeithiwn y bydd yr ymdrech yn llwyddianus i gyrhaedd y nôd, ac y ceir ail addoldy yn y ddinas i'r Bedyddwyr. Mae yn galondid i weled fod yr achos goreu yn llwyddo yn Rhufain, a thros y byd. Darfydded ofergoelion a thraddodiadau o bob rhyw.—O'r *Greal.*

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

---

THE ACT OF BAPTISM; *a critical and historical inquiry concerning the proper Administration of the Rite. By Rev.* HUGH JONES, D. D., *President of Llangollen College.*

Ysgrifenwyd cynwysiad y llyfr hwn yn gyntaf yn llythyrau i'r *Baptist*, yn ystod y blynyddau 1873—1876. Amlygodd amryw o ddarllenwyr y papyr hwnw, yn Lloegr a Chymru, ddymuniad am i'r erthyglau ymddangos mewn ffurf mwy cryno a pharhaol, ac yn unol â'r dymuniad hwnw y cyhoeddwyd hwynt yn llyfr, 86 tu dalen, yn yr iaith Saesoneg. Mor naturiol i garwr gwirionedd ydyw chwilio am y gwirionedd; mor foddhaus iddo ef ei hun, ac mor hoffus yr olwg i eraill! A pha ryfedd? tybia hyny ymarferyd rhai o alluoedd lledneisiaf ei enaid ar eu gwrthddrychau priodol.

Mae enw yr awdwr parchus yn dra hysbys bellach tu yma yn gystal a thu draw i'r Werydd. Adwaenir ef yn dda genym fel un yn meddu ar gymwysder neillduol i drafod materion Ysgrythyrol yn feirniadol, yn deg ac yn fanwl. Nid yw deddf dysgyrchiant yn y byd materol yn gwasgu yn fwy grymus at y canolbwynt nag y mae ei ymchwiliadau yntau yn myd y meddwl yn ymgyrhaedd at y gwirionedd. Ac fel y gwelir yn fynych uwch ben glofeydd, arwyneb y ddaear yn ymollwng, gan chwilio am sylfaen safadwy, felly hefyd y ceir llawer llecyn yn ngweithiau awdwyr yn rhoddi ffordd ac yn ymollwng o dan bwysau anwrthwynebol beirniadaeth Dr. Jones. Canfyddir engreifftiau lluosog o hyn yn y gwaith presenol o'i eiddo. Mynych y gwelwn arwynebedd ymddangosiadol teg a chadarn yn ymbantio yn hagr o dan bwysau enfawr ei arbrawfiadau. Gyda boddineb y gwelir, wrth ddarllen penod ar ol penod o'r llyfr, wirioneddau yr efengyl a ffeithiau hanesyddol yn cael eu dwyn yn *eglur* ger bron. Yn eglurder diamheuol yr ardremiaeth teimlir awydd i fawrhau y gwirionedd, ac i ymbellhau oddiwrth gyfeiliornadau yn fwy nag erioed. Yn mhenawd y traethawd yr ydym yn cymeradwyo y geiriad, "*a critical and historical inquiry.*" Ffordd ddiogel er cyrhaedd at *gasgliad* diamheuol ydyw gofalu fod y gosodiadau yn gywir, yn gystal a'r ymresymiad a wneir oddiwrth y cyfryw. Diffyg yn un o'r ddau hyn sydd yn peri fod rhai o gynyrchion penaf athrylith yn syrthio yn fyr o gyrhaedd eu hamcan. Buasai traethawd Jonathan Edwards ar "Ryddid yr Ewyllys" yn ddifwlch oni bae hyn. Pe buasai ei *osodiadau* ef mor gedyrn a'i ymresymiad oddiwrth ei osodiadau, ni chawsid lle i amheu ei gasgliadau. Addefir fod ymblethiadau ei ddadleuaeth yn berffeith-

rwydd bron; ar yr un pryd, addefir fod ei ddi weddglo yn annerbyniol, trwy fod ei sylfaeni yn dywodlyd. Nis gwyddom yn mha un o'r ddwy nodwedd yma mae Dr. Jones yn rhagori fwyaf. Gofala am *premises* da yn yr hanesyddol, ac arddengys yr un gofal am *ymresymiad* teg yn y beirniadol. Yn mhob ymchwiliad am wirionedd rhaid cadw at yr hanfodion deublyg hyn. Y mae fod yr awdwr yn y gwaith hwn wedi gallu cadw mor ddiwyro atynt, yn peri i ni deimlo yn hyderus wrth ddyweyd fod ei ddysgeidiaeth yn iachus, a chyson â'r gwirionedd.

Mae cynwysiad y llyfr yn cael ei ddosranu yn ddeuddeg o benodau, yn cael eu geirio fel hyn:

I. Tarddiad gwreiddiol Bedydd.
II. Sylwadau arweiniol ar y weithred o Fedyddio.
III. Bapto mewn ysgrifeniadau dynol a chysegredig.
IV. Baptizo mewn ysgrifeniadau Groegaidd.
V. Golchiadau Iuddewig.
VI. Baptizo yn y Testament Newydd.
VII. Bedydd yn yr Eglwys Gyntefig.
VIII. Cyfodiad tywalltiad, neu daenelliad.
IX. Bedyddfanau henafol.
X. Bedydd yn yr Eglwysi Groegaidd a Dwyreiniol.
XI. Gwrthddadleuon—adolygiad byr ar waith Dr. Halley ar Fedydd.
XII. Gwrthddadleuon gan Dr. Halley ac eraill.
XIII. Bedydd a Phuredigaeth.
XIV. Y gair Syriaeg am Fedydd.

Yn ei ymdriniaeth â'r gwahanol bynciau uchod, mae yr awdwr yn dangos ei fod yn hollol gartrefol â'i faterion—yn ysgolhaig addfed. Ysgrifena Saesoneg fel pe yn iaith ei fam, a dyfyna yn fynych o'r ieithoedd gwreiddiol gyda chywirdeb a medrusrwydd clasurol. Y mae y gwaith drwyddo yn adlewyrchu anrhydedd ar y Dr.; arddengys ddiwydrwydd dihafal bron. Edrychwn ar yr "*Act of Baptism*" yn *standard work* ar y pwnc. Byddai yn werth i'n myfyrwyr a'n gweinidogion ieuainc, ac eraill, anfon am dano at yr awdwr i Langollen; ac wedi ei gael, ei ddarllen a'i fyfyrio yn drwyadl.

Mewn rhifynau dyfodol, bwriadwn roddi amlinelliad o rai o'r penodau.

LECTURES ON BAPTIST HISTORY. *By* WILLIAM R. WILLIAMS

Mae y darlithiau hyn wedi dyfod yn hysbys i'r cyhoedd mewn rhan er ys peth amser bellach. Traddodwyd hwy ar y cyntaf gan yr awdwr i gynulleidfaoedd yn New York. Y pryd hwnw cawsant gymeradwyaethau gwresog. Yr oedd eu cyhoeddi yn llyfr mewn golwg o'r dechreu. Cyfansoddwyd hwy yn wir ar gais rhai o brif ddynion yr enwad yn New York a Philadelphia. Ac yn awr, mae yr *American Baptist Publication Society* wedi ymgymeryd â'r cyfrifoldeb o'u cyhoeddi yn gyfrol hardd. Gan mai newydd ddyfod i'n llaw ydyw, ni allwn yn bresenol ond yn unig nodi y penodau:

I. Ioan Fedyddiwr, rhagredegydd yr Arglwydd Iesu.
II. Teyrnas Dduw fel y gosodwyd hi i fyny gan Grist.
III. Bedydd ac Ail-enedigaeth.
IV. Yr Eglwysi fel y gadawyd hwy gan Grist, ac fel y gwnaed hwy gan ddyn.
V. Ein heglwysi o dan alltudiaeth Anghrist.
VI. Yr Ail-Fedyddwyr ar y Cyfandir a Lloegr.
VII. Rhesymoliaeth yn ei berthynas â'n heglwysi.
VIII. Y Bedyddwyr a Rhyddid Crefyddol.
IX. Y Bedyddwyr, y *Commonwealth and Protectorate.*
X. John Bunyan.
XI. Y Bedyddwyr a Chenadaethau.
XII. Bedyddwyr a'r Dyfodol.

THE CUPID; *being the histories of the Maid of Cefn Ydfa, and the Maid of Sker. By* THOMAS MORGAN, *Hyde Park, Pa.*

Teimlwn yn wir ddiolchgar i Mr. Morgan am ein hanrhegu â'r llyfr bychan hwn o'i eiddo. Mae ei ragoriaeth y fath fel nad ydym yn rhyfeddu gweled englynion anerchiadol iddo gan y beirdd awenawl Ieuan Ddu, David Jones, Hyde Park; Llwchrog, Ivor Cynidr Parry, Cilcenin, ac eraill. Wrth ddarllen yma am yr arwresau Cymreig hyn, mae y teimlad cenedlgarol yn cyneu dan y fron. Bydd pob un sydd yn meddu gradd o'r cyfryw deimlad yn sicr o deimlo yn lleddf a hoffuslawn wrth gael ei ddwyn i gymdeithas y cymeriadau enwog y rhoddir crynodeb dyddorol a byr o'u hanes. Deallwn mai dim ond 25 cents yw pris y llyfr. Anfoner am dano at yr awdwr i Hyde Park.

## NEWYDDION Y MIS.

—Mae yn anhawdd gwybod pa beth i'w gredu o'r newyddion sydd yn dyfod yn barhaus o faes y rhyfel. Ond ymddengys yn dra thebyg fod yr ymgyrch Rwssiaidd yn Asia wedi troi allan yn fethiant hyd yn hyn. Mae y gwarchae ar Kars wedi ei roddi i fyny, ac y mae Mukhtah Pasha o fewn yr amddiffynfeydd gyda 40,000 o wyr. Derbyniodd y *London Standard* hysbysiad yr 16eg o'r mis diweddaf fod Ismail Pasha wedi myned i mewn i diriogaeth Rwssiaidd, ac wedi myned chwe' milldir ar y ffordd i Tiflis. Dywed hysbysiadau o Tiflis fod y Cad. Tergukassoff yn encilio o Bayazid. a'r Cad. Melikoff yn encilio i Barukdara. Mae y llwythau yn y Caucusses mewn gwrthryfel, ac hwyrach y bydd raid i'r Rwssiaid encilio yn hollol o diriogaeth Twrci, ac efallai oddef rhuthr i'w tiriogaeth eu hun. Mae gweithrediadau y byddinoedd yn Bulgaria hefyd yn ansicr. Dywedir fod y Rwssiaid yn agoshau at

Rasgrad gyda'r amcan o dori y rheilffordd yn agos i'r pwynt hwnw. Fel mae y Rwssiaid yn myned yn mlaen. maent yn cael y wlad yn Bulgaria yn anrheithiedig, ac yn gorfod cario ymborth, &c., nid yn unig i'w byddin eu hun, ond hefyd i'r trigolion newynllyd. Dywedir fod y Rwssiaid wedi cymeryd Nicopolis, a bod gwarchodlu o 6,000 o wyr gyda 40 o gyflegrau wedi rhodd fyny iddynt, a chymerwyd Hassan ac Achmet Pasha yn garcharorion.

—Er dechreu y rhyfel presenol, y mae Rwssia wedi rhoddi allan $120,000,000 o arian papyr; ac mae Twrci newydd awdurdodi ychwanegiad o $430,000,000, at yr hyn a roddwyd allan yn ystod y chwe' mis diweddaf. Achosa y rhyfel ychwanegiadau anferth at ddyledion gwladol y galluoedd hyn, a bydd y deiliaid yn dra sicr o deimlo oddiwrth drethi trymion am amser maith Nid y Czar na'r Sultan raid ddwyn y baich, ond y deiliaid anffortunus.

—Mae Cwmni Bywyd Yswiriol y Charter Oak, o Hartford, Conn., mewn helbul. Dywedir fod gwerth arianol eiddo y Cwmni yn llai na'i ddyledion o rywbeth fel *dwy filiwn* o ddoleri. Mae ymchwiliadau yn cael eu gwneyd i gyflwr y Cwmni, ac mae yn debyg y deuir i wybodaeth gywir o'i sefyllfa cyn hir.

—Mae gorchymyn yr Arlywydd i erlyn yr yspeilwyr Mexicanaidd yn Texas dros y terfynau, wedi dechreu cael ei roddi mewn gweithrediad. Daeth cwmni yspeilgar o Lipan Indiaid drosodd i Texas o Chihuahua, ac erlyniwyd hwy gan y Miwriad Bullis dros y Rio Grande, lle y lladdwyd 27 o honynt, a chymerwyd 23 yn garcharorion. Diangodd y gweddill i'r mynyddoedd.

—Y mae y cynhauaf drwy y Gorllewin wedi dechreu, ac ymddengys fod y gwenith gauaf yn troi allan yn rhagorol. Hefyd, derbynir adroddiadau tra ffafriol am wenith gwanwyn, Indrawn, a chnydau eraill, er fod yr ystormydd diweddar wedi achosi cryn niwed mewn rhai parthau. Gan nad yw y rhyfel yn Ewrop yn debyg o derfynu yn fuan, y mae gobaith lled dda i amaethwyr y Talaethau Unedig gael gwell prisiau am eu cynyrchion nag a gawsant y llynedd.

—Dydd Sul, Mehefin 24ain, bu farw y nodedig Robert Dale Owen. Ganwyd ef yn Glasgow, Scotland, Tachwedd 7, 1801. Ei dad, Robert Owen, Cymro o'r Drefnewydd, ydoedd sylfaenydd y gyfundrefn gydweithredol o lafur yn Lloegr; ceisiodd hefyd sefydlu cymdeithasau cydfeddianol (*communistic*) yn Indiana a Mexico, ond yn aflwyddianus. Yn ei flynyddoedd olaf daeth yn Ysbrydegwr selog. Sicrhaodd cyfoeth y tad fanteision uchaf dysgeidiaeth i Robert Dale. Treuliodd dair blynedd mewn Coleg Swissaidd, ac yn 1823 daeth gyda'i dad i'r wlad hon; yn 1828 sefydlodd ef ac un Miss Frances Wright newyddiadur wythnosol yn New York, ond ni pharhaodd dros dair blynedd. Yna symudodd i New Harmony, Ind., lle yr etholwyd ef dair gwaith yn olynol yn aelod o'r Ddeddfwrfa, ac wedi hyny yn aelod Democrataidd i'r Gydgyngorfa yn 1843 ac 1845, lle y cymerodd ran flaenllaw yn nadleuon yr amser hwnw. Bu yn dal swyddi dan y llywodraeth yn ystod 1853 a 1855, ac yn 1860 cymerodd ran mewn dadleuaeth bwysig â Horace Greeley ar "Ysgariaeth." Bu yn ddadleuwr selog dros ryddhad y caethion, ac yr oedd hefyd fel ei dad yn Ysbrydegwr selog. Yn lled ddiweddar enillodd gryn nodedigrwydd o herwydd ei gysylltiad â "Katie King." Enillodd radd o boblogrwydd fel awdwr, eithr nid o natur barhaol. Yn ystod y blynyddau diweddaf yr oedd ei feddwl wedi ei anmharu i raddau helaeth, a threuliodd ysbaid mewn gwallgofdy.

—Boreu dydd Llun, yr 16eg o'r mis diweddaf, daeth *telegram* i swyddfa y *Drych*, oddiwrth Mr. J. W. Jones, sydd yn awr yn yr Hen Wlad, yn hysbysu fod "MYNYDDOG" wedi marw. Bydd y newydd hwn yn dristwch trwm i laweroedd yr ochr hyn i'r Werydd.

—Yn ystod yr wythnos yn diweddu ar yr 21ain o'r mis diweddaf cymerodd y *strike* fwyaf pwysig le a fu erioed yn y wlad hon, yn mhlith *firemen* a *brakemen* ar reilffyrdd New Jersey, Maryland, W. Virginia, Ohio, Pennsylvania, New York, a rhai Talaethau eraill, ac y mae yn ymledu yn gyflym. Mae gwerth miliynau o ddoleri o eiddo rheilffyrdd eisoes wedi ei ddinystrio. Galwyd am filwyr o bob cyfeiriad, ac y mae llawer o dywallt gwaed wedi bod, yn enwedig yn Pittsburgh, Reading a Baltimore. Mae miloedd heblaw dwylaw y rheilffyrdd yn cymeryd rhan yn y terfysgoedd. Mewn rhai amgylchiadau gwrthodai y milwyr weithredu, gan fod eu cydymdeimlad gyda'r *strikers*.

—Cymerodd damwain echrydus le yn nglofa Brookfield, ger Wheatland, Pa., ar yr 11eg o'r mis diweddaf, trwy yr hon y collodd saith o lowyr eu bywydau, ac yr anafwyd eraill. Yn mhlith y rhai a gollasant eu bywydau yr ydoedd John Jones, y *boss*, Miles Davies, Robert Williams, y tri o Brookfield. Hefyd mygwyd David Jenkins, Richard Jones, a dau Sais, i farwolaeth. Achubwyd nifer mawr o'r glowyr o safn angau, ond mygwyd yr oll o'r uchod i farwolaeth.

—Bu farw y duwinydd Ellmynaidd enwog, Friedrich August Gottreu Tholuck, yn Halle, ar y 10fed o Mehefin, yn y 79ain flwyddyn o'i oedran. Yr oedd wedi bod yn glaf yn ei ystafell am amryw fisoedd cyn ei farwolaeth; ac fel yr oedd y diwedd yn agoshau, daeth yn gymylog ar ei feddwl; ond tua'r awr olaf cliriodd drachefn, a'i eiriau dealladwy diweddaf oeddent: "Nid oes arnaf ofn; bu Crist farw drosof." Mae yn debyg mai Tholuck oedd y mwyaf adnabyddus yn America o'r holl dduwinyddion Germanaidd. Ganwyd ef yn Bres-

lau ar y 30ain o Fawrth, 1799. Yr oedd yn amheuwr pan yn ieuanc, ar y cyntaf, ond cafodd droedigaeth, a daeth yn *champion* Cristionogaeth efengylaidd, dan arweiniad Neander a Schleiermacher. Trwy ei ysgrifeniadau parha yn hir i addysgu ac adeiladu eglwys Crist. Pan, ar y 12fed o Mehefin, y dygwyd ei weddillion marwol i'r bedd, trodd yr holl dref allan i anrhydeddu ei goffadwriaeth.

—Mae yn hysbys i'n darllenwyr mai ymladdfeydd teirw yw prif ddifyrwch yr Yspaeniaid. Dywed llythyr diweddar o Spaen, a gyhoeddwyd yn y *New York Observer*, mai peth cyffredin yw cynal yr ymladdfeydd hyn ar y Sabboth ar ol y gwasanaeth crefyddol yn yr eglwysi. Dywed hefyd fod offeiriad yn gyffredin yn myned i'r lle y bydd yr ymladdfa, i'r dyben o weinyddu y sacrament i unrhyw ymladdwr a ddygwydd gael ei ladd (yr hyn sydd yn dygwydd nid yn anfynych), cyn iddo dynu ei anadliad olaf. Y fath yw sefyllfa druenus y Spaeniaid Pabyddol.

—Cafodd un-ar-ddeg o'r "Molly McGuires" eu crogi yn Pennsylvania ar ddydd *Iau*, yr 21ain o Mehefin.

—Cariodd rheilffordd Philadelphia 114,048,953 o deithwyr yn ystod y flwyddyn ganmlwyddol—cyfartaledd dyddiol o 312,414. Yr oedd eu derbyniadau yn $7,500,379, a'u treulion yn $4,567,385.

—Agorwyd Arddangosfa Caxton yn Llundain Mehefin 30ain, gan Mr. Gladstone. Mae yno gasgliad helaeth o hen lyfrau, ac o'r newyddiaduron cyntaf a argraffwyd yn Lloegr yn 1667; a'r casgliadau goreu o gerddoriaeth yr holl fyd.

—Dywedir fod y penaeth Cubaidd, Marejon wedi cael ei saethu yn Remedio. Hefyd saethwyd dros 180 o'r gwrthryfelwyr.

—Gofyna awdurdodau Paris am gyfraith i ganiatau llosgiad cyrph.

—Mae y llynges Seisonig yn Besika Bay yn gynwysedig o 24 o lestri, gyda 150 o ynau, ac o 7,000 i 8,000 o wyr. Adroddir fod Lloegr yn gofyn caniatad Twrci i symud ei llynges yn nês i Constantinople.

—Derbynia y Cad. Grant groesaw mawr yn Germani.

—Yn y *District Meeting* Wesleyaidd a gynaliwyd yn ddiweddar yn Salisbury, Lloegr, yr oedd yn bresenol y Parch. W. Franter, yr hwn sydd yn gant oed, ac wedi bod am 74 o flynyddoedd yn y weinidogaeth. Credir mai efe yw y gweinidog Wesleyaidd hynaf yn yr holl fyd!

—Gwrthododd un o brif westdai Saratoga lety i un Mr Seligman a'i deulu yn ddiweddar, a hyny am eu bod yn Iuddewon. Bancwr cyfoethog o New York yw Mr. S. Achosodd y peth gryn gyffro trwy y wlad, a chondemnid gweithred perchenog yr *hotel* yn gyffredinol.

—Trwy ddyfais gywrain ddiweddar, a elwir y *Bathometer*, gall cadben llong, tra yn ei gaban, wybod pa faint yw dyfnder y môr mewn unrhyw fan lle y dygwyddo y llong fod ar y pryd yr edrycho ar y ddyfais.

—Hawlia y Countess Lauretta Lambertini ei bod yn ferch naturiol i'r diweddar Gardinal Antonelli, ac y mae wedi dechreu cynghaws yn Rhufain i feddianu ei holl eiddo.

—Ar yr 20fed o Mehefin torodd tân echryslawn allan yn St. John, New Brunswick, yr hwn a ddinystriodd fwy na haner y dref, ac a wnaeth 20,000 o bersonau yn ddigartref.

—Adroddir fod y newyn yn India yn diflanu yn raddol.

—Dysgwylir brwydr fawr yn Affrica, rhwng milwyr Abyssinia ac eiddo y brenin Meneek, yr hwn sydd wedi codi mewn gwrthryfel.

—Y mae y bobl yn dianc o Resht, Persia, o herwydd toriad allan y pla. Y mae o 20 i 30 yn marw yno yn ddyddiol.

—Adroddir fod y Brenin Dahomey, yn Affrica, ar ol talu yr iawn i Loegr, wedi penderfynu aberthu 500 o fywydau dynol i'w dduw.

—Pan ofynwyd i Alexander H. Stephens beth oedd ei feddwl am y rhyfel yn Ewrop, dywedodd, "Yr wyf yn casâu pob math o ryfeloedd, a byddaf yn ddiolchgar os ceidw y cwn ymladdgar yn mhell o'm hanedd."

---

## DYDDANION.

---

Y "MYN'D" goreu pan y mae un yn fyr o arian—myn'd i weithio.

GWEINIDOG yn Maine a bregethai mor anarferol uchel, fel yr aed i gwyno ei fod yn aflonyddu ar yr addoliad cyhoeddus.

*Yr eneth fach gyntaf*—"Gall fy *doll* i agor ei llygaid."

*Yr ail eneth fach* (na fynai ei churo)—"Ni fydd fy un i byth yn cau ei rhai hi."

DIAREB PANWR.—Y mae cymeriad yn debyg i frethyn. Os yn wyn, gellir ei liwio yn ddu; ond unwaith y duir ef, ni ellir ei liwio yn wyn.

MAE rhai o'r astronomyddion yn ceisio profi fod y ddaear yn mwyhau. Yr ydym yn gobeithio y llwyddant, oblegid mae *real estate* wedi lleihau yn anghyffredin yn ystod y blynyddau diweddaf yma.

SYLWIR yn gyffredin fod personau yn nghylch deugain oed, yn enwedig merched ieuainc o'r oedran hwnw, yn hynod anghofus o'r rhai oeddynt yn eu hadnabod pan yn blant. Mae y tywyllni cof hynod hwn wedi cael ei alw gyda phriodoldeb yn "dywyllwch y canoloesau."

# Y WAWR.

CYF. II.] MEDI, 1877. [RHIF. 6.


## "Y BEDYDD CRISTIONOGOL."

### *ADOLYGIAD AR LYFR IOAN EINON, AQUAVILLE.*

GAN H. C. PARRY, (CEFNI).

### LLYTHYR I.

Nid wyf yn teimlo rhwymedigaeth neillduol i gynyg esgusawd, nac yn deall bod galwad arbenig arnaf i wneyd ymddiheurad i'r cyhoedd darllengar a deallus dros fy hgwaith yn ymgymeryd â'r gorchwyl annymunol o wneuthur adolygiad ar y llyfryn hwn, a gynygiwyd i'r Cymro, yn ddiweddar, fel amddiffyniad i'r arddefod ddynol o daenelliad babanod, fel dirprwyad (*substitute*) i'r gosodiad dwyfol o drochiad y crediniol, yn ngweinyddiad yr ordinhad o fedydd Cristionogol.

Mae y ffaith o fod y llyfryn yn ymosodiad *anuniongyrchol*, o'r cymeriad mwyaf difrïol, isel, a gwawdlyd, ar synwyr, talent, a dysgeidiaeth enwad mawr, parchus, a dylanwadol, y Bedyddwyr, ac yn ymosodiad *uniongyrchol*, o'r cymeriad mwyaf beiddgar, dirmygus, ac anffyddol, ar y Gwirionedd Dwyfol, can belled ag y mae a fyno â'r ordinhad o fedydd, yn ei dull a'i deiliaid, yn nghyda'i holl gyfeiriadau (*bearings*), fel ordinhad arwyddocaol, a "ffurf yr athrawiaeth" yn ol duwioldeb, yn natur ei dysgeidiaeth, am rwymedigaethau moesol credinwyr, i "fyw i'r hwn a fu farw drostynt, ac a gyfododd i'w cyfiawnhau," yn ddigon o reswm dros y gwaith o "sefyll dros ffydd yr efengyl," yn y ffurf o adolygiad ar y llyfryn bychan hwn.

Nid o herwydd ein bod yn teimlo y gall y llyfr fod o niwed mawr i'r Bedyddwyr, yr ydym yn ymgymeryd â'r gorchwyl o ddangos twyll a gwendid y rhesymau a gynwysir ynddo; ond o deimlad o wir dosturi tuag at unrhyw ddyn o feddwl gwan, cyfyngder gwybodaeth, a diffyg manteision i wybod yn well, a all gael ei ddyrysu gan y llyfryn; ac yn benaf, o wir barch a chariad tuag at yr awdwr llafurus; fel yr ydym yn teimlo yn ddyledus arnom wneyd ein goreu i ddangos iddo y twyll, a'r breuddwyd, a'r siomiant, y mae yn llafurio danynt, yn "meddiant y tywyllwch" hwn o anystyriaeth.

Mae y llyfryn yn cynwys *deugain ond un* o resymau yn erbyn trochi y crediniol, a thros daenellu y baban yn "y bedydd Cristionogol!" Deugain ond un o resymau, heb un adnod!! Gŵyr pob taenellwr fod yn haws cael dwy fil o *resymau cnawdol* ar y pwnc hwn, nag yw cael un adnod arno!!!

Chwilio y rhesymau hyn, a'u profi yn ngwyneb deddfau beirniadaeth deg, ieithyddiaeth glasurol, a hanes yr eglwys Gristionogol; ac yn benaf oll yn ngwyneb Gair Duw, fydd ein hamcan yn yr adolygiad hwn.

Cymerwn y rhesymau hyn o un i un, gan ddilyn trefn yr awdwr, o'r dechreu i'r diwedd; ond ni fydd i ni ail adrodd

holl eiriau yr awdwr, oblegid ystyriwn fod y rheswm noeth yn ddigon—y sylwedd, ac nid y swn—i'w osod ger bron ein darllenwyr, mewn trefn i weled faint o werth, a nerth, a bywyd sydd ynddo.

*Rheswm I.*—Bod anallu William Jones afiach i gymeryd ei drochi, yn profi nad yw ei gais am gael ei fedyddio yn briodol; neu, nad yw trochi yr iawn ddull i weinyddu yr ordinhad.

Os yw afiechyd William Jones yn annghymwysder naturiol ynddo i gael ei drochi, er fod ei awydd i gael hyny, y mae William Jones yn esgusodol ger bron Duw am yr hyn nad all efe oddiwrtho; ac y mae yr ewyllys yn sefyll yn lle y weithred, can belled ag y mae a fyno yr achos â'i iachawdwriaeth dragywyddol. Nid eithriad yn sefyllfa iechyd plant dynion, yw rheol Mab Duw i osod deddf bendant yn ei eglwys, ag sydd yn hawlio nerth ac iechyd dynion i'w wasanaeth a'i ogoniant, ond ei "*awdurdod ef ar bob cnawd.*" Os oes anghymwysder naturiol mewn dyn i fod yn ddeiliad i'r ddeddf hono, mae ei gais am y fraint ag sydd yn perthyn i'r deiliaid cymwys, yn anmhriodol; pryd nad all ei anghymwysder ef anmharu dim ar briodolder y sefydliad.

Nid yw y Testament Newydd yn dysgu fod bedydd yn anhebgorol, dan bob amgylchiad, i iachawdwriaeth dragywyddol dyn; eithr yn brawf o ufudddod ffydd bersonol. Lle nad oes gallu, ni ddysgwylir ufudd-dod. Nid yw y Bedyddwyr yn dal fod bedydd yn anhebgorol i gadwedigaeth yr enaid, dan bob amgylchiad. O'r syniad cyfeiliornus hwn y dechreuodd bedydd babanod, yn Affrica, yn nyddiau Cyprian; a'r syniad cyfeiliornus hwn sydd yn cynal yr arferiad anysgrythyrol hwn yn mysg yr enwadau Cristionogol hyd y dydd hwn. Dechreuwyd y drefn wael hon trwy dywallt dwfr dros y dyn claf ar ei wely, gan nad oedd efe yn alluog i dderbyn bedydd trwy drochiad; a gelwid hyn yn "fedydd mewn achos o angenrhaid," am y rheswm y buasai y dyn, mewn achos o angau, yn golledig pe heb fedydd! Dyna athrawiaeth Ioan Einon heddyw!!

*Rheswm II.*—Bod anallu Paul Jones, gweinidog gwanaidd, i drochi Dafydd Williams, hen wr afrosgo, yn pwyso 250 pwys, ac yn 65 mlwydd oed, yn profi y "dylai gweinidogion y trochwyr fod yn ddynion mawr a chryf," neu, "nad yw trochi yn iawn!"

Mae Dafydd dew yn gystal rheswm a'r un arall o eiddo y taenellwyr yn erbyn trochi yn y bedydd! Druan o Dafydd dew! os ydyw efe wedi aros heb ei fedyddio nes mae henaint wedi ei anghymwyso i gael ei drochi o herwydd ei wendid, dylasai ufuddhau yn gynt, cyn iddo bechu ei fraint o'i afael. Nid ar Grist yn sefydlu bedydd trochiad y bu y bai, ond ar Dafydd dew yn oedi mor hir heb ufuddhau. Nid ar nerth neu wendid Paul Jones, nac ar faint a llesgedd Dafydd dew y mae yr ordinhad yn sefyll, ond ar awdurdod Mab Duw! Os na all Paul Jones drochi Dafydd dew, gwnaed ag ef fel y gwnaeth Pedr â chredinwyr ty Cornelius gynt. "Ac efe a orchymynodd eu bedyddio hwynt yn enw yr Arglwydd."

Gwrided y taenellwyr yn ngwyneb rheswm mor sâl dros eu bedydd ag ydyw Dafydd dew.

*Rheswm III.*—Bod Mr. Jacob, gweinidog baglog, yn methu sefyll yn y dwfr, i fedyddio trwy drochiad, Jane Lloyd, geneth ddwy-ar-bymtheg oed!

Mae ein hawdwr yn tynu casgliad dedwydd iawn oddiwrth y gosodiad uchod—"Mor hawdd y gallasai Mr. Jacob ei thaenellu!" Gwyddom mai hawdd iawn y gallasai Jacob y baglau daenellu Jane Lloyd; ond dywed ein hawdwr "ei bod yn credu, ac eisiau eu bedyddio." Nis gallasai Jacob y baglau, mwy na rhyw weinidog perthynol i'r taenellwyr, byth wneyd y *taenelliad arni* yn *fedydd iddi*. Gallasai Jacob y baglau arolygu y gwaith o'i throchi yn cael ei gyflawni gan ryw frawd arall o weinidog cymydogaethol, neu ddiacon eglwysig, er mor faglog ydoedd; a buasai hyny yn drefn apostolaidd.

*Rheswm IV.*—Bod rhew oesol gwlad yr Esquimaux yn rhwystr i drochiad yno, yn rheswm dros daenelliad yn fedydd.

Mae ein hawdwr yn tynu casgliad

eto oddiwrth y gosodiad—"Mor rwydd y gallesid bedyddio y brawd"—y crediniol yn ngwlad yr Esquimaux—"trwy daenellu." Goddefed pob taenellwr i ni ddyweyd, y byddai yn fil hawddach trochi dyn yn rhew oesol gwlad yr Esquimaux, na gwneyd taenelliad yn fedydd yno!

Sylwedd y rheswm yw, bod yn anmhosibl cael digon o ddwfr i drochi dyn yno; yna taenellu yw yr iawn ddull o fedyddio! A welodd Ioan Einon yr hyn a ganlyn erioed o'r blaen? Os na ddo, sylwed arno, a dysged oddiwrtho:

"The value of the lamp is simply incalculable, not so much for its use in cooking, as the Esquimaux like meat raw quite as well as cooked, but for its supply of warmth; for the water which is obtained by melting snow over it; and for the use of it in drying clothes." —*The Uncivilized Races of Men, Vol. II., p. 1336.*

Mae dillad gwlybion yn cael eu sychu yn ngwlad yr Esquimaux! Pa fodd y gwlychwyd hwynt heb ddwfr? Mae y lamp fawr yn berwi bwyd yno! Pa fodd y ceir dwfr i ferwi bwyd yn nghanol rhew oesol? Os yw yn bosibl toddi rhew ac eira i gael digon o ddwfr i ferwi bwyd, oni ellir toddi digon yn ddwfr i drochi dyn yno? Os yw yr anwariaid hyny yn gallu defnyddio celfyddyd i wneyd i fyny eu diffyg naturiol, er eu cysur, yn eu cyflwr presenol o anwybodaeth, beth fydd eu gallu pan fyddo Cristionogaeth, gwareiddiad a chelfyddyd wedi eu bendithio â chysuron bywyd y'mhob cyflawnder? Mae Ioan Einon yn ceisio dangos ffolineb Duw yn sefydlu bedydd trochiad yn gyfraith ei eglwys dros wyneb y ddaear; ac wrth geisio gwneyd hyny, daw anwybodaeth Ioan Einon allan fel yr afon, a'i ynfydrwydd fel tonau y môr!

*Rheswm V.*—Bod oerder hinsawdd Efrog Newydd, Wisconsin, a Thalaethau eraill, yn peryglu bywyd wrth drochi yn misoedd Ionawr a Chwefror, yn profi nad yw y Bedyddwyr yn credu eu hathrawiaeth eu hunain, gan eu bod yn arfer *baptismal dresses!*

Mae eglwys yr Annibynwyr yn Remsen a pherygl bywyd myned iddi yn misoedd oerion y gauaf, er fod yr Annibynwyr yn dyweyd i'r gwrthwyneb! Nid ydynt yn credu eu hathrawiaeth eu hunain, oblegid y maent yn arfer *stove*, ac yn cyneu tân yn y capel!! Dyna *logic* y taenellwyr yn erbyn trochi yn y bedydd! *Baptismal dresses!*

Lle bynag y ceir anfantais naturiol i gyflawni ewyllys Duw, y mae genym hawl ddwyfol i ddefnyddio celfyddyd i'n cynorthwyo i symud ymaith yr anfantais hono o'r ffordd; a dyna un rheswm paham mae y Bedyddwyr yn cynyddu yn fwy na'r taenellwyr, yn mhob gwlad a hinsawdd.

*Rheswm VI.*—Bod y ffaith nad oedd digon o ddwfr i Phylip drochi y fath nifer fawr o gredinwyr yn ninas Samaria, a'r anmhosiblrwydd i godi a chario digon o ddwfr o ffynon Jacob i drochi mewn amser mor fyr ag oedd gan Phylip i aros yno, yn brawf mai eu taenellu a wnaeth.

Cymer ein hawdwr yn ganiataol mai Sychar oedd y ddinas hono—nad oedd un lle i gael dwfr yno ond ffynon Jacob—bod yn anmhosibl trochi yn hono—bod gormod o waith i'r bobl i godi a chario digon o ddwfr o honi i drochi tyrfa mor fawr mewn can lleied o amser ag y bu Phylip yno! Mae y darllenydd yn gwybod mai achos tybiol yw hwn, ac yn cofio y pethau canlynol: Nad oes *un prawf* mai Sychar oedd y ddinas hono. Nad oes *un prawf* nad oedd lleoedd eraill i gael dwfr yn Sychar heblaw ffynon Jacob. Nad oes *un prawf* fod yr holl Samariaid wedi credu. Nad oes *un prawf* fod arosiad Phylip mor fyr yno ag y gosodir ef allall gan ein hawdwr. Nad oes *un prawf* nad fel arall yr oedd pethau yn bod! Yr hyn a ddysgir gan yr hanes yw—Bod Phylip wedi myned i waered i ddinas yn Samaria—ei fod wedi pregethu Crist i'r bobl—bod dwyfoldeb ei genadwri wedi ei brofi trwy wyrthiau—bod y bobl yn gytun yn dal ar y pethau a lefarid ganddo—bod y credinwyr, yn wyr ac yn wragedd, yn cael eu bedyddio ganddo—bod y gair wedi myned i glustiau yr apostolion yn Jerusalem am droedigaeth y Samariaid—bod Pedr

ac Ioan wedi eu hanfon o Jerusalem i Samaria i dderbyn yr eglwys newydd i gymdeithas yr apostolion.

Y cwestiwn yw, Faint o amser a gymerth y gair yn myned o Samaria i Jerusalem? Faint o amser a gymerwyd yn Jerusalem i benderfynu ar y priodoldeb o anfon Pedr ac Ioan i Samaria? Faint o amser a gymerodd Pedr ac Ioan i deithio o Jerusalem i Samaria? Pa le yr oedd Phylip yr holl amser hwn, ond yn bedyddio ac yn cadarnhau y credinwyr? Ni fedyddiwyd ond y rhai oedd yn credu. Cafodd Phylip ddigon o amser i'w trochi cyn dyfodiad Pedr ac Ioan. Os oedd eisiau codi a chario dwfr o ffynon Jacob i'w trochi, yr oedd yno ddigon o barodrwydd i wneyd hyny yn mysg y bobl; oblegid "yr oedd llawenydd mawr yn y ddinas hono" ar y pryd. Nid llawer mwy o ddwfr oedd yn angenrheidiol i drochi mil mwy nag i drochi deg. Nid eu taenellu a gawsant, ond eu trochi, ebe yr hanesydd ysbrydoledig—*Ebaptizonto andres te kai gunaikes*—"Hwy a wnaethpwyd yn drochedig, yn wyr ac yn wragedd."

*Rheswm VII.*—Bod prinder dwfr i Phylip i drochi yr eunuch ar y ffordd, yn profi mai ei daenellu a wnaeth.

Cymer ein hawdwr hi yn siomedigaeth fawr pan y dealla, wrth ddarllen hanes teithiau y rhai a ymwelent â'r lle hwnw, nad oes yn y lle y bedyddiwyd yr eunuch ond "ffrwd mor fechan *na buasai modd croni digon o ddwfr mewn diwrnod braidd, a hyny ar adeg wlawog, i drochi neb.*" Ein hawdwr sydd wedi *Italeiddio* yr haeriad, i ddangos y fath bwys sydd arno! A ydyw yn ormod gofyn i ein hawdwr nodi enwau y teithwyr hyny? Nid yw Burder, Shaw, Robinson, na Mills yn dyweyd y fath beth! Pwy a all nodi y fan i foddlonrwydd, lle y bedyddiwyd yr eunuch? Dywed El Cary, Arabiad dysgedig a anwyd ac a fagwyd yn Palestina, ac a dderbyniodd ei addysg athrofaol yn Pontypwl, ac yn *Regent's Park College*, Llundain, ac sydd yn awr yn genadwr yn ngwlad Canaan, iddo ef weled y lle, ac mai dyffryn bras yw y fan, yn awr, er heb ond ychydig o drefydd yn agos, a bod ffrwd o ddwfr gloew yn croesi y ffordd mewn pant bychan, a phwll o ddwfr digon mawr a dwfn i drochi unrhyw ddyn ar yr ochr ddeheu o'r ffordd wrth fyned o Jerusalem. Bu Samuel Edwards, Glyn, a Richard Foulkes, Cefnbychan, yn trochi dynion yn y lle a elwir *Poolmouth*, ger y Moss, yn Sir Dinbych, yn nghof hen bobl oedd yn byw yn Brymbo a'r Moss ugain mlynedd yn ol. Yr oedd afon gref a llyn mawr yno y pryd hwnw, er nad oes y fath beth yn awr. I ba le yr aeth y dwfr? Y gweithiau glo sydd wedi ei sychu. Gallai cyfnewidiad mawr gymeryd lle er ys deunaw cant o flynyddoedd yn y lle hwnw, trwy ddiwylliant amaethyddol neu weithfeydd, fel y mae yr afon fawr hono wedi myned yn ffrwd fechan yn y lle hwnw erbyn hyn. Pwy fedr brofi nad oedd yno ddigon o ddwfr y *pryd hyny* i drochi? Rhaid i ni gael hyny i gael *argument*. Nid oedd gwr o sefyllfa yr eunuch wedi gadael Jerusalem i deithio y ffordd anghyfanedd hono, lle nad oedd gwestdai na chyfleusderau eraill, heb ddarparu digon o ddwfr mewn costrelau i'w ddwyn gydag ef yn ei gerbyd, at ei wasanaeth ei hun, ei gymdeithion, a'i anifeiliaid, ar yr adeg boeth hono o'r flwyddyn; a phe ei daenelli oedd eisiau, gallasai ddyweyd wrth Phylip fod digon o ddwfr i hyny ganddo gydag ef yn y cerbyd! Pan welodd ddwfr ar y ffordd, llenwyd ef â llawenydd; galwodd sylw Phylip at ei achos; rhoddes gyffes o'i ffydd, a bedyddiwyd ef yn y dwfr hwnw. "Aeth y ddau i waered i'r dwfr—Phylip a'r eunuch—ac efe a'i bedyddiodd ef." *Kai ebaptisenauton*—"Ac efe a roddodd iddo drochiad." Dyna y gwreiddiol. Wedi i Phylip ei fedyddio yn y dwfr—*Ote de anebesanek tou udatos.* "A phan y daethant i fyny allan o'r dwfr." Yma y gwelwn y pethau canlynol:—Aeth Phylip a'r eunuch i lawr i'r dwfr—rhoes Phylip drochiad i'r eunuch yn y dwfr—daeth Phylip a'r eunuch i fyny allan o'r dwfr! Beth allai fod yn eglurach na'r iaith a ddefnyddia yr Ysbryd Glan i osod allan drochiad yr eunuch?

*Rheswm VIII.*—Bod y ffaith nad ellir trochi pob dyn, ar bob adeg, pe

byddai galwad am hyny, o herwydd afiechyd, oerder yr hin, ac anghyfleusderau cyffelyb, yn profi nad all trochiad fod yr iawn weinyddiad o fedydd. Nid yw unrhyw ordinhad i'w gweinyddu lle na byddo cymwysder naturiol yn yr ymgeisydd; a phechod yw cynyg gweinyddu ordinhad ond ar ei deiliad cymwys. Pechod yw taenellu baban; ond nid pechod yw peidio trochi dyn afiach, clwyfus, a gorweddog, oblegid nid yw yn ddeiliad cymwys i'r ordinhad sydd yn gofyn "claddu y person trwy fedydd i farwolaeth." Nid yw atal yr ordinhad oddiwrth ddeiliad anghymwys yn anghymwyso yr ordinhad i gyfarfod ag achos deiliad cymwys. Nid all Ioan Einon lai na chywilyddio yn mhresenoldeb *rheswm* mor *afresymol* a hwn o'i eiddo. Druain o'r taenellwyr!

*Rheswm IX.*—Bod yn anmhosiblrwydd i Ioan Fedyddiwr drochi yr holl bobl a fedyddiwyd ganddo yn yr Iorddonen, yn yr amser byr a gafodd, yn brawf mai eu taenellu a wnaeth!

Cymer ein hawdwr yn ganiataol fod Ioan yn bedyddio pawb a ddeuent allan i wrando arno, o Jerusalem a Judea, a'r holl wlad o amgylch yr Iorddonen, a bod nifer y bobl yn nghylch dwy filiwn! Barnai fod yn rhaid i Ioan fod wedi bedyddio pum' cant o filoedd o bobl, o leiaf!

Pe buasai ein hawdwr wedi sylwi ar y ffeithiau canlynol, diau y buasai yn fwy gwyliadwrus yn ffurfiad ei ddamcaniaeth: Nad oedd Ioan yn bedyddio neb ond y rhai oeddynt yn cyffesu eu pechodau: Nad oedd efe yn bedyddio neb ond oedd yn credu yn Nghrist Iesu fel y Messiah: Bod y Phariseaid a'r Saduceaid wedi myned allan ato fel edrychwyr cywrain, ond na fedyddiwyd hwynt ganddo: Bod y Phariseaid a'r cyfreithwyr yn eu herbyn eu hunain yn diystyru cyngor Duw trwy wrthod bedydd Ioan: Bod Ioan yn "ddyn *a chythraul ganddo*," gan blant y genedlaeth hono, at eu gilydd: Bod yr Arglwydd Iesu yn gwneuthur ac yn bedyddio mwy o ddysgyblion nag Ioan: Bod nifer yr holl gredinwyr ar adeg esgyniad yr Arglwydd i'r nef, heb fod lawer mwy na phum' cant o eneidiau! Nid tebyg i Ioan gael llawer o'r Phariseaid *hunan-gyfiawn* i gyffesu yn gyhoeddus eu pechod: Nid tebyg iddo gael torf fawr o'r Saduceaid i ffoi rhag y llid a fydd: Nid tebyg iddo gael rhyw filoedd o'r cyfreithwyr i gydnabod Iesu Grist y Messiah: Nid tebyg iddo gael torfeydd mawrion o'r genedl odinebus a phechadurus hono i ddwyn "ffrwythau addas i edifeirwch:" Ac eto ni fedyddiwyd yr un ganddo ond oedd yn proffesu derbyniad y telerau hyny! Mae nifer bedyddiedigion Ioan yn llawer llai nag y breuddwydiodd Ioan Einon eu bod. Ni chyrhaeddant bum' can' mil, o gryn lawer.

Cafodd Ioan chwe' mis, o leiaf, at y gwaith. Gallai fedyddio trwy drochiad yn gwbl mor gyflym a thaenellu, os oedd yn derbyn cyffes edifeiriol pob un cyn ei fedyddio, yr hyn yn ddiau a wnai. Gallasai drochi yn yr Iorddonen fwy o nifer mewn yr un faint o amser, nag a allasai daenellu, os oedd pob ymgeisydd am fedydd yn myned ar ei liniau wrth y llestr dwfr ar lan yr Iorddonen, ac yn gweddio, cyn y byddai Ioan yn codi dwfr â'i law o'r llestr mawr, i'w daenellu ag ef, fel y dywedai John Jones, Llangollen, yr arferid gwneyd! Dywed yr Ysbryd Glan mai eu trochi wnai Ioan yn afon yr Iorddonen. *Kai ebaptizonto pantes en to Jordano potamo up auton exomologoumenoi pas amartias auton.* "Ac a'u gwnaethpwyd yn drochedig ganddo oll yn afon yr Iorddonen, gan gyfaddef yn gyhoeddus eu pechodau." Dyna y meddwl yn ol y gwreiddiol; a phrofed un ysgolhaig Groegaidd yn amgenach, os gall. Cofier mai *en to Jordano potamo*—*yn afon* yr Iorddonen, yw y gwreiddiol; ac nid *ar lan* yr Iorddonen! Ni ddywed yr Efengylwyr mai bedyddio *a* dwfr oedd Ioan, eithr bedyddio *yn* y dwfr—*ego men ebaptisa umas en udati, autos de Baptisei en pneumatiagio*—"Myfi yn wir a'ch bedyddiais *mewn* dwfr; eithr efe a'ch bedyddia chwi *yn* yr Ysbryd Glan." Cyfieithwyr y brenin James sydd yn dyweyd *a* dwfr; ond *mewn dwfr*—*en hydati*—a ddywed yr Efengylwr. Dyna fel yr eg-

hura yr enwog John Calvin y geiriau: "Oddiwrth y geiriau hyn gellir penderfynu fod bedydd Ioan a Christ yn cael ei weinyddu trwy *soddi yr holl gorph dan ddwfr.*" Mae un cysur i ein hawdwr, sef fod Dr. Miller wedi dyweyd o'i flaen ef, fod bedydd Ioan, trwy dansoddiad, yn hollol anghredadwy, ac nad oes y *tebygolrwydd lleiaf* fod Ioan wedi bedyddio neb erioed yn y dull hwn.—*Tract on Baptism, by Dr. Miller, p. 73.* Pa un a gredir gyntaf, ai Calvin ai Dr. Miller? Credaf fi yr Ysbryd Glan o flaen neb arall—*Ioan yn bedyddio yn y dwfr.* Felly y mae i'w weled yn y pedwar cyfieithiad cyntaf o'r Beibl Saesonaeg. Felly y buasai yn mhob un arall pe buasai cyfieithwyr y brenin James heb gael eu gorfodi i'w newid er mwyn plaid! Ond er y cyfan, felly y mae yn awr yn y Groeg; a heriwn neb i brofi i'r gwrthwyneb.

Er y cwbl, mae Ioan Einon yn gweled taenellu "yn llawer mwy naturiol a chydnaws â'r hanes!" Mae taenellu dwfr ar faban yn fwy cydnaws a hanes trochi yr edifeiriol, na throchi yr edifeiriol!! Beth nesaf, wys? O ran hyny, gwel y taenellwyr bob peth yn fwy naturiol na yr hyn na ellir yn oes oesoedd ei gymodi â'r arferiad anysgrythyrol, gwag a ffol, o daenellu dwfr ar wyneb baban, gan ei alw yn "fedydd Cristionogol."

NODIAD.—Mae dwy ffordd i ysgrifenu yr iaith Roeg mewn llythyrenau Rhufeinig, sef naill ai ysgrifenu y gair yn gyflawn, fel y mae yn y Groeg, neu ynte ysgrifenu yn dalfyredig, fel y swnir y geiriau. Gelwir y flaenaf yn *full form*, a'r ail yn *contracted form*. Dewisodd yr ysgrifenydd y flaenaf, rhag i'r anghyfarwydd dybio ei fod yn gwneyd cam â'r geiriau wrth newid y llythyrenau. Eto cofier bod y deallus yn darllen y *full form* fel pe buasai yn *contracted form*, o ran seiniad y geiriau.

---

—Pe na buasai un pechod yn cael ei gosbi yn y byd hwn ni buasai rhagluniaeth; a phe buasai *pob* pechod yn cael ei gosbi, ni buasai angen am farn ddyfodol.—*Augustine.*

—Ni wnai un trallod ofidio plentyn Duw pe byddai yn gwybod amcan Duw yn ei anfon.—*Dr. Cope.*

## DAFYDD EVANS, FFYNONHENRY.

Anfonasom at y Parch. Benjamin Thomas, awdwr y Cofiant rhagorol i'r Parch. Dafydd Evans, Ffynonhenry, am ei ganiatad i'w gyhoeddi yn rhanau misol yn y WAWR, yr hyn y gwyddom fuasai yn hynod dderbyniol gan ein darllenwyr. I hyn nid yw Mr. Thomas yn foddlawn, gan fod yn ei fryd i dalu ymweliad ag America pan wella masnach, a dwyn nifer o'r Cofiant gydag ef. Boddlona i ni ddyfynu yn helaeth o hono, ac â'r amodau hyn yr ydym yn cydsynio. Gallwn sicrhau fod "Dafydd Evans" yn un o'r cofiantau mwyaf darllenadwy yn yr iaith. Nid rhyfedd o ran hyny, gan fod y gwrthddrych mor nodedig, a'r awdwr yntau yn un o brif dalentau Cymru—efallai y mwyaf yn mhlith y Bedyddwyr, a dweyd y lleiaf, ar hyn o bryd. Gyda boddineb neillduol, gan hyny, yr ydym yn dechreu dyfynu yn y rhifyn hwn, yr hyn ni a obeithiwn fydd yn codi awydd a dysgwyliad am weled a chlywed yr awdwr. Os caniata Rhagluniaeth i Mr. Thomas ddyfod trosodd yn ol ei fwriad, diau y bydd iddo dderbyniad croesawgar a chyffredinol. Wele yn canlyn rai dyfyniadau:

Arweiniwn di yn awr, ddarllenydd, at un o'r hen dadau mwyaf doniol a gwreiddiol a wnaeth ei ymddangosiad ar esgynlawr pregethwrol ein gwlad; ac er ei fod yn cydoesi â lluaws o rai, mewn rhyw ystyr, mwy enwog nag ef, eto, meddai ar gymaint o neillduolrwydd ac athrylith fel y mae wedi gorfyw y rhan fwyaf o honynt, ac y mae ei enw yn deuluaidd a diarebol trwy Gymru, yn neillduol y Deheudir.

Perthynai Dafydd Evans i'r oes hon a'r oes a aeth heibio. Ganwyd ef tua'r flwyddyn 1778; felly, pan oedd Christmas yn hogyn tua 12 oed, yn gweini yn Tynewydd, Llanfihangel Ieroth, y gwelodd Dafydd Evans gyntaf oleuni haul, mewn ffermdy o'r enw Nantyfen, yn mhlwyf Conwil Elfed, Swydd Gaerfyrddin. Gwyr y darllenydd sydd wedi bod gyda yr hen oruchwyliaeth o deithio o Gaerfyrddin i Gastellnewydd-Emlyn, pa fath olygfeydd a amgylchynent ei gryd, a pha fath ddylanwadau daearyddol a fu yn meithrin ei athrylith a'i ddawn. Enw ei dad a'i fam ydoedd Stephen a Jane Evans. Gelwid ei fam cyn ac wedi iddi briodi wrth yr enw Shoned. Yr oedd Shoned, Nantyfen, yn ddynes grefyddol iawn; ond nid felly Stephen Evans; ac o herwydd

hyny cafodd gryn drafferth i'w chael yn wraig. Yr oedd bechgyn a merched crefyddol y dyddiau gynt yn dra gofalus am ieuo yn gymarus, ond ni thelir ond ychydig o sylw i hyn yn awr. Ymddengys mai cael gwr yw pwnc mawr y merched, a chael gwraig ydyw pwnc mawr y bechgyn yn ein dyddiau ni. Deilliai lles dirfawr i gymdeithas pe bae cysylltiadau cymdeithasol yn sylfaenedig ar grefydd a duwioldeb.

Hoffai "Shoned, Nantyfen," Stephen Evans mewn pob peth ond yn unig ei fod yn ddigrefydd; ond deallodd Stephen y gwrthwynebiad, a dywedir gan henafgwyr y gymydogaeth, yr arferai weddio mewn manau pan y byddai Shoned yn pasio heibio, ac iddo drwy hyny a chyffelyb arddangosiadau grasol, lwyddo i gael ei chyfeillach, ac yn y diwedd i'w chael yn wraig; ond y mae yn debyg i ysbryd gweddi ymadael ag ef wedi iddo gyrhaeddyd ei amcan.

Yr oedd Stephen Evans yn ddyn hynaws a charedig, ond anghrefyddol a diystyr am bethau byd arall, a pharhaodd felly hyd ei fedd. Mynych yr adroddai Dafydd Evans yr hanes canlynol am ei dad. Mewn cwrdd gweddi yn Cwmduad yr oedd yno hen wr o'r enw "Shon y Gwegrydd," ac yr oedd ganddo weddi lled faith, a'r un peth braidd o hyd. Yn y weddi gwnai ddefnydd o frawddegau neillduol, fel y gwyddai y cyfarwydd yn lled dda pa le yr oedd yn sefyll oddiwrth yr "Amen." Yn mysg pethau eraill dywedai, "Arglwydd, gofala am dy eglwys; na âd i'r baedd gwyllt o'r coed ei thwrio; bydded iddi aros yn sefydlog tra y byddo yr haul mawr yn y *canopy* fry;" a maes law bloeddiai, "bydded iddi fyn'd yn dro yma heno megys yn nhŷ Cornelius gynt," &c. Yr oedd yn noson anarferol o oer, a Stephen Evans yn y cyfarfod, a "Shon y Gwegrydd" yn hir iawn ar ei liniau fel arfer. "Malen," sisialai Stephen yn nghlust hen wraig yn ei ymyl, "'stim o Shon byti ddibenu bellach; mae'n oer iawn?" "O, nag ydi, druan," ebai Malen, "'dyw e ddim'n agos bod yn nhy Cornelius eto." "Wel," ebe Stephen, "af i ddim gydag e' yno heno," a ffwrdd ag ef gartref. * * * *

Pregethai Dafydd Evans yn agos, syml, a goleu iawn. Gwelid ei feddyliau yn tremio trwy dyllau ac agenau ei dy, oblegid nid oedd iddo ddrws na ffenestr o waith celfyddyd, a gwnai bysedd ei athrylith gogleisio eneidiau i lawenydd a thristwch bob yn ail. Yr oedd yn rhodio mewn goleuni ei hun, ac ni arweiniai ei wrandawyr i dywyllwch. Ni chyfeiriai eraill at yr hyn ni welai ei hunan, ac ni ddywedai, "Clywch, clywch!" pan na fyddai yna ddim i glywed; na "Sylwch, sylwch!" pan nad oedd yna ddim i sylwi; na "Gwelwn yn gyntaf, neu yn ail," pan nad oedd dim i'w weled ond gwaeledd a gwendid. Ond gwelai Iesu Grist mor eglur o flaen ei lygaid, fel y gallai gyfeirio â'i fys ato gyda'r naturioldeb mwyaf: "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd." Yr oedd ei ddarluniadau mor fyw a naturiol, fel y gwelai'r gwrandawyr y cwbl yn drefnus o flaen eu llygaid. Lladratai hwynt oddiarnynt eu hunain, ac oddiar y byd, a dygai hwynt yn gaethion tua glanau y Môr Coch, neu wastadedd Dura, neu ffau y llewod, neu Bethlehem, Gethsemane, neu Galfaria; neu efallai i Persia y dygai hwynt, i lys y brenin Ahasferus, a chawsent weled y cwbl—y brenin yn dewis gwraig yn lle Fasti—y merched, un ar ol y llall, yn cael eu dwyn o'i flaen—y sylwadau digrif, gwrthwynebus, a wnai y brenin am bob un o honynt. Yr oedd rhyw fai ar bob un; ond O! pan ddaeth Esther, y gaethes Hebreaidd, nid oedd un bai arni hi, yr oedd wrth ei fodd—rhod Rhagluniaeth yn troi o du'r Iuddewon—Haman yn cael ei grogi ar ei grogbren ei hun, &c., fel nad oedd y bobl yn meddwl braidd mai yn y capel a'r capel oeddent wedi bod, ond gyda Dafydd Evans, Ffynonhenry, tua phalas Susan, yn priodi y brenin âg Esther—crogi Haman, &c. Lladdodd Goliath mor naturiol un tro yn y Drefach, fel y gwaeddodd rhyw greadur dibris a byw allan, fel yn anwirfoddol, ar y llofft, "D——, dyna fe ar lawr!"

Yr oedd yn *ddarluniwr* a *phaentiwr*

rhagorol, fel y gwel y darllenydd eto yn y dyfyniadau a gawn wneyd o'i bregethau. Mae y darluniadau canlynol o bregethwyr yn dda a chywir iawn, a thrueni iddynt fyn'd i goll, yn neillduol yr olaf. Yr oedd dau bregethwr enwog yn pregethu gyda'r Methodistiaid yn Conwil, a dywedai Dafydd Evans, ar ol eu clywed, "Mae Mr. ——— fel llong fawr yn ymddibynu yn gwbl ar yr hwyliau a'r gwynt; os na fydd y gwynt o'i du, chyffra fe ddim; ond os ca y gwynt, *mi aiff*. Ond mae Mr. —— fel *steamer* ardderchog, nid yw yn ymddibynu ar y gwynt; goreu gyd os bydd y gwynt o'i du, ond mae yn sicr o gyrhaedd y porthladd, y gwynt o'i du neu beidio."

Ar ol gwrando dau bregethwr poblogaidd iawn, dywedai yn eu presenoldeb, "Fe bregeth'soch yn dda ofnadwy; do yn wir, do, wirionedd i. Yr y'ch chwi, Mr. ———, yn dweyd yn gyflym iawn, gwared pawb! Mae gofyn fod cylla da gan ddyn cyn treulio'r bwyd; yr y'ch chi yn peri i fi gofio am ambell i fam yn y wlad yma yn *stwffo* 'iwd a llaeth' ar y crwt, pan mae brys mawr iddo fyned i'r ysgol. Llwyed ar ol llwyed, 'Byt, byt, byt, byt, fachgen,' nes fod yr hen grwt yn tagu yn deg, ac yn ei chwydu'n ol, ac yn ei golli bron i gyd. Ond yr y'ch chwi, Mr. ——, yn peri i fi gofio am y fam yn rhoi bwyd i'r baban, yn cymeryd digon o bwyll, 'Byted y bach, byted e, dyna hi; ïe'r un bach, dyna, bitw *nice;* llwyed fach eto, dyna fachgen mowr! odi e'n gweyd fod e'n *fine*, yr un bach! llwyed fach eto te, dyna fachgen mowr; dyna'r cwbl 'nawr;' a dyma lle mae'r fam a'r baban yn gwenu mewn serch a boddhad ar eu gilydd." Heblaw cywirdeb y darluniau uchod, y maent fel awgrymiadau ar areithyddiaeth yn werth eu "hysgrifenu yn y graig dros byth," a'u gosod mewn ymylwaith aur.

—Y ffordd oreu i Gristionogion i gadw heddwch gwastadol yn eu heneidiau yw cadw rhyfel gwastadol â'u pechodau.

## Y BEDYDDWYR A LLENYDDIAETH.

GAN Y PARCH. JAMES R PRICE, KINGSTON, PA

RHIF II.

Addawsom sylwi yn mhellach ar gynyrchion llenyddol rhai o'n prif enwogion fel enwad yn Nghymru. Nid yw llenyddiaeth Feiblaidd wedi ei gadael yn ddisylw. Cyhoeddodd yr hybarch Ddr. Jenkins, Hengoed, Esboniad cyflawn ar y Beibl Sanctaidd, yr hwn a brisiwyd am dymor maith gan y Cymry, fel trysor gwerthfawr, a bu yn gynorthwy annrhaethol i lawer Cymro uniaith, ac i eraill na allasent bwrcasu gweithiau awduron Seisnig. Dichon nad oedd ei nodwedd mor feirniadol ac ysgolheigaidd ag Esboniadau diweddar, ond mor wired a hyny nid oedd yn cynwys haner y syniadau ffol a disail a gynwysir ynddynt hwy. Cyhoeddodd hefyd y "Palas Arian," sef corph o dduwinyddiaeth. Daeth y llyfr hwn yn dra phoblogaidd, fel nad oedd nemawr i deulu crefyddol hebddo yn Neheubarth Cymru. Tua phum'-mlynedd-ar-hugain yn ol, dechreuwyd cyhoeddi Esboniad ar y Testament Newydd, gan y Parch. R. Ellis (Cynddelw); araf, araf, y bu yn dyfod allan. Yr ydym yn credu er hyny ei fod wedi ei orphen, cyn i'r duwinydd galluog hwn orphen ei yrfa ddaearol, "a myned i ogoniant." Goddefer i ni yn ostyngedig i fynegu ein barn am y gwaith llafurfawr hwn. Bwriadwyd ef at wasanaeth yr Ysgol Sabbothol; er ei fod yn dair cyfrol, y mae yr egluriadau esboniadol yn fyr fynychaf, ond yn hollol gynwysfawr a phwrpasol. Hefyd, y mae y sylwadau rhagarweiniol i'r Efengylau a'r Epistolau, yn dangos craffder a dirnadaeth feirniadol tu hwnt i ddim a gyhoeddwyd o'r blaen yn yr iaith Gymraeg. Dylai pob athraw, ïe, dywedaf pob Bedyddiwr yn Nghymru ac America ymdrechu meddianu yr Esboniad rhagorol hwn.

Tua deg mlynedd yn ol, cyhoeddodd y Parch. T. Lewis, Caerfyrddin, "Esboniad y Teulu." Y mae hwn ar yr holl Feibl. Cynwysa sylwadau eglur-

haol ac ymarferol ar bob penod. Nid ydym yn cofio i ni ddarllen mewn unrhyw waith arall o'r un natur, resymau mor rymus a goleuedig yn erbyn yr Esgob Colenso ac eraill o'r un syniadau ag ef. Addefir gan bob enwad crefyddol yn Nghymru fod hwn yn un o'r llyfrau goreu yn yr iaith.

Tua deuddeg mlynedd yn ol, dechreuwyd cyhoeddi "Geiriadur Beiblaidd," gan y Parch. John Jones (Mathetes), ac y mae yn dyfod allan yn gyson oddiar hyny hyd yn awr. Bydd yn dair cyfrol pan orphenir ef. Dichon mai nodwedd neillduol y Geiriadur hwn yw, yr hanesyddol, ond cynwysa lawer o erthyglau gwir alluog ar holl bynciau athrawiaethol Cristionogaeth. Nid yw yr awdwr parchus wedi anghofio prif dduwinyddion yr oesau. Ceir bywgraffiadau gwir deilwng iddynt yn y gwaith gorchestol hwn.

Teilwng yw crybwyll hefyd fod y Parch. J. Rhys Morgan (Lleurwg), wedi cyfieithu "Llaw-lyfr y Beibl," o waith y dysgedig Dr. Angus, Llundain. Dichon fod y llyfr hwn yn cynwys mwy o amrywiaeth nag unrhyw lyfr arall yn yr iaith, yn nosran lenyddol y gyfrol sanctaidd.

Yn ychwanegol at hyn, y mae genym lawer o draethodau rhagorol wedi eu cyhoeddi; megys yr eiddo yr enwog J. P. Davies, Tredegar; gweithiau awdurol J. Harris (Gomer), Abertawe; "Athrawiaeth Bedydd," gan y Parch. J. Evans, Abercanaid; Traethawd ar "Babyddiaeth," gan y Parch. Robert Jones, Llanllyfni. Ystyrir hwn y goreu ar y pwnc yma yn yr iaith Gymraeg.

Ond nid o fewn cylch yr enwad Beddiedig yn unig y mae llafur prif lenorion yr enwad yn ganfyddadwy; y mae hanesiaeth gyffredinol wedi cael rhai o honynt yn weision ffyddlon iddi, neb amgenach na'r bardd dychymygfawr, a'r pregethwr hyawdl John Emlyn Jones (Ioan Emlyn). Cyhoeddodd y "Parthsyllydd." Teimlid angen neillduol am lyfr o'r fath yn ein llenyddiaeth Gymreig. Nid oedd neb arall wedi anturio i'r maes hwn o'i flaen; llanwodd y diffyg i fyny yn deilwng o'r ysgolhaig addfed, a'r hanesydd manylgraff. Cyhoeddodd hefyd "Hanes Prydain Fawr," yn nghyd ag atodiad, sef Hanes Plant Rebecah. Yr oedd hyn yn gaffaeliad cenedlaethol i ni fel Cymry. Llawen oedd genym glywed fod y Llywodraeth Brydeinig wedi cofio am weddw ac amddifaid yr "Anwyl Emlyn," trwy roddi cymunrodd flynyddol iddynt at eu cynal. Yn ddiau, nid oedd neb yn deilyngach.

Yn y rês flaenaf o'n llenorion a'n hynfiaethwyr Cymreig, y saif yr enwog William Roberts (Nefydd), gynt o'r Blaenau. Llwyddodd i gasglu crynswth o hanesion am ofergoeledd ein cenedl, tu hwnt i ddim a gyhoeddwyd o'r blaen yn y cyfeiriad hwn. Llafuriodd hefyd o blaid yr Ysgolion Brytanaidd sydd wedi gwneyd cymaint o les yn Nghymru yn ystod yr ugain mlynedd diweddaf. Pan y bu Nefydd farw, collodd Cymru un o'i meibion galluocaf a ffyddlonaf. Dyn i'w genedl ydoedd. Atolygwn am i Arglwydd y cynhauaf i ddanfon rhagor o'i fath i'r cynauaf.

Gweinidog gyda'r Bedyddwyr yw y doniol a'r ffraethbert D. Oliver Edwards. Y mae nodwedd ddigrifol a ffraeth ei ysgrifau wedi tynu sylw y genedl. Ni ystyrir un cyfarfod llenyddol braidd yn gyflawn ei rag-drefn, os na fydd dernyn o'i eiddo ef i gael ei adrodd.

Cyfaddefwn y gallasai ein henwad wneyd mwy dros lenyddiaeth nag a wnaeth yn y deugain mlynedd diweddaf, pe y buasid yn gweithredu ar gynllun y Gymdeithas Gyhoeddiadol, yr hon a sefydlwyd er ys ychydig o flynyddau yn ol, trwy ymdrech Dr. Price, Aberdâr, ac eraill o weinidogion Cymanfa Morganwg.

---

## Y CYMUNDEB CRISTIONOGOL.

GAN TREBOR, DODGEVILLE, WIS.

Dilys yw, mai wrth gymundeb Cristionogol y deallir yr ordinhad neillduol hono a sefydlodd Iesu Grist yn yr oruwch-ystafell yn Jerusalem, yn nghymdeithas ei ddysgyblion y noson cyn iddo ddyoddef a marw. Ystyrid yr ordinhad y noson ofidus hono, fel yn ar-

wydd o'r dull a'r modd y buasai i'w gorph anwyl gael ei ddryllio, a'i waed gwirion gael ei dywallt ar Galfaria. Ond wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, fe ddaeth yr hyn ag ydoedd yn cael ei arwyddo yn yr oruwch-ystafell, yn ffaith i'r dysgyblion, neu sicrwydd iddynt fod yr hyn a arwyddwyd, wedi ei gwblhau ar y groes. "Efe a archollwyd am ein camweddau ni, efe a ddrylliwyd am ein hanwireddau ni," &c. Esaiah liii. 5. Gwelwn mai sefydliad y ffeithiau a'r sylweddau yw y sefydliad Cristionogol, ac nid sefydliad yr arwyddion a'r seremoniau, fel yr un o'i flaen. Meddai sefydlydd yr ordinhad, "Nid yfaf o hyn allan o ffrwyth hwn y winwydden, hyd y dydd hwnw pan yfwyf ef gyda chwi yn newydd yn nheyrnas fy Nhad." Dyma sefydliad newydd, a gwîn newydd; wele gwnaethpwyd pob peth yn newydd a berthyna i'r sefydliad. Mae elfenau y cymundeb hefyd, sef y "bara a'r gwîn," yn arddangos mai Iesu Grist ydyw y "gwir fara, a'r wir winwydden a ddaeth i waered o'r Nef;" a gorchymynodd i'w ddysgyblion i'w hymarfer hyd oni ddelo. "Gwnewch hyn," meddai, "er cof am danaf fi." "Canys cynifer gwaith bynag y bwytâoch y bara hwn, ac yr yfoch y cwpan hwn, y dangoswch farwolaeth yr Arglwydd hyd oni ddelo." Unig ddeiliaid yr ordinhad yma yw, dysgyblion Iesu Grist, pa rai sydd yn gwneyd, ac yn aros yn ei air ef; oblegid meddai, "Os aroswch yn fy ngair i, dysgyblion i mi ydych yn wir." Nid oes gan neb arall (pa mor grefyddol bynag y byddont), hawl i'r cymundeb Cristionogol, ond y rhai hyny ag sydd o'r un rhyw a nodwedd a'r rhai oedd yn yr oruwchystafell, sef rhai wedi credu ynddo,—rhai wedi ufuddhau iddo—ac yn "bwrw eu holl ofal arno"—"rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar, ac a drochwyd." Mae yn y berthynas gydnabyddiaeth o "un Arglwydd—un ffydd—ac un trochiad." Hefyd, y mae athroniaeth y berthynas yma yn unrhywiol. Meddai Iesu Grist wrth ei ddysgyblion, "Chwithau oll, brodyr ydych;" ac meddai Pedr, "Cerwch y frawdoliaeth."

Mae y gwryw a'r fenyw, yn ddwy ystlen yn y berthynas ddaearol, yn dyfod yn un ystlen yn y berthynas ysbrydol. Perthynas newydd ydyw; mae yr adnabyddiaeth yn ol y cnawd yn cael ei golli yn llwyr yn y berthynas yma; fel y dywed yr Apostol, "Canys cynifer o honoch ag a fedyddiwyd i Grist, a wisgasoch Grist. Nid oes nac Iuddew na Groegwr, nid oes na chaeth na rhydd, nid oes na gwryw na benyw (i'w hadnabod ar wahan), canys chwi oll un ydych yn Nghrist Iesu." Gall y wraig neu y fenyw Gristionogol yn y berthynas aruchel yma, lawenhau am ei bod yn mwynhau o fwrdd yr Arglwydd, megys yn ddiarwybod i'r lluaws hyny a haerant nad oes ganddi hawl i'r fath fraint, am y rheswm dwl o'u heiddynt, nad oes gorchymyn pendant i roi cymundeb i wragedd. Oh! y fath syniad daearol a chnawdol yw syniad o'r fath! Prawf ydyw, fod y cyfryw rai heb brofi yr holl felusderau ag sydd yn yr iachawdwriaeth fawr, fel moddion o fwynhad i'r credadyn. Perthynas ysbrydol yw y berthynas a fodola rhwng deiliaid y cymundeb Cristionogol a'u gilydd. "Sarah" ysbrydol, neu y wraig rydd, yw eu mam hwy oll; Duw fel eu Tad, a'u cenhedlodd; y Gair yw'r hâd trwy ba un eu cenhedlwyd; Ysbryd Iesu Grist yw eu bywyd; trochiad yw yr esgoreddfa trwy ba ddwfr y maent yn cael eu geni i fyd newydd, sef nefoedd a daear newydd Cristionogaeth; a'r gynulleidfa Gristionogol yw y teulu dedwydd y chwanegwyd y genedigion atynt. Actau ii. 41. A holl foddion yr iachawdwriaeth ydyw eu hunig gynaliaeth yn y byd hwn, a'r hwn a ddaw. Y maent fel un teulu, yn un corph, yn cyd-ddal y pen; h. y., mewn crediniaeth am dano; mewn ufudd-dod iddo; ac mewn profiad o hono; a'u harwyddair (*motto*) yw: Iesu Grist yn unig *ben* ar ei gorph ei hun; yn unig Archoffeiriad ar ei dŷ ei hun; yn unig Athraw ar ei ddysgyblion ei hun; ac yn unig Frenin ar ei deyrnas ei hun; "Crist yn bob peth, ac yn mhob peth." Dyma y teulu sydd ganddynt hawl gyfreithlon i'r cymundeb efengylaidd. Nid ydyw y *statutes* Cristionogol yn cydnabod y fath frawddegau a "chymundeb rhydd"

a "chymundeb caeth." Na, na, ond yn hytrach cawn fod yr Apostol yn dweyd wrth y Cristionogion synwyrol yn Corinth. "Phiol y fendith yr hon a fendigwn, onid cymun gwaed Crist ydyw? Y bara yr ydym yn ei dori, onid cymun corph Crist ydyw?" Ie, ïe, a neb arall, ond yn unig y corph Cristionogol sydd a hawl ganddo i'r cymun urddasol hwn. 1 Cor. x. 15. Beth bynag a ddywedir gan y dysgedicaf o ddynion, pa un bynag ai y Pab o Rufain, ai Hall, neu Spurgeon o Lundain, ïe meddaf, beth bynag a ddywedwyd neu a ddywedir gan bob cymanfa, ac angylion pob *conference* sydd ar wyneb y ddaear, am gymundeb y saint, oni ddywedant yn ol gwirionedd ei hun, nid oes un pwys yn y byd yn yr oll o'u dywediadau, am mai ffaeledig a chyfnewidiol ydynt hwy oll; ond y mae pwys anfeidrol yn yr oll a lefarodd "yr hwn ni lefarodd dyn erioed fel efe," sef Iesu Grist, yr hwn a ddywedodd, "Y neb a gredo ac a fedyddier, a fydd cadwedig; a'r neb ni chredo a gollfernir." Mae yr ymadroddion dwyfol yna, yn gyfartal yn eu pwysigrwydd, am eu bod wedi dyfod oddiwrth yr un awdurdod. Nid oes dim dibwys erioed wedi cael ei lefaru gan ein Gwaredwr, am hyny bydded i holl grefyddwyr ein hoes, fabwysiadu ac ymarfer y cyngor bendigedig hwnw o eiddo Mair ei fam, sef "Pa beth bynag a ddywed efe wrthych, GWNEWCH." Amen.

---

## THEODOSIA ERNEST;

### NEU, WRONES Y FFYDD.

"Mam, a gefais i erioed fy medyddio?"

Yr holwr ydoedd fachgen gloew, deallus, llygaid gleision, ryw dair-ar-ddeg oed. Yr oedd difrifoldeb dwfn ei wynebpryd, a'i edrychiad gonest a sylwgar gyda'r hwn yr edrychai i wyneb ei fam, yn dangos am y mynyd, o'r hyn lleiaf, fod y gofyniad yn ymddangos iddo ef yn un pwysig iawn.

"Do, yn siwr, fy mab, cawsoch chwi a'ch chwaer eich bedyddio gan y Parch. Dr. Fisher, ar yr amser pan yr ymunais i â'r eglwys. Mae eich chwaer yn cofio hyny yn dda, oblegid yr oedd hi yn chwe' mlwydd oed; ond yr oeddech chwi yn rhy ieuanc i wybod dim am y peth. Dywedodd eich modryb Jones fod yr olygfa yr un fwyaf difrifol a welsai erioed; a'r fath weddi a wnaeth yr hen ddoctor da drosoch chwi nid wyf yn gofio cyn hyny."

"Ond mam," ychwanegai y bachgen, "bu fy chwaer a minau i lawr yn ymyl yr afon yn gweled boneddiges yn cael ei bedyddio gan weinidog i'r Bedyddwyr, yr hwn a ddaeth yma y mis diweddaf, ac a ddechreuodd bregethu yn yr ysgoldy. Hwy a aethant i lawr i'r afon, ac yna efe a'i suddodd hi dan y dwfr, ac a'i cyfododd hi i fyny yn fuan drachefn. Ac mae fy chwaer yn dweyd, os oedd hwnw yn fedydd, yna ni chawsom ni mo'n bedyddio, oblegid yr oeddem ni yn sefyll ar lawr sych yr eglwys, a gwlychodd y pregethwr ei law mewn cwpanaid o ddwfr, a thaenellodd ychydig ddyferion ar ein talcenau. Ac mae hi yn dweyd na chafodd ein cefnder John Jones ei fedyddio chwaith, canys ni chymerodd y pregethwr ond pisered bychan o ddwfr, a thywalltodd ychydig o hono ar ei ben. Mae fy chwaer yn dweyd na fedr hi ddim gweled pa fodd y gall tri bedydd fod, pan y mae yr Ysgrythyr yn dyweyd, 'Un ffydd, un bedydd.'"

"Mae eich chwaer bob amser yn myfyrio pethau uwchlaw ei chyrhaeddiadau, fy mab. Mae yn well i chwi, bobl ieuainc, beidio poeni eich hunain yn ormodol yn nghylch y cwestiynau dyrys hyn mewn duwinyddiaeth."

"Ond, mam, nid yw hwn yn ymddangos i mi yn gwestiwn dyrys o gwbl. Mae un gweinidog yn cymeryd person i lawr i'r dwfr, a'i suddo o dano; mae un arall yn sefyll ar lawr sych yr eglwys, o flaen y pwlpud, ac yn taenellu ychydig ddyferion ar ei gwyneb; mae un arall yn tywallt ffrwd fechan ar ei phen. Yn awr gall unrhyw un weled eu bod yn *gwneyd tri pheth gwahanol;* ac os yw pob un o honynt yn fedydd, yna mae yn rhaid fod tri bed-

ydd. Nid oes dim duwinyddiaeth yn nghylch hynyna, ai oes?"

"Oes, fy mhlentyn; y mae hwn yn gwestiwn duwinyddol; ac yr wyf yn tybied y rhaid ei fod yn un anhawdd iawn, gan fy hysbysir fod rhai dynion da a doeth iawn yn anghytuno arno."

"Ond, mam, maent oll yn cytuno nad oes ond un bedydd, onid ydynt? Ac os nad oes ond un, paham nad edrychant i'r Testament, a gweled pa beth ydyw? Os yw y Testament yn dweyd taenellu, yna taenellu ydyw; os ydyw yn dweyd tywallt, yna tywallt ydyw; os ydyw yn dweyd trochi, yna trochi ydyw. Yr wyf yn bwriadu darllen y Testament Newydd, a gweled ai ni allaf benderfynu pa un ydyw, drosof fy hun." [*I'w barhau.*]

## DYNOLIAETH A DWYFOLIAETH YR ARGLWYDD IESU.

GAN Y PARCH. B. E. JONES, WICONISCO, PA.

"Iesu a atebodd ac a ddywedodd, Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r Ysbryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw."—IOAN iii. 5.

Mae yn ddyddorol a bendithiol cael eistedd wrth draed athrawon galluog a dysgedig pan fyddont yn ymddyddan ar bwnc neu bynciau o bwys. Ond odid na ddaw rhyw syniadau newyddion i'r golwg yn yr ymdriniaeth. Dygodd yr ymddyddan hwn rhwng y ddau athraw bethau i sylw na fuasent byth yn cael eu dwyn heb hyny. Mae un athraw yn syrthio i ddyryswch yn nghylch dysgeidiaeth yr athraw arall, fel nad yw ond dysgybl anneallus ger ei fron.

Mae Nicodemus wrth anerch yr Iesu yn ei gydnabod fel dyn, cenad, ac athraw, wedi ei gymwyso a'i anfon gan Dduw i'r byd—addefai fod y gwyrthiau oedd yn eu gwneuthur yn cadarnhau "fod Duw gydag ef;" ond ni chydnabyddai ei Dduwdod. Nid yw yr Iesu yn cael ei gydnabod ganddo ond fel dyn yn unig. Nid yw rhesymiad Nicodemus yn adlewyrchu yn dda ar ei ddealltwriaeth a'i amgyffredion. Pa gysylltiad sydd rhwng bod yn ddysgawdwr a gwneyd gwyrthiau? Dim. Mae gwneyd gwyrthiau uwchlaw y ddysgeidiaeth a'r deall perffeithiaf. Rhan o allu creadigol Duw yw gallu gwyrthiol. Nid oedd gan ddeddfau natur ddim i wneyd â hwynt. Yr oeddynt uwchlaw iddynt ac yn wahanedig oddi wrthynt.

Mae Nicodemus yn cydnabod fod yr Iesu yn berson neillduol a phenodol, wedi ei anfon gan Dduw i'r byd, a dim rhagor. Mae'r Iesu, yn ei atebiad i'r cyfarchiad hwn, yn hawlio ei fod yn Dduw yn ogystal a'i fod yn ddyn. "Yn wir, yn wir, meddaf i ti, oddieithr geni dyn (*tis*—rhyw un—*one, any one*) drachefn (oddi uchod) ni ddichon efe weled teyrnas Dduw.—[Gwel Greenfield ar *Tis.*] Fe welir mai am *un* person neillduol a phenodol mae Crist yn llefaru am dano yma, sef am dano ei hun, ac nid am neb arall.

"A wyt ti yn ddysgawdwr yn Israel, ac ni wyddost y pethau hyn?" Hyny yw, fod un person, sef y Messiah, i gael ei eni, y Duw-ddyn—y ddwy natur mewn un person. Fel dysgawdwr yn Israel, yr oedd wedi dysgu y bobl am y Messiah, a'i ddyfodiad yn y cnawd. Yr oedd dyfodiad un person, sef Crist, yn ddigon hysbys i'r genedl Iuddewig a'i hathrawon. Yr hyn oedd yn hysbys iddynt oedd Iesu yn lefaru wrtho. "Yr hyn a wyddom yr ydym yn ei dystiolaethu."

Mae pob dyn, fel y mae yn ddyn, yn enedigol o'r byd hwn; ond dyma un yn enedigol o fyd arall—"oddi uchod." Ni allai yr Iesu fel dyn, a dyn yn unig, ddim gweled teyrnas Dduw. Yr oedd yn rhaid ei fod yn Dduw hefyd cyn gallai weled y deyrnas hon, am mai yn y nefoedd y tynwyd y cynllun Dwyfol o honi. "Fy nheyrnas i nid yw o'r byd hwn." Yr oedd yn rhaid ei eni o'r un wlad a'r deyrnas hono mewn trefn iddo ei gweled, ei deall, a gwybod am ei chynllun Dwyfol, er ei datguddio i drigolion y byd.

Mae Nicodemus, yn ei ddyryswch a'i benbleth, yn gofyn, "A ddichon efe fyned i groth ei fam eilwaith a'i eni?" Sylwer mai am un person mae

Nicodemus yn siarad am dano yma o dan y rhagenw "efe," ac am enedigaeth naturiol dyn. Gan ei fod yn methu a deall yr enedigaeth oddi uchod, cyflwyna yr Iesu i'w sylw ddwy o enedigaethau, sef yr enedigaeth naturiol o ddwfr, a'r llall, sef yr ysbrydol, o'r Ysbryd. Sylwer mai am yr Iesu yn unig mae yr ymddyddan hyd yn hyn, yn y cyfarchiad a'r atebiad. Felly mae y ddwy enedigaeth yn perthyn i'r Iesu, ac iddo ef yn unig. "Yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd." Dyma yr enedigaeth naturiol. Yr oedd Iesu fel dyn yn brawf o'i enedigaeth naturiol. Yr oedd y gwyrthiau oedd yn eu cyflawni yn profi ei fod yn fwy na dyn. "Yr hyn a aned o'r Ysbryd sydd ysbryd." Mae yma ddwy enedigaeth, un yn nefol a'r llall yn ddaearol, a'r Iesu yn unig a dybir yn y ddwy, ac nid neb arall.

Mae'r Iesu yn gadael y pwnc yn ei berthynas ag ef ei hun, ac yn troi at Nicodemus i siarad am enedigaeth pechaduriaid trwy ras, yn y rhif luosog, "*chwi.*" Yn y rhif unigol maent wedi siarad hyd yn hyn. Nid yw pechaduriaid a enir oddi uchod trwy ras yn cael eu geni o ddwfr o gwbl. Ni sonir yma ond am un enedigaeth iddynt hwy, sef oddi uchod. Yr Iesu yn unig sydd yn cael ei eni o ddwfr ac o'r Ysbryd. Gallesid deall yr ymddyddan hwn yn well pe buasai yr adnod hon rhwng cromfachau. Yn adnod 13 y mae'r Iesu yn diweddgloi y pwnc ar ei Ddwyfoliaeth a'i ddynoliaeth mewn un person, sef yn "Mab y dyn, yr hwn sydd yn y nef."

I. Sylwn ar *enedigaeth naturiol* yr Arglwydd Iesu o ddwfr. "Oddieithr geni dyn o ddwfr," (*Tis*—rhyw *un* o ddwfr), nid *rhai.*

Yn mha ystyr yr ydym i ddeall dwfr yn y fan hon yn ei gysylltiad neillduol â'r Arglwydd Iesu? Yn ffugyrol, yn ddiau, ac nid yn naturiol; o ganlyniad nid oes yma ddim bedydd. Mae y ffugyr o ddwfr yn y fan hon yn gosod allan ddynoliaeth yr Arglwydd Iesu. Mae i ddwfr amryw ystyron eraill, ond dyna ei ystyr yn y fan hon. Gwelir yn yr adnod ganlynol fod dynolryw mewn modd cyffredinol yn myned o dan y ffugyr o ddwfr. "Y dyfroedd a welaist lle mae y butain yn eistedd, pobloedd a thorfeydd ydynt, a chenedloedd ac ieithoedd."—Dat. 17 : 15. Dyma allwedd agoriadol i'r adnod dan sylw. Fe welir yn eglur oddiwrth yr adnod hon fod Iesu fel yr oedd yn ddyn wedi cael ei eni o ddwfr, sef o ddynoliaeth—wedi ei wneuthur o wraig a than y ddeddf. Rhoddodd Job ofyniad rhyfedd na atebwyd ef erioed nes ganwyd Iesu: "Pwy a ddyry beth glân allan o beth aflan? Neb." Mae y peth glân, sanctaidd, wedi ei eni o beth anmhur, "aflan." Campwaith Duw oedd hyn. Dyma ddelw bur, gyfan, a ddrylliwyd, a gollwyd yn Eden, wedi ei chael eto yn y ddynoliaeth, yn y Cyfryngwr.

Gan mai un ddynoliaeth sydd, neu un natur, ac Iesu wedi cymeryd yr un natur hono i undeb a'i berson Dwyfol, yr oedd yn anmhosibl iddo beidio marw dros bawb, gan fod pob dyn yn y natur hono. Yr oedd y ddeddf yn gofyn pob dyn. Atebwyd ei gofynion yn llawn gan Grist yn ei iawn—llanwyd meddwl Duw â boddlonrwydd. Ebai rhyw un, "Os talodd Crist ddyled pawb, yna mae pawb yn rhydd." Na, maent yn rhwym i'r hwn a fu farw drostynt. "Pa un bynag yr ydym ai byw ai marw, eiddo yr Arglwydd ydym." Mae drws gobaith a bywyd tragywyddol wedi ei daflu yn agored, a chymorth trindod o bersonau i gyrhaedd ato.

Mae llawer ystyr i ddwfr, megys ystyr oruchwyliaethol. "Fel y sancteiddia efe hi, a'i glanhau â'r olchfa ddwfr trwy y gair." "Trwy olchiad yr adenedigaeth." Goruchwyliaeth yr efengyl yw dwfr yn y manau hyn. Bryd arall, wrth ddwfr golygir gras, egwyddor a bendithion y nefoedd: "Eithr y dwfr a roddwyf fi iddo a fydd ynddo yn ffynon o ddwfr yn tarddu i fywyd tragywyddol." "Ac a daenellaf arnoch ddwfr glân fel y byddoch lân oddiwrth eich holl fryntni, ac oddiwrth eich eilunod glanhaf chwi." Mae rhai yn gwneyd ordinhad daenellyddol o'r adnod hon. Duw ei hun sydd yn taenellu yma, ac mae y dwfr hwn yn iachawdwriaeth—mae yn glanhau. "O,

deuwch i'r dyfroedd bob un y mae syched arno."

Mae geni o ddwfr, yn yr adnod dan ein sylw, wedi cael ei wneyd i dybio bedydd gan ddynion dysgedig a galluog, ac mae llawer yn gwneyd bedydd o honi heddyw. Nid oes dim bedydd ynddi, na'r cysgod lleiaf o hono. I Grist yn unig mae yr adnod yn perthyn. Gan mai i Grist mae yn perthyn, nis gellir gwneyd bedydd o honi. Yr ydym ni fel Bedyddwyr yn credu fod pawb yn bechaduriaid, a bod yn rhaid i bechaduriaid gael eu hargyhoeddi cyn eu bedyddio. Os felly, pa fodd y cymwysir hi mewn modd bedyddiol at Grist? Ar yr adnod hon yn benaf mae'r athrawiaeth o ail-enedigaeth yn medydd yn cael ei sylfaenu. Gwneyd y defnydd hwn o ddwfr sydd wrthun, ac yn wrthdarawiadol i'r *terms* a ddefnyddir am yr ordinhad o fedydd mewn manau eraill. Nid oes y mymryn na'r cysgod lleiaf o fedydd mewn geni o ddwfr yn y fan hon. Nid yw bedydd o werth dim i neb os na fydd wedi ei gyfnewid trwy ras gan Ysbryd Duw. Athrawiaeth bur, ddiwyrni, ddidroi, a diblygu yr efengyl, yw geni o Dduw, ac nid o ddwfr.

1. *Y gallu oedd yn ei Dduwdod i gymeryd y natur ddynol i undeb a'i berson Dwyfol.* "Gan fod y plant yn gyfranogion o gig a gwaed, yntau hefyd yr un modd a fu gyfranog o'r un pethau." Tuedda hyn ni i feddwl pe buasai dyn yn meddu ar ryw natur arall, gallasai Dwyfoliaeth gymeryd yr agwedd hono. Gan mai natur ddynol oedd dyn yn ei feddu, gwisgodd Crist hono.

2. Fel yr oedd Crist yn *ddyn*, yr oedd yn alluog i *deimlo*, *dyoddef*, *a marw, fel dyn.* Yr oedd yn meddu ar gorph ac enaid dynol, ac fel y cyfryw yr oedd yn alluog i gyflawni yr holl ddyledswyddau gorphwysedig arno fel dyn.

II. Sylwn eto ar *nodweddau dirgeledig yr enedigaeth ysbrydol.* "Y mae y gwynt yn chwythu lle y myno; a thi a glywi ei swn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le y mae yn myned; felly mae pob un ar a aned o'r Ysbryd."

Yr oedd Nicodemus am ddeall y pethau yr oeddynt yn ymddyddan am danynt. "Pa fodd y dichon y pethau hyn fod?" Nid oedd yn deall pethau natur, megys cwrs y gwynt. Ni ellir deall ond rhanau o bethau naturiol ac ysbrydol Duw—dim ond ymylu arnynt.

Mae natur ei hun yn ddyfnach na'r meddwl dynol, a'r ysbrydol yn uwch nag ef. Nis gellir esbonio pa fodd mae y nodd yn y pren yn troi yn ddalen, yn flodeuyn amryliw, ac yn ffrwyth. Nis gellir esbonio pa fodd mae rhinwedd o'r un fath ddaear yn troi yn afal, yn wenith, yn geirch, &c. Mae llawer o athronyddion, wrth fyfyrio natur, wedi ceisio troi y Crewr Anfeidrol o'r neilldu, a sefydlu eu duw anmhersonol (*impersonal god*) yn ei le. Dyma dduw Tyndal, Huxley, a Darwin, feddyliwn. Mae pethau mewn natur ac ysbrydoliaeth yn ymgodi uwchlaw y meddyliau mwyaf galluog, cyflym, a goleu a fedd y byd, Nid yw athrawon dysgedig y byd yn llawer callach na Nicodemus uwchben natur ac ysbrydoliaeth. Gofynir ei ofyniad byth a hefyd gan athrawon goleu yr oesau a ddel, "Pa fodd y dichon y pethau hyn fod?"

Ymdrechais ysgubo ymaith yr athrawiaeth dwyllodrus a pheryglus hono, sef ail-enedigaeth mewn bedydd o'r adnod hon; pa mor bell y llwyddais, nis gwn. Barn ein Henwad yw, nad oes neb yn cael ei ail-eni yn y bedydd. Mor bell a hyn, yr wyf yn iach yn y ffydd.

---

## Y CYNGORAU CYN-GYFFREDINOL.

GAN Y PARCH. E. EDWARDS, WILKESBARRE.

### RHIF. IV. *Yr Ail Ran.*

Ein bwriad presenol yw crybwyll am rai o'r cyngorau a gynaliwyd *wedi* yr un yn Ngharthage, a *chyn* yr un yn Nicea, 325 O. C. Wedi hyn canlynwn yn llinell y Cyngorau Cyffredinol, neu, fel eu gelwir oddiwrth air Groegaidd a olyga *y byd cyfaneddol*, (*Œcumenical*). Oferedd fyddai ceisio bod yn orfanwl

yn ngwyneb *amledd* y cyfarfodydd hyn. Rhifai Syr Harris Nicolas un cant ar bymtheg a phedwar o gyngorau. O'r lluaws hyn rhaid dethol y pwysicaf, i'w dwyn i sylw yn yr ysgrifau hyn.

CYNGORAU ANTIOCHIA.

Yr oedd yma esgob o'r enw Paul—dyn gwahanol iawn i'r Apostol a ymwelasai â'r ddinas hon dros ddau cant o flynyddau cyn hyn. "Paul o Samosata" y gelwid hwn. Coleddai a phregethai athrawiaeth wahanol hollol i eiddo Paul yr Actau. Drwy ddylanwad Dionysius o Alexandria, yr hwn, fel y credir, a ysgrifenodd yn erbyn esgob Antiochia, galwyd am gyngorau, a gynelid yn 265 a 269 O. C., i ymdrin â'r achos. Gwelsom sylw mai cyngor Nice neu Nicæa oedd y cyntaf i ymwneyd ag *athrawiaeth;* ond athrawiaeth, nid arferion eglwysig, oedd pwnc y cyngorau hyn. Credai a dysgai y Paul hwn nad oedd i Grist Faboliaeth dragywyddol, ond amserol—nad oedd iddo Ddwyfoldeb ond mor bell ag y bodolai y Tad ynddo, &c. Yn y cyfarfod olaf, cyngor 269, nid oedd ond chwech o esgobion yn bresenol.—Gwnaeth henuriad perthynol i Antiochia, areithiwr enwog o'r enw Malchion, wrthwynebu a llwyr orchfygu yr esgob; ac mewn canlyniad cafwyd pleidlais gyffredinol dros ei ddiarddeliad. Ond, fel esgob Natal yn ein dydd ni, daliodd Paul yn ystyfnig, a pharhaodd i weinyddu yn ei swydd. Penodwyd un Domnus yn olynydd iddo, a bu *yma*, hefyd, am dymor, *ddau* esgob. Wedi hyn cymerwyd yr achos mewn llaw gan esgobion yr Eidal a Rhufain, a hwynt hefyd a'i gwrthodent ef o herwydd ei gyfeiliornadau. Pa fodd bynag, cafodd blaid o ddilynwyr a elwid Pauliaid; ond diflanu a wnaethant cyn diwedd y bedwerydd ganrif. Gwel hanes lawn gan Mosheim, *Hist. Com.*, Cyf. II., tu dal. 228—242.

Yn gymaint a bod yr eglwysi drwy eu cyngorau, eisoes wedi cymeryd arnynt ymyraeth ag *athrawiaeth*, yr ydym wedi rhyfeddu na bu cyngor cyn diwedd y drydedd ganrif, i wrthsefyll cyfeiliornadau dychrynllyd Mani neu Manes—y gymysgfa wenwynig o ddychymygion yr Aiphtwr penboeth Scythianus, gydag Iuddewiaeth a Christionogaeth! Rhoddir dros gant a haner o du dalenau yn yr *Hist. Com.* i hanes Manes a *Manichæism*. Ni allaf ar hyn o bryd, amgen crybwyll iddo gychwyn yn nghyffiniau Mesopotamia, tua 272 O. C., i droi Cristionogion ar ei ol; ac, er i esgob Kaskar ei drechu ddwywaith mewn dadl gyhoeddus, llwyddodd i ddenu lluoedd i'w ganlyn, yn Syria ac Asia Leiaf, a gogleddbarth Affrica, îe, ac yn yr Eidal, yn ogystal ag yn Mhersia. Fel Montanus, honai mai y "Dyddanydd" oedd efe, ac ychwanegai, mai ei waith ef oedd cwblhau a pherffeithio yr hyn a adawodd Iesu yn anorphenol ac anmherffaith. Fel Joe Smith, ac fel Mahomet hefyd, dywedai fod datguddiad newydd wedi ei ymddiried iddo ef, yn cynwys esboniad ar y Drindod, y ddau allu drwg a da, neu oleuni a thywyllwch, sydd yn y byd, cread dyn gan yr ysbryd drwg, &c., &c. Ystyr y gair *manes*, yn y Groeg, yw gwallgofddyn; ac nid yw ryfedd genym fod rhai wedi dal ar gyfaddasrwydd yr enw i'r *dyn;* ac eto nid anmhriodol mae Mosheim yn ei alw, "*a prodigy of a man.*" Rhaid ei adael at hyn. Bu ei dymor yn fyr; yn 277 dygwyd ei einioes oddiarno ar arch y brenin Persiaidd Vaccares—Vaharem, yn ol yr *Encyc. Amer.* Pa fodd bynag parhaodd y cyfeiliornad enbyd hwn i felldithio dynolryw am lawn ddau cant o flynyddau wedi hyn.

Wrth ddychwelyd i linell y cyngorau, aroswn fynyd gyda yr un yn

ELVIRA (COUNCIL ELIBERIT), HISPAEN,

a gymerodd le yn y flwyddyn 305 O. C. Gwelsom gyfrifiad wyth mlynedd yn ddiweddarach. Ceir *Canon* 33 yn "penodi gweddwdod i'r offeiriaid a'r diaconiaid." Yr oedd darluniau (*pictures*) crefyddol wedi dyfod yn raddol i gryn fri; cafwyd y rhai hyn nid yn unig yn nhai y Cristionogion, ond hefyd yn yr eglwysi, yn neillduol yn yr Hispaen. Teimlid fod yr arferiad yn niweidiol, îe, yn efelychiad o eilunaddoliaeth y paganiaid. Ofnid y telid

addoliad iddynt ryw ddiwrnod, megys y gwnaed; ac am hyny cawn y cyngor hwn yn gwahardd yr arferiad.—*Canon* 36. Peth arall a fu dan sylw oedd, y dylai pob Cristion fod yn bresenol yn yr addoliad cyhoeddus; ac, yn ol *Canon* 21, cyfrifir yr esgeuluswyr yn ysgymunedig dros dymor cyfartal i ansawdd y trosedd. Heblaw hyn, ymdrinid â phethau llai pwysig, megys fod dydd y Pentecost i'w ddal mewn anrhydedd arbenig.—*Can.* 43. Ac hefyd bethau mwy ffol, megys fod yn rhaid i'r ymgeiswyr am fedydd gael eu cadw ddwy flynedd o dan ddysgeidiaeth fel *catechumens*.—*Canon* 42. Amlwg yw fod hyn yn groes hollol i orchymyn Crist, Mat. 28: 20, ac i'r arferiad apostolaidd. Actau 2: 41.

Awn rhagom, bellach, at gynulliad mwy pwysig, sef

CYNGOR ARLES, YN FFRAINC.

Cyfeiriwn at y cyntaf o'r cyngorau yn y lle hwn; h. y., yr un a gyfarfu yn y flwyddyn 314. Bu yma ymdrin â phwnc bedyddio hereticiaid. Hefyd dygwyd urddiad esgobion ger bron, a phenderfynwyd fod yn dda cael saith, ond fod yn *rhaid* cael *tri* esgob yn wyddfodol ac yn cydsyniaw yn yr urddiad, &c.

Y prif beth y gofalwn ei nodi oedd yr ymgais a wnaed yn y cyfarfod hwn, fel yn yr un a fu yn Rhufain flwyddyn yn gynt, i ddisodli a dymchwelyd y Donatiaid. Brodor o Affrica ydoedd Donatus, esgob yn eglwys reolaidd Carthage yn y fl. 306. Ymroddodd â'i holl egni i wrthweithio llygredd yr eglwys Gatholic; ac eto, *fel* y Novatiaid, ac yn *annhebyg* iawn i'r Montaniaid a'r Manichæaid, yr oedd ei olygiadau ar bynciau sylfaenol crefydd yn gyffelyb i'r eiddo yr eglwys yr ymneillduai oddiwrthi. Yr oedd yn bresenol yn ymdrin â'r achos, dri o'r *English Fathers*, wedi myned i gydymgyngori â'r esgobion Gorllewinol; eithr ni bu terfyn ar y ddadl, nac ar y bobl, am amser hir wedi hyn. Parhaodd yr enwad dri chan' mlynedd; a pharhaodd egwyddorion y Donatiaid mewn enwadau eraill am ganrifoedd lawer. Deuant o dan sylw yn ol llaw. Ail Fedyddwyr eu gelwir, ac yr oeddent mor ddewr dros y gwir, fel yn hytrach na gochelyd, *ceisient* ferthyrdod, a chyfarfyddent ag angau dan ganu.

Yn yr un flwyddyn a chyngor Arles, cawn

Y CYNGOR YN ANCYRA, GALATIA.

Yma, eto, ymdrinid â gweddwdod yr offeiriadaeth (*celibacy*). Ar hyn o bryd nid oeddid wedi meddwl am gwbl omedd priodas, fel y gwnaed yn ol llaw, er gwaethaf ysgrifeniadau yr Apostol at Titus a Thimotheus. Penderfyniad y cyfarfod dan sylw ydoedd, na ddylai gweinidog briodi wedi ei urddo i'w swydd. Perthyn yr haerllugrwydd o wneyd *deddf* na oddefid i glerigwr gymeryd gwraig, i Siricius, esgob Rhufain, saith deg o flynyddau yn ddiweddarach na hyn.

Peth arall yn y cyngor hwn, o bwys ei nodi, ydyw, ddarfod i esgobion y *dinasoedd* yn awr amcanu cwtogi galluoedd eglwysi y *wlad*, a'u hesgobion hefyd. Honent nad oedd gan y cyfryw hawl i urddo swyddogion heb eu caniatad a'u cydweithrediad hwy! O radd i radd daeth hyn yn achlysur galw eglwys y ddinas wrth yr enw *cathedral*, h. y., lle *cadair* yr esgob; ac, fel y gellid dysgwyl, yn o fuan syrthiodd yr eglwysi gwledig yn ddisylw, ac ni cheir son am danynt ar du dalenau hanesiaeth eglwysig. Nid oes angen ond cysylltu yr eglwys a'r llywodraeth i berffeithio dyfais ormesol yr *arch*-esgobion hyn; ac y mae hyny "wrth y drws!"

Y mae o leiaf un cyngor arall yn gofyn am air o sylw cyn ein bod yn gorphen â'r Cyngorau Cyn-Gyffredinol. Cynaliwyd hwn yn y fl. 315 O. C. Cyfeiriwn at

Y CYNGOR YN NEO-CESAREA.

Cawn yn y *Canon* cyntaf benderfyniad yn dwyn ar gof i ni arferiad eglwysi Bedyddwyr Jamaica, nad oedd i swyddog, os syrthiai i bechod yn galw am ddysgybliaeth eglwysig, byth gael ei adferyd i'w swydd. Y mae *Canon* 3ydd, mewn efelychiad o'r Novatiaid a'r Donatiaid, yn gwahardd i aelod briodi *eilwaith* ar gyfrif yn y byd; ys-

tyrid y fath briodas yn anghyfreithlon. Yn ol *Canon* 11eg, rhaid oedd i ymgeisydd am swydd esgob fod yn ddeg-ar-hugain oed. Y 12fed, a omeddai osod mewn swydd neb a fyddai wedi ei fedyddio ar wely cystudd, h. y., a *daenellid*, a hyny megys o'i anfodd. Y 13eg oedd yn llinell uchelgais yr esgobaethau dinasol, sef, nad oedd i henuriad o'r wlad weinyddu yn eglwys y ddinas, os byddai yr henuriad dinasyddol yn bresenol!

Sylwa Coleman (*Christian Antiq.*, tu dal. 44), ar air a geir yn yr un *Canon*, yn desgrifio y *Chor. Episcopi*, esgobion y wlad, fel cyd-lafurwyr; a dadleua yn lew yn erbyn yr ysgrifenwyr sydd yn honi nad oedd y fath beth ac esgob gwledig cyn hyn! Cymerodd y cyngor yma arno orchymyn fod yn rhaid i bob eglwys gydymffurfio â'r un Apostolaidd (Act.) vi. 3), a chael saith o ddiaconiaid! Yn hyn, a phethau eraill, dygir ar gof eiriau Iesu yn Matthew xxiii. 24. Digon, bellach; bydd gan y darllenydd feddylddrych am ansawdd a gwaith y cynulliadau dylanwadol a boreuol hyn.

Mewn modd o ol ysgrifen, dymunwn ychwanegu llinell neu ddwy fel yma: Wrth adolygu y cyfnod sydd eisoes wedi dyfod o dan ein sylw, o'r braidd nad yw y niwl mor dew fel nas gallwn, er mor foreuol yr hanes, ganfod yr eglwys Apostolaidd! O leiaf, yr ydym wedi bod mewn awyr wahanol iawn i'r hon a gylchynai gynghor Caersalem. Os yw yr afonig a darddodd gyda Christ a'i ganlynwyr, yn gyfryw a'r hyn a geir ar ddechreu y bedwaredd ganrif, y mae y *tributaries* iddi wedi ei gwneyd yn lleidiog, yn ogystal ag yn llawn. Olyniaeth Apostolaidd yn wir! Bydded i'r sawl a'i caro, o'n rhan ni, Enill, nid colled; nerth, nid gwendid; anrhydedd, nid gwarth, yw neidio dros y ddwy ganrif sydd yn cyfryngu, os mynwn gael cymdeithas gydag apostolion yr Oen. Beth am y canrifoedd sy'n canlyn? Megys Ezec. viii. 7—16, o ddrwg i waeth. Darllenwch, oblegid bydd hyn yn rhagbarotoad da i'r golygfeydd a agorant o'n blaen.

## FFYDDLONDEB YR EGLWYSI

Yn nghanol cynhyrfiadau a thlodi yr amseroedd, y mae yn ddymunol sylwi ar yr amlygiadau o ffyddlondeb crefyddol a welir yn mhlith yr eglwysi Cymreig yn y wlad hon, yn enwedig yn ardaloedd y gweithfeydd. Gwelir rhan o'r ffyddlondeb hwn mewn cyfranu at y weinidogaeth. Ni fu yr eglwysi hyd yn nod ar adegau o lwyddiant masnachol, yn meddu gweinidogaeth fwy sefydlog nag ydynt yn bresenol. O Luzerne i lawr i Schuylkill yn Pennsylvania, mae odid pob deadell yn meddu ar ei bugail. Felly hefyd, y cawn sefyllfa pethau yn mhlith y brawdoliaethau yn Ohio.

Anhawdd sylweddoli yn ddyladwy yr ymdrech sydd yn cael ei wneyd yn awr er ys rhai blynyddau yn ardaloedd y gweithfeydd glo, er cynal yr achosion crefyddol yn fyw. Cyfrenir o brinder mawr. Yn y dyddiau hyn, pan y mae cymaint o gyfeirio bysedd i wersyll Seion, onid yw y ffeithiau a nodwn yn werthfawr? Chwychwi frodyr a chwiorydd, parhaed eich sêl a'ch ymdrech. Dyma yw ffyddlondeb y ddwy hatling. Mae yn sicr o dderbyn cymeradwyaeth y Meistr.—*Brawd.*

## RHODDI AT A THYNU ODDIWRTH.

Yn Dat. xxii. 18, 19, mae cosbau trymion yn cael eu cysylltu â rhoddi at neu dynu dim oddiwrth y gyfrol sanctaidd. Y mae llawer i'w cael a betrusent roddi adnod newydd yn argraffedig yn y Beibl, neu dynu un adnod allan—eto yn gallu rhoddi ato a thynu oddiwrtho yn ddigon digywilydd yn eu credoau, ac yn eu hymarferion.

O, ddarllenydd! O, broffeswr, gwylia goleddu rhagfarn yn erbyn *un* rhan o air yr Arglwydd. Gwylia ar dy symudiadau wrth roddi dy hun yn aelod crefyddol, rhag y dygwydd i ti wneyd dy gartref gyda phobl na dderbyniant yr holl Feibl, a dim ond y Beibl yn rheol ffydd ac ymarweddiad.

"Am graig i adeiladu,
Fy enaid chwilia'n ddwys."

## GOFYNIADAU AC ATEBION.

A YW YN WIR?

Fel y canlyn y traetha y Parch. R. H. Evans, Hyde Park, am y Bedyddwyr, mewn erthygl o'i eiddo ar "Robert Hall a Chaeth-gymundeb," yn y *Cyfaill* am Awst.

"Mae genym rai Bedyddwyr yn ein dyddiau ni yn gyson â hwy eu hunain, oblegid dywedant nad aiff neb i'r nefoedd heb iddynt yn gyntaf gael ei trochi mewn dwfr dros eu penau, a hyny ar ol iddynt dd'od i faint. Nid wyf yn dywedyd hyn ar antur, oblegid yr wyf wedi clywed Bedyddwyr yn ei ddywedyd *a'm clustiau* fy hun. Ac wrth iddynt ddywedyd nad aiff neb i'r nefoedd heb iddynt gael eu bedyddio yn ol eu dull hwy, rhoddant ar ddeall nad oes dim gwahaniaeth beth a wna dyn—nad yw edifarhau, na chredu, na dim arall yn ddigon i'w achub; fod yn *rhaid* iddo fyned dros ei ben i'r dwfr, neu fyned i uffern. Ymddengys i mi fod *rhai* o'r Bedyddwyr yn gosod cymaint o rinwedd mewn bedydd trwy drochiad ag sydd yn ngwaed Crist, os nad mwy!"

Frodyr, yr ydych yn gweled beth y mae un o brif weinidogion y Methodistiaid Calfinaidd yn ei ddyweyd am danom. A yw y pethau yna yn wir am danom? Os ydynt, pa fodd yr ydym yn myned i amddiffyn ein hunain? Os nad nad ydynt, beth yn ngwyneb hyny? Dichon y cawn glywed oddiwrth rai o honoch ar hyn.

---

ATEBIAD I'R "HEN WR O GIRARD," OHIO.

Mr. Gol.—Gwelais yn y WAWR am fis Mehefin, ofyniad gan un a eilw ei hun yn "Hen Wr o Girard." Ac yn herwydd hwyrfrydigrwydd eich gohebwyr talentog i'w ateb, minau anturiaf roddi ychydig eglurhad i'r hen frawd, gan obeithio, os cyfeiliornaf, y bydd i rai o'ch gohebwyr fy ngoleuo yn garedig. Felly, dechreuwn gyda rhoi ychydig o eglurhad ar y gair Testament. Ceir gwahanol ystyron i'r gair hwn, megys Cytundeb, Cyngrair, Ewyllys, Cyfamod, &c. Gwel Genesis xxvi. 28.—Deut. xxix. 12—14.—Psalm l. 5.

Ond yn y cysylltiadau dan sylw, dewiswn yr olaf, sef Cyfamod. Duw yn gwneyd Cyfamod a'i bobl yn ei Fab; Duw a'i bobl yn ymrwymo i'w gilydd. Gwnaeth Duw gyfamod ag Abraham, ac arwydd y cyfamod hwnw oedd yr enwaediad. Duw yn addaw bod yn Dduw iddynt hwy, a hwythau yn addaw bod yn bobl iddo yntau trwy ffydd yn y Messiah addawedig. Dyna yr hen gyfamod. Gelwir ef yn hen gyfamod, am ei fod i derfynu yn nyfodiad y Messiah. Y cyfamod newydd yw y testament newydd, neu yr oruchwyliaeth newydd, sef cyfamod gras. Hwn yw y cyfamod a wnaeth Duw â ni, sef y buasai pawb a gredent ac a ufuddhâent iddo yn gadwedig, yn Iuddew a Groegwr, caeth a rhydd, yn ddiwahaniaeth. Felly, hwn yw y cyfamod a seliwyd â gwaed Iesu Grist. Dyma sêl sydd ar yr ewyllys, neu sicrwydd y cyfamod. Felly sylwn yn mhellach ar y geiriau canlynol: "Y cwpan hwn yw y testament newydd yn fy ngwaed." Felly y sêl hon sydd yn sicrhau i ni yr hyn sydd yn gynwysedig yn yr ewyllys neu y cyfamod, sef bywyd tragywyddol, ond i ni gadw at yr amodau trwy gredu ynddo ac ufuddhau i'w holl orchymynion. Haeddiant y gwaed hwn sydd yn rhoddi i ni hawl am fywyd tragywyddol. Felly ni wnawn ond nodi yn fyr ragoroldeb y cyfamod hwn ar yr hen, sef y cyfamod gwell. Yn y lle cyntaf, gallem sylwi ei fod yn well; am ei fod yn gyrhaeddadwy i bawb ac nid i hâd Abraham yn unig. Yn ail, mae y telerau yn rhwydd ac yn esmwyth, "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist a chadwedig fyddi." Ni allasai yr hen gyfamod achub neb; oblegid ni pherffeithiodd y gyfraith ddim, namyn dwyn gobaith gwell i mewn, a berffeithiodd, trwy yr hwn yr ydym yn nesau at Dduw. Yn drydydd, yr oedd yr hen gyfamod yn ysgrifenedig ar lechau, ond y cyfamod newydd yn ysgrifenedig ar lech y galon. Yr oedd yr hen gyfamod yn derfynol, ond y cyfamod newydd yn dragywyddol. Yr oedd yr hen gyfamod yn gofyn aberthau yn flynyddol, "eithr hwn

wedi offrymu un aberth dros bechodau, yn dragywydd a eisteddodd ar ddeheulaw Duw."

Felly terfynwn ar hyn, gan obeithio y rhydd y nodiadau hyn ychydig o foddhad i'r Hen Wr, neu fod yn foddion i ysgwyd rhai o'ch gohebwyr talentog i draethu yn helaethach ar y pwnc. Ydwyf, yr eiddoch yn frawdol, —*Bedyddiwr o Frostburg.*

# Barddoniaeth.

### GWAWR Y BOREU.

Wedi y nos amdoi y nen—caddug
Huddo y ffurfafen;
Bydd dysgwyl mawr am y Wawr wen,
I roi lliw boreu llawen.

Yn dod mae morwyn y dydd—o'r Dwyrain,
Bro der y boreu-ddydd;
O'i blaen, o'i phyrth ysblenydd,
Y nos hir yn cefnu sydd.

Yn ol mae Sadwrn, yn awr—o'r golwg,
Ar gilio'n iselwawr;
Pruddha, clafeiddia Iau fawr—
A'i lleuadau yn llwydwawr.

Y Wawr hudol yn wasgaredig
Ar y banau, sy'n hardd arbenig;
Bryniau o dwymp, trumau breiniedig—
Hwynt oll ydynt yn fantelledig;
A'u dilladau lliwedig—y borau,
Oirhaiadau* yn oreuredig.

*Pittston, Pa.* CEFNI.

* Radiations.

### HAF-DDYDD HEULOG.

Daw yr haulwen! cyfyd i reoli,
Yn ei amherodraeth, mewn mawrhydri,
A'i orwych wyneb geir yn gwreichioni
Pelydrau arian yn lan oleuni:
Breinwawr dyrau'r wybreni—ddysgleiriant,
Eu dorau lathrant, a daear lethri.

Gwawr y nen yn gorenynu—a geir,
A'i holl gant yn gwenu;
Bydoedd yn eu cylchoedd cu,
Niferi'n ymddifyru.

Yn anwyl eu llewyrchion unant
Ar y llen fawr, eu lluniau fwriant
I'w gilydd y dydd, ac ymdoddant
Yn un olygfa hardda'—urddant
Y nef, a'i holl wyneb wnant—fel gwydr can
Oll mor eirian a lliw mor ariant!

Gwrid araul yr haul a rydd—ar ei lwybr
Ddengar liw ysblenydd;
Pebyll, ystefyll y dydd—oreura,
A'i law a baentia'r awyrol bwyntydd.

Ymylau myrdd o gymyl man—welir
Yn yr haul yn hofian;
A'u dull yn gosod allan
Y nef glaer, fel cneifiau gwlan!

Yna daw ysgafn awel—i'w chwalu,
A chiliant i'r gorwel:
Yna'n hardd y nen a wel
Ei llon urdd, i'w llawn arddel.

Pelydr esgud yr haul machludol,
A'u tesog wawn yn byst disgynol;
Ar y lluniaidd fryn gorllewinol,
A'u hadlewych yn symud liwiol,
Arwain i'w balas hwyrol—eu Teyrn wnant;
Ar hyn unant yn weis brenhinol.

O dlysineb! ardalau swynwawl
Hedd a nwyfiant y bydoedd nefawl,
A linellwyd yn gyflawn hollawl,
Ac a liwiwyd ag elf goleuwawl;
Prydferth demlau parodfawl—y Duw mawr,
Y syw orawr a wnant mor siriawl!

*Pittston, Pa.* CEFNI.

### MYFYR ALUN.

'Rwyf wedi teimlo awydd,
Gael einioes faith cyn hyn,
A rhodio tan y gwinwydd,
Ar lethrau teg rhyw fryn;
Lle cawswn gasglu ffrwythau
Toreithiog blant y tês,*
A dianc o'm gofidiau,
Mewn cysgod rhag y gwres.

Amcenais yn y borau,
I fyn'd i ymdaith fawr,
A chroesi y dyfnderau,
I wledydd teg eu gwawr;
Lle buasai'r dagrau 'n emau,
A'r aur yn dywod mân,
A gwisgoedd gwyn o flodau,
A'r awel fyw yn gân.

Meddyliais am gael palas,
Yn gartref i fy mun,
Os cawswn un yn addas,
I fyw â mi'n gytun;
Y fun brydweddol gefais,
Yn wraig fy mynwes daeth,
Ac yn ei gwên y treuliais,
Flynyddoedd einioes faith.

Un o'm hamcanion ydoedd,
Gwneyd castell o fy nhy,
A digaregu'r cymoedd,
'Gael muriau uchel cry'
I gadw draw angenion,
Lu creulon mawr y byd,

A byw ar olud calon,
  Yr elw mwyaf drud.

Trwy haenau craig dideimlad
  Y cloddiais ffynon ferth,
A chefais ffrwd fyrlymiad.
  Ad-dalodd im' fy nerth;
Mae ffynon glaer yn rhedeg,
  Er y tan gloddio sydd,
Ymlwybra drwy ei gwaneg,
  I lawn oleuni dydd.

Mae'r afal hadau blenais,
  Yn awr yn goedydd hardd,
A'r blodau gwyn dderbyniais,
  Yn gwneyd fy nheulu'n ardd;
Mae amser wedi lliwio
  Fy mhen, ac eiddo'm bun,
Yn ddarlun o'r mewn buro,
  Hyfrydwaith Duw ei hun.

Mae'r bywyd oedd i ddyfod
  Yn afon, yn y môr,
A'r gwinwydd wedi darfod
  A'u holl gynydiol stôr;
Mae'r gemau wedi pallu,
  Parth eu dysgleirdeb hwy,
A minau wedi'm dallu,
  Gan ryw ddysgleirdeb mwy.

Mae'r blodau wedi gwywo,
  A'r aur ar ffo bob darn,
A minau dan benlinio,
  Yn llithro tua'r farn;
Mae'r byd a'i holl deganau,
  Yn llai na dim i mi,
Yn ymyl Duw yn maddeu,
  Yn Aberth Calfari.

Ac yn fy nagrau gwelaf
  Gynyrchion ffynon Duw,
Ac yn fy nghwynfan clywaf,
  Acenion, "Ti gei fyw;"
Mae bywyd ar dy gyfer,
  Mae golud i ti'n rhad,
Cei'th godi o'r gor-ddyfnder,
  Trwy rymus fraich dy Dad.

*Upper Lehigh.* ALWYN TREFOR.

---

PWY IDDO 'I HUN SY'N BYW?

"*Nid oes yr un o honom yn byw iddo ei hun.*"—PAUL.

Pwy iddo 'i hun sy'n byw?
  Nid y blodeuyn hardd,
A berarogla dref a gwlad,
  Ar erchwyn gwely'r ardd:—
Na'r gwlithyn perlog cain
  Gorona'r glaswellt îr;
Na'r cwmwl du ddyhidla wlaw
  I fwydo'r anial dir.

Pwy iddo 'i hun sy'n byw?
  Mae'r nant a'r afon fawr,
Yr awyr iach, y gwynt a'r môr,
  Yn weision daear lawr;—
Goleuni'r haul a'i wres,
  A lawenhânt y byd—
Holl lu y nef, a'r lleuad dlos,
  Bendithlawn y'nt i gyd.

Pwy iddo 'i hun sy'n byw?
  Nid dyn o dan y groes,
Sy'n ufuddhau i eirchion Iôr,
  O gariad drwy ei oes:—
Ond dyn na pharcha ddyn,
  Nid ofna'r Arglwydd Dduw—
Heb deimlad at ei frawd mewn ing,
  SY' IDDO 'I HUN YN BYW.

*Nanticoke.* IEUAN DDU.

---

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM AWST. (Matt. ii. 11—15).

*Athraw.*—Pa dŷ sydd i'w olygu yma Owen?

*Owen.*—Y tŷ uwchben yr hwn y safai y seren. Yr oedd Bethlehem wedi ei gwaghau o drigolion erbyn hyn, ac mor fuan ag y cawsant ddrws agored, aeth Joseph a Mair, a'r mab bychan o lety'r anifail.

*Gwilym.*—Y mae yn ymddangos fod gan y doethion hyn barch neillduol i'r mab bychan. Cerddasant ffordd bell, syrthiasant i lawr i'w addoli ef, ac a'i hanrhegasant â thrysorau gwerthfawr. Yr oedd gwneyd un o'r tri pheth hyn yn llawer.

*Abram Llwyd.*—'Ro'n nhw yn meddwl fod digon gidag e,' a thyna'u rheswm nhw dros roi peth iddo. Byse fe yn rhyw hen *boor dab,* chelse fe fowr gan neb, ond fe fyse yn rhaid iddo fystylad, a shiffto drosto'i hunan. 'Rw i'n falch i bod nw wedi gwneid fel hyn â Iesu Grist, ond yr hyn sy' yn hala natur i godi yw, gwel'd dynion yn talu cymaint o sylw i riw hen fawach o ddynion, yn unig am fod eu poceti nhw dipyn yn llawn, pan fydd eu pene nw mor wâg a phledreni gwynt.

*Athraw.*—Wel, bydded i ni dreio bod yn efelychwyr y doethion hyn, sef talu parch i'r hwn y mae parch yn ddyledus. Y mae yn berygl i dalu

llawer o sylw i rai, ond fydd e'n berygl yn y byd i wneyd hyn i Iesu Grist, ond yn hytrach try yn elw tragywyddol i bob un a'i gwna. Awn yn mlaen at yr adnod nesaf. Dafydd, beth wyt ti yn wel'd yn yr adnod hon?

*Dafydd.*—Duw yn gofalu am ei eiddo ei hun ac yn siomi ei elynion. Hawdd y gall orchfygu ein cynlluniau drygionus ni, gan ei fod yn gallu gwneyd felly ag amcanion pechadurus breninoedd, megys Herod ac eraill. Ac os yw yn rhaid i ddoethion wrth ei gyfarwyddyd, y mae yn sicr ei fod yn rhaid i ni.

*Athraw.*—Paham y cyfarwyddodd yr angel Joseph i fyned i'r Aipht yn fwy na rhyw le arall, Ifan Meredydd?

*Ifan Meredydd.*—'Rw i wedi arfer meddwl am yr Aipht fel rhyw le anial iawn; lle na fyse neb yn meddwl am fyn'd i fyw yno o Ganaan; fyse Herod ddim yn meddwl i bod nw wedi myned i le felly. Ac fe fyse gormod o ofon y creduried gwyllton arno i fyn'd i ddisgwyl am danynt pe byse fe'n gw'bod i bod nw 'no; hen goward odd e.'

*Morgan.*—Gorchymynwyd iddynt i fyned i'r Aipht am y byddent wed'yn tu hwnt i derfynau llywodraethol Herod. Yr oedd yr Aipht tua thriugain milldir i'r de-orllewin o Judea. Er fod yr Aipht y pryd hwn yn diriogaeth Rufeinig, eto, nid oedd gan Herod un awdurdod yno. Hefyd, yno y trigai llawer o Iuddewon, gan y rhai yr oedd temlau a synagogau lawer wedi eu hadeiladu, yr hyn a fuasai yn gwneyd lle Joseph a Mair yn lled gyffyrddus tra y byddent yno, a chawsant fod yr aur a dderbyniodd y mab bychan yn ddefnyddiol iawn iddynt yn y cyfwng hwn.

*Athraw.*—Owen, beth yw dy reswm di iddynt fyned wedi'r nos?

*Owen.*—Mae yn debyg mai pan yr oeddynt yn gorwedd yn mreichiau cwsg, yr ymddangosodd yr angel i Joseph, ac y maent hwythau yr awr hono o'r nos yn cychwyn ar unwaith. Dichon i Joseph feddwl y buasai y nos yn ffafriol iawn iddynt ffoi o Bethlehem, gan fod yr angel wedi ei hysbysu fod hyd yn nod Herod y brenin am ddwyn bywyd y mab bychan. Yr oedd Joseph wedi gwylltu tipyn erbyn hyn, oblegid nid oedd wedi drwgdybio neb cyn hyn; felly diau iddo gael ei frawychu gan y fath newydd.

*Athraw.*—Pa cyhyd ar ol hyn y bu Herod fyw?

*Gwilym.*—Nid yw yn debygol iddo fyw yn hir. Barna rhai iddo fyw ryw ddwy neu dair blynedd.

*Athraw.*—Er gwaethaf pawb, y mae prophwydoliaeth llyfr Duw yn cael ei chyflawni, "O'r Aipht y gelwais fy mab." Gochelwn byth daro yn erbyn amcanion Duw; efe sydd ben, ac efe a fyn fod yn ben.

---

## HANESION CARTREFOL.

### CORFFOLIAD EGLWYS AC ORDEINIAD.

Ar brydnawn Sadwrn, 28ain, a dydd Sabboth, y 29ain o Orphenaf, 1877, cadwyd cyfarfodydd yn Addoldy y Bedyddwyr yn St. Clair, i gorffoli eglwys, ac ordeinio Mr. T. Morgans, diweddar fyfyriwr o Lewisburg, yn weinidog arni yn nghyd â Pottsville. Prydnawn y dydd cyntaf, dechreuwyd yr addoliad trwy ddarllen a gweddio gan y Parch. Thomas, Mahanoy, a phregethodd y Parchedigion Thomas, Ashton, a Jones, Minersville.

Boreu dranoeth am ddeg o'r gloch, dechreuwyd yr addoliad trwy ddarllen a gweddio gan T. Lewis, myfyriwr yn Athrofa Lewisburg; ac yna aethpwyd i gorffoli yr eglwys. Mae achos y Bedyddwyr wedi dechreu yn St. Clair, er tua 30 mlynedd, a ddoe oedd y diwrnod y corffolwyd hi. Gofynwyd rhai holiadau gan Jones, Minersville, ac atebwyd ar ran yr eglwys, gan T. B. Lewis. Wedi hyn o beth fyned trosodd, pregethodd Thomas, Mahanoy, a Jones, Minersville.

Am ddau o'r gloch, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan Edwards, Pottsville. Eglurodd Jones, Minersville, y swydd i'r gweinidog ieuanc, a gosododd y gofyniadau arferol i Morgans, y rhai a atebwyd yn deimladwy iawn, a chawd cyffes ei ffydd yn dra

boddhaol, oddigerth pan y rhoddodd ei farn ar fedydd a chymundeb, sef y ddwy ordinhad; nid oedd y taenellwyr yr un farn ag ef. Offrymwyd yr urdd-weddi gan y Parch. Myers, gweinidog y Bedyddwyr Seisnig, Pottsville, gyda gosodiad dwylaw y gweinidogion gwyddfodol; yna pregethodd Thomas, Ashton, ar "Ddyledswydd y gweinidog ieuanc," a barn gyffredinol y gynulleidfa mai pregeth gampus ar yr achlysur oedd. Meddyliau cryf a newydd drwyddi. Yna traddododd y Parch. Thomas, Mahanoy, bregeth i'r eglwys. Dechreuwyd y cyfarfod chwech drwy ddarllen a gweddio gan T. Lewis, a phregethodd y Parch. Thomas, Mahanoy, yn Gymraeg, a'r Parch. Thomas, Ashton, yn Seisnig.

Yn awr, dyna'r briodas wedi ei gwneyd yn ngwydd llawer o dystion. Gobeithio bydd i heddwch a chariad ffynu rhwng y ddwy eglwys a'u gweinidog. Os bydd i'r eglwysi yma ddarllen a myfyrio pregeth y pregethwr, y bardd, y doniol, a'r athrylithgar Morddal Evans, yr hon a welir yn rhifynau y WAWR, sicr y bydd. Gallwn ddyweyd hyn am T. Morgans, ar ei waith yn dyfod i'n plith, fod ganddo drysor gwell na thrysor o arian; hyny yw, cymeriad da. Mae yn fachgen amddifad o dad er's llawer o flynyddau, ac wedi gweithio ei ffordd drwy lawer o anhawsderau i'r safle mae heddyw. Boed i'r nefoedd fendithio ei anwyl fam, yn hon fu yn dwr cadarn i'w amddiffyn tra yn Lewisburg, ac iddi hithau gofio mai mab yn Israel ydyw, ac mai rhodd i'r Arglwydd oedd.

O boed it' Thomas, fod yn fwyn,
Wrth borthi'r defaid, dysgu'r wyn,
O dan dywysiad Bugail hedd,
Boed i ti fod yn wych dy wedd.

Yn gwir fugeilio'r praidd y dydd,
A'u cadw'r nos rhag drygau sydd;
Gwna yru'r llew a'r blaidd i ffwrdd,
Pan fyddo'r defaid gwan yn cwrdd.

Na wna eu harwain ddydd na nos,
I diroedd pell oddiwrth y gro's;
Gwna'u cadw rhag y niwl a'r tarth,
A'r cymydd du, lle tyfa gwaith.

Coledda'r hen famogiaid mwyn,
A chofia, clyw, fynwesu'r wyn,
Fel gallot roi ryw ddydd a ddaw,
Dy gyfrif mewn heb ofni braw.

O boed it' fod fel pibell iawn,
O Ysbryd Crist, ei nerth, a'i ddawn;
Er porthi'r praidd tra is y nen,
A deall da, mewn llwydd. Amen.

*St. Clair, Pa.* T. D. GRIFFITHS.

---

*Stees' Coal Bank.*—Dichon nad anfuddiol fyddai genych gael gair byr o'r lle hwn. Y mae y lle hwn yn agos i Akron, ac o fewn i bedair milldir i Thomastown. Y mae llawer o Gymry yn y lle, ond yn eithaf anystyriol. Ar y 6ed o fis Mai diweddaf, cynaliwyd cyfarfod i'r dyben o ddechreu Ysgol Sabbothol. Daeth nifer o frodyr o Thomastown i'r cyfarfod; pryd yr etholwyd Mr. James Morgans, Thomastown yn Llywydd, ac Edward Richards yn Ysgrifenydd y cyfarfod. Agorwyd y cyfarfod yn ddeheuig iawn gan y llywydd; yna aethpwyd at y gwaith o ethol swyddogion. Dewiswyd y brawd Wm. J. Morris yn Arolydd, Jonah L. Davies yn Ysgrifenydd, Mr. William Warner yn Drysorydd, a John A. Davies yn Llyfr-ofalydd; ac yna cafwyd areithiau byrion tanbaid gan y brodyr Morgans, Davies, Richards, Darbyshire, a'r Parch. J. T. Jones. Da genyf allu dyweyd fod ein hysgol yn myned yn y blaen yn gampus, ac yn rhifo 70, er nad ydym ond rhyw dri neu bedwar yma i fyned a'r gwaith yn y blaen. Daeth y Parch. John J. Morris, Nanticoke, Pa., heibio yma, a chawsom ddwy bregeth gampus ganddo, a daeth llawer i'w wrando. Byddai yn dda genym weled ein pregethwyr yn galw heibio i ni; caent ddigon o ymborth a lle i gysgu. Yr eiddoch dros yr ysgol, —*Wm. J. Morris,* Arolygwr.

"*Fy Mhererindodau yn Nghymru.*"—Dyna y penawd o dan ba un mae y Parch. D. T. Phillips, Parsons, Pa., yn ysgrifenu yn bresenol i'r *Religious Herald,* Richmond, Va. Yn yr ysgrif ger ein bron, mae Mr. Phillips yn cyfeirio gyda dyddordeb at hen eglwys barchus Rhydwilym, o ba un y daeth Dr. D. W. Phillips, Nashville, Tenn., yn gystal a llawer o enwogion eraill

drosodd i America. Dechreuwyd yr achos yn Rhydwilym yn nghanol erlidigaethau yn 1600. Maent newydd gael capel newydd hardd.

—Yn niwedd Awst bu y brawd hoff Cadwalader Richards, New York, a'i briod, ar ymweliad ag Utica a chylchoedd Remsen. Mae y frawdoliaeth yn Broadway, Utica, yn teimlo yn siriol bob amser pan y bo y brawd Richards yn talu ymweliad â hwy. Felly y tro hwn. Nos Fawrth, Awst 21, yn y gyfeillach, cawsom anerchiad selog a brwdfrydig ganddo. Mae y ddau yn edrych cystal ag erioed. Brysient y ffordd yma eto. Adgofiem yn hiraethlawn ein dyfodiad i'r wlad, wrth eu gweled.

## *BEDYDDIADAU.*

*Thomastown, Ohio.*—Y Sabboth, Gorph. 7fed, 1877, bedyddiwyd dwy chwaer ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan ein parchus weinidog, J. T. Jones. Aeth drwy y gwaith yn rhagorol. Y mae yn hynod o lafurus a gweithgar yn ein plith, a Duw yn llwyddo ei ymdrechion yn fawr. Y mae undeb a heddwch yn ffynu yn ein plith.—*E. R.*

*Yn Wiconisco, Pa., Gorph. 29ain,* bedyddiwyd dwy chwaer ar broffes o'u ffydd, gan y Parch. B. E. Jones. Yr oedd un wedi bod gyda'r Methodistiaid Calfinaidd, a'r llall gyda'r Annibynwyr. Ymddygodd y gwyddfodolion yn barchus a boneddigaidd tra yr aed trwy y gwasanaeth.—*Llygad-dyst.*

*Pittston, Pa.*—Da genym hysbysu trwy gyfrwng y WAWR, fod yr achos goreu yn myned rhag ei flaen yn y lle hwn, trwy fod Seion yn esgor ar ei meibion a'i merched, a'r deyrnas nad yw o'r byd hwn yn cynyddu yn ei deiliaid. Prydnawn Sabboth, Gorph. 22ain, 1877, ymgasglodd tyrfa luosog i'r capel erbyn dau o'r gloch; ac wedi darllen rhan o Air Duw a gweddio gan y brawd Isaac E. Davies, yna wedi ymffurfio yn orymdaith hardd, symudasant trwy y dref yn araf a rheolaidd i lan orllewinol yr afon. Yr oedd yr olygfa yn brydferth a dymunol iawn, ac yr oedd canoedd lawer o bobl yn hulio glenydd yr afon, ac yn dystion o'r gweinyddiad; ac yn wir, Mr. Gol., nid rhyfedd gweled cynifer o edrychwyr yn dyfod i weled yr ordinhad o fedydd, o herwydd fod ynddi y fath arddangosiad o'r edifeiriol yn cyfodi y groes ac yn dilyn y Gwaredwr i'r dyfrllyd fedd, yn hytrach nag ychydig o ddyferion ar dalcen baban. Wedi cael anerchiad galluog ac effeithiol gan ein parchus weinidog Mr. Parry ar y Bedydd Cristionogol, gwelid arwyddion teimlad dwys yn ngwynebpryd y gwrandawyr. Yr oedd y tywydd yn ddymunol, a'r dwfr fel y grisial. Gwisgai y merched ieuainc ddillad gwynion, ac ymddagosent yn brydferth a hardd dros ben. Bedyddiwyd chwe' chwaer ar broffes dda o'u ffydd yn Mab Duw, a gallaf ddyweyd i Mr. Parry weinyddu yn ogoneddus. Yr oedd y côr yn canu tra y gweinyddid. Yn yr hwyr yr oedd y capel yn orlawn, ac ar ol y bregeth alluog ac effeithiol iawn, gweinyddwyd yr ordinhad o Swper yr Arglwydd, a derbyniwyd y bedyddiedigion i gymundeb yr eglwys, mewn symledd a llawenydd calon; a'n gweddi yw, ar i'r Arglwydd barhau i fendithio llafur ein hanwyl frawd. Hefyd, mae genym Ysgol Sabbothol lewyrchus iawn, ac mae parotoi mawr ar gyfer y cyfarfod adroddiadol sydd i gymeryd lle diwedd y mis hwn (Awst).—*Jacob W. Evans.*

*St. Clair, Pa.*—Mae yr achos goreu yn llwyddo yma. Sabboth, Awst 19eg, cawsom y fraint o weled dwy chwaer, hen wrandawyr, yn ufuddhau i'r ordinhad o fedydd. Gweinyddwyd gan y Parch. T. P. Morgan, gweinidog y lle, yn dra deheuig, er ei fod yn ieuanc, ac er mai hwn oedd y tro cyntaf iddo weinyddu yr ordinhad; ni weinyddwyd yn fwy medrus erioed gan Ioan Fedyddiwr. Ar yr achlysur, cawsom bregeth ardderchog oddiar Actau ii. 41, gan y brawd hyfrydlawn a doniol, Richards, Church Hill, O. Cofir ei sylwadau am amser maith. Os caniata yr Arglwydd adferiad iechyd i'r brawd hwn, daw yn wr mawr yn Israel.—*T. D. Griffiths.*

*Swydd Clay, Iowa.*—Boreu Sabboth, Awst 5ed, cafodd yr Eglwys Fedyddiedig yn y lle uchod y fraint unwaith eto o weled dau o'r newydd yn dilyn y Blaenor Mawr, yn hen afon y *Little Sioux*, i'w "cyd-gladdu gydag ef." Wedi i'n parchus weinidog, J. W. Jones, ddywedyd ychydig yn effeithiol ar ddull a deiliaid bedydd, yna hwy a aethant i waered i'r dwfr, ac efe a'u bedyddiodd hwynt. Wrth eu gweled yn dyfod i fyny, nis gallwn lai nag edrych yn mlaen at foreu y codi bendigedig ar wedd y Brawd henaf, i fod gydag Ef mwy. Hyderir nad yw hyn ond blaenffrwyth o gynhauaf mawr.—*Thomas Evans.*

## GANWYD—

Yn Frostburg, Md., Mai 26ain, 1877, mab i William P. Thomas a'i briod. Gelwir ei enw ef Richard.

Yn Minersville, Pa.. Gorph. 1af, 1877, mab i Dafydd a Nelly Jenkins. Gelwir ei enw ef Aubrey Jenkins.

Hawddamor i ti, Aubrey bach,
Yn iach y byddot beunydd;
A ffawd yn helaeth fo i'th ran,
A'r nef yn rhan dragywydd.

## BU FARW—

### JOHN LEWIS.

Gorphenaf 24ain, 1877, yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., o'r *dysentery*, Diacon John Lewis, yn 77 mlwydd oed. Yn absenoldeb y gweinidog, gweinyddwyd yn yr angladd gan y Parchn. James Griffiths, B. D. Davies ac A. S. Kneeland. Dysgwyliwn gofiant iddo yn fuan.

### MOSES NATHANIEL HARRIES.

Awst 16eg, 1877, yn Johnstown, Pa., plentyn Moses ac Elizabeth Harries, yn bum' mis a 12 diwrnod oed. Ei enw oedd Moses Nathaniel Harries. Claddwyd ef yn Sandy Vale Cemetery. Gweinyddwyd yn y ty ac wrth y bedd gan y Parch. E. W. Jones a'r ysgrifenydd. Bydded i'r Arglwydd gysuro y rhieni yn yr amgylchiad, a'u parotoi i gyfarfod a'u hanwyliaid bychain mewn gwlad well.

D. J. Evans.

### MRS. SARAH GIDDINS.

Mehefin 10fed, 1877, yn Paris, Ohio, yn 73 mlwydd oed, yr hen chwaer anwyl, a'r Cristion didwyll, Sarah Giddins, anwyl briod yr hynaws a charuaidd Thomas Giddins, Diacon y Bedyddwyr yn y lle uchod. Ganwyd hi ger Twyn Gwyn, yn mhlwyf Mynyddislwyn, swydd Fynwy, D. C. Ei chyfenw cyn priodi ydoedd Edmunds. Bedyddiwyd hi pan yr oedd oddeutu 15eg mlwydd oed, a chafodd ei derbyn i gyflawn aelodaeth yn Eglwys Beulah. A hyn sydd fendigedig, gallasai ddywedyd ar adeg ei hymddatodiad, "Rhedais yr yrfa, cedwais y ffydd," &c. Y "mae iddi air da gan bawb, a chan y gwirionedd ei hun." Dywedodd amryw weithiau cyn ei marw, "Y mae arnaf chwant i ymddatod a bod gyda Christ, canys llawer iawn gwell ydyw."

Bu yn aelod ffyddlon a gweithgar trwy ei holl fywyd. Bu fyw yn Gristion, a bu farw o farwolaeth yr uniawn. Ymadawodd a'r fuchedd hon a'i phwys ar ei hanwylyd, tra y gorweddai mewn poenau ar ei gwely ychydig cyn iddi ehedeg ymaith. Yr oedd hi yn meddu ar ddigon o wroldeb ysbrydol i alw ar yr ysgrifenydd i ymyl ei gwely, a dywedyd wrtho, "Pregethwch bregeth angladdol i mi oddiar y geiriau a geir yn Caniad Solomon ii 3., "Bu dda genyf eistedd dan ei gysgod ef, a'i ffrwyth oedd felus i'm genau." Y mae enw yr ymadawedig yn barchus gan bawb a'i hadwaenai. Yr oedd drws ei thy bob amser yn agored i ymwelwyr, yn neillduol i bregethwyr; a'r croesaw a'r caredigrwydd mwyaf yn cael ei roddi i bawb o deulu'r ffydd.

Yr oedd yn neillduol gyfarwydd a hyddysg yn Nghair Duw; y hi mewn gwirionedd oedd hyfforddydd a chynghorydd ei phriod. Ei hoff waith ydoedd myfyrio yn nghyfraith ei Harglwydd ddydd a nos.

Dyoddefodd gystudd blin am hir amser, ond yn holl ddirwgnach. Ei bywyd a nodweddwyd a diniweidrwydd, hynawsedd, dyoddefgarwch, a charedigrwydd—yn hawdd ei thrin ac yn famaeth dyner yn Israel. Ar ei hymadawiad, collodd pobl Paris gymydoges dawel; collodd yr eglwys un o'i ffyddloniaid; a chollodd ei phriod galarus ymgeledd gymwys, sef gwraig ffyddlon a chariadus. Bu yn golofn gadarn dan achos y Gwaredwr am flynyddau meithion yn y lle uchod. Nid yn unig canlyn y Ceidwad a wnai pan y byddai y torthau i'w cael, ac nid mewn hwyl yn unig yr oedd pan y byddai yn HAF LLWYDDIANT ar grefydd; ond yr oedd hi yn sefydlog, yn dyfal-barhau i wneyd daioni. Yr oedd yn un o'r cyfryw y sonia y Beibl am danynt, ei bod "yn aros yn y ty y nos." Ac fe'n dysgir mae "Gwyn fyd preswylwyr y ty." Nid rhyw *lodger* yn eglwys Dduw ydoedd y chwaer yma. Ond erbyn heddyw, y mae wedi rhoddi ffarwel bythol i'r ddaear a'i holl bethau, a'i lle yn Paris "nid edwyn mo honi mwy." Gadawodd briod a llu mawr o berthynasau a chyfeillion i alaru ar ei hol. Boed heddwch i'w llwch, a bydded iddi gael rhan yn adgyfodiad y cyfiawnion. A bydded Duw pob gras yn ymgeledd ac yn amddiffyn i'r hen frawd galarus yn awr y brofedigaeth hon.

Ar y 12fed o Fehefin, ymgasglodd torf luosog yn nghyd i dalu'r deyrnged ddiweddaf o

barch i'r ymadawedig. Daearwyd hi yn mynwent y Capel Ceryg, rhwng Paris a Palmyra. Darllenwyd a gweddiwyd ar yr achlysur gan y Parch. Dewi Emlyn Davies, a phregethodd yr ysgrifenydd. IAGO W. JAMES.

DAVID R. THOMAS.

Gorph. 6ed, 1877, yn Danville, Pa., y brawd ffyddlon a duwiol, David R. Thomas, yn 72 mlwydd oed. Bu yn aelod ffyddlon a diwyd gyda'r Bedyddwyr am 48 o flynyddau. Daeth i'r wlad hon yn y flwyddyn 1830. Yr oedd yn ddiacon yn eglwys y Bedyddwyr yn Danville, a chyflawnodd ei swydd yn anrhydeddus hyd y diwedd. Yr oedd ein hanwyl frawd yn feddianol ar gymwysder i lanw'r swydd ddeaconaidd; yr oedd yn ddarllenwr mawr o'r Beibl, ac yn fyfyriwr mawr hefyd. Yr oedd yn athraw ffyddlon hefyd yn yr Ysgol Sabbothol; yr oedd nerth ei feddwl yn dyfod i'r golwg yn yr Ysgol wrth agoryd yr Ysgrythyrau i'w ddosbarth; yr oedd yn nodedig yn ei allu i gyfranu goleuni ar y gwirionedd. Fel crefyddwr, yr oedd ei fywyd diargyhoedd megys lamp yn goleuo o'i amgylch. Yr oedd yn ffyddlon gyda phob rhan o'r gwaith da. Nid oedd byth yn esgeuluso y moddion. Yr oedd o dymher addfwyn a phwyllog, bob amser yn tueddu at faddeugarwch. Gellir dyweyd ei fod yn Gristion trwyadl yn ngwir ystyr y gair. Fel cyngorwr hefyd yr oedd yn fawr; byddai nerth a dylanwad yn cydfyned a'i gyngorion a'i brofiadau. Yn ei ymddyddanion ceid ef yn gariadlawn; yr oedd gair da iddo gan bawb a chan y gwirionedd ei hun. Meddai ar galon i garu pawb. Bu farw mewn ffydd gadarn, a'i obaith yn sylfaenedig ar graig yr oesoedd, Gorph. 10. Hebryngwyd ei weddillion marwol i fynwent y Groves. Gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. J. P. Davies, a'r Parch. Mr. Beeber, gweinidog y Presbyteriaid Seisnig. Gadawodd weddw a chwech o blant i alaru ar ei ol. Y mae yr eglwys hefyd yn galaru ei cholled ar ei ol, ond nid heb obaith ei fod heddyw yn canu'r gân na welir diwedd arni mwy, ac yn berl dysglaer yn nghoron gyfryngol yr Emanuel.
JOHN E. WILLIAMS.

CATHERINE ANNE GRIFFITHS.

Y Sul, Gorph. 15ed, 1877, yn Utica, N. Y., o'r *Gastric Fever*, Catherine Anne Griffiths, merch T. a M. J. Griffiths, yn 4 blwydd a 28 o ddyddiau oed. Ganwyd hi yn Nghwm y Rhondda, D. C. Daeth gyda'i mam i'r wlad hon Hydref, 1875. Gwael iawn bu ei hiechyd hyd ei marwolaeth. Dydd Mawrth canlynol, hebryngwyd ei gweddillion i gladdfa Forest Hill. Gweinyddwyd yn doddedig yn y ty cyn cychwyn gan y Parch. J. Edred Jones. Yr oedd yn bresenol luaws o gymydogion a chyfeillion yn cydymdeimlo a'i rhieni galarus.

Catherine Anne aeth i fan i fod—na wel
Un salwch na thrallod;
Yno seinia'n dlws hynod,
I'r Iesu glan, ei glan glod.

CARRIE AC IDA EDMONDS.

Mae llawer o gladdu yn y lle hwn y dyddiau hyn, plant gan amlaf yn marw o'r dolur poenus a elwir *Diptheria.*

Ar y 26ain o Gorph., 1877, yn Nanticoke, bu farw Carrie, merch Isaac Edmonds, a Margaret ei briod (diweddar o Johnstown, Pa.), yn 5 mlwydd ac 1 mis oed; ac ar y 30ain o'r un mis, bu farw genethig arall i'r un teulu o'r enw Ida, yn 3 mlwydd a 4 mis oed. Y brodyr Isaac Williams a J. P. Harris yn gweinyddu yn yr angladdau. Fel hyn y cymerwyd y ddwy anwyl o fynwes y teulu mewn byr amser. Yr Hwn a ddywedodd, "Plant ydynt etifeddiaeth yr Arglwydd," fo yn eu cysuro yn nydd y brofedigaeth. CYDYMDEIMLYDD.

## HANESION CYMRU.

*Cymanfa Bedyddwyr Cymreig Morganwg.*—Cynaliwyd y Gymanfa hon eleni yn Llwynpia, Dyffryn Rhondda, ar yr 20fed a'r 21ain o Fehefin. Yn y Cynadleddau, pasiwyd 22 o benderfyniadau, yn dwyn cysylltiad yn benaf a'r enwad yn y Sir. Yr oedd y Gymanfa hon yn un o'r rhai, os nid y mwyaf, llewyrchus a gafwyd yn nghof neb yn Morganwg. Y tywydd yn ffafriol—oddieithr y gwlaw ar y noswaith olaf, yn rhwystr i'r gynulleidfa fod gyda eu gilydd ar y cae—y cynadleddau yn cael eu cario yn mlaen yn rheolaidd a chariadus; a llawer o waith buddiol yn cael ei wneyd ynddynt; y pregethau yn anarferol o ddylanwadol, o'r dechreu i'r diwedd; a'r cynulleidfaoedd yn fawr iawn. Bernir fod yno, o leiaf, o wyth i ddeng mil yn nghyfarfod deg o'r gloch y boreu, a thua dwy fil yn rhagor yn y prydnawn. Yr oedd darpariadau yr eglwys, a'i gweinidog parchus, yn bob peth a allesid ddysgwyl, ond fod y lle dipyn yn rhy gyfyng i gynwys yr holl weinidogion a'r cenadon i giniawa ar yr un pryd, er ei fod yn lle ëang, sef yr ysgoldy, yr hwn y cafwyd ei fenthyg gan gwmpeini gwaith Llwynpia.—*B. Evans*, Ysg.

*Cymanfa Mon.*—Cynaliwyd hon eleni yn Llanerchymedd, dydd Iau a Gwener, Gorph. 19eg a'r 20fed. Llywydd, y Parch. G. James, Llangefni. Yn mhlith amryw bethau yr ymdriniwyd â hwynt, pasiwyd y pethau canlynol:—

Fod y Sul cyntaf yn Awst i'w dreulio mewn gweddiau am lwydd ar efengyl Crist.

Wrth ystyried sefyllfa'r achos mewn rhanau o'r sir, a diffyg gweinidogaeth sefydlog, fod dymuniad taer ar yr eglwysi i ystyried y priodoldeb o gael ychwaneg o weinidogion.

Fod llythyr tra rhagorol y Parch. J. Spinther James, ar "Gwersi oddiwrth Hanes y Bedyddwyr yn Ngogledd Cymru," yn cael ei gymeradwyo i ystyriaeth ddwys yr eglwysi.

Fod y Gymdeithas Gyfieithiadol yn cael ei chyflwyno i sylw yr eglwysi. Da genym fod y gymdeithas werthfawr hon yn cynyddu yn fawr yn ffafr eglwysi y sir.

Diweddwyd y cynadleddau bywiog a lluosog drwy weddi daer gan y Parch. J. Williams, Llanelian.

Y GWASANAETH CYHOEDDUS.

Pregethwyd nos Iau, yn nghapel hardd y Methodistiad, gan y Parchn. O. Davies, Caernarfon, a W. Thomas, Rhydgwyn. Boreu dydd Gwener am chwech, yn nghapel y Bedyddwyr, gan y Parchn. G. James, Llangefni, a W. E. Jones, Bontnewydd. Am naw, cafwyd cyfeillach grefyddol werthfawr. Cymerwyd rhan ynddi gan amryw frodyr. Am ddeg, pregethwyd yn nghapel y Methodistiaid, gan y Parchn. J. Pritchard, Abersychan, a W. Williams, Lerpwl. Am ddau, ar y maes, pregethwyd gan y Parchn. R. Roberts, Treforris, a J. Rhys Morgan (Lleurwg), Llanelli. Dechreuwyd yr oedfaon gan y brodyr W. Saunders, Caergybi; Davies, Caernarfon; Williams, Llanelian; Hughes, Llangoed; a Hughes, Caergeiliog. Mae llawer o bethau da i'w ddyweyd am y gymanfa hon, pe bae gofod yn caniatau. Pregethodd y brodyr oll gyda llawer o rwyddineb. Bu cyfeillion y Llan, o bob enwad, yn wir garedig. Yr oedd yr hîn yn braf, a'r efengyl dragywyddol mewn nerth mawr.—*R. Thomas*, Ysg.

*Yr awdurdod dros daenellu Babanod.*—"Dim un adnod yn dyweyd am beidio."—Mr. Gol: Dichon nad anfuddiol fydd yr hanesyn canlynol, pan y mae cymaint o ymdrechu, trwy ffysto perthi, cloddiau, a hela meusydd hanesyddiaeth heibio, ac oddiamgylch, "teuluoedd," "tylwythau," a'r "holl genedloedd," &c., am sail i'r ddefod fechan anysgrythyrol o daenellu ar fabanod. Ychydig amser yn ol, un hwyr dydd Sadwrn, fel yr oedd dwy wraig, un yn perthyn i'r Bedyddwyr, a'r llall i'r Taenellwyr, yn dychwelyd o gyfarfod cyhoeddus, lle yr oedd yr ordinhad o fedydd, yn ol y Testament Newydd, wedi bod yn cael ei gweinyddu, mewn ardal nid pell o ymyl sir Gaer, dechreuodd y daenell-wraig a siarad yn wawdus am yr ordinhad, fel y mae arfer y cyfeiliornwyr, trwy ddyweyd fod y cyfryw a ufuddhasant iddi wedi cael golchi ymaith eu holl bechodau, yr hyn a achosodd ychydig ddadleu cydrhwng y ddwy, yn fwyaf neillduol ar ysgrythyroldeb bedydd ac anysgrythyroldeb taenellu babanod. Danggosai y fedydd-wraig, gan gyfeirio at fedyddiad Crist, &c., fod pob adnod ag oedd yn sôn am fedydd yn yr Ysgrythyr yn perthyn i'r Bedyddwyr; ac yn cadarnhau mai eu dull hwy yn unig o weinyddu yr ordinhad oedd yn iawn; ac nad oedd gan y Taenellwyr ddim cymaint ag un adnod, na brawddeg, yn gorchymyn, neu yn rhoddi esiampl i daenellu babanod. Haerai y daenellwraig fod ganddynt adnod ar y pwnc, a'i bod hi wedi clywed eu gweinidog hwy yn darllen amryw adnodau i'r perwyl hyny, pan yn taenellu plant; ond rywfodd methai yn hollol y pryd hwnw a chofio pa le yr oeddynt. Ar hyn, dygwyddodd un o bregethwyr yr Annibynwyr ddyfod at hyd yr heol i'w cyfarfod. "Ah!" meddai y daenellwraig, "fe ddywed Mr. J. wrthyf yn awr pa le y mae yr adnod;" a chyda eu bod gyferbyn a'u gilydd, gofynodd yn hyf i'r pregethwr, pa le yr oedd yr adnod oedd yn gorchymyn taenellu plant, ac ar yr un pryd, achwynai fod y wraig hono oedd yn ei hymyl yn dyweyd nad oedd dim un i'w chael. "O," ebe Mr. J., gan betruso ychydig, "dywedwch wrthi nad oes dim un adnod yn dyweyd am beidio chwaith." Ar hyn gwelodd y daenell-wraig ei bod

wedi ei threchu; ond cynhyrfodd dan ddylanwad rhagfarn, a dywedodd, "adnod neu beidio, y mae yn well gan fy nheimlad I i gael ychydig ddyferynau ar fy nhalcen na chael fy medyddio."—*Seren Cymru.*

*Cyfarfodydd Blynyddol Athrofa Hwlffordd.*—Cynaliwyd y cyfarfodydd hyn eleni Gorph. 31, ac Awst 1af. Yr oedd lluaws mawr o gyfeillion yr Athrofa yn bresenol. Mwy nag arferol. Yr oedd un cynrychiolydd o'r America, sef yr hybarch Ddr. D. M. Phillips, o Goleg Nashville, Tenn.; aelod gwreiddiol o hen eglwys barchus Rhydwilym. Y Parch. R. D. Roberts, Llwynhendy, a bregethodd yn Gymraeg, a'r Parch. A. J. Parry, Cloughfold, yn Saesonig. Penderfynwyd ychwanegu at gyflogau yr Athrawon. Pasiodd yr arholiadau yn foddhaol. Ymddengys fod y Coleg yn myned ar ei gynydd.

*Diploma y LL. D.*—Ymddengys tipyn o anfoddlonrwydd yn bresenol yn mhlith eglwysi y Deheudir am fod rhai brodyr cyffredin yn gwisgo teitlau gwyr o ddysg. Pasiwyd penderfyniad mewn Cwrdd Chwarterol yn ddiweddar, yn condemnio yr arferiad. Yn awr, mae y Parch. T. Lewis, Risca, yn dyfod allan yn erbyn y Parch. J. P. Williams, Soar, Pontlottyn, am y camwedd hwn. Yn ddiweddar, ysgrifenodd y cyntaf at yr olaf lythyr cyfrinachol, yn gofyn ganddo egluro y modd, ac o ba le y cafodd y teitl o LL. D. a rydd ar ol ei enw; ac mae yntau wedi ateb gan wneyd yn hysbys ei benderfyniad, "i beidio gwneyd un sylw o ymosodiadau neb trwy y wasg, nac mewn cynadleddau diawdurdod, ond ymddwyn tuag at bawb ymosodwyr gyda *dysiawrwydd sarhaus*, gan mai eiddigedd sydd wrth wraidd y cwbl." Mae Mr. Lewis yn ateb, ac yn dyweyd, "ni wna peth fel yna y tro yn yr oes hon, ac ynfyd yw son am '*ddystawrydd sarhaus*.' Yr wyf fi yn tystio ger bron Emeth, Twmbarlwn, a Mynydd Machen, nad oes ynof *eiddigedd*, canys ni charwn wisgo dim na fyddai yn fy ffitio!" Mae yn debygol fod ychwaneg o ysgrifau i fod ar ol hyn yn fuan.

*Prif Ysgol Aberystwyth.*—Yn *Seren Cymru* am Awst 10fed, mae gohebydd medrus yn ysgrifenu yn alluog, yn anog y Bedyddwyr i gefnogi y sefydliad. Cyhudda yr enwad o ddiffyg ymdrech hyd yn hyn drosto. Dengys y dylai ychwaneg o Fedyddwyr fod ar y pwyllgor. Honai fod digon o Fedyddwyr yn ddigon cyfoethog i gyfartalu ag eraill. Nodai hefyd rai pethau yn y Brif-ysgol sydd yn hawlio cefnogaeth—y lle, y cyfleusderau cymdeithasol, ac addysgiadau. Canmolai y *Principal* yn fawr, sef mab Dr. Edwards o'r Bala. "Clywsom," meddai, "ddarfod iddo unwaith roddi £5 o'i logell ei hun i gynorthwyo efrydwr ieuanc yn mysg y Bedyddwyr." Mab ydyw i Dr. Edwards (îe, gwir Ddr. cofier), o'r Bala. Gwron arall yw y Proffeswr Angus, mab i Dr. Angus, Llywydd Regent's Park College. Eto, dywed, "Ymddengys mai Bedyddiwr, hogyn ieuanc 17 oed, oedd yr uchelaf yn yr *examination* diweddaf." Anoga fod ymdrech yn cael ei wneyd i gefnogi y Brif Athrofa drwy gyfranu ati; cael ychwaneg o'n plith ar y pwyllgor—ac yn enwedig dau weinidog parchus y Bedyddwyr yn y dref, sef Mr. Williams a Mr. Morris.

*Y Parch. C. H. Spurgeon.*—Awst 4ydd, bu y Parch. J. A. Morris, Aberystwyth, yn traddodi ei ddarlith ar y gwron enwog uchod, yn Bethesda, Arfon.

*Hanes mordaith y Parch. J. Williams, Cenadwr, a'i briod i'r India.*—Mae Mr. Williams yn ysgrifenu llythyrau dyddorol i *Seren Cymru*, yn cynwys hanes ei fordaith ef a'i deulu i'r India yn ddiweddar. Ymddengys iddynt fordwyo trwy lawer o beryglon. Yr oedd y tywydd yn anarferol o boeth yn India pan yr ysgrifenai ddiweddaf. Y mae pump dadl fawr wedi bod rhwng y cenadwr a'r Moulvies, y dysgedigion Mahometanaidd. Yr oedd y materion yn drymion iawn, sef rhai o athrawiaethau sylfaenol Cristionogaeth; "Rhagoriaeth Crist ar Mahomet;" "Person Crist," &c. Enillodd y Cymro a'r Cristion bob tro. Anhawdd ydyw cwrdd â dyn o feddwl mwy athronydd-

ol na'r cenadwr. Y mae llawer o ieithoedd y dwyrain wedi eu meistroli ganddo; ac y mae y ffaith ei fod wedi trechu y dysgedigion Mahometanaidd mwyaf talentog mewn dadl gyhoeddus lawer gwaith yn ystod y 18 mlynedd diweddaf, yn profi ei fod yn meddu ar feddwl galluog, a dawn ymresymiadol gawraidd. Bwriada y cenadwr aros yn Agra hyd nes y gorphenir ei dy yn Muttra.

"*Synwyr Cyffredin.*"—Dyna oedd testyn darlith Mathetes yn Hermon, Nantyglo, Gorph. 22ain. Cafwyd hwyl anarferol.

*Ymadawiad y Parch. O. Waldo James.*—Y mae y Parch. O. Waldo James wedi ymadael o Tabernacl, Merthyr, i gymeryd gofal yr eglwys yn Aberafon. Mehefin 18fed, cynaliwyd cyfarfod ymadawol iddo. Cymerwyd rhan ynddo gan luaws o leygwyr a gweinidogion. Cyflwynwyd anerchiad ysblenydd i Mr. James, gwerth £15; hefyd, awrlais aur i Mrs. James, gwerth £6 6s. Cyflwynwyd anrhegion hefyd i blant Mr. James.

—Gwelwn grybwyllion mynych yn mhapyrau Cymru am y Parch. B. Thomas (Myfyr Emlyn), Narberth, yn darlithio a phregethu. "Hynodion y Pwlpud Cymreig," a "Dafydd Evans," ydynt destynau amlaf ei ddarlithiau.

*Eglwys o Fedyddwyr yn Patagonia.*—Mae eglwys i'r Bedyddwyr wedi cael ei chorpholi yn Patagonia, yn Ebrill diweddaf. Y rhif y pryd hwnw oedd oddeutu ugain.

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

---

### PARCH. ROBERT HALL A CHAETH GYMUNDEB.

---

Gwelaf yn Adolygiad y Wasg yn y *Drych* am Gorph. 5ed, ddyfyniad o ysgrif y Parch. R. H. Evans, Hyde Park, ar Gaeth-gymundeb. Dangosir yn y dyfyniad fod y Parch. R. Hall yn credu mewn bedydd drwy drochiad, ac na ddylid bedyddio plant. Yr oedd Mr. Hall o'r un golygiadau a'r Bedyddwyr ar ddull a deiliaid bedydd; ond nid oedd yn barnu fel Mr. E., ar fedydd na chymundeb. Yr oedd yn gwahaniaethu mewn perthynas i gymundeb, nid yn unig oddiwrth gorph y T. C., ond hefyd oddiwrth holl gyrph taenellyddol y byd. Credai Mr. H., "Nad oedd un cysylltiad hanfodol rhwng bedydd a swper, ac nad oedd yr olaf yn ymddibynu yn naturiol ac angenrheidiol ar y blaenaf." Vol. II. p. 213, 214. Gwedir hyn gan Mr. E., yn nghyd â'r enwad y perthyna iddo a chan daenellwyr pob oes a gwlad, yn gystal a'r Bedyddwyr Neillduol. Rhag i neb feddwl fy mod yn gwneyd haeriadau disail, âf ati i brofi yr hyn a ddywedais. Dywed Mosheim yn Hanes yr Eglwys am y ganrif gyntaf, "Nad oedd y rhai oedd heb dderbyn bedydd yn cael eu derbyn i'r swper sanctaidd." Vol. I. p. 69. Neander wrth son am yr eglwys am y tri chanrif cyntaf, a ddywed, "Ar weinyddiad y swper fel y gellir yn hawdd benderfynu, nis gallai neb fod yn bresenol ar nad oedd yn aelod yn yr Eglwys Gristionogol, ac wedi ei uno â hi drwy y ddefod o fedydd." Vol. I. tu. 27. Dr. Wall yn ei waith ar Hanes Bedydd Babanod, a sylwa, "Na roddodd un eglwys erioed gymundeb i un dyn difedydd, yn mysg yr holl ynfydrwydd a gredwyd erioed; ni ddarfu i neb goleddu y syniad y dylai un person gyfranogi o gymundeb cyn ei fedyddio." Peter King, Lord High Chancellor of England, yn ei Hanes o'r Eglwys Gyntefig, p. 196, yr hwn waith a gyhoeddwyd gan y Trefnyddion Esgobaethol, "Yr oedd bedydd," meddai, "bob amser yn rhagflaenu y swper, ac nid oedd neb yn cael eu derbyn iddo cyn eu bedyddio." Mae hyn mor amlwg i bob dyn, fel nad oes eisiau ei brofi; os bydd i rywun ei amheu, gall ei weled yn eglur yn cael ei ddal allan yn ail-amddiffyniad Justin Merthyr, p. 96. Jerome, Austin, a Bede, &c., a dystiant yr un peth. Felly hefyd y tystia Dr. Doddridge, Dr. Dwight, a Dr. Dick. Dr. Griffin, llywydd Williams College, yn ei lythyr galluog ar Gymundeb, a ddywed, "Yr wyf yn cyduno ac amddiffynwyr cymundeb caeth mewn dau beth." 1. "Mai bedydd ydyw'r ordinhad sydd yn ein harwain i mewn i'r eglwys weledig; o angenrheidrwydd, lle nad oes fedydd, nid oes un eglwys weledig." 2. "Na ddylem gymuno gyda y rhai sydd heb eu bedyddio, o ganlyniad nad ydynt yn aelodau eglwysig, hyd yn nod pe baem yn eu cydnabod yn Gristionogion. Pe byddai i Quaker ymadael â'i egwyddorion mor bell ag ewyllysio cymuno gyda mi wrth fwrdd yr Arglwydd, os gwrthodai gymeryd ei fedyddio, nis gallwn ei dderbyn, o herwydd y mae y fath gysylltiad rhwng y ddwy ordinhad, fel nad oes genyf fi hawl i'w gwahanu hwynt." Gwel Bap. Lib. Vol. III. p. 211. Dyma olygiadau y Bedyddwyr ar gymundeb yn berffaith, yn cael eu dal allan gan y dynion uchod, ond maent yn berffaith groes i olygiadau R. Hall. Dr. Hibbard hefyd, yr hwn sydd yn un o'r ysgrifenwyr mwyaf galluog perthynol i'r Trefnyddion, a ddywed, "Nid yw ond cyfiawn i sylwi fod eglwysi y Bedyddwyr a'r Trefnyddion yn cyduno mewn un egwyddor—maent yn cyduno i wrthod at fwrdd yr Arglwydd, a gwadu hawl cymdeithas eglwysig i bawb ar na fedyddiwyd.

Ystyriant hwy fedydd rheolaidd yn hanfodol i gyfansoddi aelod eglwysig gweledig. Hyn hefyd a gredwn ninau. Yr unig bwnc sydd yn ein gwahaniaethu yw, pa beth sydd yn hanfodol i fedydd rheolaidd. Mae golygiadau y Bedyddwyr ar fedydd yn eu gorfodi i arfer caeth gymundeb, ac yn hyn y maent yn gweithredu ar yr un egwyddor ag eglwysi eraill, hyny yw, maent hwy yn derbyn i gymundeb yn unig y rhai hyny a ystyriant sydd wedi eu bedyddio; o angenrheidrwydd maent hwy yn farnwyr iddynt eu hunain. Mae yn amlwg yn ol ein golygiadau ni ar fedydd, y gallwn ni eu derbyn hwy i gymundeb, ond yn ol eu golygiadau hwy ar fedydd, mae'r un mor eglur nas gallant hwy ddychwelyd y caredigrwydd, ac nid yw y cymeriad o 'Gaeth Gymunwyr,' yn perthyn iddynt hwy, mwy nag y perthynai i ninau, gan fod y pwnc o aelodaeth eglwysig yn cael ei benderfynu gan y Bedyddwyr ar egwyddor mor haelfrydig ag ydyw gan eglwysi Protestanaidd eraill." Gwel *Christian Bap.* p. 174, 175. Dyma awdurdod uchel eto yn condemnio golygiadau R. H. ar gymundeb, yr un mor galed ac y gwnawn ninau, ac yn dyfod a'r pwnc i'r man y dylai fod, sef i'r bedydd; mae'r holl wahaniaeth sydd rhyngom ac enwadau eraill, yn y bedydd, ac nid yn y cymundeb; ond mae yn haws cynhyrfu rhagfarn a chaledwch y byd yn ein herbyn, drwy ei daflu i'r cymundeb, ac nid i'r bedydd. Ychwanegaf eto un dystiolaeth o blith lluaws, o'r *American Presbyterian* am 1867. Yno y ceir yr ymadroddion canlynol: "Mae cymundeb agored yn ynfydrwydd, pan y mae yn golygu cymundeb gyda'r difedydd; nid ystyriwn am eiliad y cynygiad i dderbyn un difedydd i gymundeb, ac ni allaf fi ofyn i Fedyddiwr i wneyd ynfyd-ddyn o hono ei hun, a dirmygu ei athrawiaeth drwy fy ngwahodd i gymundeb gydag ef, tra mae yn credu fy mod yn ddifedydd. Nid oes arnaf eisiau undeb ffugiol, na ffug unoliaeth, a phe baem ni yn coleddu syniadau y Bedyddwyr am fedydd, ni dderbyniem Bresbyterian i gymundeb, mwy nag y derbyniem Quaker. Gadewch i ni gael undeb, yn wir, ond nid ar draul egwyddor, ac na fydded i ni ofyn i'r Bedyddwyr ddirmygu eu hegwyddorion, neu fod yn anghyson â hwy eu hunain. Ac na fydded i ni gyhoeddi allan eu caeth gymundeb, yr hyn nid yw ond ffyddlondeb i egwyddor, hyd nes y byddom wedi parotoi i fod yn gymunwyr rhyddion ein hunain, oddiwrth yr hwn ynfydrwydd bydd i ni byth gael ein cadw. Bydded i ni ryfela, nid yn erbyn eu caeth gymundeb, ond eu hathrawiaeth o fedydd drwy drochiad." (Gwel *Amer. Pres.*, June, 1867.)

Nid yw yr uchod ond ychydig o brif ddynion yr enwadau taenellyddol a ellid enwi, heb law cyffesion ffydd, &c. Mae'r oll a enwyd yn unfrydol yn condemnio syniadau R. H. ar gymundeb, ac yn cydgordio yn berffaith â syniadau y Bedyddwyr Neillduol, gan wahaniaethu oddiwrthym yn unig ar fedydd, ac nid ar gymundeb. Paham na ddeuid a'r ddadl i'r man y dylai fod, sef bedydd, gan nad oes dim gwahaniaeth rhyngom a'n gilydd ar bwnc y cymundeb? Derbyniant hwy i gymundeb Gristion bedyddiedig, a cheuant allan Gristion difedydd; felly yn gymwys y mae y Bedyddwyr yn gwneyd. Paham y mae dynion yn parhau i guro yr awyr, pan nad oes dim sylweddol ganddynt i'w wrthsefyll, ond sydd yn bodoli yn eu dychymygion eu hunain, yn ol fel yr wyf wedi dangos yn y dyfyniadau a wnaethum. Mae enwadau eraill mor gaeth yn eu cymundeb ag yw'r Bedyddwyr; a rhag i neb feddwl fy mod yn gwneuthur haeriadau heb sail iddynt, galwaf sylw y darllenydd at y ffaith ganlynol: Esgob Moore, perthynol i'r eglwys Esgobaethol, Virginia, tra yn gweinyddu yn Nhalaeth E. N., ar adeg neillduol, apeliodd at aelodau perthynol i wahanol enwadau, gan eu gwahodd i gydgyfranogi wrth fwrdd y cymundeb, i gofio am gariad Crist; derbyniwyd y gwahoddiad, a daeth amryw yn mlaen, yn mysg pa rai, er syndod i Mr. Moore, yr oedd un Quaker, yr hwn oedd yn ddyn o gymeriad uchel, ac o dduwioldeb diamheuol. Tybiodd yr Esgob ei fod wedi newid ei farn, ac wedi cael ei fedyddio. Aeth yn mlaen ato tra yr oedd yn penlinio o flaen yr allor, a gofynodd a oedd wedi ufuddhau i Grist yn y bedydd. Dywedwyd wrtho fod cyfnewidiad wedi cymeryd lle yn ei feddwl gyda golwg ar barhad y swper, ond dim mewn perthynas i'r ordinhad arall. Yn y dyryswch poenus hwn, nis gwyddai'r Esgob ar y foment pa beth oedd oreu i'w wneyd. Beth bynag, darfu iddo yn fuan benderfynu nas gallai yn gydwybodol weinyddu cymundeb i'w frawd Quakeraidd, er ei fod yn credu ei fod yn ddyn duwiol, gan ei fod heb ei fedyddio. Hysbysodd yr anhawsder i'w gyfaill, a gofynodd iddo gadw ei le, ac y buasai ef yn ei basio gyda'r elfenau. Ac felly bu. Gwel Taylor ar Gymundeb, p. 24. Yn awr, nid rhyw eithriad oedd hyn, ond yr un peth fuasai'r holl ddynion a nodais yn ei wneyd, a'r holl wahanol enwadau taenellyddol yn America, oblegid mae eu syniadau ar y cymwysderau i gymundeb yn eu rhwymo i wneyd. Dyma gymundeb mor gaeth a dim a arferwyd erioed gan y Bedyddwyr; ond mae cymundeb caethach na hwn wedi ei arfer gan daenellwyr, ond nid yw'm terfynau na'm testyn yn galw am i mi gyfeirio at hyny yn awr. Gresyn na fuasai R. H. yn lle yr Esgob Moore; buasai y Quaker wedi cael cymundeb a chroesaw. Oddiwrth y tystiolaethau a'r esiamplau y cyfeiriwyd atynt yn yr ysgrif hon, gall pawb weled a ewyllysia weled, mai nid duwioldeb, talent, dysg, na phoblogrwydd R. Hall, nac un dyn arall, sydd yn rhoddi hawl i gymundeb yn mysg taenellwyr, mwy na Bedyddwyr Neillduol.

Tua phum'-mlynedd-ar-hugain yn ol, clywais y Parch. William Rowlands, N. Y. yn pregethu yn Remsen. Soniai am William Penn, gan ei alw yn hen bererin duwiol, ond pe buasai yr hen bererin duwiol hwnw yn byw yn yr un oes a Mr. Rowlands, ac yn crefu ar ei

liniau am gael cymundeb ganddo, buasai yn ei ateb fel Yankee, gan ddywedyd, "*No Sir, I cannot do it, if you are not baptized.*" Ofer i Mr. E. geisio ein darbwyllo i dderbyn golygiadau ac arferiadau R. H. Derbynied ef a'i Gorph hwynt yn gyntaf, yna deued atom drachefn i'w cymell i ni. Nid ydym yn fwy parod i dderbyn golygiadau R. H. ar gymundeb am ei fod yn Fedyddiwr; gwrthodwn gyfeiliornad oddiwrtho ef gyda'r un penderfynolrwydd a phe buasai y taenellwr mwyaf penboeth. Nid yw son am dduwioldeb R. H., a'i ddysg, a'i dalent, yn un cymelliad i ni dderbyn ei olygiadau. Nid ydym i dderbyn cyfeiliornad oddiwrth angel, na gwrthod y gwir oddiwrth ddiafol. Yn wir, credwn yr enwadau taenellol ar bwnc cymundeb o flaen Hall.

Nid annuwioldeb Mr. Evans, na'i eglwys yn Hyde Park ydyw y rhwystr iddynt gael cymundeb, ond edrychir arnynt genym ni mor ddifedydd a phe na fuasai dafn o ddwfr erioed wedi cyffwrdd a'u talcenau. Nid ydym wrth ddyweyd fel hyn, yn gwadu, nac yn addef eu duwioldeb—mae hwnw yn fater rhyngddynt â Duw; ond nid duwioldeb yw yr holl gymwysder i gymundeb. Os bwriada Mr. Evans ysgrifenu yn erbyn y Bedyddwyr ar fedydd neu gymundeb, neu bob un o'r ddau, yn y *Cyfaill*, carwn ei adolygu os caf, yn yr un cyhoeddiad. Ymrwymaf i ymdrin â'r pwnc yn deg a boneddigaidd. Os yw y gwirionedd ganddo, mae ef yn alluog i'w amddiffyn mae'n debyg, ond os nad yw y gwirionedd ganddo, dylai y byd gael gwybod pa le mae.

*Wisconsin.* W. JONES.

---

D. L. MOODY, ei Hanes, ei Waith, a'i Deithiau. Wedi ei gyfieithu o'r Saesnaeg gan y Parch. Thomas R. Jones. Cyfrol I.

---

Yr ydym wedi darllen rhanau helaeth o'r hanes hwn gyda llawer o flas. Y mae ynddo elfenau ag sydd yn ei wneyd yn debyg i rai o ganeuon arwrol yr enwog fardd Longfellow. Mae yr enwogrwydd mae Mr. Moody wedi ei gyrhaedd fel efengylydd, yn adlewyrchu yn ol hyd at ei gryd. Mae ei enwogrwydd yn dwyn lleoedd a phersonau i sylw a bri, yr hyn hebddo ef fuasai yn anmhosibl. Er nad ydym ni yn cydolygu ar briodoldeb ei waith "yn rhedeg rhwng llinellau enwadol," rhaid addef fod daioni mawr wedi cael ei wneyd ganddo tu yma a thu draw i'r Werydd. Credwn fod ganddo ffyrdd o gario gwasanaeth crefyddol yn mlaen yn ddyddorgar ac effeithiol, ac y byddai yn dda i lawer o weinidogion enwog ddysgu oddiwrtho. Mae yr hanes Cymreig hwn am dano, yn rhoddi darluniad ffyddlawn a difyr iawn o'i waith cyn belled ag mae yn cyrhaedd. Nid all darlleniad y llyfr hwn ddim llai na gwneyd lles mawr i bwy bynag a wna hyny yn ystyriol.

# NEWYDDION Y MIS.

—Dywedir fod 8,000 o ffoedigion Bulgaraidd yn Selvi bron a marw o newyn.

—Cyfrifir y cymer tua 7,000,000 o bwysi o wyfrau dur yn ngwneuthuriad y bont sydd i gysylltu New York a Brooklyn.

—Mae deng mil o wyr yn brysur iawn gyda'r gorchwyl o adgyweirio amddiffynfeydd Gallipoli [ar y fynedfa i'r Dardenelles].

—Hysbysir am farwolaeth yr awdwr Seisnig, Samuel Warren, genedigol o Sir Ddinbych, yn ei 70 mlwydd oed. Ysgrifenodd lawer i *Blackwood's Magazine*.

—Dywedir fod y lleihad yn ngwerth eiddo tirol yn Nhalaethau New York, Pennsylvania, ac Ohio, yn ystod yr wyth mlynedd diweddaf yn gwneyd swm digonol i dalu ein holl ddyled genedlaethol.

—Cyn i'r Parch. John Hall, D. D., New York, hwylio am Ewrop ar y 14eg o'r mis diweddaf, cyflwynodd ei eglwys iddo bwrs yn cynwys agos i $5,000 mewn aur, tuag at ei dreulion personol!

—Ni chanwyd un emyn na nôd o gerddoriaeth yn angladd Mynyddog, am mai hyny oedd dymuniad neillduol ei fam, a'i fod ef ei hun wedi traethu ar lawer tro ei anghymeradwyaeth o hyny.

—Ar y 15fed o Gorphenaf, suddodd yr agerlong Eten, tua deng milldir a thriugain i'r gogledd o Valparaiso, Chilli. Meddylir fod tua 100 o bersonau wedi colli eu bywydau; ond ni chafwyd y manylion.

—Yn ystod mis Mawrth diweddaf bathwyd y symiau canlynol o aur ac arian yn y wlad hon: aur, $5,873,000; doleri (*trade*), $996,000; mân-ddarnau arian, $1,674,000. Cyfanswm y darnau ydoedd, $8,515,650, a'u gwerth, $8,443,000.

—Ymgasglodd o 50,000 i 75,000 o bersonau yn nghyd, ar y 6ed o'r mis diweddaf, ar yr *Oriskany battle ground*, Sir Oneida, N. Y., i ddathlu y frwydr a ymladdwyd yno yn rhyfel y Chwyldroad, gan' mlynedd yn ol o'r diwrnod hwnw.

—Dengys amcan-gyfrifon Adran Amaethyddol y Llywodraeth fod y cnwd gauaf sydd eisoes wedi ei gasglu yn un o'r rhai trymaf a gynyrchwyd er ys amryw flynyddoedd. Dywedir fod y gwenith gwanwyn hefyd mewn cyflwr rhagorol, a dysgwylir cynyrch anarferol o fawr.

—Torodd tân allan yn Nhlotdy Swydd Norfolk, Ontario, ar y 3ydd o'r mis diweddaf, a llosgwyd 17 o bersonau i farwolaeth cyn y cafwyd cymorth. Hefyd niweidiwyd pedwar o ddynion yn ddrwg iawn. Ni welwn un enw Cymreig yn mhlith y lladdedigion.

—Cyrhaeddodd y Seneddwr Conkling New York ar y 10fed o'r mis diweddaf, o Liverpool, ar ol treulio ychydig o wythnosau yn Ewrop. Cafodd y croesawiad mwyaf brwdfrydig yn New York, Albany, ac yn neillduol yn Utica, ef gartref.

—Adroddir am y creulonderau mwyaf yn Eske Sahra; a bod yr holl frodorion, Cristionion gwrywaidd, wedi cael eu dredfrydu i farw, gan y Cadfridog Tyrcaidd. Cyhuddir pob Bulgariad o fod yn ysplydd, neu elyn cyhoeddus.

—Mae milwyr Groeg yn parhau i symud at y terfynau, yn nghanol brwdfrydedd mawr. Gwahoddir dau Gadfridog Prwssiaidd i gymeryd y llywyddiaeth. Gorymdeithiodd tyrfa fawr drwy heolydd Athens ddydd Sul, gan waeddi "Rhyfel!" "Rhyfel!" Credir fod yr amser wedi dyfod i Groeg fyned i'r maes yn erbyn Twrci.

—Yn ddiweddar darfu i fuwch gicio un Martin Cremetti, llaethwr ar *ranch* ger Virginia City, Nevada, yn ei goluddion. Yn mhen ychydig oriau cafwyd ef wedi saethu ei hun drwy ei ben, a'r nodyn canlynol ar ei gorph: "Yr wyf yn lladd fy hun yn gwbl oblegid y tybiaf fod rhywbeth wedi tori oddi mewn. Ffarwel i'r byd."

—Mae y prif *Express Companies* wedi cytuno i gario sypynau heb fod dros bedwar pwys yn ol un cent am bob owns neu ran o owns; ond nid oes un sypyn i gostio llai na deg cent, na gwerth un sypyn i fod dros ddolar. Yr eithriadau i'r prisiau hyn ydynt nwyddau gwerthfawr, rhai o faintioli anarferol i ateb i'w pwysau, neu sylweddau fyddont yn agored i achosi dinystr.

—Mewn cyfarfod a gynaliwyd yn Philadelphia yn ddiweddar, pasiwyd penderfyniadau yn ffafr ffurfiad plaid wleidyddol newydd, o dan yr enw *Working-men's Party*. Pasiwyd penderfyniadau cyffelyb hefyd yn New York, Columbus a Cincinnati, O., a lleoedd eraill. Yn Cincinnati, aed mor bell ag i benodi y tocyn Talaethol canlynol: Llywodraethwr, L. H. Bond; Is Lyw., Frank Shadd; Trysorydd, L. A. Hine.

—Mae sefyllfa pethau yn mysg glowyr Pennsylvania yn hynod o anfoddhaol mewn llawer ardal, ac yn enwedig yn Swydd Luzerne. Mae y *strikes* yn ymledu yn barhaus, a rhai o'r glofeydd yn llenwi â dwfr mewn canlyniad i atal iad y *pumps*. Dywedir fod miloedd lawer yn sefyll allan, heb fawr o argoel y cânt yr hyn y maent yn ei geisio. Ffyna caledi mawr yn mhlith pob dosbarth, ac ofnir terfysgoedd blinion.

—Nid yw y gredo Dyrcaidd yn wybodol o un drugaredd i'r cadlywydd anffodus a gyll gaerfa. Nid yw yn gwneyd y gwahaniaeth lleiaf os yw nifer ei elynion yn bump am bob un o'i eiddo ef, neu os syrth yn fyr o bylor a pheleni, neu os nad yw ei filwyr ond anmhrofiadol a llwfr. Ei ben yw y fforffed. Nid yw yn un rhyfeddod, gan hyny, i Achmet, y Pasha a roddes i fyny Nikopol, ragflaenu tynged trwy ladd ei hun yn y carchar.

—Y Sabboth, Gorph. 15fed, aeth John Williams, Liffey Street, i gapel Cymreig Prince's Road, Liverpool, ychydig fynydau cyn chwech, a syrthiodd i lawr yn farw cyn i'r gynulleidfa ddod yn nghyd, yr hyn a daflodd fantell o ddifrifoldeb dros y gynulleidfa. Yn lle pregethu odddiar y geiriau yr oedd wedi bwriadu, darfu i'r Parch. Joseph Thomas, Carno, bregethu yn ddifrifol iawn oddiar Gen. xix. 17—"Dianc am dy einioes; nac edrych ar dy ol, ac na saf yn yr holl wastadedd: dianc i'r mynydd, rhag dy ddyfetha."

—Nid yw yn annhebygol na bydd i luaws o'r Negroaid Deheuol ymfudo yn fuan i Affrica. Mae amryw gyfarfodydd eisoes wedi eu cynal er hyrwyddo yr amcan hwn; ac yn ddiweddar ymgynullodd pedair mil o Negroaid yn Charleston, er pleidio ymfudiaeth i Liberia. Dadleuid nad oedd digon o le yn y De i'r bobl wynion a duon, ac mewn canlyniad, fod yn rhaid i'r dosbarth olaf foddloni ar sefyllfa israddol. Cynygiwyd penderfyniad i ffurfio cwmni rhandaliadol er prynu agerlongau i gludo ymfudwyr i, a dwyn masnach yn mlaen â, Liberia.

—Yr ydym wedi derbyn newyddion am frwydr waedlyd a gymerodd le ar y 9fed o'r mis diweddaf, rhwng 182 o filwyr a dinasyddion dan y Cad. Gibbon, a gallu cryf o'r Nez Perces Indiaid, ar y Big Hole River. Dynodir hi fel un o'r brwydrau cyndynaf a ffyrnicaf a ymladdwyd erioed â'r Indiaid. Ymdrechodd y milwyr yn egniol i feddianu pentref yr Indiaid, ond curwyd hwy yn ol gyda chryn golled. Cymerwyd eu holl geffylau gan yr Indiaid. Cyfrifwyd 40 o gyrph Indiaidd ar tua haner y maes, a thybir eu bod wedi colli yn agos i gant o'u nifer. Colled Gibbon oedd dau swyddog, 17 o filwyr, a 5 o ddinasyddion wedi eu lladd; 4 o swyddogion heblaw ei hunan, 36 o filwyr, a 4 o ddinasyddion, wedi eu clwyfo. Ciliodd yr Indiaid ymaith ar ol y frwydr. Ymddengys fod y Cad. Howard wedi cyrhaedd y lle, ac mor fuan ag y deuai ei filwyr yno, erlynid yr Indiaid.

—Yn ystod yr wythnosau diweddar o sychder anarferol mewn parthau o Wisconsin, achosid pryder mawr gan dânau mynych yn y coedwigoedd a'r prairies. Cyrhaeddodd y tânau eu heithafbwynt ar y 5ed o'r mis diweddaf, ychydig filldiroedd i'r dwyrain o Green Bay, a dinystriwyd y coed ar y ffermdai bron yn llwyr drwy holl drefgordd Eaton. Buasai y tân er ys amryw ddyddiau yn dinystrio y coedwigoedd yn amgylchoedd Woodruff Mills, a boreu Sabboth, pan oedd y gwyr gan mwyaf oddi cartref, ysgubodd y fflamau y mlaen gyda grym

adnewyddol, nes dinystrio yr holl bentref, a gorfodi y trigolion i ddianc am eu bywydau. Ni adawyd ond tri o dai yn yr holl le, a llosgwyd holl eiddo y sefydlwyr. Dywedir fod tua deg-ar hugain o deuluoedd wedi ymgynull i gae oedd wedi ei aredig, er diogelwch rhag y fflamau a'u cylchynent. Mewn lle o'r enw Benjamin yr oedd sefydliad a gynwysai ddau-ar-bymtheg o dai, pob un o'r rhai a losgwyd. Rhedai y gwartheg yn wylltion ar hyd y meusydd, a chanfyddid canoedd o anifeiliaid wedi eu llosgi i farwolaeth. Gwnaed ymdrechion egniol yn Green Bay i ddarparu ar gyfer angenion y dyoddefwyr, a cha lluaws o honynt nodded yn nhlotdy y sir nes y ceir cynorthwyon eraill.

—Ddydd Llun, Gorph. 30, ymosododd 40 mil o Rwssiaid ar 50 mil o'r Tyrciaid, yn amgylchoedd Plevna (28 milldir i'r de ddwyrain o Nikopolis), a pharhaodd yr ymdrechfa trwy y dydd a hyd nos dranoeth, gan derfynu yn llwyr orchfygiad y Rwssiaid. Yr oedd yn frwydr waedlyd iawn; ac yn ol yr adroddiadau o Constantinople, yr oedd colled y Rwssiaid o 5,000 i 8,000 o laddedigion, ac o 16,000 i 20,000 o glwyfedigion a charcharorion. Cymerodd y Tyrciaid hefyd nifer mawr o fagnelau. Yr oedd y Tyrciaid o dan Osman Pasha wedi sefydlu eu hunain yn gadarn o'r tu ol i wrthgloddiau, ac felly nid oedd eu colled ond bechan o'i chydmaru i golled eu gelynion. Addefa y Rwssiaid yn swyddogol eu bod wedi colli dros bum' mil o wyr yn Plevna, yn cynwys un Milwriad a *Major General.* Ymddengys fod cynlluniau y Rwssiaid wedi cael eu dyrysu yn lân drwy eu gorchfygiad yn Plevna, ond adroddir eu bod yn benderfynol o grynhoi eu byddinoedd gydag yni adnewyddol. Mae gorchymyn wedi ei roddi fod i adgyfnerthion lluosog gychwyn yn ddioed o Rwssia i faes y rhyfel. Mae hanesion hefyd am amryw o fân ymladdfeydd, a'r Rwssiaid yn gyffredin yn cael y golled fwyaf. Dywedir fod y Rwssiaid yn dyoddef mewn iechyd, a bod amryw o'r swyddogion yn glaf. Hysbysir fod Rwssia wedi penderfynu cyfyngu ei gweithrediadau i Bulgaria dros y presenol, gan roddi i fyny y bwriad o ymwthio yn mlaen tua Constantinople, hyd nes y dinystrir y byddinoedd Tyrcaidd o dan Osman Pasha a Mehemet Ali. Haerir mai hyn oedd yr achos o roddiad y gorchymyn i'r Cad. Gourkha groesi yn ol dros y Balkans. Pa fodd bynag, y mae Suleiman Pasha wedi dechreu gweithredu ar yr ymosodol, a chawn iddo anfon adran o'i filwyr i ymlid y Rwssiaid drwy y Feriditch, un o'r *passes* yn y mynyddoedd. Pellebrai Mukhtar Pasha, o Asia, Awst 8fed, fod y Rwssiaid wedi ymosod ar y llinellau Tyrcaidd yn Kaduklar, ond eu bod wedi eu gyru yn ol gyda cholledion. Adroddir hefyd fod mil o feirch-filwyr wedi gorchfygu dwy fataliwn o'r Rwssiaid yn agos i Ardahan. Gorchfygwyd y Tyrciaid mewn ysgarmes yn Kaefalu, gyda cholled o 20 o laddedigion.

## DYDDANION.

Paham y dylai cartref-wisg boneddiges barhau yn hir? Oblegid ni fydd hi byth yn ei gwisgo allan.

Paham y mae cawodydd trymion yn debyg i yfwyr trymion? Oblegid maent yn gyffredin yn dechreu gydag ychydig ddyferynau.

Bachgen diog yn cwyno fod ei wely yn rhy fyr; ei dad atebai yn sarug, "Y mae hynyna yn bod syr, am eich bod chwi bob amser ynddo yn rhy hir."

Teithiwr mewn agerlong forawl, oddiar yr hwn y codid gorbris gan y goruchwyliwr, am nifer o deisenau a phasteion dros ben y rhif, a sylwodd fod *pie-rates* y dyfnder, wrth gwrs, bob amser yn wrthwynebus.

"Rhoddais fy addurnglo a chadwyn am Ponto," ebe genethig fechan, "ac a'i hanfonais ef allan i'r heol, a phan ddychwelodd, ni ddaeth a hwynt yn ol gydag ef. Ni feddaf gymaint o ffydd mewn cŵn ag a oedd genyf."

Hen wraig ymyrgar a wawdiai wrth sylwi ar aflerwch mam ieuanc gyda ei baban, ac a ddywedodd, "Yr wyf yn tystio na ddylai dynes byth gael baban os na fydd yn gwybod sut i'w ddal!" "*Na thafod chwaith,*" atebai y fam ieuanc yn hamddenol.

"Mi dybiaf fod y clychau yna yn cyhoeddi tân," ebe dyn yn wawdlyd, fel yr oedd clychau yr eglwysi yn galw yn nghyd yr addolwyr un boreu Sul; i'r hyn yr atebodd gweinidog oedd yn myned heibio, "Ydynt, fy nghyfaill, ond nid yw y tân yn y byd hwn."

Un diwrnod, galwodd gweinidog i weled un o deuluoedd ei ofal; ond yr oedd y terfysg oddi mewn mor fawr, fel na chlywent ef yn curo y drws. O'r diwedd, aeth i mewn, a gofynodd yn hyf ac uchel, "Holo! Carwn wybod pwy yw pen y teulu hwn?" Atebodd gwr y ty ef, "Wel, syr, os eisteddwch i lawr am ychydig amser, fe allai y byddwn yn alluog i'ch hysbysu:—wrthi yn ceisio setlo y mater hwnw yr ydym yn awr!"

# Y WAWR.

CYF. II.] HYDREF, 1877. [RHIF. 7.

## PWYSIGRWYDD CYMERIAD.

GAN Y PARCH. A. WILLIAMS, GARN, G. C.

[Cyfansoddwyd i'r WAWR.]

Nid oes dim mor bwysig i ddyn a'i gymeriad; cymeriad dysglaer ydyw rhodd benaf Duw, ac addurn penaf dyn. Dylai pob dyn ieuanc (canys â'r dosbarth hwn yn fwyaf neillduol y mae a fynom yn y sylwadau hyn), cyn ffurfio cyfeillgarwch â neb, ymholi yn fanwl pa beth ydyw cymeriad y cyfryw; mae yr hyn yw ef yn myned yn mhell i sicrhau y peth fyddwn ninau wedi myned i'w gwmpeini, oblegid y mae yn anmhosibl i ddau rodio yn nghyd heb i'r naill adael ei ddullweddiad ar y llall. Nid oes dim rydd ddyrchafiad sylweddol yn nghyfrif Duw, nac ychwaith yn nghyfrif y dynion hyny ag y mae pwysigrwydd yn eu barn, ond cymeriad da. Ni ddylai dim ein rhwystro i ffurfio cyfeillgarwch a'n cyd-ddynion ond diffyg cymeriad. Mae llawer o gwestiynau wedi eu gofyn gan y Cymry ag y teimlwn eu bod yn hen bryd eu taflu o'r neilldu am eu gwell, megys yn

1. *Pa beth ydyw ei amgylchiadau?* Os dygwydda'r dyn fod o amgylchiadau isel, er i'w gymeriad fod yn rhagorol, fe'i ystyrir gan rai yn anghymwys fel cyfaill. Dylid cofio nad yw cyfoeth yn un fantais, na thylodi yn un rhwystr i feddu cymeriad; mae rhinwedd yn llysieuyn sydd yn tyfu yn mhob hinsawdd, gwna arogli mor ber ar aelwyd lom y bwthyn diaddurn, ag yn mhalas gorwych y pendefig urddasol. Nid wrth ei amgylchiadau y dylid barnu dyn: mae sylwadaeth yn ein dysgu fod llawer llogell lawn yn hongian dan ben gwag yn y byd hwn, a byrddau bras gan berchenogion calonau diras, felly cymeriad ac nid amgylchiadau ddylai fod ein safon i farnu ein gilydd.

2. *Pa beth ydyw cymeriad y teulu?* Mae y *family connections* wedi bod yn dramgwydd i lawer cyn hyn. Mae yn bosibl i gamgymeriadau pwysig gael eu gwneyd wrth gysylltu dyn â'i deulu, oblegid ceir degau o engreifftiau mewn Ysgrythyr a hanesiaeth, fod rhieni wedi magu plant hollol wahanol iddynt eu hunain. Rhai prydiau ceir y rhieni goreu yn dwyn i fyny y plant gwaethaf, megys Hezekiah dduwiol a'i fab Manasseh waedlyd, &c. Brydiau eraill y rhieni gwaethaf, megys Jeroboam ac Abia; Amon a Josiah, &c. Diau fod y darllenydd yn gyfarwydd â'r gwahaniaeth mawr sydd rhwng y cymeriadau uchod, ac y gwel ar unwaith y fath gamgymeriad dybryd fyddai barnu y plant wrth eu rhieni.

3. *Pa beth ydyw cymeriad y lle y dygwyd ef i fyny.* Mae hwn eto ysywaith wedi bod yn ofyniad gan laweroedd, fel pe na byddai yn bosibl i gymeriad gwych ddyfod o le gwael. Mae yn gysur i'r darllenydd fod y Beibl wrth law i gyfeirio ato, lle y gwelwn fod y

cymeriadau goreu wedi bod yn trigianu yn y lleoedd gwaethaf, megys Noah yn y cynfyd; Lot yn Sodom; a Iesu yn Nazareth.

Gwelwn oddiwrth hyn nad yw dyn i gael ei farnu wrth ei amgylchiadau, ei gysylltiadau, na'i ardal, ond y dylai sefyll neu syrthio yn ol ei gymeriad personol.

Ar ol yr awgrymiadau gocheliadol uchod, awn yn mlaen i sylwi fel y canlyn:

I. FOD CYMERIAD DYN YN EIDDO PERSONOL IDDO EI HUN.—Mae pob dyn yn tori llwybr iddo ei hun, ac yn ffurfio ei hun gymeriad nad oes neb arall yn gyfrifol am dano. Bu adeg pan oedd eraill yn gyfrifol; mae rhieni yn gyfrifol am y ddysgeidiaeth a roddant i'w plant tra dan eu gofal, iddynt hwy yn gyntaf oll y perthyn y gorchymyn, "Hyfforddia blentyn yn mhen ei ffordd." Hefyd y mae swydd athraw yr Ysgol Sabbothol yn wir bwysig, gelwir arno i roddi cyfeiriad priodol i feddyliau y rhai bach, a gwasgu arnynt y pwysigrwydd o arfer bywyd rhinweddol. Ond unwaith y delo dyn yn alluog i wahaniaethu rhwng da a drwg, y mae y cyfrifoldeb yn syrthio oddi ar ysgwyddau eraill arno ei hun. Sylwn yn

1. *Nad yw yn ngallu neb i roddi cymeriad i'w gyd-ddyn.* Na chamsynier ni. Nid ydym yn dyweyd na cheir esiampl, neu batrwn o gymeriad gogoneddus mewn eraill; na, trwy drugaredd mae miloedd yn y byd heddyw ag sydd yn werth i ni sylwi arnynt a'u hefelychu. "Ystyr y perffaith, edrych ar yr uniawn, canys diwedd y gwr hwnw fydd tangnefedd." Ond dyweyd yr ydym nad ydyw cymeriad yn perthyn i'r dosbarth hwnw y gellir ei drosglwyddo o law i law; gwyddom fod rhai pethau felly. Mae tai, tiroedd, a meddianau, yn gyfryw y gall rhieni eu trosglwyddo i'w plant; ond nid yw yn eu gallu i roddi eu cymeriad iddynt; na, rhaid iddynt gario hwn gyda hwy i'r byd dyfodol, i sefyll neu syrthio yn ol ei nodwedd. Mae cymeriad o ba natur bynag y byddo, yn greadigaeth o wneuthuriad dyn ei hun, ac yn gyfryw nad all fodoli yn annibynol ar ei berchenog. Yr oll a wnaeth yr Arglwydd Iesu Grist i ni yn ei fywyd oedd, rhoddi esiampl i ni fel y dilynem ei ol ef; *drosom* ni y bu farw, ond er ein *mwyn* ni y bu byw; gwnaeth yr hyn nad allem ni ei wneuthur wrth farw, ond yn ei fywyd pur, a'i gymeriad dihalog, rhaid i ni ei efelychu, neu yn ol y dyfyniad uchod, "dilyn ei ol." "Gan edrych ar Iesu, Pen Tywysog a pherffeithydd ein ffydd ni."

2. *Nid yw yn ngallu neb i amddifadu dyn o'i gymeriad.* Mae yn deimlad calonog i'r dyn sydd wedi llafurio'n egniol, mewn amser ac allan o amser, i adeiladu cymeriad rhagorol, nad oes neb yn y greadigaeth fedr ei ddwyn oddi arno. Mae yn bosibl iddo gyfarfod â llawer o siomedigaethau chwerwon cyn terfynu ei yrfa ddaearol; gall cyfoeth gilio, gall cyfeillion gefnu, ac iechyd ballu, &c., ond yn nghanol yr holl helyntion, fe erys cymeriad yn gyfaill ffyddlon, nid yn unig hyd y diwedd, ond trwy y diwedd i'r dechreu diddiwedd sydd yn ymagor y tu arall i angau. Dyma'r unig drysor a ganiata Duw i ddyn ddwyn gydag ef i fyd yr ysbrydoedd.

II. EI FOD O'R PWYS MWYAF I BERCHENOG CYMERIAD DA I GYMERYD GOFAL MAWR O HONO.—Syniad dymunol ydyw y ffaith fod cymeriad da yn gyrhaeddadwy i bawb; i gyfeiriadau penodol y mae cyfoeth yn ehedeg, ychydig mewn cymhariaeth yw y nifer sydd yn meddu manteision addysg aruchel, gyda rhyw rai y mae talent ac athrylith yn cartrefu, ond am gymeriad, geilw gyda'r tylawd fel y cyfoethog, cura wrth ddrws yr anllythyrenog, yn gystal a'r cadeirdraw duwinyddol; a chan fod cymeriad yn gyrhaeddadwy i bawb, o bob gradd a sefyllfa, mae pawb uwchlaw esgusodion.

Ond er fod cymeriad da yn gyrhaeddadwy i bawb, ac yn gyfryw nad all neb ein hamddifadu o hono, eto, ni fyddai ond gwaith hawdd iawn i ni amddifadu ein hunain o hono. Byddai yn bosibl i un weithred annoeth wneyd blynyddoedd o lafur caled yn ofer; mae i'r llong fyned i'r gwaelod yn ymyl y porthladd, yn gwneyd yr holl fordaith

yn ddiwerth. Mae un cam cyfeiliornus yn ddigon i ddyn syrthio dros erchwyn y graig i'r dyfnder islaw. Gwelsom barseli rai gweithiau yn stations y rheilffyrdd, a'r frawddeg *with great care* yn ysgrifenedig arnynt; casglem ar unwaith eu bod yn cynwys nwyddau hawdd iawn i'w tori, ond anhawdd iawn i'w cywiro. Dylai pob dyn sydd yn meddu cymeriad dysglaer, ysgrifenu *with great care* mewn llythyrenau breision ar ei fywyd. Cyngor y gwirionedd i'r sawl sydd yn sefyll yw, "gwylied." Gwylio beunydd, yn ddyfal ac ar bob llaw—gwylied yr hwn sydd yn sefyll na syrthio. Ni byddai ond yr ansicrwydd mwyaf am y dyfodol pe torid bwlch yn y cymeriad. Meddylier am long wedi angori yn nghanol yr ystorm; mae ei sefydlogrwydd a'i dioglewch yn dibynu ar afael yr angor, a nerth y gadwyn sydd yn ei gysylltu a'r llestr; pe dygwyddai i un *link* dori, byddai yr holl gadwyn yn ddiwerth, a'r llong yn rhydd i drugaredd yr elfenau. Mae cymeriad dysglaer a diamheuol yn gwneyd ei berchenog yn sefydlog a dianwadal yn nghanol ystormydd ac helyntion bywyd; os daw cyfyngderau a thylodi, mor ddedwydd y teimlad na bu ef yn offeryn i'w hachosi; ond pe dygwyddai i un ddolen dori, pwy a wyr beth fyddai y canlyniadau?

Os nad ymdrechir ffurfio cymeriad da, bydd amcan bywyd yn cael ei golli. Dylem gofio wrth fyned trwy y byd, fod i fywyd ei amcan mawr a goruchel, a bod hwnw yn dibynu ar y defnydd a wneir o'r manteision a roddir. Pa beth yw amser, gwybodaeth, doniau, a chyfleusderau? Onid rhoddion hael Bendithiwr mawr ein bodolaeth ydynt oll?

Cofier mai i'w defnyddio y rhoddwyd hwynt, ac nid i'w camddefnyddio. Onid yw yn resyn fod cynifer yn treulio eu hoes yn y byd i ffurfio iddynt eu hunain gymeriad y bydd arnynt gywilydd ei arddel yn y dydd mawr a ddaw? Penderfyned holl ddarllenwyr y WAWR osod pob gallu a feddant dan dreth i adeiladu cymeriad ag y bydd yn dda iddynt wrtho yn nydd y *trial.*

## "Y BEDYDD CRISTIONOGOL."

*Adolygiad ar Lyfr Ioan Einon, Aquaville.*

GAN H. C. PARRY (CEFNI).

### LLYTHYR II.

Mae yn rhyfedd fod y Bedyddwyr yn fyw, fel plaid o Gristionogion, a phethau yn dygwydd bod mor anffodus bob amser, ac yn mhob lle, mewn cysylltiad â'u llwyddiant! Mae rhywbeth yn *rhy fawr*, neu rywbeth yn *rhy fychan*—gormodedd neu brinder dwfr i drochi, yn mhob lle a than bob amgylchiad—fel nad all y Bedyddwyr, druain, feddwl am freuddwydio y gallant gael na rheswm nac Ysgrythyr, gorchymyn nac esiampl, ffaith na ffug, dros eu harferiad anysgrythyrol a niweidiol o drochi y crediniol mewn dwfr, ar ei broffes o ffydd yn Nghrist!

Os eir i'r Iorddonen, mae Ioan yn methu trochi yn hono, oblegid dyfnder ei dwfr, a chyflymder ei rhediad! felly rhaid codi dwfr o honi mewn llestr, a *dropio* dwfr o hono ar benau y bobl ar lan yr Iorddonen! Os eir i Einon, mân ffrydiau sydd yno, heb fod yr un o'r ffrydiau yn ddigon dwfn i drochi ynddi! Felly yn lle trochi yn y dyfroedd lawer, *dropio* ar benau y bobl o ddwfr-lestri yr anifeiliaid, a raid fod yno! Os eir i Jerusalem, at Petr, ar ddydd y Pentecost, i edrych am drochi, nid oes digon o ddwfr yno, yn un man, i drochi un dyn, heb son am y miloedd dychweledigion!! Dyna reswm mawr ein hawdwr yn y lle nesaf.

*Rheswm X.*—Bod prinder dwfr yn Jerusalem i drochi y tair mil, yn yr un prydnawn byr, yn profi mai eu taenellu a gawsant!.

Beth pe gofynem i'n hawdwr, beth yw ei brawf fod tair mil wedi eu bedyddio o gwbl, heb son am yr un prydnawn byr? Ni ddywed yr hanes y fath beth. Dywed yr hanes mai y rhai a dderbyniasant ei air ef yn ewyllysgar a fedyddiwyd; ond ni ddywed beth oedd rhifedi y rhai hyny. Gallasent fod yn chwe' mil, neu yn dri chant, o ran dim a ddywed yr hanes. Dywed fod "tair

mil wedi eu hychwanegu atynt" y dwthwn hwnw; ond nid eu bedyddio. Ychwanegu at pwy? At y bedyddiedigion, a ddywed yr hanes; ac nid cael eu bedyddio y dwthwn hwnw. Bedyddiwyd rhyw gynifer yr adeg hono, a ffurfiwyd eglwys o'r bedyddiedigion hyny, gan yr apostolion, fel y dysgir oddiwrth y geiriau, " A llawer o ymadroddion eraill y tystiolaethodd ac y cyngorodd efe, gan ddywedyd, Ymgedwch rhag y genedlaeth drofaus hon." At yr eglwys newydd hon yr ychwanegwyd yn nghylch tair mil o eneidiau y dwthwn hwnw. Gallasai y rhan fwyaf o'r bobl hyn fod wedi eu bedyddio gan Ioan, a chan yr apostolion, yn yspaid gweinidogaeth gyhoeddus yr Arglwydd Iesu Grist; ond eu bod yn awr yn ymuno â'r eglwys ar ei chorpholiad yn Jerusalem. Wedi hyn, ac nid cyn hyn, y sonir gyntaf am eglwys; oblegid yn awr yr ydoedd yn cael ei chorpholi. Gofynwn i'n hawdwr am ei brawf mai "un prydnawn byr" a ddeallir wrth "y dwthwn hwnw." Yr un gair gwreiddiol—*hemera*—sydd am y dwthwn hwnw, ag sydd am "y dyddiau hyny," yn y chweched benod a'r adnod gyntaf, yn Actau; ac y mae y gair *hemera* yn golygu adeg, cyfnod, yspaid amser. Golyga "y dwthwn hwnw" fwy na phrydnawn byr; sef yr adeg hono ag yr oedd yr eglwys yn cael ei ffurfio. Gallai gymeryd i mewn amryw ddyddiau olynol, o ran dim a ellir gasglu oddiwrth yr hanes, neu yr iaith, oblegid yn "y dwthwn hwnw" "yr oeddynt yn parhau yn nghymdeithas yr apostolion;" yr apostolion yn cyflawni arwyddion; a'r Cristionogion yn gwerthu ac yn rhanu eu meddianau. "Y dwthwn hwnw" ag y chwanegwyd y tair mil at y bedyddiedigion, ydoedd yr adeg byth. Gallesid trochi mwy na thair mil "y dwthwn hwnw."

A all ein hawdwr brofi prinder dwfr yn Jerusalem ar yr adeg dan sylw? Yr oedd defodau yr Iuddewon yn galw am gyflawnder o ddwfr i'w cyflawni, gan eu bod yn cael eu gwneyd i fyny o olchiadau, yn gyffredin. Yr oedd gan bob teulu le i faddio yn perthyn iddo. Yr oedd lleoedd cyfleus i faddio wedi eu trefnu ar gyfer dyeithriaid, gan yr awdurdodau. Ar wyl fawr fel y Sulgwyn, yr oedd cyflawnder o ddwfr wedi ei ddarparu yn y baddonau teuluaidd a chyhoeddus. Rhaid oedd ei gael i gyflawni y defodau golchiadol. Nid oedd neb a wrthodai gyfleusder i fedyddio "y dwthwn hwnw," pan oedd yr apostolion yn "cael ffafr gan yr holl bobl." Digon o ddwfr! Oedd. Pa le yr oedd llyn Bethesda, a'i bum' porth? Pa le yr oedd llyn Siloam eang? Pa le yr oedd Cedron, yr afon gyflym? Pa le yr oedd Siloah, a'i dyfroedd araf?

"It is proper to add, that the pools so numerous and large, which encircled Jerusalem—as both those still in use, and the remains of others testify at the present day—afforded ample means for the administration of the rite. The habits of the East, as every traveler knows, would present no obstacle to such use of the public reservoirs."—*Hackett on Acts 2: 41.*

Yr oedd digon o ddwfr i drochi tair miliwn, yn Jerusalem, yr amser hwnw.

A all Ioan Einon brofi fod y gwaith o fedyddio yn cael ei gyfyngu yn unig i'r un-ar-ddeg? Gallwn brofi nad oedd, oddiwrth engreifftiau lawer. Ni ddywedir mai yr apostolion a'u bedyddiodd. Gallai eraill eu bedyddio dan arolygiaeth yr apostolion. A chaniatau bod yno dair mil i'w bedyddio, yr oedd yno o gylch pum' can' brodyr at y gwaith! Beth oedd tair mil i'w bedyddio rhwng cynifer? Dim ond chwech enaid yr un! Ai dyweyd y mae Ioan Einon na allasai un dyn fedyddio trwy drochiad chwech o ddynion mewn un prydnawn byr!! Yn wir, byddai yn well i Ioan Einon beidio son yn oes oesoedd am wrthddadl y prinder dwfr, y prinder amser, a'r prinder gweinyddwyr yn Jerusalem, rhag codi cywilydd ar y taenellwyr!

"So far as water is concerned, the pools and public watering places of Jerusalem were amply sufficient to have baptized all its inhabitants (Jerusalem's) in a short time."—*Pengilly on Baptism.*

Beth a ddywed yr Ysbryd Glan ar

yr achos? Nid *erhantisthesan*—a daenellwyd—ond *ebaptisthesan*—"a wnaed yn drochedig." Credaf air Ysbryd Duw, ynte, pe buasai yn rhaid bod y dwfr wedi ei gario bob dyferyn o afon yr Iorddonen i Jerusalem, i drochi y bobl.

*Rheswm XI.*—Bod y dybiaeth o newid dillad, yr hyn oedd yn rhesymol, wedi eu gwlychu, yn y fath le a'r anialwch, mewn awyr agored, yn ngwydd y tyrfaoedd, o bob ystlen; neu yn Sychar; neu ynte ar heolydd Jerusalem, yn fath olwg mor arswydus, fel y prawf mai taenellu oedd Ioan a'r apostolion, yn ngweinyddiad bedydd! Yma cymer ein hawdwr yn ganiataol, mai lle hollol anghyfanedd oedd diffaethwch Judea, "heb na thy na thwlc" (chwedl pobl Sir Fon), a bod pobl Jerusalem a Sychar yn rhy angharedig i adael i'r *Baptists* newid eu dillad yn eu tai; ac o ganlyniad bod yn rhaid iddynt newid eu dillad yn nghanol yr heolydd, ac yn nghanol y diffaethwch agored! I goroni y cwbl, mae ein hawdwr yn tynu darlun o'r olygfa ryfedd hon—un a sypyn dillad sych dan ei gesail yn dod i'r bedydd; un arall yn tynu am dano yn noeth yn ngwydd yr holl dyrfaoedd, ac yn newid ei ddillad; un arall yn cychwyn adref a baich o ddillad gwlybion dan ei gesail—ac yn gwerthu y pictiwr anwyl yna i lanciau a merched ieuainc Ysgol Sul Aquaville!! Pan bydd Ioan Einon yn sefyll yn y pwlpud i bregethu ar y testyn sanctaidd hwnw i gynulleidfa barchus Aquaville, dyna edrych arno fydd y llanciau ieuainc *respectable;* a dyna gochi a chywilyddio fydd boneddigesau *modest* Aquaville, pan y bydd ef yn darlunio y dyrfa fawr o wyr a gwragedd, meibion a merched yn blith draphlith drwy eu gilydd, yn noethion a haner noethion, yn newid eu dillad ar lan yr Iorddonen, a heolydd Sychar a Jerusalem!! Dyna hwyl anwyl fydd wrth draddodi ei bregeth felus ar y geiriau, "Heb ddal ar chwedlau Iuddewig, a gorchymynion dynion, yn troi oddiwrth y gwirionedd. Pur yn ddiau yw pob peth i'r rhai pur; eithr i'r rhai halogedig a'r diffudd nid pur dim; eithr halogedig yw hyd yn nod eu meddyliau a'u cydwybod hwy."—Titus 1: 14, 15.

Dyna esboniad profiadol fydd Ioan Einon yn allu roddi ar y geiriau sanctaidd uchod, i dyrfa o *modest young ladies* Aquaville!!!

Cofiwch am y pictiwr, ferched ieuainc Aquaville, bob tro ag y bydd eich gweinidog *modest* yn codi i fyny i bregethu "*pethau pur*" yn eich clyw; oblegid bydd hyny yn gymorth mawr i gael "arddeliad" ar ei weinidogaeth!

Ond a gadael cnawdolrwydd syniad, halogrwydd teimlad, ac anmhuredd cydwybod Ioan Einon, y mae tri pheth yn eglur ddigon i'w gweled yn y rheswm mawr hwn o'i eiddo:

1. *Anghysondeb gwrthun y taenellwyr.*—Dywed amddiffynwyr taenelliad, mai yr achos bod Ioan yn myned i'r Iorddonen ac Einon i fedyddio, oedd, nid oblegid fod yno ddigon o ddwfr i drochi, ond o herwydd fod yno ddigon o ddwfr i anifeiliaid y bobl! Oedd yn bosibl fod y bobl yn cario sypynau dillad dan eu ceseiliau, a hwythau yn marchogaeth ar anifeiliaid ac mewn cerbydau? Pa le y mae y cysondeb, Ioan Einon? Chwiliwch ef allan; nis gallaf ei weled.

2. *Anwybodaeth Ioan Einon.*—Tybia ef mai lle heb bobl yn byw ynddo, na thai i gyfaneddu ynddynt, oedd diffaethwch Judea; ac felly nad oedd lle i'r bobl newid eu dillad! Camsyniad mawr yw hyn.

"John came preaching in the wilderness of Judea." "The term *wilderness*, or *desert*, as used in the Scriptures, by no means generally denotes a dry or barren spot. David sings of the 'beauty of the desert.'—Ps. 65: 12, 13. The wilderness of Judea extended from Jericho to the mountains of Edom, south of the Dead Sea; of necessity embracing a considerable portion of the course of the Jordan, which river constituted John's principal baptistery."—*Hinton's Hist. of Baptism*, p. 51.

Eto: "Scarcely any town in the Holy Land was without its *wilderness*, or common lands for pasture and timber."—*Hinton's Hist.*, p. 51.

Drachefn: "The word *wilderness* did not signify in Judea an uninhabited country, but woody, grazing lands, in distinction from arable fields, which were champaign or open, and vineyards, orchards and gardens, which were inclosed. There were in the time of Joshua six cities, with their villages, in this wilderness, and the inhabitants of those parts were graziers and sheep-masters."—*Robinson's Hist. Bapt.*, p. 9.

Ni wyddai Mr. Einon mai yr un peth a'r hyn a elwir *common* yn yr Hen Wlad, oedd diffaethwch yn y Tir Sanctaidd! Yr oedd coedydd, tai a threfydd, yn niffaethwch Judea; oblegid dywedir fod pobl yn dyfod o'r holl wlad oddi amgylch yr Iorddonen at Ioan i'w bedyddio ganddo. Yr oedd Engedi, Bethaglah, Gilgal, a Jericho, yn agos i'r Iorddonen, ac yr oedd y pentrefi a berthynent i'r dinasoedd mawrion hyny yn cyrhaedd glan yr Iorddonen, a diffaethwch Judea! Yr oedd yno ddigon o le i newid, a digon o groesaw, heb i'r bobl orfod "newid yn yr awyr agored!" Yr oedd yno hefyd dwyni coed cysgodfawr, yn nghysgod y rhai y gallesid newid dillad yn anrhydeddus, pe na buasai tai yn agos. Gwelsom beth cyffelyb yn cymeryd lle yn Nghymru ar amgylchiadau o *excursions* a *pic-nics*, mewn lleoedd yn agos i'r môr neu lynoedd, lle gallesid ymdrochi; pryd y byddai pleidiau yn tori allan i ymdrochi, ac yn newid eu dillad mewn lleoedd cyfleus yn y goedwig gerllaw, heb i'r ddwy ystlen ymgymysgu. Beth a ddywed Mr. Einon am Judith yn ymdrochi yn ffynon Bethulia, wrth wersyll Olephernes, ar liw nos? Yn ol y gwreiddiol, darllenir Judith 12: 7, fel hyn: "Felly hi a arosodd yn y gwersyll dri diwrnod; a'r hwyr hi a âi allan, ac a ymdrochai mewn ffynon, yn y gwersyll, yr hwn oedd yn nyffryn Bethulia."—*Ripley's Translation.*

Yr oedd y gwersyll yn nyffryn Bethulia—pabell Olephernes yn nghanol y gwersyll—y ffynon gerllaw ei babell—Judith yn ymdrochi yn y ffynon liw nos! Pe buasai yr hanes yn dyweyd bod Ioan Fedyddiwr yn bedyddio mewn ffynon, yn y gwersyll, gerllaw pabell tywysog y llu, buasai Ioan Einon yn sicr o brofi mai taenellu ydoedd! Ond gŵyr Mr. Einon mai ofer dyweyd bod Judith yn taenellu ei hun wrth y ffynon, pryd y gŵyr pawb mai trwy drochi yr oedd defodau glanhaol yr Iuddewon yn cael eu cyflawni. Nid yw yr hanesydd yn myned at fanylion yr amgylchiad yn achos Judith, trwy ddangos beth oedd yn cysgodi y ffynon, ac yn cuddio Judith o olwg y milwyr, pan yn ymdrochi yn y gwersyll; mwy nag y mae yr hanesydd sanctaidd yn myned at fanylion yr amgylchiad yn achos bedydd Ioan; trwy ddangos pa fodd yr oedd y bobl yn newid dillad; pa un ai mewn tai, ai yn nghysgod llwyni y coed, ai ynte y naill ffordd a'r llall. Digon i ni gael y ffaith yn syml, "Ac efe a'u gwnaeth yn drochedig yn afon yr Iorddonen."

3. *Rhagfarn y taenellwyr yn erbyn y trochwyr.* — Ni fyn Ioan Einon fod trochiadau yn ddefodau arferol a beunyddiol yn mhlith yr Iuddewon. Yr oeddynt yn ddigon cyfarwydd â'r gwaith, ac yn deall y gorchwyl yn dda. Nid oblegid eu hanwybodaeth yn nghylch y trochiadau Iuddewig, eithr oblegid newydd-deb bedydd fel ordinhad grefyddol, yr anfonent at Ioan i ofyn iddo, "Paham yr wyt ti yn bedyddio?" Yr oedd yr Iuddewon yn trochi yr holl gorph bob dydd; ac weithiau yn aml yn y dydd; megys ar ol dychwelyd o'r farchnad, neu wedi cyffwrdd â rhywbeth aflan. Daw Mr. Einon gyda ni at y Testament Groeg, a thrown i Marc 7: 1—8; ac yno gwel y gair "golchi eu dwylaw," adn. 3, yn *nipsontai*—golchi trwy rwtio y naill law wleb yn y llall. Yn adn. 4 darllenir, "A phan ddelont o'r farchnad, oni bydd iddynt *ymolchi*, ni fwytânt." Nid *nipsontai* yw y gair Groeg yna, eithr *baptizontai*—trochent. Hefyd yn Luc 11: 38, y darllenir, "A'r Pharisead pan welodd, a ryfeddodd nad *ymolchasai* efe yn gyntaf o flaen ciniaw." Gwel Mr. Einon mai *ebaptisthe*—ymdrochasai—yw y gair yn y lle yna. Mae Mr. Einon yn gweled mai *nipto* yw golchi

rhan o'r corph, trwy gymwyso dwfr ato â llaw; ond mai *baptizo* yw trochi yr holl gorph trwy ei suddo dan y dwfr. A gwel yn mhellach, bod yr Iuddewon yn golchi yr holl gorph, trwy ei suddo dan y dwfr, bob dydd; ac ar amgylchiadau neillduol, wedi bod yn y farchnad, neu gyffwrdd â pheth aflan, yn aml yn yr un diwrnod! Gwnai yr Iuddewon hyn mewn ufudd-dod i draddodiadau y tadau; ond y mae yn ormod gan Ioan Einon wneyd hyny unwaith mewn oes, ar orchymyn Mab Duw! Yr oedd trochi, yn medydd Ioan, yn beth hollol naturiol gan yr Iuddewon; pryd y buasai taenellu yn beth chwithig ac annaturiol iddynt, a hwythau yn arfer trochi mor fynych. Gwell gan Ioan Einon, a phob taenellwr arall, gau ei lygad rhag gweled arferion yr Iuddewon, neu eu gwadu yn hollol, nag addef yr arferion hyny yn bodoli; gan fod y ffaith o'u bodolaeth yn dwyn y prawf mwyaf diymwad o drochi yn medydd Ioan, ac yn medydd yr apostolion. Yn wir, y mae rhagfarn y taenellwyr yn fawr!

*Rheswm XII.*—Bod bedyddio Lydia a'i theulu, yn y fan, ar lan yr afon, ger dinas Philippi, yn profi mai eu taenellu a gawsant!

Mae camsyniad pwysig yn y rheswm hwn. Nid brawdoliaeth Gristionogol, yn credu, oedd yn ymgynull i weddio at lan yr afon, eithr o Iuddewon a phroselytiaid. Nid un o'r newydd yn credu, yn ychwanegol at gredinwyr eraill yno, oedd Lydia; eithr hi oedd y gyntaf i gredu. Nid yw yr hanes yn dyweyd mai yn y fan, heb un rhagbarotoad, y bedyddiwyd hi; ond mai wedi iddi gredu. Ni fedyddiwyd hi fynyd cyn credu; ond pa faint o amser wedi iddi gredu, y bedyddiwyd hi, ni ddywedir. Cafodd ddigon o amser i "wneyd pobpeth yn weddus ac mewn trefn." Nid oes gair o son ei bod hi a'i theulu wedi eu bedyddio ar yr un pryd, neu ar unwaith. Os bedyddiwyd Lydia ar yr un pryd a'i theulu, rhaid nad yn y fan, ar y mynyd y credodd, y bedyddiwyd hi; oblegid nid oedd ei theulu yn y cwrdd y boreu hwnw! Felly yr oedd yn rhaid iddi aros nes y credai ei theulu. Cafodd ddigon o amser i barotoi erbyn y bedydd tra yr oedd Paul yn dychwelyd y teulu! Os na fedyddiwyd hi ar yr un pryd a'i theulu, ond iddi gael ei bedyddio o'u blaen hwynt, nid yw hyny yn croesi dim ar feddwl yr hanes. Dangos ei bod hi a'i theulu wedi eu bedyddio, pan y credasant, yw amcan yr hanes, ac nid egluro trefn yr amser y bedyddiwyd hwynt. Gallasai peth amser fod rhwng bedydd Lydia a bedydd ei theulu, oblegid bu yr apostol a'i gyfaill yn aros yn y ddinas rai dyddiau. Nid ei thaenellu a gafodd hi; ac nid eu taenellu gafodd y teulu chwaith, oblegid pe taenellu fuasai yn bod, gallesid gwneyd hyny yn y ty; ond bedyddiwyd hi a'i theulu allan, yn agos i ddrws ei thy, fel y dengys yr hanes: "Deuwch i *mewn* i'm ty, ac aroswch yno," ebe hi wrthynt, wedi y'u bedyddiwyd hi a'i theulu. Gwel Mr. Einon bod Lydia a'i theulu yn ddigon agos i'w thy i newid dillad, fel nad oedd eisiau "cario sypyn o ddillad gwlybion dan ei chesail" ar y Sul! Nid oedd eisiau i'r wraig foneddig rodio yn ei dillad gwlybion i'r ddinas ychwaith, gan mai yn ei baddon ei hun wrth ei thy, neu mewn cysylltiad ag ef, y trochwyd hi, yn ol pob tebyg. "Sâl arw" yw y rheswm yna o eiddo ein hawdwr; a phrin yw yn werth treulio amser i sylwi arno.

*Rheswm XIII.*—Bod bedydd yr Ysbryd Glan, yr hwn a roddwyd i'r apostolion ar ddydd y Pentecost, yn null ei roddiad, yn "*rhuthro*," ac "*eistedd*," a "thywallt;" felly yn rhy annhebyg i drochi, i neb allu tybio nad taenellu ydoedd!

"*Rhuthro*"—*eistedd*"—"*tywallt*"—*yn daenellu!!* Wragedd ieuainc Aquaville, gochelwch fyned a'ch babanod bychain, diniwaid, at y rhuthwr hwn, i'w *rhuthro* ganddo! Gochelwch rhag iddo "*eistedd*" arnynt!! Gochelwch iddo eu "*tywallt*" i rywle annymunol! Dyma fedydd Aquaville: "Yr wyf yn dy "*ruthro*" yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan?"—"Yr wyf yn dy "*eistedd*" di yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan!"—"Yr wyf yn dy '*dywallt*' di yn enw y Tad, a'r Mab,

a'r Ysbryd Glan!!" Nid rhyfedd bod y babanod dini'waid yn ysgrechain mor arswydus yn mreichiau y *Rhuthrwr!* Pa le mae y *chaos* yn awr, tybed? Taenellu, yn wir! Pa le mae gorlliw o hono yma? Gwynt nerthol yn rhuthro yn daenelliad! Llenwi y ty lle yr oeddynt gan swn, yn daenelliad!! Llenwi yr apostolion â'r Ysbryd Glan, yn daenelliad!! Os rhuthrodd y gwynt nes llenwi yr holl dy lle yr oedd yr apostolion yn eistedd, onid oeddynt yn drochedig ynddo, fel yr ydym yn yr awyr a'n hamgychyna? Pa le mae taenelliad yno? Ai taenellu yr apostolion a wnaed â'r Ysbryd Glan, nes y llanwyd hwy ag ef? Pa le mae synwyr cyffredin Ioan Einon?

Mae penderfynu dull gweinyddiad bedydd dwfr, oddiwrth y ffugyr a ddefnyddir i osod allan weithrediadau dwyfol, yn gwneyd Ysbryd Duw yn sylwedd materol. A yw Ioan Einon yn dal *material God?* Os oedd tywallt, taenellu, neu drochi, gwirioneddol, yn yr amgylchiad, rhaid mai sylwedd *materol* yw Duw! Ond y gwirionedd yw, nid oedd yno y fath beth. Nid oedd yno wynt nerthol yn rhuthro; ond rhywbeth "*megys* gwynt nerthol yn rhuthro." Nid oedd yno dafodau tân, ond rhywbeth *megys* tafodau gwahanedig o dân." Ffugyrol oedd y cyfan. Yr oedd dull dyfodiad yr Ysbryd Glan yn beth hollol wahanol oddiwrth fedydd yr Ysbryd Glan. Nid yw y dull o gael dwfr i'r fedyddfan, yr un peth a'r bedyddio. Gellir cario dwfr iddi o afon, llyn, neu ffynon, mewn llestri, nes cael digon o ddwfr i drochi; ond a ydyw hyny yn fedyddio? Onid gorchuddiad y trochedig yn y dwfr hwnw, a ystyrir yn fedydd? Nid yw o un gwahaniaeth pa un ai suddo dyn i'r dwfr, ai gollwng dwfr i'w orchuddio, ai ynte llenwi y llestr neu y lle y byddo y dyn ynddo â dwfr, nes ei orchuddio, yn yr achos, oblegid nid yw y dull y ceir dwfr i orchuddio y dyn yn un rhan o'i fedydd; ond y dull o'i osod ef yn y dwfr, fel y gorchuddid ef, yw y bedydd. Y bedydd yw y *gorchuddiad.* Pa fodd bynag y daeth yr Ysbryd Glan, nid oedd hyny yn un rhan o'i fedydd; ond y meddiant hollol a gymerth y Dylanwad Dwyfol o'r apostolion, nes eu dwyn yn berffaith dan ei lywodraeth, fel y mae y trochedig dan ddylanwad llywodraeth yr elfen y trochir ef ynddi, ar adeg ei drochiad, oedd bedydd yr Ysbryd Glan. Nid yr un peth oedd derbyniad a dyfodiad *nerth* yr Ysbryd Glan, a'r nerth ei hun. Y nerth mawr hwnw a dderbyniodd yr apostolion, wedi ei ddyfod arnynt, nes gorchuddio pob gwendid a diffyg o'r eiddynt, gan gyflawnder gallu ysbrydol, oedd bedydd yr Ysbryd Glan; ac nid y *rhuthro*, yr *eistedd*, na'r *tywallt*, arnynt. Ar gyfrif y tebygolrwydd rhwng llywodraeth berffaith yr Ysbryd ar natur ysbrydol dyn, a llywódraeth yr elfen ar natur ddefnyddiol y bedyddiedig yn ei drochiad, y gelwir effeithiau y dylanwad Dwyfol yn fedydd yn yr Ysgrythyrau. Nid ar gyfrif dim arall. Onid oes rhyw *chaos* o dywyllwch yn toi meddyliau y taenellwyr, pan yn ceisio gwneyd rhuthro yn daenellu; a gwneyd y ddau yn fedydd y Testament Newydd!!

## DAFYDD EVANS, FFYNONHENRY.

Pregethai ar yr "Iachawdwriaeth gymaint"—

Gymaint a pheth (ebai)? Gymaint a'r angen, gymaint a phwy bynag a ddel, gymaint a thrueni mawr y byd: Dacw Noah yn gwneyd arch, yn gwneyd y cwbl yn ol y cynllun. Pwy *size* yw'r drws i fod nhad? ebe Sem. Edrych ar y *plan,* ebe Noah. 'Rwy wedi edrych ar y *plan,* ebe Sem, ond 'dyw e ddim ar lawr. Dim ar lawr yn y *plan?* ebe yr hen wr yn syn. Nag yw'n wir, ebe Sem, on'te edrychwch chi. Wel, 'dyw e ddim yma chwaith, ebe Noah, beth wnawn ni? Ond, ebai yn mhen tipyn, mi ddyweda i beth wnawn ni. Cer lawr i'r anialwch, a myn wel'd yr *elephant,* a *marka* fe yn myn'd rhwng dwy goeden, ac edrych yn fanwl fan y bydd yn taro, a mesur ei uchder a'i led, a dim ond i ni gael y drws yn ddigon faint iddo fe fyned i mewn, fe â pob creadur i mewn yn ddigon rhwydd ar ei ol. Dyna gwneiff

hi yn wir, nhad, *noble*. Japheth, dere gyda fi, ebe Sem, a ffwrdd â hwy; ac yn mhen tipyn dyma nhw yn dychwelyd. A welsoch chwi'r *elephant*? Do. Mesurasoch chi e? Do, ond fe welsom ni hen greadur lawer uwch na'r *elephant*, nhad. Yr oedd ei ben fry'n rhywle uwchlaw yr *elephant*. O mae'n rhaid i'r gwr boneddig hyny blygu ei ben, ebe Noah. Mae'n debyg mae'r *camel-leopard* neu'r *giraffe* oedd y plant wedi wel'd. "Iachawdwriaeth gymaint," gymaint a'r pechadur penaf. Mae'r drws yn ddigon uchel a llydan. Mae'r hen *elephantiaid* mwyaf wedi myn'd mewn iddi. Dyna hen *elephantiaid* mawrion oedd Saul yr erlidiwr a Manasseh waedlyd. Maent wedi myn'd mewn. Dyna hen *elephantiaid* oedd y Corinthiaid duon, a dyna hen *elephantes* fawr oedd Mair Magdalen; a dyma hen *elephant* o bechadur o'ch blaen chwi. Ond y mae genyf gryn hyder ei fod yn yr arch. Mae pyrth iechydwriaeth yn ddigon uchel a llydan. Iẽ, beth wneir i'r *giraffes* Phariseaidd a phen-uchel yna? â nhw byth i mewn. O, y mae'n rhaid iddi nhw blygu'u penau, neu fod maes. Nid yw'r drws wedi ei wneyd iddi nhw fyn'd mewn â'u penau fyny fel yna; fe â *elephant* o bechadur i mewn, ond nid â *giraffe* o Pharisead heb blygu ei ben; oddieithr eich gwneyd fel dyn bach, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd. Mae'r creaduriaid yn dod i'r arch yn ol eu rhyw ac yn hollol heddychol. O! dyco nw'n dod, dyco ddwy neidr fawr yn *trillio* tua'r arch fel dwy olwyn *cart*. Nhad, nhad (ebe Sem), dyma'r nadroedd yn dod, mae nhw'n siwr o'n brathu a'n lladd ni 'nawr. Nac ydynt, y mhlant i (ebe Noah), gellwch chwareu â'u colynau; *race* bywyd yw hon; ddim ond dod mewn mae nhw'n geisio. Dacw ddwy folwaden yn llusgo i mewn a dau gastell mawr ar eu cefnau, mae nhwy wedi dechreu yn foreu ar eu taith; a hithau'r hen wadd sydd yn chwilio am dipyn o bridd i guddio. Dyma'r hen lew yn dod wirione', a'r hen gadno yn mhen tipyn, drot, drot; ac ar eu hol dyma'r wydd yn dod, o ochr i ochr. Duw helpo'r wydd, ebe un o'r plant, &c., &c. Ac wedi i'r holl greaduriaid ddyfod i mewn, dyma Noah yn cau y drws, ond gyda'i fod yn ei gau, fe glywai swn adenydd yn *ffusto* o un cornel i'r llall i'r drws. Holo! (ebe Noah), pwy sy yna? Fi sy yma, ebe'r dryw bach. B'le buaist ti cy'd, ebe Noah. O (ebe'r dryw), yr own i yr un pryd â'r curyll ar lan yr Iorddonen, ond fe ddiflases i dipyn er mwyn iddo fe fyned yn mlaen, dyna swt buais i cy'd. O, fyddai raid i ti byth ei ofni, ebe Noah, dere mewn, dere mewn. Cer yn mlaen i ochr yr hen fachgen i'r fan yna. A dyna lle'r o'n nhw yn yr arch, yn un teulu mawr a heddychol; y llew a'r oen, cadno a'r wydd, y dryw bach a'r curyll ochr yn ochr. Felly y deuant i arch yr iachawdwriaeth o bob man—o'r dwyrain ac o'r gorllewin, o'r gogledd ac o'r deheu; camelod Midian a defaid Cedar, a hyrddod Nebaioth, a theirw Basan, ac unicorniaid Edom, yn un teulu gyda'u gilydd, heb i'r naill ddrygu'r llall. "Ni ddrygant, ac ni flinant yn holl fynydd fy santeiddrwydd."

"Dewch, dewch o fawr i fân,
Cyn delo'r diluw tân," &c.

Mor blentynaidd a *syml naturiol* y darluniai Iesu Grist yn clirio'r deml allan! Wedi gwneyd fflangell o fân reffynau (ebai), dacw'r Iesu mawr yn myn'd mewn i'r deml, er mwyn ei glanhau; a dyma fe fel un ag awdurdod ganddo yn dymchwelyd byrddau'r newidwyr arian yn bendramwnwgl; lawr a'r bordydd, a maes â'r arian; gyrai y da, yr ychain, a'r defaid o'i flaen; ond pan ddaeth yn mlaen at y *colomenod*, wedi ei daro a'u *diniweidrwydd*, &c., rhoddodd y fflangell tu ol i'w gefn, a dywedodd, "*Hwshw, hwshw, hwshw! Dygwch y rhai hyn oddiyma.*"

Pregethai dro arall ar adgyfodiad Crist:—

Yr oeddwn yn myn'd trwy bentref yn Sir Gaer (ebai), ar ddiwrnod ffair, a gwelwn ddau ddyn mewn *scuffle* galed. Yr oedd un wedi towli'r llall i lawr, ac yn treio ei gadw yno; ond gwaeddai y gwr oedd yn ucha, Wb! wb! nerth ei geg; ac wrth fyned heibio, gofynais,

Beth yw'r gwaeddi sy' arnat ti a thithau yn ucha'? gad i'r un isaf waeddi. O, (ebai), ei glywed yn dod fyny wdw i; mae e'n dod fyny. Boreu'r trydydd dydd fe glywid angau yn gwaeddi, Wb! wb! nes fod holl diriogaethau marwolaeth yn diaspedain, Beth sy' arnat ti, angau, beth sy' arnat ti? O, dod fyny mae e, dod fyny mae e ar fy ngwaetha i.

## YR ENETH DDALL.

I.

Mae llawer un yn cofio
  Yr eneth fechan ddall;
Ni welodd neb un fach mor fwyn,
  Mor brydferth, ac mor gall:
Fe gerddodd am flynyddau
  I ysgol Dewi Sant,
Ar hyd y ffordd, o gam i gam,
  Yn nwylaw rhai o'r plant.

II.

'R oedd gofal pawb am dani,
  A phawb yn hoffi'r gwaith
O helpu'r eneth fach yn mlaen
  Trwy holl drofeydd y daith:
Siaradai'r plant am gaeau,
  A llwybrau ger y lli',
Ac am y blodau tan eu traed,—
  Ond plentyn dall oedd hi!

III.

Fe glywai felus fiwsig
  Yr adar yn y dail;
Fe deimlai ar ei gwyneb bach
  Belydrau serch yr haul;
Aroglai flodau'r ddaear;
  Ond nis adwaenai'r fun
Mo wên yr haul, a mwy na'r oll,
  Mo wên ei mam ei hun!

IV.

Mae'r plentyn wedi marw!—
  Ar wely angeu prudd
Fe wenodd ar ei mam, gan dd'weyd,
  "Mi welaf doriad dydd!"
Ehedodd mewn goleuni,
  Oddi wrth ei phoen a'i phall,
A gweled golygfeydd y nef
  Y mae yr *Eneth Ddall!*

## HALLTRWYDD Y MOR.

GAN Y PARCH. D. OLIVER EDWARDS.

A llefaru yn briodol, nid oes ond un môr i'w gael—un llen fawr o ddyfroedd, yr hon a estyna yn ddifwlch i bob parth o'r byd; eto gelwir ef ar wahanol enwau mewn gwahanol barthau o'r byd, megys Môr y Gogledd, Môr y Canoldir, Môr y Werydd, y Môr Tawelog, Môr y Dê, a Môr yr India. I'r môr mae holl ffynonau, cornentydd, ac afonydd y byd yn rhedeg. "Yr haul hefyd a gyfyd, a'r haul a fachlud, ac a brysura i'w le lle mae yn codi. Yr holl afonydd a redant i'r môr, eto nid yw y môr yn llawn; or lle y daeth yr afonydd, yno y dychwelant eilwaith." Yn y modd hyn y llefarodd y doethaf o'r Iuddewon. Mae yn syndod meddwl nad yw y cyflenwadau mawrion hyn yn ychwanegu dim at gynwysiad y môr, canys nid yw yn codi pan redant iddo, nac yn gostwng pan y maent yn peidio; y mae efe o hyd yn parhau yr un fath. Dywedir ei fod yn bump a phedwar ugain o filiynau o filldiroedd ysgwâr o faintioli, ac ar gyfartaledd yn chwarter milldir o ddyfnder. Rhoddai hyn, wrth gyfrif, un filiwn ar hugain o filldiroedd cubig o ddyfroedd; fel pe rhedai holl afonydd y byd i wely y môr, y cymerai iddynt wyth can' mlynedd, o leiaf, cyn y gallent ei lenwi i'w faintioli presenol. Yn y modd hyn, mawr ydyw y casgliad o ddyfroedd sydd wedi eu gwasgaru o amgylch ein daear; ac un o brif hynodrwydd yr eigion mawr ydyw ei *halltrwydd*. Y mae y pwnc hwn wedi trafferthu llawer ar gywreingarwch y prif naturiaethwyr yn holl oesau y byd. Dywedai Aristotle fod yr haul yn cyfodi tarthion halenaidd sych o'r ddaear, ac yn eu cyfleu yn y môr, ac mai hyn oedd yr achos o'i halltrwydd; ond erbyn heddyw, yr ydys wedi profi i berffaith foddlonrwydd nad ydyw yr haul yn codi tarthion halenaidd o'r ddaear, nac ychwaith yn eu cyfleu yn y môr. Y farn a goleddir yn awr, braidd yn ddieithriad, ydyw, fod halltrwydd y môr yn cyfodi, nid yn unig o'r creigiau halenaidd yn ei wael-

od, ond hefyd oddiwrth yr halen a doddir gan y gwlaw, yr afonydd, a dyfroedd eraill, ar eu hynt trwy amryw ranau o'r ddaear, ac a gludir ganddynt yn y diwedd i'r môr. Wedi i'r sylweddau halenaidd yma gael eu cludo i'r môr, y mae yn rhaid iddynt aros yno am byth; canys nid ydynt yn cael eu codi trwy darthiad, i ddychwelyd i'r lle y daethant o hono. Y mae yn ffaith hysbys i bawb nad oes ond dyfroedd croew yn cael eu tarthu o'r môr; mae yr holl halltrwydd yn cael ei adael ar ol ynddo. Y mae yn canlyn oddiwrth hyn fod dyfroeddd y môr yn myned yn barhaus yn halltach; ac y mae rhai athronwyr wedi myned mor bell a dweyd ei bod yn berffaith bosibl i ddweyd oedran y ddaear oddiwrth halltrwydd dyfroedd yr eigion. Dywed Dr. Halley, "Os sylwir pa swm o halen a gynwysir yn awr mewn swm penodol o ddwfr, wedi ei gymeryd, er engraifft, o fôr y Caspia, ac yn mhen canrifoedd, pa faint mwy o halen sydd yn yr un swm o ddwfr wedi ei gymeryd o'r un lle, gallwn gasglu mai yn ol y cyfartaledd mae ei halltrwydd wedi cynyddu mewn amser neillduol, mai felly yr oedd yn rhaid ei fod yn cynyddu yn yr amser hwnw: ac yn y modd hyn gallem trwy ddeddf cyfartaliad, gyfrif yr holl amser a gymerasai y dwfr i gyrhaedd y gradd o halltrwydd y byddai y pryd hwnw yn feddianol arno."

Y mae yr halltrwydd sydd yn y môr yn un cyffredinol—ar y gwyneb yn gystal ag ar y gwaelod. Y mae y llynoedd mawrion nad oes iddynt gymundeb â'r cefnfor yn heilltion yr un modd, ond nid i'r un graddau. Yn wrthwyneb i hyn, y mae yr holl lynoedd hyny trwy ba rai y mae afonydd yn rhedeg i'r môr, yn agos a bod yn groew; canys nid yw yr afonydd yn cyfleu eu halenau yn ngwely y llyn, ond cludant hwy yn eu cyfer i lawr i'r eigion. Gellir ystyried llynoedd Ontario a'r Erie, yn Ngogledd America, yn foroedd o ran eu maintioli, eto mae eu dyfroedd yn groewon, ac y maent yn cael eu cadw felly gan yr afon fawr St. Lawrence, yr hon sydd yn rhedeg drwy eu canol. Ond am yr holl lynoedd eraill, lle nad oes afonydd yn rhedeg o honynt, er iddynt fod yn llai na'r ddwy hyn a enwasom, y maent bob amser yn hallt. Dyna'r Môr Marw, er engraifft, er nad yw ond bychan mewn cymhariaeth i lawer llyn, eto y mae yn hynod hallt, fel yr ymddengys mai prin y gall ei ddyfroedd gynwys mwy o halltrwydd. Dyna wed'yn lyn Mexico a llyn Titicaca yn Peru, yn heilltion iawn, am y rheswm nad oes afonydd yn rhedeg drwyddynt.

Y mae llawer iawn wedi meddwl fod halltrwydd y môr yn brif achos o gadwraeth ei ddyfroedd rhag llygru; ond cawn ddangos fod y dyb hon yn hollol gyfeiliornus. Barna rhai fod y sylweddau hyny a gynwysant ei halltrwydd yn tueddu yn hytrach i hyrwyddo ei ymlygriad yn hytrach nag i'w atal. Syr Robert Hawkins, un o'r morwyr mwyaf goleuedig, a rydd y desgrifiad canlynol o dawelwch yn y môr, yr hwn wedi iddo barhau am amser heb ddim ysgogiad, a wisgai yr ymddangosiad mwyaf brawychus: "Oni buasai fod y môr," ebai efe, "yn cael ei ysgogi gan rym gwynt, llanw, a llifiadau, efe a lygrai yr holl fyd. Y prawf o hyn a welais yn y flwyddyn 1590, tra yr oeddwn gyda'r llynges am chwe' mis o'r bron, yn agos i ynysoedd yr Azores. Am y rhan fwyaf o'r amser hwn yr oeddem mewn tawelwch mawr. Yma y gwelem rywbeth ar lun seirph, aspiaid, a nadroedd o'r fath ryfeddaf, rhai yn wyrdd, rhai yn felyn, rhai yn wyn, a rhai o bob lliw. Yr oedd rhai o honynt yn fyw, ac yr oedd rhai o honynt yn llathen a haner neu ddwy lath o hyd; ni allaswn byth gredu y fath olygfa oni buasai i mi ei gweled. O hyn y mae yr holl ddynion a berthynent i'r llongau yn y lle ar y pryd yn dystion; prin y gallaswn dynu celyrnaid o ddwfr heb ei fod yn llawn o anmhuredd. Tua diwedd y fordaith hon cymerwyd amryw ddwylaw o bob llong yn glaf, ac yr oeddynt yn marw yn gyflym, ond darfu i'r hynt brysur a gawsom yn ol i'n gwlad ein hunain, brofi yn effeithiol i wellhau y rhai oeddynt glaf, ac i ragflaenu yr afiechyd yn y lleill."

Oddiwrth hyn yna gwelir nad ydyw

halltrwydd y môr yn gwasanaethu ond ychydig iawn i'w gadw rhag llygru. Y mae i'r môr ei lifiadau fel yr afonydd, y rhai sydd yn gyru ei gynwysiad i droi o amgylch y ddaear, a'r rhai hyn yn ddiau ydyw y prif achosion sydd yn ei gadw yn bur ac yn iachus. Cawn i un o'r enw Boyle gymeryd swm o ddwfr hallt o'r môr, a'i gau i fyny mewn baril, ac yn mhen ychydig wythnosau yr oedd yn drewi. Gwelwn, ynte, mai *ysgogiad* y môr, ac nid ei halltrwydd, sydd yn ei gadw yn ei gyflwr iachus presenol. Y mae llawer o ddyfeision wedi cael eu harfer i droi dwfr hallt yn ddwfr croew, er diwallu morwyr pan ar deithiau hirion, neu ynte pan fyddo eu cyflenwad arferol wedi darfod. Ar y cyntaf tybiwyd y buasai ei ddistyllio yn llawn digon, ond canfyddwyd yn fuan fod ei chwerwedd yn glynu wrtho er hyny. Nis gwyddom ond am un ddyfais, a gafwyd allan yn ddiweddar, drwy ba un y gall morwyr gael peth ymwared pan wedi myned i lwyr brinder. Y mae yn ffaith wybyddus fod dyn a elo i faddon (*bath*) cynes, yn dyfod allan yn gymaint yn drymach nag yr aeth i mewn, a hyny am fod ei gorph wedi yfed swm cyfatebol o ddwfr. Dygwydda hyn yn fwyaf neillduol os bydd heb yfed am gryn amser yn flaenorol, neu os bydd arno syched mawr pan yn myned i mewn, canys efe a deimla fod hwn ar unwaith yn cael ei dori, a'i ysbryd mewn canlyniad yn cael ei adfywio. Tybiwyd y gallesid gwneyd baddon cynes i'r morwr o ddwfr hallt ar y môr pan fyddai dwfr croew wedi llwyr ballu, ac y buasai yn gallu yfed yr hylif trwy ei chwysdyllau gan adael yr halenau ar ol, y rhai a ellid weled fel y byddai efe yn sychu yn debyg i risial ar wyneb ei groen. Yn y modd hwn yr ydys yn tybied y gellir diogelu digon o leithder i gynal bywyd nes y gellir mewn amser, neu trwy ryw ddygwyddiad, gael cyflenwad mwy cyfaddas.

Y mae halltrwydd y môr, pa fodd bynag, yn ateb rhai dybenion rhagorol iawn. O'i ddyfroedd ef, trwy darthiad, yr ydym yn cael yr halen a ddefnyddir genym at ein gwasanaeth teuluaidd; ac er ei fod mewn rhai manau yn cael ei godi o'r mwngloddiau, eto y mae y rhan fwyaf o hono yn cael ei dynu o ddwfr y môr yn unig.

Mantais neillduol sydd yn cyfodi oddiwrth halltrwydd y môr, ydyw fod yr halen sydd ynddo yn ei gadw i raddau pell rhag rhewi. Y mae rhai naturiaethwyr wedi myned mor bell a dyweyd nad ydyw dwfr y môr byth yn rhewi, ond nid ydyw hyn yn hollol wir; pa fodd bynag, yr ydym yn sicr fod llawer mwy o oerni yn angenrheidiol i rewi dwfr hallt na dwfr croew; canys tra y gwelir y ffynonau, y cornentydd, yr afonydd, a'r llynoedd wedi eu cyfnewid i rew caled, y mae y môr, braidd bob amser, yn foriadwy; ac nid yw y gwynt gerwinaf, na'r gauaf mwyaf oer yn effeithio ond ychydig arno ef. Un o'r cymwynasau penaf, gan hyny, a weinyddir i ni gan yr elfen hon, ydyw ei bod yn cadw y môr bob amser yn agored i'n hangenrheidiau, ac yn ei wneyd yn ufudd i'n cais, pan y mae holl ystorfeydd natur ar y lan wedi eu cau oddiwrthym. Ond o'r tu arall, hysbys yw fod hyd yn nod y môr ei hunan yn rhewi mewn hinsoddau oerion. Mae mynyddoedd a phlygion nofiedig o rew yn nghymydogaeth y pegynau, sydd yn gwneyd yr eigion yn annhramwyadwy. Wrth edrych ar y môr yn y parthau hyn, edrycha fel gwlad yn cael ei haddurno gan fryniau, dyffrynoedd, tai, eglwysi, tyrau, a phinaclau. Y mae dadl fawr rhwng naturiaethwyr yn nghylch y golygfeydd mawreddog hyn; haera un dosbarth eu bod yn cael eu ffurfio o ddwfr croew yn unig, yr hwn, trwy rewi yn agos i eneuau afonydd mawrion, sydd yn cynull y creigiau anferthol hyny at eu gilydd, a roddant atalfa ar forwriaeth. Ond dylid cofio fod dau fath o rew yn nofio yn y moroedd hyn, y gwastad a'r dyrchafedig; y gwastad wedi ei wneyd o ddwfr hallt yn unig, a'r dyrchafedig wedi ei ffurfio o ddwfr croew. Y rhew hwnw a orwedd yn wastad ar wyneb y dyfroedd sydd wedi ei wneyd o ddwfr hallt, ac a wahaniaethir yn ddigon hawdd oddiwrth y llall, gan ei fod mor wyn, ac heb fod agos mor dryloew. Y mae hwn yn llawer mwy peryglus i'r

morwr na'r un sydd yn ymgodi yn fynyddoedd. Gall llongau ochelyd yr olaf, a chadw allan o'i ffordd; ond y maent yn dyfod yn hollol ddiarwybod i ganol y llall, yr hwn sydd yn fuan yn cau oddi amgylch iddynt gyda y fath nerth, nes eu malu yn chwilfriw. Y mae y rhew dyrchafedig wedi ei ffurfio, gan amlaf, o ddwfr croew, ac yn ymddangos yn galed, ac yn hynod ddysglaer. Dywedir mai ei liw cyffredin ydyw gwyrdd-oleu, er fod rhai darnau o hono o liw asur prydferth. Y mae creigiau mawrion o hono hefyd o liw llwyd, a rhai eraill yn ddu. Wrth archwilio y rhai hyn, canfyddir ynddynt bridd, ceryg, a darnau o greigiau wedi eu golchi oddiwrth y glanau. Dywedir y gwelir nythod adar yn fynych ar y rhai hyn, ac adar ynddynt, a hyny ganoedd o filldiroedd oddiwrth dir. Y mynyddoedd rhewllyd yma a welir fynychaf yn y gwanwyn ar ol ystormydd mawrion. Cânt eu dryllio yn chwilfriw gan erwindeb a nerth y tonau, neu ynte cânt eu gyru gan y llifiadau i hinsoddau mwy cynes, lle y toddant ymaith yn llwyr. Ambell i waith, pa fodd bynag, cânt eu gyru yn ol i'w glenydd cynhenid, lle y glynant wrth draed rhai o'r mynyddoedd; ac fel y dywed Martius, ymgodant ambell i waith yn uwch na'r mynyddoedd eu hunain.

Effaith arall a gynyrchir gan halltrwydd y môr, ydyw ymddangosiad tanllyd ei donau yn y nos. Nid oes neb sydd wedi gweled y môr yn y nos, pan fyddai wedi ei gythryblu ychydig gan wynt, nad yw wedi sylwi ar yr ymddangosiad tanllyd hwn. Ambell i waith ymddysgleiria mor bell ag y gall llygad weled, ond ar brydiau eraill nis gellir ei weled, ond pan y bydd y tonau yn ymguro yn erbyn ystlysau y llong, neu pan fyddo y rhwyfau yn cael eu gwthio i'r dwfr. Bydd rhai moroedd yn ymddysgleirio yn unig pan fyddo y gwynt o gyfeiriad neillduol, ac eraill a ymddysgleiriant o fewn rhyw un cylch terfynol. Gwelir un parth hir o oleuni ambell i waith yn ymestyn gyda'r wyneb, pan y byddo pob man arall wedi ei wisgo â thywyllwch. Mae yn anhawdd iawn cyfrif am yr ymddangosiadau rhyfedd hyn. Nid yw ein cynydd mewn adnabyddiaeth o natur ond graddol iawn. Tybia rhai mai nifer o bryfaid tanllyd a effeithiant y golygfeydd hyn; ac ar ambell i amgylchiad, digon tebyg mai hyn ydyw y gwir achos; ond yn y cyffredin, y maent yn dwyn pob tebygolrwydd i'r goleuni a effeithir gan drydan, ac y mae yn dra thebyg eu bod yn cyfodi oddiwrth ymguriad gronynau halenaidd yr hylif yn erbyn eu gilydd. Y mae y gwelediad tanllyd hwn yn y môr yn cael ei ystyried yn gyffredin gan forwyr yn rhagarwydd o dywydd gwyntog. Dygwydda, gan amlaf, yn yr haf a'r hydref.

Y Creawdwr mawr a doeth a osododd y weilgi laith i orwedd ar wastad ei chefn, ac a'i llywodraetha fel y gwel yn dda. Edrycha y pagan anwybodus ar y môr fel duwdod wedi digio, a thala iddo warogaeth ei ymostyngiad. Darlunia Job ef "fel brenin ar holl feibion balchder, na faidd neb ddyfod ato â'i ffrwyn dauddyblyg." Ond ymdawela y Cristion wrth feddwl fod gan Luniwr yr haul, a Llywodraethwr yr elfenau, berffaith awdurdod ar ei donau cynhyrfus; a chan nad beth ydyw'r halltrwydd berthyna i'w ddyfroedd, Duw a'i gosododd ynddo.

---

## NA DDYWED ANWIREDD.

GAN J. M. (MAURITIUS), HYDE PARK.

[Aralleiriad.]

Ychydig amser yn ol, ar agerlong perthynol i Loegr, pedwar diwrnod allan o Lerpwl, deuwyd o hyd i fachgenyn bychan, yr hwn oedd yn llechu tu ol i'r llonglwyth. Nid oedd ganddo dad na mam, brawd na chwaer, cyfaill nac amddiffynydd yn mhlith y teithwyr na'r morwyr. Pwy ydoedd? O ba le y daeth? I ba le ydoedd yn myned? Dim ond naw mlwydd oed; y dyeithryn bach tlawd, gyda dillad bratiog, ond gwyneb hardd, yn llawn diniweidrwydd a gwirionedd. Wrth gwrs, dygwyd ef o flaen y prif swyddog.

"Ffordd y daethost i ddwyn mordaith ar fwrdd y llestr hon?" gofynai y swyddog yn sarug.

yma," atebai y bachgenyn; "dywedai wrthyf nad allasai fy nghynorthwyo, na thalu fy nghludiad i Halifax, lle y mae i mi fodryb. Yr wyf am fyned at fy modryb, os gwelwch yn dda, Syr."

Ni chredai y swyddog ei stori. Nid dyma y tro cyntaf yr oedd wedi clywed chwedlau o'r fath hyn. Y mae braidd bob llestr sydd yn croesi y Werydd yn dyfod ar draws dygwyddiadau o'r fath, y rhai, yn fynych, sydd yn drafferthus a chostfawr. Drwgdybiai y swyddog fod gan rai o'r morwyr law yn niangfa y bachgenyn, ac ymddygai yn bur arw tuag ato. Dydd ar ol dydd holai ef yn nghylch ei ddyfodiad, ond derbyniai bob tro yr un atebiad—dim mwy, dim llai. O'r diwedd, collodd y swyddog ei amynedd, a chydiodd yn ngholer côt yr un bach, gan ddywedyd wrtho, os na fyddai iddo gyfaddef y gwirionedd, mewn deg mynyd, byddai iddo ei grogi wrth gorn yr hwyl-lath—bygythiad ofnadwy yn wir.

Blentyn tlawd, heb neb i'w amddiffyn! O'i amgylch yr oedd y teithwyr a'r morwyr, ac o'i flaen y prif swyddog, gydag oriawr yn ei law yn cyfrif ticiadau y mynydau, y rhai oedd yn cyflym ddirwyn i ben. Dyma lle safai y plentyn, yn welwlas a gwylofus, ei ben yn syth, a dagrau yn ei lygaid; ond yn ofnus? Na, *dim*.

Yr oedd wyth mynyd wedi myned eisioes.

"Dim ond dau fynyd eto i fyw," gwaeddai y swyddog; "siarad y gwirionedd ac achub dy fywyd, blentyn."

"O, Syr!" meddai y bachgenyn, gan edrych yn syth i wyneb y swyddog calon galed, "Bydded i chwi roddi caniatad i mi offrymu *un* weddi i fy Nuw, a boddlawn byddaf i farw."

Amneidiodd y swyddog ei ben, ond ni ddywedodd air. Aeth y plentyn gwrol ar ei liniau, a gyda dwylaw cloëdfg tua'r nefoedd, aeth dros weddi yr Arglwydd, ac ar ol gorphen hon, gweddiodd ar i Iesu Grist ei gymeryd gartref i'r nefoedd. Gallasai farw; ond anwireddu—BYTH!

Yr oedd pob llygad yn syllu arno, ruddiau y morwyr.

Nis gallasai y prif sw allan yn hwy. Neidiodd yn, a dywedodd wrtho ei ei stori—pob gair o honi. teimladwy ar fwrdd llong erioed o'r blaen. Bachge digyfaill yn foddlawn gw er mwyn y gwirionedd.

Gallasai farw; ond anwi Duw a'i bendithio. Y rh daith yr oedd iddo gyfei O'r blaen, ni arddelid ef g awr, yr oedd pawb yn ei a barod i wneuthur iddo u wynas; a phob un a ddyg llen hwn, gobeithio y byd iad y bachgenyn gwrol h nerthu i wneyd yr hyn sydd a ddel.

---

## GWRAIG WRTH EIN

"A glywsoch chwi Mar gweinidog bach ni ar "Do, do, Sarah fach, mi gly gobeithio y ca' wraig o'r r modd bynag." "Gobeith hefyd Mary, a gwn y dylai ei fel y canlyn:—Yn ddynes i achwyn un amser ar boen y na bod yn *subject* i'r *neuralgia* Dylai fod yn ddynes wrol *sanguine temperament*, ac nid —fel y gallo hi fod yn ddi Dylai beidio byth achwyn flin, a pheidio cwyno am ein meindio ei busnes hi. Dyla amser yn llawen, heb fod un drist. Dylai fod mewn pol aeth ar y blaen i bawb aral ioldeb yn ddiamheuol. Dyla gartref yn dda, a bod a'r *stove*, yn barod am gwpa *English breakfast*, i bob ch yn galw. Dylai ofalu am w o'r cleifion trwy y gymydoga alu bod â rhyw beth yn ei lla y rhai fyddo yn dysgwyl ca ofalu cadw hosanau y gwr y gwneuthur ei grysau newyd tân, a gofalu am ei fwyd y

Rhaid fydd iddi dderbyn holl gathau y gymydogaeth i'w ffetan, a pheidio byth ollwng yr un allan, ys dywed Telynog, "Daeth y gath o'r cwdyn." Na, na. Byddwn yn dysgwyl iddi fod yn ysgrifenydd y *Band of Hope*. Dysgwyliwn iddi fod fel Abigail gynt, ac fel Dorcas, yn gyflawn. Rhaid fydd iddi fod yn foddlawn i bawb a phobpeth—yn byw ar ei huchelfanau. Yn haelionus i bawb, heb ddysgwyl dim gan neb—ac os bydd iddi gael anrheg gan ffrynd, rhodded i'r rhai angenus. Os bydd i'n gweinidog gael gwraig o'r nodwedd yna, prioded—os nad, arosed heb briodi. CHRISTOPHER BACH.

---

## THEODOSIA ERNEST;

### NEU, WRONES Y FFYDD.

---

### RHAN II.

"A ydych chwi yn meddwl, fy mab, y byddwch chwi yn alluog i wybod cymaint yn ei gylch a'ch ewythr Jones, neu Dr. Fisher, yr hwn a'ch bedyddiodd chwi, neu Dr. Barnes, nodiadau yr hwn a ddefnyddiwch i ddysgu eich gwers yn yr Ysgol Sabbothol, a holl weinidogion duwiol a dysgedig ein henwad ni, a rhai y Methodistiaid a'r Episcopaliaid? Y maent hwy wedi myfyrio y Testament trwyddo a thrwyddo, ac maent oll yn cyduno fod plentyn a daenellwyd wedi ei fedyddio yn iawn."

"Ië, fy mam, ond os oedd y bedyddiadau yn y Testament Newydd yn daenellu (ac wrth gwrs, yr oeddynt, neu ni unai y fath ddynion doeth a da i ddyweyd felly), paham na fedraf *fi ddyfod o hyd i hyny yno, yn gystal ag unrhyw un!*"

"O'r goreu, fy mab, gallwch ddarllen a gweled; ond os dygwydd i chwi ddyfod i benderfyniad gwahanol i'r dynion mawrion a dysgedig hyn, yr wyf yn gobeithio na fydd i chwi osod i fyny eich barn fachgenaidd chwi yn erbyn barn duwinyddion doethaf yr oes. Ond dyma eich chwaer yn dyfod. Ai tybed ei bod hi am ddod yn dduwinyddes hefyd?"

Daeth Theodosia i mewn gyda chamrau ysgeifn fel arferol, ond gydag agwedd foesgar ac arafaidd, heb braidd godi ei llygaid i gyfarfod a golygon ymofyngar ei mam, pasiodd trwodd i'w hystafell ei hunan, a chauodd y drws. Yr oedd y fam wedi ei tharaw gan ddifrifoldeb ei gwyneb a'i dull. Beth *allai* hyn dybio? Beth allasai fod wedi dygwydd i drallodi ei phlentyn?

"Edwin, fy mab, beth yw y mater ar eich chwaer?"

"Yn wir, fy mam, nid wyf yn gwybod am unrhyw beth. Yr oeddym yn sefyll i siarad ar lan yr afon, ac ychydig cyn i ni ymadael, daeth Mr. Percy i fyny i gerdded adref gyda hi. Rhaid ei fod yn rhywbeth a ddygwyddodd ar y ffordd."

Tawelwyd meddwl y fam. Yr oedd Mr. Percy wedi bod am fisoedd yn ymwelydd cyson a derbyniol â'u ty hardd, ac ni chadwasai yn ddirgel ei edmygedd o'i merch ddillynaidd a phrydferth; er na wnaethai erioed, cyn ychydig wythnosau yn flaenorol, yn hysbys ei gariad. Nid amheuodd Mrs. Ernest nad rhyw gweryl cariadon oedd wedi cyfodi i fyny tra yn cyd-gerdded, a bod hyn wedi taflu ei gysgod ar wyneb siriol Theodosia. Dysgwyliodd braidd yn ddiamynedd i'w merch ddyfod allan a chadarnhau ei thybiadau. Nid oedd yn dod, modd bynag, ac o'r diwedd, cyfododd y fam, ac agorodd gîl y drws yn ddystaw, ac edrychodd i mewn i'r ystafell. Yr oedd Theodosia ar ei gliniau. Ni chlywodd y drws yn agor, ac nid oedd yn ystyriol o bresenoldeb ei mam. Mewn brawddegau toredig ac isel, yn gymysgedig ag ocheneidiau, hi a weddiai, "O, Arglwydd, goleua fy meddwl, O, dysg i mi dy ffordd. Na ad i mi gyfeiliorni mewn deall dy air di, ac O, dyro i mi nerth, yr wyf yn erfyn arnat i wneuthur beth bynag a ganfyddaf i mi yn ddyledswydd. Ni fynwn gyfeiliorni. Cynorthwya! O, cynorthwya fi i fyned yn iawn!"

Yn frawychus ac wedi ei dyrysu, ciliodd Mrs. Ernest yn ol, ac a ddysgwyliodd yn grynedig am yr eglurhad ag yr oedd yn ei fawr ddymuno ei glywed. Pan o'r diwedd, daeth y ferch ieuanc

Gollyngwyd drwy weddi gan y brawd A. J. Morton.

*Cynadledd dau o'r gloch.*—Agorwyd y Cyfarfod hwn drwy ddarllen a gweddio gan y brawd James R. Price, Kingston.

Derbyniwyd mynegiad (*report*) y pwyllgor ar gynwysion llythyrau yr eglwysi at y Gymanfa.

*Deisebiad o Kingston.*—Mewn cyfarfod eglwysig a gynaliwyd nos Fercher, yr 8fed cyfisol:

Penderfynwyd "Ein bod yn cyflwyno i sylw Cynadledd y Gymanfa, y priodoldeb o ffurfio " Cymdeithas Gyhoeddiadol," fel y gallom gael llyfrau at wasanaeth ein Hysgolion Sabbothol, ac hefyd ambell gyfrol ar egwyddorion gwahaniaethol ein henwad."

Pen. " Ein bod yn galw sylw yr eglwysi at y mudiad uchod, gan ddysgwyl y rhoddant iddo yr ystyriaeth a deilynga o hyn i'r Gymanfa nesaf; pryd y dygir ef o flaen y Gynadledd.

*Summit Hill ac Ashton.*—Pen. "Fod eglwys Summit Hill ac Ashton, drwy eu cenadon i ddewis bob o ddau frawd yn bwyllgor, i ystyried yr anghydwelediad rhwng y brodyr yn y lleoedd soniedig, a bod hawl gan y pedwar dewisedig i ddewis y pumed brawd, a bod dyfarniad y pwyllgor yn derfynol.—J. H. Prichards, John J. Phillips, George Hopkins, Lewis Richards, James Evans, Wilkesbarre.

Gweithrediadau y pwyllgor uchod tra yn edrych i fewn i achos yr anghydwelediad rhwng y brodyr yn Summit Hill a Lansford :—

Pen. 1. Ein bod ni fel pwyllgor yn derbyn y copi o weithrediadau y cyfarfod a gynaliwyd gan eglwys Summit Hill, yn y flwyddyn 1871, parth cychwyn achos yn Ashton, a'n bod yn ngwyneb y tystiolaethau, yn eu hystyried yn yr un berthynas a phan ddechreuwyd yr achos yn Ashton. Ac nad oes hawl i ymranu hyd nes y cyrhaedda un o'r ddwy gynulleidfa gant o aelodau, a chael cydsyniad dwy ran o dair o'r holl eglwys i'r cyfryw ymraniad.

Pen. 2. Ein bod yn ystyried y *property* ar yr Hill ac yn Lansford, yn eiddo cyffredinol yr eglwys, ac fod gan y ddwy blaid hawl i'r elw deilliedig, ac hefyd cyd-ddwyn baich y ddyled sydd yn aros.

Pen. 3. Ein bod yn ystyried ymddygiad y brodyr ar yr Hill yn codi *charter*, yn annoeth, ac yn groes i arferiad yr enwad—y mwyafrif i lywodraethu. Fel y cyfryw, dylasent ymgynghori â'r brodyr yn y *Valley*.

Pen. 4. Ein bod yn taer anog y brodyr yn Lansford, ac ar yr Hill, er gogoniant Duw, a lles achos ein Gwaredwr mawr—i fyw egwyddorion y Testament Newydd—ac yn unol a'r penderfyniad mewn cyfarfod eglwysig, parth dysgyblaeth a threfn, yr oll yn ddarostyngedig i'r un rheolau, fel aelodau o'r un gymdeithas.

Pen. Ein bod yn mabwysiadu y mynegiad rhagflaenol, ac yn rhyddhau y pwyllgor.

Cais oddiwrth eglwys Soar, Minersville, am dderbyniad yn aelod o'r Gymanfa. Neillduwyd y brodyr canlynol yn bwyllgor er ystyried y priodoldeb o'i derbyniad :—J. H. Prichards, J. W. Roberts (*Callestr*), ac H. T. Jones, Audenried.

Gwnaeth y pwyllgor ei adroddiad, a chafodd ei ryddhau. Yna mabwysiadwyd a ganlyn :—

Pen. Ein bod yn barnu nad yw poblogaeth Gymreig Minersville yn galw am ddwy eglwys i'r Bedyddwyr Cymreig, ac anogwn eglwys Soar i fyned yn ol i'r hen eglwys, a bod eglwys Horeb i'w derbyn yn garedig ar gydnabyddiad o'u byrbwylldra yn ymadael. Yn mhellach—

Pen. Fod dau frawd yn y weinidogaeth i dalu ymweliad â'r eglwysi yn Minersville, ac i gynal moddion yn y ddwy eglwys er adferu heddwch, undeb a chydweithrediad rhwng brodyr yn Nghrist fel yr hyderwn.

Caniatawyd i gynrychiolwyr y ddwy eglwys i ddewis y brodyr tebycaf yn eu barn hwy i gyraedd yr amcan, yn ol eu dewisiad.

Pen. Fod y brodyr A. J. Morton a J. P. Harris, i ymgymeryd a'r gwaith, fel ymwelwyr o'r Gymanfa at y ddwy eglwys.

Cais y brawd Maurice Evans am gyd-

nabyddiaeth, fel pregethwr a gweinidog. Gan fod cyhuddiadau newyddion wedi eu dwyn yn mlaen yn erbyn Mr. Evans—

Pen. Nad ydym yn talu sylw pellach i'r mater yn y gynadledd hon.

Pen. Ein bod yn derbyn *report* y pwyllgor ar y "*Centennial Endowment Fund*," ac yn rhyddhau y pwyllgor.

Pen. Ein bod yn taer ddymuno ar yr eglwysi perthynol, i wneyd eu goreu o blaid y brif-athrofa yn Lewisburg, Pa.

*Y Gymdeithas Genadol Artrefol Gymreig.*—Pen. Fod yr un brodyr a swyddwyr i barhau yn bwyllgor y Genadaeth Artrefol Gymreig am y flwyddyn hon.

*Y Genadaeth Dramor.*—Penderfynwyd fod gweinidogion yr eglwysi i areithio ar y "*Genadaeth Dramor*," yn mhob cyfarfod gweddi cenadol (nos Lun cyntaf yn y mis), gan anog yr eglwysi i gyfranu yn ol eu gallu at yr achos teilwng hwn.

Pen. Fod y brawd Theophilus Jones, Wilkesbarre, i ysgrifenu yn fisol i'r adran genadol yn y WAWR, grybwylliadau byrion ar sefyllfa, gweithrediadau, a llwyddiant y gymdeithas, yn nghyd â llafur y cenadon.

*Urddiad i waith y Weinidogaeth.*—Penderfynwyd, Fod i bob eglwys sydd am ordeinio brawd yn fugail arni, ymgynghori â'r pedair eglwys agosaf ati, er ystyried y priodoldeb o urddo y brawd.

Gollyngwyd drwy weddi gan y brawd O. James.

Dydd Llun, am 8 o'r gloch, agorwyd y Gynadledd drwy weddi gan y brawd, O. Griffiths, Utica.

Y WAWR.—Pen. Fod cynwysiad ein Cyhoeddiad Misol, y WAWR, yn dderbyniol genym. Yr ydym yn credu ei fod yr hyn y mae ar yr eglwysi ei angen, ac yn cydymdeimlo a'r golygydd gweithgar yn yr argyfwng masnachol sydd wedi ein goddiweddyd; a bod y derbynwyr mor bell yn ol i dalu'r dosbarthwr, yr hyn sy'n gwneyd cyfrifoldeb ein brawd Griffiths yn bwysig. Anogwn yr eglwysi i gyd-ymdrech yn mhlaid ein misolyn cynyddol, er ategu'r anturiaeth, a chalonogi'r perchenog yn maes ei lafur, mewn gobaith y tyr gwawr masnach ar ein gwlad yn fuan eto.

*Pwyllgor Achwyniadol Schuylkill a Carbon.*—R. Edwards, Pottsville; J. H. Prichards, Ashland; John R. Jenkins, Minersville; Septua Jones, Eckley; a T. J. Snook, Upper Lehigh.

*Luzerne.*—D. S. Roberts, Hyde Park; H. P. Davies, Kingston; Samuel Davies, Parsons; D. M. Davies, Taylorville; ac Isaac Davies, Pittson.

Pen. Fod caniatad i'r eglwys yn Plymouth i gasglu drwy gylch y Gymanfa, yn cael ei estyn dros y flwyddyn hon.

Pen. Fod y Gymanfa nesaf i gael ei chynal gyda'r eglwys yn Plymouth.

Pen. Fod y brawd L. M. Roberts, Ashland, i ysgrifenu llythyr y Gymanfa, i'w ddarllen a'i fabwysiadu yn Plymouth, ac i'w gyhoeddi gyda'r ystadegau—a bod $5 i'w talu yn gydnabyddiaeth iddo am ei lafur.

Pen. Fod y brawd John R. Jones, Minersville, yn cael llythyr o ollyngdod i ymuno â Chymanfa Ohio.

Pen. Fod eglwys Parsons yn cael caniatad i gynal y cyfarfod tri-misol nesaf, yr amser i'w benderfynu gan yr eglwysi.

*Myfyrwyr gwyddfodol yn y Gymanfa.*—O. James, Crozier; Thos. L. Lewis, Lewisburg.

Pen. Ein bod yn gohirio i gyfarfod yn y Gymanfa nesaf yn Plymouth.

J. P. HARRIS, *Ysg.*

(*I'w barhau.*)

---

PITTSTON, PA.—*Cyfarfad Adroddiadol.*—Cynaliwyd gan ysgol y Bedyddwyr Awst 22ain; y Parch. H. C. Parry (Cefni) yn llywyddu, a Thomas Watkins yn arolygu yr adroddiadau. Yn gyntaf, galwyd ar gôr y plant i ganu, dan arweiniad y brawd W. R. Williams. Dechreu da. Yn dilyn cafwyd "God sees the little one," gan John Williams, a "Peter and the Baker," gan John Thomas; y ddau yn ddoniol iawn. "We won't give up the Bible," gan Jacob Williams, a *dialogue*, "Great Secret," gan Christiana Martin a Hannah ——; y naill a'r llall yn fedrus

iawn. "The Bells," gan Glee Party dan arweiniad Mrs. Simon Thomas, gyda'r organ; gwefreiddid y dorf. Nid yn aml y clywir gwell lleisiau; daliwch ati, fechgyn. "Boys let us stand firm," gan David Edmunds, yn rhagorol. "Our dear land," gan Alec Davies, yn dda iawn. "The Sabbath day," gan David Williams, a "Be joyful in God." Canmoladwy. *Dialogue*, "Mother is dead," gan Margaret Ann Paley, ac Ann Roberts, yn hynod dderbyniol. "Hear ye heavens," gan William R. Williams a'i barti. Rhoisant ddadganiad da. "Is it anybody's business," gan Maggie Thomas. Rhoddodd y fechan hon wers dda i bawb. "The drunkard's soliloquy," gan Charles Crowley; da. "Felly carodd Duw y byd," gan T. Owens, a "Home returning," gan G. Teroll a'i barti," yn ardderchog. "Discontent," gan Christiana Martin. Diangenrhaid dyweyd dim am yr adroddes fechan hon. Da, Christiana fach! Adroddiad ardderchog a gafwyd gan Miss Ann Bradley, ar "Y fam uwchben ei baban claf," a "The ransomed of the Lord," gan Williams a'i barti, a gyffyrddasent ein calon. *Dialogue*, "The fortune teller," gan Harriet Williams, Maggie Martin, ac Ann Roberts. Buddiol a dyddorol. "Y Beibl," gan John Williams, yn effeithiol iawn. Yna anrhegwyd Mr. Parry â Thestament Cymraeg a Saesonaeg, am ei ymdrech i ddysgu ei ddosbarth i ddarllen Cymraeg, a rhoddwyd y cyntaf yn y dosbarth i'w ddarllen, pryd y rhoddodd Mr. Parry ychydig gyngorion buddiol iddo. Mab ydyw i'r diweddar John S. Williams, un a flaenorai y canu, ac oedd anwyl iawn gan yr eglwys. *Dialogue*, "Great funeral," gan Rachel Edwards ac Alice Griffiths. Gwnaethant yn benigamp. "The Welsh Yankee," gan Mrs. Wm. S. Williams, yn hynod ddoniol. Trio, "Fair Flora Deck," gan Miss S. J. Hughes a'i pharti. Mae enw Miss Hughes fel cantores yn adnabyddus trwy y dyffryn. "Y tegan enbyd," gan D. Griffiths, yn ardderchog. *Dialogue*, "Applying for license," gan Davies a'i gwmni. Actiwyd y darn yn dda iawn. "Joy in heaven," gan gôr y plant. "Buwyd wrth borth Nain," gan Thomas Owens. Hwn oedd un o brif ddarnau y cwrdd; yr awdwr yw Cefni. *Dialogue*, "How not to get an answer," gan Miss Williams a Miss Martin; yn wir, doniol dros ben. Da mhlant i. "Beautiful river," gan Davies a'i barti. Teilwng. "Clefyd y Sabboth," gan Miss J. Williams, yn ddigrifol iawn. Llawer sydd yn dyoddef oddiwrth y clefyd poenus hwn. Diwygier! "Feed the flock of God," gan Mr. Williams a'i barti. Cymeradwyaeth. "Felly yn mlaen," gan D. Griffiths, yn wir ddoniol. "The Alphabet," gan Alice Griffiths. Aethum i syndod a boddhad wrth glywed un mor fechan yn adrodd mor dda. I ddiweddu canodd y Glee Party "Swiftly from the mountain brow," dan arweiniad Mrs. S. Thomas. Pawb yn cael eu boddhau. Dymunem gyflwyno diolchgarwch i Mrs. Thomas am ei *help*. Cafwyd un o'r cyrddau goreu a gafwyd yma o'r natur hwn er's amser maith. Cafwyd $22.40 o elw clir at lyfrgell yr Ysgol Sul. Llanwodd Mr. Parry y gadair lywyddol wrth fodd pawb.

JACOB W. EVANS.

---

*Y Wawr.*—Da genyf ddeall fod y WAWR yn derbyn cefnogaeth a chymeradwyaeth swyddogol y Bedyddwyr Cymreig yn America, fel y dengys gweithrediadau ein cymanfaoedd y flwyddyn hon. Pasiwyd penderfyniadau yn nghymanfaoedd Efrog Newydd, Ohio, a Wisconsin, yn amlygu eu dymuniad i gefnogi y WAWR, hyd eithaf eu gallu. Yn nghynadledd Cymanfa Pennsylvania, a gynaliwyd yn Ashland, yr oedd pawb yn unfrydol am gymell ffyddlondeb a chydweithrediad o blaid y WAWR, a dal breichiau y cyhoeddwr anturiaethus i fyny ar yr amser tywyll presenol. Ymddangosai y cenadon a'r gweinidogion oll fel yn barod i wneyd unrhyw aberth a allasent i amddiffyn ein cyhoeddiad a'n hegwyddorion; ond ofnwn fod rhai o honynt yn fwy parod i addunedu nag i dalu. Yn ystod dros bum'-mlynedd-ar-hugain y bum yn cyhoeddi y *Seren Orllewinol*

cefais lawer o addewidion ac anogaethau cyffelyb; ond ysywaeth trodd amryw allan yn siomedigaethus a diymddibyniaeth. Yr oedd y *Seren* ar y dechreu yn feddiant enwadol, ac yn ystod y blynyddau hyny nid oeddwn ond argraffydd iddi yn unig; ond wedi myned i rai canoedd o ddyled cymerais y cyfrifoldeb o'i chyhoeddi ar y dealldwriaeth fod yr hen ddyled i gael ei thalu, a dymunwyd yn daer am gael y cyfrifon i mewn mor fuan ag y gallesid; ond yn lle talu yr hyn oedd ddyledus, aeth llawer yn ddyfnach mewn dyled, a dengys fy llyfrau hyd heddyw fod colledion pwysig trwy y blynyddau dyfodol, a diau na ellir eu casglu gan mwyaf. Nid wyf yn gwybod am nemawr yn talu ond am eu rhifynau eu hunain, a llawer yn gwrthod gwneyd hyny. Yr wyf yn barnu fod y Parch. Wm. Owens, Pittsburgh, a'r Parch. Theophilus Jones, New York pryd hyny, wedi talu o u llogellau eu hunain am dderbynwyr anffyddlawn; ond yn gyffredin ni ystyriai y dosbarthwyr eu hunain yn gyfrifol ond am yr arian a dderbynient, ac nis gallaswn inau ofyn ganddynt golledu eu hunain ar ol eu holl drafferth a'u ffyddlondeb. Y mae y cyfrifon hyn erbyn hyn wedi myned yn rhy hen i adgofio y dosbarthwyr am danynt eto; ond os oes rhai o honynt yn gwybod pa fodd y gellir codi peth o honynt, byddent eto yn dra derbyniol, ar ol cyfarfod ag amryw golledion a siomedigaethau.

Ond gyda golwg ar y WAWR, os gall y cyhoeddwr enill cydweithrediad mwy egniol a chyffredinol na mi, bydd hyny yn fantais werthfawr iddo. Diau fod ei wybodaeth gyffredinol, ei dalentau mawrion, a'i ymroddiad cyson yn teilyngu parch a chefnogaeth ei frodyr yn America, a byddai yn resyn genyf ddeall ei fod yn golledwr oddiwrth yr anturiaeth. Gwir fod yr amser yn dra digalon, a llawer yn analluog i dalu, a garent gefnogi y cyhoeddiad, eto barnwn fod llawer yn alluog i wneyd i fyny y diffygion hyn gydag ychydig ymdrech. Onid oes rhai yn ein plith a fyddai yn foddlon talu am rai misoedd neu flwyddyn dros un neu ychwaneg a garent dderbyn y cyhoeddiad, ond ydynt yn rhy dlawd i dalu am dano. Bydded i'r dosbarthwyr a blaenoriaid ein heglwysi apelio atynt yn bersonol; ac os ydynt yn gwerthfawrogi ein hegwyddorion, diau y gwnai rhai o honynt gymaint a hyny o aberth. Ofnwyf fod llawer o Fedyddwyr Cymreig yn America yn barnu fod ein golygiadau mor ysgrythyrol a diamheuol, fel nad ydynt yn amcanu gwneyd unrhyw ymdrech i'w hamddiffyn, ond gadawant i'r gwirionedd weithio ei ffordd ei hun. Cofiwn, frodyr, nid felly yr ymddygai y merthyron a'r Puritaniaid. Safent dros egwyddorion hyd at waed; ystyrient mai anrhydedd iddynt wneyd aberth drostynt, ac yr oedd eu llogellau a'u calonau yn agored i gario allan y cynlluniau hyny a fabwysiedid er cario allan eu mesurau a gogoneddu Duw.

Hyderwyf y derbynir hyn yn garedig oddiwrth un sydd wedi bod flynyddau yn y tresi. Yr eiddoch yn gywir,

*Pottsville, Pa.* RICH. EDWARDS.

*Symudiad Gweinidog, &c.*—Mr. Gol.—Dymunwyf gongl fechan o'r WAWR, er hysbysu fy nghyfeillion o'm symudiad o Minersville, Pa., i Pomeroy, Ohio. Treuliais agos y ddwy flynedd ddiweddaf yn fugail ar Eglwys Fedyddiedig Gymreig (Horeb), Minersville, Pa., gyda graddau o foddhad crefyddol. Yn ystod ein harosiad yno, gwelodd yr Arglwydd yn dda alw rhai o "dywyllwch i oleuni, ac o feddiant Satan at Dduw." Ychwanegwyd at yr eglwys trwy fedydd, 23, ac adferwyd 11. Yn mhlith y rhai a fedyddiwyd, yr oedd dwy yn broselytiaid o'r Eglwys Babaidd, sef mam a'i merch. Ffrengaes (French), o genedl yw y fam, yn meddu ar dalentau cryfion, ac yn dra gwrteithiedig. Ei hiaith yn bresenol yw, "Lle yr oeddwn i yn ddall, yr wyf yn awr yn gweled." Ac ni phetrusem ddyweyd, fod hon yn athrawes o'r radd flaenaf yn yr Ysgol Sul, ac ystyriwyf ei bod hi yn gaffaeliad gwerthfawr i eglwys Horeb, a gobeithio y cydymdrechant i ddal y goleu efengylaidd i fyny.

Pan ar ymweliad a'r lle hwn (fy hen

gartref), yn mis Mehefin diweddaf, cefais alwad i ddychwelyd atynt, ac wedi ystyriaeth bwyllog, ac ymgyngoriad â rhai o frodyr ffyddlonaf yr eglwys, daethum i'r penderfyniad, yn ngwyneb tywyllwch amgylchiadau, a thylodi tymorol y lle, i roddi ei gofal i fyny yn Minersville, a dychwelyd i'm hen gartref. Ar gais yr eglwys, arosais gyda hwy dair wythnos yn hwy na thymor fy rhybudd iddynt, er cael bod gyda hwy yn Nghymanfa Ashland, a gynaliwyd ddiwedd y mis diweddaf.

Ymddygodd yr eglwys yn foneddigaidd tuag ataf yn ystod fy nghysylltiad â hwy. Talasant fy nghyflog i fyny, er gorfod benthyca arian i wneyd hyny. Taled yr Arglwydd iddynt. Ond y mae genyf i gyflwyno fy niolchgarwch diffuant iddynt am yr arwydd neillduol o'u parch tuag ataf, a ddangoswyd yn y ffurf o *surprise donation*, ar yr 8fed o Awst, pan y daeth llu o honynt i'm anedd, yn llwythog o wahanol angenrheidiau teuluaidd, yn wisgoedd, ymborth, arian, &c. Wedi cael fy nghydsyniad, awd a'r arian i brynu oriawr aur, a cherfiwyd arni fel y canlyn: "*Presented to Rev. J. R. Jones, by his friends at Minersville, Pa.*" Er na pherthyn i mi wybod pwy oedd yn cyfranu, eto awgrymwyd fod pobl tu allan yn ogystal ag yn yr eglwys yn cyfranu i'r *donation*. Sicr yw, fod hyn yn egni eithafol, ac ystyried amgylchiadau isel y lle. Nid oes genyf ond cyflwyno fy niolchgarwch gwresocaf iddynt oll, a dymuno bendithion fyrdd i'w rhan, a Rhagluniaeth fawr a wasgaro y cymylau duon a grogant uwch amgylchiadau tymorol y lle, fel y gallont gael bugail eto yn fuan, a hwnw wrth fodd y nefoedd, yw gwir ddymuniad ei gostyngedig was yn yr efengyl, &c.,

J. R. JONES.

*Pomeroy, O., Medi 13eg, 1877.*

---

YMADAWIAD GWEINIDOG. — *Eglwys Iesu Grist o Fedyddwyr Neillduol, yn Houtzdale, Pa., at bwy bynag y perthyn iddynt wybod.*—Hyn sydd i hysbysu fod yr undeb a fodolai rhwng y Parch. W. R. Jones a ni, fel eglwys a gweinidog, wedi ei ddatod; ond da genym hysbysu fod yr ymadawiad yn heddychol o'r ddau du. Bu ein hanwyl frawd yn ffyddlon a llafurus i godi achos a thŷ i'r Arglwydd yn yr ardal; ond nid ydyw ef yn un o'r cyfryw rai a garant gael udganu eu clod; na, gwyddom ei fod ef yn rhy wylaidd, gostyngedig, a hunanymwadol i chwenychu hyny. Ond dywedwn hyn am dano, sef ei fod yn *dangnefeddwr*, ac ar ei ddymuniad ef yr ydym yn ei ollwng fel aelod rheolaidd, a gweinidog da i Iesu Grist, gan ddymuno am i'r Duw a'i cynaliodd drwy ei oes hyd yma, ei gynal a'i lwyddo, a'i wneyd yn fendith i laweroedd eto cyn ei fedd. A Duw pob gras a'i amddiffyno hyd yn nheyrnas nef, ydyw ein gweddi ar ei ran drwy Iesu Grist. Arwyddwyd dros yr eglwys gan Wm. S. Edwards, Samuel Morgan, Joseph Phillips, diaconiaid.

EDWARD LLOYD, Ysg. yr Eglwys.

*Medi 15fed, 1877.*

---

## *BEDYDDIADAU.*

Y Sabboth diweddaf yn Medi bedyddiwyd tri o bersonau gan J. Edred Jones, yn eglwys y Bedyddwyr Cymreig, Utica, N. Y. Yr oedd y tri yn dyfod oddiwrth enwadau eraill, ac wedi treulio blynyddau mewn cysylltiad â hwy. Un oddiwrth y Cynulleidfaolion, y llall oddiwrth y Methodistiaid Esgobawl, a'r trydydd o gymundeb Eglwys Loegr. Y Sul canlynol, cawsom y fraint o'u derbyn hwy, gyda thri eraill, yn gyflawn aelodau o'r eglwys hon. Yr oedd cael chwech o aelodau newyddion, ar yr un Sabboth, yn gryn gaffaeliad i ni.

Yn Youngstown, O., ar yr 16eg o'r mis diweddaf, bedyddiwyd tair o chwiorydd trwy drochiad, gan y Parch. D. Probert. Hyderwn fod yma ychwaneg fydd yn canlyn yn fuan.

Yn Parsons, Pa., Medi 16eg, bedyddiwyd un brawd gan ein parchus weinidog, D. T. Phillips. Mae yr achos goreu yn parhau i fyned rhag ei flaen.

## *GANWYD—*

Yn Sharon, Pa., Awst 21, 1877, mab i'r Parch. Thomas Thomas a'i briod.

Mab ydyw hwn o roddiad Nef,
Boed i'w rieni gofio
Ddyrchafu beunydd drosto lef,
Mewn gweddi gref, a'i wylio;
Boed gofal doeth ei nefol Dad
Am dano yn wastadol,
I'w arwain drwy beryglon byd
I'r gwynfyd goleu, nefol.

Frawd hoff, fe ddaeth ffafr i ti—oddiwrth Dduw
Werth oes o glodfori;
Gwyddost fod Duw yn gwaeddi,
Beth bynag, Mâg hwn i mi.

Sharon, Pa. RICHARD WILLIAMS.

Yn Lansford, Pa., Awst 24, 1877, mab i'r Parch. D. S. Thomas a'i briod. Gelwir ef yn David Aubrey Thomas.

---

## *PRIODWYD—*

Yn Nanticoke, Pa., Awst 21, 1877, gan y Parch. J. P. Harris, Ambrose Dowling, o Plymouth, a Mary Evans, Kingston, Pa.

Y fodrwy a'r addfedrwydd—a unodd
Ddau enaid yn ebrwydd;
Boed iddynt ar hynt yn rhwydd
Oriau gwiw yn dragywydd.

---

## *BU FARW—*

RACHEL LOUISA EDMONDS.

Yr ieuengaf o blant Isaac Edmonds, Nanticoke, Pa., yn 1 flwydd a 7 mis oed. Ceir hanes marwolaeth dwy chwaer iddi yn y rhifyn diweddaf o'r WAWR. "Gwywodd y gwelltyn, syrth y blodeuyn; ond gair yr Arglwydd a bery'n dragywydd."

Marwolaeth mawr ei elw!—yn gynar
Fu i'r gweiniaid gwelw;
Y tair chwaer, tro chwerw,
O'u marw y mae hiraeth. BRAWD.

MARGARET ANN HALL.

Medi 1, 1877, yn Lansford, Pa., Margaret Ann, merch i Mr. James R. Hall a'i briod, yn un flwydd a phum' mis oed. Claddwyd hi Medi 3, yn Summit Hill, y Parch. D. S. Thomas yn gweinyddu.

MARTHA A MARY DAVIES.

Medi 2, 1877, Yn Summit Hill, Pa., Martha, merch i Daniel a Mary Ann Davies, yn dair blwydd a naw mis oed. Claddwyd hi Medi 4.

Eto, Medi 15, 1877, yn Lansford, Pa., Mary, chwaer i'r Martha uchod, yn chwe' mlwydd a chwe' mis oed. Claddwyd hi ar y 18fed. Yr oedd y ddau blentyn hyn yn wyresau i'r hen frawd a chwaer, John a Mary Williams. Eu clefyd oedd y diphtheria, yr hwn sydd wedi gwneyd dinystr mawr yn y cylchoedd hyn. Dyoddefodd y merched bychain hyn gystudd trwm ond byr; ac erbyn heddyw maent yn gorwedd ochr yn ochr a'u tad, yn nghladdfa Summit Hill, Pa., a'u hysbrydoedd wedi dychwelyd at Dduw. Gwasanaethwyd yn y ddau angladd gan y Parch. D. S. Thomas.

MARWOLAETH SYDYN TRI O BLANT YN YR UN TEULU, YN FREEDOM, CATTARAUGUS, N. Y.

Y mae amryw yn y gymydogaeth hon, yn ddiweddar, wedi, ac yn cael eu blino yn ddrwg gan y dolur poenus ac angeuol, y gwaedlif. Plant a hen bobl sydd yn dyoddef fwyaf oddiwrtho.

Yn mhlith eraill, collodd Mr. Samuel Morgans a'i briod yr oll o'u plant, sef tri, o'r clefyd arswydus uchod. Bu y ddau gyntaf feirw yr un diwrnod, Awst 8fed. Enw y gyntaf fu farw oedd Mary Morgans, yn 6 mlwydd, 6 mis a 27 niwrnod oed.

Yr ail ydoedd Edwin D. Morgans, yn 1 ml. a 9 mis oed.

Yna, yn mhen wythnos ar ol marwolaeth y ddau ieuengaf, sef Awst 16eg, bu y ferch henaf, Ann Morgans, farw, yn 8 mlwydd, 7 mis ac 8 niwrnod oed.

Gwaith anhawdd ydyw dyfod i gymod a threfn Rhagluniaeth, pan fydd, yn ymddangosiadol, yn gweithredu yn ein herbyn. Diamheu fod rhieni y rhai bychain hyn, yn eu trallod presenol, yn barod i feddwl, a dyweyd fel acob gynt, "Yn fy erbyn i y mae hyn oll." Ond cymerwch gysur, daw y cwbl yn eglur yn y man. Mae'r anwyliaid bychain mewn byd gwell na bod yma.

Gweinyddwyd yn yr angladdau hyn gan yr ysgrifenydd a'r Parch. B. D. Davies (T. C). Cafwyd angladdau parchus a lluosog.

W. M. EVANS.

MRS. ANN MORGANS.

Awst 10fed, yn Freedom, Cattaraugus, N. Y., bu farw Mrs. Ann Morgans, yn 71 mlwydd ac 8 mis oed. Yr oedd yr ymadawedig yn briod i'r Diacon Daniel Morgans. Yr oedd ein chwaer yn enedigol o ardal Rhydwilym, Sir Benfro, D. C. Ymfudodd y teulu i'r wlad hon tua 40 mlynedd yn ol. Ymsefydlasant ar eu dyfodiad i'r wlad hon yn nghymydogaeth Utica, N. Y. Ond yn mhen dwy flynedd symudasant i'r lle hwn; a darfu iddynt, trwy lafur caled, a gofal mawr, gael eu breintio yn helaeth a chyfoeth y byd hwn. Mae y teulu hwn nid yn unig yn meddu pethau daearol, eithr yn benaf oll y maent yn gyfoethog tuag at Dduw. Cafodd Mrs. Morgans ei bedyddio ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn y lle hwn, gan y Parch. Richard Morris, er's tua 30 mlynedd yn ol, a bu yn ffyddlon i'w phroffes hyd angau.

Yr oedd ein chwaer yn nodedig mewn llawer o rinweddau crefyddol. Martha ofalus am yr achos ydoedd hi. Nid siarad, ond gwneyd

oedd ei harwyddair. Tynai gynlluniau, a gweithiai hwynt allan, er llesoli achos Mab Duw. Yr oedd ei gofal yn fawr am roddi at grefydd yn deilwng o honi ei hun. Llanwai y cymeriad o wraig diacon i'r llythyren. Gofalai am ei busnes ei hun, ac nid am faterion pobl eraill. Yr oedd yn gyfeilles drwyadl i'r gweinidog, gan nad pwy fyddai. Byddai yn dda i wraig pob diacon ei hefelychu yn hyn.

Cafodd yr ymadawedig gystudd trwm am yn agos i flwyddyn, yr hwn a oddefodd yn hollol amyneddgar. Gwyddai nad oedd gwellâd iddi i'w gael yma, ac yr oedd yn berffaith dawel a boddlon i ewyllys Duw. Ymorphwysai ei henaid ar aberth Crist. Dyma sail ei hyder yn ymchwydd afon angau. Yr oedd angau yn ennill iddi hi, ond yn golled fawr i'r eglwys ar y ddaear.

Cafodd ein chwaer gladdedigaeth anrhydeddus a phoblogaidd. Gweinyddwyd gan yr ysgrifenydd. Dechreuwyd yn y capel gan y Parch. B. D. Davies. Heddwch i'w llwch hyd udganiad yr udgorn diweddaf.

W. M. EVANS.

MARY JONES.

Awst 13, 1877, yn Weathersville, O., bu farw Mary Jones, priod John L. Jones, mewn modd sydyn ac annysgwyliadwy iawn, o'r *cholera morbus.* Ni fu yn sal ond ychydig ddyddiau. Gwanaidd o gorph ydoedd, ond nid oedd neb yn meddwl, er hyny, y buasai yn ymadael mor ddisymwth, am fod llawer o'r cyfryw yn nychu yn hir; ond wele un yn cael ei symud cyn bod neb yn meddwl ei bod yn myned i farw.

Yr oedd y chwaer ymadawedig yn aelod o eglwys Fedyddiedig Weathersville, ac mae yn debyg ei bod wedi bod yn ffyddlon, yn ol ei gallu, a iechyd yn caniatau, hyd ei bedd; a gobeithiwn ei bod wedi newid er gwell.

Yr oedd Mrs. Jones yn enedigol o blwyf Llan-y-Ninel, Llan-y Bran, Sir Frycheiniog, D. C. Merch ydoedd i Charles a Jenny Davies. Ganwyd hi Gorph. 6, 1845. Cafodd ei bedyddio pan oddeutu 15 oed, ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. Thomas Williams, gweinidog y lle uchod. Ymunodd trwy briodas â John L. Jones Yr oedd yn fam i bump o blant. Bu farw yn 32 ml. oed. Bu ei phriod a hithau gyda'u gilydd 12 mlynedd. Gorphenodd ei gyrfa, cadwodd y ffydd, a gobeithio ei bod wedi dechreu y "gân am farwol glwy', na bydd diwedd arni mwy."

Dydd Mercher, y 15fed, ymgynullodd tyrfa luosog o'n cydgenedl i dalu y gymwynas olaf i'w gweddillion marwol. Ar ol darllen a gweddio yn y ty, aed yn orymdaith drefnus i'r capel lle yr oedd yn aelod, pan y gweinyddwyd ar yr amgylchiad gan yr ysgrifenydd. Yna daearwyd y corph yn mynwent y Bedyddwyr yn Weathersville, lle yr huna yr hûn dawel hyd foreu uganiad yr udgorn mawr. Yr Arglwydd fyddo yn dyner o'i phriod galarus a'i phlant bychain amddifaid, ac a'u parotoa ac a'u cymwysa er teithio yr un llwybr, yw dymuniad yr ysgrifenydd,

DAVID PROBERT.

ANN WILLIAMS.

Awst 25, 1877, yn Youngstown, O., bu farw Ann Williams, priod Richard Williams, yn 34 ml. oed, o'r clefyd a elwir y dyfrglwyf, gan adael priod a thri o blant bychain yn amddifaid ar ol yn myd y trallod a'r helbul.

Yr oedd Mrs. Williams yn ferch i Saboth ac Ann Williams, y rhai a ddaethant yma o Rymney, D. C., amryw flynyddoedd yn ol.

Bedyddiwyd Mrs. Williams gan David Probert, rai blynyddoedd yn ol, ac aelododd yn eglwys Youngstown; ond wrth ymfudo o un man i'r llall, a thipyn o esgeulusdod hefyd, yn nghyd a chryn lawer o afiechyd, collodd ei haelodaeth. Ond dywedai amryw ddyddiau cyn ei hymadawiad, os cai wella, fel y gallai fyned allan, y byddai yn fwy diwyd nag y bu erioed o'r blaen gyda chrefydd. Dywedai hefyd wrth yr ysgrifenydd, nad oedd ganddi neb ond Iesu i bwyso arno yn yr afon; ac felly ymadawodd â'r anial am yr ochr draw, a gobeithio ei bod mewn gwell lle na bod yma, sef yn y wlad hono nad oes neb o'i phreswylwyr yn dyweyd, "Claf ydwyf."

Ar y 26ain, sef y Sabboth, am 1 o'r gloch, ymgynullodd llawer o'n cydgenedl i roddi ei gweddillion marwol yn y bedd. Darllenwyd rhanau o'r gwirionedd a gweddiodd yr ysgrifenydd yn y ty, yna aed a'r corph i'r capel, pan y pregethwyd oddiwrth 1 Cor. 15: 55—57, yn Gymraeg, a'r Parch. David J. Nichols yn Saesonaeg, oddiwrth Heb. 9: 27; yna aed yn orymdaith drefnus i fynwent y ddinas, gan roddi y corph i orphwys yn y bedd hyd foreu y codi. Yr Arglwydd a ofalo yn ei drugaredd am ei phriod galarus a'r rhai bychain.

DAVID PROBERT.

# HANESION CYMRU.

## UNDEB BEDYDDWYR CYMRU.

Ni allwn ond rhoddi crynodeb byr. Cynaliwyd ar y 15fed a'r 16eg o Awst. Llu mawr yn cyfeirio at Benydarran. Gwelsom yn y rhestr brif weinidogion Cymru, yn llawn brwdfrydedd yn nheyrnas ac amynedd Iesu Grist. Boreu Mercher, cwrdd rhagbarotoawl. Am ddau, wedi ciniaw cysurus, arweiniwyd y gynulleidfa at orsedd gras gan y Parch. N. Thomas, Caerdydd. Yna darllenodd Mr. Ll. Jenkins fynegiad blynyddol Trysorfa Adeiladu Bedyddwyr Cymru. Cafwyd mewn sefyllfa lled foddhaol. Wyth gant o bunau yn cael eu pleidleisio i'w benthyg i wahanol eglwysi o'r newydd. Cynygiwyd gan Mathetes, "Fod y Gymdeithas hon i'w chyd-gorpholi â Chymdeithas Adeiladu Bedyddwyr Lloegr." Eiliwyd gan Spinther James. Gwelliant gan Dr. Jones, Llangollen, "I'r mater gael ei ohirio

am flwyddyn arall." Cariwyd. Yn yr hwyr, am haner awr wedi chwech, cyfarfod pwyllgor Cymdeithas Gweinidogion Cymru. Nifer yr aelodau, 155; pedwar wedi marw y flwyddyn ddiweddaf. Y Gymdeithas mewn gohebiaeth am undeb â Chymdeithas Gweinidogion Lloegr. Am saith, cafwyd dwy bregeth ardderchog gan y Parchn. Seth Jones, Blaenywaen, ac A. J. Parry, Cloughfold.

Boreu dydd Iau, am haner awr wedi chwech, cwrdd gweddi. Y Parch. G. H. Roberts, Caerfyrddin, yn llywyddu. Da oedd bod yno. Cyfarfu pwyllgor yr Undeb am haner awr wedi wyth. Y Parch. T. Lewis, Risca, yn llywyddu.

Y CYFARFOD CYHOEDDUS.

Dechreuwyd am ddeg. Dr. Jones, Llangollen, yn y gadair. Efe yn darllen papyr galluog a rhagorol ar "Babyddiaeth—ei hanes, ei nodweddiadau, a'r feddyginiaeth." Creodd darlleniad y papyr argraff neillduol o dda. Teimlai pawb yn falch o'r Doctor. Wedi iddo ef eistedd, cododd Dr. Davies, Athraw Coleg Hwlffordd, a chynygiodd y penderfyniad canlynol: "Fod diolchgarwch gwresog y cyfarfod yn cael ei gyflwyno i'r Parch. H. Jones, D. D., am ei anerchiad galluog ac amserol, a'n bod yn dymuno ar i bwyllgor y Gymdeithas gyhoeddi yr anerchiad, a'i wasgaru trwy yr eglwysi." Cyn eistedd, ymhelaethodd y Dr., gan ddyweyd wrth Dr. Jones: "Anwyl frawd, Dr. Jones Gofalwch am eich iechyd. Yr ydych yn gweithio yn rhy galed. Y mae eich nerth yn pallu. Mae yn rhaid i chwi fyw. Mae angen mawr am danoch. Rhaid i chwi fyw am ddeng-mlynedd-ar-hugain eto. Yr ydym heddyw wedi cael genych ffrwyth llafur dirfawr — ffrwyth barn goethedig, bwyllog, doeth, ac addfed—llafur mawr a gwerthfawr iawn. Papyr gwerth ei wrandaw—papyr amserol, yn cynwys hanes y 'butain' a'i llysblant. Dyna enw pert sydd arni, 'Putain!' Putain feddw hefyd. Mae yn meddwi ar waed y saint. Mae gan y Butain ei llys-blant. Yr Episcopaliaid, &c. Yr ydym wedi cael *photograph* rhagorol o'r Butain. Mae Dr. Jones yn sefyll yn gadarn yn erbyn hon, ac yn erbyn pawb sydd yn debyg iddi. Rhaid dyweyd yn erbyn pob twyll a chyfeiliornad. Rhaid dyweyd yn erbyn Taenellwyr. Dyweyd yn garedig wrthynt hwy hefyd. Rhaid dyweyd yn erbyn taenellu, oblegid mai *rag from* Rome ydyw, wedi ei gael o'r *ragshop* fawr yno. Rhaid rhoi y *rag* yn ol. Mae y Pab yn edrych ar Gymru fel y Mab Afradlon heb ddychwelyd; ond bydd ef wedi marw cyn y dychwelwn. Pe caem y gwahanol enwadau yn ol, i sefyll yn erbyn traddodiadau, codem wrthglawdd effeithiol yn erbyn Pabyddiaeth. Rhaid i ni wneyd ein goreu. Rhaid defnyddio yr argraff-wasg; cyhoeddi y papyr rhagorol hwn; ei daenu yn mhlith ein pobl ieuainc; ac yn wir, rhoi *copi* o hono i eraill nad ydynt yn perthyn i'n henwad ni. Rhaid gwneyd ein goreu gyda'r Ysgol Sabbothol. Mae hon yn bwysig. Mae'r addoldai yn lluosog, wedi goresgyn angen y bobl; ond yr Ysgol Sabbothol ar ol. Nid oes digon o *glass rooms* wedi eu parotoi er cadw y plant a'u dwndwr ar wahan oddiwrth ein pobl ieuainc a'n dynion canol oed. Eisieu gosod gyda'r dosbarthiadau hyn ddynion doeth yn athrawon, rhai sydd yn deall athrawiaethau sylfaenol ein crefydd. Mae y Pabyddion yn dilyn pobl ieuainc tra yn fyw, ac ar ol marw, o ran hyny. Mae yn dda genyf weled yr Undeb mor llewyrchus. Credwyf yn wir y byddai cyfieithiad o'r papyr hwn i'r Saesneg yn dda i'w ddanfon i Loegr at y Saeson. Yr wyf yn cynyg yn wresog y cynygiad hwn."

Eiliwyd yr uchod gan y Parch. W. Morris (Rhosynog), Treorci. Dywedai yntau am werth anmhrisiadwy y papyr, a'i fod yn esboniad dadganiadol o'n sefyllfa fel Cymry, a'i fod yn hawlio y diolchgarwch mwyaf diffuant. Mae yn Nghymru yn sicr o fod yn debyg i eiddo Dr. Landells yn Lloegr.

Cynygiodd y Parch. J. A. Morris, "Fod pwyllgor y Gymdeithas Gyhoeddiadol i gyhoeddi y papyr meistrolgar a ddarllenwyd gan y Parch. Dr Jones."

Eiliwyd yn wresog gan y Parch. Spinther ames.

Yn nesaf, darllenwyd papyr gan y Parch. J. A. Jones, Blaenau, ar "Safle a rhagolygon y Bedyddwyr trwy y byd"—yn ystadegol, yn hanesyddol, ac yn grefyddol. Waldo yn galw i giniaw.

CYFARFODYDD YN PENYDARRAN.

Am ddau, cyfarfu pwyllgor y Gymdeithas Adeiladu. Mathetes yn y gadair, a thriniwyd amryw faterion. Yna dechreuwyd y cyfarfod cyhoeddus. Dr. Jones yn rhoddi ei le i Lleurwg, fel Llywydd am y flwyddyn ddyfodol. Y mynegiadau yn cael eu darllen, a'u derbyn. Y Parch. T. Lewis, Risca, yn dadleu dros hawliau yr Undeb. Dylid ei gadw yn fyw ac yn iach. Mr. Edwards, Caerfyrddin, wrth eilio, yn llefaru yn yr un cyfeiriad. Dywedodd fod y pregethau a'r papyrau da a wrandawyd yn brawfion o werth yr Undeb. Gwnaed casgliad, a chaed 12 punt, ac addewidion.

Yn nesaf, papyr gan y Parch. John Thomas, Caerfyrddin, ar "Fagwraeth ein haelodau." Cyhoeddwyd hwn yn y *Seren*, ac ail gyhoeddwn ninau ef yn y WAWR. Mae yn rhagorol.

Cynygiwyd gan y Parch. E. Jones, Blaen afon, "Fod yr Undeb yn dymuno datgan ei deimlad o hiraeth, a'i golled yn ngwyneb marwolaeth y diweddar Barch. J. Rufus Williams, yr hwn a fu yn Ysgrifenydd yr Undeb am flynyddoedd, ac ar yr un pryd ddatgan ei gydymdeimlad â'r weddw yn ei galar, a'i dad oedranus.

Eiliwyd, mewn ychydig o eiriau toddedig a phwrpasol, gan y Parch. I. Thomas, Caersalem Newydd. Dywedai am filwr oedd wedi marw ar faes y gâd, mewn ymdrech ddewraidd dros ei wlad, ac fod ei enw yn cael ei gario yn

mlaen ar y *roll*, ac yr atebai un o'r milwyr pan y gelwid ei enw allan, "Died on the field of battle." Felly yr oedd hi yn nghwrdd yr Undeb, galw y *roll*, ac y gellid ateb am Rufus, "Died on the battle field." Ac nad oedd yn amgen i ddygiad tusw o flodau o'r naill ystafell i'r llall, fod yr arogl yn aros o hyd Felly am Rufus, os oedd wedi myned i'r ystafell oreu, fod ei arogl yn aros ar ol. Er dangos parch i'n hoffus frawd ymadawedig, cododd yr holl gynulleidfa ar ei thraed am ryw fynyd.

Yn nesaf, rhoddwyd cyfleusdra i aelodau newyddion ymuno. Ymunodd rhai eglwysi, a llu mawr iawn o bersonau unigol.

Yn nesaf, papyr yn cael ei ddarllen gan y Parch. J. Evans, Bassaley, ar "Grefyddwyr a'u dyledswyddau gwleidyddol." Wedi darlleniad hwn, cynygiwyd, "Fod y cyfarfod yn dymuno galw sylw holl aelodau yr enwad at y ddyledswydd bwysig o gario allan egwyddorion y Testament Newydd yn eu cysylltiadau gwleidyddol."

Wrth eilio, dywedodd Cernyw Williams, "Fod rhai yn dyweyd nad yw yn iawn i grefyddwyr fod yn wleidyddwyr. Os felly, nid yw yn iawn i wleidyddwyr fod yn grefyddwyr. Nad oedd neb wrth ddyfod yn grefyddol yn peidio bod yn ddyn, ac yn ddinesydd," &c., &c.

Cynygiwyd yn nesaf gan y Parch. Dr. Ellis, "Fod y Parch. J. Lloyd, Merthyr, i fod yn Is-Lywydd yn yr Undeb am y flwyddyn."

Yna etholwyd y pwyllgor am y flwyddyn ddyfodol, a phenderfynwyd fod cyrddau blynyddol yr Undeb i'w cynal y flwyddyn nesaf yn Aberystwyth.

CYFARFOD AREITHIO.

Nos Lun, Dr. Jones, Llangollen, yn y gadair. Y Parch. T. Lewis yn darllen a gweddio. Wedi hyny caed araeth selog gan Mathetes, ar "Nodweddau gwahaniaethol y Bedyddwyr." Yna gan y Parch. R. Lloyd, Casbach, ar "Yr ieuenctyd a llygredigaethau yr oes" Ac yn ddiweddaf gan Dr. Davies, Hwlffordd, ar "Hanfod gwir ddifyrwch"

Derbyniwyd yr areithiau gyda y brwdfrydedd mwyaf.

---

## Y GONGL GENADOL.

UNDEB CENADOL Y BEDYDDWYR AMERICAIDD.

Yn y Gymanfa a gynaliwyd yn Ashland, Pa., Awst 25, 26, 27, daeth achos Cenadaeth Dramor y Bedyddwyr dan sylw. Teimlai y brodyr oedd yn bresenol nad oedd yr achos Cenadol mewn cysylltiad â ni fel enwad o Fedyddwyr Cymreig wedi cael y sylw, y cydymdeimlad a'r ymdrech o'i blaid a deilynga; a phenderfynwyd i anog yr eglwysi i weithredu, a chydweithredu yn fwy egniol o blaid yr achos pwysig a gwir deilwng hwn.

Penderfynwyd yn unfrydol i benodi rhyw frawd i anfon ychydig o hanes gweithrediadau y Genadaeth yn fisol i'r WAWR. Syrthiodd y coelbren i gyflawni hyn o orchwyl ar ysgrifenydd y llinellau hyn. Gwnaethom ein goreu i ddarbwyllo y gynadledd fod yno frodyr addasach na ni i ymgymeryd â'r gwaith, ond ni wnaent wrando; o ganlyniad, nid oes genym ond gwneyd ein goreu i wasanaethu achos ein Gwaredwr mawr yn y rhan hon o waith ei winllan. Diau fod yr eglwysi, ac efallai y gweinidogion i raddau hefyd, yn llafurio o dan beth anfantais i deimlo, i weddio, a gweithredu yn deilwng o'u cyfrifoldeb yn eu perthynas â lledaeniad yr efengyl, a chynydd a llwyddiant teyrnas ein Hiachawdwr yn y byd, o herwydd diffyg gwybodaeth eang a manwl o sefyllfa yr achos dan sylw.

Mae yr eglwysi Cymreig yn gyffredin yn cynal cyfarfodydd ar bob nos Lun cyntaf yn y mis i weddio am lwyddiant y Genadaeth Dramor; ond os gweddio yn unig a wneir, gellir dywedyd fel y dywedodd Iago, am ffydd heb weithredoedd, mai marw yw. Pe na wneid dim ond gweddio, ni byddai na chenadwr na chenadaeth yn bodoli; ac nid yn unig na fyddai cynydd ar grefydd Mab Duw yn y byd, ond ceid gweled yn fuan y byddai lleihad ar gysur, llwyddiant, a sancteiddrwydd yr eglwysi cartrefol, yn ogystal a buddugoliaethau efengyl gras Duw mewn tiriogaethau newyddion.

Un o ffyrdd Duw yn ateb gweddiau ei blant am lwyddiant ei achos gogoneddus yn y byd yw, trwy fod y gweithwyr eu hunain yn gweithredu a chario allan eu gweddiau mewn hunanymwadiad, a gwneyd aberth trwy gyfranu o'u meddianau fel y byddo Duw yn eu llwyddo mewn pethau tymorol. Mae holl brophwydoliaethau yr Hen Destament, a chyfeiriadau y Testament Newydd, yn nghyd a holl ansawdd ac ysbryd y grefydd Gristionogol, yn ein dysgu fod teyrnas y Cyfryngwr i lanw y byd—yr efengyl am y deyrnas i gael ei phregethu trwy yr holl fyd, yn mhlith yr holl genedloedd, a bod yn rhaid iddo deyrnasu hyd oni osodo ei holl elynion dan ei draed. Mae gogoniant mynegol Gwaredwr dyn yn anwahanol gysylltiedig â dygiad hyn i ben. Ymddengys i mi mai prif amcan y Bôd dwyfol yn sefydlu yr eglwys Gristionogol yn y byd oedd cario allan ei arfaethau grasol i oleuo, efengyleiddio, ac achub y byd trwy offerynoliaeth pob un sydd yn caru ein Harglwydd Iesu Grist, yr hwn a'n carodd ni, ac a roddes ei fywyd yn aberth difai i Dduw, er cael llwybr i roddi bywyd tragywyddol i ni. Mae Duw yn dysgwyl i bob aelod o eglwys Crist wneyd ei ran, yn ol ei allu, i gael yr efengyl wedi ei chyhoeddi i bob creadur dan y nef. Mae y gwaith mawr hwn yn perthyn nid yn unig i bob eglwys, ond hefyd i bob aelod yn yr eglwys fel eu gilydd. "Ewch i'r holl fyd, a phregethwch yr efengyl i bob creadur." "Derbyniasoch yn rhad, rhoddwch yn rhad." "Chwi yw goleuni y byd, chwi yw halen y ddaear." "Pa fodd y credant heb bregethwr, a pha fodd y pregethant oni anfonir hwynt?" Os edrychir ar yr achos yn y

goleu hwn (a diau mai hwn yw yr olwg iawn arno), nis gallwn lai na gweled nad ydym fel Bedyddwyr Cymreig yn Nghymanfa Pennsylvania wedi dyfod i fyny â'n rhwymedigaethau fel dysgyblion i Grist, er cario yr achos cenadol yn mlaen yn y byd. "Yr hwn, ac efe yn gyfoethog, a ddaeth er ein mwyn ni yn dlawd, fel y cyfoethogid ni trwy ei dlodi ef."

Y pwnc mawr yn awr yw, pa gynllun effeithiol a ellir ei fabwysiadu er cael pob eglwys ac aelod yn y Gymanfa hon i gyfranu yn gyson a dyfal-barhaol at yr achos gogoneddus hwn. Yr oedd amryw o'r brodyr yn y gynadledd yn meddwl y gellid, ond i'r eglwysi oll ddyfeisio cynllun priodol, casglu yn fisol yr hyn a fyddai yn gyfartal i 2 cent oddiwrth bob aelod yn mhob eglwys, neu 25 cents y flwyddyn. Diau fod rhai sydd a theuluoedd, yn wyr priod, a'u gwragedd a'u plant yn aelodau, na allant yn hawdd wneyd cymaint, heb deimlo y baich yn drwm. Ond o'r tu arall, mae rhai brodyr yn mhob eglwys yn alluog, ac a'i hystyrient yn fraint i gael cyfle i gyfranu 5 neu 10 cent bob mis at yr achos ag y mae holl galon Iachawdwr y byd yn llawenhau a gorfoleddu yn ei lwyddiant. Dichon y byddai yn ddoeth i bob eglwys benodi trysorydd ac ysgrifenydd i dderbyn yr arian, a chadw y cyfrifon, a'u darllen yn mhob eglwys bob mis, i'r holl eglwys wybod a ydyw y swm cyfartal i 2 cent yr aelod yn cael eu casglu bob mis, fel, os byddai yn syrthio yn fyr y mis hwn, y gellid ei wneyd i fyny y mis dyfodol.

Diau fod digon o frodyr doeth a selog o blaid yr achos da, yn yr holl eglwysi, i ddyfeisio y cynllun goreu i ateb amgylchiadau arbenig yr eglwys y perthynant iddi. Gadawn hyn yn awr er cael lle i osod o flaen yr eglwysi ystadegau o sefyllfa bresenol y genadaeth yn y gwahanol wledydd y llafurir iddynt. Mae yn anhawdd rhoddi mwy na braslun o'r cyfan heb gymeryd gormod o le yn y WAWR.

Mae prif feusydd y genadaeth hon yn cael eu dosranu yn ddau, sef yn Asia ac Ewrop. Mae y cyntaf yn cynwys y lleoedd canlynol: Burmah—y prif orsafoedd yn y wlad fawr hon ydynt, Tavoy, Maulmain, Rangoon, Thongzui, Henthada, Zeegong, Shwaygyun, Paome, Bassein, Toungoo. Cynwysa y lleoedd uchod y genadaeth at y Shans, Karens, y Parkus, a'r Bghois. Mae yn y lleoedd hyn 420 o eglwysi, 416 o bregethwyr, 20,545 o aelodau. Bedyddiwyd y flwyddyn ddiweddaf 1,032; ysgoldai, 220; ysgolheigion, 6,352. Mae yn Rangoon Goleg Duwinyddol, ac argraffwasg at wasanaeth y genadaeth uchod. Mae y genadaeth at yr Assomesesau, yn cynwys y gorsafoedd canlynol: Gowalpara, Tura, Gowahati, Nowgong, Sibsagor, a Haimoung. Rhif yr eglwysi yn y ddosran hon yw 12; aelodau, 832; pregethwyr brodorol, 27; ysgolion, 45; ysgolheigion, 777. Cenadaeth y Teloogoos a gynwysa y gorsafoedd, Nellore, Ongole, Ramapatam, Scundarabad, a Keurnool. Mae coleg yn cael ei adeiladu yn perthyn i'r ddosran hon. Mae y genadaeth at y Chineaid yn ddwy ran, y Ddwyreiniol a'r Ddeheuol. Gorsafoedd, 15; capeli, 22; pregethwyr, 38; Bible women, 20. Cyfanswm yr aelodau, 664. Yn Japan mae 8 o genadon, a 6 o'r brodorion yn cynorthwyo; 2 ysgol, 32 o ysgolheigion, a dwy orsaf, sef Tokio a Yokohama. Nid yw y genadaeth hon eto ond yn ei mabandod. Mae yno faes eang, ac argoelion am lwyddiant mawr, gydag ymdrech dyfal a bendith Ior.

Buasai yn dda genym pe buasai gofod yn caniatau i ni roddi braslun o hanes ein cenadaeth yn Ewrop; ond rhaid boddloni ar yr hyn a nodwyd, y tro hwn. Hyderwn y gwna pob eglwys a phob aelod gymeryd y mater dan eu dwys ystyriaeth, a gweithredu yn egniol o blaid lledaeniad efengyl Crist, a thaer weddio am iddi redeg a chael gogonedd.

THEOPHILUS JONES.

Wilkesbarre, Medi 11, 1877.

O. Y. Dichon y gwna eglwysi parchus Efrog Newydd, Ohio, a Wisconsin, dalu sylw difrifol i'r pwnc mawr o enill y byd i fod yn eiddo ein Harglwydd ni ac Eneiniog y Tad, ac y gwnant gydweithredu ar ryw gynllun, os nid ar y cynllun a nodir uchod, er cael enw y Brenin a roddwyd mewn tair iaith ar y groes er ei wawdio, yn *mhob* iaith dan y nef i'w *ogoneddu.* T. J.

# NEWYDDION Y MIS.

—Nos Fawrth, y 4ydd o Medi, 1877, torodd tân dychrynllyd allan yn nhref New Cambria, Mo., a llosgodd chwech o stores, ty anedd, a *hall*, yn ulw mewn tuag awr o amser. Bu ymdrech galed i gadw yr holl dref rhag myned ar dân. Achubwyd gwerth tua $2,000. Bernir fod y golled yn $22,000. Ni chollwyd dim bywydau.

—Derbyniwyd bryshysbysiad oddiwrth H. M. Stanley, dyddiedig Embomma, yn y Congo, glanau gorllewinol Affrica, Awst 10fed, yn hysbysu ei fod wedi morio o amgylch llyn Lualaba, ac wedi cael prawf mai yr un ydyw a'r Congo.

—Bu gwrthdarawiad ar y N. Y. Central Railroad, yn agos i Rome, Sir Oneida, ar yr 21ain o'r mis diweddaf, rhwng y Chicago Express a *freight train*, mewn canlyniad i ddiofalwch *switch tender*. Cafodd tri o bersonau eu lladd, a chlwyfwyd saith.

—Cafodd Grant ei anrhydeddu yn Scotland yr wythnos o'r blaen fel pe buasai frenin. Yr oedd y trefi am y goreu yn ei groesawu.

—Awst 25ain, bu farw un o ser dysgleiriaf y Corph Wesleyaidd yn Nghymru—y Parch. I. Jenkins, Merthyr Tydfil—yn 66 ml. oed.

—Cyrhaeddodd pris yr aur mor isel a 102⅞ tua chanol y mis diweddaf, yr hwn oedd y pwynt iselaf a gyrhaeddwyd er Mai 10, 1862.

wedi iddo ymuno â'r eglwys—"Gwnaed pob peth yn newydd." Canai, gweddiai, a siaradai fel un wedi treulio llawer o amser ar fynydd y gweddnewidiad, ac iddo ef y trodd y Mynydd Du yn fynydd gwyn. Ni chafodd awr o ysgol erioed, eto, meddai feddwl clir a chyflym, a chalon gywir, a gwnaeth y diffyg i fyny i raddau helaeth iawn. Yr oedd yn hynod ar weddi; yr oedd, fel y dywed rhai pobl, yn "weddiwr doniol" iawn, ond nid oedd y dawn yn gyfyngedig i'w barabl, ond gweddiai fel un yn gweled yr Anweledig, ac fel un yn credu yn nerth a dylanwad gweddi. Yn mhen ychydig amser wedi iddo ymuno ag eglwys Soar, Llandyfaen, daeth i'r penderfyniad i edrych am gydmares iddo, a chafodd hi mewn ffermdy o'r enw Clwydffyrch, yn agos i bentref hynafol a hardd Llandybie. Yr oedd yn ferch hynaws, brydweddol, ac hynod o barchus. Ei henw ydoedd Ann; ei rhieni oeddent Rees ac Ann Jones. Preswyliai mamgu Ann yn yr un ty, a mawr hoffai un y llall. Yr oedd gan yr hen wraig barch mawr i grefyddwyr, a llawenydd i'w chalon oedd clywed gan ryw un fod William, cariad Ann, yn ddoniol iawn ar weddi. Un diwrnod pan yr oedd yn ymweled ag Ann, gofynwyd iddo weddio, yr hyn a wnaeth, a hyny gyda dylanwad anarferol, fel y cododd yr hen wraig yn ei gwendid a'i henaint i edrych yn ei wyneb prydweddol, gan ddyweyd, "Beth yw hwn sydd genyt ti, Arglwydd mawr, beth yw hwn? Ni chlywais un erioed fel hwn!" Bu hyn yn gymorth mawr iddo gael Ann yn wraig.

Wedi iddo briodi dysgodd ddarllen ychydig, ac fel y llwyddai gyda darllen, ac y cynyddai mewn gwybodaeth Ysgrythyrol, cynyddai hefyd yn ei awydd i esgyn grisiau y pwlpud a chyhoeddi anchwiliadwy olud Crist. Yr oedd yn hynod ddefnyddiol fel aelod eglwysig, ac yn selog iawn dros y cyfarfodydd gweddi, ac er fod ganddo ffordd faith i Soar, eto, yn anaml iawn y byddai yn absenol. Er ei holl ddefnyddioldeb, credai yr hen frodyr yn Soar y byddai yn well iddo beidio dechreu pregethu. Nid oeddent yn ei erbyn oblegid un diffyg yn ei fywyd crefyddol, neu yn ei farn ar bynciau Ysgrythyrol, ond oblegid iselder ei amgylchiadau, gan ofni y byddai i'w amgylchiadau tymorol ei ddwyn ef i brofedigaethau chwerwon. Ond trwy gymorth Dafydd William, yn benaf, perswadiwyd yr eglwys i roddi caniatad iddo ddechreu pregethu. Ei lais ef oedd, "Angenrhaid a osodwyd arnaf, a gwae i mi os na phregethaf yr efengyl," a llais yr eglwys ar ol hir weddio oedd, "Dos a phregetha efengyl Mab Duw." Pregethodd am y tro cyntaf yn gyhoeddus, mewn ffermdy cyfagos i'w gartref. Gellyfawnen, ac aeth sôn am y pregethwr a'r bregeth trwy yr holl wlad. Wedi hyn, pregethodd yn Soar, Llandyfaen; Saron, Llandybie; Penrhiwgoch, &c., a derbyniwyd ef gyda llawenydd, a chlywai y bobl lais Duw yn ei leferydd.

Nid oedd yn enwog fel amaethwr; yn wir, esgeulusai ei ddyledswyddau tymorol, trwy ddilyn cyfarfodydd mawrion, a myfyrio, a darllen. Nid oedd yn ddiog, ond llyncid ef i fyny gan y cyfarfodydd gweddi a phregethu. Weithiau ar haner cau bwlch drain, troai y drain yn bwlpud, a phregethai yn ddifrifol, heb neb yn ei wrando ond y da a'r defaid. Pa beth oedd dylanwad ei lais peraidd ar y creaduriaid, ni wyddom. Brydiai eraill wrth aredig gadawai y gwaith ar ei haner, gan anghofio yr aradr a'r ceffylau. Amlwg oedd, nad oedd i gyrhaedd enwogrwydd mawr fel ffermwr. Trwy y cwbl gofalodd Duw am ei Amos. Tra yn Gellifawnen, ganwyd iddo ef a'i wraig hoff, dri o feibion, sef Rees, John, a William.

Yn y flwyddyn 1831, tra nad oedd William ond baban bychan, penderfynodd ein brawd ymadael a hen wlad y bryniau a gwynebu ar America, ac nid hir y bu cyn gosod ei dy mewn trefn a chychwyn. Yn yr amser hwn nid oedd cledrffyrdd mewn bod, a gwaith mwy anhawdd y pryd hwnw oedd myned o Gellyfawnen i Lerpwl, nag yn awr fyned o'r Mynydd Du i'r *Rocky Mountains*. Aeth ef a'i deulu mewn cert yn cael ei llusgo gan geffyl gwyn, bob cam

o Landybie i ddinas Lerpwl, ac yno gwerthodd y gert a'r ceffyl, a chafodd eu gwerth am danynt.

Gydag ef a'i deulu y cawn ei chwaer Mary, a'i gwr William Davies, a'u plant; un o'r rhai hyn oedd i fod y defnyddiol a'r parchus Rees Davies o Palmyra, yn nghyd a'i frawd a'i chwaer John a Margaret.

Sicrhasant eu mordaith mewn hen long, yr hon oedd wedi ei chollfarnu, ac os mai gwael oedd y llong, gwaelach byth oedd y Cadben. Pharaoh yr ail oedd hwn, heb ofn Duw na pharch i ddyn yn agos iddo. Cawsant fordaith hynod o arw, a chredai ein brawd fod mwy nag un Jonah yn y llestr. Dyoddefasant eisiau bwyd, ac ymddangosai Gellyfawnen, Llandybie, a'r Wernfawr, Llangathen, o flaen eu llygaid fel darnau o baradwys, ond nid oedd modd dychwelyd. Bu gwraig y Cadben yn hynod o garedig i Mrs. Owen a'i baban tri mis oed, sef William. Glaniasant yn Lewistown, Delaware, ar ddydd Nadolig yn 1831. Gan mai Talaeth gaeth oedd Delaware, bu yn anhawdd i'n brawd gael gwaith, ac wedi ei gael ni chafodd ond ychydig o arian am dano. Yn ngwanwyn 1832, symudodd i Philadelphia, lle y bu yn glaf iawn, yn agos i angau. Wedi bod yma am flwyddyn, penderfynodd fyned mor bell a Pottsville, Schuylkill Co. Tra yn Philadelphia, daeth yn adnabyddus â'r diweddar Barch. W. Morgans, gynt o Pottsville, a chafodd bob anogaeth ganddo i arfer ei ddawn. Tra yn Pottsville a Minersville, penderfynodd y brodyr ei neillduo i'r swydd weinidogaethol, ac am nad oedd eglwysi gan y Cymry yn yr ardaloedd hyn ar yr adeg hono, anogwyd ef i fyned i Philadelphia er ei ordeinio. Cyflwynodd Mr. Morgan ef i'r Parchn. Perry a Jones (tad yr Anrhydeddus Horatio Gates Jones), ac eraill, ac am nad oedd y brawd Owen yn deall Saesonaeg, cyfieithiwyd ei olygiadau, &c., a chafodd yr holl frodyr eu boddloni yn fawr ynddo. Dychwelodd at eu frodyr yn swydd Schuylkill, a llafuriodd yno yn dderbyniol a llwyddianus. Ond nid oedd y ffurfafen i fod yn glir, na'r llwybr i fod yn rhydd o rwystrau. Yn 1834, collodd ei anwyl briod ar enedigaeth merch fechan, yr hon a ddilynodd ei mam i wlad y gwynfyd pur pan yn flwydd oed. Claddwyd Mrs. Owen yn mynwent Minersville. Penderfynodd ef roddi y plant i ofal ei chwaer garedig yn Palmyra, Ohio, ac er mwyn bod yn gyfleus i'w gweled ar droion, rhoddodd yr eglwysi i fyny yn Pottsville a Minersville, er galar a gofid nid bychan i'r frawdoliaeth.

Ymsefydlodd yn weinidog ar yr eglwys Gymreig yn Pittsburgh yn y flwyddyn 1835. Un o'r pethau cyntaf a wnaeth yma, oedd sicrhau capel newydd a hardd i'r Bedyddwyr yn y lle. Adeiladwyd ef yn Chatham Street, lle y mae yn bresenol. Bu yn hynod ddiwyd yn ei waith yn casglu arian er talu y gweithwyr ar y capel newydd. Llwyddai gyda y Pabydd fel y Protestant i gael rhyw ychydig er clirio y ddyled. Elai yn dra mynych i Palmyra er gweled ei anwyliaid bychain, a phregethai hwnt ac yma trwy Ohio wrth fyned a dychwelyd. Yn yr adegau hyn, hauodd hâd da ar y dde ac ar yr aswy, ac ymddangosodd y cnwd mewn cynhauaf toreithiog; ac nid yw y cynhauaf drosodd hyd yn hyn. Bu yn offeryn yn llaw Duw i blanu egwyddorion pur y Testament Newydd mewn lleoedd llawn o dywyllwch; sefydlodd amryw eglwysi, ac anmhosibl ydyw gwahanu enw a llafur y Parch. W. Owen, Pittsburgh oddiwrth hanes y Bedyddwyr yn Ohio, a llawer o ranau o Pennsylvania. Gan y bwriedir cyhoeddi cofiant iddo, nid yw yn fy mwriad i ymhelaethu ar y pwnc hwn a phynciau eraill mewn cysylltiad â hanes ein brawd a'n tad yn Israel. Nid amser esmwyth a gafodd yma. Dyoddefodd yn erwin oblegid cyfnewidiadau masnach, bydolrwydd yr aelodau, ac anffyddlondeb yr eglwys. Llafuriodd yn galed am flynyddoedd meithion am ychydig o gyflog—ïe, am y peth nesaf i ddim. Pan y rhifai yr eglwys dros ddau gant, rhoddai gyflog druenus o wael ac isel i'w gweinidog ffyddlawn. Rhoddodd ef mewn bwyd ac arian fwy iddynt hwy, nag a roisant hwy iddo ef. Eto, äi yn mlaen yn gal-

onog gan lafurio yn ddibaid er adeiladu yr achos goreu yn y lle. Yn mhen ychydig o amser wedi iddo ymsefydlu yn Pittsburgh, cafodd alwadau i Gymanfaoedd Ohio, Pennsylvania, ac Oneida. Yr oedd y gwahoddiad cyntaf a gafodd i bregethu yn Oneida, ar gân. Mae y pedair llinell canlynol yn rhan o'r llythyr barddonol:—

> "'Ry'ch chwi'n uwch o'ch pen i fyny,
> Na neb arall wrth bregethu;
> Yn Steuben 'ry'm am eich gweled,
> Mewn hwyl fraf a than arddeliad."

Enw y bardd oedd Owen Jones y crydd. Cydsyniodd ein brawd â chais y brodyr yn Oneida. Ar ei ffordd yno, treuliodd rai dyddiau yn ninas Efrog Newydd, a phregethodd yn wresog a hyawdl yn yr eglwys Gymreig yn Canal Street. Cofia rhai o'r hen frodyr a chwiorydd yn Oneida am ei ymweliad cyntaf â hwy, ac iddynt y mae ei enw yn berarogl. Gyda chorph nerthol, a meddwl bywiog, dychymyg ehedog, a llais hynod o beraidd a nerthol, pregethai gydag arddeliad, efengyl bur y Testament Newydd. Edrychai amryw o eglwysi arno fel eu tad.

Mewn amser cyfaddas, cymerodd y plant ato ei hun i Pittsburgh, ac er na chafodd ond cyflog fechan, rhoddodd iddynt gymaint o addysg ag oedd yn bosibl iddo. Cafodd y mab hynaf, sef Rees, wedi addysg ddigonol, le mewn maelfa, lle y bu yn hynod am ei ddiwydrwydd a'i onestrwydd, a daeth yn alluog i gynorthwyo ei dad i roddi addysg i John a William. Esgynodd Rees i fyny nes y mae yn bresenol yn un o'r marsiandwyr mwyaf cyfrifol yn Pittsburgh, ac yn un o'r dinasyddion mwyaf dylanwadol. Mae yn awr yn aelod o'r Cyngor Trefol. Bu yn hynod garedig i'w dad hyd y foment olaf. Yr oedd ei dy ar y Fourth Avenue yn dy agored i'r Bedyddwyr. Trwy ei haelioni ef, cwmni difyrus ac adeiladol ei dad, a charedigrwydd a serchogrwydd Mrs. Harris, mwyniant ydoedd galw ac aros yno. Cafodd John addysg dda, a threuliodd rai blynyddoedd yn Athrofa Lewisburg. Mae yn awr yn weinidog yn Nghymanfa Beaver, Pa. Graddiodd William yn Mhrif Ysgol Miami, Ohio. Parotodd ei hun fel cyfreithiwr dan addysg yr Anrhyd. Thomas Williams, un o gyfreithwyr mwyaf enwog y Dalaeth. Pasiodd arholiad llwyddianus, a derbyniwyd ef yn aelod o'r *Bar* yn Pittsburgh. Cynyddodd yn gyflym yn ei ddylanwad, ac enillodd barch ac ymddiriedaeth y barnwyr a'r cyfreithwyr. Meddai ar lawer o ffraethineb ei dad. Dyoddefodd oddiwrth ddiffyg anadl am naw neu ddeg o flynyddoedd, ac ar ddydd Nadolig, 1876, ehedodd ei ran ysbrydol i wlad y bywyd. Glaniodd yn y wlad yma ar Nadolig, priododd â merch Mr. Cox, cyfreithiwr enwog o Baltimore (yr hon a wnaeth iddo wraig hynod o hynaws, a charedig, a gofalus), ar ddydd Nadolig, a ffarweliodd â byd y marw ar ddydd Nadolig. Pan yn siarad â William dydd angladd ei dad, dywedodd wrthyf, "*He has been a father and a mother to me.*" Fel tad, yr oedd y Parch. W. Owen yn hynod o dyner a gofalus, a meddai y plant gariad angerddol tuag ato. Bu William Owen fyw i weled ei blant mewn safleoedd anrhydeddus. Yr oedd yn gymeriad hynod, ac y mae genym lawer i ysgrifenu am dano fel dyn, Cristion, gweinidog, pregethwr, &c., ond nid yw ein bwriad i wneyd hyny yn yr erthygl hon. Yr oedd William Owen yn un o ddynion hynod y byd, ac am hyny gofyna ei goffadwriaeth am fwy o ofod na ellir ei gael mewn cyhoeddiad misol.

Ni bu yn glaf am hir amser. Yn ei ddyddiau olaf, cafodd y tynerwch mwyaf oddiwrth ei feibion Rees a William, a Mrs. Harris, a chyfeillion, ond er yr holl ofal, gwaelu a wnaeth, ac ar yr wythfed o Dachwedd, 1876, am haner awr wedi deuddeg o'r gloch boreu Sul, ymadawodd mewn tangnefedd a'r fuchedd hon, gan adael ar ei ol filoedd o gyfeillion i alaru oblegid ei ymadawiad, ac i foli Duw am ei fywyd defnyddiol a'i angau dedwydd. Dydd ei angladd ymgynullodd torf hynod o luosog er talu y parch dyladwy i'w goffadwriaeth, ac er cydymdeimlo â'r plant a'r perthynasau yn eu trallod. Pregethwyd yn

y capel, lle y bu am ddeugain o flynyddoedd yn pregethu Crist, gan yr ysgrifenydd, a chymerwyd rhan yn y gwasanaeth yn yr addoldy ac yn y fynwent, gan y Parchn. Pearson, Wright, Edwards, Thomas, John Thomas, Williams, Morgan, Dr. Thomas, a lluaws eraill. Hawdd ydoedd gwybod y dydd hwnw oddiwrth olwg y ddinas, mai nid dyn cyffredin oedd wedi marw, ond mai tywysog yn Israel a syrthiodd.

"Gwr ydoedd mawr ei gywirdeb- didwyll,
Nodedig am burdeb;
Diweniaeth oedd—dau wyneb,
Yn ei oes, ni wnai i neb.

Ei rinwedd trwy hir einioes,—a chulwys
Ochelyd pob anfoes;
Ei ffydd ar grefydd y Groes,
A'i daliodd i'r fâd eiloes."

---

## "Y BEDYDD CRISTIONOGOL."

***Adolygiad ar Lyfr Ioan Einon, Aquaville.***

GAN H. C. PARRY (CEFNI).

### LLYTHYR III.

*Rheswm XIV.*—Bod y ffaith, mai disgyn a wnaeth yr Ysbryd Glan arnynt yn nhŷ Cornelius, yr hyn a alwai Petr yn fedydd; yn nhyda gwaith rhyw rai yn cyrchu dwfr i Petr eu bedyddio, yn profi mai taenellu yw yr iawn ddull!

Gan ein bod wedi egluro natur bedydd yr Ysbryd, yn ein sylw ar y Rheswm XIII., ni wnawn sylw ar y Rheswm hwn, amgen na chywiro camsyniad pwysig o eiddo yr awdwr, yn creu darn o adnod i brofi ei bwnc! Rhaid bod pwnc y taenelliad yn bur wan, pan y bo rhaid gwneyd adnodau i'w amddiffyn, wedi methu cael yr un yn Nghair Duw! Dyma y darn adnod a wnaeth Ioan Einon i amddiffyn taenelliad:—"*Ac wedi cyrchu dwfr, mae yn eu bedyddio yn enw yr Arglwydd.*" Adnod fechan gyfleus iawn i'r defnyddwyr. Gresyn na fuasai yn ddwyfol. Ond nid oes un gair o son am gyrchu dwfr. Nid oes un gair o son bod Petr wedi eu bedyddio. Nid oes un gair o son bod neb arall wedi eu bedyddio! Y cwbl a ddywedir yw, "A all neb luddias dwfr fel na fedyddier y rhai hyn, y rhai a dderbyniasant yr Ysbryd Glan, fel ninau?" Apeliad at galon yr Iuddewon, cyfyng eu meddyliau, y priodoldeb o fedyddio mewn dwfr, y Cenedloedd a fedyddid â'r Ysbryd Glan, sydd yno, a dim yn ychwaneg. Can belled ag y mae yr hyn a ddywedir yn yr hanes yn cyrhaedd, ni ddywedir iddynt gael eu bedyddio o gwbl! Ac os nad oedd yno fwy o ddwfr nag oedd gan yr eneth fechan yn cael ei gyrchu yn y basin, y maent eto heb eu bedyddio!!!

Dywedir bod Petr wedi gorchymyn eu bedyddio yn enw yr Arglwydd, a dyna y cwbl. Nid oes un gair o son iddynt gael eu bedyddio gan neb Mae yn debyg iddynt gael eu bedyddio; gan eu bod wedi cael edifeirwch i fywyd; ond nid oes hawl genym i ddyweyd mwy nag y mae y Gair Sanctaidd yn ddywedyd, llawer llai i wneyd adnodau wrth ein mympwy ein hunain i brofi pwnc ag y mae holl adnodau Gair Duw yn fud am dano. Cywilyddied Ioan Einon am ei dwyll a'i ryfyg, a derbynied adnodau y Beibl ar bob pwnc a ddysgir gan yr Ysbryd Glan.

*Rheswm XV.*—"Os trochi yw y dull priodol o fedyddio, pa fodd yr ydym yn cael ein cadw trwy fedydd 'yn gyffelyb' i arch Noah, yr hwn na chafodd ei drochi yn y dylif, pa beth bynag a gafodd." Nid yw y rheswm hwn yn werth ei ateb; ond dywedwn, bod yr awdwr yn camsynied eto. Nid dyweyd fod bedydd yn gyffelyb i'r arch, na'r diluw, mae Petr, ond dyweyd, bod ein *hachubiaeth* trwy fedydd yn gyffelyb i *achubiaeth* Noah yn yr arch—yr arch yn cuddio Noah rhag y diluw—bedydd yn ein cuddio ninau rhag cydwybod ddrwg. Cadwyd Noah trwy ei ufudd-dod yn darparu yr arch. Cedwir ninau trwy ufudd-dod yn ateb cydwybod dda yn y bedydd.

*Rheswm XVI.*—Bod bedydd dyoddefiadau y Cyfryngwr yn cael ei ddarlunio, fel "*goddiweddyd*," ac fel "*llifeiriant*" yn dyfod—syniadau nad oes ynddynt rithyn yn cyfleu y syniad o drochi, yn profi, mai taenelliad ydoedd!

Os ydyw Ioan Einon yn credu mai ychydig o ddiferion, yn defnynu, oedd y digofaint oedd "*yn pwyso*" ar Grist —y "*dyfroedd dyfnion*" yr oedd ynddynt—y "*ffrwd gref oedd yn llifo dros ei enaid*"—yr "*holl donau a'r llifeiriant a aethant drosto*" pan yn cael ei fedyddio â'r bedydd y bedyddiwyd ef ag ef; ac y teimlai y cyfyngder, mewn ing mor fawr, nes gwaeddi allan, "*Ac mor gyfyng yw arnaf hyd oni orphener,*"—nid rhyfedd fod Ioan Einon yn trin yr ordinhad, sydd wedi ei gosod yn arwyddlun o'r dyoddefiadau mawrion hyny, mor ysgafn a chellweirus! Moddion y dyoddefiadau yw y "*goddiweddyd,*" y "*llifeiriant*" *yn dyfod*, y "*cwpan*" *i'w hyfed*, a'r "*cleddyf*" *i daraw;* ond y dyoddefiadau eu hunain yw y *bedydd!* Yno yr oedd y suddo. Nid all calon galed ac anffyddol deimlo!

*Rheswm XVII.*—Bod mynediad Israel trwy y Môr Coch ar dir sych, a hyny yn cael ei alw yn fedydd iddynt, pryd na throchwyd hwynt yn y cwmwl na'r môr, yn profi mai taenellu yw yr iawn ddull o fedyddio!

Nid oes un brawd Bedyddiedig wedi ceisio dangos ei fedrusrwydd erioed i droi bedydd ffugyrol Israel yn y cwmwl, ac yn y môr, yn drochi, er i Ioan Einon awgrymu hyny. Gwyddis nad oedd yno drochi mewn dwfr—gwyddis nad oedd yno daenellu dwfr o'r cwmwl, nac o'r môr-drochion, ychwaith. Nid oedd yno na throchi mewn dwfr, na thaenellu â dwfr, yn wirioneddol. Ond yr oedd yno fedydd, mor wirioneddol a bedydd yr Ysbryd Glan ar y Pentecost! Bedydd sych, fel hwnw! Trochiad sych, fel hwnw! Yr oedd y môr bob ochr i'r genedl, a'r cwmwl yn marchog yn fuddugoliaethus uwch eu penau; a'r golofn niwl o'u blaen, a'r golofn dân o'u hôl; a hwythau wedi eu gorchuddio gan y cwmwl a'r môr! ond nid oedd yno un dyferyn dwfr yn disgyn ar y genedl yn y bedydd sych hwnw! Pa le y mae taenelliad Einon, ynte? Bedydd ffugyrol oedd hwnw—trochiad sych, yn y cwmwl, ac yn y môr!

*Rheswm XVIII.*—Bod yr un gorchymyn yn y Testament Newydd yn nghylch bedydd, yn orchymyn i weision Crist i fedyddio, ac nid yn orchymyn i neb gymeryd eu bedyddio, yn profi bod y trochwyr yn son gormod am ufuddhau i holl orchymynion Crist, gan olygu wrth hyny i'r bobl gymeryd eu trochi.

Mae un gorchymyn pendant ar fedydd yn ddigon—nid oes eisiau mwy. Drwg y taenellwyr yw ceisio sefydlu gorchymyn arall ar y pwnc. Dylid cadw yr un gorchymyn hwnw yn nghyfraith yr efengyl Mae pallu yn yr un pwnc hwn o'r gyfraith, yn gwneyd dyn yn euog o'r cwbl. Mae anufudd-dod gwirfoddol a phenderfynol i un gorchymyn dwyfol, yn anufudd-dod i'r awdurdod sydd i'r holl orchymynion dwyfol. Felly, cymellir dynion i *ufuddhau* i gyfraith bedydd o'r *galon*, gan mai *ffurf yr athrawiaeth* ydyw. Ni orchymynir i weision Crist fedyddio neb ond yr edifeiriol a'r crediniol; felly y cyfryw yw deiliaid yr ordinhad, ac nid neb arall. Yna gorchymyn i'r crediniol i gael ei wneyd yn drochedig, yw yr unig orchymyn hwnw am fedydd, yn y Testament Newydd. "Edifarhewch, a bedyddier pob un o honoch yn enw Iesu Grist, er maddeuant pechodau." Dyna orchymyn i fedyddio—Pwy? Rhaid ateb:—Yr edifeiriol. Lle mae y baban?

*Rheswm XIX.*—Bod ordinhadau yr efengyl yn arwyddion o ryw wirioneddau mawrion a sylweddol ar gyfer pechadur, tra nad yw bedydd yn arwydd o ryw *brocess* ffugyrol mae y Cristion yn myned trwyddi—marw. Nis gall osod allan gladdu, gan mai ar eu traed yn syth, a'u penau i fyny, neu ar eu penau, a'u traed i fyny, y claddent yn Palestina, ac nid mewn beddau ar eu cefnau, fel gyda ni—a'u bod yn llosgi y cyrph yn Rhufain, felly dim claddu o gwbl, yn profi nad yw bedydd yn arwyddlun o gyd-gladdiad y Cristion gyda Christ—yna nid trochi sydd i fod yn y bedydd!

Nid oes eisiau ymdrech, talent, dysg, na chywreinrwydd y Doctoriaid Gale, Cox, a Gaion, na neb arall i weled ffolineb y *truth* uchod.

Nid y *dull* o gladdu, ond y *claddu*, yw y peth. Pa un bynag ai ar ei draed, neu ar ei ben y claddwyd Crist, fel yr awgryma Mr. Einon iddo gael ei gladdu ryw ddull heblaw ei roddi i orwedd mewn bedd, y cwestiwn yw, a gladdwyd ef? "A'i gladdu," medd y Gair Santaidd. Os claddwyd ef, dyna y claddu gydag ef yn y bedydd yn iawn; oblegid, mae claddu mewn bedd, a chladdu mewn dwfr, yn orchuddio y gwrthddrych, y naill fel y llall. Nid yw beth a wnai y Rhufeiniaid i'r cyrph, yn effeithio dim ar amcan y bedydd Cristionogol fel arwyddlun o farw, claddu, a chyfodi Crist, ac o farw, claddu, a chyfodi y Cristion gydag ef yn y bedydd, gan fod Crist wedi ei gladdu, ac wedi cyfodi drachefn. Os "*ei roi i fyny*," neu "*ei roi i lawr*," a wnaed gyda chorph Crist wrth ei gladdu, nid yw o un gwahaniaeth, os y claddwyd ef ac y cyfododd drachefn; oblegid arwydd o'r ffeithiau yno ydyw bedydd; yn nghydag o'r "*process ffugyrol*" y mae y Cristion yn myned trwyddo, "trwy ffydd gweithrediad Duw"—marw i bechod, a chyfodi i rodio mewn newydd-deb buchedd. Fel yna y mae bedydd "*yn arwyddlun o ryw wirioneddau mawrion a sylweddol ar gyfer dyn fel pechadur colledig*," fel y dywed Ioan Einon. Priodol iawn y dywedir am y trochedigion yn y bedydd: "Wedi eich cyd-gladdu gydag ef yn y bedydd," yr hyn ni ellir byth ddyweyd am deulu bedydd y dyferyn.

Mae bedydd yn arwyddo claddedigaeth ac adgyfodiad Crist; a marwolaeth ac adgyfodiad y Cristion yn ffugyrol.—Gwel Luther, Calfin, Wesley, Clarke, Doddridge, a'r Rhuf. vi. 3—6., a'r Col. ii. 12. Maent oll yn erbyn Mr. Einon.

*Rheswm XX.*—"Bod yr unig orchymyn a roddodd Iesu yn nghylch bedyddio"—y comisiwn mawr—"Ewch a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio"—yn cynwys plant, mor glir a diddadl ag y mae yn cynwys bedydd ei hunan, yn cau allan yn llwyr y syn iad sydd gan y trochwyr, mai drws i'r eglwys yw yr ordinhad hon. Drws i'r oruchwyliaeth, ac nid i'r eglwys yw bedydd!" Carwn wybod beth mae yr awdwr yn ddeall wrth oruchwyliaeth, yn yr ystyr dan sylw.

Beth oedd yr hen oruchwyliaeth, ond trefn Duw i ymwneyd â'r byd trwy y gyfraith? Beth yw yr oruchwyliaeth efengylaidd, ond trefn Duw i ymwneyd â'r byd trwy ffydd? Os yw ein hawdwr heb ddeall y gwahaniaeth rhwng y ddeddf a gras, neu rhwng y gyfraith a ffydd, darllened yn ystyriol a myfyriol lythyrau Paul at y Rhufeiniaid ac at y Galatiaid. Dan y gyfraith yr oedd yr holl genedl Israelaidd yn eglwys i Dduw. Bod yn hâd naturiol Abraham, yn llinach Isaac a Jacob, trwy y deuddeg patriarch, oedd yn rhoddi hawl i fod yn aelodau o'r eglwys hono, neu yn bobl cyfamod Duw. Arwydd y cyfamod hwnw oedd yr enwaediad. Ffolineb yw dyweyd mai sêl y cyfamod oedd yr enwaediad. Gwaith dyn oedd enwaedu, ac nid gwaith Duw; ond gwaith Duw oedd selio ei gyfamod â gwaed yr aberth. Gwaed yr aberth oedd sêl y cyfamod, ac nid gwaed yr enwaediad. Yr oedd yr oruchwyliaeth hono yn cymeryd i mewn yr holl genedloedd i'r eglwys, ar yr amod o gymeryd Duw Israel yn Dduw, pobl Israel yn bobl, crefydd Israel yn grefydd. Dyna yr ail-enedigaeth dan y gyfraith. Arwydd bod y cenedl-ddyn wedi dyfod i mewn i'r cyfamod hwn trwy dderbyn yr amodau hyn, oedd yr enwaediad. Pa ddrws i'r hen oruchwyliaeth oedd yr enwaediad, pryd yr oedd yr enwaediad yn bod ganoedd o flynyddau cyn sefydlu yr hen oruchwyliaeth? Peth wedi ei gymeryd oddiwrth y tadau, ac nid wedi ei roddi trwy Moses i'r hen oruchwyliaeth oedd yr enwaediad. Yr oedd i fod yn arwydd cyfamod rhwng Duw a'r genedl; ac yn arwydd cyfamod rhwng Duw a'r cenedl-ddyn a dderbyniai amodau yr addewid, ac a ddeuai yn ddinasydd o wladwriaeth Israel, neu yn aelod o'r eglwys Israelaidd. Ond ai felly mae pethau i fod dan yr efengyl? dan ras? neu dan ffydd? Ai eglwys wladol, genedlaethol, a chnawdol felly, yw eglwys Crist? Ai perthynas gnawdol sydd yn rhoddi hawl i aelod-

aeth ynddi? Ai eglwys seremoniol a chysgodol, fel yr eglwys Iuddewig, yw yr eglwys Gristionogol i fod? Ai yn mhethau gweledig a chnawdol yr efengyl, mae pethau gweledig a chnawdol yr hen oruchwyliaeth i gael eu sylweddoli? Ai nid yn mhethau ysbrydol yr efengyl y mae ordinhadau cysgodol y gyfraith, yn cael eu sylweddoli? Ai nid yn Nghrist y sylweddolir Oen y Pasc? Ai nid yn ngoruchwyliaeth Ysbryd Duw ar y galon y sylweddolir yr enwaediad cnawdol?

Bedydd yn ddrws yr oruchwyliaeth, yn wir! Beth yw meddwl yr awdwr wrth hyn, wys? Ai nid trefn Duw i dderbyn pechaduriaid edifeiriol i'w faddeuant a'i gymod, heb aberth nac offrwm, na dim seremoniol yn amodau y drefn, ond yn unig ffydd yn Nghrist y sylfaen cymeradwyaeth ger bron Duw, ydyw yr oruchwyliaeth efengylaidd? Onid yw hon yn ymledu dros yr holl fyd, ac yn cymeryd pob pagan i mewn iddi? A raid bedyddio y pagan cyn y bydd goruchwyliaeth yr efengyl fyned ato i'w alw i edifeirwch tuag at Dduw, a ffydd tuag at ein Harglwydd Iesu Grist? Mae drws i beth yn golygu y fynedfa i mewn iddo. Yn ol ein hawdwr, bedydd yw y fynedfa i mewn i oruchwyliaeth yr efengyl; yna nid yw plant y Bedyddwyr, y rhai na fedyddiwyd, dan oruchwyliaeth yr efengyl! Mae babanod bychain taenelledig, y rhai na wyddant am efengyl mwy nag y gŵyr cywion brain, dan oruchwyliaeth yr efengyl; a phlant y Bedyddwyr, y rhai na fedyddiwyd, er eu bod yn eu cyflawn oedran, a synwyr, a deall, a rheswm, eto heb fod dan oruchwyliaeth yr efengyl!!

A oes rhyw synwyr, heblaw synwyr taenellyddol, yn deall y fath ynfydrwydd direswm a hyn yna? Dan oruchwyliaeth yr efengyl, torwyd ymaith yn hollol ac am byth, yr eglwys Iuddewig, fel nad yw gwladwriaeth Israel mwy yn eglwys i Dduw, mwy na rhyw lywodraeth wladol arall; ac y sefydlwyd yr Eglwys Gristionogol yn y byd; yr hon nad yw yn cydnabod unrhyw berthynas gnawdol yn rhoddi hawl aelodaeth ynddi; ond yn gofyn edifeirwch a ffydd oddiwrth bob dyn yn bersonol; heb yr hyn nid yw yn cael ei gydnabod yn gymwys i'w dderbyn i eglwys y ffyddloniaid yn Nghrist Iesu; a phrawf bod y dyn yn derbyn amodau y cyfamod newydd hwn, ydyw ei ufudd-dod i'r ordinhad o fedydd, trwy yr hon y derbynir ef yn aelod i'r eglwys, ar sail y broffes gyhoeddus a wnaed ganddo yn y bedydd o'i ffydd bersonol yn Nghrist. Nid all un dyn beidio bod yn ddeiliad goruchwyliaeth yr efengyl; oblegid nid ufudd-dod dyn iddi yw amod rhoddiad yr oruchwyliaeth, eithr Iawn Crist. Ond nid all neb fod yn aelod o eglwys Crist dan yr oruchwyliaeth hon, ond had ysbrydol Abraham, trwy ffydd yn Nghrist Iesu; oblegid amod y fraint hon ydyw ffydd bersonol yn Nghrist. Gal. iii. 21—29. Drws i'r eglwys yw bedydd, ac nid drws i'r oruchwyliaeth.

Sylfaena Ioan Einon "fedydd babanod" ar y comisiwn,—"Ewch, a dysgwch yr holl genedloedd, gan eu bedyddio"—gan haeru bod yr holl genedloedd ynddo yn cynwys pawb, ac felly yn cynwys babanod!

Gofynwn i'n hawdwr yn ddifrifol a syml, "A yw y gorchymyn sydd yn cynwys pawb, i gau neb allan?" Nag yw, wrth bob rheswm. Os pawb, pawb: Os yr holl, yr holl. Felly, mae y comisiwn sydd yn gorchymyn bedyddio yr holl genedloedd, yn cynwys pawb, o bob gradd, cyflwr, a chymeriad! Iesu Grist yn gorchymyn bedyddio yr holl genedloedd, yn fabanod. yn lladron, yn fwrddwyr, yn odinebwyr, yn feddwon, yn ynfydion, yn wallgofiaid, yn gelwyddwyr, yn anffyddwyr, yn gablwyr, ac yn anghredinwyr!!! A ydyw y taenellwyr yn foddlon i'r syniad, bod Iesu Grist yn gorchymyn bedyddio "*yr holl*" gymeriadau uchod? Os ydyw y comisiwn yn cynwys "*yr holl genedloedd,*" y mae yn rhaid ei fod yn cynwys yr holl gymeriadau yna i gyd!

Rhaid cael rhyw ddeongliad mwy cyfredol â santeiddrwydd yr efengyl ar "holl genedloedd" y comisiwn, ebe pob synwyr, na yr uchod; onide, teifl holl drefn yr efengyl i'r annhrefn mwyaf.

Beth yw y meddwl dwyfol yn y comisiwn? Dyma efe:—"Ewch a gwnewch ddysgyblion o'r holl genedloedd, gan fedyddio y dysgyblion hyny, yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan, gan rwymo ar y bedyddiedigion hyn holl ddyledswyddau gorchymynedig gan Grist i'w eglwys i'w cadw er gogoniant crefydd yr efengyl, a chynydd y saint ar ddelw Duw." Mae y gair *Mathetusate*—"dysgu," yn nechreu y comisiwn, yn perthyn i'r holl genedloedd; ac yn golygu gwneyd dysgyblion o honynt trwy eu dysgu. Yr holl genedloedd yw gwrthddrych y ferf Roegaidd hon. Mae y gair *baptizontes*—gan eu gwneyd yn drochedig, yn perthyn i'r rhai a wneir yn ddysgyblion, oblegid dysgyblion ydyw gwrthddrych y ferf. Nid yr holl genedloedd sydd i'w bedyddio, ond yn unig y rhai a wneir o honynt yn ddysgyblion. I'r rhai hyn y perthyn y ferf—*baptizontes*—"gwneyd yn drochedig." Mae y gair, *Didaskontes*—"gan ddysgu iddynt gadw pob peth a orchymynais i chwi," yn arwyddo, "gan *rwymo* arnynt," ac yn perthyn i'r bedyddiedigion; oblegid hwynt-hwy yw gwrthddrych y ferf. Felly rhed y synwyr fel y canlyn:—"Ewch, a gwnewch ddysgyblion o'r holl genedloedd. gan wneyd y dysgyblion hyny yn drochedig, yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân, gan rwymo ar y bedyddedigion gadwraeth pob peth a orchymynais i chwi?" Pa le mae babanod yn y comisiwn, yn awr? Allan o gylch y bedydd, gan eu bod allan o gylch y dysgu. Nid oes y sail leiaf, na chysgod o sail, i fedyddio babanod yn y comisiwn. Tylawd arw yw y rheswm hwn, onide?

## PAROTOAD Y BYD I GRISTIONOGAETH.

GAN OWEN JAMES.

I.

Un bydysawd y sydd, ac un Llywodraethwr ar yr un bydysawd hwnw. Gan fod y Llywodraethwr yn anfeidrol yn ei gariad, yn berffaith yn ei ddoethineb. ac yn annherfynol yn ei allu, naturiol yw dysgwyl y byddai y llywodraeth yn ddaionus yn ei hamcan, yn anghyfnewidiol yn ei chynllun, ac yn gyflawn yn ei goruchafiaeth. Nis gellir synied am gariad anfeidrol yn amcanu drwg, am ddoethineb perffaith yn cyfnewid, nac am allu annherfynol yn rhanol yn ei lwyddiant. Rhaid i ni edrych ar hanes y ddynoliaeth fel un cyfanwaith mawr yn cael ei gario yn mlaen gan ein Tad Nefol er pureiddio a pherffeithio ei blant. Canolbwynt y cyfanwaith yw y groes. O un tu, cydweithia pob peth i ddwyn Iesu i Galfaria; o'r tu arall, cydweithia pob peth i ddwyn y byd i Galfaria. "Pan ddaeth cyflawnder yr amser y danfonodd Duw ei Fab." Yr oedd holl hanesiaeth flaenorol yn barotoad i hyn, ac yn y parotoad hwn yr oedd yr Iuddew a'r Pagan yn cyfranogi. Dywed un, "fod Iuddewiaeth yn parotoi iachawdwriaeth i'r byd, tra yr oedd Paganiaeth yn parotoi y byd i iachawdwriaeth." Y mae hyn yn wir, ond nid yw yn wir i gyd, oblegid gwnaeth Iuddewiaeth hefyd lawer i barotoi y byd i iachawdwriaeth. Yn achos yr Iuddew, dygwyd y parotoad yn mlaen yn benaf trwy foddion goruwch-naturiol, tra y gadawyd y Pagan i'w alluoedd ei hun. Dysgwyd yr Iuddew yn benaf am Dduw trwy ddadguddiad, ond dysgwyd y Pagan am ddyn trwy brofiad.

Yn yr ysgrif bresenol cawn sylwi yn unig ar ddylanwad y Paganiaid yn mharotoad y byd i Gristionogaeth. Yn fwyaf neillduol, cymerodd tair cenedl fawr hanesig, sef y Dwyreiniaid, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid, ran flaenllaw yn y parotoad hwn. Yr oedd y Dwyreiniaid yn cynwys y Babiloniaid a'r Medo-Persiaid. Yn nelw fawr prophwydoliaeth Daniel cynrychiolir y cyntaf gan y pen aur, a'r ail gan y ddwy-fron a'r breichiau arian. Yn mhrophwydoliaeth ddiweddarach y pedwar anifail, gosodir y cyntaf allan gan yr anifail oedd fel llew, ac iddo adenydd eryr—llew mewn nerth, ac eryr mewn buandra,—a'r llall gan yr anifail oedd fel arth, o herwydd yn ei hawydd am fuddugoliaeth, yr oedd yn

rheibus fel arth. Pan yn uchder eu gallu o dan Xerxes, cafodd y Medo-Persiaid eu gorchfygu gan y Groegiaid, y rhai o dan Alexander, oeddynt i lywodraethu yr holl ddaear. Yn ngweledigaethau Daniel, dangosir nerth y Groegiaid gan y prês yn y ddelw; a chyflymdra eu buddugoliaeth, a gorwancrwydd eu huchelgais gan y trydydd anifail yr hwn oedd fel llewpard, a phedair aden a phedwar pen. Yr Ymerodraeth Rufeinig oedd pedwerydd teyrnas prophwydoliaeth Daniel. Mynegir ei nerth gan haiarn y ddelw, a'i chymeriad ofnadwy gan y pedwerydd anifail, yr hwn sydd gryfach na'r llew, yn fwy rheibus na'r arth, yn fuanach a chreulonach na'r llewpard, ac i'r hwn ni roddwyd enw. Bu y tair cenedl hyn yn foddion i barotoi y byd mewn tair ystyr, sef yn foesol, yn feddyliol, ac yn wleidyddol. Yr oedd y parotoad moesol yn nacaol, a'r un meddyliol a gwleidyddol yn gadarnhaol.

Amcan y parotoad moesol oedd profi yr angenrheidrwydd am ddadguddiad dwyfol, neu ddangos annigonorlrwydd adnoddau dynol i ddiwallu angenion ysbrydol dyn—i'w ryddhau oddiwrth allu ac effeithiau ei chwantau a'i nwydau—i ddadblygu a chryfhau yr hyn sydd ogoneddusaf yn ei natur. Y mae pawb yn brofiadol o ryw ddyryswch poenus yn eu cyfansoddiad, ac o ryw chwenychiadau dyfnion yn eu heneidiau. A ellir dad-ddyrysu y cyntaf, a diwallu yr ail—dyna y pwnc roddwyd i ddynoliaeth i'w weithio allan.

Yr oedd y Dwyreiniaid yn cynddrychioli cyfoeth, moethau, gallu, a gwychder daearol. Ceisiasant drwy y pethau hyn i ddiwallu eu crefiadau, ac i ddyrchafu a pherffeithio eu natur, ond methasant; er iddynt feddianu y pethau hyn yn helaeth, eto yr oeddent yn annedwydd ac ar drengu—yn suddo yn ddyfnach, ddyfnach i lygredigaeth a thrueni yn barhaus.

Yr oedd y Groegiaid yn cynddrychioli gwrtaith meddyliol a chwaethyddol. Trwy ddadblygu hyd yr eithaf reswm a chwaeth—y gyneddf sydd yn gwahaniaethu rhwng y gwir a'r anwir, a'r gyneddf sydd yn gwahaniaethu rhwng y prydferth a'r anmhrydferth, ceisiasant gadw dyn rhag llygredigaeth, a'i ddyrchafu i'w urddas cynhenid. Am fil o flynyddoedd defnyddiasant eu galluoedd amrywiedig a'u hathrylith gyflawn, i geisio perffeithio dynoliaeth. Dygasant oddiamgylch y gwareiddiad mwyaf mawreddog a welodd y byd erioed—mawreddog yn ei farddoniaeth a'i athroniaeth, yn ei wyddoniaeth a'i gelfyddyd. Ychydig iawn y mae athrylith ddiweddar wedi gallu rhagori ar gynyrchion yr hen oesau. Er y cydnabyddwn gyfeiliornadau Socrates, Plato, ac Aristotle, eto, nis gallwn beidio penlinio mewn edmygedd o flaen nerth a gwrtaith eu meddyliau. Ni fu y celfau breiniol erioed yn rhagorach nag oeddynt ddeunaw canrif yn ol. Yr oedd gweithiau y cerfiwr a'r paentiwr mor berffaith ag y medrai llaw ddynol eu gwneyd. Yn llaw y Groegwr y cyrhaeddodd prisaeraeth ei bri penaf. Y mae beirdd ac areithwyr ein hoes ni yn cael eu *models* yn Homer a Demosthenes. Eto, er yr holl ddadblygiad meddyliol hwn, myned yn llai ei rinwedd oedd dyn, ac er y gwrteithiad chwaethyddol, yr oedd ei foesau yn gwaethygu yn barhaus. Fel hyn, bu y Groegiaid yn offerynau i brofi annigonolrwydd rheswm a chwaeth ddynol, yn eu cyflwr mwyaf manteisiol i gadw dynoliaeth rhag drygioni.

Nodweddid y Rhufeinwr gan y rhan hono o ddyn sydd yn ei wthio i weithredu, ac yn ei alluogi i reoleiddio a moldio natur a dynolryw, sef ewyllys, mewn cysylltiad â'r gyneddf sydd yn gwahaniaethu rhwng yr uniawn a'r anuniawn, sef y gydwybod. Ceisiodd ef gadw dyn trwy ddeddfwriaeth; ynddo cymerodd gallu dynol ffurf cyfraith. Rheoleiddiwyd ef gan egwyddorion gwleidyddol, yn mhlith pa rai yr oedd parch i gyfraith ac i gyfiawnder yn fwyaf nodedig. Gwnaeth y dyn yn israddol i'r dalaeth, a chyfododd y dalaeth uwchlaw pob peth. Fel hyn, trwy yni tanbeidiol ei enaid gwrol, yn ei ymdrech i ddarostwng y byd i gyfraith ac i drefn, llwyddodd y Rhufeinwr i sefydlu ymerodraeth gyffredinol, ond

ni lwyddodd i roddi i ddyn lywodraeth ar ei nwydau a'i chwantau, ac i ddadblygu galluoedd penaf ei enaid. Gwnaeth ei oreu, ond methodd. Yr oedd y Rhufeinwr mor ddiymadferth a'r Dwyreiniwr a'r Groegwr. Yr ydys wedi gwneyd prawf ar holl gyneddfau dyn—ar ei ddymuniadau yn y Dwyreiniwr, ar ei reswm a'i chwaeth yn y Groegwr, ac ar ei gydwybod a'i ewyllys yn y Rhufeinwr; ond trodd pob ymgais yn fethiant. Rhaid edrych am nodded i ryw gyfeiriad arall; rhaid troi oddiwrth ddyn at Dduw. Cymerodd filoedd o flynyddoedd i'r byd i ddysgu y wers hon.

Yn feddyliol a gwleidyddol bu dylanwad y tair cenedl uchod mor fawr a phwysig ag y bu yn foesol. Cafodd gwrtaith y Dwyreiniaid effaith iachusol ar feddyliau yr Iuddewon, fel y cawn ddangos mewn ysgrif arall. Daeth y Groegiaid a'r Rhufeiniaid ar ol hyny i gyffyrddiad â'r Iuddewon, a bu y canlyniadau o'r ddwyr ochr yn gyfoethog o fendithion i'r holl ddaear. Mwy am hyn eto.

Yr oedd dylanwad cadarnhaol dysgeidiaeth y Groegiaid ar y byd yn driphlyg:

1. Galluogodd ef i ddeall gwirioneddau ysbrydol Cristionogaeth. Gall plentyn ddeall pethau anianol—pethau sydd yn apelio at ei synwyrau corphorol, ond rhaid cael meddwl diwylliedig i ddeall athroniaeth feddyliol. Ysbrydol ac nid anianol, mewnol ac nid allanol yw gwirioneddau yr efengyl, a rhaid i'r meddwl gael ychydig wrtaith cyn y gall eu deall a'u gwerthfawrogi. Cyfododd Duw y Groegiaid i ddadblygu a gwasgaru y gwrtaith hwn.

2. Gwnaeth gwareiddiad yr oes dystiolaeth y rhai a glywsant yr efengyl gyntaf yn deilwng o ymddiriedaeth oesau dilynol. Pe byddai yr efengyl wedi ei phregethu ar y cyntaf i bobl anwybodus a barbaraidd, byddai yn hawdd i ddynion ddyweyd fod tystiolaeth y cyfryw yn codi oddiar ofergoeledd. Felly yr oedd galwad am iddi gael ei phregethu mewn oes oleuedig, i bersonau sylwgar a chraffus. Oes felly, oedd oes Iesu Grist, a thrwy y Groegiaid y parotodd Duw hi.

3. Athrylith y Groegiaid fu yn foddion i barotoi i'r byd iaith gymwys i ddiogelu gwirioneddau yr efengyl, a'u trosglwyddo i oesau dyfodol. Graddol iawn y tyfa iaith; cyd-dyfa â'r meddwl. Meddwl plentyn, iaith plentyn; meddwl gwr, iaith gwr. Babanaidd oedd iaith y byd yn ei fabandod. Nis gallai fynegu na diogelu syniadau cymwys i'r byd yn ei ddyndod. Ond pan ymddangosodd Iesu, yr oedd iaith y Groegwr yn ei gogoniant. Ni fu iaith erioed yn fwy cyfaddas i wirioneddau ysbrydol pur Mab Duw.

Mewn cysylltiad â gwleidyddiaeth yn benaf, y gwelir dylanwad cadarnhaol y Groegiaid ar barotoad y byd i Gristionogaeth. Cyfododd Duw hwy i berffeithio deddfwriaeth wladol. Pan ddaeth Iesu yn y cnawd, yr oedd y byd yn y cyflwr gwleidyddol mwyaf ffafriol i ledaeniad buan ei genadwri dros wyneb y ddaear. Yr oedd yr Ymerodraeth Rufeinig yn ei gogoniant. Yr oedd yn dair mil o filldiroedd o hyd, ac yn ddwy fil o led, a'i phoblogaeth yn agos i chwe ugain miliwn. Yr oedd yr eangder hwn yn gymellydd ac yn hyrwyddydd cymysgiad cymdeithasol a chenedlaethol. Dygodd y cymysgiad hwy i adnabyddiaeth a'u gilydd. Agorodd yr adnabyddiaeth eu calonau, a llanwodd hwy a rhyddfrydigrwydd. Galluogodd y rhyddfrydigrwydd hwy i anghofio eu neillduolion eu hunain, ac i fabwysiadu neillduolion eu gilydd. Ychydig cyn hyn yr oedd yr eangder hwn yn gynwysedig o amryw fân dalaethau gelyniaethus. Yr oedd yn berygl bywyd i ddyn basio o'r naill i'r llall o honynt. Ond yn awr, yr oeddent oll wedi eu hasio yn un ymerodraeth fawr ganolog; ac yr oedd dinesydd Rhufeinig yn berffaith ddiogel pa le bynag y byddai. Ni feiddiai yr Iuddewon fflangellu Paul wedi iddynt ddeall mai gwr o Rufeiniad oedd.

Eto, yr oedd y Rufeiniaid wedi gwneyd teithio yn waith cymarol hawdd. Yr oedd tri-deg-ac-un o ffyrdd ardderchog yn cydgyfarfod yn y *Forum*, yn ymestyn trwy Itali a'r tiriogaethau,

ac yn terfynu yn nghyffiniau yr ymerodraeth. Croesid·yr afonydd â phontydd cyfaddas; ac mewn manau cyfleus yr oedd porthladdoedd mawreddog i dderbyn y morwr helbulus. Yr oedd yr holl fyd adnabyddus yn agored i weision Iesu i fyned i bob man gan bregethu y gair.

Yn mhellach, yr amser hwnw yr oedd cryn radd o oddefiad crefyddol yn cael ei fwynhau. Yr oedd rhyddid i bob cenedl i gadw ei chrefydd ei hun. Y mae yn wir fod yno ddeddf yn gwahardd dysgu crefydd newydd. Ond yn marn pawb ond yr Iuddewon, nid oedd Cristionogaeth ond arwedd o Iuddewiaeth, ac o herwydd hyny, Iuddewon yn unig oedd yn ei gwrthwynebu. Yn y modd hyn pan gododd erledigaeth gyffredinol, yr oedd yr efengyl wedi buddugoliaethu yn helaeth yn mhlith dynion.

Sylwn yn olaf, fod yr iaith Roeg, nid yn unig wedi ei dadblygu, ond hefyd wedi ei dwyn i ymarferiad cyffredinol drwy yr holl ymerodraeth. Nid oedd raid i Paul a'i gydweithwyr dreulio blynyddoedd mewn gwledydd Paganaidd i ddysgu iaith y trigolion cyn dechreu pregethu. Pregethent yn yr iaith Roeg, ac yr oedd y bobl yn eu deall drwy y rhan fwyaf o'r byd adnabyddus. Rhyfedd fel yr oedd ein Tad Nefol yn gweithio yn, a thrwy amgylchiadau ei blant anufudd hyn—y Groegiaid a'r Rhufeiniaid, ac yn peri i bob peth gydweithio er parotoad iachawdwriaeth i'r holl ddaear.

## DAFYDD EVANS, FFYNONHENRY

Wrth bregethu yn nghylch Jonah yn pregethu i'r Ninefeaid, sylwai yn nghorph ei bregeth fel hyn :—

"Yr wy' i am i ti fyn'd i Ninefeh, ebe Duw wrth Jonah. I beth? ebe Jonah. I bregethu, ebe Duw. 'Does gyda fi ddim pregeth, ebe Jonah. O, mi r'o i bregeth i ti, ebe Duw. "Deugain niwrnod fydd eto a Ninefeh a gwympir!" Na na i, ebe Jonah, mae hona yn gelwydd bob gair; wdw i yn dy nabod di yn rhy dda lawer i gredu pregeth fel yna. A ddywedi fy mod i yn gelwyddog, ebe Duw. Cer' i Ninefeh mewn mynyd wrth mod i yn dweyd wrthot ti. Na na i'n wir, ebe Jonah, cer dy hunan. Mi 'na i ti fyn'd, ebe Duw. Mi ddala i na 'nei di, ebe Jonah, a ffwrdd ag ef fel mwrddwr i rywle, lawr tua Joppa, ac fe gafodd long yno yn hwylio i Tarsus, à chytunodd â hi yn y fynyd; wnaeth e ddim hocan dim â'r cadben am y pris, ond fe dalodd yn y fan, a mewn ag ef i'r llong, a dyma hi yn hwylio. All right 'nawr, ebe Jonah, fe fydda i'n siwr o gario'r wager. Ond fe ddanfonodd Duw y "gwas mawr," sef gwynt, fel policeman ar ei ol e, i gael myn'd ag ef i Ninefeh. Ond pa fodd oedd ei gael allan o'r llong? Dyma'r gwas mawr yn dechreu chwipio'r ail was, sef y dwfr, a neidiai hwnw gan agoryd ei safn, a bygwth llyncu y llong a chwbl. Dechreuodd y morwyr wylltu ac ofni, a phob un yn galw ar ei Dduw —ac yn wir, yr oeddent yn well na llawer; y rhai sydd heb obaith ac heb Dduw yn y byd, yn well na Jonah. Yr oedd e'n gallu cysgu yn ystlysau y llong; taflasant y dodrefn allan i gael gweled a fyddai dipyn yn well. Ond dim tipyn tra y byddai yr hen ddodrefnyn rhyfedd yna yn ystlysau y llong. Taflasant goelbren, a disgynodd ar Jonah, a gorfu arno roi cyfrif am dano ei hun, a myn'd trwy ei gyffes ffydd yn y man hyny, ac un rhyfedd iawn oedd hi. Beth wnawn i, fel y gostego y môr oddiwrthym? ebe'r bechgyn. Bwriwch fi i'r môr, ebe Jonah, a'r môr a ostega i chwi. Yn wir, dyma ***game;*** yr oedd yn well ganddo fyned i'r gwaelod na myned i Ninefeh. Yr oedd yn well ganddo golli ei fywyd na cholli'r wager â Duw. Eto yr oedd yn anhawdd gan y morwyr ei roddi fyny; bechgyn ffamws o'n nhw. Gadewch i ni wneyd un ymdrech i fyn'd 'nol i dir eto, meddent; 'nawr fechgyn, ***all hands*** am dipyn bach! Ond wnai hi ddim o'r tro. Yr oedd y gwas mawr yn rhuo fel arthes wedi colli ei chenawon—yn gwasgu yr hen long rhwng ei freichiau nes ei bod yn crackian, ac yn dweyd yn ei hiaith, towlwch yr hen ddyn yna i'r môr; towlwch yr hen ddyn yna dros

y bwrdd, onite fe'ch bodda chwi bob un yn y fan; a phenderfynasant yn y diwedd ei daflu. Galwyd offeiriad yno i ddarllen y gwasanaeth, gael ei gladdu yn grefyddol beth bynag; a rhowd e'n esmwyth lawr i'r môr. Wel, dyma'r ddau was wedi ei gael o'r llong, ond pa fodd mae ei gael i Ninefeh? Yr oedd ganddynt forfil mawr yn y man hyny yn barod i'w dderbyn. Hawff! ebe'r morfil, a llyncodd ef yn ddiseremoni, fel llyncu cilionen. Ond os do, fe edifarodd lawer; un *tough* oedd Jonah yn mhob man. Ar ol ei lyncu, dyma'r hen bysgodyn ffwrdd yn wyllt trwy y cefnfor, a gwaeddai'r pysgod ar ei ol, Hei, hei! beth sy' arnat ti; beth sy'n bod heddyw? O, mi lynces ddyn, ebe'r hen bysgodyn. Twt! fe lyncest ddyn lawer gwaith o'r blaen, a mwy na hwna mi wranta. Do, do; un bitw bach yw e, ebe'r pysgodyn; ond mae'r filen yn fyw yn y mola i. Hwda fe ma's, hwda fe ma's, i gynllwyn ag ef mewn mynyd. 'Rwy'n methu yn deg, 'rwy'n methu yn deg; a ffwrdd y carlamai trwy yr eigion mawr fel ych ar y tes, gan daro yn erbyn y pysgodyn hwn ac un arall; a chwythu ac ocheneidio yn dost, a dweyd yn fynych, Och y fi! os ca' i wared ar hwn, lynca i ddyn byth ond hyny. (Gwnei y cyfle cynta gei di.) Yr oedd yntau, yr hen bregethwr ystyfnig, yn methu deall beth oedd yn bod, a pha le yr oedd. Yr oedd fel pe bae rhwng mynyddoedd yn yr eigion, ac yn gorwedd ar obenydd o wymon, ac ni chysgai yn ystlysau y pysgodyn fel yn y llong, ond gweddio ei chalon i yn awr. Teimlai y pysgodyn fel gwewyr esgor arno o hyd, ac yn mhen tridiau a theirnos, cafodd rydd-had, a bwriodd yr hen bregethwr i fyny yn rhondyn ar y traeth, a neidiodd ar ei draed. Good bye i ti, ebe Jonah, gwared da ar dy ol di. Gwared da ar dy ol dithau yn wir, ebe'r pysgodyn; a chan nad faint o dda oedd gan Jonah i gael gwared ar y pysgodyn, yr oedd llawn cystal gan y pysgodyn i gael gwared o Jonah.

Dyma Dduw yn dweyd wrtho yr ail waith, Dos i Ninefeh. Wnaeth o ddim siarad, ond ffwrdd ag ef yn ddigon diddig. 'Ah! dyna'i stwytho fe, fe gollest y wager, Jonah; 'stim i 'neyd 'nawr ond pregethu. Yn mhen y ddinas dyma fe yn rhoi y tro cyntaf dros y bregeth, ac yn gwaeddi allan nerth ei geg, "Deugain niwrnod fydd eto, a Ninefeh a gwympir!" a mlaen ag ef trwy'r ddinas, a golwg ryfedd ac annaearol arno, gan floeddio, "Forty days and Nineveh shall fall!" Tyrai y plant a dynion mewn oed o'i amgylch yn ganoedd, gan ei ddylyn trwy yr heolydd. Safai lot o forwyr ar ben un heol yno; Hei Jack, ebe un o honynt, dyna yr hen ddyn daflon ni i'r môr pwy ddydd rhwng Joppa a Tarsus. Ië, wirionedd i, ebe'r llall, 'dwyt ti ddim yn cofio mod i'n dweyd i mi dybied i bysgodyn ei lyncu. Yr oedd rhywbeth yn *odd* yn yr hen ddyn. Dyna fe, fel rwy' i byw, a physgodyn ddarfu ei lyncu. Edrychwch, mae yn un *scales* 'sgadan bob tipyn; chas un pysgodyn mwy na ninau, ddim llonydd nes cael ei wared. Yn mlaen yr ai Jonah heb wneyd siarad â neb trwy'r heolydd, a'i wyneb yn wgus fel Sinai, gan floeddio, "Deugain niwrnod a fydd eto, a Ninefeh a gwympir." Dacw'r dynion yn dechreu dangos edifeirwch, a gweled eu perygl. Safai o flaen siop crydd, gan floeddio, "Deugain niwrnod a fydd eto, a Ninefeh a gwympir." O! fechgyn, fechgyn, ebe'r crydd, mae prophwyd Duw wedi dod; mae'r farn wedy'n dala, ymostyngwn; os gwel Duw yn dda drugarhau, ni roddaf risgl gwernen o dan yr esgid yn lle tapyn byth ond hyny. Ffwrdd a Jonah, gan sefyll o flaen siop grocery fawr, a llefain yn groch, "Deugain niwrnod a fydd eto, a Ninefeh a gwympir!" O, fechgyn, fechgyn, ebe'r grocer, mae'r farn wedi ein gorddiwes. 'R'ym ni wedi bod yn ddrwg iawn; nid yw hyn ond ein haeddiant; ond os gwel yr Arglwydd yn dda drugarhau y tro hwn, fe fyddwn yn well; ni wnawn roddi rhy fach o bwysau mwy, na sand yn y siwgwr byth ond hyny. Safai ef wed'yn o flaen siop drapery fawr, gan fyned dros ei bregeth mor ddychrynllyd ag erioed, "Deugain niwrnod a fydd eto," &c. O! ebe'r siopwr, dyma brophwyd Duw Israel yn

cyhoeddi barn fuan ac ofnadwy uwch ein penau. Mae ar ben arnom. Ymostyngwn, ymostyngwn; fe allai y gwna drugarhau, fechgyn; chwiliwch am bob sach a chanfas yn y siop, i ni gael ymostwng; ac os gwel yn dda ein harbed y tro hwn, ni roddwn rhy fach o fesur, na thwyllo yn y pris, na *cheato* yn y trimmings byth ond hyny. Yn mlaen ag ef wedy'n, a safai o flaen adeilad mawr, lle yr oedd llawer o ferched llygadog yn edrych trwy'r ffenestri, ac yn sefyll ar y drysau. Puteindy mawr oedd hwn. "Deugain niwrnod a fydd eto, a Ninefeh a gwympir!" Ferched, ferched, ebe rhywun a safai gerllaw; mae ar ben ar eich masnach; yr y'ch chi wedi bod yn rhy ddrwg, a'ch drygioni wedi tynu barn ar y ddinas, mae ar ben arnoch chwi. Meindia di dy fusnes! ebe rhyw hen butain haerllug! mae gyda ni gystal siawns am fywyd tragywyddol a thithau. Yn mlaen ai Jonah, ac i balas y brenin; a dacw fe yn sefyll o flaen ei fawrhydi yr un fath a phe bae yn gardotyn, a'i ffon yn ei law, a'i lygaid yn fflamio gan dân barnol, a swn dinystr a chwymp y ddinas yn ei lais, "Deugain niwrnod a fydd eto, a Ninefeh a gwympir," ebai, a dyma'r brenin yn disgyn oddiar ei orsedd, lawr a'r goron, lawr a'r deyrnwialen, lawr a'r freninwisg, a fyny a'r sachlian, a dyco fe yn treiglo yn y lludw fel hen geffyl yn y braenar, ac yn gorchymyn i'r holl ddinas wneyd yr un peth. "Gwyr Ninefeh a gredasant i Dduw, ac a gyhoeddasant ympryd, ac a wisgasant sachlian o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt; a gwelodd Duw eu gweithredoedd hwynt, droi o honynt oddiwrth eu ffyrdd drygionus, ac edifarhaodd Duw am y drwg a ddywedasai a wnai iddynt, ac nis gwnaeth." A dyma Jonah yn digio yn ofnadwy, ac yn myned allan o'r ddinas, ac yn ei gwylio hi gerllaw; ac yn cymhenu Duw yn ddychrynllyd. Dyma hi, ebai, yr wy' i mewn pickle nice 'nawr yn y fan hyn. Fe g'nest ti â fi yn y diwedd, i'm hala i fan hyn i ddweyd celwydd. Mae 'nhw mor wired o'm lladd i a mod i yn ddyn byw, a phwy ryfedd; fe wyddwn i o'r goreu mai fel hyn y byddai hi. Fe ddywedais cyn dod o gartre' na wnaet ti ddim fel y dywedaist. Fe wyddwn i os dangosent hwy ryw rith o edifeirwch y buaset ti yn edifarhau gyda'r cynta,' ac yn atal y farn yn union, oblegid dyna fath hen 'lanen wyt ti. Mae'n well gyda thi am yr estroniaid yma nag am danaf fi. 'Rwy i wedi digio am byth, yn myn'd i'm hala i'r fan hyn i ddweyd celwydd, a'm lladd yn y diwedd gan bac o ladron. Gwyn fyd na fuaswn wedi boddi yn y môr. O! na chawn farw 'nawr."

Tybiai llawer wrth glywed rhai yn adrodd Dafydd Evans, mai dim ond dwlni ac ysgafnder oedd ganddo braidd i gyd; ond ni fu erioed fwy o gamgymeriad. Yr oedd ei bregethau yn destynol a Beiblaidd iawn, ac yn cynwys brasder a hufen Cristionogaeth —yn llawn gwahoddiadau a rhybuddion i'r annuwiol, a chysur ac adeiladaeth i'r saint.

## Y BEDYDDWYR.

GAN P. A. MON.

Am y dywedir mai yn ddiweddar y dechreuodd y Bedyddwyr fel sect yn y byd, gellir gwrth-ddywedyd ar seiliau safadwy, mai hwy yw y sect Gristionogol gyntaf; ac mai naill ai *ymneillduwyr oddiwrthynt hwy. neu eglwysi dirywiedig o honynt, yw pob plaid Gristionogol arall.* Ac er mwyn y Cymro uniaith, mi a'i hanrhegaf â chrynodeb byr o hanes y Bedyddwyr oddiyma hyd ddeuddeg Apostol yr Oen, y Bedyddwyr cyntaf a fu erioed. Cwtogir llawer ar y crynodeb hanesyddol drwy garedigrwydd Bedyddwyr Babanod yn caniatau iddynt fod mor gynar a'r *Munsteriaid* yn 1524.

Dyweda y Llywydd Edwards, a elwir y *President*, fod cadwyn nodedig o dystion gan Dduw yn y byd yn mhob oes, ac yn holl barthau Cred, yn gwrthwynebu penogaeth y Pab o'i orseddiad hyd y Diwygiad yn Lloegr. Yn Germani, Ffrainc, Prydain, a gwledydd eraill, bu personau neillduol, gweinid-

ogion, hedd-ynaid, a gwyr o bob gradd. Bu myrdd o honynt yn mhum' dyffryn Piedmont, ar gyffiniau Deheudir Ffrainc, rhyngddi hi a'r Eidal, yn cael eu hamddiffyn rhwng y mynyddoedd anhygyrch, mewn dolydd gleision ffrwythlon, yn neillduedig oddiwrth y teyrnasoedd o'u hamgylch; fel dywed Syr Samuel Moreland, "Fel pe buasai yr holl-ddoeth Greawdwr wedi bwriadu y dyffrynoedd hyny yn gadwraeth i'w berlau ef; neu yn ddiogelwch i filoedd o eneidiau, y rhai ni phlygasant eu gliniau i Baal." Hyn a fu dros fil o flynyddoedd. fel y tystia Mr. William Jones yn hanes y Waldeniaid, Albigeniaid, Vandoaid, Albigeoaid, Pateriaid, Leoniaid, ac enwadau eraill. George Morell oedd un o'r gweinidogion yn 1530, yr hwn a ddywed, "fod yn ei amser ef dros wyth gan' mil o honynt yn proffesu crefydd." Yn Neheudir Ffrainc, Morafia, a Bohemia, yr oeddynt yn dra lluosog; yn y lle olaf yn unig, yn y flwyddyn 1315, yr oeddynt yn wyth ugain mil o rifedi. Rhai o'r ysgrifenwyr Pabaidd eu hunain a gyfaddefant, "nad ymostyngasant erioed i Eglwys Rhufain." "*Heresi y Waldeniaid*," meddant, "*yw yr hesesi hynaf yn y byd.*" Bernir iddynt neillduo eu hunain i'r lleoedd amddiffynedig hyn rhwng mynyddoedd yr Alpau, yn yr erledigaethau paganaidd cyn amser Cystenyn Fawr. Dyma'r lle a barotowyd i'r wraig gan Dduw, yn ei ffoedigaeth i'r diffeithwch.—Dat. 12: 6. Yn y fl. 1544, anfonasant gyffes o'u ffydd at frenin Ffrainc mewn deuddeg o erthyglau, a'r seithfed ydyw, "Yr ydym yn credu mewn Bedydd; drwy yr hwn ein derbynir i gymdeithas sanctaidd pobl Dduw, wedi proffesu a chyhoeddi ein ffydd a chyfnewidiad buchedd *yn gyntaf.*" Yn y fl, 1120, hwy a gyhoeddasant fod Anghrist yn twyllo y bobl oddiwrth Grist, *gan ddysgu bedyddio babanod i'r ffydd*, a phriodoli i hyny waith yr ail-enedigaeth. "Y cyfeiliornad gorchfygol hen hwn, yr ydym ni yn ei wrthwynebu erioed." Chasanion, yn 1595, a ddywedai, "fod y rhan luosocaf o honynt yn erbyn Bedydd Babanod." Limborch, Cadeirdraw Duwinyddiaeth yn Amsterdam, a ddywed, "Os dywedaf y gwir yn ddiragrith, o bob plaid grefyddol, Bedyddwyr yr Almaen ydynt debycaf o neb arall i'r Albigeniaid a'r Waldeniaid." Arnold o Brescia, yr hwn a ddyoddefodd ferthyrdod yn Rhufain yn 1155, a gyhuddid o fod yn gyfeiliornus yn ei farn yn nghylch Sacrafen yr Allor. *et baptismo par valorum*, a Bedydd Babanod. Yr Henuriaid yn Lanquedoc, yn 1147, fel y tystia Mosheim, a wrthodent fedyddio babanod. Pedr de Bruys, yn 1110, yn Lanquedoc a Provence, yn nghyd a'i ganlynwyr lluosog, a gyhoeddent, "Nad oedd neb, pwy bynag, i'w bedyddio, *cyn cyrhaedd o honynt lawn addfedrwydd rheswm.*" Y Paterniaid, yn 1040, yn Nugiaeth Milan, a Gogledd yr Eidal, oeddynt dra lluosog, yn un-ar-bymtheg o gynulleidfaoedd, *oll yn gwrthwynebu Bedyddio Babanod* yn selog. Y Chathariaid neu'r Puritaniaid yn Germani, tua'r un amser, a wadent Fedydd Babanod. Y Berengariaid, yn 1054, ni fedyddient fabanod, ond cyflawn oed yn unig. Gundulphus a'i ganlynwyr yn yr Eidal, yn 1025, wrth eu holi gan Gerard, esgob Cambray ac Arrar, a wadent Fedydd Babanod, *am na wyddant ddim am ffydd.*

Yr oedd hyn tua phum' can' mlynedd cyn Luther na'r *Munsteriad* druain. A'r hereticiaid hyn, nid y *Munsteriaid*, eithr y Bedyddwyr, a olrheinir gan Saccho, *gwrthgiliwr o honynt hwy eu hunain*, hyd y flwyddyn 600; a chan Dr. Maclaine, ac eraill, eu hynafiaeth a wneir yn amlwg yn cyraeddyd i'r oes Apostolaidd. Mosheim a ddywed iddynt ddyoddef erledigaethau o'r flwyddyn 1200 hyd 1690, pryd y dyfethwyd hwynt, yn selio y gwirionedd â'u gwaed, fel merthyron ffyddlawn yr Oen. Yn mysg mesurau llai creulon, ond nid llai trawslywodraethol, o eiddo Eglwys Rhufain, tuag at ddiwreiddio crefydd y Waldeniaid, y bu, "Fod yn rhaid bedyddio eu *Babanod*, a'u dwyn i fyny yn Babyddion."

Dr. Mosheim a ddywed, "fod gwir wreiddyn y blaid grefyddol a elwir yr Ail-Fedyddwyr, yn guddiedig *yn nyfnderoedd celloedd pellaf hynafiaeth.*" Y Doctor Richard Davies, Esgob Mynwy,

yn 1567, a ddywed, "fod gwahaniaeth mawr rhwng Cristionogaeth y Brytaniaid ac eilun Cristionogaeth a ddyg Awstin yr Abad i'r Saeson, yn y flwyddyn 596. Y Brytaniaid a gadwasant eu Cristionogaeth yn bur ac yn ddilwgr, heb gymysg â dychymygion dynol, fel y derbyniasent gan Joseph o Arimathea, dysgyblion Crist, a chan Eglwys Rhufain pan ydoedd bur, yn glynu wrth reoledigaethau gair Duw. Ond yn mhen tua deugain mlynedd wedi hyny, dyg cleddyf y Saeson hwynt o'r diwedd i gytuno â ffydd Eglwys Rhufain. O hyny allan lai lai fu eu rhwysg, a mwyfwy eu gorthrymder." Cenad anfonedig y Pab Gregory oedd yr Awstin hwn, yn nghyd a deugain o Fonachod, i droi y Saeson o fod yn Baganiaid yn Babyddion; ac efe a fynai i'r Brytaniaid ei gynorthwyo yn y gorchwyl, yn ol trefn Eglwys Rhufain. Hwythau a wrthodasant bregethu a gweinyddu yr ordinhadau yn y drefn hono wrth ewyllys Awstin; ac am hyny y dialwyd arnynt gan y Saeson, trwy ei anogaeth ef. Ni fedrai y Saeson air ar lyfr y pryd hwn; a'r Cymry a ddysgodd iddynt ddarllen ac ysgrifenu; am hyny rheswm da oedd gan Awstin dros gael cynorthwy gwyr dysgedig i ddychwelyd Paganiaid ysgymunedig i'r ffydd Gatholic. A Chymro dysgedig, sef Ioan o Dref Naf, yn Nghernyw, a gyfieithiodd y Beibl i'r Saeson gyntaf. Bu ef farw yn 1397. Dywedir i Awstin a'i ganlynwyr fod tua deugain mlynedd heb effeithio fawr argraff ar y Saeson; yr oeddynt hwy yn genedl mor ystyfnig mewn anwybodaeth.

Tua deugain mlynedd ar ol hyn, mi feddyliwn, y mynai yr esgob i ni ddeall i'r Cymry gytuno â ffydd y Saeson; oblegid dywedir iddynt bregethu yn llwyddianus iddynt ugain mlynedd erbyn 658. Gall y darllenydd weled darluniad o'r Awstin hwn, gorph ac ysbryd, yn *Nrych y Prif Oesoedd*, tu dal. 249:

Dynawt, abat Bangor-is-coed, a wrthwynebodd Awstin yn wrol, fel y gwrthwynebasai Magnus Cyprian o'i flaen ef, yn achos Bedydd Babanod. Ymddengys i mi wrth gymharu hanesion y Cymry â thystiolaeth y Beirdd, "fod y Brytaniaid," fel y dywedai yr esgob, "o ran eu *crefydd yn bur*." ar ddyfodiad Awstin yma; ond fod *gweinidogion* crefydd yn *llygredig eu moesau;* ac felly iddynt wyro yn raddol gyda ffydd a rhwysg gyfeiliornus Eglwys Rhufain. Fel hyn y canai Taliesin:

> "Gwae a *gymerth* Fedydd,
> A chred a chrefydd
> Onis tystia."

Dyma'r deiliad yn gallu *cymeryd*. Clyw eto am y dull:

> "Ior nef a daear,
> Gwel y rhai hygar
> A fu yn ddiweddar
> *Dan yr elfen*."

Dyma'r dull, *o dan yr elfen ddwfr*.

> "Pob peth a dderfydd,
> Ond cred a Bedydd."

Dyma ffydd o flaen bedydd:

> "Ni chymeraf gymun, gan ysgymun fyneich,
> A'u twygau ar eu clun,
> Am gymuno Duw ei hun."

Dyma un yn gwrthod bod yn gyfranog o'r swper sanctaidd, oblegid annuwioldeb y gweinyddwr. Yr un modd y tystia Gwilym Caledfryn, un o brif feirdd yr oes hon, am y *deiliad a'r dull:—*

> "Ah! Christmas addas *weinyddydd*."

Beth ydyw Christmas? Bedyddiwr drwy drochiad. Pwy a drocha ef? Y cyflawn oed yn unig. A wna efe hyny yn rheolaidd? Mae'n addas weinyddydd, ebe y bardd. Eithr un o'r pethau a fynai Awstin i'r Brytaniaid ymostwng iddo oedd, "Cyflawni gweinidogaeth bedydd ar eu babanod, yn ol defod ac arfer Eglwys Rhufain." *That ye geve Christendome to children*, ebe un Cronicl. Tra rhesymol yw barnu, os mynai Awstin i'r Cymry fedyddio babanod, *mai yn ol trefn Eglwys Rhufain y mynasai efe iddynt wneyd y peth*.

Vansleb a ddywed allan o waith Amba Macaire, esgob Memphis, yr hwn oedd yn gofiadur i Cosmus III. yn 1750, y gweinyddid bedydd yn Alexandria yr Aipht, unwaith bob blwyddyn i rai mewn oed. Ryw amser wedi hyny, rhoddwyd *caniatad*, dyma'r *Toleration Act*, i fedyddio babanod.

Aneirif Gristionogion yn y Dwyrain, nad ydynt mewn cymundeb âg Eglwys Rhufain nac Eglwys Groeg, sy'n wasgaredig ar hyd holl Syria, Arabia, yr Aipht, Persia, Nubia, Ethiopia, India, Tartary, a gwledydd eraill, ydynt oll yn bedyddio *drwy drochiad*, er yn wahanol yn eu barnau mewn pethau ereill. Justin Martyr yn ysgrifenu at yr Amherawdwr Antonius Pius, yn y flwyddyn 140, a ddywed, "Y rhai a ddarbwyllir, ac ydynt yn credu a ddygir *i ryw ddwfr*, ac a fedyddir, fel y bedyddiwyd ninau *yn y dwfr*." Hermas, cyfaill Paul (gwel Rhuf. xvi. 14), yn y flwyddyn 100, a ddywed fel hyn:—*Descenderunt igitur in aquam cum illis, et iterum ascendurunt*, hyny yw, Hwy a aethant gyda hwynt *i lawr i'r dwfr*, ac i fyny drachefn. Barnabas, cydymaeth Paul, a ddywed, "Bendigedig ydynt hwy, y rhai a sefydlant eu gobaith ar y Groes, a aethant *i lawr i'r dwfr*." *Katebesan eis to udor.* Y nesaf at y rhai hyn yw yr Apostolion a Christ ei hun.

---

## HEN EGLWYS ILSTON,

GER ABERTAWE, D. C.

---

Mewn anerchiad a draddodwyd gan Dr. Price, Aberdâr, ar y 5ed o Fedi, 1862, ac a argraffwyd yn y *Cambrian Daily Leader*, cawn ffeithiau ydynt yn taflu goleuni ar hanes yr hen eglwys uchod. Dechreua trwy ddywedyd mai Mr. Myles oedd y gweinidog cyntaf i'r Bedyddwyr yn Nghymru. Yn y flwyddyn 1642, nid oedd ond ychydig bersonau yn nghymydogaeth Browyr yn proffesu egwyddorion y Bedyddwyr, ac ychydig iawn hefyd yn Abertawe, a'r ychydig hyny yn addoli o dan amgylchiadau cyfyng iawn. Yr oeddynt yn addoli ar yr ysmotyn ar ba un yr oeddynt yn sefyll; ac yn adeg y gwasanaeth, yr oedd yn angenrheidiol iddynt gael dau wyliedydd (*watchmen*) i edrych allan am y cyhuddwyr; a phan fuasai yr awgrym yn cael ei roddi, buasent yn ym neillduo o'r capel i'r ty cysylltiedig, ac yn edrych mor ddiniwed a mud a phe na buasai dim wedi cymeryd lle. Yr oedd ymyrwyr felly yn cael eu taflu oddiar eu *guard*, ac yn myned i'w ffordd. Felly oedd sefyllfa crefydd yn Ilston yn nyddiau John Myles. Ond i ddychwelyd at yr hanes. Yr oedd John Myles yn fab i Walter Myles, o'r Drefnewydd, swydd Henffordd; a chafodd ei eni yn y flwyddyn 1621. Derbyniwyd ef i Goleg Rhydychain yn y flwyddyn 1636, y pryd hwnw yn y 15fed flwyddyn o'i oedran, a graddiodd yn Ngholeg Brasenose ar yr 11eg o fis Mawrth yn yr un flwyddyn. Wedi hyny daeth yn offeiriad Ilston, Browyr. Yn y flwyddyn 1649, y mae ef a Thomas Proud yn myned i Lundain, ac yn ymofyn am gapel y Bedyddwyr, yn Glasshouse, lle y cawsant hwy eill dau eu bedyddio yn ol eu dymuniad. Wedi hyny dychwelasant i Ilston, a ffurfiasant eglwys Fedyddiedig yno ar yr ysmotyn hwn. Hon oedd yr eglwys Fedyddiedig a ffurfiwyd gyntaf yn Nghymru ar egwyddorion pur y Bedyddwyr; hyny yw, heb ymgymysgu ag enwadau ereill, ac yn bedyddio trwy drochiad. Yn y flwyddyn 1649, mae J. Myles yn cael ei benodi yn gyfaddefwr (*approver*), dan y ddeddf hono, a ffurfiwyd i'r dyben o ledaenu yr efengyl yn Nghymru. Dengys hyn ei fod yn weinidog o safle uchel, am ei fod yn un o'r 38 hyny a gawsant eu dethol, a'r rhai hyny oedd yr unig rai drwy y deyrnas. Yn y flwyddyn 1649, yr ydym yn ei gael yn danfon llythyr at yr eglwys yn Hay, er amddiffyn cymundeb caeth yn erbyn Mr. Vavasor Powell a Mr. Jones. Yn y flwyddyn 1651, mae yn myned i Lundain fel cynrychiolydd holl eglwysi Bedyddiedig Cymru. Yn y flwyddyn 1652 a 1654, mae ei enw i'w weled yn Llythyron Cymanfa Llundain, ac yn mhob un o'r blynyddau hyn, mae ei enw yn mhlith y gweinidogion Cymreig blaenaf. Yn y flwyddyn 1656, yr oedd yn Brycheiniog, yn y Gymanfa yno. Yr oedd gweithgarwch yr eglwys Fedyddiedig yn Ilston i'w weled yn y ffaith ei bod yn danfon i Lundain yn y flwyddyn 1654, bedwar cynrychiolydd, sef J. Myles, Thomas Proud, William Thomas, a Morgan Rees. Felly ni welwn ei bod yn wahanol iawn y pryd

hwnw i'r hyn ydyw yn bresenol; nis gallwn ni ddanfon un gyda'r gweinidog i'r Gymanfa yn awr, ac eto, yr oedd hyn yn cael ei wneyd yn nyddiau John Myles, yn ngwyneb llu o rwystrau a pheryglon. Daliodd Mr. Myles y fywioliaeth yn mhlwyf Ilston i fyny hyd at y flwyddyn 1660, pan y cafodd ei ddystewi trwy awdurdod, a chafodd ei droi allan o'r eglwys rhyw ddwy flynedd cyn i'r ddwy fil gael eu troi allan. Aeth wedi hyny i'r America gyda llawer eraill o'r un egwyddorion, a gadawodd enw ar ei ol a fydd yn perarogli am oesoedd a chenedlaethau.

O. Y.—Mae Golygydd *Seren Cymru* wedi anfon atom yn ceisio genym holi yn nghylch hen lyfr eglwys Ilston, yr hwn, meddir, a gymerwyd gan John Myles i'r America oddeutu 1660. Dywed Mr. Jones yn ei nodyn, fod yr hen lyfr ar gael yma pan gyhoeddodd Backus ei "History of New England," ac yn wir, mor ddiweddar a 1791. Gofyna yn mhellach, "Os yw ar gael, a oes modd cael copi cyflawn o hono wedi ei adysgrifio?" A oes neb o'n darllenwyr yn gwybod rhywbeth o hanes yr hen lyfr hwn? Os oes, gadewch i ni glywed.—GOL.

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM HYDREF. (Matt. ii. 19—23).

*Athraw.*—Pa bryd, a pha le, Dafydd, y bu Herod farw?

*Dafydd.*—Mae yn debygol na fu byw ond amser byr wedi lladd o hono blant Bethlehem. Barna rhai iddo farw yn Jericho yn mhen ychydig fisoedd (gwel Gill). Barna eraill, megys Barnes a Clarke, iddo drengu yn mhen o ddwy i bedair blynedd wedi genedigaeth Crist; beth bynag am hyn, amlwg yw na fu ei hoedl ond byr ar ol cyflawni yr erchyllwaith hwn ar fabanod Bethlehem.

*Abram Llwyd.*—Fi ddala i cent na chelse fe ddim byw un d'warnod pe byse hyny ar fy llaw i. Mae yn rhaid fod yr Arglwydd yn amineddgar iawn, gan i fod e'n gadel i hen gre'duried fel hwn gael byw cyd, 'blegid mae'n debyg i hwn gael byw nes o'dd e'n 70 mlwydd ôd.

*Athraw.*—A gafodd ef farw fel rhyw ddyn arall, Morgan?

*Morgan.*—Naddo, fe fu farw mewn poenau dychrynllyd. Bu farw o'r *dropsy.* Yn ngwaelod ei fol yr oedd poenau dirfawr; yr oedd y rhan hon o'i gorph yn cael ei mallu gan bryfed. Ceir y *manylion* gan Josephus.

*Athraw.*—Paham y dywedir "tir Israel, Owen?

*Owen.*—Gwelir nad yw yn ceisio ganddo fyned i Bethlehem, neu Nazareth, nac i unrhyw le yn neillduol, ond i "dir Israel," i'r hwn y gallasai fyned yn ddiofn, am y rheswm a nodir yn niwedd yr adnod. Dyma y "tir" a addawodd Duw i Abraham ac i'w hâd am byth. Gelwid Israel ar y *deuddeg* llwyth hyd amser Rehoboam; o'r amser yna hyd y caethgludiad, ni elwid Israel ond ar y *deg* llwyth a wrthgiliasant ac a ddilynasant Jeroboam, tra y gelwid llwythau Judah a Benjamin yn Judah. Eithr wedi y caethgludiad Babilonaidd, gelwid pawb a allasent ddilyn eu llinach yn ol at Jacob, yn Israel. Yr hyn a olygir wrth "dir Israel" yma yw, yr *oll* o Palestina.

*Athraw.*—Pwy, Gwilym, yw y "rhai" hyn sydd wedi meirw?

*Gwilym.*—Dim ond Herod a olygir yma. Yr oedd, ac y mae yn beth·cyffredin i ddefnyddio y lluosog am yr unigol, ac felly yma yn ol fy marn i.

*Ifan Meredydd.*—Wel, 'dw i ddim yn barnu fel 'na. Yr o'dd 'no erill mor ddig i'r Mab bychan a'r hen Herod i hunan. Dyna un o'dd Antipater i fab, ac fi ginta fod 'no ragor, ond nw fuon farw i *gyd*, a diolch am hini. Mae rhif luosog yn y fan hin yn itha da yn i ngolwg i.

*Athraw.*—Wel, Ifan, yr wyf fi yr un farn a *thi* yn y peth hwn. Dafydd, a wyt ti yn meddwl mai yn ol i Bethlehem yr elai Joseph, pe buasai heb ei rybuddio i beidio?

*Dafydd.*—Ydwyf, ac yr oedd yr Arglwydd yn gweled mai felly y gwnai, onite, afreidiol fyddai iddo anfon angel i'w rybuddio i beidio. Bwriadodd fagu y Brenin ieuanc yn ei ddinas ei hun, hyd nes y buasai yn cymeryd eisteddle ei dad Dafydd, ac yna sefydlu yn Jerusalem, "dinas y Brenin Mawr." Yr oedd Joseph, yn ngwyneb fod Archelaus greulon yn teyrnasu yn Judea, mewn dyryswch yn nghylch beth i'w wneyd, a pha le i fyned, ond cenad caredig yr Arglwydd a'i cyfarwyddodd i Galilea.

*Athraw.*—Gan ba rai o'r prophwydi, Morgan, y gelwir Crist yn Nazaread?

*Morgan.*—Ymddengys nad yw un o'r prophwydi yn galw Crist mewn iaith eglur a phendant, yn "Nazaread," ac y mae hyn wedi bod yn achlysur i roddi bodolaeth i wahanol dybiaethau yn nghylch ystyr yr ymadrodd hwn. Rhai a dybiant fod Matthew yma yn cyfeirio at yr ymadrodd yn Barn. xiii. 5, gan gymeryd Samson yn gysgod o Grist. Tybia eraill fod yma gyfeiriad llythyrenol at y gair Hebraeg *Netser*, a gymhwysir at Grist yn Esaiah xi. 1., ac a olyga "Gangen," "Blaguryn," &c., oddiwrth ba air y debyniodd Nazareth ei henw. Rhoddwyd yr enw Nazareth, meddent hwy, ar y dref hon, ar gyfrif y llawnder o fân-goed oedd yn y parthau hyny. A barnant, gan fod Crist yn cael ei alw yn Nazaread—"Blaguryn," fod y brophwydoliaeth yn cael ei llanw yn llythyrenol. Eraill ydynt o'r gredinaeth fod Matthew yn cyfeirio at ryw brophwydoliaeth sydd ar goll, ond wedi dyfod i lawr drwy draddodiad. Eithr eraill a farnant—yn mhlith y cyfryw y mae fy mawrhydi fy hun, fod yr Efengylwyr yn cyfeirio yma at brophwydi, fel y mae yn dyweyd, ac nid at brophwyd. Cyfeiriad sydd yma at iaith gyffredinol y prophwydi, y rhai a gyfeiriant ato dan y *title* "Blaguryn." Heblaw hyn, y mae yr enw hwn, ar gyfrif bywyd isel, poenus, darostyngol, a gwaradwyddus y Ceidwad, yn ei weddu yn rhagorol.

*Athraw.*—Da machgen i, Morgan, y mae yn ymddangos dy fod wedi meddwl a chwilio cryn dipyn yn nghylch y geiriau hyn. D'oes gen i ddim yn wahanol i'w ddyweyd; yr wyf yn cyduno yn hollol â'r oll a ddywedaist."

---

# Barddoniaeth.

---

## LLINELLAU

### AR OL Y PARCH. WM. OWEN, PITTSBURGH.

---

Holi mwy am William Owen—ni rhaid,
Rhydiodd yr Iorddonen;
Un ei fawl a chor nef wen,
Y gwyn lu a'r gân lawen.

I'r yrfa er mor hirfaith—ai'n y blaen,
Er yn blino ganwaith;
Fe welodd mewn tangnef eilwaith,
Owen y dydd a phen y daith.

Siomedig y'm o'i symudiad—o'r byd,
Trwy barch i'w gymeriad;
Eithr braich Duw nerthai'r hybarch dad
I'w dywys yn ei 'madawiad.

Ei oes yn ei wasanaeth—i'r Iesu
Fu'n rasol Fugeiliaeth;
Er elw i ni 'i threulio wnaeth
Wrth reol yr athrawiaeth.

Er rhyw fil o ryfeloedd—a rhwystrau
Ymrestrawl fyddinoedd;
Rhingyll Brenin breninoedd,
Dal ei dir yn delaid oedd.

Yn lle'r llurig llywia'r llawryf—ac aur
Goron yn lle'r cleddyf;
Mwynhau ei gred, fry 'n awr mae'n gryf,
O'r weddi isod a'r ddeisyf.

Didewi ein hen dad Owen—a gana
Ogoniant ei berchen;
Mor ddi-ing, mor ddiangen—mor iach yw
William heddyw 'n dwyn ei balmwydden.

Ef a ddihuna 'n ddianaf—heb ol
Yr helbulon lleiaf;
Yn rhydd yn ngwisg newydd Naf—O! dlysed,
Carwn ei weled dydd y corn olaf.

Daw, daw, ein hoff dad Owen—o'i oer lwch
I'r lan mewn gwedd amgen;
Fel ei gorph EF ca'i orphen,
Ein hathraw 'n ol ni thry'n hen.

D'wedyd Taw mae yr awen—mal Aaron,
Aml eiriau nid cymhen;
Mud am gâr yw llafar llen—mae'n hawddach
Im' wylo mwyach am William Owen.

*New York.* ANEURIN FARDD.

## LLINELLAU

AR FARWOLAETH THEODOSIA RACHEL JENKINS, ANWYL BLENTYN MR. JOHN JENKINS A'I BRIOD, LANSFORD, PA.

Ganwyd i'r byd flodeuyn cu,
Ymledodd am fynydyn,
Daeth awel oer marwolaeth du,
Bu farw yn dra sydyn;
Ymdrech wnaed i'w chadw'n fyw,
Yn dyner, gan ei meithrin,
Ac edrych i ddyfodol Duw
Am oes ddi-len i'r plentyn.

Daeth yma megys benthyg Duw,
Am 'chydig i'n sirioli;
Uwchlaw gofidiau aeth i fyw,
A'n gadael i alaru;
Tra'n cofio am ei gwenau iach,
Nis gellir peidio wylo—
Mae Theodosia Rachel fach
Yn nghanol gwenau eto.

Cipiodd Duw o'ch mynwes chwi
Dlos blentyn eich serchiadau,
Mae heddyw yn y palas fry,
Yn ngwlad yr aur delynau.

O dan alluog law eich Duw,
Rieni, ymostyngwch;
Ymdrechwch fyned ati i fyw,
Yn Nuw cewch bob dyddanwch;
Digonedd sydd o ras i'w gael,
Yn ngwyneb amgylchiadau;
Mae'n gyfaill gwiw a rhoddwr hael,
A sychwr ymaith ddagrau.

*Lansford, Pa.* JOHN JOHN.

## GEIRIAU DIGLLAWN.

Geiriau digllawn a leferir
Weithiau mewn rhyw fyrbwyll awr,
A dolenau cariad dorir
Gan eu drwg ddylanwad mawr;
Bronau 'n cynwys cariad helaeth,
Heb erioed goleddu gwg,
Fynych lenwir â dwfn alaeth
Gan un gair mewn tymer ddrwg.

*Utica.* J. D. MORGAN.

## ENGLYN

I MOSES, ETIFEDD I EVAN EVANS (IVOR CYNON), PLYMOUTH, CALIF.

Moses bach, ei decach nid oes—mewn byd,
Mae'n berl i'n gwareiddfoes;
Ac anian i'w ran a roes
Gerfiad fel angel gwirfoes.

D RHOSYNFARDD MATTHEWS.
*Sutter Creek, Calif.*

## TAWELU YR YSTORM AR FOR TIBERIAS.

Y storom yn ystyried—ei eiriau—
Yn aros i weled
Y Duw-ddyn—ei amnaid ddwêd,
Ust, dywydd! 'n awr dystawed.

*Nnticoke.* IEUAN DDU.

## TEIMLAD MAM AT EI PHLENTYN,

SEF DEWI SANT MORGAN.

P'le gwelwyd glanach blod'yn
Gan undyn yn ei ardd,
A'i dalcen mawr talentog—
Gwna lenor neu ben bardd:
Dau lygad fel dwy seren,
Y'nt siriol ac yn llon,
Mae gwedd ei wyneb siriol
Yn swynol ger fy mron.

*Coal Valley, Ill.* GWILYM TEIFI.

## RHYFEDDODAU DUW YN Y CREAD.

Trwy'r faith greadigaeth mawr yw'r rhyfeddodau
Sydd wedi 'u dadblygu gan fawrion feddyliau;
Fry, fry i'r eangder mae dyn yn ymgodi,
A syllu, rhyfeddu, nes yw yn ymgolli:
Fe deithia'n ddiorphwys o blaned i blaned,
A'r bydoedd ddarparwyd trwy nerth y gair "Bydded."
Ac yna ymblyga ei ben mewn gwyleidd dra,
Am nad yw'r datguddio ond bron wedi dechre;
Gwibdeithia 'r ol hyny o amgylch y ddaear,
A "Mawr y doethineb!" o hyd yw y llafar.
Cyfeiria ei gamrau dros donau yr eigion,
A disgyn yn daclus i lawr i'r gwaelodion;
O fewn yr ystafell gwel fyrdd o breswylwyr
Yn ateb dybenion eu cread yn gywir:
Rhai'n hynod o fychain, i'w gwel'd trwy chwydd-ddrychau,
Tra'r lleill yn o gyfrwys, a'u tai ar eu cefnau;
Rhai'n fawrion ryfeddol, rhai'n ffyrnig, rhai'n wylaidd,
Rhai'n symyd yn gyflym tra'r lleill yn arafaidd.
Wrth feddwl am ddyfnder y môr a'i amgylchoedd,
A'i fawrion afonydd, a'i fyrdd o deuluoedd,
A'i aml lifiadau 'gylch glanau y gwledydd,
Pwy greda, er gw'radwydd, nad oes mawr Greawdydd,
Yn achos o'r cwbl, yn gwylied y cyfan,
Yn ol ei ddoethineb a'i allu ei hunan?

RHODYNOG.

## Y LLEUAD.

Tydi, fâd leuad lawen—a wêni
O'r wiwnef mor addien,
Ac yn y nos y canni 'n wen
Y ddu oeraidd ddaearen.

## PYNCIAU Y DYDD.

—Un o'r pethau pwysicaf y dyddiau hyn, yw sefyllfa wrthwynebol rhai o'r blaid Werinol i fesurau da yr Arlywydd Hayes, yn neillduol y cynyg at ddiwygiad yn y *Civil Service*. Cafodd yr Arlywydd ei ethol i'w swydd bwysig, ar y banlawr a fabwysiadwyd gan y blaid yn Cincinnati, Ohio, yn 1876, a thra yn ymdrechu, a'i holl egni, i gario allan fesurau cydgordiol a gwahanol ranau y *platform*, dangosir cryn wrthwynebiad iddo gan rai o flaenoriaid ei blaid ei hun, am yr unig reswm fod gobaith eu helw mewn perygl. Mae rhai seneddwyr, ac amryw o aelodau y ty isaf yn cynddeiriogi, ac yn amcanu dryllio y *platform* a wnaethant eu hunain flwyddyn yn ol. Ond mae dyledswydd yr Arlywydd yn ddigon eglur. Derbyniodd ef *platform* Cincinnati, ac etholwyd ef arno; ac i fod yn onest ato ei hun, a'r blaid a'i hetholodd, y mae'n rhwym o gario allan fesurau cydweddol a'r *platform* hwnw. Nid oes ganddo ddim i'w dynu yn ol, ac os parha i fyned mlaen yn y llwybr a ddechreuodd, bydd corff mawr y bobl yn sicr o'i gefnogi, a dal i fyny ei freichiau. Am ychydig caiff waethaf y *politicians* newynog ac anonest, fel y cafodd dynion da eraill o'i flaen, ond pan genfydd y giwed ladronllyd hyn, ei fod yn *benderfynol* i gario allan ei fesurau yn unol a'r Cyfansoddiad, rhoddant i fyny eu gwrthwynebiad hunanol a beiddgar. Mae'n wir, mae'n araf iawn y dysg y tylwyth hyn un wers dda a rhinweddol, eto y mae modd dyfod a'r wers adref, hyd yn nod iddynt hwy.

—Dywedir gan lawer, fod Henry M. Stanley yn Gymro, genedigol o Ogledd Cymru. Os ydyw, dylem fod yn falch o hono, canys y mae wedi anfarwoli ei enw yn ddiweddar, mewn cysylltiad a'i hynt ymchwiliadol yn Affrica. Ychydig flynyddau yn ol anfonwyd ef allan i chwilio am yr enwog Dr. Livingstone, a llwyddodd i gael gafael ynddo. Bu'r Dr. farw cyn gorphen ei waith, ac anfonwyd Stanley allan drachefn, ac mae'r dyn ieuanc, gwrol hwn, wedi llwyddo i ddarganfod dirgelion oeddynt wedi *bafflo* prif ymchwilwyr y byd, ac felly wedi gorphen gwaith Burton, Speke, Baker, a Livingstone. O hyn allan bydd Daearyddiaeth Affrica yn gwbl hysbys i bawb. Bydd ein gwybodaeth am ei llynoedd, a'i hafonydd yn berffaith. Ni fydd mwyach un dirgelwch yn perthyn i'r Nile, y Niger, y Congo, na'r Zambesi; ac ni fydd dim yn galw am i unrhyw ymchwiliwr fyned mwyach i berfeddion anialwch Affrica. Mae Henry M. Stanley, trwy ei wybodaeth, ei ddewrder, a'i benderfyniad, wedi bod yn ffortunus i ddwyn mwy o ddirgelion Affrica i oleu dydd, a hyny mewn rhyw ddwy neu dair blynedd, na'r holl ymchwilwyr dysgedig fu o'i flaen, er treulio y rhan oreu, a mwyaf o'u hoes yn y gwaith. *Well done*, y Cymro.

## HANESION CARTREFOL.

### CYMANFA BEDYDDWYR DWYREINBARTH PENNSYLVANIA.

[Parhad.]

#### Y MODDION CYHOEDDUS.

Nos Sul, am 6 o'r gloch, dechreuwyd yr oedfa trwy ddarllen a gweddio gan y brawd James F. Richards, Church Hill, Ohio. Pregethodd y brodyr D. S. Thomas, Ashton, oddiar Ioan xii. 31—32; J. R. Jones, Minersville, Heb. xiii. 8; a D. R. Davies, Taylorville, 1 Cor. xiii. 8.

Am 10 o'r gloch, boreu Sul, dechreuwyd drwy ddarllen a gweddio gan B. Nicholas, Hazelton: a phregethodd y brodyr M. Wright. Hyde Park, Ioan iii. 14—15; a Theophilus Jones, Wilkesbarre, Math. xii. 30. Am 2 o'r gloch, cynaliwyd y cyfarfod yn nghapel yr M. E. Darllenwyd a gweddiwyd gan y brawd T. L. Lewis, Lewisburg; a phregethodd y brodyr Ed. Jenkins, Plymouth, 1 Bren. xix. 13—14; a A. J. Morton, Ioan xv. 13. Barnodd y brawd O. Griffiths, nad oedd amser yn weddill iddo ef bregethu. Am 6 o'r gloch, yn yr un lle, dechreuwyd gan y brawd J. R. Jones, a phregethodd y

brodyr H. C. Parry, Pittston, oddiar 1 Cor. ii. 7—10; E. Edwards, Wilkes-barre (Seisnig), Rhuf. xvi. 20; a J. P. Harris, Nanticoke, Heb. xi. 30.

Dydd Llun am 2 o'r gloch, gweddiodd y brawd J. P. Harris, a phregethodd y brodyr Thos. P. Morgans, St. Clair, oddiar 1 Cor. i. 18: James R. Price, Kingston, Diar. xiv. 23; a W. D. Thomas, Mahanoy, Actau xvii. 11. Am 6 o'r gloch, dechreuwyd gan y brawd Theophilus Jones, a phregethodd y brodyr James F. Richards, Church Hill, O., oddiar Heb. ii. 3; Owen James, Crozer, Eph. iii. 13; a D. F. Phillips. Parsons, 1 Cor. vi. 20.

Rhoddodd y cyfarfodydd foddlonrwydd cyffredinol; y gweision yn trin yr arfau yn well na hwynt eu hunain—y Meistr mawr yn amlwg yn y weinidogaeth—a'r plant yn gwledda. Lle da yw Ashland i gynal Cymanfa; llawer o ddyeithriaid wedi dyfod yn nghyd; digon o groesaw, a chyflawnder wedi ei ddarparu ar eu cyfer. Y cwmwl bendith fo'n aros, a llwyddiant mawr yn canlyn, Amen.

*Ashland.*—Dywed yr eglwys hon yn ei llythyr at y Gymanfa:—"Croesaw i'r ymwelwyr â'r Gymanfa; mwynhad o'r breintiau mawrion tra yn y Gymanfa; a dychweliad i'w cartrefi yn ddiogel o'r Gymanfa, yw dymuniad y frawdoliaeth yn Ashland i'w chwiorydd drwy yr holl gylch Cymanfaol. L. M. Roberts, gweinidog; T. M. Davies, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 3; adferwyd 1; diarddelwyd 9; bu farw 1. Rhif yr Eglwys, 66. Ysgrifenydd y Gymanfa $1.

*Arnot.*—Dim mynegiad.

*Audenreid.*—B. Nicholas, pregethwr cynorthwyol; B. D. Evans, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 20; adferwyd 2; derbyniwyd drwy lythyr 4; gollyngwyd drwy lythyr 13; diarddelwyd 6; bu farw 1. Rhif yr aelodau 56. Canolrif yr Ysgol Sul 60. Arian yr ysgrifenydd, $1; traul y Gymanfa $1; at y Genadaeth Dramor $5; y Genadaeth Artrefol $5; y Gymdeithas Addysgiadol $11.

*Ashton*—D. S. Thomas, gweinidog; J. E. Jenkins, ysgrifenydd: Post swyddfa. Lansford, Carbon Co., Pa. Bedyddiwyd 6; adferwyd 3; derbyniwyd drwy lythyr 5; gollyngwyd drwy lythyr 3; diarddelwyd 3; bu farw 2. Rhif yr aelodau 70. Canolrif yr Ysgol Sul 74. Arian yr ysgrifenydd 50c.

*Carbondale.*—Y cyfnewidiad yn y fam henafol hon yw fod 2 wedi eu gollwng drwy lythyr. Ysgrifenydd yr eglwys, Morgan Thomas. Rhif yr eglwys yw 19; at draul y Gymanfa $1; i'r ysgrifenydd $1.

*Danville.*—Mae'r ddeadell hon heb un bugail i ofalu am dani er's tro bellach. Ond canmolir ymdrechion y Myfyrwyr yn Lewisburg, i dori iddi fara y bywyd—sef y brodyr J. F. Richards, T. P. Morgans, a Wm. F. Davies; a theimla golled fawr yn symudiad yr hen frawd duwiol, a'r diacon tangnefeddus David R. Thomas oddiwrth ei waith at ei wobr. John E. Williams, ysgrifenydd; address: Montour Co. Bedyddiwyd 3; adferwyd 5; gollyngwyd drwy lythyr 5; diarddelwyd 1; bu farw 3. Rhif yr aelodau 39; Ysgol Sul 48. I'r ysgrifenydd $1.

*Frostburg, Md.*—D. Rhys Jones, gweinidog. Bedyddiwyd 7; adferwyd 7; derbyniwyd trwy lythyr 5; diarddelwyd 6; gollyngwyd drwy lythyr 3. Rhif yr eglwys 109; yr Ysgol Sul 120. Cangen Ysgol yn yr Ocean, 50. At draul y Gymanfa $1; i'r ysgrifenydd 87c. Achwynir ganddynt ar galedi'r amseroedd.

*Hyde Park.*—Mae y brawd M. Wright wedi derbyn galwad unfrydol yr eglwys, ac yn awr yn ei gwasanaethu yn yr Arglwydd, ac y mae yn llawen ganddi ein hysbysu nad yw ei lafur wedi bod yn ofer. Y Parch. Thomas G. Jones yn aelod, a'r brawd Ebenezer Lloyd yn bregethwr cynorthwyol. Y mae'r ddau yn gymeradwy yn ein plith, ac yn yr eglwysi cylchynol. Y brawd W. F. Davies, myfyriwr yn Lewisburg. Bedyddiwyd 23; adferwyd 14; trwy lythyron 10; gollyngwyd drwy lythyr 12; diarddelwyd 3; bu farw 2. Rhif presenol 376. Cynydd am y flwyddyn yn 30. Tair Ysgol Sul yn cynwys 580. At draul y Gymanfa $4; i'r ysgrifen-

ydd $1. B. Hughes, Ysgrifenydd Gohebol.

*Jermyn.*—Dim mynegiad y flwyddyn hon.

*Johnstown.*—D. J. Evans, gweinidog; Josiah Evans, ysgrifenydd. Achwyna yr eglwys hon ar galedi yr amseroedd; gwasgariad llawer o'r gwrandawyr; eto diolcha i'r Arglwydd am ei nawdd a'i wenau. Rhif yr aelodau 74; adferwyd 7; diarddelwyd 7; canolrif yr Ysgol Sul 73; at draul y Gymanfa $3; i'r ysgrifenydd $1.

*Kingston.*—James R. Price, gweinidog; Theophilus Jones, aelod; Wm. Samuel, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 13; adferwyd 6; derbyniwyd trwy lythyr 12; diarddelwyd 4; bu farw 3. Rhif yr aelodau 77; Ysgol Sul 95; at draul y Gymanfa $2.50; i'r ysgrifenydd, $1.00.

*Mahanoy City.*—Y mae sefylla yr eglwys yn dra llewyrchus yn mhob ystyr, ond yr arianol. Y mae ein gweinidog yn dra gofalus am danom, a'i lafur diwyd yn enill iddo gymeradwyaeth uchel yn ein plith. Wm. D. Thomas, bugail; T. L. Lewis, Myfyriwr yn Lewisburg; W. T. Lewis, ysgrifenydd; William J. Watkins, pregethwr cynorthwyol. Bedyddiwyd 15; adferwyd 8; derbyniwyd trwy lythyr 2; gollyngwyd trwy lythyr 5; diarddelwyd 3. Rhif yr aelodau 95: yr Ysgol Sul 90; at y Bwrdd Addysg $10; traul y Gymanfa $2; i'r ysgrifenydd $1.

*Minersville.*—Ei gweinidog parchus newydd ymadael; hithau mewn gobaith mwynhau cymdeithas y "Dyddanydd" tra heb fugail. George Hopkins, ysgrifenydd; bedyddiwyd 13; adferwyd 4; derbyniwyd trwy lythyr 2; gollyngwyd drwy lythyr 2; bu farw 4. Rhif yr aelodau 79; yr Ysgol Sul 75; at draul y Gymanfa $1; i'r ysgrifenydd $1.

*Morris Run.*—Yn yr amddifadrwydd o weinidogaeth gyson, mae y brawd Wm. F. Davies yn llafurio yn eu plith yn bresenol. James H. Lewis, ysgrifenydd; bedyddiwyd 2; derbyniwyd trwy lythyr 1; gollyngwyd drwy lythyr 18; diarddelwyd 5. Rhif yr aelodau 55; yr Ysgol Sul 59.

*Nanticoke.*—"Mae rhif ein gollyngdod trwy lythyron yn fawr. Gollyngwyd 15 i ffurfio Eglwys Fedyddiedig Seisnig yn y lle. Cymerodd y dadgysylltiad le yn heddychol, gan y bernid mai hyny oedd oreu ar les cynydd yr achos. Mae yr hen addoldy yn meddiant y brodyr Seisnig, a $600 mewn ymrwymiad i'w talu i ninau (sef haner gwerth y *property*, er ein cynorthwyo i adeiladu ty newydd. Mae y *Susquehanna Coal Co.*. wedi bod yn garedig, rhoddasant *lot* i ni i adeiladu addoldy arni, mewn man cyfleus o'n dewisiad ein hunain; caledi'r amser yw y rheswm na baem wedi dechreu adeiladu." J. P. Harris, gweinidog; J. J. Morris, aelod; William Edmonds, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 16; adferwyd 11; derbyniwyd trwy lythyr 11; gollyngwyd drwy lythyr 25; diarddelwyd 11; bu farw 5. Rhif yr aelodau 120; canolrif yr Ysgol Sul 130; at draul y Gymanfa $1.50; i'r ysgrifenydd $1.

*Olyphant.*—Dim *report.*

*Parsons.*—Dywed yr eglwys hon: "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am hyny yr ydym yn llawen." Mae'r Arglwydd wedi coroni llafur ein gweinidog â llwyddiant. D. F. Phillips, gweinidog; John Thomas, pregethwr cynorthwyol; Thomas R. Thomas, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 21; adferwyd 26; derbyniwyd trwy lythyr 10; gollyngwyd drwy lythyr 4; diarddelwyd 7; bu farw 2. Rhif yr eglwys, 119; yr Ysgol Sul 180; at draul y Gymanfa $2; i'r ysgrifenydd $1.

*Pittston.*—H. C. Parry, bugail; Isaac E. Davies, pregethwr cynorthwyol; Jacob W. Evans, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 10; adferwyd 7; derbyniwyd trwy lythyr 4; gollyngwyd trwy lythyr 6; diarddelwyd 8; bu farw 3. Rhif yr aelodau 135; yr Ysgol Sul 145; at y Genadaeth $7.65; at draul y Gymanfa $2; i'r ysgrifenydd $1.

*Plymouth.*—Edward Jenkins, bugail; Vaughan Richards, pregethwr cynorthwyol; D. H. Evans, myfyriwr yn Lewisburgh; John W. Powell, ysgrifenydd.

Bedyddiwyd 22; adferwyd 21; derbyniwyd trwy lythyr 17; gollyngwyd drwy lythyr 21; diarddelwyd 7; bu farw 5. Rhif yr aelodau 155; yr Ysgol Sul 160; at y Gymanfa $1.50; i'r ysgrifenydd $1; Bwrdd Addysg $15; Genadaeth Dramor $15.

*Pottsville.*—T. P. Morgan, gweinidog; R. Edwards, aelod; Richard R. Stephens, ysgrifenydd. Adferwyd 2; gollyngwyd drwy lythyr 2. Rhif yr aelodau 38; yr Ysgol Sul 20; i'r ysgrifenydd 50c.

*Providence.*—Mae'r eglwys hon yn amddifad o weinidogaeth sefydlog. Y brodyr cylchynol yn barod i'w gwasanaethu yn yr Arglwydd. John E. Evans, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 4; adferwyd 9; derbyniwyd trwy lythyr 2; gollyngwyd drwy lythyr 2; diarddelwyd 7; bu farw 2. Rhif yr aelodau 49; yr Ysgol Sul 58.

*Shenandoah.*—Er ein bod heb weinidogaeth sefydlog, eto, gallwn dystiolaethu ein bod wedi mwynhau graddau helaeth o weniadau'r nefoedd. Mae brawdgarwch ac undeb eglwysig yn ffynu yn ein plith, a'r Ysgol Sabbothol yn llewyrchus. Edward Capper, pregethwr cynorthwyol; Edward Capper, ysgrifenydd. Derbyniwyd trwy lythyr 7; gollyngwyd drwy lythyr 9; o flaen yr eglwys 1; bu farw 1. Rhif yr aelodau 42; yr Ysgol Sul 100; at draul y Gymanfa $2; i'r ysgrifenydd $1.

*Slatington.*—A. J. Morton, gweinidog; John B. Roberts, pregethwr cynorthwyol; John G. Prichards, ysgrifenydd. Derbyniwyd trwy lythyr 4. Rhif yr aelodau 20; yr Ysgol Sul 60; at draul y Gymanfa $1.50; i'r ysgrifenydd $1.

*St. Clair*—Thomas P. Morgan, gweinidog; Thomas B. Lewis, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 2; gollyngwyd trwy lythyr 3; diarddelwyd 2. Rhif yr aelodau 58; yr Ysgol Sul 45; at draul y Gymanfa $2; i'r ysgrifenydd $1.

*Summit Hill.*—"Oddiar ymadawiad y brawd B. James, yr ydym heb neb i dori i ni fara'r bywyd. Mae y brodyr H. C. Parry, J. P. Harris, a Theophilus Jones wedi ymweled â ni yn ystod y flwyddyn, ac wedi ein lloni yn fawr â chenadwri y Meistr. Yn ngwyneb llawer o ddigalondid yr ydym yn benderfynol i fyned yn mlaen drwy gymhorth yr Arglwydd." Joseph Richards, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 2; adferwyd 6; derbyniwyd trwy lythyr 4; gollyngwyd drwy lythyr 4; diarddelwyd 9. Rhif yr aelodau 26; yr Ysgol Sul 35; at draul y Gymanfa $1; i'r ysgrifenydd 50c.

*Taylorville.*—D. Rhoslyn Davies, gweinidog; Morgan Watkins, a Gwilym Thomas, pregethwyr cynorthwyol; D. M. Davies, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 6; derbyniwyd trwy lythyr 3; gollyngwyd drwy lythyr 8; diarddelwyd 11; adferwyd 2; bu farw 1. Rhif yr aelodau 140; yr Ysgol Sul 200; Genadaeth Dramor $8; traul y Gymanfa $2; i'r ysgrifenydd $1.

*Wanamie.*—Heb un gweinidog. T. D. Evans, pregethwr cynorthwyol; T. D. Evans, yfgrifenydd. Adferwyd 3; gollyngwyd trwy lythyr 3; bu farw 1. Rhif yr aelodau 10; yr Ysgol Sul 50.

*Upper Lehigh.*—"Yr ydym gyda llawenydd yn eich hysbysu fod achos Mab Duw yn ein plith yn parhau i gael ei nodweddu gan heddwch a llwyddiant A. J. Morton, gweinidog; John M. Powell, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 12; adferwyd 4; derbyniwyd trwy lythyr 10; gollyngwyd drwy lythyr 3; bu farw 1; cynydd 22. Rhif yr aelodau 118; yr Ysgol Sul 115; at draul y Gymanfa $2; i'r ysgrifenydd $1.

*Wiconisco.*—Dim mynegiad.

*Wilkesbarre.*—Hysbysir ni fod y brawd E. Edwards wedi ymsefydlu yn fugail ar yr eglwys; fod yr Arglwydd yn arddel ei lafur; a bod cylch yr eglwys wedi ei eangu mewn cysylltiad â'r Ysgol Sabbothol, &c. E. Edwards, bugail; David J. Thomas, ysgrifenydd. Bedyddiwyd 9; adferwyd 11; derbyniwyd trwy lythyr 14; gollyngwyd drwy lythyr 11; diarddelwyd 7; bu farw 3. Rhif yr aelodau 77; yr Ysgol Sul a'r ganghen 120; casglwyd at y Genadaeth Dramor $7.50; traul y Gymanfa $1.50; i'r ysgrifenydd $1.

lwysi (gwyddom am y tylodi yn gyn-redinol), tuag at y Gymanfa, mewn cysylltiad â'r treulion, &c., wedi bod yn destyn siarad a syndod. Diwygiwch frodyr!

J. P. HARRIS, *Ysgrifenydd.*

---

*Ebensburgh, Pa.*—Ymwelsom a'r lle hwn yn ddiweddar, a llonwyd ni gan gyfeillion. Mae y brawd parchus, y Parch. D. Evans, yn parhau i lafurio yn ddiwyd gyda'i eglwysi yn Ebensburgh a'r Gogledd. Yr hyn sydd boenus i weinidog Cymreig yma ydyw, bod y Saesneg yn cynyddu ac yn lladd y Gymraeg. O, y mae hyn yn ddiflas! Diolchwn o galon i'r cyfeillion am dderbyn Golygydd y WAWR mor dirion yn ei ymdrechion i'w goleuo, ac yn enwedig i'r Parch. Mr. a Mrs. Evans. Rhyfedd mor heinyf mae y ddau yn dal er gwaethaf hen ddyddiau. Yr oeddym yn methu yn lan a chanlyn Mr. Evans wrth gerdded trwy y gwres tua'r *North*. Yr oedd gwedd yr ardal rywfodd yn ymddangos yn fwy llwydaidd i ni na phedair blynedd yn ol. Mae y fasnach goed wedi darfod yma, a'r bobl eto heb gael y ffermydd i gyflwr gloew. Sylwn wrth agoshau gyda'r gerbydres at y lle, ei bod yn troi yn ol ac yn mlaen heibio bryniau fel pe yn ofni myned yn eofn ac ar ei hunion—ac yn llygadu yn wyliadwrus yn y trofeydd. Raid iddi ddim; pobl wir garedig sydd yn Ebensburgh.

*Johnstown, Pa.*—Mae'r brodyr yma yn selog dros ein Cyhoeddiad. Mae Mr. Evans yn ddosbarthwr bywiog a gweithgar. Oll am gael y WAWR am Tachwedd, yn benaf er cael darlun y Parch. W. Owen, a'i hanes gan Ednyfed. Nid oes gan yr enwad ffyddlonach gweinidog na'r Parch D. Evans, a'r brawd synwyrlawn John Hughes; mae yntau yn frwdfrydig dros y Cyhoeddiad. Da frodyr. O ïe, cofion at Mr. a Mrs. Evans a'n lletyodd yn fwyn. Drwg genym fod iechyd Mrs. Evans, gwraig y gweinidog anwyl mor waelaidd. Mae amser gwell fel yn gwawrio yma—y melinau yn goleuo yn y nos.

oddeutu tri-ugain milldir o Pittsburgh, yn Westmoreland Co. Yn y cymydogaethau hyn mae y gweithiau *Coke* mwyaf yn y wlad. Yn Scott Dale, mae melinau haiarn mawrion, yn myned yn dda. Mae yma amryw Gymry yn gweithio yn y felin, ac o gymeriad uwchraddol. Er's rhai wythnosau, maent wedi ymuno a'u gilydd i gynal moddion gras yn Sabbothol ac wythnosol mewn ysgoldy cyfleus, ac y maent yn cael cyrddau lluosog a llewyrchus. Y mis diweddaf, pregethasom dair gwaith iddynt ar y Sul, ac unwaith ar yr wythnos. Daethom yn gydnabyddus ag amryw o'r teuluoedd Cymreig yno, cawsom hwy oll, fel mae'n cenedl ni bob amser, yn garedig a serchog. Rhoddodd y personau canlynol eu henwau am y WAWR:—D. H. Jones, *Agent;* D. J. Davies, *Blacksmith;* T. D. Thomas; Richard Evans; Benjamin Price; David Griffiths; Thomas Davies; David Jones; John H. Thomas; George Hughes; John A. Powell.

Yn Connellsville, chwe' milldir o'r lle hwn, mae y Parch. R. D, Morgan, yn weinidog poblogaidd yr eglwys Fedyddiedig. Mae ef yn llwyddianus iawn. Maent yn awr yno yn adeiladu capel newydd hardd a chostfawr. Mae Mr. Morgan wedi cael galwad o eglwys arall yn fwy, gerllaw, ond gobeithiwn na symuda. Rhyw deulu neu ddau o Gymry sydd yn y gymydogaeth hon, ac mae un o honynt yn dderbyniwr i "doriad y dydd," sef John J. Thomas, dyn yn llawn o elfenau natur Gymroaidd.

OWEN GRIFFITHS, *Gol.*

---

*Audenried, Pa., Awst 24ain, 1877.*—Y mae yr achos da yn fyw yma; ond y mae y ddwy eglwys Gymreig yn dyoddef o herwydd yr amser caled presenol mewn dwy ffordd, o herwydd fod llawer o'r aelodau yn symud o'r lle, a'r rhai sydd yma yn methu a chyfranu yn ol fel y dymunent. Yn nghapel y Bedyddwyr, Awst 1af, cynaliwyd Cyfarfod Llenyddol ac Adroddiadol a Gwobrwyol. Cawsom gyfarfod difyrus dros ben. Agorwyd y cyfarfod gan y

cadeirydd Mr. Hugh T. Jones, drwy araeth fer a phwrpasol, a dilynwyd ef gan wahanol bersonau gydag areithiau pwrpasol yn ateb i'r amgylchiad. Yr oedd y beirdd yn eu hwyliau goreu, a'u hawen parod; a'r *Band of Hope* yn gwefreiddio y dorf a'u per ganiadau, o dan arweiniad Mr. Daniel Phillips, o Honey Brook Ond wele brif amcan y cyfarfod yn dyfod i'r golwg—oriawr a chadwyn hardd (*American Silver*), yn cael eu harddangos i'r gynulleidfa—a'r ysgrifenydd yn galw Miss Gwen Evans a Miss Mary Jane Edwards yn mlaen er cyflwyno y rhodd i'r teilwng gerddor, y bardd a'r llenor, R. W. Roberts, am ei ffyddlondeb gyda'r *Band of Hope* a'r cyfarfodydd adroddiadol, a'r ysgol gân. a phob peth arall, ag a fyddo er adeiladaeth i'r tô ieuanc. Y ddwy ferch fach yma yn nghyd a'u cyfeillesau, a fuont yn ffyddlon iawn yn casglu rhoddion pawb tuag at gynal *picnic* i'r Ysgol Sul, ar ddydd gwyl yr Annibyniaeth, a chasglasant tua $45, a chawsom *bicnic* ardderchog. Yr oedd rhyw son yn ein plith am wneyd rhyw fath o gydnabyddiaeth i Mr. Roberts, am ei ffyddlondeb gyda'r plant. Ond yr oeddem yn methu yn deg a gweled un cynllun o herwydd amgylchiadau yr amser caled. Ond yr oedd dwy o wragedd da yn ein plith, y rhai fuont mor graffus i ddyfeisio cynllun heb fyned ar draws neb am gyfran at y dysteb. Enwau y gwragedd oedd, Mrs. Evans a Mrs. Davies. Y cynllun a gymerasant oedd—chwi wyddoch, fod yn rhaid i'r bechgyn a'r genethod ieuainc gael ychydig centiau i'w pleseru ar ddydd gwyl, ac er mwyn casglu y centiau hyn, y gwragedd a brynasant ychydig *boxes* o *cigars*, ac ychydig ddwsinau o *shooting crackers*, ac fe wnaethant ddigon o elw i gael y *Watch* a'r *Guard*. a chwe' dolar dros ben, er cael llyfrau Tonau at wasanaeth y cysegr. Chwi welwch, mor dda yw y gwragedd i dynu cynllun, ac nid cynllunio yn unig, ond ei weithio allan i berffeithrwydd.—*Llygadog.*

*Shenandoah, Pa.*—Cynaliwyd cyngherdd yn Nghapel y Bedyddwyr, nos Fawrth y 23ain o Hydref, gan blant yr Ysgol Sabbothol. dan arweiniad Mr. John C. Davies. Llywyddwyd y cyfarfod gan J. P Williams, Ysw., yr hwn a alwodd ar y brawd Capper i agor, drwy ganu emyn Cymreig a gweddi. Cafwyd cynulleidfa dda iawn, ond cafwyd cyngerdd ardderchog, yr oedd yn A 1. Canwyd amryw ddarnau gan Miss Phillips a'i pharti yn dda odiaeth. Teimlodd y gynulleidfa ddyddordeb neillduol yn natganiad "Time flies away," gan yr *Infant Class*, ond barna eich gohebydd i'r côr arall ganu, "We'll meet each other there," yn fendigedig. Cafodd "My Grandfather's Clock," ei berfformio yn dda gan Miss Jennie Williams a'i pharti. Ymataliaf rhag nodi pob darn a ganwyd er bod yn fyr, o herwydd bwriadwyd cael cyfarfod cyffelyb tua dydd Calan nesaf, ac ond i ni beidio treulio allan eich amynedd drwy yr ysgrif hon, dichon y bydd genych le i un eto ar ol y gwyliau. Teg yw hysbysu fod Mr. Davies wedi llafurio yn ddiwyd gyda'r plant yn nghanol anfanteision mawr iawn, a phe byddai i dduwies ffawd wenu dipyn ar amgylchiadau y lle, diddadl genyf y gallai wneyd daioni mawr yn y lle. Yr oeddem yn teimlo wrth ei weled yn arwain a chyfarwyddo y ddau gôr, i ddyweyd, "He was born to command." Llwyddiant iddo, medd —*Gohebydd.*

*Houtzdale, Clearfield Co., Pa.*—We, the undersigned Committee, were duly appointed by the Welsh Baptist Church of Houtzdale, to audit the Books of the said Church; and candidly we have found all accounts of the Building Committee, Mr. John Morris, Treasurer; Rev. William R. Jones, Collector; John L. Jones, Ex-Secretary of the Church, all correct. And we faithfully give our report to the members of the said Church. Dated this day, September 30th, 1877.

ROBERT WALTERS,
EDWARD LLOYD,
*Auditing Committee.*

—Mae cantorion Utica, N. Y., yn ffurfio côr ar gyfer yr Eisteddfod ddydd Calan.

## *BEDYDDIADAU.*

Yn Shenandoah, Pa., Hyd. 13eg, bedyddiwyd dau ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. L. M. Roberts, Ashland

Ufudd-dod llwyr i ddeddfau Duw
Yw prif ddyledswydd dyn;
Achosa ganlyniadau gwiw,
A mwyniant ynddo 'i hun.

E. T. M.

Medi 27, yn New Straitsville, O., bedyddiwyd trwy drochiad, ar broffes o'u ffydd yn Nghrist, ddwy o chwiorydd, y rhai a dderbyniwyd i gyflawn gymundeb yr eglwys yr un dydd, gan y Parch. D. B. Davies. Mae yr achos yn llewyrchus, y pregethu yn ddylanwadol a derbyniol. D. A. DAVIES.

PLYMOUTH, PA., Medi 24, 1877.—*Anwyl Olygydd*—Y mae yn dda genyf eich hysbysu, fod yr achos da ar ei gynydd graddol yn ein plith o hyd. Bedyddiwyd un brawd yma ddoe, sef y 23ain, ac adferwyd un brawd i'w le o'r tir pell. EDWARD JENKINS.

NANTICOKE, PA.—Mae yr eglwys yn y lle hwn, yn ngwyneb anfanteision ac anhawsderau, yn parhau i lwyddo—y cynulliadau yn lluosog, ac arwyddion addawol am lwyddiant yn y dyfodol. Dydd yr Arglwydd, yr 20fed o Hydref, cafwyd gwledd yma yn ngweinyddiad yr ordinhadau—bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. J. P. Harris, yn ngwydd tyrfa luosog o dystion—blaenffrwyth, gobeithiwyf, o lu yn canlyn

YMWELYDD.

KINGSTON, PA.—Sabboth, Medi 24 bedyddiwyd tri ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw—dau o honynt wedi bod yn aelodau o'r blaen am hir amser. un gyda'r Cynulleidfaolwyr, a'r llall gyda'r Wesleyaid. O herwydd fod afiechyd wedi dal ein parchus weinidog, y Parch. J. R. Price, gweinyddwyd gan yr Hybarch Theophilus Jones, Wilkesbarre. Mr. Gol., gobeithio y maddeuwch i mi am ddywed, fel y dywedais lawer gwaith o'r blaen, fod pethau gogoneddus i'w gweled yn, ac yn cael eu harwyddocau yn y bedydd. Pe edrychem ond ar y dyben mewn golwg, sef ufudd-dod i'r Brenin anfarwol, yr hwn a ddywedai, "Gad yr awr hon. fel hyn y mae yn weddus i ni gyflawni pob cyfiawnder;" ac yn hyn efe a roddes i ni esiampl fel y canlynem ei ol ef. A chan iddo orchymyn, y mae cariad yn enaid y credadyn ei rwymo i ufuddhau iddo. Pe byddai yn angenrheidiol, byddai yn foddlon i blygu i'r ordinhad bob Sabboth, yn lle unwaith mewn oes, gan ystyried nad yw hyn ond ychydig mewn cymhariaeth i'r hyn a wnaeth Iesu o'r preseb i'r pren er cadw pechadur; fel er mor ardderchog ydyw natur yn ei holl amrywiaeth, ac er mor brydferth ydyw y bydoedd afrifed a frithant yr eangderau, y mae y cwbl yn myned i'r cysgod yn ymyl croes ein Harglwydd Iesu Grist. Wrth edrych ar fwriadau hedd y Duwdod at deulu tlawd y llwch, a'i dosturiaethau fel y môr tragywyddol at blant y golled fawr yn dod i'r golwg yn ocheneidiau Gethsemane, ac ingoedd Calfaria; wrth hyny nid yw yr hyn a geisiodd y Gwaredwr genym ni ond ychydig yn ymyl mawredd yr hyn a wnaeth efe drosom ni. Yn y bedydd gwelir trochiad Iesu mewn bedydd gwaedlyd, a'r suddiad mewn dyoddefiadau, er mwyn euogion y codwm. Gal. 2: 20. Yn y bedydd gwelir Iesu yn gorwedd dridiau a thair nos yn nghalon y ddaear, ac yn codi yn goncwerwr, gan lyncu angau mewn buddugoliaeth. Rhuf. 6: 4. Yn y bedydd y proffesa y credadyn ei grediniaeth yn adgyfodiad y meirw; ac mewn undeb â Christ, y Pen, y cedwir yntau. 1 Cor. 15: 29. Wrth hyny nid yw bedydd yn *golchi pechod*, fel y'n camghuddir gan rai—nid yw ond *ymateb cydwybod dda* ger bron Duw. Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn golchi pechod; ond ni wna y gwaed y tro yn lle y dwfr, na'r dwfr yn lle y gwaed Pob un ei le priodol. Y dwfr i fedyddio, a'r gwaed i buro y cyflwr. Cawn lawer a ddywedant, "Cael gafael ar Grist sydd eisiau, a pheidio ymddadleu yn nghylch y pethau lleiaf. Os cydunwn am y brethyn, nid gwiw ymgecru am liw y botymau; nid yw y cwbl ond rheffynau gwellt." Gallem feddwl mai rhyw ddynionach rhyfedd yw y rhai hyn. Os mynant i ni gredu eu bod mor barchus o Grist, paham ynte na weithredant fel y gorchymynodd y Crist hwnw; oblegid nid yw crefydd na mwy na llai ond cariad gwirioneddol yn ffrwytho ar ufudd dod. "Os câr neb fi, cadwed fy ngair." Brysied y boreu dedwydd pan y byddo gwirioneddau am Iesu pur wedi llanw yr holl ddaear, a'r hwn a farchogodd ar asyn i Jerusalem i ddyfod allan yn marchogaeth ar farch, yn gorchfygu, ac i orchfygu. Gyred allan mewn llawn arfogaeth, er amddiffyn lledneisrwydd a chyfiawnder, a'i saethau llymion fyddo yn glynu yn nghalonau gelynion y brenin. Gan i'r Tad roi y Mab i'r byd, y mae yn rhaid i'r byd gael ei roi i'r Mab. Ar gyflawniad yr addewidion, bydd adsain telynau yn seinio moliant i'r hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfainc, ac i'r Oen yn dragywydd, gan lanw yr ymerodraeth fawr i gyd.

JONAH A. DAVIES.

---

## *BU FARW—*

THEODOSIA RACHEL JENKINS.

Medi 24, 1877, yn Lansford, Pa., bu farw Theodosia Rachel Jenkins, yn wyth mis a thair wythnos oed. Merch ydoedd i Mr. George Hopkins a'i briod, Minersville, Pa. Ond gan i Mrs. Hopkins farw pan oedd y baban ond newydd ei eni, trodd calon Mr. John E. Jenkins, Lansford, at yr un fechan, a chymerodd hi yn eiddo iddo ef a'i briod pan nad oedd ond tair wythnos oed. Ond er iddynt wneyd eu goreu drosti, ac er fod eu serch wedi ymaflyd yndi yn egniol, eto, er eu mawr alar, bu farw yn sydyn. Claddwyd hi yn Minersville, yn ymyl ei mam.

Yr ysgrifenydd yn gweinyddu yn y ty ac ar lan y bedd. D. S. THOMAS.

EMMA ELIZABETH JONES.

Medi 18fed, yn New Straitsville, O., bu farw Emma Elizabeth, merch fechan i John a Harriet L. Jones, yn 5 mis oed. Gweinyddwyd yn yr angladd y dydd canlynol gan y Parch. D. B. Davies. Yr oedd y fechan uchod yn un o ddwy efeilles. Bydded i'r rhieni ymdawelu yn ngwyneb yr amgylchiad, ac hiraethu am ei chymdeithas tu draw i'r byd a'r bedd.

D. A. DAVIES.

MRS. SARAH DAVIES, RIDGEWAY.

Ganwyd Mrs. Davies yn y fl. 1831, yn Gwern Coly, plwyf Llanddewi-brefi, Sir Aberteifi, D. C. Enwau ei rhieni oeddynt David a Hannah Davies. Yn y fl. 1851 priododd gyda Mr. Heny Davies, Gallt yr Erw, Rhandir Mwyn, Sir Gaerfyrddin, lle buont yn byw hyd eu symudiad i America gyda ei theulu yn y fl. 1862. Wedi dyfod i'r wlad hon, sefydlasant yn Green Lake Co., Wis. Treuliasant ychydig gyda phedair blynedd yno. Wedi hyny symudasant i Ridgeway, Iowa, Co., yn yr un Dalaeth, lle y treuliodd y gweddill o'i hoes.

Proffesodd yr Arglwydd Iesu Grist yn fuan wedi eu dyfodiad i Rhandir Mwyn. Bedyddiwyd hi gan y Parch. John Morgans, Tal-yr-Yn, a derbyniwyd hi yn aelod i eglwys y Bedyddwyr yn y lle. Bu ei gyrfa grefyddol yn un cyfnod difwlch o wasanaeth i Dduw. Nid weithiau yn yr eglwys, ac weithiau allan, fel y mae gyda llawer weithiau yn llawn o sel, ac weithiau heb ddim. Ni chollodd ei chrefydd wrth ddyfod dros y môr, ond ymwasgai â'r dysgyblion mewn eglwys Seisonig, os na fydd ai un Gymreig i'w chael. Yr oedd yn naturiol wyliadwrus ar ei geiriau. Gellir dyweyd fod rhan fawr, os nid y rhan fwyaf o drallodion yr eglwys yn cael eu hachosi gan ddiffyg ar y pen hwn; ond ni cheid y chwaer anwyl hon yn gysylltiedig ag ystori yn gwneuthur cynwrf yn yr eglwys.

Hefyd, yr oedd yn ofalus i lanw ei chylch teuluaidd. Ymdrechodd hyd y gallodd i gysuro ei phriod a'i phlant; yr oedd ymgeledd eu cyrph a'u heneidiau yn agos at ei meddwl. Hyderaf nad anghofir byth ei chyngorion ysgrythyrol, ei gweddiau taer, a'i hesiamplau Cristionogol ganddynt. Ac fel effaith bywyd mam grefyddol, cafodd weled pedwar o'i phlant anwyl yn proffesu crefydd, a gobeithiwn y gwna y gweddill yr un peth, fel y tyfant i oedran i ystyried eu cyfrifoldeb i Dduw, eu sefyllfa golledig, a'u hangen am Waredwr. Ond yn awr mae wedi ein gadael, wedi gadael ei theulu, wedi gadael yr eglwys, wedi gadael y byd; "ei lle nid edwyn ddim o honi mwy." Boed i Dduw roddi cymorth i'w phriod a'i phlant hoff i beidio galaru fel rhai heb obaith. Boed hefyd i'r bylchau a wneir gan angau gael eu llanw i fyny.

Ni bu ei hafiechyd ond byr, eithr trwm—nid llawn tair wythnos y bu yn gorwedd. Cafodd bob cymorth meddygol, a phob ymgeledd a allodd y teulu a chymydogion caredig ei wneyd iddi; ond bu y cwbl yn aneffeithiol i'w gwaredu o ddwylaw angau. "Nid oes bwrw arfau yn ei erbyn ef." Ychydig allodd ddyweyd wrth neb ar ol ei chymeryd yn glaf. Yr oedd ei gobaith yn y Gwaredwr am fywyd. Bu farw Medi 4, 1877. Claddwyd hi yn barchus y 5ed, gerllaw addoldy y Bedyddwyr yn Ridgeway. Gweinyddwyd ar yr adeg gan amryw o weinidogion cylchynol. Boed heddwch i'w llwch i orphwys hyd foreu yr adgyfodiad, yw dymuniad BRAWD HIRAETHUS.

DANIEL DAVIES.

Medi 17eg, yn 65 ml. oed o fewn mis, bu farw Mr. Daniel Davies, alias Daniel Dai Davies; felly yr adnabyddid ef yn gyffredin. Yr oedd Mr. Davies yn enedigol o Ferthyr, D. C. Ond symudodd ei rieni i Rymney pan yr oedd ef yn dra ieuanc; yno y tyfodd i fyny, ac y daeth yn berchen teulu. O Rymey y daeth i'r wlad hon. Yr oedd wedi priodi yr ail waith. Claddodd ei wraig gyntaf yn Rhymney, o'r hon y mae dau o blant yn y wlad hon; eraill yn y beddrod yn yr Hen Wlad. Priododd drachefn, ac heddyw wele y chwaer anwyl hon wedi ei gadael yn dra amddifad mewn gwlad estronol. Cafodd Daniel yn ystod ei gystudd blin bob tynerwch a allasai ei anwyl briod ac eraill weini iddo. Profodd yr ardalyddion a Christionogion y gymydogaeth, drwy eu mynych ymweliadau ag ef yn nhymor ei afiechyd, ei fod yn wir barchus yn eu golwg. Yr oedd yn aelod ac yn ddiacon parchus yn yr eglwys Fedyddiedig ar y Ridge. Bedyddiwyd ef yn Rhymney, gan y Parch. Morgan James, er's yn agos i ddeugain mlynedd yn ol.

Fel dyn yr oedd yn weithiwr o'r caletaf, gonest yn ei drafodaeth â'r byd ac â'r eglwys hefyd. Fel Cristion, yr oedd yn ffyddlon iawn yn ngwinllan ei Arglwydd hyd y gallodd. Yn wir, gwelid Daniel yn rhyw lusgo ei hunan tua'r oedfaon er's tro mawr; fe, a'i nerth yn pallu ar y ffordd. Gellir dyweyd am dano, "Glynodd tra y gallodd;" ac O, mor ddi-ddychryn y gwynebodd y glyn tywyll. Dymunodd y meddyg ar yr ysgrifenydd ei hysbysu nad oedd fawr, neu ddim gobaith am ei adferiad, yr hyn a wnaethum yn y modd goreu y gallaswn. Derbyniodd yr hysbysiad yn hollol dawel, yn wir, fel pe buasai y newydd wrth ei fodd Yr oedd yn lled hyddysg yn yr Ysgrythyrau, yn gyngorwr da, ac yn hynod afaelgar (nid yn ddoniol) wrth orsedd gras. Ond ar y dydd uchod ehedodd ei enaid at ei Brynwr. Dydd ei gladdedigaeth daeth tyrfa fawr iawn yn nghyd i hebrwng yr hyn oedd farwol i'r gwely pridd, a rhoddwyd ef i orwedd yn ochr capel y Bedyddwyr ar y Ridge Darllenwyd a gweddiwyd gan y Parch. Wm. Edwards (A.), a phregethodd yr ysgrifenydd. Bydded i Dduw pob gras ofalu am ei weddw oedranus a'i anwyl blant, medd J. W. JAMES.

MR. EVAN BOWEN.

Yn Mineral Ridge, O., Hyd 2, 1877, yn y 71ain flwyddyn o'i oedran, Mr. Evan Bowen. Gelwid ef yn gyffredin Evan Shon Bowen. Yr oedd yn enedigol o Ferthyr, D. C., ond mae yn debyg mai yn Rhymney y treuliodd y rhan fwyaf o'i amser yn Nghymru, ac oddiyno yr ymfudodd i'r wlad hon. Bu ef a'i deulu yn byw am rai blynyddau yn Weathersfield, ac oddiyno y daethant i'r Ridge, lle y gorphenodd ein brawd anwyl ei yrfa ddaearol. Yr oedd yn aelod hardd gyda y Bedyddwyr er's 28 neu 30 o flynyddoedd. Bedyddiwyd ef gan Iorwerth Glan Aled, a derbyniwyd ef yn aelod o'r eglwys yn Penuel Rhymney, a bu buw yn gyson a'i broffes hyd ei fedd. Fel dyn yr oedd yn onest a diwyd iawn, a thrwy ei gynildeb a'i ddiwydrwydd gadawodd ei deulu mewn sefyllfa lled gysurus. Bu yn rhyw ddihoeni am flynyddoedd—angau yn dwyn ei waith yn mlaen yn hynod araf, er hyny yn sicr. Cafodd ein hanwyl chwaer Mrs. Bowen law drom gydag ef, er hyny ni phallodd ei ffyddlondeb ddydd na nos hyd y diwedd.

Fel Cristion yr oedd yn bucheddu yn dda. Ni chlywodd yr ysgrifenydd neb yn beio Mr. Bowen ar gyfrif ei fuchedd, ac ni welodd efe neb yn estyn bys ar ei ol. Nid oedd yn feddianol ar ryw ddoniau mawr, ond yr oedd yn feddianol ar un peth neillduol iawn, sef gonestrwydd. Ni wyddai am ddichell a bradwriaeth fel pethau yn nglyn ag ef Byddai pethau felly yn bell oddiwrtho, ac yn gas ganddo. Ond efe a fu farw; do, a'i ymddiried yn yr Iesu. Gadawodd weddw oedranus a phump o blant ar ol yn myd y galarnadau. Dydd ei gladdedigaeth daeth lluaws mawr yn nghyd er cyfleu yr hyn oedd weddill o hono i'r pridd, yn mynwent Weathersfield. Bydded yr Arglwydd yn dirion o'n chwaer a'r plant oll. Gweinyddwyd yn yr amgylchiad gan y Parchn. D. C. Thomas, Niles, Wm. Edwards (A.), Ridge, a'r ysgrifenydd. J. W. JAMES.

## Y GONGL GENADOL.

UNDEB CENADOL Y BEDYDDWYR AMERICAIDD.

Yn y WAWR am y mis diweddaf, rhoddasom ychydig o hanes gweithrediadau y Genadaeth yn Asia. Yn bresenol ceisiwn osod o flaen y darllenydd nodion byr yn rhoddi golwg ar y Genadaeth yn Ewrop. Dichon nad oes gan y mwyafrif o honom ond syniad anmherffaith am bwysigrwydd y Genadaeth ar gyfandir Ewrop. Mae y cenadon yn dyfod i gyffyrddiad â llygredigaeth y Babaeth, yr "Eglwys Ddwyreiniol," a Lutheriaeth, yn eu holl ddulliau ofergoelus, ac ag Anffyddiaeth a Mahometaniaeth yn eu holl agweddau tywyll, a'u dylanwad dinystriol ar drefn a moesau yn y byd hwn, ac ar dynged dragywyddol miliwnau dirif yn byd a ddaw. Nid oes dim ond crefydd bur a syml y Testament Newydd—y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu—a all ymlid ymaith y tywyllwch caddugaidd sydd yn gorchuddio y gwledydd a nodwyd. Mae y cynllun dwyfol i gadw dyn yn cael ei osod allan gan y Genadaeth hon yn ei symledd, ei ysbrydolrwydd a'i ogoniant, yn taro yn erbyn cyfeiliornadau yr oes, ac yn cyfarfod â holl angen dyn fel y mae yn bechadur.

Mae llwyddiant Cenadaeth y Bedyddwyr mewn rhan helaeth a phwysig o Ewrop wedi bod, ac yn parhau i fod tu draw i bob peth a allesid ei ddysgwyl, wrth ystyried mawredd y rhwystrau ar y ffordd a gwendid cymharol yr offerynau a ddefnyddiwyd er dwyn yr amcan gogoneddus o oleuo ac achub dyn i ben. Mae dylanwad y Genadaeth hon yn cael ei deimlo fwy-fwy bob blwyddyn, fel y mae y canlyniadau daionus a'r effeithiau grymus sydd wedi ac yn cydfyned â'r gwaith da yn y gwledydd Ewropaidd yn destyn llawenydd a diolchgarwch pawb sydd yn caru llwyddiant teyrnas y Gwaredwr.

Prif feusydd y Genadaeth ydynt Ffrainc, Germany, Denmark, Sweden, Spain, Groeg a Rwssia. Mor agos ag y gallwn gasglu oddiwrth fynegiadau y cenadon, mae yn agos i 35,000 o aelodau yn yr eglwysi sydd dan nawdd y Genadaeth yn y gwledydd a nodwyd. Buasai yn bleser genym pe caniatâi lle, osod amgylchiadau y Genadaeth yn yr holl wledydd hyn o flaen y darllenydd, ond rhaid boddloni ar un o honynt yn bresenol. Ni gawn fwrw golwg ar y Genadaeth yn Germany y tro hwn. Rhaid i ni fyned yn ol mor bell a'r flwyddyn 1833 er cael golwg ar ddechreuad y Genadaeth hon yn rhanau gogleddol y wlad hon. Yr oedd cyfundebau crefyddol yn bodoli mewn gwahanol ranau o'r wlad, o ddaliadau cyffelyb i'r rhai a gyfenwid yn Ailfedyddwyr (*Anabaptists*) dan wahanol enwau—*Galenists*, *Mennonites*, &c. Yr oedd y rhai hyn wedi cael goddefiad i addoli ar wahan oddiwrth y grefydd wladol gan y Llywodraeth. Yr oedd y bobl hyn yn coleddu golygiadau am athrawiaeth ac arferion crefyddol yn agos yr un fath a Bedyddwyr Lloegr ac America.

Yn y flwyddyn 1833, ymwelwyd â chyfandir Ewrop gan y Parch. Proff. Sears, yr hwn yn ei ymchwiliadau a ddaeth yn gydnabyddus ag amryw o'r un golygiadau a'r Bedyddwyr ar bynciau sylfaenol crefydd Crist, ac ordinhadau yr efengyl. Yr oedd y bobl hyn yn wasgaredig trwy y wlad yn mhlith y Lutheriaid, a llawer heb fod yn perthyn i un sefydliad crefyddol. Pan oedd Mr. Sears yn ninas Hamburg, daeth yn adnabyddus ag ychydig bobl o'r desgrifiad uchod. Yn eu plith yr oedd Mr. J. G. Oncken, dyn o farn ragorol, a gwir dduwiol, ac yn meddu ar wybodaeth dduwinyddol eang. Bedyddiwyd Mr. Oncken, a chwech o bersonau eraill, gan Mr. Sears, yn afon Elbe, yn agos i Hamburg; ac yn y flwyddyn 1834 ffurfiwyd hwy yn eglwys, ac ordeiniwyd Mr. Oncken yn

fugail arnynt. Yn y flwyddyn 1835 apwyntiwyd Mr. Oncken yn genadwr dan nawdd Cymdeithas Genadol Bedyddwyr America. Fe ddaeth Hamburg yn *centre* gweithrediadau y Genadaeth. Yn fuan pregethwyd yr efengyl gan Oncken a'i gynorthwywyr yn Bremen, Oldenbury, a manau eraill yn Ngogleddbarth Germany. Mewn ychydig flynyddoedd lledodd yr athrawiaeth newydd trwy amryw o'r Talaethau Germanaidd, a ffurfiwyd eglwysi mewn llawer o'r prif drefydd. Yr oedd ysbryd a sel genadol wedi myned mor gryfed yn yr eglwysi, a'u sel mor fawr, fel y darfu i'r awdurdodau gwladol ac eglwysig gael eu cynhyrfu i roddi atalfa ar y blaid newydd a ystyrid yn *hereticiaid* peryglus i'r wlad, a'r grefydd sefydledig. Dan yr amgylchiadau hyn, traddodwyd Oncken ac eraill i garchar. Alltudiwyd rhai o'r cenadon, ac ysbeiliwyd llawer o'r aelodau o'u meddianau. Ond myned rhagddo yr oedd y gwaith er pob gwrthwynebiad, fel o'r diwedd, trwy ddylanwad cyfeillion rhyddid a chrefydd yn Lloegr a'r wlad hon, peidiodd yr erledigaeth yn y gwahanol Dalaethau, a chafwyd goddefiad (*toleration*) i bregethu, gweinyddu yr ordinhadau, a chorphori eglwysi yn y dinasoedd a'r trefydd mwyaf pobogaidd, nes erbyn heddyw mae y Genadaeth yn y wlad fawr hon a'i heglwysi yn ugeiniau, a'i haelodau yn filoedd, a phob argoel mai ar gynydd parhaus yr â y gwaith.

Mae yn perthyn i'r Genadaeth hon 22,504 o aelodau, 110 o eglwysi, a 1,296 o orsafoedd. Bedyddiwyd 1774 yn y flwyddyn 1875. Mae 5,954 o blant yn yr Ysgolion Sabbothol; athrawon, 421. Dosbarthir y 22,504 aelodau hyn dros wahanol wledydd y Cyfandir. Mae yn y Gogledd-Orllewin 2,487; yn Prwssia, 8,485; yn Nghanolbarth a Deheubarth Germany, 2,176; yn Holland, 136; yn Switzerland, 418; yn Denmark, 2,006; yn Poland, 1,657; yn Rwssia, 4,560; yn British Caffraria, 458. Mae yr ystadegau uchod yn arwyddocâol iawn, ac yn dangos sefyllfa yr achos yn y gwahanol wledydd. Mae Prwssia yn sefyll yn y rhes flaenaf, nid yn unig mewn rhif, ond hefyd mewn llafur a llwyddiant. Yn Berlin mae yr eglwys luosocaf. Mae llwyddiant mawr yn dilyn yr ymdrechion a wneir ar hyd holl linell y Genadaeth ar gyffiniau Rwssia. Mae capel hardd yn Coningsbury, ac yn ganolbwynt gweithrediadau a dylanwad mawr, fel mae eglwysi newydd yn cael eu ffurfio, a llafurwyr newydd yn myned i'r meusydd addawol hyn. Mae yr eglwys yn Reets, Pomerania, wedi ei chorphori er's 25 o flynyddoedd, a 945 wedi eu bedyddio oddiar ei ffurfiad. Mae Cymanfa Prwssia wedi cynal 23 o weinidogion yn bregethwyr y flwyddyn ddiweddaf. Mae 80 wedi cael eu dychwelyd at Dduw yn Brome, yn Hanover, a'r eglwys yn Altona yn cynwys 293 o aelodau. Mae dyddordeb neillduol yn perthyn hefyd i'r Genadaeth yn Rwssia, yn arbenig am fod rhagolygon am gynydd mawr yn y dyfodol. Mae dwy eglwys yn Riga, Livonia, un yn 311 o aelodau, a'r llall ychydig yn llai. Bedyddiwyd yno 70 y flwyddyn ddiweddaf. Y mae achos newydd wedi ei ddechreu yn St. Petersburgh, ac argoelion eglur am lwyddiant. Mae eglwys newydd wedi ei chorphori yn Cholosea. Mae yr eglwys yn Odessa wedi cynyddu o 62 o aelodau i 409 yn y ddwy neu dair blynedd diweddaf. Mae tir newydd yn cael ei dori yn Hungary, a gobeithion y daw rhyddid crefyddol yn gyfraith y wlad. Yn Affrica mae yr achos yn dra llwyddianus, fel mae cenadaeth at y Kaffirs. Mae llaw Duw i'w weled yn amlwg yn nechreuad a chynydd y Genadaeth yn Germany oddiar pan fedyddiwyd Oncken, a chorphoriad eglwys o 7 aelod hyd heddyw, pan yn rhifo 22,504.

Os cynydda yr achos yn y 40 mlynedd nesaf gymaint ag yn y 40 mlynedd diweddaf, gellir dysgwyl y bydd tua 100,000 wedi eu hychwanegu at yr eglwysi hyn. "Pwy a ddiystyrodd ddydd y pethau bychain?"

*Wilkesbarre, Pa.* THEOS. JONES.

## NEWYDDION Y MIS.

—Mae Wm. Henry Fox Talbot, o Loegr, prif ddarganfyddwr *photography*, wedi marw.

—Derbyniodd y Parch. John Cotton Smith, o New York, yn ddiweddar, $500 am briodi pâr yn Newport.

—Bwriada Mri. Moody a Sankey dreulio mis Tachwedd yn New Hampshire, a'r gweddill o'r gauaf yn Maine, Massachusetts, &c.

—Teimlwyd amryw ddaeargrynfâu trymion yn mharthau deheuol Peru yn ddiweddar, eithr ni adroddir am nemawr o ddinystr.

—Mae yr offeiriaid yn Rwssia bob Sabboth yn darllen y newyddion o faes y rhyfel i'w cynulleidfaoedd.

—Dywedir fod gwyliadwriaeth fanwl yn cael ei chadw ddydd a nos ar fedd Brigham Young, gan nifer o ddynion, y rhai a arosant mewn adeilad a godwyd yn bwrpasol iddynt.

—Cyfarfu y XLV. Gydgyngorfa ddydd Llun, y 15fed o'r mis diweddaf, mewn eisteddiad neillduol, ar alwad yr Arlywydd. Cafodd S. Randall (Democrat), ei ethol yn Llefarydd y Ty.

—Cymerodd tân le yn y *patent office* yn Washington tua diwedd mis Medi. Torodd allan ar y llawr uchaf o'r *Department of the Interior*, yn yr ystafell a gynwysai *models* gwrthodedig. Arbedwyd y rhan fwyaf o'r adeilad.

—Tra yr ydoedd gwraig Mr. C. J. Langdon allan yn *ridio* yn agos i Elmira, N. Y., gyda'i phlentyn a *nurse*, yn ddiweddar, rhedodd y ceffylau i ffwrdd, a daliwyd hwynt gan Negro o'r enw John F. Lewis, yr hwn a wobrwywyd

ag anrheg o fil o ddoleri gan Mr. Langdon. Derbyniodd anrhegion gwerthfawr hefyd gan bersonau eraill.

—Adrodda y trafnoddydd Americanaidd yn Odessa, fod afiechyd wedi dinystrio canoedd o filoedd o wartheg yn neheubarth Rwssia. Mewn rhai pentrefydd nid oes braidd un fuwch wedi ei gadael.

—Mae Cwmni Arddangosfa Barhaol Philadelphia mewn cyfyngder arianol. Cyrhaedda ei ddyled i $264,000, ac mae rhai o'r gofynwyr eisoes wedi cymeryd mesurau eithafol er sicrhau eu buddianau. Os na ddaw ymwared yn fuan o rywle, diau yr atafaelir ac y gwerthir y nwyddau. Hyderwn na chymer hyny le.

—Adroddir fod masnachwyr New York yn teimlo yn galonog iawn y dyddiau hyn. Mae masnach wedi gwella, ac adfywiad cyffredinol yn cymeryd lle yn y Deheu a'r Gorllewin. Effeithia y cnydau toreithiog, a gostyngiad yr aur, i adsefydlu ymddiried, a hyderir fod sylfaen gadarn wedi ei chyrhaedd o'r diwedd, ac y bydd pob symudiad o hyn allan er gwell.

—Yn ol adroddiadau diweddar o Cuba, rhoddir ar ddeall fod y pleidiau yno wedi llwyr flino ar y rhyfel, ac yn awyddus am heddwch. Rai dyddiau yn ol lledaenwyd adroddiad fod y brenin Alfonso yn barod i wneyd heddwch ar unrhyw delerau; eithr y mae hyny yn annhebygol, gan y dywedir ei fod wedi gwrthod cynygion a wnaed iddo gan y gwrthryfelwyr.

—Ymosodwyd ar gerbydres o'r Union Pacific Railroad dro yn ol gan yspeilwyr yn Wyoming. Yr oedd ar y *train* 300,000 o ownses o arian perthynol i'r Llywodraeth, yr hwn oedd yn cael ei drosglwyddo i'r *mint* yn Philadelphia. Ond yn anffodus i'r yspeilwyr, yr oedd yr arian mewn barau mor fawrion, fel yr oeddynt yn rhy drwm iddynt eu symud, ac felly ni chollwyd owns o hono.

—Mae yn hysbys i ddarllenwyr y newyddiaduron fod un o'r colofnau Aiphtaidd a elwir *Cleopatra's Needles* yn awr ar ei ffordd tua Llundain. Dywedir yn awr fod ei chydmar yn bur debyg o gael ei sicrhau i ddinas New York. Mae un boneddwr, enw yr hwn sydd yn bresenol yn anhysbys i'r cyhoedd, wedi ymgymeryd â'r holl draul o'i throsglwyddiad a'i gosodiad i fyny.

—Parha pethau yn lled gythryblus ar derfyn Mexico. Ymladdodd y Mil. Bullis frwydr ffyrnig yn agos i'r afon Pecos â nifer o Indiaid Mexicanaidd, a chollodd amryw o'i wyr. Hysbysir fod saith cwmni o feirchfilwyr gyda dau fagnel wedi croesi y Rio Grande i Mexico ar ol yr Indiaid. Bu y Cad. Ord yn ymgyngori â'r Llyw. Hubbard o barth arfogi nifer digonol o filwyr Texas i wrthwynebu unrhyw ymosodiad o eiddo y Mexicaniaid.

—Rhydd gohebydd i'r *London Times*, yn ysgrifenu o Switzerland, hanes am ddamwain alarus, drwy yr hon y collodd dau Sais, cyfreithwyr o Lundain, eu bywydau tra yn dringo i fyny yr Alpau, yn nghyda'u tri arweinwyr. Ymddengys iddynt tra ar eu ffordd i fyny, gerdded ar gorph o eira oedd yn crogi dros y dibyn, heb yn wybod iddynt, ac iddo dori danynt, ac felly syrthiasant i lawr amryw ganoedd o droedfeddi, yr hyn a'u lladdodd oll yn uniongyrchol.

—Cymerodd ffrwydriad dychrynllyd le ar foreu yr 22ain o Hydref, mewn glofa yn High Blantyre, ger Glasgow, Scotland. Dengys y manylion diweddaraf fod 233 o ddynion yn y pwll ar y pryd, o'r rhai mae lle i ofni na chafodd ond un ei achub. Cynwysai y lofa ddau bwll gyda chysylltiad rhyngddynt. Yn ngwaelod shafft y blaenaf cafwyd 40 o gyrph, a chlywwyd swn curo yn yr ail bwll, eithr erbyn 11 o'r gloch y nos ni lwyddasid i'w cyrhaedd, ac yr oedd y curo yn gwanhau. Ni choleddid ond gobaith gwan i allu cael neb o'r 232 allan yn fyw!

—Mae yr adroddiadau parth y newyn yn Madras, India, yn lled ffafriol. Cafwyd gwlaw trwm trwy y diriogaeth. Mae gweithrediadau amaethyddol yn fywiog, a'r cnydau bron wedi eu casglu. Dywedir fod y cynyrch yn weddol yn y rhandiroedd deheuol o Madras, eithr yn lled brin yn y parthau gogleddol. Lleihaodd y nifer yn y gweithiau elusenol i 64,839 yn ystod yr wythnos yn terfynu Medi 22; eithr cynyddodd y nifer a ofynent am gymorth rhad i 120,000. Ceir adroddiadau ffafriol hefyd o Bombay, er fod gwlaw yn eisiau. Lled ddrwg yw y sefyllfa yn Scinde, canolbarth India, Rajoutana a'r Punjaub.

—Mae y Ffrancod wedi llefaru, ac y mae'r Weriniaeth Ffrengig wedi ei hachub. Mae Llywodraeth MacMahon, yr hon a gefnogid gan bawb a wrthwynebent y Cyfansoddiad, a'r hon a ymgyngreiriodd a'r Orleaniaid, y Buonapartiaid, a'r blaid glerigol; yr hon a lywodraethai holl beirianau etholiadol y genedl; yr hon a roddes daw ar y newyddiaduron Gwerinol, ac a geisiodd ddychrynu y genedl i ymddarostyngiad – mae y Llywodraeth hon yn cael ei hun wedi ei churo yn yr etholiad a gymerodd le yno ddydd *Sul*, y 14eg o'r mis diweddaf, drwy fwyafrif o dros ddwy ran o dair. Os cymerwn MacMahon a'i weinyddiaeth wrth eu gair, ni wnant "ymostwng na rhoddi fyny." Ond pur sicr yw, gan i'r bobl feiddio llefaru yn ol eu hargyhoeddiadau, dan y cyfryw amgylchiadau, mai eu hewyllys hwy fydd y trechaf yn y diwedd.

—Y dydd o'r blaen canfyddwyd nifer o fôrfilod (*whales*) gyferbyn a Penmon, yn y fynedfa i'r afon Menai. Sylwyd arnynt gan y dynion sydd yn gweithio yn Chwarel Penmon, ac aeth rhai o'r dynion mewn cwch ar eu holau. Llwyddwyd i ddyfod o fewn cyrhaedd i dri o'r môrfilod, a saethwyd dau o honynt gan Mr. John Williams, keeper Syr Richard Buckley.

Diangodd un o honynt, ond yr oedd y llall wedi ei archolli yn drwm, a gyda rhaffau llusgwyd ef i'r lan, lle yr arosodd hyd nes aeth y llanw allan, a rhoddwyd terfyn ar ei fywyd gan Mr. Preston, Ysgrifenydd Mygedol cangen Sir Fôn o'r "National Lifeboat Association." Dangoswyd y môrfil yn Arddangosfa Amaethyddol Bangor, a denodd lawer o sylw. Mesurai bum' troedfedd ar hugain, a phwysai yn agos i bum' tunell. Y Sul canlynol daeth môrfil arall i'r lan islaw Rhyddgaer, gyferbyn a Chaernarfon, a saethwyd ef gan y Cadben Owen, Rhyddgaer. Nid oedd hwn ond deunaw troedfedd o hyd a thair tunell o bwysau. Ymwelwyd âg ef gan ganoedd lawer o bobl o Gaernarfon ac o Sir Fôn.

—Nos Iau, y 4ydd o'r mis diweddaf, ysgubodd tymestl ofnadwy dros ranau helaeth o'r wlad, ac mae yr adroddiadau am y dinystr ar fywydau a meddianau yn lluosog. Ar reilffordd y Pickering Valley, Pa., tua thair milldir o Phoenixville, taflwyd cerbydres i ddyfnder o ddeugain troedfedd, o herwydd fod y gwlawogydd wedi golchi yr arglawdd ymaith. Yr oedd tua 200 o bersonau yn y gerbydres, o'r rhai y gwyddys fod wyth wedi eu lladd a thri a deugain wedi eu clwyfo. Ar adran Belvidere o Reilffordd Pennsylvania, taflwyd cerbydres i lawr oddiar yr arglawdd i'r afon, a chredir fod pump o bersonau wedi colli eu bywydau. Ar Reilffordd Wilmington & Northern hefyd, ger Coatsville, Pa., golchwyd y tir i ffwrdd gan y gwlawogydd, a thaflwyd agerbeiriant a'i wyneb yn isaf, drwy yr hyn y lladdwyd y peirianydd, a llosgwyd y taniwr yn ddrwg. Gyrwyd yr agerlong *Massachusetts*, o linell Providence, i'r lan ger Rocky Point, L. I., eithr achubwyd y 200 o deithwyr oeddynt ar ei bwrdd. Gwnaed dinystr mawr i longau ar hyd yr arfordir ac ar y llynau. Mewn amryw leoedd ar y glanau dadorchuddiwyd tai, diwreiddiwyd coed, a chwythwyd cloddiau ymaith.

—Bu cryn lawer o ymladd rhwng y Rwssiaid a'r Tyrciaid yn ystod y mis diweddaf—weithiau un ochr yn cael y fantais, ac weithiau y llall. Ond y newyddion pwysicaf sydd am fuddugoliaeth i'r Rwssiaid o flaen Kars, yn yr hon y trechwyd y Tyrciaid, dan Muhktar Pasha, gan eu gorfodi i encilio gyda cholled ddirfawr. Ymddengys mai holl nifer byddin Muhktar Pasha ydoedd 40,000, tra y derbyniasai y Rwssiaid adgyfnerthion nes bod eu nerth yn 70,000 o wyr gyda 200 o fagnelau. Ddydd Sul, y 14eg, symudodd adran Rwssiaidd dan y Cad. Lazaroff i'r de o Aladja Dagh gan yru y Tyrciaid o Orlok ar Vezinkoi a Kars, a meddianu Orlok, a thrwy hyny dori aden dde byddin Muhktar. Boreu Llun, y 15fed, gwnaed ymosodiad trwm gyda magnelau yn erbyn Olya Tepe, yr hwn ydoedd yr agoriad i sefyllfaoedd y Tyrciaid. Yn y prydnawn cariwyd y lle drwy ruthrgyrch gan y Cad. Heymann gyda 10,000 o draed filwyr, drwy yr hyn y torwyd y fyddin Dyrcaidd yn ddwy. Ciliodd yr adran ganol a'r chwith dan Muhktar Pasha ei hun yn nghyfeiriad Kars, yn cael eu hymlid gan y Cad. Heymann, a'u haflonyddu ar yr ystlys gan y Cad. Lazaroff. Llwyddodd Muhktar i gyrhaedd dan amddiffynfeydd Kars ar ol cael ei lwyr orchfygu a cholli nifer mawr o wyr rhwng lladdedigion, clwyfedigion, a charcharorion. Collodd hefyd dri o ynau Krupp. Yn ol yr adroddiadau diweddaf, cyfrifir i'r Rwssiaid gymeryd yn garcharorion ddeuddeg-bataliwn ar-hugain o filwyr, pedair brigad o fagnelwyr, 100 o swyddogion, a 2,000 o geffylau. Yn mysg y lladdedigion mae mab i'r penaeth Circasaidd Schamyl, a'r Cad. Moussa Pasha. Cyrhaeddai holl golledion y Tyrciaid i 16,000 o wyr, a chyflenwadau helaeth o ymborth a chad ddarpariaethau. Ni ddywedir pa faint ydoedd colledion y Rwssiaid, ond haerir eu bod yn gymharol ysgafn.

---

## DYDDANION.

—Mae un Crynwr yn pleidio heddwch mor selog, fel na fyn un awrlais yn ei dy, am ei fod yn *taro*.

—Ceryddodd Dr. Johnson ddyn unwaith am werthu gwirodydd. "Wel, rhaid i mi fyw," meddai y tafarnwr. "Nid wyf yn gweled un angenrheidrwydd am hyny," atebai y Doctor.

—Fel hyn yr esboniai pregethwr du y wyrth o borthi y pum' mil gyda pum' torth a dau bysgodyn: "Yr oedd yno bum' mil o dorthau, a dwy fil o bysgod, a gorfu i'r deuddeg dysgybl fwyta y cwbl—*a'r wyrth yw na fuasent yn hollti.*"

—"Beth yw y llythyren hon (Q)?" gofynai ysgolfeistr i fachgen ffraeth o Gymro yn yr ysgol. "Ceiliog," ebai'r bachgen. "Paham yr ydych yn ei galw felly?" "Wel," atebai'r bachgen, gyda gwedd syml, "yr oeddech yn dyweyd mai *cyw* ydoedd fis yn ol, mae'n bryd ei fod yn *geiliog* bellach."

—"Mam," meddai bachgen, "a ydyw yn beth allan o le i dori plisg wyau?" "Nac ydyw o gwbl, fy anwylyd," atebai y fam, "ond paham y gofyni y cwestiwn yma i mi?" "O herwydd fy mod wedi gollwng y fasged a'i llon'd o wyau i lawr," atebai y bachgen.

# Y WAWR.

CYF. II.] RHAGFYR, 1877. [RHIF. 9

## SAMUEL JOB, YSW., CLEVELAND, O.

GAN Y PARCH. FRED. EVANS (EDNYFED), FRANKLIN, PA.

Fel rheol, cedwir ein brodyr lleygol ormod o'r golwg. Er yn perthyn i'r urdd weinidogaethol, parod wyf i ymguddio, er dwyn i'r golwg frawd da a ffyddlon, gonest a thwymgalon, brwdfrydig a haelionus, ond heb y Parch. o flaen ei enw. Mae gwasanaeth ein lleygwyr i'n henwad yn anmhrisiadwy. Mae eu haberthau yn lluosog a gwerthfawr, eu dylanwad yn bur a nerthol, a'u sêl yn oleuedig a thanllyd. Nid ydym hyd yn hyn wedi rhoddi iddynt eu safle dyladwy. Perthyna gwrthddrych yr ysgrif bresenol i'r dosbarth hwn, a da genym, a chanoedd eraill, sylwi ar ei gysgod, yr hwn a addurna y rhifyn presenol.

Ganwyd Samuel Job yn Cendl, Sir Frycheiniog, D. C., ar y 19eg o Dachwedd, 1845; felly nid yw yn awr ond 32ain mlwydd oed. Enwau ei rieni oeddynt David a Magaret. Bu farw ei dad pan yr oedd ef yn ieuanc, eithr y mae ei fam yn fyw ac yn iach, ac yn byw yn ei artref dedwydd a llawn. Symudodd y teulu o Cendl i Nantyglo yn 1850, ac yn 1855 symudasant i'r Blaenau Buont yma am ddeg o flynyddau, a thra yma bendithiwyd gweinidogaeth Nefydd anfarwol er arwain y llanc Samuel o dywyllwch i oleuni, ac o feddiant yr un drwg i eiddo yr Un Da. Bu Nefydd yn gyfaill calon iddo. Fel y gwyr pob dyn ieuanc a ddaeth erioed i gyswllt a Nefydd, cyfaill pregethwr ieuanc oedd yr Hynafiaethydd o'r Blaenau, ac edrychai ar bob help estynedig i'r gwan fel darn o'i ddyledswydd a rhan o'i bleser mawr, a'i fraint ddyrchafedig. Gall yr ysgrifenydd godi ei lef a dyweyd, "Diolch i ti, O Dduw, am Roberts o'r Blaenau." Ar gais a dymuniad Nefydd, yn nghyd ag eiddo yr eglwys yn Salem, dechreuodd Mr. Job bregethu yr efengyl yn 1862. Pregethodd yn fynych yn Salem, gan roddi boddlonrwydd cyffredinol. Y mae ganddo barch diledryw i goffadwriaeth y cyfaill cywir, yr hynafiaethydd enwog, a'r pregethwr craffus ac efengylaidd. Nid oes eisiau ond galw yn y "*Bethel Home*," er cael profion o hyn. Yn mhob ystafell y mae darlun Nefydd, ac mewn ambell un y mae rhagor; uwchben y *desk* yn y swyddfa y mae un mewn *frame* orwych a chostfawr, ac yma y rhydd i'r *Ianciod* gyfleusdra braf i edrych ar *ddyn*, ac nid llipryn disylwedd, ac er iddynt wybod pwy yw, y mae y geiriau canlynol dan y darlun :—

REV. W. ROBERTS (NEFYDD), LL. D.,
*My deceased Pastor.*

Aeth Melin Haiarn y Blaenau i orphwys am ychydig yn 1860; a bu hyn yn achos ymadawiad llawer, ac yn eu plith y brawd serchog Samuel Job. Terfynfan ei daith, a pharadwys ei orphwysdra y tro hwn ydoedd Abercan-

Baptised Sunday May 6th 1860. At Blaenau

aid, ger tref enwog Merthyr Tydfil. Dyma artref y dyn hynod, y creadur rhyfedd, y duwinydd craff, y pregethwr cadarn, y Bedyddiwr diwyrni, y Parch. John Evans. Cymerodd Paul y bachgen Timotheus i'w fynwes, a bu yn dad tyner iddo. Rhoddodd iddo wersi buddiol mewn duwinyddiaeth, mewn darllen Cymraeg, ac am y tro cyntaf mewn Gramadeg, neu Ieithadyr Cymraeg. Meddai y diweddar John Evans, Abercanaid, wybodaeth *drylwyr*, nid rhywbeth arwynebol, a bu ei ddysgeidiaeth yn fendith annrhaethol i'r brawd Job. Credwyf fod ei serch angerddol at lenyddiaeth, yn tarddu o'r addysg a gafodd tra yn eistedd wrth draed Nefydd ac Ioan Fedyddiwr. Arosodd ein cyfaill yn Abercanaid am ddwy flynedd, a phregethodd ar lawer tro yn nghapel yr enwog Evans.

Oddiyma symudodd Samuel i Gwmbwrla, ger Abertawe, lle y gweinidogaetha yn awr y cywir a'r talentog Haddock. Cafodd yma artref ysbrydol, cysurus, a dyddanus. Pregethodd yn aml yn lle y Parch. J. R. Jones, y gweinidog. Cafodd yn y diweddar Barch. R. A. Jones, y dyn, y cyfaill. a'r boneddwr. Aelod oedd o Philadelphia, ond pregethai yn yr eglwysi cylchynol. Er prawf o'i safle uchel, ac o ymddiriedaeth y bobl ynddo, ni wnaf ond nodi iddo bregethu yn nghyfarfod blynyddol eglwys Dinas Glandwr, yn yr un cyfarfodydd a'i dad yn yr efengyl, y Parch. W. Roberts, LL. D., Blaenau, Mynwy; a'r doniol a'r athrylithgar R. Hughes, Maesteg, Sir Forganwg. Bu ei arosiad yma yn ddedwydd a bendithiol.

Oddiyma symudodd i Lanelli, Sir Gaerfyrddin, lle y cafodd sefyllfa anrhydeddus, trwy ddylanwad fy mrawd diffuant, a fy nghyfaill trwyadl, Lleurwg. Bu yn aelod o Sion tra yr arosodd yma, a phregethodd ar adegau yn mhwlpud yr enwog, yr hyawdl, a'r barddonol, Lleurwg. Tra y bu yma, pregethodd unwaith yn y mis yn eglwys Maesycanner.

Fel gwir grediniwr, credodd mai nid da oedd i ddyn fod wrtho ei hun, ac am hyny edrychodd am gydymaith gymwys, a chafodd hi yn Miss Ann Christmas, merch Zechariah a Martha Christmas. Priodasant ar y 7fed dydd o Ebrill, 1871, yn Nhabernacl y Bedyddwyr yn Pembre, a gweinyddwyd ar yr achlysur gan y Parch. B. Williams, gweinidog, a B. Williams, Ysw., Cofrestrydd. Bu y brawd Samuel Job yn fwy ffodus mewn gwraig na'r Patriarch Job, canys y mae ganddo ef wraig dyner a thirion, haelfrydig a chrefyddol.

Wedi priodi gwraig, penderfynodd briodi gwlad, ac ymadawodd ef a'i briod am America, yn mis Mehefin, 1871, a chyrhaeddasant Efrog Newydd erbyn y 19eg o'r un mis, wedi mordaith hynod o gysyrus a dedwydd. Ymadawsant ag Efrog Newydd yr un dydd, a gwynebasant ar Pittsburgh, ac aethant oddiyno i Cleveland, Ohio. Yma cyflogwyd Mr. Job fel Arolygydd Melin Haiarn y *River Side*. Bu perchenog y felin farw yn 1873, ac arosodd y gwaith. Cymeradwywyd Job i sylw Ymddiriedolwyr y *Bethel Relief Association* fel person cymwys i lanw swydd Arolygydd, a phenodwyd ef, ac yn y cylch hwn y mae wedi bod yn hynod lwyddianus. Tystiolaeth unfrydol y newyddiaduron yn Cleveland yw, mai efe yw yr Arolygydd mwyaf galluog a llwyddianus o sefydliad y Bethel; ac nid yw y dystiolaeth hon ond yr hyn a haedda ein brawd. Mae Pabyddiaeth yn Cleveland wedi cyfarfod â gelyn creulon yn Job y Bedyddiwr. Arferai y Chwiorydd Trugarog (Sisters of Mercy), gasglu trwy y dref oddiwrth bawb, a chasglent yn flynyddol symiau anferthol. Cafodd Job allan nad oedd yr arian yn cael eu defnyddio yn y dull goreu, a bod Protestaniaid yn cael eu twyllo gan y Butain Fawr, a dechreuodd weithio yn erbyn y Babaeth. Heddyw, nis gall y Babaeth gasglu yr un geiniog, oddiar yr un Protestant yn Cleveland. Mae gwahanol enwadau crefyddol y ddinas yn ddyledus i Samuel Job am hyn.

Un daioni aruthrol arall a wnaeth ein brawd yn Cleveland, ydoedd diddymu yr *Employment Offices* a frithent un ran o'r ddinas. Cedwid y rhai

Father died December 2nd 1849.
Mother died April 12th 1882

hyn gan ddynion diegwyddor, ac arweinid llawer merch oddiyma ar hyd llwybrau aflan; do, do, fe syrthiodd llawer merch brydweddol a phur, yn aberth i aflendid ac anmhuredd. Clywodd Job am hyn, chwiliodd i mewn i'r mater, cafodd afael ar y troseddwyr (dynion diegwyddor), dygodd hwynt o flaen y llys, cosbwyd hwynt, ac heddyw nid oes ond un *Employment Office* yn y ddinas, a chedwir hono gan grefyddwr.

*Ychydig o hanes gwaith y "Bethel."*—Yn ystod y flwyddyn ddiweddaf, daeth ceisiadau am help oddiwrth 2,206 o deuluoedd ac wedi archwiliad manwl gan ein brawd, cafwyd fod 2,008 yn cynrychioli 10,700 o bersonau yn teilyngu help ac ymgeledd, a'r gweddill yn annheilwng. Nid yw hyn yn cymeryd i mewn yr help a roddir i bersonau tylawd ar eu taith, neu y gwaith a wneir er rhoddi i ferched anffortunus leoedd a safleoedd.

Derbynir yn flynyddol tua $15,000. Er cael cipdrem berffaith ar y gwaith a wneir, nid oes dim yn eisiau ond galw i weled y cyfaill Job, a cha pob un ei foddloni, ïe, ei synu.

Nid yw y brawd Job yn perthyn i'r urdd weinidogaethol, ac eto y mae. Nid yw y corn olew wedi ei waghau ar ei ben, er hyny brawd yw. Cafodd gyfleusdra tra yn Abercanaid i fyned i Athrofa Spurgeon, a thra mewn manau eraill, cafodd gynyg i fyned i Athrofeydd Cymru; ond ni welai efe y ffordd yn glir. Efe oedd unig ffon ei fam, arno ef yr ymbwysai, ac o gariad tuag ati, penderfynodd beidio myned i'r Athrofa. Dyma fam dda, a thyma fab da.

Fel cyfaill, y mae ein brawd yn garedig a serchog, parod i drugarhau, ac yn hynod gyflym ar neges o dosturi. Fel pregethwr, y mae yn chwaethus, cryno, ac efengylaidd. Pan y mae Job yn y pwlpud, y mae y bobl yn sicr o bregeth efengylaidd. Y mae yn draddodwr araf, clir, nerthol, ac effeithiol. Mae ganddo lais soniarus, ac ymddangosiad naturiol a dylanwadol.

Trueni na bae yn mhlith ein Parchedigion. Fel enwad o Fedyddwyr, dylem fod yn fwy balch o'n lleygwyr; maddeued y darllenydd i mi am ailadrodd hyn. Nid boddlon wyf fod ein Boweniaid, Daviesiaid, Evansiaid, Griffithsiaid, Huwsiaid, Jonesiaid, Jenkinsiaid, Morgansiaid, Owensiaid, Parryiaid, Rhysiaid, Thomasiaid, Williamsiaid, &c., mor anadnabyddus. Yn iach y byddont.

---

SAMUEL JOB, YSW.

Y penaf yw Job hynod,—o gariad,
Gwr yn llawn teilyngdod;
Er haeddu glân gerdd o glod,—
Gair difyr ag aur dafod.

Daw o ograu caredigrwydd—y brawd,
A bron ei serchawgrwydd,
Yn dirion, pob rhoddion rhwydd,
At reidiau diwaradwydd.

Ymadroddwr coeth, ymdreiddiawl,—eilwaith,
Feddyliwr gorchestawl;
Adnoddau adnewyddawl,
A fyn ef i'w gyfiawn hawl.

Bara enaid i'w bur anian,—a geiff,
A gwin awen ddyddan;
A golud gwell llyfrgell lân,
Na thoraeth o werth arian.

Yn filfil, o'r nefolfyd,—doed iddo
Bob dedwyddion bywyd;
Derbyniad i'r nef hefyd,
A fo ar ben gyrfa'r byd

Ei DDARLUN a rydd eurlwydd—i hanes
Ei enw didramgwydd;
A'i wên lân, o dan ei lwydd,
A ddodir mewn GWAWR ddedwydd.

CEFNI.

---

## PAROTOAD Y BYD I GRISTIONOGAETH.

GAN OWEN JAMES.

II.

Bwriadodd Duw i'r Iuddewon fod yn athrawon crefyddol y byd, a pharotodd hwy i'r perwyl hyny: "Yr iachawdwriaeth sydd o'r Iuddewon," ebe Iesu Grist wrth y wraig o Samaria. Y mae dau beth yn angenrheidiol i wneyd athraw da, sef, gwybodaeth, a medr i gyfranu gwybodaeth. Y mae rhai dynion dysgedig yn athrawon gwaelion, a rhai athrawon medrus heb fawr gwybodaeth; ond y gwir athraw yw yr hwn,

sydd yn feddianol ar ddysgeidiaeth, ac ar allu i addysgu eraill. Yn unol â hyn y mae tymor addysg athraw yn ymranu yn naturiol i ddau gyfnod, sef, cyfnod derbyn gwybodaeth, a chyfnod dadblygiad y gallu i gyfranu gwybodaeth. Cawn y ddau gyfnod hyn yn hanes yr Iuddewon. Ymestyna y cyfnod cyntaf o Abraham i'r gaethglud, a'r ail o'r gaethglud hyd at ddyfodiad Crist.

I. Yn y cyfnod cyntaf y derbyniwyd y dadguddiad Dwyfol, ac y rhoddwyd amser iddo i wreiddio yn neall a serchiadau y genedl. Gellir rhanu y cyfnod hwn i dri o fân gyfnodau, sef cyfnod y cynbarotoad yn dechreu gydag Abraham; cyfnod rhoddiad y gyfraith yn dechreu gyda Moses; a chyfnod y brophwydoliaeth yn dechreu gyda Samuel.

1. *Y Cynbarotoad.*—Tuag at ddwyn y genedl i'r cyflwr mwyaf manteisiol i dderbyn dadguddiad Dwyfol, yr oedd dau beth yn angenrheidiol. Yr oedd yn rhaid ei gwahanu oddiwrth genedloedd eraill, ac yr oedd yn rhaid sicrhau undeb a chyfanrwydd ynddi ei hun. Heb y dydoliad nis gellid diogelu y genedl rhag dylanwadau eilunaddoliaeth a llygredigaeth y byd; ac heb undeb nis gellid ei diogelu rhag ymosodiadau milwrol cenedloedd cylchynol. Yr oedd undeb yn hanfodol i'w bodolaeth, a dydoliad yn hanfodol i'w phurdeb. Cydweithia amryw amgylchiadau i ddwyn oddiamgylch y ddau beth hyn. (1.) Yr oedd y genedl wedi codi o un teulu. Yr oedd iddynt Abraham yn dad. Ac ni raid i ni fanylu ar ddylanwad cyd-dadolaeth tuag at sicrhau dydoliad ac undeb. (2.) Gwnaeth Duw gyfamod â hwy yn eu tad Abraham. Yn y cyfamod ceir addewid, gorchymyn, a sêl. "Dos allan o'th wlad, ac oddiwrth dy genedl." "Myfi yw Duw Hollalluog; rhodia ger fy mron i, a bydd berffaith." Dyna y gorchymyn. Geilw arnynt i ymddydoli oddiwrth baganiaeth a'r holl dduwiau, ac i ymgysegru i wasanaeth un Duw Hollalluog. "A mi a'th wnaf yn genedlaeth fawr, ac a'th fendithiaf; mawrygaf hefyd dy enw; a thi a fyddi yn fendith. Bendithiaf hefyd dy fendithwyr, a'th felldithwyr a felldigaf; a holl deuluoedd y ddaear a fendithir ynot ti." Felly y darllena yr addewid. Ymestyna ei bendithion i gyrau eithaf y ddaear. Er hyn, y mae yn tueddu i wneyd yr Iuddew yn ffroenuchel, ac i lanw ei galon â balchder, a brwdfrydedd cenedlaethol, y rhai ydynt bob amser yn dueddol i ddwyn oddiamgylch ddyddoliad ac undeb. "Dyma fy nghyfamod a gedwch rhyngof fi â chwi, a'th hâd ar dy ol di; enwaedir pob gwryw ô honoch chwi." Dyna y sêl, a mawr fu dylanwad yr enwaediad i gadw y genedl ar ei phen ei hun. (3.) Symudwyd hwy i'r Aipht. Rhag na byddai dylanwad mewnol cyd-dadolaeth a'r cyfamod yn ddigon i gadw y bobl mewn undeb a dydoliad, y mae Duw yn eu dwyn i'r Aipht, lle nad oedd yn bosibl iddynt i ymgymysgu a'r trigolion. Yr oedd yr Aiphtiaid yn cashau bugeiliaid a'u holl galon. Ni chymdeithasent â hwy ar un cyfrif. Bugeiliaid oedd meibion Israel, a daethant yn fuan yn wrthddrychau dirmyg a sarhad y trigolion. Dyoddefasant yr anghyfiawnder a'r gorthrwm mwyaf am lawer o flynyddau. Bu hyn yn foddion i gylymu eu calonau fel nas gall dim ond cymundeb dyoddefaint wneyd. Gyda hyn, terfyna y cyfnod cynbarotoawl. Y mae y genedl yn awr yn wahanedig, yn unol, yn lluosog, ac yn barod i dderbyn y dadguddiad.

2. Yna daw Moses, a chydag ef y dechreua yr ail gyfnod. Drwyddo amlyga ei hun i'r genedl fel Duw eu tadau, a'u gwaredwr o'u caethiwed presenol. Drwy y pläau, dengys wagedd gau-dduwiau yr Aipht, a dysg mai Efe yw yr unig wir a'r bywiol Dduw. Drwy hollti y Môr Coch, drwy bereiddio dyfroedd Mara, drwy y cwmwl niwl a'r golofn dân—drwy holl helbulon yr anialwch dadguddia Duw ei hun iddynt yn ei gymwynasgarwch a'i dynerwch Tadol. Wrth odreu Mynydd Sinai, corfforwyd y genedl trwy roddiad y gyfraith. Gwasanaethai y ddeddf amryw amcanion, y penaf o ba rai oedd amlygu cymeriad Jehofah i'r bobl. Y deg gorchymyn oedd y mynegiad eg-

luraf a chyflawnaf o ewyllys Duw a feddai y byd cyn Crist. Ond nid yw y darnodiad dansoddol hwn o gyfraith a thrugaredd Duw yn ddigonol. Rhaid iddynt gael eu corphori, mewn ffurfiau allanol, fel y byddo iddynt apelio at y synwyrau corphorol. Dygwyd hyn oddiamgylch drwy ddefodau crefydd Moses. Yn y grefydd hon ceir pedwar o sefydliadau, y rhai oeddynt wrth wraidd holl grefyddau y byd; Ebyrth; offeiriadaeth; y cysegr; a'r gwyliau crefyddol. Purwyd y rhai hyn oddiwrth eu holl elfenau paganaidd, a gwnawd hwy yn offerynau i argraffu priodoleddau Duw ar feddwl yr Iuddew, ac i arwain y byd at Grist. Rhoddwyd y gyfundrefn hon yn yr anialwch, a dadblygwyd a pherffeithiwyd hi yn ngwlad yr addewid. Ar y cyntaf yr oedd Judea yn lle manteisiol rhyfeddol i gadw yr Israeliaid ar wahan oddiwrth yr holl fyd; ond mewn oes ddiweddarach, ac mewn amgylchiadau gwahanol, yr oedd yr un mor fanteisiol i'w dwyn i'r cysylltiad agosaf, ac i'r cymysgiad llwyraf a'r holl fyd. Yr oedd yn y canol rhwng tri prif raniadau yr hen fyd, ac yn cael ei hamgylchynu gan holl genedloedd mawrion y gwrtaith henafol. Eto, yr oedd yn cael ei gwahanu oddiwrthynt gan anialdiroedd yn y De a'r Dwyrain, gan y môr yn y Gorllewin, a chan fynyddoedd yn y Gogledd Ond profodd y gyfundrefn Foesenaidd ei hun yn wrthglawdd mwy effeithiol nag anialdir, môr, a mynydd, rhwng plant Duw a'r byd paganaidd.

3. Wedi y sefydliad yn Nghanaan, dechreuodd cyfnod y brophwydoliaeth. Y mae yn wir fod yr elfen hon yn rhedeg drwy holl hanes yr Iuddewon. Yr oedd eu teimladau crefyddol yn cael eu cyfeirio at rywbeth yn y dyfodol. Yr oedd eu holl amgylchiadau cenedlaethol yn tueddu i sefydlu eu meddyliau ar Un mawr oedd i ddyfod. Dadguddiwyd i Abraham fod holl deuluoedd y ddaear i'w bendithio ynddo ef. "Prophwyd a gyfyd yr Arglwydd eich Duw i chwi o'ch brodyr fel myfi," meddai Moses. Llywodraethodd Dafydd yn hir ac yn effeithiol, ond canodd salmau am Frenin a lywodraethai yn hwy ac yn effeithiolach. Ond yn amser Samuel, un-canrif-ar-ddeg cyn Crist, y sefydlwyd yr urdd brophwydoliaethol ar safle gadarn a pharhaol, a daeth yn fuan yn elfen flaenllaw yn nadblygiad crefyddol yr Iuddewon. Gwaith y prophwyd oedd cadw'n fyw wirioneddau sylfaenol y cyfamod, adgofio y bobl o'u galwedigaeth uchel, eu galw yn ol oddiwrth eilun-addoliaeth, a'u hysbrydoli â ffydd fywiol yn eu dyfodol gogoneddus. Benthycai ei ffugyrau oddiwrth yr amserau yn mha rai yr oedd yn byw, ac felly yr oedd bywiogrwydd diddarfod yn ei ddysgeidiaeth. Cyfeiriai yn mlaen, gydag eglurder cynyddol hyd y diwedd, at y Messiah. yn yr hwn y cyflawnid yr holl addewidion i Israel ac i'r byd. Parchai y prophwydi y ddeddf, ac ymdrechent sicrhau ufudddod iddo. Ar yr un pryd dadblygent ei chynwysiad athrawiaethol, ac ychwanegent ati elfenau newyddion. Dysgai y ddeddf undod Duw; mawrygai y prophwydi ei ogoniant a'i ardderchawgrwydd. Y mae y syniad am Angel yr Arglwydd, ac am Ysbryd yr Arglwydd, lawer yn eglurach yn ngeiriau y prophwydi nag ydynt yn ngeiriau Moses. Tra yr oedd cyfundrefn Moses yn unol ag egwyddor moesoldeb, yr oedd y prophwydi yn galw sylw uwchlaw pob peth arall at natur ysbrydol gorchymynion Duw, ac mewn gwrthwynebiad i ufudd-dod ffurfiol ac allanol, dysgent yr angenrheidrwydd am ymgysegriad ysbrydol i Dduw fel sylwedd y defodau aberthol. Cyfaddaswyd Moeseniaeth i un genedl neillduol, ond dengys y prophwydi deyrnas Dduw yn myned allan o Jerusalem, yn cynwys yr holl genedloedd, ac yn toi gwyneb y ddaear fel y toa y dyfroedd y môr. Ond cyn fod gwaith y cyfnod hwn wedi ei gyflawni, cyn fod llais y prophwydi wedi dystewi, mae y genedl yn pasio o'i chyflwr gwahanedig, ac yn dechreu ar ei chyflwr gwasgaredig drwy yr holl ddaear. Y mae amcan y dydoliad wedi ei gyrhaedd. Mae y datguddiad wedi ei roddi, ei ddadblygu, a'i wreiddio i raddau. O hyn allan rhaid cymwyso y genedl i fod yn ath-

rawon i drosglwyddo gwybodaeth yr Arglwydd i barthau pella'r byd. Er cyrhaedd hyn rhaid eu gwasgaru o Ganaan, a'u dwyn i gyffyrddiad â gwareiddiad y gwledydd cylchynol.

II. Sylwn, ynte, ar rai o brif nodweddion y gwasgariad — ail gyfnod mawr dysgybliad yr Iuddewon. Yn allanol ac yn fewnol, drwy ei effeithiau ar y Cenedloedd ac ar blant Israel, gwelwn yn y gwasgariad y parotoad rhagluniaethol mwyaf amlwg i ledaeniad yr efengyl. Rhaid i'r darllenydd, pa fodd bynag, beidio meddwl na dderbyniodd yr Iuddewon wersi newyddion yn y cyfnod hwn. Byddai hyny yn groes i'r gwirionedd, oblegid rhoddwyd iddynt oleuni newydd a gwelsant yr hen wersi mewn goleu gwell. Prif arwedd y cyfnod cyntaf yw derbyniad gwybodaeth; prif arwedd yr ail yw gwasgariad gwybodaeth. Er hyny parhaodd y wybodaeth i gynyddu hyd nes yr ymddangosodd Duw yn y cnawd, ac y cwblhaodd bob peth. Yn wir, amcan uniongyrchol y caethiwed yw cosbi y genedl am ei phechod, a'i phuro oddiwrth ei llygredd.

Y peth mwyaf anhawdd yn y byd i ymgynal oddi tano yw llwyddiant. Yn ein nerth y mae ein gwendid. Bu llwyddiant milwrol yr Iuddewon o dan Dafydd, a'u llwyddiant masnachol o dan Solomon yn ormod profedigaeth iddynt. Syrthiasant i lygredd ac eilun-addoliaeth. Agorodd Solomon y drws drwy briodi gwragedd lawer, a thalu gwarogaeth i'w duwiau. Daeth y farn yn fuan; syrthiodd ar Solomon ei hun. Rhanwyd ei deyrnas, ac arweiniodd Jeroboam y deg llwyth i wrthgiliad, a gwnaeth ddelw-addoliaeth yn grefydd y wlad.

Am ddau cant o flynyddoedd bu Duw trwy y prophwydi yn perswadio, yn cymell, ac yn rhybuddio ei bobl. Am yr un cyfnod yr oedd y genedl yn graddol ymddadfeilio, hyd nes y cymerodd brenin Assyria y deg llwyth yn gaethion i Halah a Habor. Canlynodd Judah yn mhechodau Israel, ac ychydig gyda chan' mlynedd yn ddiweddarach cludwyd hwythau hefyd i'r caethiwed yn Babilon. Yr oedd prophwydoliaeth yn ei bri y pryd hwn. Blodeuai Esaiah a Micah yn Judah, a Hosea ac Amos yn Israel. Yn y fl. 586 c. c. y cymerwyd yr Iuddewon yn gaethion i Babilon gan Nebuchadnezzar. Yn mhen haner can' mlynedd rhoddodd Cyrus ganiatad a chynorthwy iddynt i ddychwelyd i Jerusalem i ailadeiladu y deml. Dychwelasant, ond nid yn un genedl unol ac annibynol. Yr oedd rhai wedi ffoi i'r Aipht. Arosodd llawer yn Babilon. Aeth y lleill yn ol i fyw yn Nghanaan, i addoli yn Jerusalem, ond nid i fwynhau annibyniaeth fel o'r blaen. Am ddau cant o flynyddoedd wedi y gaethglud, bu yr Iuddewon o dan lywodraeth Persia. Am gant a haner llywodraethid hwy gan y Groegiaid; yna am un ganrif cawsant annibyniaeth o dan y tywysogion Hasmonaidd. Ac am fwy na chanrif a haner buont o dan lywodraeth y Rhufeiniaid. Byddai yn adeiladol i sylwi yn fanwl ar y prif alluoedd fu yn gweithio, ac ar y cyfnewidiadau a gymerasant le yn mhob un o'r cyfnodau hyn; ond gofod y WAWR ac amynedd ei darllenwyr a ballent. Rhaid ymfoddloni ar daflu bras-olwg dros fwy na phum' cant o flynyddoedd.

Yn y caethiwed meddyginiaethwyd yr Iuddew yn hollol o'i dueddiadau eilun-addolgar. Ni chlywir gair byth am y pechod hwn wedi y dychweliad i Ganaan. Yn Babilon nis gellid addoli Duw yn ol trefn Moses; nid oedd Jerusalem a'r deml yna. Arweiniodd hyn hwynt i ystyried ac i deimlo fod crefydd yn beth personol ac ysbrydol, ac nid yn beth cenedlaethol a seremoniol, ac fod Duw yn addoladwy yn mhob man yn ogystal ag yn Jerusalem. Agorwyd y synagogau, myfyriwyd y gyfraith, a theimlwyd nerth a gwerth gweddi yn fwy nag erioed o'r blaen. Am y presenol y mae eu gobeithion daearol ar drengu, gan fod y llywodraeth ddaearol wedi ei chymeryd oddiarnynt, ac y mae eu gobaith am y Messiah ac am ogoniant eto i ddod yn casglu nerth a bywiogrwydd adnewyddol. I gyfeirio meddwl ei blant yn eu hadfyd cyfododd Duw brophwydi, y

rhai a lafuriasant gyda difrifoldeb annghydmarol i hyrwyddo gweithiad allan gynlluniau Jehofah. Yr oedd Jeremiah yn yr Aipht, Ezeciel wrth afon Habor, a Daniel yn llys Babilon, yn ysbrydoli eu cydgenedl â ffydd yn eu Duw, ac yn eu dyfodol. Ezra a Nehemiah fu yn arwain yn ol y fintai a adeiladodd Jerusalem a'r deml. Haggai, Zechariah a Malachi, wedi y dychweliad, a brophwydasant am ddyfodiad y Messiah, ac am ddygwyddiadau mawrion y dyfodol. Defnyddiasant y waredigaeth o'r gaethglud fel cysgod o waith yr Eneiniog. Hwy ydynt yr olaf ar res y prophwydi. Y mae prophwydoliaeth yn darfod hyd nes clywir llais Ioan yn y diffaethwch.

Ychydig eu rhif, isel eu hamgylchiadau, gwael eu gwrtaith, ond angerddol eu sel oedd yr Iuddewon a ddaethant yn ol i Jerusalem. Yn eu duwiolfrydedd yr oeddent yn berffaith ufudd i'w hathrawon, ac o herwydd hyny teyrnasai ysbryd cwbl newydd yn y genedl ddychweledig. Adeiladasant y ddinas a'r deml, ond canolbwynt crefyddol, ac nid gwladwriaethol, oedd Jerusalem i fod o hyn allan. Yr oedd yn gymharol bur ei moesau, a dyrchafedig ei hysbryd, ac felly yn dra chyfaddas i buro a dyrchafu Iuddewon y gwasgariad, y rhai a ddaethant i fyny o flwyddyn i flwyddyn i'w gwleddoedd mawrion. Tra yr oedd y deml yn cael ei hadferu, derbyniodd y grefydd ddwyfol ei ffurf ysgrifenedig ac anghyfnewidiol. Dechreuodd Ezra gasglu yr ysgrifeniadau sanctaidd; yr oedd y ganrif gyntaf wedi y dychweliad yn un ddystaw ond gweithgar. Canlynwyd oes o ysbrydoliaeth gan oes o adfyfyrdod. Daeth y doctoriaid i le y prophwydi. Crynhowyd canon yr Hen Destament a sefydlwyd ysgolion i iawn-drefnu efrydiad y gyfraith. Daeth yr ysgrifenydd a'r cyfreithiwr i awdurdod yr offeiriad, ac yn ngeiriau y *Talmud*, "yr oedd coron dysg yn fwy anrhydeddus na choron gwlad." Myfyriwyd y gyfraith gyda sel mwy angerddol nag erioed o'r blaen, ac eglurwyd ffrwyth yr ymchwiliad bob Sabboth yn y deml.

Un o ganlyniadau pwysig a buddiol y gaethglud oedd marwolaeth yr iaith Hebraeg. Y mae ieithoedd byw yn cyfnewid yn barhaus. Anghofir rhai hen eiriau; rhoddir ystyron newyddion i eraill, a chynyrchir geiriau newyddion yn ddiddiwedd. Pe deuai yr iaith Hebraeg i gyffyrddiad a'r meddwl Dwyreiniol a Groegaidd, byddai yn sicr o gyfnewid llawer iawn. Byddai hyn yn demtasiwn i'r Iuddew i gyfnewid a llygru y llyfrau sanctaidd. Ond yn y gaethglud dysgodd y tô ieuanc yr Aramaeg, a pheidiodd yr Hebraeg a bod yn iaith lafaredig. A thrwy hyn y mae y Beibl Hebraeg wedi ei gadw yn bur hyd y dydd heddyw.

Bu y gaethglud hefyd yn achlysur i ddwyn y synagog i arferiad cyffredinol. Nid oedd yn gyfleus i fyned i Jerusalem mwyach. Adeiledid synagog yn mhob man lle yr oedd deg o bersonau mewn oed a chanddynt hamdden i fod yn bresenol yn y gwasanaeth. Yr oedd y gwasanaeth yn gynwysedig o weddio a darllen ac egluro yr Ysgrythyrau. Dri diwrnod o'r wythnos, foreu a hwyr, darllenid y gyfraith, ac ar y Sabboth ail ddarllenid yr un rhanau. Yn y fel hyn darllenid ac ail ddarllenid pum' llyfr Moses drwyddynt bob blwyddyn. Heblaw hyn, darllenid bob dydd ranau o'r prophwydi, a dyfyniadau o'r gyfraith a elwid y *Shema*. Nid oedd y bobl yn awr yn deall iaith yr Ysgrythyrau; felly wedi y darlleniad, yr oedd yr Ysgrifenyddion yn aralleirio ac yn egluro y rhanau a ddarllenid. Yn y fel hyn sicrhawyd y cyfarwydd-der mwyaf â llythyren y gyfraith yn mhlith yr Iuddewon drwy yr holl fyd. Y synagog oedd y gadwyn gysylltiol rhwng Jerusalem ac Iuddewon y gwasgariad, a rhwng y genedl Iuddewig a'r byd paganaidd. Yn Jerusalem yr oedd y dysgedigion yn byw. Bob blwyddyn, o bob cwr o'r byd, elai tyrfaoedd anferth i fyny i'r gwyliau, a dygent yn ol gyda hwy ffrwythau addfetaf efrydiad y ddeddf; a thrwy y synagogau y gwasgerid y rhai hyn i'r werin yn mhob man. A phan gryfhawyd yr ysbryd proselytio, daeth y synagogau yn foddion cyfleus i hyny.

Yn eu crefyddolder yn awr yr oedd

perygl yr Iuddewn. Syrthiasant i bechodau ysbrydol. Aethant yn feilchion a hunan-gyfiawn. Yn eu parch i'r llythyren, llethasant yr ysbryd. Yr oedd gwir fywyd wedi diflanu, ac yn mhob man rhoddid ufudd-dod gwasaidd i'r rhag-ffurfiau caethion a anfonid o Jerusalem. Yna gorchfygwyd y gwledydd gan y Groegiaid, a theimlwyd eu dylanwad yn mhob man. Rhydd ac annibynol oedd ysbryd y Groegwr. Meddianwyd rhai o'r Iuddewon gan yr unrhyw, a dechreuasant ymladd yn erbyn ffurfiau caethion eu crefydd. Yr oedd y Groegwr hefyd yn foethus ac anffyddol ei dueddiadau. Effeithiodd hyn eto ar yr Iuddew. Yr ysbryd rhydd ac annibynol hwn, mewn cysylltiad â'r tueddiadau anffyddol, roddodd fodolaeth i sect y Saduceaid. Yn gyfamserol â hyn cynyrchodd rhyddid, annibyniaeth ac anffyddiaeth y Groegwr, adweithiad yn meddwl y rhan arall o'r Iuddewon. Glynasant yn eu ffurfiau yn dynach nag erioed, ac o hyn y cododd sect y Phariseaid. Sylwn yn fanylach ar y sectau hyn yn y dyfodol, os cawn hamdden.

Yn ystod yr annibyniaeth o dan y tywysogion Hasmonaidd, adnewyddwyd ffydd a gobaith y genedl yn nyfodiad y Messiah, ac yn muddugoliaethau dyfodol gogoneddus Jerusalem. Yn y cyfnod hwn yr ysgrifenwyd y rhan fwyaf o lyfrau yr Apocrypha.

Cyn y gaethglud, ffodd llawer o'r Iuddewon i'r Aipht. Wedi hyny daethant yn ddosbarth pwysig yn Alexandria. Yr oedd cynrychiolwyr pob cenedl, pob athroniaeth, a phob crefydd bwysig dan haul, yn cydgyfarfod yn y ddinas ddysgedig hono. Effeithiodd eraill ar yr Iuddewon, ac effeithiodd yr Iuddewon ar eraill. Yma y cyfieithiwyd yr Hen Destament i'r iaith Roeg. Y mae yn mhell o fod yn gyfieithiad ffyddlawn, ac eto bu yn offeryn effeithiol i wasgaru gwybodaeth am Iuddewiaeth trwy y byd paganaidd. Mwy na hyny, cysylltodd â'u gilydd yr iaith Roeg a'r meddwl Hebraeg—y traethiad mwyaf cywir, a'r amgyffrediad mwyaf ysbrydol. Bu hyn yn doreithiog o ganlyniadau. Meddianwyd yr Iuddew gan ysbryd athronyddu. Daeth duwinyddiaeth yn wyddoneg am y tro cyntaf erioed. Cyfododd Arostibulus a Philo i fri a dylanwad, a gwasgarasant yr ysbryd Groegaidd drwy y meddwl Hebreig. Bu hyn yn foddion i goethi yr Iuddew, ac i roddi iddo olygiadau llydanach am amcanion y gyfraith, a syniadau eglurach am ysbrydolrwydd ei rheolau. Dangoswyd hefyd nad oedd Iuddewiaeth yn ei chyflwr goreu yn ddigon i gyflenwi holl angenion ysbryd dyn. A'i amgylchiadau yn isel, a'i wlad mewn gorthrwm; ei genedl yn wasgaredig, a'i eglwys yn sectau; ei feddwl yn anfoddog, a'i ffydd yn sefydlog yn ei Dduw ac yn ei ddyfodol, dysgwyliai yr Iuddew am y Messiah gyda hyder yr ymwared olaf. Ac yn y cyfnod hwn y clywid llais yn Galilea—"Deuwch ataf fi bawb a'r y sydd yn flinderog ac yn llwythog, a mi a esmwythâf arnoch." Nid rhyfedd fod y torfeydd yn lluosog, yr oedd y meusydd yn wynion i'r cynhauf—y byd yn barod i'r efengyl.

O'r tu arall, drwy ddylanwad y gaethglud, gwleidyddiaeth a masnach, yr oedd miloedd lawer o Iuddewon wedi eu gwasgaru drwy yr holl fyd adnabyddus. Yr oedd y rhai hyn wedi dyfod i ddeall iaith ac arferion y Cenedloedd, ac felly yr oeddynt yn gymwys i fod yn athrawon iddynt. Mwy na hyn, drwy eu diwydrwydd a'u moesoldeb, yr oedd llawer o honynt wedi enill iddynt eu hunain safleoedd o barch a dylanwad yn y byd. Yn wahanol i'r pagan, yr oedd yr Iuddew yn rhwymedig wrth ddeddf moesoldeb pur. Achwynid nad oedd Duw yr Iuddew yn weledig, ond gwelai pawb foesoldeb ei gyfraith. Fel caethwas yn y teulu, yn moldio cymeriad yr ieuanc, fel arolygydd yn edrych dros fasnach ei feistr, ac fel cyngorwr breninoedd yn cyfeirio tyngedon gwledydd, yr oedd y gwir Israeliad yn mhob man yn ymgodi i ddylanwad, ac yn enill dynion i'w ffydd bur a dyrchafedig ei hun. Eto, yr oedd yr Iuddew y pryd hwnw, fel y mae yn awr, yn enwog am ei gynildeb. Drwy naturiaeth yn enillgar, a thrwy grefydd yn onest, yr oedd yn barod bob amser i fod yn

arianydd, yn fasnachydd. neu yn oruchwyliwr, yn y cylchoedd mwyaf pwysig. A thrwy hyny yr oedd ganddo fantais neillduol i fod yn athraw crefyddol i'r byd.

## "Y BEDYDD CRISTIONOGOL."

*Adolygiad ar Lyfr Ioan Einon, Aquaville.*

GAN H. C. PARRY (CEFNI).

### LLYTHYR IV.

*Rheswm XXI.*—"Bod trochi *dyn haner cant oed* yn beth dilês, os nad oes lles mewn *bedydd i faban*, fel yr oedd lles i fabanod Israel o'r enwaed iad." Mae y Rheswm hwn yn rhy ddwl i'w ateb, namyn adgofio yr awdwr parchus, bod yr enwaediad yn aros yn arwydd cyfamod yn nghnawd yr enwaededig byth, pryd nad oes gorlliw o ôl y daenell ar y baban taenelledig; a bod y dyn mewn oedran a synwyr, yn ufuddhau i orchymyn Mab Duw, wrth gymeryd ei drochi; pryd nad oes gorchymyn i daenellu baban wedi ei roddi, fel y rhoddwyd i enwaedu babanod Israel. Ow! Ow!! Ow!!! Ioan Einon.

*Rheswm XXII.*—"Bod Duw yn galw pawb, ac y mae yr addewid i bawb. ac y mae yr addewid hono a sonia Petr am dani ar ddydd y Pentecost, i'r plant, yn profi bod plant i gael eu derbyn yn ddeiliaid yr oruchwyliaeth efengylaidd" Mae camsyniadau truenus yn y Rheswm hwn!

1. Nid Petr ar ddydd y Pentecost agorodd oruchwyliaeth yr efengyl, ond Ioan Fedyddiwr, yn ei weinidogaeth; yr hon oedd, "Dechreuad efengyl Iesu Grist Mab Duw." Ni phregethodd Petr ddim ond edifeirwch, ffydd. a bedydd, fel Ioan Fedyddiwr; heblaw marwolaeth ac adgyfodiad Crist, fel sail derbyniad yr edifeiriol i faddeuant Duw.

2. Nid wrth yr holl dyrfa yn nghyd, ond wrth yr ymofynwyr pryderus am iachawdwriaeth, y dywedodd Petr, "I chwi mae yr addewid, ac i'ch plant, ac i bawb yn mhell, cynifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato."

3. Nid yw yr addewid hon i neb, ond cynifer a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato; ac nid all babanod wneyd dim a galwad efengyl Duw. Felly nid yw yr addewid i fabanod.

4. Addewid am yr Ysbryd Glan i'r Iuddewon a'u plant, ac i'r cenedloedd pell, ar eu hedifeirwch, a'u ffydd yn Nghrist, i gael maddeuant pechodau trwyddo, ydyw hon; ac nid addewid am fedydd. Rhaid i'r Iuddew edifarhau; a rhaid i blant yr Iuddew edifarhau; a rhaid i'r cenhedloedd pell edifarhau, cyn y bydd yr addewid hon yn eiddo iddynt. Wrth bob rheswm, nid yw y Testament Newydd yn erbyn bedyddio pob baban edifeiriol a chrediniol. Ond nid oes addewid o faddeuant pechodau, ac o ddawn yr Ysbryd Glan i un baban arall!!

Gwell i Mr. Einon aros nes cael gafael ar faban edifeiriol am ei bechod, a chrediniol yn Nghrist, cyn dechreu cyfrif babanod yn mysg y "cynifer ag a alwo yr Arglwydd ein Duw ni ato."

*Rheswm XXIII.*—Bod bedyddiad teulu Lydia, a "holl dy" ceidwad y carchar, yn profi bod babanod i'w bedyddio!" Mae ein awdwr yn cynyg *betio* am filiwn o ddoleri, bod plant yn nheulu Lydia! Wel, yr ydym yn gadael y gamp yn eiddo iddo. Mae Ioan Einon yn profi bod plant gan Lydia, ar sail anallu y Bedyddwyr i brofi nad oedd. *All right.* Mae Ioan Einon wedi enill miliwn o ddoleri, trwy ei waith yn profi bod plant gan Lydia, pryd nas gall y Bedyddwyr brofi nad oedd!

Wedi iddo brofi bod plant gan Lydia, mae pob tegwch a chyfiawnder a chymeriad y wraig hon, yn gofyn iddo brofi pwy oedd tad ei phlant! Gan iddo brofi bod gan Lydia blant, yr ydym yn galw arno brofi bod gwr gan Lydia. Os profa bod ganddi blant, profed bod iddi wr hefyd; onide, mae Ioan Einon yn profi mai plant anghyfreithlon oedd gan Lydia! Nid yw yr hanes yn dyweyd, pa un ai gwraig briod, ai gwraig weddw, ai ynte ai hen ferch oedd Lydia? Er mwyn chwareu teg

i gymeriad y fedydd-wraig gyntaf yn Philippi, yr ydym yn galw ar Ioan Einon i brofi bod gan Lydia wr, gan ei fod yn profi bod ganddi blant!! Cyn y gwnawn sylw pellach o'r cwestiwn, yr ydym yn ei ddal yn gyfrifol am dori cymeriad Lydia!!

"Bedyddiwyd ceidwad y carchar a'i 'holl dy,'" ebe Mr. Einon. Do: oblegid yr oedd efe a'i holl dy yn credu. ebe yr hanes. "A hwy a draethasant iddo Air yr Arglwydd, ac i bawb oedd yn ei dy ef." Eto, "Ac a fu lawen, gan gredu i Dduw, efe a'i holl deulu." Gofyna Ioan Einon, "Beth oedd teulu Lydia, os nad oedd ganddi blant?" Atebwn. "Y gymdeithas deuluaidd, ar yr hon yr oedd hi yn ben." Nid yw y geiriau ty, teulu, tylwyth, o angenrheidrwydd yn golygu plant; ond yn unig cymdeithas deuluaidd, heb olygu cyflwr na chymeriad y gymdeithas hono. Yr un gair gwreiddiol a arferir am y naill fel y llall. Sylwer arnynt:—Ty Crispus—"A greddodd yn yr Arglwydd, efe a'i holl dy." —*oikos*. A oedd babanod yno yn credu? Ty Cornelius—"Yn ofni Duw yn nghyd a'i holl dy."—*oikos*. A oedd yno fabanod yn ofni Duw? Ty Noah—"A ddarparodd arch i achub ei dy."—*oikon*. A oedd babanod yno? Ty ceidwad y carchar—"Efe a'i holl dy."—*oikia*. Tylwyth Stephanas —*oikon* Teulu y ffydd—*oikos*. I weled yn eglurach. sylwer, mae ty a theulu ceidwad y carchar, yn *oikia*, yn credu. Mae ty Crispius, a theulu Lydia, yn *oikos*, yn credu, ac yn derbyn cysur brodyr crediniol. Mae ty Noah, a thylwyth Stephanas. yn *oikon* —heb fabanod ynddo. Gwel pawb a fynant weled. nad oes dim gwahaniaeth rhwng *oikia*, *oikos*. na *oikon*; ond bod y naill fel y llall, yn cael ei arfer i osod allan gymdeithas deuluaidd; ac yn cael eu cyfieithu yn ddiwahaniaeth, yn dy, teulu, a thylwyth.

O ba le y gall Ioan Einon brofi bod babanod yn nheulu Lydia, neu deulu ceidwad y carchar, oddiwrth y gair *teulu*, mwy nag y gall brofi bob babanod yn gwneyd i fyny deulu y ffydd—*oikos*—yr hwn sydd o angenrheidrwydd yn golygu credinwyr! Nid oes un sail i fedydd babanod yn holl hanes bedyddiadau teuluaidd y Testament Newydd. Os oes, yn mha le y mae? Profer ei fod.

Y peth tebycaf i wirionedd am deulu Lydia yw, mai gweision a morwynion iddi, yn ei chynorthwyo i ddwyn yn mlaen ei masnach, ac nid plant iddi oedd ei *oikos* hi—y gymdeithas deuluaidd ag oedd hi yn ben arni.—"Teulu Lydia."

*Rheswm XXIV.*—"Bod y cyfieithwyr, ac yn eu plith brif ddysgedigion y Trochwyr, yn gwrthod yr adnodau olaf o Marc xvi., fel ffugiad, ac felly, bod y Trochwyr yn colli yr unig sail i'r bedydd crediniol."

Mae Mr. Einon yn rhy wyllt i gyfrif y cywion cyn eu deor. Nid yw y Bwrdd Cyfieithiadol yn Llundain, wedi gwneyd hyny eto Ceisiodd dosbarth o Sociniaid penboeth a haner anffyddol, gan y Bwrdd wrthod y rhan ddiweddaf o'r benod olaf o Marc, fel *interpolation*, am y rheswm bod *Codex Vaticanus*, ac un neu ddau o eiluniau eraill dibwys, yn eu gadael allan. Profwyd gan Dr Angus, ac eraill, eu bod yn yr eiluniau Groeg hynaf; felly gadawyd y peth i ystyriaeth ac ymchwiliad pellach. Yna y mae y comisiwn, fel y geiria Marc ef, yn aros mewn grym eto, ac Ioan Einon yn cael gwaith i ysgyrnygu danedd ar y geiriau dwyfol hyn, "A'r neb a gredo ac a fedyddier a fydd cadwedig."

Mae y comisiwn yn Mathew,—"Ewch a gwnewch ddysgyblion o'r holl genedloedd, gan wneyd y dysgyblion yn drochedig, yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glan; gan rwymo ar y bedyddiedigion gadwraeth pob peth a orchymynais i chwi"—yn nghyd ag arferiad yr Apostolion yn bedyddio y crediniol, a neb arall, yn aros yn sail dragywyddol i fedydd y crediniol, pe dygai yr anffyddwyr dysgedig yr adnodau olaf yn Marc ymaith, "fel o flaen llifeiriant dysgeidiaeth a beirnadaeth deg" Mr. Einon! Os *interpolation* yw yr adnodau dan sylw, y mae hyny yn brawf o'r tu allan i'r Hanes Sanctaidd, beth oedd barn yr ewlwys am fedydd, pryd

y gwnaed y ffugiad—mai bedydd y crediniol ydyw. Bedydd crediniol oedd yn yr eglwys pan y gwnaed y ffugiad, wrth bob rheswm; oblegid ni buasai yn cael ei roi i mewn felly, pe na buasai bedydd y crediniol yn bod y pryd hyny. Y mae y benod olaf o Marc yn gyflawn yn yr ysgrif-lyfrau canlynol:—Y Syriac, Peshito; y Coptic, Sahidie; y Latin of the early Fathers; o'r ail canrif—Y Basonuric; y Coptic; yr Ante-Hieronyonian; o'r trydydd canrif. Yr oedd rhai o eiluniau yr ail canrif wedi eu ysgrifenu yn fuan ar ol marwolaeth Ioan yr Efengylydd, os nad cyn ei farwolaeth; felly yr oedd bedydd y crediniol yn yr eglwys mor foreu a'r oes Apostolaidd, a brofir oddiwrth bod y ffugiad tybiedig yn yr eiluniau uchod! Yn wir, Mr. Einon, y mae y gwirionedd yn beth cas i geisio eu guddio, onid ydyw, yn awr?

*Rheswm XXV.*—"Bod y Trochwyr, wrth ddal bedydd y crediniol fel yr unig fedydd iawn, yn anghyson â'u barn wrth beidio ail-fedyddio gwrthgilwyr dychweledig." Dealled Mr. Einon nad yw calon ddrwg proffeswr yn difuddio dim ar y bedydd. Ei waith ef yw edifarhau a diwygio, fel y byddo ef yn deilwng o'r hyn a gymerodd arno, ac nid y bedydd sydd yn ddiffygiol. Mae y bedydd yn iawn, os efe yn dwyllodrus; a phan yr edifarha ac y diwygia yntau, bydd yn dod yn deilwng o'r bedydd a gafodd fel dyn crediniol mewn proffes. Rhaid i Mr. Einon aros nes y gwel ddyn yn gadael yr eglwys, ac yn dychwelyd i'r byd trwy fedydd, cyn son am ail fedyddio gwrthgiliwr dychweledig! Pan y gwel un felly, caiff ei ail fedyddio! Nid cynt.

*Rhesymau XXVI.——XXX.*—"Bod cyfeiliornwyr yn tori allan oddiwrth y Trochwyr; megys, y Seventh Day Baptists; y Sandemaniaid a'r Ramothiaid; y Campbelliaid; y Mormoniaid; a sect dybiedig o'r enw "*Cusan Fedyddwyr,*" yn atalfa fawr i Ioan Einon adael y Taenellwyr, a throi at y Trochwyr!"

Y mae yr un *argument* yn rhedeg drwy yr holl resymau a nodwyd uchod, ac felly, yr un sylw sydd yn ddigon i'w cyfarfod oll. Mae Mr. Einon yn addef, mai y Taenellwyr sydd yn llygru y Trochwyr, trwy "*bwyso ar eu gwynt.*" Gwir bob gair! Taenellwr oedd Sandeman, Bampffeld, Campbell, Joseph Smith, ac Evan Evans, Maesypandy, y rhai a ddygasant drochiad i'w bedydd, oddiwrth y Trochwyr, am nad oedd gan y Taenellwyr fedydd i'w gael o gwbl. Mae pob peth gwael y pleidiau hyny wedi dyfod oddiwrth y Taenellwyr, a'r unig beth da sydd ynddynt wedi ei gymeryd oddiwrth y Trochwyr—y bedydd! Dylai Mr. Einon gadw draw oddiwrth y Taenellwyr, am yr un rheswm y cadwa draw oddiwrth y Trochwyr; oblegid y mae *eruptions* ffiaidd iawn wedi tori allan oddiwrth y Taenellwyr—yr Ariaid; y Sabeliaid; y Sociniaid; yr Universaliaid; y Plymouth Brethren; y Tractariaid; a mil a mwy o bethau cyffelyb; y rhai sydd fel ysgorpionau gwenwynig, yn lladd purdeb a symlrwydd y gwirionedd yn ei arferiad.

Ni wyr Mr. Einon y gwahaniaeth rhwng gorchymyn moesol a gorchymyn pendant, pan y dywed mai gorchymyn pendant yw y gorchymyn i gusanu, a golchi traed y saint! Ai nid gweithred yn codi o rwymedigaeth foesol i ddangos cariad, trwy arfer gostyngeiddrwydd a hunanymwadiad, yw y naill; a gweithred yn codi o awdurdod benarglwyddiaethol Crist i brofi ufudddod iddo, yw y llall? Pa le y mae gorchymyn Crist i'w Apostolion i gusanu a golchi traed yr holl genedloedd? Mae gorchymyn felly i fedyddio yr holl genedloedd crediniol.

Pan y daw y sect newydd—"*Cusan Fedyddwyr*"—i fodolaeth, bydd yr holl gusanu mawr i gyd wedi ei gael oddiwrth y Taenellwyr; ond gan nad oes gan y Taenellwyr yr un bedydd i'w gael, cymer y blaid newydd hon eto fenthyg bedydd y Trochwyr!

Os yw Mr. Einon yn cael pump o orchymynion pendant i gusanu, am un i fedyddio, nid ydyw yn rhyfedd ei fod yn gwrthod yr un hwnw, pan y mae yn sathru dan draed y pump eraill! Paham y beia y Trochwyr am nad ydynt

ond yn cadw un, pryd y mae efe yn euog o dori chwech o orchymynion pendant, os nad yw yn cadw gorchymyn y cusanu mawr hwnw! Cysondeb, Mr. Einon!!

*Rheswm XXXI.*—"Bod y Trochwyr mor gul eu meddyliau, fel y gwrthodant rydd-gymundeb, yn dangos ysbryd Pabyddol ac anffaeledig, felly yn rhwystr i ymuno â hwynt." Mae y Taenellwyr yn gwneyd yr un peth, ac yn dangos yr un ysbryd, yn eu ffordd daenellyddol hwy, ag y mae y Trochwyr yn cael eu cyhuddo o wneyd, yn eu ffordd drochyddol hwythau.

Pan y daw taenelliad yn drochiad, gall y Trochwyr gymuno gyda Thaenellwyr, fel bedyddiedigion! Nid cynt. Ceir gweled y Taenellwyr yn cydgymuno â Phaganiaid, cyn y daw hyny. Cysondeb, Syr!

*Rheswm XXXII.*—"Bod y Trochwyr yn gwneyd gormod o fedydd, a'r Apostolion yn gwneyd gan lleied o hono, ac Ioan Einon yn credu yr Apostolion o flaen y Trochwyr, yn gwneyd yn anhawdd i ymadael a thaenellu, a chredu y trochi."

*Well done*, Mr. Einon! Dyna gydnabod bedydd yr Apostolion yn drochiad, am unwaith, o leiaf!! Wrth arfer mwy â Phaul ac a'r Trochwyr, daw Mr. Einon i weled bod Paul a'r Trochwyr yn adnabod eu gilydd; ond na wyr Paul ddim am y Taenellwyr; a dyna y rheswm ei fod mor ddystaw am danynt. Nid yw Paul yn gwneyd dim â hwy!

*Rheswm XXXIII.*—"Bod rhyw hen wraig yn ffraeo, a rhyw hen ddyn a'i wyneb yn fflamio, yn anhawsder mawr i Mr. Einon gredu daliadau y Trochwyr." Bydded rhwng Mr. Einon a'r hen greaduriaid, "a'u geiriau ffiaidd a diraddiol," chwedl yntau: oblegid nid yw hyny yn perthyn i bwnc y bedydd.

*Rheswm XXXIV.*—"Bod un anhawsder sydd gan y Trochwr i gredu fel y Taenellwyr, am bump sydd gan y Taenellwyr i gredu fel y Trochwyr, yn atalfa fawr i Ioan Einon fyned trosodd at y Trochwyr." Mae y rheswm hwn yn rhy sâl i wneyd sylw o hono.

*Rheswm XXXV.*—"Bod medr, cywreinrwydd, a dysg mawr, y Trochwyr, wedi cryfhau yr anhawsderau i Mr. Einon, ac ychwanegu atynt, nes y gwaedda allan nerth ei ben, 'Os y Trochwyr sydd yn iawn, mae hyn yn resyn!'" Ydyw: y mae yn resyn mawr, bod y Trochwyr yn iawn, a Mr. Einon heb weled hyny. Peidied ag ymdroi gormod â dysgeidiaeth y Trochwyr, rhag iddi fyned allan o'i ben; ond myfyried fwy yn y Testament Newydd, fel y gwelo fedydd yn ei liw ei hun—yn gladdu a chyfodi gyda Christ—yn ufudd-dod ffydd—yn ffurf yr athrawiaeth—yn wisgo Crist—yn ateb cydwybod dda tuag at Dduw—yn broffes dda—yn fedydd edifeirwch er maddeuant pechodau—yn un bedydd—yn orchymyn pendant Crist am y crediniol—yn fraint y crediniol!!

Y mae Ioan Einon heb weled hyn eto, gan nad yw yn myfyrio y Testament Newydd, fel rhydd ymofynydd am y gwirionedd; eithr fel dyn yn edrych ar wrthddrych trwy y gwydr, ac yn gweled y cyfryw wrthddrych yr un lliw a'r gwydr. Os gwyrdd, neu lâs, neu felyn, neu goch, fyddo y gwydr, felly yr ymddengys lliw y gwrthddrych; Eto i gyd, nid lliw y gwrthddrych sydd yn newid, eithr yr ymddangosiad o hono. Tyner ymaith y gwydr, yna gwelir y gwrthddrych yn ei liw ei hun. Mae Mr. Einon yn edrych ar fedydd trwy ddrych dysgeidiaeth ddynol, ac yn ei weled yn lliw y ddysgeidiaeth hono, fel yr addefa. Os trochyddol fydd y drych, trochyddol fydd y bedydd; ond os taenellyddol fydd y drych, taenellyddol fydd y bedydd. Mae bedydd yn newid ei liw yn ei olwg, fel y newidier lliw y drych. Cofied Mr. Einon, nad yw gwirionedd byth yn newid ei liw, ond ei ymddangosiad i'r synwyr cnawdol. Tafled Mr. Einon ddrych pob plaid oddiar ei lygaid, ac edryched i'r gwirionedd â gwyneb agored.

---

Na chanmol un dyn yn ormod yn ei wyneb, ac na feia neb yn rhy lym yn ei gefn. Y mae y cyntaf yn arogli gweniaeth, a'r olaf yn dynodi malais.

## DAFYDD EVANS, FFYNONHENRY

Yr oedd Dafydd Evans yn dueddol iawn i ryw ddireidi diniwed fel yma:

Yr oedd bachgen yn caru un o'i ferched, yr hwn oedd yn ddigon adnabyddus iddo; ac nid ydym yn sicr ei fod yn rhyw ormod o foddlon i'r gyfeillach. Yr oedd yn gwybod am ryw noson y byddai'r gwalch yn dyfod yno, a gofalodd am yru y merched a phawb i'w gwelyau, ac arosodd ar lawr ei hun yn darllen ei Feibl. Maes law clywai drydan o gylch y ty, a churo lladradaidd yn y ffenestr. Deallodd yn union mai y gwr caru oedd yno, ac aeth yn lled ddiseremoni i agor y drws iddo, a thebyg y teimlai y bachgen yn falch iawn ei fod yn cael derbyniad mor ddiragymadrodd i bresenoldeb ei anwylyd. Ond beth a'i croesawai ond llais gwrywaidd rhy adnabyddus iddo o lawer, yn ei gyfarch: "Shwt wyt ti heno, John bach? Dere 'mlaen, dere 'mlaen at y tân yma; eiste ar y stol yna; b'le buost ti c'yd, John? Pam na fuaset ti yn dod dipyn yn gynarach, i gael tipyn o gyfeillach? Shwt ma' nhw gartre? Shwt ma' dy fam? Mae'n noswaith dywyll iawn heno, 'does dim ofn arnat ti maes y nos, John? Llyfr rhyfedd yw'r Beibl yma. (Yn darllen Luc xi.) Mae Crist yn cyhoeddi gwae ofnadwy uwchben y Phariseaid. 'Stim rhyfedd; taclau ofnadwy o'n nhw—fel 'beddau anamlwg.' Peth ofnadwy fyddai cwympo i fedd heb yn wybod, onide? Yr oeddynt yn llawn twyll. Dyna weddiwr hir oedd y Pharisead! Yr oedd digon o hyn yn ei weddi i gyrhaedd y nefoedd; a phe bae Duw yn gwrando gweddiau wrth y llath, cawsai ddigon o waith mesur o hyd gan y Phariseaid. Rhaid fod yr hir-weddiwr yn meddwl fod Duw yn rhyw greadur segur iawn, cyn y meddyliai fod ganddo amser i wrando arno fe yn baldorddi am awr o amser! Ho, ho, ho! 'nawr wy'n cofio clywed fod Twmi'r Fron yn arfer treulio rhyw awr ar weddi deuluaidd. Yr oedd Nansi ei wraig yn drwm iawn ei chlyw, ac arferai eistedd ar y *skiw*, a'i llaw dan ei phen, a'i gwyneb at y tân, yn dawel, nes y byddai Twmi yn gwaeddi Amen dipyn yn uwch nag y gwnai trwy'r weddi. Ond rhyw foreu yr oedd brys mawr arno i fyned i fwrw'r helem i mewn o flaen y gwlaw, ac ni fu ond ychydig fynydau ar ei liniau, a ffwrdd ag ef allan, a'r gwas a'r forwyn ganddo. Yn mhen rhyw haner awr dysgwyliai Nansi i ddyfod allan i roddi tro, ond dim argoel. Wedi blino dysgwyl, aeth i'r ty, a dyna lle yr oedd yr hen wraig yn yr un fan, a'i llaw dan ei phen, ac aeth Twmi yn mlaen, a gwaeddodd yn ei chlust, 'Amen, Nansi.' Wdw i ddim yn deall, John, shwt mae dynion yn gallu myned at Dduw heb un neges, a bod mor hir heb ei ddweyd. Beth gymerai dyn am fyned i Windsor Castle heb un neges, ac ymdroi o gwmpas y palas am hir amser? Fe'i cymerent e fyny ar ddrwgdybiaeth yn y fan. Leicet ti i fi ddarllen Psalm i ti eto, John? (Yn darllen rhanau o'r Salmau.) "Mae efe yn gwneuthur taranau â'i lais." Efe sydd yn siarad pan mae yn taranu. Ychydig sydd yn meddwl hyn; mae llawer ag ofon y llais arnyn' nhw, ond heb ofni'r siaradwr—yn ofni'r daran, ond heb ofni Duw.

"A glywaist ti, John, shwt y bu ar yr hen fwnwr hyny yn Rhandirmwyn? Yr oedd y mwnwyr wedi dod fyny o'r pwll, ac yr oedd yn taranu yn ddychrynadwy, nes peri braw mawr iddo ef a'r hen wraig. 'O, Shon bach, cer' i weddi,' ebe hi. 'Fe wyddost yn burion na fedra' i ddim, gad fi'n llonydd,' ebe Shon. Ond uwch, uwch y swniai'r taranau yn barhaus. 'O, Shon, dere i weddi er mwyn pobpeth,' meddai'r hen wraig wedi'n. A rhwng dychryn a drwg-dymer wele Shon yn myned ar ei liniau, gan ddweyd mewn llais oerllyd a dychrynedig fel hyn: 'Yn enw'r anwyl, Arglwydd, beth yw'r *riots* wyt ti yn gadw o bwyti'r ty yma heno, 'does dim posib' cysgu; gad i dy was fyn'd lawr i'r pwll boreu fory, a chadw faint a fynot ti wed'yn.'"

"Wel, yr wyf fi yn rhwym o fyn'd, Mr. Evans," ebai John yn yswilaidd. "Rhaid, fe allai'n wir, John bach; rhaid, fe allai'n wir, John bach; mae'n bedwar o'r gloch, gwared pawb! Fe

ca' i gyda Marged 'nawr; boreu da i ti John bach; diolch yn fawr am dy gwmni. Dere i roddi tro eto yn fuan, paid ei gadael hi mor hwyr y tro nesaf. Cofia fi atynt gartre."

Gyda hyn yr oedd y drws yn cael ei gloi ar ei ol, ac ni raid hysbysu y darllenydd mai dyma'r noswaith ryfeddaf o garu a gafodd John yn ei fywyd; ac os oedd yn oer iawn, yr oedd y perygl yn fawr iddo gael anwyd, oblegid yr oedd yn myned allan i'r awyr yn chwys gwyllt; ond da ganddo gael myned felly, dybygem; a bu yn fwy gofalus rhag llaw rhag cael noswaith o garu gan y tad, gan nad beth am y ferch.

## PWY SYDD I FOD YN DDIACONIAID?

*Anwyl Ddarllenydd*—Wele fi eto yn 'ysgrifenu atat ar y ffordd y mae cael diwygiad crefyddol. Dywed yr Apostol, "Y rhai a wasanaethant swydd diaconiaid yn dda ydynt yn enill iddynt eu hunain radd dda, a hyfder mawr yn y ffydd sydd yn Nghrist Iesu." Pwy felly o'n diaconiaid nad yw yn awyddus i wybod y ffordd i deilyngu y ganmoliaeth uchod? Amcanaf osod ger dy fron, ddarllenydd, Ddiaconiaeth a Diaconiaid y Testament Newydd, i'r dyben i berswadio diaconiaid yr oes hon i'r Ddiaconiaeth Ysgrythyrol.

Wrth ymwneyd â materion fel hyn sydd a'u dyben i ddysgu a diwygio, mae perygl i ni ddefnyddio a phentyru geiriau yn rhy gelfyddydol, fel ag i guddio y meddwl o ddeall y darllenydd. Ymdrechaf osgoi y pechod yna. gan anelu clwyfo'r euog, a chysuro y cyfiawn, a'i wneyd yn ddedwydd yn ei weithred ddiaconaidd.

Nid yw pob eglwys yn dangnefeddus, na phob brawdoliaeth grefyddol yn meddiant trefn, a hyny i raddau helaeth yn ffrwyth diffygion yr arweinwyr.

Mae llawer o'r amrafaelion eglwysig yn bodoli o herwydd diffyg synwyr cyffredin yn y pen, ffrwyn ar y tafod, a gras yn nghalon y blaenoriaid. Pe baent hwy yn meddu cymwysderau angenrheidiol i'w swydd—yn gall, diniwaid, ac yn dangnefeddwyr (sef gwneuthurwyr tangnefedd), buasai y wreichionen wedi ei diffodd cyn myned yn fflam. Yn aml gorfodir y gweinidog i wneyd llawer o bethau a ddylent gael eu gwneyd gan y diaconiaid, a thrwy hyny daw i ofid eglwysig. Nid oes eisiau ond ymgydnabyddiaeth â chyflwr gwahanol eglwysi i argyhoeddi pob Cristion fod angen diwygiad yn y swyddogion. Mae genym rai dynion da a hynod o weithgar, ydynt yn anrhydedd i'r swydd; ond mae rhai personau o gymeriadau hollol wahanol i hyn hefyd yn y swydd. Gwisgir y teitl diacon gan rai personau ydynt mor anwybodus yn athrawiaethau crefydd ag yw twrch daear am yr haul—mor ansefydlog a cheiliog y gwynt—mor fudr ei buchedd a duwiau y paganiaid —mor anmhoblogaidd yn mhlith eu cydnabyddion fel nad yw eu gair yn pwyso pluen; ond eu gwisgiad o'r teitl a'u mynediad trwy ffurfiau eu swydd sydd yn effeithio i gadw rhai rhag uno a'r eglwys; eraill rhag dyfod a mwynhau y cyfarfodydd. Tra y goddefir pethau fel hyn, nid yw yn rhyfeddod yn y byd fod dylanwad argyhoeddiadol yr Ysbryd Glan mor ddyeithr yn nghynulleidfaoedd y saint, a gweinidogaeth brodyr da, a gwirionedd pur, mor ddieffaith—dylanwad yn erbyn dylanwad—*diofryd beth yn ngwersyll Israel.* Os ydym am etifeddu yr addewidion, rhaid i ni fyw yn ol y rheolau—gwneyd pob peth yn weddus ac mewn trefn—gosod y cymeriadau priodol mewn swyddi. Os oes rhyw un yn amheu geirwiredd hyn o ragdraeth. bydded iddo sylwi ar yr *ex-deacons.* Gorfodwyd eu ceryddu; dacw eu nwyd yn fflamio; nis gallant oddef gair o gyngor mwy na phlentyn newydd eni!—tramgwyddasant wrth ryw aelod, neu benderfyniad eglwysig, a mawr yw eu ceintach; mor barod ydynt i ffraeo. Diswyddwyd hwynt; yna gwelwyd fod eu holl grefydd yn eu swydd—wedi colli y teitl diacon, collasant eu sêl, eu gweithgarwch, eu ffyddlondeb, a'u haelioni. Nid ydynt yn mynychu y cyrddau fel o'r blaen; ni chyfranant haner cymaint at yr achos ag a wnaent pan yn ddiaconiaid. Daeth gwelltyn ar eu ffordd, a thaflwyd hwynt yn rhy

bell i dir gwrthgiliad i ddod yn ol i'r eglwys am ddeg neu ugain mlynedd. Onid yw eu tafliad i'r peirianau profadwy hyn yn dadblygu eu sylwedd—yn egluro eu cymeriad, ac yn tystio mor gamsyniol oedd yr eglwys wrth eu hanrhydeddu â'r swydd ddiaconaidd? Pe bae gwreiddyn y mater o'u mewn, buasent wedi edifarhau yn fuan fel Petr; wedi dychwelyd i dy eu tad fel y mab afradlon; ac wedi dewis cadw drws yn nhy yr Arglwydd fel Dafydd, yn hytrach na thrigo yn mhebyll yr annuwiolion. Y mae cymeriadau anaddas wedi ysbeilio y weinidogaeth a'r ddiaconiaeth o'u hurddas a'u dylanwad. Yn awr, dywedaf ychydig ar

*Y Gair Diacon a'i gysylltiadau.* Arferir y gair hwn yn y gwreiddiol, am awdurdodau gwladol.—(Rhuf. xiii. 4.) Hefyd yn newisiad Mathias yn Apostol, gelwir yr Apostolaeth yn ddiaconiaeth. —(Actau i. 25.) Gelwir gwaith yr angelion yn ddiaconiaeth.-(Heb. i. 14.) Hefyd, dywedir fod Iesu Grist yn ddiacon.—(Rhuf. xv. 8.) Gwelir felly fod amryw orchwylion yn cael eu nodi gan y gair hwn Gweddus gan hyny i ni dalu sylw manwl iddo. Cofier mai *estron* ydyw yn y Gymraeg a'r Saesneg. Gair wedi ei Gymreigio yw yn lle ei gyfieithu. Groegwr yw, a dyma fo, *diakonos*. Bernir gan rai ei fod yn deilliaw o hen ferf, *diakein*, *diekein*, rhedeg, brysio. Eraill a farnant ei fod yn tarddu o *dia*, trwy, a *konos*, llwch, neu o'r ferf *diakono*—cuddio a llwch. Y mae y tair ffordd yn cydolygu ei fod yn cyfleu y meddwl o wasanaeth a gwasanaethu—bod yn ddyfal a diwyd —gwaith, gwas a morwyn.

Ond y mae yn air y pethau cysegredig yn yr Ysgrythyrau. Ar gyfrif fod y gair hwn mewn un ffurf, ac yn cynwys ei hanfod, i'w weled yn Actau 6, cyfeirir yno am ddealltwriaeth, am ddiaconiaid a'u gwaith. Y gair a geir yno yw *diakonia*—diaconyddiaeth, neu yn Gymraeg llawn, gwasanaethyddiaeth. I benderfynu beth yw diacon a diaconyddiaeth yn ol y Testament Newydd, sylwn ar y

*Cymwysderau Personol i'r Swydd.*—Mae genym ddau ddarn darluniadol o hono yn yr Ysgrythyrau: Act. vi. 1—7, a 1 Tim. iii. 8—14. Yn ngholeuni yr adranau hyn, cawn fod yn rhaid i berson fod yn meddu y nodweddion canlynol cyn bod yn etholadwy i'r swydd ddiaconaidd:—

1. "Yn ddyn da ei air"—"nid yn ddau-eiriog." Wrth hyn deallwn fod y diacon i fod yn ddyn geirwir, nid yn siarad yn fyrbwyll ac anystyriol—yn dyweyd un ffordd wrth hwn, a ffordd arall wrth y nesaf—yn newid ei ystori i foddloni personau ac ateb amgylchiadau. Rhaid ei fod yn ddyn geirwir bob amser—da ei air—yn llefaru pethau da —ei air yn bwysig—yn cyrhaedd yn mhell—yn barchus a dylanwadol ar y rhai ydynt yn ei adnabod oreu.

2. "Yn onest" yn llawn ystyr y gair, yn talu ei ddyledion, yn onest yn ei holl drafodiadau â dynion, yn gofalu byw yn ol ei sefyllfa fel na byddo achos iddo redeg i ddyled.

3. "Nid yn ymroi i win lawer." Nid yn ddiotwr, ond yn ddyn sobr, heb fod yn gaethwas i chwant.

4. "Nid yn budr elwa." Yn casglu cyfoeth drwy ffordd fudr, cribddeilio, casglu cyfoeth trwy ffordd fudr ac anonest, ffordd fudr yw codi gormod o bris am nwyddau. ffordd fudr yw gorthrymu y tylawd i'r dyben i gael elw oddiwrth ei lafur. Dywedir na ddylai gweinidogion fod yn fasnachwyr, am fod cymaint o dwyll yn mhob masnach, am yr un rheswm dylai y diacon gadw allan o bob masnach agored i dwyll. Ond pe ceid pobl fel diaconiaid y Testament Newydd yn fasnachwyr, byddai yn fendith i'r byd.

5. "Yn anmhleidgar," hyny yw, nid yn ymroi i wasanaethu plaid, ond yn gwneuthur cyfiawnder rhwng dynion a'u gilydd. Dewiswyd y diaconiaid cyntaf i fod yn rhai rhwng pleidiau. Felly, gofynir i'r diacon fod yn ddyn yn adnabod neb yn ol y cnawd, yn ddi-dderbyn wyneb, yn un na wna ddangos partiaeth na chesail at gyfaill fwy na gelyn, ond yn ol y gwirionedd a chyfiawnder.

6. "Yn dal dirgelwch y ffydd mewn cydwybod dda" Yn gwybod dirgelion crefydd, yn hyddysg yn natur

Cristionogaeth, yn byw fel ag i feddu cydwybod bur, ddieuog yn ngwyneb hyn, cydwybod olchedig yn ngwaed yr Oen. Hefyd, yn "llawn doethineb" grefyddol, fel y gallo hyfforddi yr eglwys yn egwyddorion ymarferol crefydd, ac amddiffyn y gwirionedd yn erbyn y gwrthwynebwyr. A doethineb fel y medro drefnu materion yr eglwys, arwain y bobl, a chymodi pleidiau ymrysongar. Y mae hyn yn anhebgorol pan ystyrir nodwedd y .

7. Eu bod yn gallu cadw trefn gartref, "yn llywodraethu eu plant a'u tai eu hunain yn dda." Y mae eisiau doethineb at hyn, ac os na ofalant am gartref eu teulu, nid oes rheswm iddynt ofalu am gartref pobl Dduw. Os na allant gadw trefn yn eu tai eu hunain, pwy a ddysgwylia iddynt gadw trefn yn nhy yr Arglwydd?

8. Rhaid i'w gwragedd fod fel hwythau, yn onest, nid yn enllibaidd, yn sobr, yn ffyddlon yn mhob peth. Tuedda rhai i wneyd yr adnod hon yn perthyn i'r *diaconesau*. Ond nid oes dim yn wrthun a chondemniol yn y gwreiddiol i'r syniad Cymreig, sef mai gwragedd y diaconiad a olygir. Peth arall y mae yr adnodau blaenorol a'r rhai dilynol, yn son am ddiaconiaid, ac nid yw yn naturiol i feddwl fod yr adnod ganol yn cyfeirio at bethau anmherthynasol, heb nodi hyny yn benodol. Hefyd, y mae priodoldeb mawr yn y syniad a goleddwn, sef fod angen i wragedd y diaconiaid "fod yn onest, nid yn enllibaidd, yn sobr, ac yn ffyddlon," pan ystyriom fod dylanwad mawr gan y wraig ar y gwr. Mae llawer dyn da wedi ei dywys gan ei wraig i warth a gofid. Ar yr ochr arall mae gwraig dda yn llawer o gynorthwy i'r gwr grefyddа. Heblaw hyn, gan mai y gwr yw pen y wraig, a bod y diacon i lywodraethu ei dy yn dda, eglur yw, i'r dyben i gael heddwch yn y teulu, rhaid i'r wraig gyfranogi yn helaeth o nodweddion ei phriod. Yn y cysylltiad hwn hefyd, gwelwn fod rhyddid i ddiacon briodi, a dywed rhai mai *ond un waith*; beth bynag, gall fod yn *wr i un wraig*.

9. Rhaid ei fod nid yn unig yn ddyn da, moesol, trefnus, a chrefyddol, ond rhaid iddo fod "yn llawn o'r Ysbryd Glan." Gofynir i bob aelod fod yn foesol a chrefyddol, ond y mae y diacon i rhagori ar bawb yn ei grefyddolder, bod yn wir grefyddol, yn hynod am ei dduwiolfrydedd, yn Gristion goleuedig, yn ganwyll yn goleuo, yn rhagori yn ei sel, ei nodweddion a'i ymdrechion gyda gwaith yr Arglwydd.

10. Y mae i gael ei brofi yn gyntaf. "Profer hwynt yn gyntaf, yna gwasanaethant swydd diaconiaid *os byddant yn ddiargyhoedd*, Sef yn ddifai. Maent i gael eu harchwilio, eu cymeriad i gael ei ddadansoddi, eu cysylltiadau i gael edrych i mewn iddynt, i gael gweled a ydynt yn meddu y cymwysderau angenrheidiol.

Wele i chwi y diaconiaid yn ol y "gair a'r dystiolaeth." Nid yw cyfoeth bydol nac awdurdod daear yn help nac yn rhwystr. Bydded y dyn yn dlawd, heb feddu dim o bethau bydol, gall fod yn ddiacon; bydded arall yn etifedd cyfoeth lawer, ac yn feistr ar filoedd, gall fod yn ddiacon hefyd, os yn meddu y nodweddau uchod.

Wel, yn ngwyneb y ffeithiau hyn, ofnwn fod y cymeriadau yna yn anaml. Y mae hyn er cywilydd i'r eglwys a'r weinidogaeth. Y mae yr eglwysi wedi ymlygru, y weinidogaeth wedi newid ei thôn—dysgyblaeth wedi ei golli—pregethir i guddio pechodau yn lle eu dangos—cenir dynion i gysgu yn eu pechodau—rhoir *morphine* pregethwrol i farweiddio y gydwybod euog, a pheri iddynt gysgu yn eu haflendid, fel plant heb eu golchi, ar ol bod allan yn y baw trwy y dydd. Y canlyniad yw, nis gall eglwysi y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg oddef athrawiaeth iachus. Ni fyn dynion glywed am eu pechodau. Dysgwyliant eu canmol fel ag y maent, yn feirw mewn camweddau a phechodau. Y mae y bobl wedi cael eu gadael yn nghwsg *morphine*, fel nad ydynt ond plant heb sugno didwyll laeth y gair, felly heb gynyddu, tra y dylent fod yn gryfion, yn dadau a mamau yn Seion. Torir pen pob pregethwr a ymdrecho wella pethau, a thrwy hyny digalonir. Frodyr, a ydyw safon swydd y diacon-

iaid yn rhy uchel i ateb yr oes? A ydyw Duw yn gofyn personau anmhosibl i'w cael i lanw y swyddau? Na, y mae y cyfryngau gofynedig ar gael. "Mae y gair yn abl i hyfforddi, ceryddu, &c., fel y byddo dyn Duw yn berffaith, wedi ei berffeithio i bob gweithred dda."

Fel y mae cymeriad y Cristion yn aros yr un trwy yr oesau, felly hefyd y diacon. Wel, bydded i'r eglwys ddeffroi i fagu diaconiaid, a bydded i bob aelod gofio am y nodweddau angenrheidiol cyn pleidleisio dros neb. O dan yr amgylchiadau presenol, dewiser y rhai cymwysaf, agosaf at hyn, a daw daioni. BRAWD.

[*I'w barhau.*]

## DAEARGRYNFAAU.

GAN Y PARCH. D. OLIVER EDWARDS.

Ymddengys fod daeargrynfäau yn cael eu cynyrchu gan yr un achos a'r mynyddoedd tanllyd, gyda hyn o wahaniaeth, fod cynddaredd y llosgfai yn darfod yn y ffrwydriad, tra mae'r ddaeargryn yn ymledu yn mhellach, ac yn gweithredu yn fwy marwol am ei bod yn cael ei chyfyngu. Crea y llosgfai ddychryn mewn Talaeth, ond y mae daeargrynfäau wedi gwneyd teyrnasoedd yn garneddau mân. Y mae athronwyr wedi cymeryd llawer o drafferth i wahaniaethu rhwng y gwahanol fathau o ddaeargrynfäau; megys yr echrynol, y ddychlamol, yr unionsyth, a'r ogwyddedig: ond y mae yn yr enwau hyn fwy o gelfyddyd nag o natur, ac nid yw y gwahaniaeth hwn ond un damweiniol, yn cyfodi fynychaf oddiwrth sefyllfa y wlad neu yr achos o hono.

Gan mai daeargrynfäau ydyw gweision mwyaf brawychus natur, nis gallwn ryfeddu fod cynifer o athronwyr wedi bod yn cywrain chwilio i mewn i'w hanes. Y mae rhai athronwyr wedi eu priodoli i ataliad damweiniol y dyfroedd islaw gwyneb y ddaear. Y rhai hyn wedi eu cydymgynull a'u deffroi gan dânau, ydynt, meddent hwy, yn alluog i ysgwyd y ddaear; eraill a farnant mai y ddaear ei hun ydyw yr achos o'r dirgryniadau hyn. "Pan y mae gwaelod rhyw barth helaeth o dir (meddent hwy), wedi ei dreulio gan ryw hylif islaw, syrthia y ddaear i fewn yn y fan hono, ac y mae ei phwysau yn ddigon i achosi cryniadau yn y parthau cyfagos." Hynyna, medd y dosbarth hwn o athronwyr, sydd yn peri daeargrynfäau, ond nid oes genym fawr o ymddiried yn y gred hon. Mae eraill wedi eu priodoli i wefr, ac eraill i'r un achosion ag sydd yn effeithio y daran. Ymddengys nad oes dim ond gweithrediadau gwres tanddaearol yn unig all gyfrif am bob ymddangosiad sydd yn dilyn y rhyfeddodau arswydol o eiddo natur. I ffurfio syniad clir ar hyn, gadawer i ni dybio fod mewn pellder mawr o dan y ddaear greigiau anferth o ddefnyddiau hylosg wedi eu cyfleu, ac yn dysgwyl yn unig am ddwfr-dywalltiad, neu leithder awyr i osod eu tânau mewn gweithrediad: o'r diwedd, dacw y cyffyrddiad dychrynllyd a brawychus yn cymeryd lle; y mae y dyfroedd yn gweithio eu ffordd i'r dyfnderau hyn trwy ryw holltau neu gilydd, neu ynte mae yr awyr yn ymwthio tuag atynt; ar hyn wele y creigiau anferth hyny yn dechreu poethi gan gynyrchu awyr arall, ac nid oes eisieu arnynt ond lle i ymëangu. Bydd y ffosydd drwy ba rai y gwnaeth y dwfr neu yr awyr eu ffordd, wedi eu cau; ond fel y mae yr awyr newydd o hyd yn cael ei chreu, ac fel y mae yr awyr hono yn cael ei gwneyd yn fwy hydlamol (*elastic*) bob mynyd gan y gwres, y mae o'r diwedd yn ymledu ac yn ymrwygo gyda nerth anamgyffredadwy: ac yn ei hegnion am ryddhad, y mae yn taflu yr oll uwchlaw iddi i ddirgryniadau cyffelyb. Yn y modd hwn mae daeargryn yn cael ei achosi; ac y mae ei maint yn ymddibynu ar y dyfnder yn yr hwn y byddo yn cymeryd lle, neu ar rym y gallu fydd yn ei hachosi.

Llawer ydyw y dygwyddiadau a gydfynedant â daeargrynfäau. Ar lawer amgylchiad clywir math o sŵn. Y mae hwn yn codi naill ai oddiwrth awyr neu oddiwrth dân, neu oddiwrth y naill a'r llall, fel y maent yn rhuthro

trwy yr holltau yn y ddaear wrth chwilio am le rhydd. Ambell i waith bydd y dwfr yn pistyllio i uchder anferthol. Sigla'r ddaear fel llong ar y môr, neu feddwyn ar yr heol. Y mae rhai daeargrynfâau teithiol, a theimlir hwy mewn gwahanol wledydd ar yr un dydd. Cyfyd hyn oddiwrth fod yr ysgydwad wedi cael ei roddi i'r ddaear mewn un lle, a bod hwnw yn symud yn mlaen trwy ysgogiad nes cynhyrfu y gwahanol diriogaethau, yn olynol ar ei daith. Tebyg yw y ddaeargryn hon i'r cyffro a effeithir wrth ddisgyniad careg i lyn. Bydd y cynhwrf weithiau yn *ddisymwth* fel ffrwydriad pylor, ac weithiau yn un crynol, ac yn parhau am lawer o fynydau.

Cymer daeargryn le ambell i waith ar gyfandiroedd, ond y maent lawer amlach mewn ynysoedd. Teimlir hwynt mor fynych yn rhai o ynysoedd India ag y clywir taranau genym ni. Teimlir eu heffeithiau ar rai achlysuron mewn gwledydd oerion, ond gwnant ddifrodiadau arswydus mewn gwledydd poethion. Peth cyffredin yw daeargryn yn Portugal; nid yw mor aml yn Spain, ac nid ydyw byth braidd yn Ffrainc, er fod y gwledydd yna yn ymyl eu gilydd; ac mae yn debyg fod daeargrynfâau yn amlach yn Ngogledd Cymru nag yn y Deheudir. Dywedir fod rhyw ddystawrwydd neillduol mewn natur cyn y byddo'r ddaeargryn yn taro. Y mae anian megys yn gorphwys iddi i gael ei hanadl cyn cael yr ergyd. Pan y byddo yr ergyd yn ymyl, gwelir y môr vn gwreichioni, ac yn berwi fel crochan; gwelir ef yn sych mewn un man, a chwydda ei ddyfroedd fel mynyddau mewn manau eraill. Yna mae'r ergyd yn dyfod; ambell i waith daw heb un swn, bryd arall deua gyda swn ofnadwy. Bydd y swn weithiau fel swn cerbydau yn gyru dros balmant, ac ambell i waith mae fel pe b'ai holl gyflegrau'r deyrnas yn cael eu gollwng allan ar yr un pryd.

Edrychwn ar eu heffeithiau. Effeithiant hyd yn nod ar yr anifeiliaid direswm. Yn y dystawrwydd prudd a'u rhagflaenant, clywir y gwartheg yn brefu, y cwn yn udo, a'r gwahanol greaduriaid fel pe yn ymdrechu ffoi am eu bywyd. Mae eu heffeithiau ar y dyfroedd yn fawr iawn. Sycha rhai ffynonau yn hollol, a gwnant i eraill darddu yn gyflymach nag arfer. Gwnant y môr yn fryniau a dyffrynoedd. Holltant y creigiau cedyrn, a symudant fynyddoedd o'u lle.

Crybwyllir gan Pliny am un, yn yr hon y llyncwyd deuddeg o ddinasoedd Asia Leiaf mewn un noswaith. Yr amser hwn darfu i ddau fynydd ymguro y naill yn erbyn y llall, gan nesu at, ac ymgilio oddiwrth eu gilydd gyda'r trwst mwyaf brawychus. Bernir i bedwar ugain mil o fywydau gael eu colli y tro hwn. Ond yr un y cawn yr adroddiad mwyaf cyflawn am dano, ydyw yr *un a ddygwyddodd yn y flwyddyn* 1693, difrodiadau pa un a deimlwyd yn benaf yn Sicili, ond sylwyd ar ei symudiadau yn Germani, Ffrainc, a Lloegr. Yr oedd ei amgylchedd yn agos i 7,800 o filldiroedd. Effeithiai yn benaf ar ein harfordiroedd a'n hafonydd mawrion. Yr oedd yn fwy gweladwy ar y mynyddoedd na'r dyffrynoedd. Teflid y muriau i lawr oddiar eu sylfaeni, a distrywiwyd neu niweidiwyd yn fawr, gynifer a phedair-ar-ddeg-a-deugain o ddinasoedd, yn ogystal a rhifedi anghredadwy o bentrefi. Dinas Catanea mewn modd neillduol a lwyr ddymchwelwyd. Teithiwr ar ei ffordd tuag yno, a ganfu o'r pellder o rai milldiroedd, gwmwl du fel nos yn crogi uwchben y lle. Dechreuai y môr ymderfysgu, mynydd Etna a anfonai golofnau erchyll o dân, ac yn fuan cymerodd yr ysgydwad le, a hyny gyda mwy o dwrw na phe buasai holl gyflegrau y byd yn cael eu dadlwytho ar unwaith. Ein teithiwr wedi gorfod disgyn, a deimlodd ei un ar unwaith yn cael ei godi fwy na throedfedd oddiwrth y llawr, a chan droi ei lygaid ar y ddinas, er ei ddirfawr syndod, nid oedd yno ond cwmwl du o lwch tew yn yr awyr. Yr adar a ehedent oddiamgylch fel pe wedi eu synu, a'r anifeiliaid gan oernadu a redent lawr o'r bryniau a'r mynyddoedd; ac er na pharhaodd yr ysgydwad dros dri mynyd, yr oedd yn agos i ugain mil o drigolion Sicili wedi trengu yn y difrod.

*Daeargryn Jamaica.* Cymerodd hon le yn y flwyddyn 1692, ac yr oedd yn un arswydol iawn. Mewn dau fynyd o amser, dinystriwyd Port Royal, a suddodd y tai mewn gagendor ddeugain gwrhyd o ddyfnder. Tra yr oedd y tai yn cael eu llyncu ar un ochr i'r heol, yr oeddynt ar yr ochr arall yn cael eu dymchwel yn garneddau: tywod yr heolydd a ymddyrchafai fel tònau y môr, gan gyfodi y rhai a safent arno a'u bwrw mewn eiliad i'r dyfnderau islaw. Yr holl ffynonau a fwrient allan eu dyfroedd gyda'r cyffroad mwyaf angerddol. Y môr hefyd a dderbyniodd ei ran o'r cythrwfl, a chan ruthro ar draws ei wargloddiau, a orchuddiai bob peth a safai o'i flaen. Gellid gweled agoriadau yn y tir oeddynt wedi llyncu heolydd cyfan i fyny, ac eraill mwy arswydol fyth a luchient i fyny raiadrau cyfain o ddwfr poeth i foddi y rhai hyny yr oedd y ddaeargryn wedi eu harbed. Yr oedd yr oll yn cael ei ddilyn â'r sawyr mwyaf drewedig, tra yr oedd twrf mynyddoedd syrthiedig yn y pellder, yr holl awyr wedi ei gorchuddio â chaddug prudd, a thrwst y tai wrth gwympo yn chwanegu braw annysgwyliadwy at yr olygfa. Ar ol i'r trychineb ofnadwy hwn fyned heibio, yr oedd yr holl ynys bron wedi ei gwneyd yn anghyfanedd, prin yr oedd cymaint a thy yn sefyll.

---

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

---

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM TACHWEDD (Matt. iii. 1, 2).

---

*Athraw.*—Pa ddyddiau oedd "y dyddiau hyny," Owen?

*Owen.*—Y farn gyffredin yw, mai cyfeiriad sydd yma at fywyd anghyhoedd Crist yn Nazareth cyn ei ddyfodiad at Ioan i'w fedyddio. Ychydig o'i helynt yn ystod "y dyddiau hyny," sydd ar gael. Gwneir nodiad byr am dano unwaith yn myned i Jerusalem gyda ei rieni pan yn ddeuddeg oed (Luc ii. 41—51), ei fod yn cynyddu "mewn doethineb, a chorpholaeth, a ffafr gyda Duw a dynion," ac mai saer oedd ei dad, ac iddo yntau weithio wrth yr un alwedigaeth.

*Athraw.*—Nid yw o bwys neillduol pa "ddyddiau" a olygir. Nid pa *bryd* yr ydym yn byw, ond pa *fodd* yr ydym yn byw yw y pwnc mawr. Paham, Gwilym, y gelwir Ioan yn "Fedyddiwr?"

*Gwilym.*—Gelwir ef yn "Ioan Fedyddiwr," am mai efe oedd gweinyddydd cyntaf yr ordinhad o fedydd. Mae yn wir fod y taenellwyr yn ceisio cael genym gredu fod y dull hwn o fedyddio mewn bodolaeth yn mhell cyn dyddiau Ioan; bum yn darllen cryn dipyn yn nghylch hyn yn ddiweddar, ac yr wyf wedi cael allan i foddlonrwydd fod y fath osodiad yn *hollol* ddisail. Mae yn amlwg nad oes son yn y Beibl am y fath fedydd cyn ymddangosiad Ioan.

*Ifan Meredydd.*—Mae'r Tanellwyrs i gyd yn credu taw bediddio trwy drochiad o'dd Ioan, ond i'n nw? Wel, *all right*, gan i Ioan fediddio Crist, bediddwd e trwy drochiad, ond do fe? Wel, yto te, gan taw Crist yw'n esiampl ni, oni ddylse pawb gymeryd 'u bediddio trwy drochiad? Oblegid "un" bedidd sy.' Gwyddoch chi beth, ma' Cefni yn i rhoi ddi dros fraich i'r Ioan Einon benwan yna. Do's dim digon o ddwr gyda hwna i fediddio trwy drochiad yn un man. Fe ddylse fod digon o ddw'r yn Aquaville, oblegid fe gafodd yr enw, yn ddiau, ar gyfrif y "dyfroedd lawer" sydd yno. Ond dina, rhaid i Ioan Einon gael bod yn danellwr, oblegid un o'r tanellwyrs o'dd i *famgu!*

*Athraw.*—Fe gaiff Ioan Einon lonydd gyda ni, y mae Cefni wedi gwneyd golwg ddigon truenus arno fe. Os yw Ioan Einon yn methu bod yn Fedyddiwr yn *Aquaville*, y mae ein Ioan ni yn fedyddiwr yn *niffeithwch* Judea. Pa fath le, neu wlad, oedd "diffaethwch Judea," Dafydd?

*Dafydd.*—Gwlad ydoedd yn gorwedd i'r dwyrain o Jerusalem, yn nghylchoedd yr Iorddonen a'r Môr Marw. Oblegid ei bod yn cael ei galw yn "ddiffaethwch," nid ydym i ddeall nad

oedd pobl yn trigianu yno, na'i bod ychwaith yn wlad hollol anwrteithiedig. Yr oedd hyd yn nod yn amser Joshua, chwech o ddinasoedd o leiaf yn y "diffaethwch" hwn, sef Beth-arabah, Midin, Sechacha, Nibsan, Dinas yr Halen, ac Engedi. (Jos. xv. 61, 62.)

*Athraw.*—Beth wyt ti yn olygu wrth y gair Edifarhewch, Abram Llwyd?

*Abram Llwyd.*—'Ma *edifeirwch* yn g'lygu galar o herwidd pechode, in nghida phenderfyniad i fiw 'n well. Fi ginta fod rhain yn cadw lle i wella, fel y rhan fwia o ni.

*Athraw.*—Morgan, beth sydd i'w feddwl wrth "teyrnas nefoedd" yn y fan hon?

*Morgan.*—Wrth "teyrnas nefoedd" yma y golygir yr oruchwyliaeth efengylaidd. Yr un peth a feddylir yma ac a olygir mewn lleoedd eraill, pan y dywedir "teyrnas Dduw," a "teyrnas Crist," a "teyrnas." Yr oedd y prophwydi wedi son am y Messiah fel Brenin Dwyfol. Yr oedd yr Iuddewon yn dysgwyl Gwaredydd Cenedlaethol. Er nad oedd Ioan yn llwyr ddeall natur y "deyrnas" hon, eto, yr oedd yn mhell ar y blaen o neb o'r Iuddewon eraill. Yr oedd ei fod yn pregethu "edifeirwch," yn golygu ei bod o natur ysbrydol, ac mai nid trwy weithredoedd y cyfiawnheid dyn ger bron Duw. Yr oedd y deyrnas hon wedi neshau, y Messiah wedi ei eni, ac ar wneyd ei ymddangosiad yn eu plith.

*Athraw.*—Wel, bydded i ni wrando ar lais y pregethwr, ac edifarhau, rhag derbyn o honom dynged yr Iuddewon anghrediniol.

---

ATEBIAD.—Yn rhifyn Hydref, mae tri neu bedwar o ofyniadau i'r bobl ieuainc. Atebaf un o honynt fel y canlyn: Y ddau ddrwg-weithredwr a groeshoeliwyd gyda Christ oeddynt. Fe fu y ddau farw o herwydd eu pechodau, ond un fu farw *yn* ei bechodau. Mae y ddau wedi cael eu croeshoelio, o herwydd iddynt dori y gyfraith, a phan o dan y gosb yna, ni a gawn i un o honynt gael troedigaeth, ac iddo offrymu gweddi y ffydd, ac iddo gael ei wrando yn y fan. Chwi a welwch fod y ddau wedi marw o herwydd eu pechodau, ac mai un o honynt a fu farw yn ei bechodau. Gwel Luc xxiii. 39—33; Ioan xix.; a Matthew xxvii.

*Lansford, Pa.* G. W. JEFFREYS.

---

# Barddoniaeth.

## CWYNFAN GWYNT YR HYDREF.

O, deffro, gysgadur, a gwrando ar gwynfan
Prudd, annaearol, ac ochain y gwynt;
Mae dolef leddf-grynol y storom wrth ruddfan,
A'r swn fel galar-gan yr hen amser gynt;
Bu 'n cario pêr odlau cerddorion y goedwig,
Ac arogl hyfryd y blodau a'r rhos;
Ond heddyw prudd chwydda ei nodau anniddig,
A thaen dew gymylau yn nenau y nos.

Mae swn erch marwolaeth yn nghwynfan yr awel,
A'r blodau yn gwelwi wrth glywed ei chri;
Mae'r goedwig fel pe bae yn crynu gan oerfel—
Yr wybren yspeiliwyd o'i gloewder a'i bri;
A'r ddaear dan feichiau bendithion y flwyddyn--
Y flwyddyn luddedig sydd bron yn ei bedd,
Ddiosga'i haf wisgoedd yn nghanol ei dychryn,
A gwelwedd gauafol orchuddia ei gwedd.

Mae tylwyth Bryn Dedwydd ar aelwyd yn llechu,
Y nain yn gwau hosan, a'r taid yn gwneyd ffon,
Gan adrodd hen chwedlau rhamantus y Cymry,
I gadw'r gymdeithas yn ddifyr a llon;
Ond chwiban y gwynt trwy dwll simne y gegin
Sy'n disgyn ar glustiau yr hen yn ddi-daw,
Fel llais anweledig yn arwydd fod dryghin,
Tymestloedd eu gauaf yn rhwygo gerllaw.

Mewn bwthyn gwyngalchog ar graig uwch y glasfôr,
Mae priod y morwr yn isel ei bron,—
Ei dagrau wyllt-ffrydiant wrth weled y cefnfor,
A chyfyd ei dwylaw ar godiad y don;
Y tonau ewynawg, a hyrddwynt yr hydref,
Gwnant gladdu ei phriod yn ngolwg ei fun;
Ei gwynfan wrth soddi gyrhaedda ei gartref,
Ond ef ni ddychwela byth yno ei hun.

Cwynfanau yr hydref, pwy ynddynt ddolefa,
Ai'r flwyddyn mewn llewyg dan bryder a gwaith?
Ai am gyrhaedd Nebo mis Rhagfyr y beichia,
Neu'r moroedd trag'wyddol lle derfydd ei thaith?
Rhyw ferch fechan ydyw yn mhell oddicartref,
Dan faich o drallodion dynoliaeth yn daer—
Am eistedd i orphwys yn mynwes yr hydref,
I lefain wrth fethu ag aros ei chwaer.

*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

EFELYCHIAD.

O, gwel 'r aderyn yrir draw
O frig i frig, o bren i bren,
Ac ar ei ol erlynydd ddaw—
Ar werddlas gainc gorphwysa ei ben,
Ar uchaf frig y dderwen gref;
Ond oddi yno ei yru gaiff,
Ac yntau, druan, pa le 'r aiff?
Oes llonydd iddo dan y rhod,
Lle yn ei anian y caiff fod?
Eheda 'n union tua'r nef;
Yr ydwyt, dderyn bach, i ddyn
Yn debyg iawn mewn 'stormydd blin;
Oes dim daearol nad yw ef
Yn ceisio ganddo loches gref;
Cais farwol fod i'w gadw 'n fyw,—
Ymofyn noddfa yn mhob perth,
A chan un gwanach gofyn nerth;
Fe gydia, llefa yn ddibaid,
Yn mhethau 'r byd er llanw ei raid,
Cyn gofyn dim i'w Arglwydd Dduw.
*Youngstown, O.* MATHRAFAL.

LLINELLAU

*Cyflwynedig i Mr.* JOHN RICHARDS, *Tonon, ger Caerphili, D. C., ar Farwolaeth ei anwyl wraig, yr hon a fu farw Medi 2, 1876.*

Cyfansoddwyd y llinellau canlynol wedi derbyn llythyr oddiwrth fy nghyfaill J. R., yn fy hysbysu o'r amgylchiad.

Fy nghyfaill, fy nghyfaill, fy nheimlad sydd drosoch,
Mi wn fod eich hiraeth yn fawr ar ol Ann,
Eich anwyl gydmares oedd agos i'ch mynwes,
A dreuliodd flynyddau'n llawn serch yn mhob man;
Yr oedd hi bob amser yn barod a chymorth,
I dori trwy rwystrau a ddaethant i'ch cwrdd;
Ond gelyn dynoliaeth yn nghanol eich mwyniant,
A ddaeth, a symudodd eich hawddgar i ffwrdd.

Y goraf o gyngor a fedraf ei roddi,
Yw i chwi alaru 'n gymedrol am Ann,
Gan gofio ein bod ni yn ddeiliaid byd arall,
A'n symud o'r byd yr awrhon yw 'n rhan;
Ond hyn sydd yn gysur (mae genym addewid),
Nad oes yr un galar i ganlyn ein ol,
Ond i ni 'n wastadol i foli ein Crewr,
Ein Iesu a'n derbyn yn gyfan i'w gol.

Gan hyny, cewch eto gyfarfod a'ch priod,
Yn ddysglaer ei gwisg ac yn siriol ei gwedd,
Pryd na bydd rhaid ofni ymadael byth bythoedd,
Ond llwyr fuddugoliaeth ar angau a'r bedd;
Wel, gyfaill anwylaf, gwnewch leddfu eich galar,
A chodwch eich ysbryd yn uchel i'r lan;
Mae'n wir fod eich plant a chwithau 'n amddifaid,
Ond Duw a ofala am nerth i'r rhai gwan.
*Sherman, O.* W. J. DAVIES (*Eilidnydd*).

TRI PHENILL

*O Glod i Mr.* DANIEL EDWARDS, *Prif Oruchwyliwr Gweithiau Glo Kingston, Pa.*

**Buddugol mewn cyfarfod cystadleuol yn Kingston, Pa.**

Dymunol iawn yw'r celfau cain,
A pheraidd sain y delyn,
Dillyndra pur y lili syw,
A phrydferth liw y rhosyn;
Ond mwy dymunol calon iawn,
Yn orlawn o haelioni,
Er gwasgar da i loni 'r tlawd,
Mal brawd yn nydd caledi.

Ein gwron Daniel Edwards gu,
Sy'n meddu y nodweddion,
A'r gwir ddyngarwr hynaws, hael,
Yn rhoi 'n ddiffael ei roddion;
Mae eglwys Dduw yn seinio'i glod,
A'i osod ef i eistedd,
Gyfochrog â goreuon byd—
O hyd boed ei anrhydedd.

Ein gwron fo mewn parch a bri
Gan Gymry yr Amerig;
Tra byddo haul yn entrych nen,
Fe'i cofir e'n garedig;
Tywallted Duw fendithion hedd
I'w anedd yn gawodydd,—
Mwynhaed hir oes a iechyd da,
Heb bla boed ei aelwydydd.
*Kingston, Pa.* HENRY P. DAVIES.

## PYNCIAU Y DYDD.

POLITICAIDD.—Ychydig o fostio sydd weddus i un o'r pleidiau politicaidd ar ol yr etholiadau diweddar. Ymddengys fod rhwymebau pleidiol yn ymddattod, a dynion yn gweithredu yn fwy annibynol gyda'r tugel—yn tuebu dros y dyn yn hytrach na thros y blaid. Ond mae yn gysur nid bychan i bob dyn gonest ac annibynol, fod llais y werin—y bobl—dros gynal i fyny freichiau'r weinyddiaeth; nid am ei bod yn berffaith, ond am yr ymddengys yn gwneyd ei goreu i ddiwygio'r wladwriaeth oddiwrth y llygredd politicaidd sydd wedi bod yn ei hysglyfaethu. Beth bynag all fod ffaeleddau ein Llywydd, mae hyd yn hyn wedi sefyll yn wrol dros wladlywiaeth onest, dros arian gonest, a thros dynion gonest.

MASNACH.—*Amser caled* yw hi yn mhob man. Ychydig a enillir wrth

symud o un parth i'r wlad i barth arall. Prin yw gwaith, ac ychydig yw'r cyflog yn mhob man; ond yn ddiameu, mae masnach yn edrych i fyny, ac mae amser gwell yn dyfod. Barn unol dynion profiadol yw, ein bod o'r diwedd wedi cyrhaedd y gwaelod yn yr amser caled. Mae cnydau toreithiog y gorllewin—y gwahaniaeth yn ein hallforiadau a'n hatgludiadau, yn ffafriol i'r blaenaf o dros ddau can' miliwn o ddoleri. Allforid mwy o wenith a chig y flwyddyn bresenol nag erioed o'r blaen. Mae'r oll yn dangos fod amser gwell i ddyfod. Croesaw iddo! Credwn y dengys y gwanwyn nesaf fywyd newydd yn holl gangenau masnach a llafur. *Ar yr un pryd*, gwell i berthynasau a chyfeillion beidio gwahodd eu ffryndiau i ymfudo yn bresenol. Mae yr Hen Wlad yn llawn cystal, os nad yn well na'r wlad hon y dyddiau hyn o leiaf.

Y Rhyfel.—Pan yr ydym yn ysgrifenu y llinellau hyn, ymddengys i ni fod "dechreu y diwedd," yn weledig yn y rhyfel mawr dwyreiniol. Mae buddugoliaethau dysglaer y Rwssiaid yn Asia, a gwarchaeaeth llwyddianus Plevna yn Ewrop, lle y mae yn agos i gan' mil o Dyrciaid yn cael eu cadw dan balf yr Arth—mae yr oll yn dangos y rhaid i'r "Dyn Claf" roddi fyny yr ysbryd cyn hir. Ond perthyn iddo "naw bywyd," ac fe all eto ymysgwyd, a pheri gryn drafferth i'r Arth. Mae yn naturiol i bob Cristion, pan mae yn rhaid dewis rhwng dau allu gorthrymus a gwaedlyd, i ddewis Rwssia, a gweddio am i'w harfau fod yn fuddugoliaethus yn yr ymdrech waedlyd bresenol.

Moesol.—Y Diwygiad Dirwestol sydd yn awr yn tynu fwyaf o sylw. Yn ninasoedd mawrion y dwyrain, mae dirwest wedi cymeryd gafael dwfn mewn cymdeithas. Areithiau Murphy a'i gydlafurwyr ydynt y moddion mwyaf amlwg yn nghynyrchiad y dylanwadau mawrion ydynt yn achub miloedd o feddwon ac yfwyr o afael y gelyn. Mae yn werth sylwi hefyd fod y diwygwyr hyn yn pwyso ar y gwrandawyr, fod yr hyn a elwir yn ddiwygiad am resymau o foesoldeb, ac arian, yn un amserol ac annigonol, er gwneyd y diwygiad yn barhaol a thrwyadl, rhaid cael dyn dan ddylanwadau Ysbryd Duw. "Os y Mab a'ch rhyddha chwi, rhyddion a fyddwch yn wir."

Crefyddol.—Mae areithiau grymus Joseph Cook yn Boston, yn parhau i dynu mwy o sylw yn y wlad hon, ac yn Ewrop. Braidd erioed y derbyniodd Materolaeth Anffyddol Germani a Lloegr y fath ergydion syfrdanol, ag a rodda Mr. Cook iddo yn y llithiau hyn. Cyhoeddir hwy yn Lloegr ac yn Germani, ac mae eu cylchrediad yn y wlad hon yn eang iawn. Ceir ynddynt ddysgeidiaeth addfetaf a dyfnaf yr oes, mewn iaith y gall y bobl ei deall gyda darlleniad manylgraff. Cynghorem bob pregethwr a all fforddio i brynu llyfr newydd, i sicrhau areithiau Joseph Cook yn Boston. Mwn o aur ydynt.

*H. O. R.*

---

## ADOLYGIAD Y WASG.

"Y Trysor Teuluaidd" yw enw llyfr newydd allan o wasg T. J. Griffiths. Cynwysa 224 o dudalenau, wedi eu hargraffu yn brydferth. Cynwysa amrywiaeth mawr o bethau angenrheidiol i'w gwybod, ac o ddyddordeb neillduol i bersonau unigol, yn gystal ag i bob teulu. Mae yr amrywiaeth mawr o faterion buddiol a gynwysa y llyfr wedi eu lleoli a'u trefnu yn y modd mwyaf destlus a chwaethus. Ac y mae y gyfrol hon yn cael ei rhoddi yn anrheg i holl dderbynwyr y Drych a dalont am dano yn mlaen llaw. Yr ydym yn rhyfeddu sut y gall y *Drych* roddi anrheg mor werthfawr i'w dderbynwyr, pan y mae y newyddiadur ei hun yn llawn gwerth yr arian a delir am dano.

---

## HANESION CARTREFOL.

Galwad i Weinidog.—Mae y brawd doniol a thalentog, y Parch. Iago W. James, o Hametown, O., wedi cael galwad unfrydol a thaer oddiwrth Eglwys Fedyddiedig Parisville, O. Y mae y brawd yn gofalu am ddwy eglwys yn bresenol, sef eglwys Gymreig Dennison, O., ac eglwys Seisnig Easton, O. Nid oes sicrwydd eto pa un a'i nacaol a'i cadarnhaol fydd atebiad y brawd.—*T. Edwards.*

## YSTADEGAU CYMANFA OHIO A GORLLEWINBARTH PA., AM 1877.

| Yr Eglwysi. | Gweinidog. | Ysgrifenydd. | Bedyddiwyd. | Adferwyd. | Der. trwy Lythyr. | Goll. trwy Lythyr. | Diaelodwyd. | Bu Farw. | Cyfanrif. | Rhif yr Ysgol Sab. | Arian Traul. | Traul Ysg. |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Pittsburgh, Pa. . . . | H. G. James. . | H. W. Jones. . | 35 | 76 | 6 | 5 | 5 | 3 | 225 | 100 | $5 00 | $1 00 |
| Parisville, O.. . . . | . . . | E. T. Davies. . | . | . | . | 6 | . | . | 60 | . | 3 00 | 1 00 |
| Youngstown, O. . . | D. Roberts, . . | J. M. Evans. . | 3 | 4 | 8 | 6 | . | 2 | 105 | 60 | 2 50 | 1 00 |
| Weathersfield, O . . | . . . | T. D. Davies. . | . | 3 | 1 | 9 | 1 | 1 | 35 | . | 1 00 | . . |
| Mineral Ridge, O. . | J. W. James. . | E. Morgan. . . | 2 | 3 | 3 | 18 | 18 | . | 112 | . | 1 75 | . . |
| Niles, O. . . . . . | D. C. Thomas. . | M. Jones. . . . | . | . | 5 | 1 | 1 | . | 37 | 50 | 1 00 | . . |
| Coalburg, O. . . . . | C. Jones. . . . | J. H. Jones . . | 7 | 6 | 4 | 5 | 4 | 1 | 82 | 125 | 2 19 | 1 00 |
| Church Hill, O.. . | J. F. Richards . | D. T. Griffiths. | 14 | 14 | 8 | 9 | 6 | . | 87 | 100 | 3 00 | 1 00 |
| Hubbard, O . . . . | . . . | T. E. Parry . . | . | 4 | 2 | 8 | . | . | 31 | 50 | 1 30 | . . |
| Thomastown, Pa . . | J. T. Jones . . | E. Richards. . . | 9 | 4 | 4 | 3 | . | 1 | 72 | 70 | 4 00 | 1 00 |
| Sharon, Pa. . . . . | T. Thomas. . . | J. Devereux. . | 2 | 11 | 3 | 1 | . | . | 53 | 90 | 2 00 | 50 |
| Wheatland, Pa . . . | . . . | T. T. Burns. | . | 4 | . | 8 | . | . | 20 | 30 | 1 12 | . . |
| Vienna, O . . . . . | . . . | W. Prichard. . | 3 | 8 | 4 | . | . | . | 20 | 60 | 75 | 25 |
| Sawmill Run, Pa . . | . . . | . . . | . | . | . | . | . | . | . | . | . . | . . |
| Brookfield, O. . . . | D. D. Davies . | . . . | 4 | 9 | 4 | 6 | . | 1 | 70 | . | 2 00 | 75 |
| Irwin Station, Pa . . | . . . | Amos Roberts. | . | 1 | 2 | 4 | 1 | 1 | 9 | . | 80 | . . |
| Ebensburg, Pa . . . | D. Evans . . . | W. Leighty . . | . | . | . | . | . | . | 33 | 55 | 1 00 | . . |
| Houtzdale, Pa . . . | W. R. Jones. . | J. L. Jones. . . | 5 | . | 6 | . | 4 | 1 | 63 | . | 4 00 | 1 00 |
| Portland, O. . . . . | Dr. Griffith . . | T. E. Griffith. . | . | . | 1 | 5 | . | . | 20 | 60 | 1 50 | 50 |
| Centerville, O. . . . | Daniel Jones. . | . . . | . | . | . | . | . | . | 34 | . | . . | . . |
| Ebenezer, O . . . . | D. Williams. . | . . . | . | . | . | . | . | . | . | . | . . | . . |
| Bethlehem, O. . . . | . . . | . . . | . | . | . | . | . | . | . | . | . . | . . |
| Karr's Run, O . . . | . . . | . . . | . | . | . | . | . | . | 44 | 50 | . . | . . |
| Pomeroy, O. . . . . | . . . | . . . | . | . | . | . | . | . | 27 | . | . . | . . |
| Mason City, W. V. . | . . . | . . . | . | . | . | . | . | 1 | 14 | . | 1 40 | . . |
| Hartford City, W. V. | . . . | . . . | . | | . | . | . | . | 15 | . | . . | . . |
| Palmyra, O. . . . . | E. M. Evans. . | J. A. Phillips . | 1 | . | 4 | . | . | . | 21 | 65 | 1 10 | 1 00 |
| Dennison, O . . . . | J. W. James. . | W. J. Davies. . | 1 | 1 | 6 | . | 1 | 1 | 36 | 50 | 2 10 | 50 |

E MORDDAL EVANS, *Ysgrifenydd.*

ODDIWRTH Y GOLYGYDD.

*Zanesville, O.*—"Gwyr y Tân," ydynt bron yr oll o'r Cymry yn y lle hwn, ac y maent yn esiampl dda i lawer a drigant yn y fath leoedd. Maent yn ymgasglu at eu gilydd yn Sabbothol ac wythnosol i addoli Duw mewn goruwch-ystafell gyfleus. Ymffurfiasant yn eglwys oddeutu dwy flynedd. yn ol, ac mae undeb, cariad, a thangnefedd, yn ffynu yn eu plith. Yn absenoldeb pregethwr, bydd y brodyr John R. Price, ac Esquire James. yn "traddodi gair y cyngor." Treuliasom Sabboth hapus yn ddiweddar gyda hwynt. Cawsom y personau canlynol yn dderbynwyr i'r WAWR: Edward Jenkins; Thomas D. Williams; John R. Price; David T. Williams, a Samuel Morgan.

*Newark, O.*—Ychydig nifer ydyw derbynwyr y WAWR yma, ond mae yr ychydig hyny o'r iawn ryw, sef y Parch. Mr. Owen, gweinidog yr eglwys Seisnig, a Mrs. Hicks, aelod yn yr un eglwys. Mae pawb sydd yn adnabod yr hen chwaer enwog Mrs. Hicks, yn mhell ac agos, yn gwybod yn dda mai bedyddwraig iawn ydyw. Treuliasom amser difyr yn nghymdeithas Mr. Owen. Mae ganddo gapel helaeth, hardd a chyfleus, a'r achos yn llwyddianus dan ei ofal.

*Columbus, O.*—Tipyn yn ddigalon yr agoshaem at Columbus y dydd o'r blaen. Ni wyddem am un man i alw. Nid oes yma eglwys Fedyddiedig Gymreig. Daeth pethau yn well na'r dysgwyliad. Daethum i adnabyddiaeth ag amryw bersonau o barch a dylanwad yn

y lle. Y brawd tirion John J. Evans, yn unig oedd yn ddigon o Gymro a Bedyddiwr i roddi derbyniad i "Doriad y Dydd."

*Jackson, O.*—Eglwys Seisnig yn unig sydd yma, o dan ofal y Parch. E. W. Lloyd, "Cymro o waed coch cyfan." Amryw Gymry yn aelodau yn ei eglwys, efallai y rhan fwyaf. Mae yma saith o'r newydd am fynu gwybod beth fydd genym i ddweyd yn fisol wrthynt. Gwnaeth y brawd Lloyd ei *oreu* drosom. Nid mynych y cyfarfyddir a brawd fel hwn. Mae rhagolygon yr enwad yma yn obeithiol. Dyma'r *saith* a nodasom: T. J. Davies; T. M. Jones; Rees Williams; D. L. Jones; George W. Davies; Richard Evans, a Richard Evans.

*Oak Hill, O.*—Nid yw y tiroedd y ffordd hon yr hyn y dysgwyliem eu gweled. Cryn esgeuluso wedi bod i wrteithio y tiroedd. Y ffwrneisiau haiarn wedi cael mwy o sylw. Gan fod masnach yr haiarn heb fod yr hyn y bu, mae mwy o sylw yn cael ei dalu i amaethyddiaeth yn bresenol. Ar ein dyfodiad i'r lle hwn, derbyniwyd ni yn garedig gan Dr. Griffith. Mae y Methodistiaid Calfinaidd a'r Annibynwyr yn lluosog yn y lle hwn a'r cymydogaethau—a'r eglwys fach Fedyddiedig ar ben y bryn yn edrych yn bur loew. Bu y brawd Henry Thomas yn garedig drwy ein cymeryd yn ei gerbyd i ymweled a'r brodyr. Cafwyd yngom ddifyr a brawdol. Ymddygodd y frawdoliaeth yn deilwng i olygydd y WAWR. Mae yma wyth o dderbynwyr yn y lle hwn. Mae y brawd David Rees yn selog, yn gryf, ac yn iach yn y ffydd. Byddai yn dda i ni fel enwad, pe byddai genym hefyd fwy o ddynion o fath Dr. Griffith. Brawd tyner galon, ac anwyl ydyw. Ymadawsom mewn teimladau da iawn.

*Centreville, O., &c.*—Dyma faes newydd i ni. Yr oedd y pentref yn rhywbeth fel y dychymygem am dano yn flaenorol. Y brawd D. S. Jones ydyw y gweinidog yn Centreville, Ebenezer, a Bethlehem. Mae yr eglwysi hyn ychydig o filldiroedd oddiwrth eu gilydd. Rhaid ei fod yn gryn lafur i'r brawd Jones i fyned a phregethu i'r cangenau ar bob tywydd trwy y flwyddyn. Ond ymddengys fod y llafur hyny a gwaith dyddiol arall yn dygymod yn dda ag ef. Mae yn edrych yn rhagorol. "Ymlawenha yn nerth ei iechyd." Mae yn y lleoedd hyn dri-ar-bymtheg o dderbynwyr yn awr, yn lle pump. Dengys hyn pa fath dderbyniad a gawsom. Ni wyddom sut i ganmol digon ar y brawd D. S. Jones y gweinidog, a rhai eraill o'r brodyr. Gwelir ei bod yn dechreu gwawrio yn bresenol yn y cymydogaethau hyn. Mae yr eglwysi wedi gwneyd yn rhagorol dros y WAWR yn ol eu rhif. Ar ein ffordd oddiyno tua Pomeroy, cawsom le dymunol i orphwys, ac i ysgrifenu y nodion hyn, ar ddiwrnod gwlawog iawn, yn nhy y brawd serchus John Lloyd Jones, a'i dad parchus Thomas Jones, y Drainllwyn. Er mai Drainllwyn yw enw y ty, mae yn fan hynod esmwyth. Dylent yn sicr gael rhyw enw arno mwy cydweddol a'u tiriondeb a'u tangnefedd.

OWEN GRIFFITHS, *Gol.*

---

*Cyfarfod Chwe'-Misol Bedyddwyr Cymreig Deheubarth Ohio.*—Cynaliwyd yr uchod gyda'r eglwys yn Centerville, Sadwrn a Sul, Hydref 20 a'r 21, 1877. Boreu Sadwrn, am 10, cyfarfu y gweinidogion a chenadon yr eglwysi mewn cynadledd, a phenderfynwyd y pethau canlynol:

1. *Penderfynwyd,* Ein bod yn chwanegu y brawd J. R. Jones, Pomeroy, at Bwyllgor Beddfaen y Parch. D. B. Williams, Ebenezer.

2. *Pen.,* Ein bod yn pwrcasu cardiau i'n cynorthwyo i gasglu at feddfaen y Parch. D. B. Williams.

3. *Pen.,* Ein bod yn anog pawb i dderbyn y WAWR, ei darllen, a thalu am dani.

4. *Pen.,* Fod W. Knox, D. M. Phillips, T. Jones, a'r Parch. T. E. Griffiths, yn Bwyllgor a'r Parch. D. S. Jones yn Llywydd y Pwyllgor hwnw, i ddwyn cofiant allan i'r Parch. D. B. Williams.

5. *Pen.*, Fod y cyfarfod nesaf yn Ebenezer, yn mis Mai, 1878.

6. *Pen.*, Y pwnc i siarad arno yn Ebenezer, Y ddyledswydd o egwyddori y plant yn nghrefydd Crist, a'u dwyn yn ofalus i'r moddion.

7. *Pen.*, Gohirio hyd gyfarfod Ebenezer.

*Moddion Cyhoeddus.*—Sadwrn, am 2, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio, ac yna cawsom bump o areithiau ar Undeb Cristionogol, sylfaenedig ar Eph. 4: 4, 5, 6, ac yr oedd rhai o honynt yn rhagorol.

Am 6, dechreuwyd gan y brawd J. Thomas, a phregethodd y brawd J. R. Jones.

Boreu Sul, am 9, cwrdd gweddi. Am 10, dechreuwyd trwy ddarllen a gweddio gan y brawd T. E. Griffiths, a phregethodd y brodyr J. R. Jones, a J. Thomas.

Am 2, dechreuwyd gan y brawd J. Thomas, a phregethodd y brodyr T. E. Griffiths (yn Saesneg), a J. R. Jones (yn Gymraeg).

Am 6, dechreuwyd gan y brawd T. E. Griffiths, a phregethodd y brodyr J. R. Jones, a J. Thomas. Yr oedd hwn yn gyfarfod da iawn, a'n dymuniad yw i'r Arglwydd ei wneyd yn fendith i eneidiau lawer.

DAVID W. REES, Ysg.

---

## *BEDYDDIADAU.*

*Parsons, Tach. 18, 1877*, bedyddiwyd un chwaer ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, gan ein parchus weinidog, D. T. Phillips. Yr ydym yn teimlo yn ddiolchgar wrth weled ambell un yn dyfod at y Ceidwad.—*T. R. Thomas.*

*Plymouth, Tach. 23, 1877.*—Mr. Gol: Y mae genym i'ch hysbysu fod yr achos da ar ei gynydd yn raddol yn ein plith o hyd, er mai araf yw; ond hyderwn ei fod yn sicr. Bedyddiwyd dau frawd yma y Sabboth diweddaf, sef Tach. 18fed, ac y mae yma un eto yn aros am y fraint. Derbyniwyd yma hefyd ddau drwy lythyrau. Pob llwydd i'r WAWR, yn nghyd a'i olygydd ffydddlawn, a'i ddarllenwyr oll. Yr eiddoch—*E. Jenkins.*

*Mahanoy City, Tachwedd 20.*—Gyda llawenydd o'r mwyaf yr ydym yn eich hysbysu bod Duw yn ofalus am y gangen fechan o'i Seion yn y fan yma. Yn brawf o hyn, mae yn ychwanegu at yr eglwys, rhai y mae genym obaith cryf y byddant ar gael pan y bydd Ef yn gwneyd i fyny ei briodoledd. Boreu Sul, y 18fed, derbyniwyd i gyflawn aelodiaeth ac i fynwes yr eglwys bedwar o eneidiau yn ychwaneg; un trwy yr ordinhad o fedydd, yr hon a weinyddwyd yn anrhydeddus gan ein parchus weinidog, y Parch. W. D. Thomas, yn ngwydd tyrfa dra luosog o bobl mewn oed, ac ieuenctyd, tra yr oedd yr holl dorf yn canu "Molwch yr Oen," &c., yr oedd yn ddarlun ardderchog. Adferwyd un gwrthgiliwr, a derbyniwyd dau trwy lythyr. Y mae un arall eisoes yn aros am ei bedyddio, ac y mae dau o'r afradloniaid yn aros am eu lle; y maent oll yn ffyddlon ac yn ddefnyddiol iawn eisoes, pa faint mwy felly wedi iddynt gael cydwybod rydd ger bron Duw, ac arddangos hyny i'r byd; yr ydym yn gweddio ac yn dysgwyl am i eraill eu hefelychu.

Carwn ddatgan fy nheimlad mewn ychydig bach o eiriau mewn perthynas i'ch cyhoeddiad. Diolch am y WAWR; ond yr wyf yn credu ei bod yn bryd newid yr enw i rywbeth ag sydd yn fwy priodol, oblegid y mae bellach wedi dyfod yn rhy oleu o lawer iawn i'w galw yn WAWR; ac yn wir, fy marn bach i yw, ei bod wedi dyfod mor oleu a haner dydd; ond yr wyf yn sicr nid mor bell mewn oedran a haner ei dydd. Parhaed felly hyd nes byddo y parchus Olygydd, ei gohebwyr galluog, a'i holl ddarllenwyr, wedi cyrhaedd y wlad lle nad oes nos, ond perffaith a thragywyddol oleu dydd, yw dymuniad—*W. G. W*

### CHURCH HILL, O.

*Mr. Gol.*—Cawsom ein breintio nos Fercher, Hydref 17eg, 1877, a chael gwrando darlith gan ein parchus weinidog, y Parch. James F. Richards, ar "Ai y byd a wnaeth ei hun?" yr hon oedd yn arddangos llawer iawn o lafur a diwydrwydd. Da genym weled ein

parchus frawd yn ymdrechu er budd a lles yr ardal. Gobeithiwn y ca oes hir i wasanaethu ei Dduw a'i genedl yn mhethau mawr a phwysig Cristionogaeth.

Y mae yr achos crefyddol yma yn dra llewyrchus yn bresenol. Derbyniwyd saith o'r newydd i'r eglwys Sabboth, Hydref 18—pump trwy fedydd, a dwy trwy lythyrau. Yr oedd un o'r bedyddedigion wedi bod yn aelod gyda'r Annibynwyr am flynyddau; ond trwy drugaredd cafodd oleuni i'w meddwl, a theimlodd ei dyledswydd i ufuddhau i holl orchymynion yr Arglwydd. Y mae y cynulliadau yn lluosog iawn, a Duw trwy ei Ysbryd yn arddel y weinidogaeth yn achubiaeth pechaduriaid.

Amgylchiadau gweithfaol y lle sydd yn wir ofidus yn awr; ond hyderir y tyr gwawr gobaith cyn hir. Felly, gyda llawenydd, yr ydym yn gallu hysbysu yn eich cylchgrawn, fod sefyllfa yr achos crefyddol yma yn llwyddianus iawn—y capel yn rhy fychan i ateb y gwrandawyr. Duw yr heddwch a barhao yn ei ddaioni tuag atom. Yr eiddoch, DIDYMUS.

*Church Hill, O.*—Prydnawn Sabboth, Tachwedd 11eg, 1877. Golygfa hardd: pump o chwiorydd yn cael y fraint o ufuddhau i orchymyn Pen yr Eglwys, trwy gael eu trochi yn y nant islaw y capel. Dymunol yw gweled rhai ieuainc yn dilyn Crist yn mlodau eu dyddiau. Yn un o'r nifer uchod yr oedd un hen chwaer wedi bod am flynyddau yn aelod gyda'r Annibynwyr, ond o'r diwedd wedi teimlo'r angenrheidrwydd am gael ei chladdu gyda Christ yn y bedydd. Yr oedd yma dorf fawr o edrychwyr, ac yn eu plith rai yn chwerthin mewn gwawdiaeth—Iancis yn fwyaf neillduol. Bydded i'w deall gael ei agor, fel y byddo i ardderchawgrwydd a symlrwydd yr ordinhad gael lle dwfn yn eu calonau. Cyflawnodd ein parchus weinidog, Mr. Richards, ei waith yn anrhydeddus. Yr Arglwydd a chwanego fwy-fwy o'r cyfryw ag a fydd yn anrhydedd i eglwys Dduw. Rhywbeth yn gymysg yw ein teimladau fel eglwys yn bresenol—y llon a'r prudd yn bodoli yn yr un fynwes. Llawenydd calon pob Cristion yw gweled Seion yn esgor ar ei meibion a'i merched; ond nid yw ei enaid yn foddlon i'r rhai sydd yn tynu yn ol. Gofidus yw meddwl ein bod fel eglwys wedi gorfod diarddel amryw yn ddiweddar; bydded i ni sydd yn aros gael y fraint o sefyll yn gadarn yn y ffydd; beth bynag fyddo'r rhwystrau daliwn ein gafael. Cariad fyddo'n myned ar gynydd; undeb a brawdgarwch yn gwreiddio'n ddwfn yn mhob calon yw dymuniad AP DAFYDD.

*Spring Water, Wis.*, Hydref 26.—Talodd y brawd S. M. Thomas, gynt o Paris, Ohio, ymweliad â Berlin, Wis., ar y Sabboth olaf yn mis Mehefin. Pregethodd yn rymus dair gwaith yr un dydd i dyrfaoedd gweddol luosog. Ar ol pregethu y boreu aed at afon y Llwynog, a gweinyddodd yr ysgrifenydd yr ordinhad o fedydd ar chwaer ieuanc, ar broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn ngwydd llawer o edrychwyr. Yr Arglwydd a roddo ras iddi barhau yn ffyddlon hyd y diwedd.

ROBERT D. EVANS.

---

## *GANWYD—*

Hydref 16, 1877, yn Silver Plume, Colorado, mab i Philip L. Roberts a'i briod (Eos Menai), sef merch y Parch. O. M. Williams, Central City, Colorado. Gelwir ef Philip L. Roberts.

Medi 8, 1877, yn Carr's Run, ger Pomeroy, Ohio, mab i Mr. Richard a Catherine Johnson, Gelwir ef Henry.

Hydref 19, 1877, yn Carr's Run, ger Pomeroy, Ohio, mab i Daniel a Mary Daniels. Gelwir ef Daniel Henry.

---

## *PRIODWYD—*

Tachwedd 7, 1877, yn nhy Mr. VanDawalker, yn Floyd, N. Y., gan y Parch Owen F. Parry, Remsen, Mr. Albert H. VanDawalker a Miss Maggie J. Roberts, oll o Floyd, N. Y.

Tachwedd 24, 1877, yn Taylorville, Pa., gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, Mr. William Hoskins a Miss Priscilla Jenkins, y ddau o'r lle uchod.

## *BU FARW—*

### COFIANT MR. RICHARD WOOLEY,

*Brier Hill, ger Youngstown, O.*

GAN IFOR EBWY.

Fel y gwelwyd yn flaenorol, bu farw Mr. Wooley Tachwedd 9, 1874. Claddwyd ef yn nghladdfa y Bedyddwyr, Brier Hill, a gweinyddwyd y gwasanaeth crefyddol gan y brodyr D. R. Jones, Youngstown, a J. W. James, Mineral, Ridge, yn Saesoneg; a D. Probert, Newburgh, a D. J. Nicholas, Youngstown, yn Gymraeg. Rhagfyr 6ed, yn yr eglwys lle y bu ef yn aelod am agos i 27 o flynyddoedd, traddodwyd araeth ar ei fuchedd ymarweddol, yn Gymraeg, gan D. J. Nicholas, yn nghyd a phregeth angladdol, yn Saesoneg, gan D. R. Jones.

Ganwyd Mr. Richard Wooley yn Mawrth, 1802. Enwau ei rieni oedd James a Jane Wooley. Gwehydd oedd ei dad wrth ei gelfyddyd, yn byw yn mhlwyf Llandinam, tua dwy filldir o'r dref henafol, Llanidloes, Swydd Drefaldwyn, G. C. Ymadawodd Mr. Wooley a'i gartref pan yn 8 mlwydd oed, a chartrefodd gyda chefnder iddo ar ffarm. Daeth oddiyno i Rhymney, Swydd Fynwy, pan yn 23 ml. oed, ac aeth yn fwngloddiwr. Yn ngwanwyn 1830, priododd â Rachel, merch John ac Elizabeth Williams, Coity, Blaenafon, Mynwy. Yn Hydref, yr un flwyddyn, bedyddiwyd ef a'i anwyl briod yn Pennel, Rhymney, gan y Parch. Morgan James. Adnabyddwyd yn fuan gan yr eglwys fod ganddo dalent fwy na chyffredin; ac er fod yno lawer o hen frodyr profiadol, eto neillduwyd Wooley i'r swydd ddiaconaidd pan oedd ond aelod tair blwydd oed, a bu yn swyddog ffyddlawn a chymeradwy nes ei ddyfod i America, yn 1840. Mae llyfr hanes eglwys Pennel wedi ei gyhoeddi, yn yr hwn y mae cyfeiriadau tra chymeradwyol i Mr. Wooley. Pan ddaeth i America, sefydlodd ef a'i deulu yn Sugar Creek (Western), ger Pittsburgh. Un o'r pethau cyntaf a ddaeth i'w ran oedd cynorthwyo yr ychydig frodyr oedd yno i gael capel *log*, a thalu am dano ar ei orpheniad. Ond yn fuan ataliodd y gwaith, a symudodd ef ac eraill i Pittsburgh, hyd adgychwyniad y gwaith. Pan ddychwelasant yn ol, yr oedd y lle yn fwy poblog, a gorfu iddynt gael capel mwy, a harddach. Yr oedd efe yn flaenllaw yn hyn, ac aeth oddicartref i gasglu, er talu am dano. Yr oedd efe yn ddiacon ffyddlawn a gweithgar am y saith mlynedd y bu yno. Daeth cwmwl du arall dros amgylchiadau y gwaith. Yr ystorm hono a'i gweithiodd ef yn mlaen i Youngstown, Ohio, yn 1847. Yr oedd y Parch. D. Probert, eu gweinidog yn y Western, yn nghyd ag ychydig o frodyr wedi ei flaenu, a da oedd ganddynt ei gael ef atynt, gan fod angen capel ar Brier Hill; a chafwyd un yno yn dra buan, sef capel bach tlws, a thir claddu, a hwn oedd y capel cyntaf ond un (Palmyra) gan y Bedyddwyr Cymreig yn y Western Reserve, O.

Yn 1866, darfyddodd y gwaith glo yn y lle, a symudodd agos yr oll o'r Cymry i wahanol fanau; felly amgylchiadau a'n gorfododd i gael capel yn y dref—capel mwy, a harddach, gyda ffyniant yr oes. Y brawd Wooley oedd y blaenaf yn y mudiad hwn eto, trwy gyfranu a gweithio

Erbyn hyn yr oedd iechyd Wooley wedi pallu—y diffyg anadl a'r *congestive chills* yn ei orchfygu. Yn y fan hon rhaid myned gam yn ol. Yn fuan ar ol ei ddyfodiad i Brier Hill, cafodd *gontract*, yn nghyd a'r swydd o arolygygwr tan-ddaearol, dan y diweddar Lywodraethwr Todd, ac felly cafodd gyfleusdra i ddyfod yn werth ychydig o feddianau bydol mwy na'r cyffredin. Credwyf nad oedd gwell meistr, nac un yn parchu mwy ar ei weithwyr, yn y wlad, na'r un meistr yn cael ei barchu yn fwy gan y gweithwyr, na Mr. Wooley.

*Fel Gwladgarwr*, yr oedd yn selog iawn dros y weriniaeth. Pan ddaeth i hawlfraint gwladol, ymunodd â'r Democratiaid, a gwnaeth a allai gyda hwynt hyd y brad enciliad yn 1860; yna trodd at y Gwerinwyr, a glynodd yn ffyddlawn gyda hwynt hyd ei ymadawiad o'r fuchedd hon.

*Ei Grefyddolder.*—Yr oedd duwioldeb yn amlwg a diamheuol yn nghymeriad cyffredinol ein brawd. Y mae llawer a broffesant grefydd, eto a'u duwioldeb yn amheus; ond nid felly yr oedd ei eiddo ef; a hyn yn benaf oedd yr achos o'r parch dwfn a deimlid tuag ato gan drigolion yr ardal lle yr oedd yn byw, a'r parch a ddangoswyd ar ddydd ei gladdedigaeth mor eglur, gan uchel ac isel, gan y crefyddol a'r anghrefyddol.

*Ei Ffyddlondeb.*—Yr oedd efe bob amser a'i ysgwydd dan yr arch. Nid edrych ar, ac anog eraill i weithio, a'u beio os na wnaent wrth ei fodd, a fyddai ef, ond gweithio ei hun. "Gweithio allan ei iachawdwriaeth ei hun," gan "ddwyn pwys y dydd a'r gwres," a wnaeth efe, a pharhaodd hyd y diwedd yn was da a ffyddlon. Yr oedd yn ffyddlawn yn ei gyfraniadas haelionus at bob achos da; a rhagorai mewn ffyddlondeb i gadw ei gydgynulliad, hyd yn nod yn y blynyddoedd olaf, pan oedd ei iechyd wedi ei adael. Ymdrechai fyned i'r cyfarfodydd, er y aml yn gorfod myned allan cyn eu mwynhau, a chael ei gynorthwyo i fyned adref. Ymdrechodd yn ffyddlon i gasglu digon o rinweddau i'w gadael yn goffadwriaeth ar ei ol. Y mae y blodeuyn yn cau yn yr hwyr, wedi iddo trwy y dydd adael digon o'i arogl ar ol yn yr awyr. Darfyddodd ffyddlondeb ein brawd yn angau—cauodd y blodeuyn; ond mae arogl ei esiamplau, ei gyngorion, ei weddiau a'i elusenau, gyda ni yn perarogli. Y maen coffadwriaeth goreu, a'r blodau mwyaf peraroglus ar fedd y Cristion, yw rhinweddau.

*Ei Ostyngeiddrwydd.*—Yr oedd hyn, gyda ei ffyddlondeb, yn werthfawr, ac yn rhoddi

addurn nefol arno. Ni chlywid ef yn dyweyd un amser, "Wele fi," ond yr oedd yn llawn o'r "meddwl oedd yn Nghrist Iesu," pan ddibrisiodd ei hun, fel yr oedd yn hawdd ganddo "dybied arall yn well nag ef ei hun." Nid oedd gwneuthur da yn orchest annaturiol iddo, fel ag yr oedd angen son am hyny ar ol llaw; ond yr oedd mor naturiol iddo ef, fel nad oedd yn meddwl mwy am glod nag a fyddai iddo am wisgo ei faneg. Yr oedd serch pawb yn yr eglwys tuag ato yn profi ei iselfrydedd. Yn nyffryn gostyngeiddrwydd yr oedd yn byw, ac yr oedd y cyfryw a'i hadwaenai yn gwybod hyny yn dda. Ni chlywid ef yn dyweyd un amser wrth y tlawd, "Eistedd yma islaw fy ystol droed i;" nid oedd ganddo ystol droed ar un llaw, na modrwy aur ar y llaw arall. Adnabyddai ef ei gyfeillion wrth eu duwioldeb diffuant; a lle y gwelai hyny ynddynt, yr oeddynt yn gyfartal yn ei olwg, er gwahaniaethu ychydig mewn ystyron eraill. Prynid ei gyfeillach, ei gyngorion a'i gysuron ysbrydol, "heb arian ac heb werth. Hefyd, yr oedd yn ostyngedig ger bron Duw, gan ymddiried ynddo, a chymeryd ei arwain gan ei gyngor, nes ei gymeryd i ogoniant.

*Ei Sefydlogrwydd.*—Yr oedd, fel pob duwiol arall, a'i deimladau yn newid ar brydiau i oerach a chynesach, oblegid yr oedd a fynai crefydd â'i deimlad; gwelem hyn yn ei wên nefolaidd a'i ddeigryn gloyw, ei ocheneidiau dyrchafol a'i amenau bywiog; canys

"Cof genyf am ei siriol wedd,
Mewn llawer melus gwrdd,
Wrth son am enw Brenin hedd,
A'i gofio wrth ei fwrdd."

Ond yr oedd crefydd iddo ef, nid yn unig yn deimlad, yr hwn sydd gyfnewidiol, ond yn egwyddor sefydlog, gan forio, nid wrth hwyl, ond wrth ager. Os bydd y gwynt o'i du, pob peth yn dda, elai yn mlaen dan ganu; ac os yn ei erbyn y byddai y gwynt a'r tonau, nes oedd yn beryglus i forio, yn mlaen yr elai ef er hyny yn nerth yr ager nefol oedd yn drech na'r gwynt, ac yn gryfach na'r tonau. Nid oedd ef fel rhai a welsom, yn bob peth heddyw, ac yfory yn ddim; heddyw fel seraph yn llosgi gan sel, yfory wedi rhewi gan ddiofalwch; heddyw yn codi mewn mawl fel eryr i'r cymylau, ac yfory wedi rhoi'r mawl heibio, a chrogi y delyn ar yr helyg.

Ni fedrai llwyddiant beri iddo anghofio ei hun, trwy ei godi yn rhy uchel, nac aflwyddiant beri iddo anghofio ei Dduw, trwy ei wasgu yn rhy isel; eithr yr oedd ei gerddediad yn gyson. Ni allai droi gyda phob awel, na gollwng ei afael am ddim; oblegid lle yr oedd efe yn cydio, yr oedd yn cydio a'r galon, ac a'i holl nerth. Yr oedd yn naturiol iddo fod felly, oblegid yr oedd yn ddyn sefydlog, ac angor ei enaid yn gafaelyd tu fewn i'r llen.

Hyfrydwch oedd ganddo wrando pregethau o chwaeth dda; eto ni wnai ddiystyru y doniau cartrefol, trwy redeg ar ol dyeithriaid pwffyddol; y mae llawer a mwy o grefydd yn eu coesau nag sydd yn y pen a'r galon; ânt ugain milldir er clywed rhyw gomet balwnaidd, pan na cherddant gam i ganlyn yr Oen, ond sefydlog gyda'r weinidogaeth gartrefol oedd efe.

Yr oedd yn ofalus fod dysgyblaeth fanwl, eto fwynaidd, yn cael ei chadw yn yr eglwys; ac yr oedd y gofal hwn yn cyfodi oddiar barch diledryw i dy ei Dduw, ac yr oedd yn feddianol ar briodoleddau cymwys at hyn o orchwyl.

*Ei Onestrwydd.*—Pa un a fyddai yn meddwl yn gywir ai peidio, nid oedd neb yn amheu pa un a oedd yn dyweyd ei feddwl ai peidio, canys ni fedrai ar y gelfyddyd o ddyweyd un peth a meddwl peth arall. Yr oedd ei air a'i feddwl yr un; ni wyddai ddim am athroniaeth y traws-sylweddiad. Cas oedd ganddo bob rhagrith, ac yr oedd gonestrwydd yn nod ar ei wyneb, ac yn gadwyn am ei wddf. Ymdrechodd fyw wrth gyngor Duw am 44 o flynyddoedd; yr oedd law-yn-llaw ag ef yn ei fywyd—lygad-yn-llygad ag ef yn ei yrfa; a nos Sul olaf ei fywyd, yr oedd gol-yn-nghol â chyngor ei Dduw yn afon angau, a chymerodd Duw ef i ogoniant; fyny yr oedd ei drysor, ei Dad, a'i Frawd hynaf, yn nghyd a llawer o frodyr hoff oedd wedi blaenu, ac yn eu plith hen frawd hoff, a chyfaill calon iddo am 34 o flynyddoedd, sef yr hybarch anfarwol William Owens, Pittsburgh. Tua 24 o oriau a gafodd o flaen ar Wooley trwy y pyrth aur. Nid oedd ond dechreu'r "gân am farwol glwy," pan er syndod iddynt eu hunain y safodd Wooley yn ei ymyl, gan seinio Haleluia, na bydd diwedd arni mwy. Felly y mae yn bresenol gyda'r Arglwydd. Bu gair Duw yn llusern i'w draed, ac yn llewyrch i'w lwybrau yma. Cafodd oleuni yn nglyn tywyll cysgod angau, a dywedai mai

"Gwaed yr Oen a'i ddwyfol rinwedd,
Yw fy nadl o flaen yr orsedd;
Pan b'wy'n croesi 'r hen Iorddonen,
Gwaed yr Oen a'm gwna yn llawen."

Fel milwr da, aeth adref at ei wobr, ac mae ei fywyd yn adseinio i ni gyngor yr Apostol, "Byddwch ddilynwyr i'r rhai sydd trwy ffydd ac amynedd yn etifeddu yr addewidion." Bydded i'r Duw a'i noddodd ef fod yn nodded i'w anwyl weddw a'n chwaer hoff, ac i'w dri mab a'i ddwy ferch; er oll yn alarus, bydded iddynt rodio llwybrau ffydd eu tad. Heddwch i'w lwch.

MISS ROSE ANKIN.

Hydref 27, 1877, yn Remsen, N. Y., o'r darfodedigaeth, bu farw Miss Rose Ankin, yn 27 mlwydd oed. Claddwyd hi y Llun canlynol yn mynwent Fairchild. Gweinyddwyd ar yr achlysur, yn Saesoneg, gan y Parch. Mr. Short, ac yn Gymraeg gan yr ysgrifenydd,

OWEN F. PARRY.

# HANESION CYMRU.

LLITH O LERPWL.

MR. GOL.—Dywed Solomon, "Nad oes dim newydd dan yr haul." Sut bynag y dylid deall geiriau y doethwr, wele beth newydd yn y dref hon, sef

ARDDANGOSIAD DARLUN BEDYDD CRIST.

Y mae hyn yn sicr o fod yn beth newydd yma. Ni fu y darlun byw a gerfiwyd gan law y celfyddgar E. Goodwyn Lewis erioed o'r blaen yma. Arddangoswyd ef mewn lleoedd eraill. Do, bu dros 200,000 yn ei weled cyn ei arddangos dan haul yn y dref hon. Arddangosir ef yma am y mis hwn. Bum i a'r hen wraig yma yn ei weled un diwrnod, ac er cymaint oeddym wedi ei glywed o ganmol arno, yr oeddym ein dau yn cydweled (am unwaith beth bynag) na fynegwyd mo'r haner. Y mae yn sicr y bydd yr anturiaeth o'i arddangos yma yn llwyddianus. Gellir yn naturiol ddysgwyl fod yn ardal mor boblog a Lerpwl a'r cyffiniau dorf mor enfawr a ymhyfrydant i ymsyllu ar gampuswaith celfyddyd yn y darlun y bu Goodwyn Lewis 13 o flynyddau yn ei astudio a'i baentio. Pwy, serch y tâl o chwech cheiniog, a golla y cyfle i weled darlun a brisir yn werth 6,000 gini rhwng dau frawd. Bydd yn sicr o dynu sylw pob enwad, a phob dosbarth, a phob dyn sydd yn caru y Beibl, neu yn ymhyfrydu i sylwi ar waith cywrain celfyddyd.

Cwrddasom ni ar y ffordd yn ymyl yr arddangosfa â gweinidog parchus i'r Trefnyddion Calfinaidd, ac ar y grisiau, wrth ddisgyn o le yr arddangosiad, â dyn tebyg o ran gwyneb a gwisg i offeiriad Pabaidd; ond pa ryfedd oedd hyny, gan fod yn mysg pob enw o ddynion garwyr celfyddyd. Buasai yn dda genyf glywed fod y darlun prydferth hwn yn cael ei arddangos mewn lleoedd *central* yn y De a'r Gogledd. Bum yn son wrth yr arddangoswr yma am Gymru, gwlad deg y beirdd a'r cantorion, a'r wlad lle y bum inau yn byw; ond nid oeddwn yn deall fod unrhyw drefniadau eto wedi eu gwneyd i ymweled â Chymru. Gresyn hyn. Buasai cael y darlun gwerthfawr hwn i letya am bythefnos yn ddigon i enwogi unrhyw siop mewn lle *central.* Bydd yn gam dirfawr â'n cenedl ni os anghofir Cymru.

Disgynodd desgrifiad da o'r darlun i'm dwylaw y dydd o'r blaen. Gosodaf dalfyriad o hono yma yn yr iaith Gymraeg, er mwyn y bobl sydd yn rhy dlawd, yn rhy bell, neu yn rhy ddwl, i fyned i weled y gwreiddiol:

"Y mae y bedydd yn cynwys lle wrth un o rydleoedd yr Iorddonen, a orwedda ryw naw milldir o bellder o Jerusalem, yr hon sydd ar y chwith i'r darlun, megys hefyd y mae dinas Jericho. Ar y dorlan ar fin y darlun, ar yr ochr yna, y mae darn o fynedfa, trwy yr hon yr oedd un o lwybrau masnach yn y dyddiau hyny rhwng y dinasoedd a'r afon; gellir gweled tyrfaoedd yn ymwthio yn mlaen trwy y fynedfa oddiar ochr Jerusalem at yr afon. Yn agos i ganol y darlun, yn yr eithafion pellaf, y gwelir copa mynydd Hermon, a'i *gap* eira, yr hwn sydd ddeng mil o droedfeddi uwchlaw *level* môr Galilea, ac a ddangosir yn y darlun fel pe byddai haner can' milldir o'r blaendir.

"Ar y dde o'r darlun, er ar dorlan chwith yr afon, y cyfyd mynyddoedd diffrwyth Moab yn gorddysgleirio yn llachar haul goleuni dwyreiniol; pan ar y lan arall, y mae teithwyr gyda'u camelod ar groesi y rhydle ar daith i Jericho, yn cael eu rhwystro am dymor gan ddylanwad yr olygfa ger eu bron. Y mae y Môr Marw o gwmpas deng milldir ar y dde o'r un darlun—y ffordd y rheda y dwfr. Y dyffryn yn y pellder canol a dybir oedd yr hwn o ba un y cododd Dafydd y gareg a laddodd Goliath; a'r gwastadeddau yn y pellder ydynt y rhai ar ba rai yr ymladdwyd cynifer o frwydrau rhwng yr Israeliaid a'r Philistiaid. Ar y chwith o'r darlun, ond ar dorlan dde y ffrwd, y mae yn ymgasgledig dyrfaoedd mawrion o amrywiol genedloedd, ac o bob oed a dosbarth—Iuddewon, Groegiaid, Arabiaid, Assyriaid, Aiphtiaid, Ethiopiaid, Rhufeiniaid, ac eraill; maboed,

ieuenctyd, canol oed, a henafgwyr. Yn mlaendir y darlun y mae rhai o'r offeiriaid Iuddewig yn siarad am y bedydd; penaethiaid a mawrion y genedl Iuddewig yn ddios wedi eu cynhyrfu gan y cyffroad yr oedd "y preswylydd hwn o'r anialwch" yn ei greu. Tu cefn i'r rhai hyn y mae milwyr Rhufeinig. Y mae un yn cario y faner Rufeinig a'r eryr, a'r llythyrenau S. P. T. R., "Senatus Populus Tui Romanus" ("Senedd a phobl Rhufain.") Ar fin yr afon y mae rhai o ddysgyblion Ioan Fedyddiwr ei hunan, yn wryw ac yn fenyw, yn dwys wylio gyda dyddordeb neillduol; un ar ei ddeulin o barch, arall yn y dwfr, yn awyddus pe gallai i estyn cynorthwy; ond oll, i raddau mwy neu lai, dan ddylanwad tystiolaeth eu hathraw, fod un mwy nag ef ei hun yno. Yn y dorf, ar y chwith o'r darlun, mae tri o ddysgyblion cuddiedig Ioan yn gwylio effaith y bedydd ar yr Iuddewon, "a lanwent safleoedd pwysig," yn cynhyrfu dyddordeb mawr. Gweddnodiad arbenicaf y darlun, wrth gwrs, yw y bedydd ei hun. Y mae y Bedyddiwr yn y gwaith o godi y Gwaredwr o'r dwfr, pan y mae gogoniant oddiuchod, dysgleiriach na'r haul, yn ffrydio dros wyneb dyrchafedig y Gwaredwr. Delir y gwrid i raddau gan wyneb Ioan, ac y mae yr *artist* wedi darliwio gyda gallu rhyfeddol y cyferbyniad prydferth rhwng y ddau. Y mae gwyneb Crist yn cael ei weddnodi gan y cariad dwyfol hwnw y gwyddom oedd ei natur —y natur na thorai gorsen ysig, ac na ddiffoddai lin yn mygu; pan y mae Ioan, yr hwn oedd yn byw bywyd garw yn y diffaethwch, yn ymddangos yn fwy dynol a gwrol; eto y mae yr *expression* yn barchus; ac fel y mae yn gwyro dros y Gwaredwr, ymddengys yn llawn ystyriaeth o bwysigrwydd y weithred a gyflawna, ac fel yn amgyffred yn drwyadl ei fod yn bedyddio Un 'nad yw yn deilwng i ddatod carau ei esgidiau;' ac fel y mae pelydr o oleuni yn disgyn o'r nefoedd ar wyneb y Gwaredwr, y mae Ioan yn cael ei lanw âg ofn am eiliad."

Y mae y desgrifiad o'r darlun, er yn dda iawn, eto yn syrthio yn fyr i ddangos y tegwch a'r bywyd a welir wyneb yn wyneb.

LECTOR, yn *Seren Cymru.*

## BEDD CYNDDELW.

Bu llawer yn holi o berthynas i'r golofn goffadwriaethol y sonid am dani ar fedd y gwr enwog a da hwn yn mynwent Glynceiriog. Bellach, fodd bynag, mae Mr. H. Morris (Rhuddfryn), Corwen, wedi ei awdurdodi gan Dr. Ellis, Ruthin, ar ran y teulu, i barotoi beddfaen gorwych yn 10½ troedfedd o uchder, yr hyn a wneir i fyny o chwech o haenau, a'r oll o ithfaen y Berwyn. Canai y bardd—

"Gan Ferwyn caf gynfawredd,
A'i graig fawr yn gareg fedd."

Ni osodir dim ar y feddfaen ond "BEDD CYNDDELW, 1812—1875." Diau y rhydd y golofn foddlonrwydd cyffredinol; y mae medrusrwydd Rhuddfryn yn ddigon o warant am hyny. Bydd yn dda gan bererinion i'r Glyn weled y fan, a diau y deffroir adgofion prudd mewn llawer mynwes wrth gofio na chawn weled gwyneb llawen Cynddelw mwy yr ochr hon.—*Seren Cymru.*

# NEWYDDION Y MIS.

—Dywedir fod olion wedi eu darganfod yn ddiweddar ydynt megys yn pwyntio yn eglur at y fan lle y trengodd Syr John Franklin a'i gymdeithion yn eu hymdrech i ddadrys pwnc y pegwn gogleddol. Mae deng-mlynedd-arhugain bellach er pan fu yr archwilydd enwog farw, a bu y lluaws cwmniau archwiliadol a anfonwyd allan yn analluog i ddarganfod ei weddillion. Digon tebyg y bydd i'r hysbysrwydd newydd hwn esgor ar ymgyrch newydd i'r parthau hyn, er adfeddianu, os oes modd, ryw weddillion o'r ymgyrch, ac yn enwedig y côf-ysgrifau, y rhai a fyddant o werth anmhrisiadwy.

—Ffrainc yw y wlad fwyaf Pabyddol yn Ewrop. Allan o boblogaeth o 35,000,000, nid oes ond tua 1 000,000 yn Brotestaniaid, a 100,000 yn Iuddewon. Yr Eglwys Babaidd yw Eglwys y Llywodraeth, ond caniateir rhyddid i enwadau eraill addoli fel yr ewyllysiant; a derbynia y Protestaniaid a'r Iuddewon roddion gan y Llywodraeth. Derbynia y Protestaniaid o'r trysor cyhoeddus swm blynyddol o $600,-000, sef cyfartaledd o 60 cents ar gyfer pob

Protestant! tra na roddir ond llai na 50 cents ar gyfer pob Pabydd.

—Mae y sefyllfa yn hynod gynhyrfus yn Constantinople. Lledaenwyd hysbysiadau fod y llywodraeth yn ceisio ffurfio cytundeb dirgelaidd â Rwssia, a chyngorid llofruddio y Sultan. Bernir mai gwaith y cyn-Sultan Murad Pasha, ydynt, ac mae deugain o'i wasanaethyddion wedi eu llindagu i farwolaeth o'r herwydd. Chwanegir at y cyffro gan y newydd fod y prophwyd Mahomet wedi ymddangos i'r Sultan, yn gorchymyn iddo wneyd heddwch.

—Hysbysir fod Mr. John Roach, y llongadeiladydd enwog, yn cynllunio i redeg llinell o agerlongau o New York i Brazil. Mae Brazil yn ddigon eang i warantu anturiaeth o'r fath, os trwy hyny y gellir troi cyfran helaeth o'r fasnach i borthladdoedd y wlad hon, a chredir fod hyn yn ddichonadwy. Carai Mr. Roach sicrhau y cytundeb i gyflenwi agerlongau at yr amcan uchod, a diau y gwna efe yr oll yn ei allu er hyrwyddiad y cynllun.

—Yn nghynadledd ddiweddar yr Episcopaliaid, bu ymdriniaeth bwysig parth cysylltiad y canon â phriodas ac ysgariaeth. Gwahardda y canon i'r offeiriaid briodi unrhyw bersonau fyddont wedi cael eu hysgaru o herwydd rhesymau amgen na'r rhai a nodir yn y Beibl. Gorchymyna hefyd wahardd i berson "a fyddo wedi priodi mewn dull gwahanol i'r hyn a ganiateir yn y Beibl, a chan ddysgyblaeth yr eglwys," gyfranogi o swper yr Arglwydd, na derbyn "conffirmasiwn."

—Ar ol llawer o rwystrau ac anffodion, mae y Rwssiaid o'r diwedd wedi cymeryd meddiant o gaerfa a dinas Kars, yn Asia. Cymerasant 300 o fagnelau, cad-ddarpariaethau, arian, &c. Cafodd 5,000 o'r Tyrciaid eu lladd a'u clwyfo, a chymerwyd 10,000 o honynt yn garcharorion, a chollasant lawer o lumanau. Colled y Rwssiaid oedd tua 2,700. Ni chymerodd y milwyr Rwssiaidd ond ychydig yspail, ac arbedasant ddinaswyr tawel, gwragedd a phlant. Cyfarwyddwyd y frwydr yn ystod y dydd gan y Cad. Louis Melikoff. Yr oedd y Grand Duke Michael hefyd yn bresenol. Aeth y blaenaf i mewn i'r ddinas 11 o'r gloch boreu Sul, y 18fed. Ystyrir fod y fyddin Dyrcaidd yn Asia wedi ei dryllio. Mae y Rwssiaid wedi bod i raddau yn llwyddianus yn Ewrop hefyd o amgylch Plevna, ac y mae dysgwyliadau pryderus am newyddion pwysig o'r cyfeiriad hwnw.

—Y mae Gwerinwyr Ffrainc wedi enill goruchafiaeth, a gorfodir MacMahon i blygu i lais y bobl. Dydd Gwener, hysbysodd yr Orleanists yn y Senedd nas gallent mwyach gefnogi y Llywydd yn ei wrthwynebiad i'r *Chamber of Deputies*—sef cynrychiolwyr y mwyafrif o ddinasyddion Ffrainc. Heb gymorth unedig yr Orleanists a'r Bonapartists, yr oedd y weinyddiaeth yn hollol ddirym i orchymyn ailddadgorfforiad y Chambers; ac felly, peth i'w ddysgwyl oedd clywed am ymddiswyddiad De Broglie a'i gyd aelodau yn y weinyddiaeth. Pwy bynag a eilw MacMahon i fod yn gyngorwyr iddo rhagllaw, eglur yw mai ynfydrwydd hollol fydd iddo sefyll yn herfeiddiol yn erbyn ewyllys ceidwaid pwrs y wlad. Mae y Weriniaeth yn ddiogel.

—Yn 1796, codwyd esgyrn Columbus yn eglwys gadeiriol San Domingo, a dygwyd hwynt gyda llawer o seremoni a rhwysgfawred i i'r eglwys gadeiriol yn Havana. Yn awr y mae yr hysbysiad yn dyfod fod blwch yn cynwys esgyrn gwirioneddol Columbus wedi ei ddarganfod yn eglwys gadeiriol San Domingo, gan hyny rhaid mai rhai twyllodrus oedd rhai 1796. Gan na chafodd y darganfyddwr enwog nemawr o heddwch yn ei fywyd, mae yn bruddaidd meddwl na chaiff hyd yn nod ei esgyrn lonyddwch yn y diwrnod diweddar hwn. Mae awdurdodau San Domingo yn cynyg adeiladu cofgolofn uwchben yr hyn a elwir y gweddillion gwirioneddol, ac yn gwahodd llywodraethau eraill i gyfranu at yr amcan hwnw.

—Mae pedair-mil-ar-ddeg o glerigwyr Eglwys Loegr wedi llawnodi gwrthdystiad yn erbyn y cynygiad i oddef gweinidogion Anghydffurfiol i gladdu y meirw gyda gwasanaeth crefyddol yn y mynwentydd perthynol i'r Eglwysi. I ddeall dallbleidiaeth a barbariaeth y gwrthdystiad hwn, dylid cofio fod y mynwentydd hyn wedi eu neillduo yn wreiddiol i'r holl bobl, y rhai oeddynt y pryd hyny yn un eglwys, a bod teuluoedd wedi eu claddu ynddynt, a chan fod aelodau eraill o'r cyfryw deuluoedd yn awr yn Anghydffurfwyr, mae yn annhegwch eu gorfodi i fyned i gladdfeydd eraill gyda'u meirw, neu eu claddu heb wasanaeth eu heglwys eu hun. Hona yr esgobion a chlerigwyr eraill y gwnelai ddiraddio yr Eglwys yn ngolwg y bobl pe goddefid i Anghydffurfwyr ddyfod i'w mynwentydd gyda'u gwasanaeth angladdol eu hun. Mae y fath ddallbleidiaeth eglwysig yn sicr o ddwfnhau chwerwedd y bobl yn erbyn yr Eglwys Wladol, ac i brysuro Dadgysylltiad.

—Pan gafodd Mons. Barodet ei enwi fel ymgeisydd i'r *House of Deputies* yn Paris, ar ol d dgysylltiad diweddar y Ty, gwnaeth anerchiad i'w etholyddion, yn yr hon y traethai yn erbyn y Pab o Rufain, y Jesuitiaid, gwyrthiau Rhufeinig, y gyffesgell, ac ymyriad yr offeiriaid âg iawnderau y bobl. Meddyliwch am foment am y pethau hyn fel prif ddefnyddiau araeth boliticaidd, gan wladwriaethwr Ffrengig yn ceisio pleidleisiau y cyhoedd! Mae yn dadguddio ac yn cyhoeddi math o syniad cyhoeddus yn Paris na feddyliem fod ei gyfryw yn Ffrainc. Sicr yw na wnelai un gwladwriaethwr yn y Talaethau Unedig, o unrhyw blaid, geisio pleidleisiau trwy areithio yn erbyn y Pab, ac amlygu arferion ei offeiriaid.

—Mae hysbysiad wedi ei dderbyn o Peking, China, dyddiedig Hydref 16eg, yn hysbysu fod cnwd yr hydref yn y rhan hono o'r Ymerodraeth wedi troi allan yn fethiant mewn canlyniad i'r sychder, a bod y newyn yn nhair talaeth Shautung, Chihli, a Shansi, yn waeth nag ydoedd y gauaf diweddaf. Mae y rhagolygon yn ddychrynllyd, ond dichon cynorthwy amserol gadw bywydau miloedd o'r trigolion.

—Mae Dirprwywyr Amaethyddol y Llywodraeth wedi derbyn hysbysrwydd y bydd ar Loegr angen 104,000,000 o fwsieli o wenith ar gyfer y flwyddyn ddyfodol; a chreda efe y gall y Talaethau Unedig gyflenwi yr holl swm. Dengys yr adroddiadau o New York fod bywiogrwydd anarferol eisoes yn bodoli yno gyda y gwaith o allforio. Un wythnos yn ddiweddar hwyliodd 89 o longau o bob math o'r porthladd, 77 o'r rhai a gludent 2,401,970 o fwsieli o wenith. Anfonid y rhan fwyaf o'r swm hwn i borthladdoedd Prydeinig; a derbyniai Rotterdam 186,044 o fwsieli, ac Antwerp 134,676 o fwsieli.

—Bu farw y Seneddwr Morton, o Indiana, ar y 1af o'r mis diweddaf, ar ol cystudd blin am amryw fisoedd. Taflodd yr amgylchiad brudd-der dros yr holl wlad, o herwydd am y ddwy-flynedd ar-bymtheg diweddaf bu yn un o brif wroniaid y Weriniaeth. Yn ystod y gwrthryfel mawr daeth i sylw y wlad fel dyn o benderfyniad di-droi-yn-ol, ac un yn meddu gradd helaeth o graffder a gallu llywodraethol. Yr oedd yn 54 mlwydd oed.

—Ymddengys na orphenir y cyfieithiad diwygiedig o'r Beibl am bum' mlynedd eto. Os bydd y cyfieithiad newydd yn gwahaniaethu llawer oddiwrth yr hen, cymer lawer o amser iddo ddyfod i gylchrediad cyffredinol; ac achosir nid ychydig o anghyfleusdra i'r rhai ydynt wedi trysori llawer o'r hen yn eu cof.

—Yn 1865, yr oedd mantoliad masnach rhwng y wlad hon a Lloegr yn $37,000,000 yn ffafr yr olaf. Yn 1876, yr oedd yn $265,000,000 yn ffafr y Talaethau Unedig. Mae masnachwyr Seisnig yn anobeithiol o allu eto gyflenwi y marchnadoedd Americanaidd â'u nwyddau, tra y mae ein llaw-weithfeydd ni mewn sefyllfa i gystadlu â'r llaw weithfeydd Seisnig goreu.

—Teimlwyd amryw ysgydwadau dilynol o ddaeargryn tua 2 o'r gloch foreu y 4ydd o'r mis diweddaf trwy ranau helaeth o New England, New York, a Canada. Yr oedd yr ysgydwadau mor angerddol mewn rhai manau nes ysgwyd tai, dadymchwel dodrefn, a thori llestri, &c.

—Ymddengys nad oes un gobaith pellach am adferiad y Pab. Mae y Llywodraeth Italaidd wedi gosod gallu milwrol cryf o amgylch y Vatican, er atal unrhyw ladradau allent gymeryd lle wedi ei farwolaeth.

—Ar y 1af o'r mis diweddaf, rhoddodd y Llywydd MacMahon, o Ffrainc, giniaw ysplenydd er anrhydedd i'r Cad. Grant. Bu y Cadfridog hefyd gydag ef yn ymweled a'r Senedd.

—Bygythia brenin Abyssinia ymosod eto ar yr Aipht gyda 126,000 o wyr. Dysgwylid y Cad. Gordon yn Massowah i geisio dyfod i gytundeb ag ef.

—Adroddir fod amryw o swyddogion Muhktar Pasha wedi eu condemnio i gael eu saethu, oblegid eu llwfrdra yn mrwydr y 5ed.

—Cyfrifon swyddogol a roddant golledion y Rwssiaid o ddechreu y rhyfel hyd Tachwedd 1af, yn 64,801.

## DYDDANION.

—Mae cyfnewidiad hin yn rhoddi gwaith ymddyddan i ffyliaid.

—Atebiad merch i'r gofyniad, Beth yw neidr? "Peth sydd yn gynffon i gyd, i fyny at y pen."

—"Beth yw hi o'r gloch, Syr?" "Wel, hogyn, nid oes mynyd er pan ddywedais wrthyt." "Gwir, Syr, ond gofyn dros fenyw arall yr wyf yn awr."

—"A ydwyt ti wedi ardystio dirwest?" "Ydwyf, a da genyf hyny." "Wel, oni ddywedodd Paul wrth Timotheus am arfer ychydig win er mwyn ei gylla a'i fynych wendid?" "Do, siwr," ebai y dirwestwr newydd, "ond nid Timotheus yw fy enw i."

—Dywed Josh Billings, "nad oes dim mwy o foddlonrwydd i'w gael mewn lletya adgof yn y fynwes am niwed a dderbyniwyd, nag a fyddai mewn stwffio cacynen a fyddai wedi eich pigo, a'i chadw i edrych arni."

—"Chwaer," ebe hen frawd, yn y gyfeillach, "a wyt yn teimlo yn ddedwydd yn awr?" "Ydwyf," oedd yr ateb, "fel pe bawn yn mynwes Beelzebub!" "Nid yn mynwes Beelzebub yr wyt yn feddwl." "Wel, rhai o'r patriarchiaid, waeth gen i pa un."

—Esgusodai un dyn ei hun am briodi dwy wraig, trwy daflu y fath sarhad ar y rhyw deg, a dywedyd—"Pan yr oedd ganddo ddim ond un wraig, ei bod yn ymladd âg ef; ond pan yr oedd ganddo ddwy, eu bod yn ymladd a'u gilydd."

# Y WAWR.

CYF. II.] IONAWR, 1878. [RHIF. 10.

## EFENGYL Y DEYRNAS.

GAN Y PARCH. A. WILLIAMS, GARN, G. C.

Nid oes dim yn fwy dyddorol i'r efrydydd Beiblaidd, nag olrhain dechreuad, cynydd, a llwyddiant achos crefydd ar y ddaear. Wrth hyn y gwel pa mor bell y mae comisiwn yr Arglwydd Iesu wedi ei gario allan i weithrediad, ac i ba raddau y mae amcanion y Goruchaf wedi eu sylweddoli.

Mae Matthew xxiv. yn cynwys rhagfynegiad o ddygwyddiadau pwysig oedd i gymeryd lle, rhai o honynt yn llawn helbul a thrallod, a'r lleill yn llawn cysur a dyddanwch. Yn nechreu y benod yr ydym yn cael golwg ar Iesu yn ymadael o'r deml am y tro diweddaf. Yr oedd mwy gogoniant yn perthyn i'r deml hon na'r gyntaf, ar gyfrif ei bresenoldeb ef ynddi; Efe yn ei ddysgeidiaeth, ei weddiau, a'i ddysgyblaeth, oedd yn cyfansoddi ei rhagoroldeb ar yr hen; ond yn awr, wele y gogoniant yn ymadael i beidio dychwelyd. Ac wrth ddringo i lechwedd yr Olewydd, mewn canlyniad i waith y dysgyblion yn galw ei sylw at ei harddwch a'i hysblander, y mae yn rhagfynegu ei dinystr llwyr—cyfodiad gau Gristiau i dwyllo—teyrnasoedd yn ymosodod yn erbyn eu gilydd—ei ganlynwyr ef yn cael eu casâu, eu gorthrymu, a'u lladd, yn achos eu crefydd, a llawer o honynt o herwydd gwendid ac ofn, yn cymeryd eu rhwystro, ac yn troi ymaith oddiwrth y ffydd.

Ond er y chwildroadau enbyd yna, yr oedd cadarn sail Duw i sefyll yn sefydlog a digyfnewid. Yr oedd bwriadau y Goruchaf yn nglyn a'r efengyl, i gael eu cario yn mlaen hyd at fuddugoliaeth, er gwaethaf pob ymosodiad. Yr oedd erlidiau, yn lle bod yn foddion i'w lladd, i fod yn help i'w bywhau; yn hytrach na'i hymlid *o'r* byd, i eangu ei therfynau *yn* y byd. Os oedd breninoedd y ddaear yn penderfynu gwasgaru crefyddwyr ar hyd a thraws y gwledydd, yr oedd Brenin y Nefoedd yn benderfynol trwy hyny o wasgaru y newyddion da i blith yr holl genedloedd. (Adn. 14.)

Ffaith ryfedd yn hanes crefydd ydyw, na fu erledigaeth erioed yn anfantais i'w llwyddiant; os oedd erlidwyr yn ei gwrthod yn y naill le, yr oedd meibion tangnefedd yn barod i'w chofleidio mewn lle arall. Mae erledigaeth bob amser yn fanteisiol i dri pheth—profi crefyddwyr; siomi gelynion; a llwyddo crefydd. Mae storm yr hydref yn foddion i ddadwisgo'r goedwig o'i holl ddail crinion fydd yn aros ar y cangau; ond am bob deilen îr, yr hon sydd yn parhau i dderbyn nodd oddiwrth y pren, mae hono yn glynu yn y tywydd, ac yn gwisgo prydferthwch gwyrddleisiol wedi i'r ystorm fyned heibio.

Tebyg i hyn ydyw erledigaethau i grefyddwyr, mae pob un gwan a llac ei afael, yn debyg o ollwng pan roddir prawf tanllyd ar ei grefydd, tra y mae eraill yn gwisgo prydferthwch gwanwynol yn nghanol holl ddrychinoedd

bywyd, am fod gwreiddyn y mater wedi ei gael ynddynt.

Galwn sylw y darllenydd am ychydig at yr efengyl yn wedd ganlynol: I. Yn ei thestyn. II. Yn ei maes. III. Yn ei hamcan.

I. Yr Efengyl yn ei Thestyn. Mae yr ymadrodd "Efengyl *hon*" yn tybied Efengyl arall. Dichon fod cyfeiriad yma at y gau-brophwydi a'r gau Gristau a nodir yn y benod. Gwireddwyd prophwydoliaeth Crist am y rhai hyn, cyfododd amryw o honynt gan gymeryd arnynt wneuthur gwyrthiau; perswadient y bobl i'w dilyn i'r anialwch er bod yn dystion o'u harwyddion a'u rhyfeddodau. Yr oedd eu dylanwad hudoliaethus mor gryf ar feddyliau gweiniaid, fel y dywedir, eu bod yn dadymchwelyd ffydd rhai. Ond gan mai dynol, a dynol yn unig oeddent, nid oedd ffyniant ar eu twyll; buan y gwelwyd eu rhyfyg—y collasant eu dylanwad, y gwasgarwyd eu dilynwyr, ac y syrthiasant hwythau i ddinodedd a gwarth. Ond am yr "Efengyl *hon*," mae i lwyddo. Mae y Trindod Sanctaidd, yn Dad, Mab, ac Ysbryd Glan, wedi gosod elfenau o'i mewn sydd yn sicrhau ei mynediad dros yr holl ddaear.

"Yr Efengyl hon am y deyrnas." Mae tri pheth yn angenrheidiol i gyfansoddi teyrnas, sef brenin, deiliaid, a deddf, ac yn y pethau hyn mae hon yn debyg i deyrnasoedd eraill.

1. *Mae iddi ei Brenin.* Mae dynion yn dyfod yn frenhinoedd fel rheol trwy un o dair ffordd—gwaedoliaeth, trais, neu osodiad. Trwy waedoliaeth yr esgynir i orsedd Prydain. Os bydd Tywysog Cymru byw ar ol ei fam, efe yn ddiau fydd llywydd y deyrnas. Mae gorseddau eraill wedi ei sylaenu ar drais a gormes; breninoedd ac Amherawdwyr yn concro trwy rym y cleddyf, ac yn llinellu eu cerddediad i'w gorseddfeinciau â gwaed y gorthrymedig.

Eraill drachefn a dderbyniant yr anrhydedd trwy osodiad, megys yn yr Unol Dalaethau. Nid nofio i'r fainc ar waed ei berthynasau, na gwaed y lladdedigion a wna y Llywydd, ond ar ei deilyngdod ei hun yr hwn a benderfynir gan eraill. Hyn sydd yn cyfrif fod dynion cymharol dylawd, megys Abraham Lincoln ac eraill, wedi dringo i'r fath safleoedd anrhydeddus.

Pa fodd yr esgynodd Brenin yr Eglwys i'w orsedd? Nid trwy waedoliaeth, ac nid trwy drais, ond trwy ei deilyngdod ei hun, a gosodiad ei Dad. Pe o'r byd hwn y buasai ei freniniaeth, mae yn bosibl y gallasai gwaedoliaeth sicrhau yr orsedd iddo, oblegid yr oedd yn hanu yn ol y cnawd o'r llinach freninol; disgynai o lwyth Judah, ac o dy Dafydd, i'r hwn lwyth y perthynai y goron, yr orsedd, a'r deyrnwialen; ond gan mai ysbrydol oedd ei deyrnas, nid oedd gwaed i fod ynddi o gwbl. Ac o'r tu arall, pe buasai gallu ac awdurdod treisiol yn angenrheidiol, gallasai *hyny* sicrhau yr orsedd i'r Brenin hwn. Yr oedd digon o nerth yn ngwialen ei enau i ymlid ymaith bob rhwystr oddiar y ffordd, a sicrhau iddo fuddugoliaeth ar ei holl ymosodwyr. Nid trwy waedoliaeth, nac awdurdod treisiol yr esgynodd i'w orsedd, ond trwy deilyngdod personol ac apwyntiad Dwyfol. "Minau a osodais fy mrenin ar Seion fy mynydd sanctaidd," a chan ei fod uwchlaw dau beth, sef cyfeiliorni a marw, ni ddaw galwad am ei newid yn dragywydd. "Efe a deyrnasa ar dy Jacob yn dragywydd, ac ar ei freniniaeth ni bydd diwedd."

2. *Mae i'r deyrnas hon ei deilaid.* Deiliaid y deyrnas ydyw pob un a enir iddi. Nid pob un a enir yn Mhrydain, fel myn rhai ddadleu. Camgymeriad peryglus ydyw cyfrif pob un a enir i'r wladwriaeth yn aelodau o'r Eglwys Gristionogol. Mae yr athrawiaeth hon yn fwy llydan na'r un a ddysgwyd gan Frenin Seion, ac yn tueddu yn uniongyrchol i lenwi'r byd a chrefyddwyr digrefydd. Mae miliynau yn Mhrydain heddyw nad oes sail i dybied eu bod yn ddeiliaid i'r deyrnas hon. Gan nad yw y brenin na'r freniniaeth o'r byd hwn, paham yr honir fod y deiliaid o'r byd hwn? Mae deiliaid hon yn cael eu galw a'u neillduo gan y Brenin ei hun, "Yr Arglwydd a chwanegodd at yr Eglwys y rhai cadwedig." Mae y deyrnas yn "greadig-

aeth newydd," yn seiliedig ar egwyddorion newydd, a hollol wahanol i ddim sydd yn y byd hwn; o ganlyniad mae y deiliaid sydd yn ei chyfansoddi yn "enedigion newydd," ac yn "greaduriaid newydd." Maent yn rhywogaeth etholedig, yn freninol offeiriadaeth, yn genedl sanctaidd, yn bobl briodol i Dduw, ac yn mynegu rhinweddau yr hwn a'u galwodd o dywyllwch i'w ryfeddol oleuni ef, yn rhai ni aned o waed nac o ewyllys y cnawd, eithr o Dduw.

3. *Mae i'r deyrnas hon eto ei chyfansoddiad.* Mae ei deddfau fel ei hawdwr, yn sanctaidd, yn barhaol, ac anghyfnewidiol, yr hyn nad ellir ei briodoli i'r un ddeddf arall. Mae pob deddf yn dwyn tebygolrwydd i'w hawdwr; tra bydd dyn yn anmherffaith yn ei gyflawniadau, bydd cyfnewidiad a diwygiad yn nodweddu ei weithredoedd. Mae lluaws o hen gyfreithiau Prydain, y rhai fu unwaith mewn gogoniant a bri, erbyn heddyw yn gorwedd dan haenau o lwch, a diau yn mhen oes neu ddwy eto, fod yr un dynged yn aros y rhai sydd yn bresenol mewn grym. Fel y mae ein seneddwyr presenol yn synu at y diffygion oedd yn eu tadau wrth sefydlu cyfreithiau, felly y bydd eu holynwyr hwythau yn rhyfeddu at y ffaeleddau sydd yn nodweddu amryw o'r rhai presenol Fel hyn y mae deddfau gwladol a chyffesion ffydd crefyddol yn cael eu cyfnewid o oes i oes, oblegid anmherffeithrwydd eu hawdwyr; ond am ddeddfau y deyrnas hon, er bod oesau lawer wedi treiglo ymaith oddiar eu gosodiad mewn gweithrediad, maent mor sefydlog ag erioed. Maent yn gadarnach na'r ddaear, ac yn fwy eu parhad na'r nefoedd; oblegid y "nefoedd a'r ddaear a ânt heibio, ond fy ngeiriau i (medd yr awdwr), nid ânt heibio ddim." Mae eu perffeithrwydd y fath fel y gellir ail adrodd geiriau y Salmydd yn mhen miliwn o flynyddoedd i dd'od, "Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith," "Tystiolaeth yr Arglwydd sydd sicr." "Deddfau yr Arglwydd sydd uniawn," "Gorchymyn yr Arglwydd sydd bur," "Barnau yr Arglwydd ydynt wirionedd, cyfiawn ydynt i gyd." Dyma oeddent yn nyddiau y Salmydd—pan eu seliwyd â gwaed y Brenin. Hyn ydynt yn awr, a hyn fyddant yn oes oesoedd.

Nid yn unig y mae sancteiddrwydd y ddeddf yn sicrhau ei hanghyfnewidioldeb, ond y mae ei pherthynas a'r deiliaid yn sicrhau hyny; os gellir profi fod deiliaid y deyrnas an anfarwol, yna gellir profi ar yr un tir bod y ddeddf sydd yn eu llywodraethu yn dragywyddol, oblegid y mae Brenin y deyrnas yn gosod ei ddeddf yn enaid y deiliaid. "Mi a osodaf fy nghyfreithiau yn eu calonau ac a'u hysgrifenaf yn eu meddyliau." Lle bynag y mae y credadyn, mae "deddf ei Dduw yn ei galon ef, a'i gamrau ni lithrant," ac o ba beth bynag yr amddifedir ef yn angau, caniateir iddo ddwyn y ddeddf hon gydag ef i'r wlad well y mae ei enaid yn ei chwenych.

II. Yr Efengyl yn Maes ei Chyhoeddiad, "trwy yr holl fyd." Brenin y deyrnas hon yw perchenog y ddaear; y mae hyny yn rhoddi hawl i'r deiliaid i wneyd ei enw yn hysbys yn mhob man. Fe gyflawnwyd y brophwydoliaeth hon mewn rhan yn nyddiau yr Apostolion, yn flaenorol i ddinystr Jerusalem. Cyrhaeddodd y newyddion da i gyrau eithaf y byd adnabyddus y pryd hwnw. Yr oedd gwyr bucheddol o bob cenedl dan y nef yn mhlith y rhai a ddychwelwyd ar ddydd y gymanfa, a diau i lawer o honynt gario'r efengyl i'w cydwladwyr; beth bynag gallesid dysgwyl hyn, oblegid arferiad y rhai sydd yn meddwl am ei enw ef, yw llefaru pob un wrth ei gymydog. Heblaw hyny, bu Paul yn teithio llawer gyda'r efengyl dragywyddol, bu yn pregethu yn Arabia, bu ar daith genadol o Jerusalem hyd Illiricum—ar hyd a thraws Asia Leiaf—yn ngwlad Groeg, Crete, Italy, ac fe allai yn Spaen, Ffrainc, a Phrydain, ac aeth rhai o'r lleill i gyfeiriad Persia ac India, &c., ond cyn y daw y diwedd, fe gyflawnir y brophwydoliaeth yn llwyrach nag erioed. Mae yr efengyl fel afon Eden, wedi ceincio i bedwar pwynt y ddaear, a lle bynag y rhed ei dyfroedd, fe gyn-

yrchir bywyd a phrydferthwch ar bob llaw.

Mae y gyfraith wedi myned allan o Seion, a gair yr Arglwydd o Jerusalem, ac er cymaint o *spragio* sydd wedi bod ar olwynion y cerbyd o oes i oes, mae un frawddeg y tu cefn iddi sydd yn sicrhau ei mynediad dros yr holl ddaear, "Ni ddychwel ataf yn wâg," tra bydd y gwlaw a'r eira yn disgyn ac yn cyflawni eu cenadwri. Ni wnawn ddigaloni, oblegid yr un Duw sydd yn sicrhau llwyddiant y naill a'r llall.

III. Yr Efengyl yn ei Hamcan Gogoneddus. Ei hamcan ydyw tystioliaethu "fod Duw yn Nghrist yn cymodi y byd âg ef ei hun heb gyfrif iddynt eu pechodau." Fod Duw wedi caru dynion mor fawr, nes rhoddi ei Fab i fod yn iawn dros eu pechodau. Nid yw y testyn yn hysbysu y bydd i'r dystiolaeth hon gael y sylw a deilynga, a'r derbyniad a hawlia gan bawb yn gyffredinol. Dichon mai fel yr oedd yn nyddiau Noah y bydd yn nyfodiad olaf Mab y dyn; yn y dyddiau o flaen y diluw, yr oeddent yn bwyta ac yn yfed, yn priodi ac yn rhoi i briodas hyd y dydd yr aeth Noah i mewn i'r arch; yr oedd calonau y bobl yn y byd, a'r byd yn eu calonau, yn ddiystyr o'r Duw oedd yn eu rhybuddio trwy ei wâs.

Mae Duw eto yn penderfynu gwneyd yr efengyl yn hysbys i bawb, pa un a dderbynir hi ai peidio; gwaith Duw trwy ei air, ei genhadon, a'i Ysbryd yw hysbysu y drefn, a gwaith dynion yw ei derbyn, ei chredu, ac ufuddhau iddi. Pan ddarffo i'r efengyl gael ei phregethu i bob creadur, bydd hyny yn arwydd fod y diwedd yn agos, a'r amcanion dwyfol wedi eu cyrhaedd. Dyma'r pryd y bydd nos Sadwrn y greadigaeth wedi gwawrio, y gair yn dychwelyd at yr hwn a'i rhoes, y gweision a'r plant yn cael eu galw adref, a holl orchwylion y byd presenol yn cael eu dirwyn i derfyniad.

Mae holl ddarllenwyr y Wawr wedi clywed y dystiolaeth er's blynyddoedd, ond pa effaith a gafodd? Pe deuai y diwedd heddyw, mae Duw yn hollol rydd, a ninau yn gwbl ddiesgus. Ond derbyn y cymod, nid oes gwahaniaeth pa bryd y daw.

---

## "Y BEDYDD CRISTIONOGOL."

*Adolygiad ar Lyfr Ioan Einon, Aquaville.*

GAN H. C. PARRY (CEFNI).

### Llythyr V.

*Rheswm XXXVI.*—"Efallai y deuwn at ein gilydd, er mor anobeithiol yr ymddengys pethau yn awr. Addefa y brodyr dysgedig yn awr, amryw o honynt, fod ystyron eraill i'r gair *baptizo* heblaw trochi."

Yr ydym yn dyfynu y rheswm hwn yn gyflawn, oblegid ei fyrdra a'i bwysigrwydd. Ystyriwn hwn yr unig reswm o eiddo Ioan Einon yn ei lyfr, yn erbyn trochi yn y bedydd, a hyny o herwydd mai ar ystyr flaenaf, benaf, a phriodol y gair *baptizo*, y sylfaenir bedydd trwy drochiad. Profi bod ystyr arall briodol i'r gair, a fyddai yn siglo yr adeilad hono hyd ei sail; er nad allai ei dymchwelyd yn hollol i'r llawr, heb brofi, *nad* yw y gair *baptizo* yn cynwys trochi. Er hyny, byddai profi bod y gair ag iddo ystyr briodol, heblaw trochi, yn gwanhau y ddadl yn fawr, yn yr ochr drochyddol o'r pwnc. Cyn yr ymaflwn yn y rheswm pwysig hwn, gadawer i ni iawn ddeall ein gilydd. Pwy a olygir, gan ein hawdwr, wrth y brodyr dysgedig? Ai y dysgedigion trochyddol, ai ynte y frawdoliaeth ddysgedig o'r Trochwyr a'r Taenellwyr, yn ddiwahaniaeth? Os y cyntaf a ddeallir, sicrhawn y byd, mai camsyniad dychrynllyd yw yr haeriad; a heriwn un dyn byw i brofi, bod un Bedyddiwr dysgedig i'w gael ar wyneb daear, yn addef bod un ystyr i'r gair *baptizo*, heblaw trochi, soddi, suddo, gorchuddio, claddu, neu ryw air ag a fyddo yn golygu gweithred gyfystyr â'r geiriau uchod; neu yn golygu cyflwr cyffelybiaethol i'r hyn ag y dygir gwrthddrych iddo, trwy lywodraeth y weithred uchod. Gelwir yr ystyr flaenaf o'r gair, yn ystyr lythyrenol (*literal*), a'r olaf yn gyffelybiaethol (*figurative*). Er mwyn

deall yn eglur, dywedwn fel hyn: *Baptizo*, yn llythyrenol, yw trochi y dyn mewn dwfr, neu rhyw elfen arall; ond *baptizo*, yn gyffelybiaethol, fyddai trochi ei synwyrau a'i deimladau mewn gwin, hyd feddwdod—*hoi bebaptismenoi*—soaked in wine. Ond nid oes neb mor eithafol ynfyd, a meddwl bod Iesu Grist wedi seilio yr ordinhad o fedydd ar ystyr ffugyrol y gair *baptizo;* yna, wrth reswm, ei ystyr lythyrenol a feddylia ein hawdwr yn ei haeriad.

Os wrth y brodyr dysgedig y golyga Mr. Einon y dysgedigion Taenellyddol, o wahanol enwadau, pell ydym o wneyd y fath gamwri â'r mwyafrif o honynt, a gosod y fath anwiredd yn eu herbyn; tra y gwyddom bod pob boneddwr dysgedig, rhydd, cydwybodol, a diragfarn, o honynt, yn cydnabod nad oes ond un ystyr briodol i'r gair, yn ei synwyr llythyrenol; sef trochi, neu ryw air cyfystyr.

Gwyddom bod ambell i Thorn, ac ambell i Miller, ac ambell i Dale, ac ambell Aquavillian, yn ddigon haerllug i haeru peth mor wrthun, afresymol, a digywilydd, a'r hyn y gwridiai yr ieithydd, y beirniad, a'r duwinydd dysgedigedig a boneddig, wrth feddwl am ei letya yn ei feddwl am haner eiliad! Ond y pwnc yw hyn, A ydyw y brodyr dysgedig ag sydd yn addef bod i *baptizo* ystyron eraill, heblaw trochi, yn meddu ar ryw sail i wneyd hyny, heblaw eu mympwy, eu dallbleidiaeth, a'u haerllugrwydd eu hunain? Os oes, beth ydyw hi? Os nad oes, rhaid hyd yn nod i'r Taenellwyr parchus, cydwybodol, a gonest, edrych arnynt fel gau-dystion yn achos y gwirionedd.

Profwn mai haeriad disail ac anwireddus ydyw y fath addefiad; a galwn yn mlaen wahanol dystion geirwir ac ymddiriedol,'i brofi ein gosodiad.

1. *Y Gair Bapto.*—Gwyddis mai *bapto* yw y gwreiddair, ac mai tarddair oddiwrtho yw *baptizo*. Gwyddis bod y gair *bapto* yn ehelaethach ei ystyr na *baptizo*. Mae *bapto* yn cynwys dau ystyr—trochi, suddo, soddi, fel ei ystyr flaenaf; a lliwio fel ei ail ystyr. Nid yw *baptizo* yn cynwys ond un ystyr; a hyny yw ystyr flaenaf *bapto*. Nid yw *baptizo* byth yn golygu lliwio, am nad yw yn cynwys ond ystyr flaenaf *bapto*. Yr oll sydd yn ystyr flaenaf *bapto* a geir yn *baptizo;* ond ni cheir yn *baptizo* ddim o ail ystyr *bapto*. Felly nid oes un ystyr arall i *baptizo*, heblaw trochi, suddo, soddi, gorchuddio, a geiriau cyfystyr. Ni ddefnyddir y gair *bapto*, byth, am yr ordinhad o fedydd, yn y Testament Newydd; ond *baptizo* a ddefnyddir yn ddieithriad. Paham? Dyma y rheswm: oblegid bod i *bapto* ddau ystyr, pryd nad oes ond un i *baptizo;* a rhag rhoddi dim dyryswch i neb, am feddwl yr Arglwydd, yn yr ordinhad, taflodd yr Ysbryd Glan y gwreiddair a'i ddau ystyr, dros y bwrdd, a mabwysiadodd y tarddair a'i un ystyr, yn y comisiwn. Fel yna, mae ystyr flaenaf *bapto*, yn profi nad oes i *baptizo* ystyr arall, heblaw trochi, a geiriau o gyfystyr synwyr.

2. *Tystiolaeth y Greek Lexicons, a'r Lexicographers penaf.*—Mae rhai o'r *Lexicons* goreu yn fy meddiant; ac yr wyf wedi cymeryd trafferth i gael gweled llawer iawn eraill; ond nid wyf wedi gweled yr un yn rhoi dim ond trochi, a geiriau cyfystyr, fel yr ystyr llythyrenol i *baptizo*. Gwelais a ganlyn mewn perthynas i "Liddell & Scott:" "In the first London and first American edition of Liddell & Scott's Lexicon, it defined baptizo thus: To dip repeatedly, dip under, to steep, to wet, soaked in wine, *to pour upon, to drench*, over head and ears in debt! But in the second edition, the authors have expunged, as incorrect and inadmissible, the definitions to *steep*, to *wet*, to *pour upon*, to *drench*. They have repudiated these as untrue. Now, why have these lexicographers expunged these definitions? Would they have done it if the word ever has those meanings? Surely not. Hence here is the proof that they believe the word cannot bear those definitions; a triumphant argument againt the position of Dr. Rice, and of all advocates of sprinkling."—Manual of Baptism, p. 43. By Dr. Bailey, Pittston, Pa.

Gwn nad oes y fath beth yn yr argraffiad sydd yn fy meddiant o Liddell

& Scott; ac y mae yr argraffiad goreu o hono yn fy meddiant.

Dechreuwn alw y tystion hyn yn mlaen:

1. Scapula: *Baptizo*, trochi, suddo, soddi, neu dansuddo, gorchuddio â dwfr.

2. Hedreicus: *Baptizo*, trochi, suddo, gorchuddio â dwfr.

3. Stephans: *Baptizo*, trochi, suddo, tansoddi, gorchuddio â dwfr.

4. Scheleusner: *Baptizo*, soddi, suddo.

5. Robinson: *Baptizo*, suddo, soddi, trochi.

6. Groves: *Baptizo*, suddo, soddi, tansuddo.

7. Sudias: *Baptizo*, soddi, suddo, trochi.

8. Wahl: *Baptizo*, suddo, tansoddi, ymgladdu.

9. Greenfield: *Baptizo*, suddo, tansuddo, soddi mewn.

10. Donnegan: *Baptizo*, mynych suddo mewn gwlybwr, tansuddo, soddi.

11. Dr. John Jones: *Baptizo*, I plunge, I plunge in water, dip, bury, overwhelm.

12. Rost: *Baptizo*, soddi, suddo, tansuddo.

13. Bass: *Baptizo*, trochi, suddo, tansuddo.

14. Pickering: *Baptismos*, suddiad, trochiad, soddiad.

15. Stokius: *Baptizo*, trochi, suddo mewn dwfr.

16. Leigh: *Baptizo*, trochi mewn dwfr, soddi dan y dwfr.

17. Richardson: *Baptizo*, trochi, soddi mewn dwfr, tansuddo, tansoddi.

18. Trammius: *Baptizo*, suddo, soddi, trochi.

19. Schoeltymius: *Baptizo*, soddi, suddo, baddo.

20. Parkhurst: *Baptizo*, suddo mewn dwfr, neu ymolchi mewn dwfr yn arwydd o buredigaeth.

21. Liddell & Scott: *Baptizo*, mynych drochi; am longau, i'w soddi hwynt. Pass: Ymolchi, mwydo mewn gwin, dros ben a chlustiau mewn dyled, bachgen baddedig mewn gofyniadau.

Gwyr pawb mai ystyr ffugyrol i'r gair ydyw yr hyn a geir yn y deffiniad olaf yn Liddell & Scott, ac na ddylasai Dr. Drisler ei roddi i mewn yn y drefn a wnaeth. Dylasai ei nodi allan yn amlwg, fel ystyr ffugyrol i'r gair. Ond gan fod Mr. Einon yn bur falch o gael ystyron eraill, heb trochi, i'r gair *baptizo*, dilynwn y Thorniaid, y Daleiaid, a'r Aquavilleod, gan ei gymeryd yn ystyr priodol y gair, a'i gymwyso at y comisiwn, i edrych pa fodd y gweithia yno: "Ewch a gwnewch ddysgyblion, gan eu mwydo mewn gwin!" "Ewch a gwnewch ddysgyblion o'r holl genedloedd, gan eu rhoi dros ben a chlustiau mewn dyled!!" Neu, ynte, "Ewch a dysgyblwch yr holl genedloedd, gan eu boddi â holiadau!!!" Dyna ystyron eraill i'r gair *baptizo*, heblaw trochi! "Twt, gebyst," ebe Mr. Einon, "mae yr hen air câs hwnw, trochi, yn well na hynyna." Ydyw, yn wir, Mr. Einon, y mae efe yn well; ac yn well na yr holl ystyron Thornaidd, Daleaidd, ac Aquavilleaidd, mwyaf dysgedig!

Nid oedd hawl gan Parkhurst i roi "golchi mewn dwfr yn arwydd o buredigaeth," fel deffiniad i'r gair *baptizo*; oblegid nid fel duwinydd i esbonio athrawiaeth y gair, eithr fel ieithydd ac ysgolhaig, i egluro ystyr y gair yn syml trwy eiriau cyfystyr, yr ydym yn ymofyn ag ef yn ei Lexicon. Gwyr pob ysgolhaig Groegaidd, nad yw *baptizo* yn golygu mwy na y weithred yn syml—trochi; neu y cyflwr y dygir gwrthddrych y weithred iddo trwyddi—yn orchuddiedig. Nid yw yn cynwys cyflwr na dyben y weithred. Eto i gyd, baddo yw yr ystyr a rydd Parkhurst i'r gair, pan y geilw ef yn olchi mewn dwfr i arwyddo puredigaeth.

Yn awr, dyma un-ar-hugain o brif Lexicons a Lexicographers y byd, yn yr iaith Roeg, yn profi mai unig ystyr llythyrenol y gair *baptizo* yw trochi, neu eiriau cyfystyr. Nid yn unig hyny, ond hefyd nid oes cymaint ag un o honynt yn rhoi y gair *taenellu* i mewn fel deffiniad o'r gair, hyd yn nod yn ei ystyr ffugyrol! Nid oes un Lexicon yn beiddio rhoi *taenellu*, *tywallt ar*, na *dyferynu*, fel ystyr llythyrenol na ffugyrol i'r gair *baptizo!* Yn mha le y mae y Lexicon sydd yn cynwys deffiniad fel hyn: *Baptizo*, to sprinkle, to pour up-

on, to drop, to drizzle? Ni cheir dim un. Ceisiodd Dr. Drisler ei wthio i mewn i un argraffiad o Liddell & Scott yn "Dywallt ar—to pour upon," fel ystyr i *baptizo:* ond cododd y dysgedigion ieithyddol, fel un gwr, i hwtio y fath fryntwch allan o hono, fel na welwyd ef byth mewn argraffiad newydd o'r llyfr. Pe buasai ystyr arall heblaw trochi i'r gair *baptizo*, ni buasai Mr. Einon damaid gwell erddo, oni buasai yr ystyr hwnw yn daenellu! Pe buasai tywallt ar yn ystyr i'r gair, mae cymaint o wahaniaeth rhwng hyny a thaenellu, ag sydd rhwng gwlith y boreu a'r gwlaw taranau trymaf! Nid yr un weithred yw tywallt a thaenellu. Hollol wahanol! Nid all tywallt dwfr ar (*perfuse*) fod yn daenellu (*sprinkle*), mwy nag y gall *perchutheis* fod yn *rantizo!* Gwyr pob ysgolhaig Groegaidd, mai *rantizo* yw y gair am daenellu, ac nid *baptizo*. Rhaid cael *rantizo* i arwyddo yr un peth a *baptizo*, cyn y gwnai ystyr arall heblaw trochi i'r gair *baptizo* y tro i fod yn sail *taenellu* yn y bedydd.

Mae "llais y wlad" Aquavilleaidd yn ymddyrchafu yn erbyn cymeryd ystyron ffugyrol *baptizo*, megys meddwi, mwrddro, cysgu, dwbio, baeddu, a'r cyffelyb; ac eto bron a llewygu o eisiau rhyw ystyr heblaw trochi yn y bedydd; ac am nad allant gael yr un, cymerant air nad yw yn perthyn i un o ystyron y gair *baptizo*—taenellu!

3. *Y Cyfieithiadau Hynaf.*—Edrychwn beth yw yr ystyr a roddai y dysgedigion boreuol hyny, i'r gair *baptizo*, yn ngoleu y geiriau a ddefnyddient i drosglwyddo yr ystyr i'r gwahanol ieithoedd.

Canrif II.—1. Peshito: Amad, trochi. 2. Sahadic: Baptize, trochi. 3. Early Fathers: Tingo, trochi.

Canrif III.—1. Ante-Higronymian: Baptizo, trochi. 2. Basmuric: Baptize, trochi. 3. Coptic: Tomos, trochi.

Canrif IV.—1. Ethiopic: Tamaka, trochi. 2. Vulgate: Baptizo, trochi. 3. Armenian: Mugurdel, trochi.

Canrif VI.—1. Philoxenian: Amad, trochi.

Canrif VII. — 1. Arabic: Amad, trochi.

Canrif VIII.—1. Georgian: Nathlistemad, trochi

Dyna gyfieithiadau o'r gair *baptizo* am y saith ganrif cyntaf o'r oes apostolaidd, i gyd yn cymeryd trochi fel ei unig ystyr priodol yn y comisiwn! Ai tybed nad oedd y dysgedigion hyny yn meddu mwy o fantais i'w ddeall, pan yr oedd y Roeg yn iaith llafar, nag yw dysgedigion Aquaville, yn mhen mil o flynyddoedd ar ol i'r iaith hono farw, fel iaith llafar? A ydyw dysgedigion Aquaville wedi cael allan ryw ystyr newydd iddo, ag oedd yn llechu dan gareg dros yr holl oesoedd, hyd nes y cododd y *ddraenen* ef i'r golwg? Ni wyddai yr hen gyfieithwyr, o ddyddiau yr apostolion hyd yr wythfed ganrif, ddim am dano.

4. *Y Tadau Eglwysig Boreuaf.*—Beth a ddywedant hwy?

1. Barnabas, cydymaith yr Apostol Paul: "Awn i lawr i'r dwfr yn llawn o bechod a llygredd; ond deuwn i fyny drachefn gan ddwyn ffrwyth yn ein calonau, a chenym yr ofn a'r gobaith yr hyn sydd yn Nghrist Iesu."

2. Hermas, cyfaill Paul: "Aent hwy (yr apostolion) i'r dwfr gyda hwynt (y bedyddiedigion), a deuent i fyny drachefn."—Simili. IX., v. 157.

3. Polycarp, dysgybl ac olynydd Ioan yr Apostol: "Claddu y corph yn y dwfr, fel y claddwyd Crist mewn bedd."

4. Papias, dysgybl arall i Ioan: "Soddir hwy (y bedyddedigion) yn y dwfr, fel y gallont gael cyfodi drachefn trwy adgyfodiad Crist." — Eusebius' Church Hist.

5. Ignatius, dysgybl arall i Ioan: "Myned i lawr i'r dwfr yn y bedydd sanctaidd a ddengys suddiad ein Prynwr dan bwys ei fawr ddyoddefaint."—Ibid.

6. Justin Martyr, O. C. 140: "Oblegid yn enw Duw Dad ac Arglwydd y cwbl, a'n Hiachawdwr Iesu Grist, a'r Ysbryd Glan, hwy a *faddir* yna yn y dwfr."—Apologia 1. 61.

7. Tertulian, O. C. 204: "Am fedydd ei hun, y mae ynddo weithred gnawdol, yn yr hon ein suddir mewn dwfr; effaith ysbrydol yr hyn yw ein rhyddhau oddiwrth bechod."

8. Clement, o Alexandria, o. c. 206: "Arweiniwyd chwi i faddon (*bath*), fel y rhoed Crist mewn bedd, a throchwyd chwi deirgwaith, i arwyddo claddedigaeth Crist dridiau."—Adkins on Bapt., p. 127.

9. Basil the Great, o. c. 330: "Efelychu claddedigaeth Crist trwy y bedydd; oblegid mae cyrph y rhai a fedyddir yn debyg pe wedi eu claddu mewn dwfr."

10. Cyril, o Jerusalem, o. c. 370: "Oblegid fel y mae efe, yr hwn a sodda yn y dwfr ac a fedyddir, yn cael ei amgylchu o bob ochr gan y dwfr, felly hefyd y rhai a fedyddir gan yr Ysbryd Glan a hollol orchuddir."

11. Jerome, o. c. 370: "Yr ydym yn trochi deirgwaith, fel yr ymddangoso un ordinhad y Drindod."—Ibid.

Gallem ddyfynu yr un ystyron allan o ysgrifeniadau Philo yr Iuddew, Dionysius, Tatian, Cyprian, Ambrose, Augustine, Chrysostom, a lluaws eraill; ond ymataliwn, gan y dengys yr hyn a ddyfynwyd, mai trochi, suddo, claddu, gorchuddio, a'r cyffelyb, oedd yr ystyr a roddai y tadau hyn, o ddyddiau yr apostolion hyd y bedwaredd ganrif, i'r gair *baptizo*. A ydyw dysgyblion Aquaville, yn yr oes hon, yn gwybod yn well na dysgyblion uniongyrchol yr apostolion? Gwrided haerllugrwydd ei hun!

Cyprian, Esgob Carthage—o. c. 248–257—oedd y cyntaf a wyrodd oddiwrth y rheol ddwyfol, trwy arwyddo ei gydsyniad i dywallt dwfr ar Novatian, y *clinic* (yr afiach), gan Fabian, Esgob Antioch. Ac fel hyn y dechreuodd y llygredd brwnt hwn: Yr oedd Novatian yn ymgeisydd am fedydd (*catechumen*) gyda Fabian, ac yn fawr iawn yn ei ffafr ef. Cymerwyd Novatian yn glaf iawn cyn ei fedyddio, ac mor glaf, nes y tybid mai marw a wnai. Gan bod y fath bwys ar fedydd yn yr eglwys y pryd hyny, ofnid mai i uffern yr aethai, os marw heb fedydd. Nid allai oddef ei drochi gan ei wendid. Daeth i feddwl Fabian, os y gwnai tywallt dwfr arno yn ei wely nes ei orchuddio ganddo y tro yn lle ei drochi, y gallesid gwneyd hyny. Ni feiddiai Fabian wneyd y fath beth, heb gydsyniad Cyprian, yr hwn oedd yn hynach ac yn fwy cyfrifol nag ef; oblegid bod y fath beth yn hollol newydd, ac yn groes i arfer yr eglwys. Ysgrifenodd lythyr at Cyprian ar y mater, gan roddi desgrifiad llawn a manwl o'r amgylchiad, a gofyn ei farn ef ar yr achos. Yn atebiad i'r llythyr rhyfedd hwnw cawn y geiriau rhyfedd hyn: "Gofyni i mi, anwyl fab, beth a feddyliwyf o y rhai hyny, y rhai mewn afiechyd a gymerant yr ordinhad sanctaidd; pa un a ystyrir hwynt yn Gristionogion iawn, tra nad ydynt wedi eu golchi (*loti*) yn y dwfr achubol, ond ei gael wedi ei dywallt (*perfuse*) arnynt. Yr ordinhad ddwyfol, pan fo angenrheidrwydd yn rhwymo, y caniata Duw ei faddeuant, a chwtogiad ar bethau dwyfol, i roi yr oll ar y credinwyr."

Dyna y bedydd cyntaf a weinyddwyd erioed heb drochiad; ac nid taenelliad oedd hwnw, ond tywalltiad dwfr (*perfusi*) ar Novatian gan Fabian, yn nghanol y drydedd ganrif!

Gwellhaodd Novatian o'i afiechyd, ac ordeiniwyd ef gan Fabian yr Henadur; ond yr oedd yr esgobion eraill yn anfoddlon iawn i'w gydnabod yn fedyddiedig o gwbl. Cornelius, Esgob Rhufain, a ysgrifenai at Fabian, y fod yr holl esgobion, a nifer fawr o'r lleygwyr, yn erbyn i Novatian gael ei ordeinio yn Henadur. oblegid nad oedd yn gyfreithlon i neb wedi ei wlychu felly ar ei wely, yn lle ei drochi mewn bedydd, gael ei dderbyn i swydd eglwysig.—Neander's Church Hist., vol. i., p. 256.

Dyna ddechreuad yr holl ddadlu ar fedydd. Ni cheir gair o son am ddadl ar fedydd, o'r oes apostolaidd hyd ddydd Cyprian; oblegid cyn hyny, nid oedd ond un syniad yn yr eglwys am fedydd; a hyny oedd trochi, a dim arall. Ond o ddydd Cyprian hyd yn awr, ceir dadlu dibaid ar fedydd. Gofynaf i bob synwyr, os mai taenellu oedd y dull o weinyddu bedydd yn yr oes apostolaidd, ac oddiyno hyd ddydd Cyprian, paham yr oedd yr eglwys yn dadlu yn erbyn y dull hwn, yn achos Novatian? Yr oedd yr eglwys yn edrych ar dywallt dwfr yn rhywbeth

heb fod yn fedydd; ac yn edrych ar drochi mewn dwfr yn fedydd; a Cyprian ei hun yn cydnabod mai bedydd *byr* oedd tywallt dwfr ar y dyn; ac nad oedd yn gyfreithlon, ond mewn achos o angenrhaid. Os taenelliad oedd bedydd yr apostolion, yr oedd rhyw gyfnewidiad yn y dull wedi dyfod i'r eglwys. yn rhywle rhwng dyddiau yr apostolion a dydd Cyprian; oblegid eglur yw bod dull Cyprian yn newydd, yn groes i arfer yr eglwys. ac yn wrthodedig ganddi. Y cwestiwn yw, Pa bryd y daeth trochi yn lle taenellu i mewn i'r eglwys? Os na ellir profi iddo ddyfod a'r pryd y daeth, rhaid i ni gredu ei fod yn yr eglwys er dyddiau yr apostolion. Mae hyn yn profi mai trochi yw yr ystyr a roddai yr apostolion, y tadau apostolaidd, a'r eglwys gyntefig i'r gair *baptizo,* hyd gyfodiad cyfeiliornad Cyprian! Trochi yw yr ystyr a roddai yr enwog Calvin, Luther, Wickliffe, Whitfield, Wesley, Dr. Owen, Doddridge, Macknight, Charles o'r Bala, Baxter, yn nghyd a'r holl ddiwygwyr a'r duwinyddion o fri, yn mhob gwlad, a phob oes, a phob enwad crefyddol, drwy y byd i gyd, o ddyddiau y tadau eglwysig hyd heddyw! Ond am yr ystyron newydd, a rydd dysgedigion Aquaville iddo. nid yw y dirgelwch rhyfedd hwnw wedi ei ddatguddio eto! Ond pan y daw i'r golwg, teifl fedydd *byr* Cyprian i'r cysgod bythol!!

Mae Dr. Halley yn dyweyd, mai gwneyd y naill beth i fod yn y llall, yw *baptizo.* "We believe that *baptizo* is to make one thing to be in another, by dipping, by immersing, by burying, by covering, by superfusion, or by whatever mode effected, provided it to be in immediate contact."—*Halley on the Sacraments.* Yr ydym yn foddlon i'r deongliad, gyda nodi, nad all pob peth a wneir felly fod yn *baptizo;* oblegid, nid yw rhoddi pelen yn y dryll, yn *baptizo* y belen hono, er ei fod yn ei chuddio o'r golwg yn y dryll. Mae trochi y belen mewn dwfr, mewn mwd, neu mewn rhyw elfen hydwyth, yn *baptizo* y belen, ond gofalu am ei chael yn orchuddiedig ynddi. Mae rhoi dyn mewn dwfr, nes ei orchuddio, yn *baptizo,* ond ni all baban gael ei roi yn y dwfr felly trwy daenelliad; yna nid yw taenellu yn *baptizo.* Dywed Dr. Carson, mai *baptizo* yw gwneyd yn drochedig. Eglura y gosodiad, trwy ddangos bod y terfyniad *zo,* i'r gair *baptizo,* yn rhoi ffurf achosawl (*casual form*), iddo; felly bod *bapto* yn arwyddo trochi; ond bod *baptizo* yn arwyddo *gwneyd yn drochedig.* Dywed Dr. Dale, nad yw *baptizo* yn golygu *gweithred,* eithr yn golygu *cyflwr.* Gofynwn i'r Dr. Dale, pa gyflwr y mae *baptizo* yn olygu, ond y cyflwr y gesyd *baptizo* y dyn ynddo? Beth yw *baptizo?* Rhoi dyn dan y dwfr, yn ol Dr. Halley. Cyflwr y dyn dan lywodraeth *baptizo,* yw *baptizona*—"*what is immersed.*" Greenfield Lexicon. Y cyflwr a arwydda *baptizo,* ynte, yw *trochedig.* Yr unig ystyr i *baptizo* yn yr ordinhad o fedydd yw *trochi,* fel *gweithred; rhoi trochiad,* fel *modd;* a gwneyd yn *drochedig,* fel cyflwr. Yn hyn y mae Dr. Halley, Dr. Dale, a Dr. Carson yn cydgyfarfod!

5. *Ystyron Ffugyrol y Gair Baptizo.*—Cyn y sylwn ar yr ystyron ffugyrol hyn, rhoddwn yr ystyron llythyrenol sydd i'r geiriau perthynol i'r berfau *bapto* a *baptizo,* er mwyn dangos nad all yr ystyron ffugyrol, a roddir i'r gair *baptizo,* byth gymeryd i mewn y syniad o daenelliad. *Bapteon,* one must dip or dye; *baptizo,* to dye, to immerse, to sink, to plunge, to overwhelm, to submerge; *baptisis,* a dipping, a bathing, a washing, a drawing water; *baptisma,* that which is dipped; *baptismos,* dipping, immersion, overwhelming; *baptisterion,* a bathing-place, a swimming-bath; *baptistes,* dipper, immerser, dyer; *baptos,* dipped, dyed, bright colored; *bapto,* to dip, to dip under, to dip in dye, color, steep; to fill by dipping in, ship dipped, sank; to plunge, to immerse.—See Liddell and Scott. Greenfield, Robinson's Lexicons.

Rhydd y Lexicons ystyr flaenaf *bapto,* yn drochi, a'i ail ystyr, yn lliwio. Dangosant hefyd mor eglur a'r haul ganol-ddydd hâf, mai lliwio, trwy drochi y peth a liwir yn y lliw, a olyga

y gair, pan ei arferir am liwio—to dip in dye, color, steep. Pan arferir y gair i osod allan y syniad o olchi, golchi trwy drochi a olyga. Yn mhob cysylltiad yr arferir y gair, mae y syniad o drochi yn anwahanadwy oddiwrtho. Am *baptizo*, nid oes ond un ystyr llythyrenol iddo—trochi. Yn awr, nis gall un ystyr ffugyrol fod i'r gair, yr hwn ag y mae ei ystyr llythyrenol yn drochi, heb gynwys y syniad o drochi. Nis gall ystyr ffugyrol y cyfryw air gynwys syniad croes i drochi. Gan mai trochi yw ystyr llythyrenol y gair, rhaid i drochi fod yn llywodraethu ystyr ffugyrol y gair. "The word in its literal sense must guide all its figurative applications. The explanation of the figure must conform to the literal meaning, but the literal meaning can never bend to the figurative. The latter, indeed, may assist us in ascertaining the former; but when the former is ascertained, the latter must be explained in accordance with it." *Carson on Bapt. p. 104.* Dyna y rheol dragywyddol ar ystyr ffugyrol y gair:—"*The figure must conform to the literal meaning.*"

Rhaid i'r ystyr ffugyrol fod yn llywodraethedig gan yr ystyr llythyrenol. Yn ol y rheol hon, yn neddf ffugyrau, rhaid i bob ystyr ffugyrol i'r gair *baptizo* gynwys y syniad o drochi, a dim arall; pan mai trochi yw ystyr llythyrenol y gair. Nid all y syniad o drochi gynwys y syniad o daenellu; felly nid all taenellu fod yn un ystyr ffugyrol i'r gair sydd yn llythyrenol yn golygu trochi. "Dipping is not baptizing," medd y Thorniaid a'r Daleiaid. Nis gall *dipping* fod yn *baptizing*, os nad yw *baptizing* yn *dipping*. Ond os yw *baptizing* yn *dipping*, nis gall *baptizing* fod yn ddim ond *dipping*, yn llythyrenol neu yn ffugyrol. Mae gan Thorn o Winchester, haner cant o ystyron ffugyrol i'r gair *baptizo*, ond nid all yr un o honynt beidio cyfleu y syniad o drochi, a bod yn ystyr i'r gair. Pe peidiai a chyfleu yr ystyr hwnw, peidiai a bod yn ystyr i'r gair *baptizo*. Cymerwn engreifftiau oddiwrth rai, o'r llawer ystyron hyny:—*Baptizo*—meddwi, synu, dwbio, lliwio, panu, llofruddio, trybaeddu, cysgu, gorfoledd! Pa synwyr a ellid gael i'r ystyron uchod, a chymeryd y gair taenellu i representio y gair *baptizo?* Barned pob dyn synwyrol. Beth sydd mewn taenellu, yn debyg i feddwi? neu mewn meddwi yn debyg i daenellu? Beth sydd mewn llofruddio yn debyg i daenellu? Beth sydd mewn cysgu yn debyg i daenellu? Neu, beth sydd yn yr un o'r ystyron hyny yn debyg i daenellu? Dim! A rheswm da am hyny yw, oblegid nid yw *baptizo*, mewn un ystyr, yn golygu taenellu. Os gofynir beth sydd mewn meddwi, llofruddio, cysgu, neu rhyw ystyr arall i'r gair, yn debyg i drochi? Atebir yn uniongyrchol,—llywodraeth hollol y weithred ar gyflwr y dyn. Fel y mae y bedyddiedig yn hollol dan lywodraeth yr elfen ddwfr, pan y trochir ef ynddi; felly y mae y dyn yn hollol dan lywodraeth meddwdod, llofruddiaeth, cwsg, synedigaeth, gorfoledd, a'r cyffelyb—yn orchuddedig gan y cyfryw pan y byddo yn y cyflwr hwnw. Dyna yw *baptizo*, fel cyflwr, gan Dr. Dale. Ond nis gall taenelliad byth osod dyn mewn cyflwr gorchuddedig; felly, nid all fod yn fedydd, yn ol synwyr ffugyrol y gair *baptizo*. Gellir gwlychu dyn trwy daenelliad trwm; ond ni ellid ei *orchuddio;* pryd mae *baptizo* yn golygu gwlychu trwy *orchuddio* mewn elfen. Gwn na charai Mr. Einon weled adnod fel hyn: "Myfi wyf yn eich *panu* mewn dwfr i edifeirwch, ond efe a'ch *dwbia* yn yr Ysbryd Glan, ac mewn tân." Dyna fyddai rhoddi ystyr ffugyrol i'r gair *baptizo;* a byddai hyny yn fwy teg, rhesymol, a chydweddol ag ystyr *baptizo*, na fyddai adnod fel hyn: "Oni wyddoch chwi, am gynifer o honom ag a *daenellwyd* yn Nghrist, ein *taenellu* ni i'w farwolaeth ef. Claddwyd ni gan hyny gydag ef trwy *daenelliad* i farwolaeth." Eto, dyna yr ystyr y myn ef gael i'r gair *baptizo!* A fedr pobl Aquaville wrido, dywedwch?

Yn awr, yr ydym yn terfynu ein sylwadau ar y Rheswm hwn o eiddo Mr. Einon, gyda nodi y tair ffaith ganlynol:—Nad oes dim un o'r Trochwyr dysgedig wedi breuddwydio erioed am

un ystyr i'r gair *baptizo*, heblaw trochi, neu y cyffelyb ystyr:—Nid oes yr un Lexicon yn rhoddi un ystyr gwahanol i drochi, a'i cyffelyb, i'r gair:—Nad oes gan y Taenellwyr yr un sail i roi ystyr arall, heblaw trochi, a'r cyffelyb, i'r gair, oddiwrth ei ystyr lythyrenol, nac oddiwrth ei ystyr ffugyrol. Mae y ffeithiau uchod yn profi, mai trochi, neu y cyffelyb, yw unig ystyr *baptizo;* ac nad all taenellu (*rhantizo*), fod yn un ystyr iddo. Gwell i Mr. Einon gadw dadl yr ystyron yn ei gwd, hyd y mil blynyddoedd; oblegid, tybia rhai y daw rhyw oleuni newydd ar y pwnc y pryd hwnw; a bydd y Testament Newydd wedi ei daflu dros y bwrdd, fel Jonah i'r môr, a'r iaith Roeg wedi newid ei hystyr; fel y bydd llonyddwch mawr! Hyd hyny, *nonsense* yw dadl yr ystyron.

Nodiad.—Boddlon wyf i'm cyfaill serchog, y Parch. R. H. Evans, Hyde Park, fy *mhanu* yn ei ysgrifau dysgedig; ond beth mae hyny yn brofi? Ceiff "*Llais y Wlad*"—gwlad Aquaville—ddifrïo Cefniaeth, yn y *Cenhadwr* faint a fyno; ond beth mae hyny yn brofi? Profi pwnc sydd eisiau.

## LLITH I'R BOBL IEUAINC.

### Rhif II.

### Y DDYLEDSWYDD O WEDDIO.

GAN CALLESTR.

Fy anwyl frodyr ieuainc: Yn fy llythyr cyntaf, ceisiais ddangos fod yn ddyledswydd arnom i addoli Duw mewn gweddi. Yn y llythyr hwn, ceisiaf gymhwyso rhai hyfforddiadau er bod yn llwyddianus wrth orsedd gras. Dywedais hefyd fod ein hanwyl Iesu yn gweddio yn fynych, ac yn siarad llawer iawn am weddio, a pha fodd i fod yn llwyddianus. Ein hymdrech yn awr fydd galw eich sylw at rai o'i wersi grasol er ein henill i ddyfod i afael â'r bendithion addawedig mewn cysylltiad ag arfer gweddi. Pan yr oedd yr Iesu ar ymadael a'i ddysgyblion, efe a ddywedodd, "Hyd yn hyn ni ofynasoch ddim yn fy enw i, gofynwch a chwi a gewch, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn." Nid oedd eisiau gofyn yn enw Iesu tra yr oedd efe gyda hwy; ond pan yr oedd yn barod i'w gadael i fyned at ei Dad, efe a ddywedodd, "Hyd yn hyn, ni ofynasoch ddim yn fy enw i," ond o hyn allan, "Gofynwch a rhoddir i chwi, fel y byddo eich llawenydd yn gyflawn." Ac wedi i mi eich gadael a myned at y Tad, "Pa beth bynag a ofynoch yn fy enw i, chwi a'i derbyniwch." Gan hyny, fy anwyl rai ieuainc, peidiwch byth a meddwl am fyned at y Tad i ofyn am ei drugaredd heb gofio enw Iesu. "Os gofynwch yn fy enw i chwi a'i cewch." Ac er mwyn eu cadarnhau hwy, y mae efe yn myned ar ei lw fel hyn, "Eithr y mae yr awr yn dyfod, pan y mynegaf i chwi yn eglur am y Tad, a'r dydd hwnw ni ofynwch ddim i mi; yn wir, yn wir, meddaf i chwi, pa bethau bynag a ofynoch i'r Tad yn fy enw i, efe a'i rhydd i chwi."

Ei ddysgyblion a ddywedasant wrtho, "Wele yr wyt ti yn awr yn dywedyd yn eglur, ac nid wyt yn dywedyd un ddammeg." Ac y mae yn eglur yr oes hon hefyd, os awn at y Tad yn y dirgel, yn enw ein hanwyl Iesu, byddwn yn sicr o lwyddo i gael maddeu ein holl anwiredd, camwedd, a phechod. Ond cofiwch pan weddioch, "Na fyddwch fel y rhagrithiwr, canys hwy a garant weddio yn sefyll yn y synagogau a chonglau yr heolydd; fel yr ymddangosent i ddynion; yn wir, meddaf i chwi, y maent yn derbyn eu gwobr."

Chwi a welwch, fy mrodyr, mae y dull, a'r lleoedd, y mae yr Iesu yn ei gondemnio; *sefyll*, yn gyntaf; yr oedd y rhai oedd yn sefyll, yn derbyn eu gwobr. Y *lleoedd*, yn nesaf, "Yn y synagogau a chonglau'r heolydd," i'r dyben o ymddangos i ddynion, eu gweled gan ddynion oedd eu "gwobr." Gweddi dlawd, fy anwyl frodyr ieuainc, yw y weddi er mwyn ymddangos i ddynion. Mae yn lled debyg fod miloedd yn barnu y sect Phariseaidd yn grefyddol iawn; ond beth mae Iesu yn ei ddywedyd am danynt?—dim gwell enw na "rhagrithwyr," yn *sefyll* yn y

*synagogau*, a *chonglau'r heolydd*. Rhyw le digon amlwg, fel y gallai dynion eu gweled. "Canys meddaf i chwi, oni bydd eich cyfiawnder yn helaethach na chyfiawnder yr Ysgrifenyddion a'r Phariseaid, nid ewch i mewn i deyrnas nefoedd." Mae lle i ofni fod miloedd yn y byd heddyw yn *sefyll* yn y synagogau, a chonglau yr heolydd i weddio. Y mae y synagogau a chonglau yr heolydd yn lle cyfaddas i bregethu a chyngori dynion annuwiol i droi ac edifarhau, a dychwelyd, fel y dilëer eu pechodau. Ond yr ystafell ddirgel yw y lle priodol i weddio.

Anhawsderau yw yr ychydig eithriadau sydd genym o weddiau cyhoeddus, i'r gweddiwyr i allu ymneillduo i'w lleoedd priodol i weddio. Fy anwyl frawd, bydd di yn bwyllog cyn condemnio dy frawd am y syniad yna. "Pan weddiech, dos i'th ystafell; ac na feddwl am *sefyll* yn *nghonglau'r heolydd* i weddio. Llai o weddio yn y cynulleidfaoedd cymysg, a mwy o bregethu i'r annychweledig er eu henill at Fab Duw, fy mrodyr; a mwy o fyned i'r ystafell i weddio, er mwyn i'n Tad ein gweled. Edrych pa beth ydym yn ei wneyd yn y dirgel y mae ein Tad; dirgel ddyn y galon yw dyn ein Tad, ac nid y dyn yn ymddangos i ddynion. Mae Iesu fel Duw hollwybodol, wedi rhoddi darluniad i ni o'r ddau, benthycodd ddammeg er eu hegluro i ni fel hyn: "Dau wr a aeth i fyny i'r deml i weddio, un yn Pharisead, a'r llall yn bublican."

Nid oedd yn un rhyfeddod i Iesu i ddewis y ddammeg hon, oblegid yr oedd y Phariseaid yn arfer a galw Iesu yn gyfaill publicanod a phechaduriaid, ac nid rhyfedd ei fod yn gyfaill i'r cyfryw rai, oblegid dyna oedd dyben ei ddyfodiad i'r byd, i achub pechaduriaid; ac mor briodol oedd y darluniad a rydd o'r ddau oedd yn cynrychioli dau ddosbarth o bobl. A'r Pharisead o'i *sefyll*, a weddiodd rhyngddo ag ef ei hun, fel hyn: "O, Dduw, yr wyf yn diolch i ti nad wyf fi fel dynion eraill, yn drawsion, yn anghyfiawn, yn odinebwyr, nac fel y publican hwn chwaith." Wel, Mr. Pharisead, beth sydd genyt ti yn erbyn y publican druan? O, un o gyfeillion Iesu yw efe. "Yr wyf fi yn ymprydio ddwy waith yn yr wythnos; yr wyf yn degymu cymmaint oll ac a feddaf." Y mae y darluniad a rydd Iesu o hono, yn ei wneyd mor gyfiawn, fel nad oedd yr un achos iddo i ofyn am drugaredd, na maddeuant. Cynwysiad ei weddi oedd, canmol ei hun, a lladd ar y publican.

Nid oedd gan neb yr un meddylddrych pa fodd i ymostwng o flaen Duw wrth weddio yr oes hono, oblegid yr oedd y rhagrithwyr Phariseaidd wedi dysgu y bobl i feddwl mai *sefyll* oedd yr unig ddull i weddio. Hwy hefyd oedd yn dysgu y bobl i gyfeiliorni. Gochelwch, fy mrodyr ieuainc, rhag dysgeidiaeth gyfeiliornus i gael lle yn eich meddyliau, oblegid y mae miloedd heddyw wedi llyncu y cyfeiliornad rhagrithiol a nodwyd. Ond i symud at y publican; dyma y carictor cyferbyniol, "A'r publican gan sefyll o hirbell," yr oedd yn teimlo y fath euogrwydd cydwybodol o herwydd pechod, fel na allai feddwl am ymgymysgu a myned i blith y dynion hunan-gyfiawn oedd yn arfer ag ymgynull yn y deml: ond *sefyll* o *hirbell*. Y rhagrithwyr Phariseaidd oedd wedi ei ddysgu i *sefyll*, ond ni fynai gymaint a chodi ei olygon tua'r nef; eithr efe a gurodd ei ddwyfron, gan ddywedyd, "O, Dduw, bydd drugarog wrthyf fi, bechadur." Nid rhyfedd fod Iesu yn gyfaill i'r cyfryw un; er mor fer oedd ei weddi, yr oedd yn cynwys dau beth pwysig i bechadur, sef, Duw trugarog, a phechadur mewn angen. Yr oedd yn curo ei ddwyfron i ddangos mae yn y *galon* yr oedd lloches pechod; ac O, fy anwyl frodyr, na allem oll fod o'r un teimlad. Ond yn awr ni a chwiliwn pa fodd y mae Iesu a'i ddysgyblion, trwy eu hagweddau, yn ein dysgu. Ond Iesu yn gyntaf: Nid *sefyll* yr oedd efe pan yn gweddio; ac nid oedd yn myned i gonglau yr heolydd ychwaith. "Efe a esgynodd i'r mynydd wrtho ei hun i weddio—ac wedi ei hwyrhau hi yr oedd efe yno yn unig." Eilwaith, "Yna y daeth yr Iesu gyda hwynt (sef ei ddysgyblion) i fan a elwir Gethsemane,

ac a ddywedodd wrth ei ddysgyblion, Eisteddwch yma, tra yr elwyf fi a gweddio acw." Unwaith eto, "Ac efe a gymerth Petr a dau fab Zebedeus, ac a ddechreuodd dristâu ac ymofidio, ac a ddywedodd, Aroswch chwi yma, a gwiliwch gyda mi." Ac wedi iddo fyned ychydig yn mlaen, efe a syrthiodd ar ei wyneb gan weddio." Mae Luc yn adrodd am yr un tro, iddo fyned ar ei liniau. Dyna ddysgeidiaeth ein hanwyl Iesu, yr hwn oedd yn gweddio dros ei ddysgyblion, a thros ei elynion, er eu henill i gofleidio yr unig grefydd a barotodd efe er achub y byd colledig. Ac wrth chwilio i hanes bywyd y dysgyblion, cawn hwy yn efelychu eu Hathraw mawr. Ar eu gliniau y ceir hwy yn myned at eu Tad i ofyn neu geisio eu neges.

Dau lled flaenllaw oedd Petr a Phaul. Nid ydym wedi ein gadael heb ddigon o'u hanes hwy, er deall yn gyflawn pa fodd y dysgasant grefydda i foddloni eu Blaenor mawr. Wele rai o'u hengreifftiau, fy anwyl frodyr: "Eithr Petr wedi eu bwrw hwy allan; a dodi ei liniau ar lawr, a weddiodd;" nid oedd Petr am fod fel y rhai hyny yn *sefyll* yn y synagogau a chonglau yr heolydd, ond eu bwrw hwy allan a wnaeth efe; ar ei *liniau* yn dyweyd ei neges dros Dorcas, yr oedd Petr, wedi dysgu crefydd ei Athraw, ac nid eisiau ei weled gan ddynion annuwiol. Paul hefyd, wedi iddo ddywedyd y pethau hyn, "Efe a roddodd ei liniau ar lawr, ac a weddiodd drostynt hwy oll" (sef dros ei ddysgyblion). Eto, nyni a'i cawn ef pan ar ymadael o Tyrus i fyned tua Caersalem, yn ei fynydau olaf gyda hwy ar y traeth, er cyflwyno ei gyfeillion i ofal a gras Duw, dacw ef a'i ganlynwyr yn myned ar eu *gliniau*, "A nyni a weddiasom." Y mae genym lawer o engreifftiau o'r cyffelyb agweddau, ond hyderwyf fod yr hyn a ddefnyddiasom yn ddigon er dangos dysgeidiaeth Iesu i'r byd, pa fodd i ymostwng wrth weddio; ac nid ydym yn dysgu eu bod un amser yn myned at eu Tad heb neges, a'r oll a ddysgir, eu bod yn arfer ychydig iawn o eiriau pan yn ymostwng o flaen eu Tad yr hwn sydd yn y nefoedd. Ac nid oes genym ond un engraifft fod Iesu yn gweddio yn nghlyw cynulleidfa gymysg o gredinwyr, ac anghredinwyr, neu ddiffydd—ac y mae ei ddysgyblion wedi rhodio yr un llwybr a'u Hathraw yn hynod dda. Pan y maent yn siarad â'r anghredinwyr, pregethu Crist a hwnw wedi ei groeshoelio y maent, a dysgu y bobl i ddychwelyd at yr Arglwydd, fel y dilëir eu pechodau. A dyna swyddogaeth gweision Iesu hyd heddyw, myned i'r prif ffyrdd a'r caeau i gymell dynion i ddyfod at y Gwaredwr, ac nid *sefyll* yn y synagogau a chonglau yr heolydd i weddio. Pregethu i'r bobl yr oedd yr Iesu a'i ddysgyblion, a gweddio ar eu Tad yn y dirgel, ac yn yr eglwys—a'r Tad yr hwn oedd yn gweled yn y dirgel, yn eu talu hwy yn yr amlwg, trwy fendithio eu gweinidogaeth.

---

## MEDDYLIAU AM Y NEFOEDD.

I.

Daw meddyliau am y nefoedd,
  Gydag awel wan y nawn;
Gyda llanw'r môr fe ddeuant,
  Gan lefaru 'n felus iawn.
Pan fo'r mellt fel ser yn syrthio,
  Yn y storm gynhyrfus gref,
Pan fo'r llong yn teimlo'r creigiau,
  Daw meddyliau am y nef.

II.

Daw meddyliau am y nefoedd,
  I unigedd fforest goed,
Ac i'r anial, lle nas tyfodd
  Un glaswelltyn bach erioed.
Ar fynyddau'r iâ trag'wyddol,
  Ac ar greigiau llymion, lle
Bydd eryrod yn gorphwyso,
  Daw meddyliau am y ne'.

III.

Daw meddyliau am y nefoedd,
  I ynysig leia 'r aig,
Lle mae'r dôn yn gosod coron
  Gwrel wen ar ben y graig;
Trwy holl gyfandiroedd daear,
  Glynoedd dwfn, a bryniau ban,
Pur feddyliau am y nefoedd
  Dd'ont eu hunain i bob man.

## EGLURDER Y BEDYDD CRISTIONOGOL.

Gellir meddwl wrth ddarllen ysgrifau ar fedydd yn y Cyhoeddiadau, fod yn anmhosibl penderfynu pa fodd i'w gyflawni; fod y gair a ddefnyddiodd Crist yn ei sefydliad, yn golygu pob math o ddulliau, meddir, hyd yn nod y rhai pellaf oddiwrth eu gilydd, sef trochi a thaenellu. Dyma y ddau ddull pellaf oddiwrth eu gilydd; ac eto medd rhai dynion, mae y gair Goeg yn golygu pob un o'r ddau. Os felly, rhaid ei fod yn air rhyfedd iawn, ac nad oes ei gyffelyb yn holl ieithoedd y byd. Nid yw y geiriau *lavo*, *ekeo*, *raino*, *&c.*, o un dyben yn yr iaith Roeg, oblegid mae y gair *baptizo* yn ateb dyben yr oll, yn golygu pob math o ddulliau, os ydym i gredu rhai dynion. Os yw Crist wedi sefydlu yr ordinhad mewn ffordd aneglur, mae yn wahanol i bob gorchymyn pendant arall a roddodd Duw i ddynion. Yn mysg yr holl orchymynion pendant a roddodd Duw o dan yr hen oruchwyliaeth, nid ydym yn cael fod yr Iuddewon yn y dyryswch lleiaf i wybod pa fodd i'w cyflawni. Yr oedd yr oll wedi eu rhoi mor eglur ag oedd yn bosibl. A oes genym hanes am un ddadl yn mysg yr Iuddewon erioed yn nghylch yr enwaediad? Pa fodd? Pa bryd? Ar bwy? Ac yn mha le yr oedd y nod i fod? Yr un modd y gellir dyweyd am bob gorchymyn arall perthynol i'r gyfraith seremoniol. Os oes rhywbeth yn dywyll yn y bedydd, rhaid fod Duw wedi gadael ei ddull plaen o lefaru. Os oes tywyllwch yn bod, rhaid ei fod wedi ei achosi gan Dduw neu gan ddynion. Os gan Dduw yr achoswyd y tywyllwch, rhaid ei fod yn fwriadol neu yn anfwriadol; nis gall fod yn anfwriadol, oblegid y mae yn sarhad ar Dduw i dybio ei fod wedi gwneyd dim yn anfwriadol erioed; perthyn i fodau ffaeledig mae gwneuthur pethau yn anfwriadol. Os dywedwn fod y tywyllwch yn fwriadol, mae hyny yn taflu anmharch ar Grist fel deddf-roddwr, oblegid anrhydedd pob deddf-roddwr ydyw, nid yn unig roddi deddfau da, ond eu rhoddi yn y dull mwyaf eglur; heblaw hyny, dywed y Beibl mai pethau amlwg a roddwyd i ni ac i'n plant, fel y gwelom hwynt. Os rhoddwyd bedydd i ni, rhaid ei fod yn amlwg, oblegid nid ydym i dybied fod yr Ysgrythyr yn dywedyd yn ofer. Peth arall mae Crist wedi bwriadu ei efengyl i'r tlodion; bod y tlodion yn cael pregethu yr efengyl iddynt, oedd un o'r prawfiadau roddodd Iesu i genhadau Ioan. Os ydyw wedi ei fwriadu i'r tlodion, rhaid ei bod wedi ei bwriadu i fod yn eglur iawn. Nid oes eisiau llythyrenau wrth gynffon enw neb i ddeall efengyl a'i hordinadau. Byddai yn fwy o anrhydedd i Grist pe dywedai dynion fod taenellu wedi ei roddi mor amlwg ag y mae modd, a bod trochi yn gwbl gyfeiliornus ac yn anufudd-dod i Grist, yn lle dyweyd fod dim yn dywyll yn rheol gweinyddiad yr ordinhad. Gwell genym dderbyn y sarhad ein hunain, nag iddo gael ei daflu ar ein Gwaredwr.

Addefa taenellwyr fod Crist wedi llefaru yn blaen ar bob peth arall, fel y dywed Barnes ar Matt. xiii. 13. "His doctrines he stated in the best possible way, and it was not his fault if they did not understand them." Ond i glirio cymeriad Crist fel Brenin ei deyrnas, yr wyf yn meiddio dyweyd, fod bedydd wedi ei roddi yn y modd mwyaf eglur ag oedd yn bosibl, hyd yn nod i Hollwybodaeth ei hun, a chymaint o dywyllwch sydd yn perthyn iddi, mae wedi ei achosi gan gyfieithwyr Taenellyddol. Defnyddiodd ein Gwaredwr bendigedig eiriau perthynol i iaith y wlad lle yr oedd yn byw; a'r oes y ganed ef; yr oedd yr holl drigolion yn arfer y gair fel gair teuluaidd, y beirdd a'r areithwyr, y morwyr a'r milwyr, y cryddion a'r teilwriaid, y seiri a'r gofaint, y tlawd a'r cyfoethog, yn defnyddio y gair, ac yn gwybod ei feddwl yn berffaith. Defnyddiodd Crist y gair mwyaf penodol am drochi sydd i'w gael yn yr iaith Roeg, ac os nad yw hwn yn golygu trochi, ni fedd yr iaith air digon cryf, er ei bod yn un o'r ieithoedd cyfoethocaf mewn geiriau ag a fedd y byd. Yr oedd geiriau eraill

i'w cael yn arwyddo golchi, tywallt, a thaenellu, sef *ekeo*, *lavo*, a *raino*. Ond ni ddefnyddiwyd yr un o honynt erioed mewn cysylltiad a'r ordinhad.

Y cwestiwn priodol yn y fan yma, i R. E., Remsen, neu ryw daenellwr arall ydyw, os oedd Crist yn bwriadu i'r ordinhad gael ei gweinyddu drwy daenelliad, paham na buasai yn defnyddio y gair priodol am daenellu, sef *raino*, yn lle y gair priodol am drochi, sef *baptizo*. Os yw y gair *baptizo* yn golygu taenellu, gofynaf paham na fuasai wedi ei gyfieithu yn daenellu yn rhyw le gan gyfieithwyr taenellyddol? Ond ni ddarfu iddynt erioed feiddio cyfieithu y gair *baptizo* yn daenellu, na'r gair *raino* erioed yn drochi. Paham y darfu i 47 o ddynion dysgedicaf Lloegr adael y gair heb ei gyfieithu, os oedd yn golygu taenellu? Paham na fuasent yn ei gyfieithu yn daenellu? Ni ddarfu iddynt ei adael yn anghyfieithiedig oddiar barch i'r Bedyddwyr, oblegid yr oedd y Bedyddwyr yn cael eu herlid ganddynt yn y cyfnodau hyny. Nid oeddynt yn gwneyd oddiar ofn y Bedyddwyr, oblegid yr oeddynt yn gwasanaethu i frenin Lloegr ac o dan ei amddiffyniad. Yr unig egwyddor oedd yn eu cymell i wneyd, oedd cuddio eu gwendid, ac os gwyr R. E., am ryw reswm arall, carwn iddo ei ddangos. Yr wyf yn dyweyd eto, mai taenellwyr sydd yn gyfrifol am yr holl dywyllwch sydd yn nghylch bedydd, a hwy sydd gyfrifol am yr holl ddadleuon sydd wedi bod yn ei gylch, ac mae'r cyfrifoldeb yn ofnadwy. Mae yr un ysbryd i'w weled yn y byd yn awr, ag oedd yn amser y Brenin Iago, yn y geiriau dirmygus a arferir pan yn cyfeirio at gyfieithiadau y Bedyddwyr, am y rheswm eu bod yn cyfieithu y gair *baptizo*.

Yr wyf yn dyweyd eto, fod Crist wedi llefaru mor blaen ag y gall hollwybodaeth, os oedd yn golygu i'r ordinhad gael ei gweinyddu drwy drochiad; ond os oedd yn golygu iddi gael ei gweinyddu drwy daenelliad, mae wedi gadael y gair priodol am daenellu heb erioed ei ddefnyddio mewn cysylltiad a'r ordinhad, ac wedi llefaru mor dywyll ag yr oedd modd. Ni orchymynodd Duw erioed daenellu dwfr glan ar ddim, ac ni orchymynodd ychwaith daenellu gwaed, na dwfr cymysgedig a gwaed, neu ludw, ar ran o unrhyw beth, heb nodi y rhan yr oedd i gael ei rhoddi arno. Gorchymynodd Duw roddi gwaed ar gwr isaf clust ddehau Aaron a'i feibion, ac ar fawd eu traed dehau, a bawd eu llaw ddehau; ond ni orchymynodd Duw roddi na gwaed na dwfr ar dalcen neb erioed, a pha fodd y darfu i neb feddwl am y llanerch hon, sydd ddirgelwch i mi.

Yr wyf yn arfer y gair *baptizo*, am mai efe yw yr unig air a ddefnyddir mewn cysylltiad a'r ordinhad. Nid yw y gair *bapto* byth yn cael ei ddefnyddio mewn cyfeiriad at fedydd. Dylid sylwi ar y gwahaniaeth mae Dr. Carson yn ei wneyd rhwng y gair *baptizo* a *bapto*. Dywed fod yr olaf yn golygu suddo, a lliwio, ond nad yw byth yn cael ei ddefnyddio am fedydd. Mae y gair *baptizo* wedi hyny yn golygu suddo, trochi, neu gladdu, ond nid yw byth yn golygu lliwio. Mae i bob un ei derfynau ei hun. Nid yw *bapto* byth yn cael ei ddefnyddio am fedydd, na *baptizo* yn cael ei ddefnyddio am liwio. Dylai ysgrifenwyr ar fedydd sylwi ar hyn wrth drafod y pwnc.

Mae yr ysgrifenwyr ysbrydoledig, fel pe yn defnyddio y manylrwydd mwyaf er gwneuthur eu meddwl yn eglur i ddynion. Pan y tybient y byddent wedi defnyddio gair nas gallai y darllenydd ei ddeall, rhoddent eglurhad arno, megys y gwnaethant ar y gair Messiah, Siloam, Aceldema, Tabitha Cumi, Corban, a Golgotha. Os sonient am Pasg, dywedent mai Gwyl Iuddewig oedd, &c. Dengys y nodiadau uchod fod gofal gan Ysgrifenwyr y Beibl i wneuthur pob peth yn eglur iawn. Os oedd y fath ofal ynddynt, i eglurhau geiriau dibwys mewn cydmariaeth, a ydym i dybied ddarfod i Grist a'i Apostolion fod yn esgeulus i lefaru yn y modd mwyaf eglur am ordinhad bendant fel bedydd, yr hon y bwriadwyd i bob dyn yn mhob man roddi ufudd-dod iddi, yr hon a sefydlwyd gyda chymaint o fawredd Dwyfol,

i anrhydeddu yr hon y daeth Mab y Duw Goruchaf o Galilea i'r Iorddonen i roddi ufudd-dod iddi; ar weinyddiad yr hon y rhoddes y Tad dystiolaeth o'i foddlonrwydd mor neillduol i waith ei Anwyl Fab, ag y disgynodd yr Ysbryd Glan ar y bendigedig Geidwad? A ydym i feddwl fod hon wedi ei rhoddi mewn dull nas gall hyd yn nod paganiaid anwybodus wybod yn berffaith pa fodd mae ei chyflawni? Na, mae y dybiaeth yn wrthun i'w choleddu am fynyd. Priodol y dywedodd Stuart (dysgedicach taenellwr ni fedd America), "Nas gwyr am un arferiad o'r hen amseroedd sydd wedi ei gwneyd allan yn fwy eglur, na bedydd drwy drochiad. Nis gallaf feddwl pa fodd y gall un dyn teg sydd wedi chwilio i'r pwnc, wadu hyny." Gwel Stuart ar Fedydd, tu dalen 51, 147, a 149. Rhoddaf yma eto ddyfyniad o waith Drs. Storr a Flatt, ar dduwinyddiaeth, "Nis gallai dysgyblion ein Harglwydd ddeall fod ei orchymyn i gael ei gyflawni mewn unrhyw ddull gwahanol i drochiad. O dan yr amgylchiadau hyn, mae yn sicr yn beth i'w ofidio, nad oedd Luther yn alluog i gyflawni ei ddymuniad gyda golwg ar adferiad trochiad yn ngweinyddiad bedydd, fel yr adferodd y gwin yn ngweinyddiad y swper." Gwel tu dalen 291. Mae Dr. Anthon yn addef yr un peth am ystyr y gair bedydd, ei fod yn golygu trochiad, a dywed fod "taenelliad allan o'r cwestiwn."

Os nad yw bedydd yn eglur, pa beth yw yr achos fod John Wesley wedi ysgrifenu yn ei ddydd-lyfr, o dan y dyddiad, Chwefror 21ain, O. C., 1736; fod "Mary Wilch, un-ar-ddeg oed, wedi ei bedyddio yn ol arferiad yr eglwys gyntaf, a rheol Eglwys Loegr, drwy drochiad. Yr oedd yr eneth, meddai, yn afiach ar y pryd, ond dechreuodd wellhau o'r awr hono allan." Dengys yr uchod fod Mr. Wesley yn credu yn y trochiad, nid yn unig fel y dull apostolaidd, ond hefyd yn weithred iachusol. Mae llawer o daeru wedi bod fod trochi yn beryglus, ond mae dydd-lyfr Wesley yn eu tori i lawr oll. Cawn hefyd yn yr un llyfr, o dan y dyddiad, Mai 5ed, O. C., 1736. "Gofynwyd i mi fedyddio plentyn Mr. Parker Cailiff, Savannah, ond dywedodd Mrs. Parker wrthyf na chydsyniai hi na Mr. Parker iddo gael ei drochi. Atebais iddi, os gellwch chwi dystio fod y plentyn yn wan, gwnaiff y tro (yn ol y rheol), i dywallt dwfr arno. Atebodd hithau, Na, nid yw y pleutyn yn wan, ond yr wyf yn benderfynol na chaiff ei drochi. Y ddadl hon nis gallwn ei throi yn ol, felly aethum adref, a bedyddiwyd y plentyn gan un arall." Ychydig ar ol hyny, gwnaeth un Causton, achwyniad yn erbyn Mr. Wesley o flaen *Grand Jury* Savannah, gan ei gyhuddo a dori cyfreithiau y llywodraeth, yn groes i heddwch ein goruchaf arglwydd frenin, ei goron, a'i urddas, drwy wrthod bedyddio plentyn Mr. Parker mewn un ffordd ond trwy drochiad, os na fuasai y rhieni yn tystio fod y plentyn yn wan. Ar y cyhuddiad hwn y dygwyd Mr. Wesley o flaen y *Court*, er fod deuddeg o'r rheithwyr, yn wrthwynebol, gan ei ystyried ef yn rhydd yn ol y rheol, Rubric. Gwel *Wesley's Works, Vol. III., pp.* 20, 24, a 42; N. Y.. 1840. Gwelwn oddiwrth yr uchod, pe buasai Wesley yn gwyro oddiwrth y rheol gyntefig, mai tywallt fuasai yn wneyd fel y peth agosaf at y dull gwreiddiol. Nid yw taenelliad ond gwyriad oddiwrth wyriad, *substitute* dynol o *substitute* dynol arall, ac o'r step isaf hon mae yn myned o'r byd yn gyflym.

*Wis.* W. J.

## SAUL A DAFYDD.

Saul yn llawn gelyniaeth yn erbyn Dafydd—yn erbyn yr hwn na wnaeth ddim allan o le iddo—na wnaeth ddim er cynhyrfu y fath deimladau gelyniaethus ac herlidgar. Ymddengys i mi fod Dafydd wedi gwneyd llawer iawn o bethau a ddylasai fod yn foddhad mawr i Saul, a sicrhau ei gyfeillgarwch. Lladdodd Dafydd yr hen gawr o Gath, Goliath. Gwaredodd yr Israeliaid, amddiffynodd Saul, maeddodd ei elynion, priododd ei ferch, chwareuodd y delyn nes tawelu ei ysbryd cynhyrfus. Bu Dafydd yn hynod ffyddlon i Saul.

Yn ad-daliad am hyn, cafodd ei erlid fel petris, ei amgylchynu gan filwyr Saul, yr hwn a sychedai am ei waed; gosodwyd Dafydd yn y fath amgylchiadau rai troion fel yr ymddangosai ei ddiangfa yn beth anmhosibl. Dacw y Môr Marw o'r tu cefn iddo, tair mil o filwyr dewisedig yn dyfod i fyny ar ei gyfer, Dafydd yn gyfyng arno, er hyn oll yn cael ei waredu; Dafydd yn gwneyd da i Saul bob tro, Saul ar ei oreu i dalu drwg i Dafydd. Gwelir peth tebyg i hyn yn fynych yn ein dyddiau ni. Cariwch ambell i ddyn ar eich cefn am flwyddyn gyfan, yna rhoddwch ef i lawr, a'r peth cyntaf a wna fydd ceisio eich niweidio.

*Y Brenin di-amddiffyn.*—Dacw Saul yn myned i mewn i ogof, heb yr un drychfeddwl fod Dafydd yno o'i flaen, Saul yn flin iawn gan y daith, yn syrthio i drwmgwsg, yn gorwedd yn hollol ddiamddiffyn. Ar un dyrnod, gallasai Dafydd ei daraw yn farwol, ond nis gwnaeth. Dafydd yn clywed ei filwyr yn siarad yn ddystaw a'u gilydd yn nghylch rhoi terfyn ar fywyd Saul, ac yn eu ceryddu am hyny. Aeth Saul allan o'r ogof, a Dafydd ar ei ol o'i guddfa. Ni wnaeth Dafydd niwed iddo, ond yn unig tori darn o gwr ei fantell. Meddyliaf fod un o'r milwyr yn dyweyd wrth Saul, y mae darn o'th fantell yn eisiau. Gyda hyn, Dafydd yn ymddangos, yn talu parch i Saul, ac yn dangos iddo y darn a dorwyd o'i fantell. Gwelodd Saul ar unwaith mor agos yr oedd wedi bod i angau. Teimlodd ei ranau mewnol yn crynu gan arswyd. Dygodd hyn Saul i deimlo yn heddychol, wylodd; yn lle taro Dafydd, wele ef yn ei gusanu; ymddengys y pryd hwn yn edifeiriol iawn, daioni Dafydd wedi ei dywys i edifeirwch.

O bechadur, a ydyw daioni Duw yn dy dywys di i edifeirwch? Fel Saul, yr ydwyt wedi cael gwaredigaethau lawer. Pa hyd eto y cei dy arbed? Nis gwyddost. Iesu anwyl, yn lle distrywio ei elynion, a fu farw er iddynt hwy gael byw. Onid ydyw yn ddyledswydd arnom garu y Gwr a fu farw er ein cadw i fywyd a gwynfyd tragywyddol. Drwg mawr yw peidio gwneyd hyn.

**Mor hoff i mi yw'r Oen,**
**A'i boen ar Galfari;**
**Trwy hyny daw yn rhad**
**Haelioni mawr i mi.**

CHRISTOPHER BACH.

---

## PWY SYDD I FOD YN DDIACONIAID?

[Parhad.]

*Dewis Diaconiaid.*—Yr holl eglwys sydd i'w dewis, ac y maent i gael eu dewis o'r eglwys fyddo eisiau eu gwasanaeth. (Actau 6.) Ni nodir un dull neillduol i'w dewis, gadewir hyny felly i farn yr eglwys. Wedi i'r eglwys eu hethol, cyn y byddant yn ddiaconiaid, rhaid iddynt gael eu gosod ger bron, a derbyn cymeradwyaeth y gweinidog neu weinidogion—yno i gael eu profi yn gyntaf—a dywedir wrth Timotheus am beidio bod yn rhy barod i osod ei ddwylaw ar neb. Y maent felly i fyned trwy brawf holiadol manwl gan y gweinidog, os byddant yn ddiargyhoedd—yna y maent i gael eu hordeinio trwy osodiad dwylaw ac offrymiad gweddi, (Actau vi. 6); ac hyd nes y byddo hyn wedi ei wneyd, nid ydynt yn ddiaconiaid y Testament Newydd.

Y mae pwys mawr yn y rheol hon, gan fod cymaint o awydd mewn poblach am swyddi; a llawer yn absenoldeb gweinidog o'r eglwys yn gwthio eu hunain o dan y *cap* diaconaidd, a hyny yn hollol anaddas i'r swydd. Pe gorfodid pawb i fyned trwy y rheol a nodwyd, cedwid llawer i ffolyn yn ei le priodol ei hun. Y mae yr oes hon, o herwydd fod rhai yn gwneyd gormod o ffurfiau, yn esgeuluso ffurfiau penodedig yr eglwys gyntefig, a dylid dychwelyd yn ol yn fuan atynt oll, a gosod pob swyddog yn ei swydd yn rheolaidd yn ol yr esiampl.

Dadleuir yn erbyn ordeinio diaconiaid drwy osodiad dwylaw arnynt, am nas gellir cyflwyno iddynt ddawn yr Ysbryd Glan. Am yr *un rheswm* ni ddylid ordeinio gweinidogion. Ond a ydyw hyn yn ddigonol reswm? Onid oedd y diaconiaid yn llawn o'r Ysbryd Glan cyn eu hetholiad? Os felly, ni osodwyd dwylaw arnynt i gyflwyno

iddynt fendithion ysbrydol. Peth arall, os esgeulusir ffurf am nas gellir trosglwyddo bendithion trwyddo, dylid esgeuluso ffurf y bedydd, a ffurf y cysegru yr elfenau a gweddi. Onid ydym ni yn gweled mawredd yn y *ffurf?* Onid yw y ffurf yn rhan o'r weithred? Onid yw y ffurf yn rhan o'n crefydd weledig? Onid wrth esgeuluso y ffurfiau y mae dirywiad wedi dyfod i'r eglwys mewn cysylltiad a'r ordinhadau? a gogoniant y gymdeithas Gristionogol wedi ymgilio? Beth yw athrawiaeth ond yr hyn a ddysgir, beth yw gorchymyn ond yr hyn a osodir ger ein bron i'w wneyd? Onid ydym yn cael ein dysgu trwy esiampl yn ogystal a thrwy eiriau? Onid yw y ffurf yn rhan o'r athrawiaeth a'r gorchymyn? Os felly, paham yr esgeulusir y ffurf o ordeinio a gosodiad dwylaw mewn cysylltiad a gosodiad dynion yn ddiaconiaid? Dylai y ffurf gael ei hystyried yn rhan o'r *wers.* Y mae ordeinio a gosod dwylaw bron mor hen a chrefydd. Ydyw swyddau eglwys Crist yn llai eu pwys na swyddau yr eglwys Iuddewig a swyddau gwladol? A oes gorchymyn peidio urddo diaconiaid? Oes son fod y dull i newid? Dylai y Bedyddwyr, o bawb, ofalu am y ffurf yn ogystal a'r geiriau.

*Gwaith Diaconiaid.*—Yn mhlith y rhai ydynt yn gwisgo y cap diaconaidd yn bresenol, ceir rhai yn ystyried nad oes ganddynt ddim i'w wneyd yn fwy na rhyw aelod arall, ond cario yr elfenau a chyhoeddi y cyrddau. Maent hwy mor rhydd oddiwrth gyfrifoldeb a neb —gallant fyned maes o'u cof, ffraeo, &c., gystal a rhyw un arall. Rhyfedd fod yr Apostolion wedi cymeryd cymaint o ofal i bigo cymeriadau mor ddysglaer at waith mor gyffredin. Nid oes eisiau dyweyd llawer am waith diaconiaid teilwng. Cael dynion o'r cymeriad a nodwyd yn ddiaconiaid, yna ni cheir byth ofid i benderfynu eu gwaith. Pa le bynag y mae y nodweddion hyn, maent yn peri i'w perchenog fod yn awyddus i bob gweithred dda, yn barod i wneyd ei oreu er gogoniant Duw a chysur y gymdeithas.

Ond mewn cysylltiad a'u gwaith, ymddengys ei fod yn amrywiol, ac yn llawer, yn ol a gawn, wrth edrych yn ol trwy yr oesau i oes yr Apostolion. Pobl weithgar oedd y diaconiaid, a phobl hunan-ymwadol, yn cael eu cadw yn ddarostyngedig iawn, fel y gwelir hwynt yn nrych Dr. Smith, "*Dictionary of Christian Antiquities.*"

Gofalent am feddianau materol yr eglwys yn ei holl gysylltiadau. Ymwelant a'r cleifion, yr hen, a'r tlodion; a mynegent eu cyflwr i'r gweinidogion, fel y gallent eu cyfarwyddo i ddiwallu eu rhaid tymorol. Ymwelent a'r carcharau lle yr oedd rhai o blant Duw yn dyoddef gan erledigaeth, a chladdent y meirw merthyredig. Cadwent y drysau mewn cyngorau—gofalent arwain y bobl i'w lleoedd priodol yn yr addoliad, safent gerllaw y drysau a gofalent am ddystawrwydd, atalient siarad a sisial yn ystod y gwasanaeth, atalient gerdded i mewn ac allan. Gofalent am ddwfr i'r gweinidog i olchi ei ddwylaw cyn y cymun. Safent yn ymyl bwrdd y cymun i gadw gwybed a phryfed eraill draw oddiwrth yr elfenau. Rhanent y bara a'r gwin tywalltedig rhwng yr aelodau. Holent ymgeiswyr am fedydd, parotoent hwy i'r fedyddfa, a phob peth angenrheidiol i weinyddiad yr ordinhad. Cynorthwyo y gweinidog yn mhob peth angenrheidiol, &c., ac yn ystod y gwasanaeth crefyddol, ni oddefid iddynt eistedd, ac mewn cyngorau gorfodid hwynt i sefyll, ac ni chaent siarad ond trwy ganiatad. Ond gan mai y Testament Newydd yw ein safon, yno rhaid i ni ddarganfod eu gwaith.

Fel yr awgrymwyd yn barod, mae eu cymeriad rhagorol yn arddangos fod yna waith pwysig yn eu haros. Hefyd, y mae eu henw yn cyfleu yr un syniad, *llawn gwaith,* llawer o bethau ganddynt i'w gwneyd. Diacon—gwas—*Diakio* —rhedeg, brysio—yn y llwch. Y mae y gair felly yn awgrymu mai gweision ydynt, eu bod yn ddiwyd—*brysio*—eu bod a'r adegau yn nglyn a gwaith annymunol, *yn y llwch*—yr holl o'r enw yn dangos eu bod i weithio yn galed, yn bobl hunan-ymwadol, parod i aberthu

llawer dros Grist. Nid yw yr hwn na wna hyn, yn ddiacon o gwbl.

*Trustees.*—Priodol yn y man hwn yw nodi na wyr y Testament Newydd ond am ddau ddosbarth o swyddogion parhaol yn eglwys Crist, sef gweinidogion a diaconiaid. Nid oes son am ymddiriedolwyr (*trustees*), am ysgrifenydd, a thrysorydd. Y canlyniad yw fod gwaith y rhai hyn i gael ei gyflawni gan y *diaconiaid.*

Pe golygid cael swyddogion eraill, buasai yr Apostolion yn sicr o nodi hyny, a darlunio eu cymeriadau. Pwy mor gymwys i ofalu am feddianau yr eglwys, a'r diaconiaid, a neb llai na hwy sydd annheilwng.

Mae llawer am gael dynion â *phroperty* ganddynt i fod yn *drustees*, ond nid yw hyn yn angenrheidiol. *Property* yr *eglwys* sydd yn rhoi gwerth ar enw *trustee* fel *trustee*, ac nid ei eiddo personol. Yr hyn sydd yn eisiau, yw dynion o'r cymeriadau a nodwyd i lanw y swydd ddiaconaidd, ac wrth lanw hono byddant yn cymeryd gofal o holl eiddo materol yr eglwys; felly dywedwn mai y diacon yw y *trustee* yn ol Gair Duw, a neb llai nag ef—neb nad yw yn meddu nodweddau y diacon Ysgrythyrol, nid yw yn deilwng i gymeryd gofal dim o feddianau eglwys Crist.

Yr ydym yn gweled hyn yn eglur, pan yn ystyried achos sefydliad y swydd ddiaconaidd.

Yr oedd y rhai a siaredent yr iaith Roeg yn achwyn fod y rhai a siaradent yr Hebro-Syriaeg, yn gwneyd cam a'u gwragedd gweddwon yn rhaniad yr elusenau yn yr eglwys yn Jerusalem. (Actau vi. 1—7.) Eglur yw fod rhai wedi eu penodi i ofalu am y materion hyn, ond eu bod yn un-ochrog. Felly i'r dyben i gael materion tymorol yr eglwys wedi eu trefnu yn gyfiawn, a'u helusenau eu rhanu yn deg, dewiswyd diaconiaid i dderbyn oddiwrth y cyfoethog, a chyfranu i'r tlodion.

"Gwasanaethu byrddau"—yn dynodi pethau tymorol. Felly gwelwn fod y diaconiaid i gymeryd gofal o bob peth materol yr eglwys, lle i addoli, &c., a phob peth angenrheidiol i'r ty. Gofalu am fwrdd yr eglwys, bwrdd y tlodion, a bwrdd y gweinidog.

Nid yw y diaconiaid i gynal crefydd trwy eu cyfraniadau eu hunain, ond yn hytrach trwy gasglu oddiwrth yr holl eglwys yn ogystal a hwy eu hunain. Dylent ddangos i'r eglwys eu sefyllfa arianol, eu cymell i gyfranu yn brydlon yn ol eu gallu, fel y gallont gwrdd a'r treuliau, talu eu dyledion o bob math, y gweinidog yn gynwysedig. Gwaith y diaconiaid yw trefnu casgliadau, gan mai atynt hwy y mae pob cais am arian i fod.

Mae amgylchiadau weithiau yn gyfryw ag i alw am help. Gall y diaconiaid ddewis rhai i'w cynorthwyo ar adegau. Hefyd, y mae eisiau iddynt ddewis ysgrifenydd a thrysorydd yr eglwys o'u *plith eu hunain;* a phwy ond y cymeriadau hyn sydd addas i ysgrifenu a chadw cyfrifon ty Dduw a thrysor eglwys Crist? Pe buasai y drefn hon yn cael eu mabwysiadu, buasai mwy o bobl dda yn flaenoriaid, a llai o bobl ddrwg yn arwain byddinoedd Israel. Peth arall, eglur yw mai cynorthwyo gweinidogion yw gwaith diaconiaid. Y mae pob oes yn cydnabod hyn, ac y mae eu sefydliad yn profi yr un peth. Gormod o waith oedd gan yr Apostolion i ofalu am y materol a'r ysbrydol; felly i ysgafnhau eu baich y ffurfiwyd swydd y diaconiaid. Os felly, rhaid eu bod i ryw raddau i dalu gwarogaeth i'r gweinidog fel un uwch na hwy.

Pan yr ystyriwn fod y gweinidog i gysegru ei holl amser i lafurio yn y gair a'r athrawiaeth, eglur yw fod pob peth arall i gael ei wneyd gan y rhai a ewyllysia efe. A phwy a ddysgwylir i wneyd ond diaconiaid? Y maent i wneyd pob peth a allont er cynorthwyo y gweinidog, yn ol ei gyfarwyddyd, ac yn wir, y mae y cymwysderau angenrheidiol i'r swydd yn awgrymu y gallant wneyd llawer, ïe, pob peth angenrheidiol.

Fel un yn cynorthwyo y gweininog, dylai ymgyngori ag ef yn aml yn nghylch yr achos, ac os gwel le, i gyfarwyddo y gweinidog, a'i gysuro, a dal ei freichiau i fyny yn y gymydogaeth. Mae y gweinidog yn gyfrifol am addysg

y bobl, y diaconiaid i wylio fod yr athrawiaeth yn iachus, ac edrych ar fod y bobl yn byw yn ei hol. Y diacon sydd gyfrifol am gadw heddwch a threfn yn yr eglwys, ac adgyweirio yr hwn a oddiweddir ar ryw fai. "Chwychwi y rhai ysbrydol," "rhai llawn o'r Ysbryd Glan." (Gal. vi. 1.)

A oes i'r diacon hawl i bregethu a gweinyddu yr ordinhad? Nid wyf yn gweled yr hawl hon. Gwir fod Phylip wedi pregethu a bedyddio; a dywedir fod Thimor wedi bod yn esgob yn Berea a Bostia, ond nid yw hyn yn profi y dylai diaconiaid bregethu a bedyddio, &c.

Pan ddaeth erledigaeth ar yr eglwys yn Jerusalem, dywedir i'r rhai a wasgarwyd *bregethu*, ac yn eu plith yr oedd Phylip. Ond a olygir yma mai am fod Phylip yn ddiacon yr oedd yn gallu pregethu, &c.? Am ba reswm, tybed, yr oedd y lleill yn gallu gwneyd hyny? Gallwn feddwl fod Phylip tra yn ddiacon, wedi dadblygu cymwysderau pregethwrol, a'i fod felly pan yn Samaria; nid yn *ddiacon* fel yn *Jerusalem*, ond *yn weinidog teithiol.*

Hefyd, os oes hawl gan y diacon i bregethu a gweinyddu yr ordinhadau, yna y maent wedi troi oddiwrth faterion tymorol at y pethau yr oedd yr Apostolion am gael eu holl amser atynt. Y mae y ddau ddosbarth wedi eu gwneyd yn un, a'r holl waith yn perthyn i'r un hwnw, ac felly y mae yr eglwys yn yr un cyflwr ag oedd cyn sefydliad diaconiaid o gwbl.

*Graddau.*—Nid oes son am raddau yn y swydd; nid oes prif ddiacon—*lord-deacon*—ond yr holl yn gydradd, ac ni ddylai un hawlio blaenoriaeth ar ei frawd. Yr unig ffordd Ysgrythyrol i flaenori mewn swyddau, yw blaenori mewn rhinweddau a diwydrwydd, ac y mae y pethau hyn yn sicr o agor y ffordd i ddwyn eu perchenog i sylw a bri.

*Newid Diaconiaid.* Ond cael diaconiaid o'r iawn ryw, ni flinid yr eglwys â "chythraul newid diaconiaid." Ni sonir yn yr Ysgrythyrau am eu newid; ein casgliad yw, y dylent aros yn eu swydd cyhyd ag yr arosant yn y nodweddau, a dim yn hwy. Os colli y *nodweddau, colli y teitl i'r swydd hefyd.*

A ellir gorfodi brawd i dderbyn y swydd? Gellir. Mae pob un sydd yn rhoi ei hunan i'r Arglwydd, ac yna i'w bobl, yn ddarostyngedig i gael ei ddefnyddio er gogoniant crefydd, a lles cymdeithas. Eiddo yr eglwys ydyw. Pan alwodd yr eglwys y saith, daethant yn mlaen yn union a dirwgnach, felly, dyna esiampl i bawb ddilyn ei hol.

Bydded i'r eglwys ofalu am y cymeriadau priodol, a bydd eu gwaith yn ddigon eglur iddynt o bryd i bryd. Cadwer o'r swydd y diacon parod i ddigio, sydd rhy opiniwnog i oddef gair y cynghor, yn rhy arglwyddiaeth ol i gymeryd ei hyfforddi, yn rhy bechadurus i gael ei barchu gan ei gydnabyddion, yn rhy annuwiol i wrando'r gwirionedd noeth, gan ei fod fel cleddyf llym dau-finiog yn ei glwyfo. Gan mae fel hyn y mae, onid yw yn syndod fod cymaint o lwyddiant yn Seion ag y sydd? Bydded mwy o ymegniad at fagu a meithrin plant Duw, yna yn fuan ceir digon o rai addas i swyddau y ty. Yr eiddoch, yn awyddus i weled Seion yn ngwisgoedd ei gogoniant.

BRAWD.

# Barddoniaeth.

## GALAREB

*Ar ol* MRS. SARAH DAVIES, *Ridgeway, Wis.*

Yn mhlith yr aneirif farwolion,
Sy'n gorwedd tan gloeon y glyn,
Ceir f'unig am hanwyl fwyn briod,
I'w rhifo 'r un wedd a'r rhai hyn;
Ai byth y teyrnasa marwolaeth?
A oes unrhyw obaith y daw
Fy *Sara* o waelod ei gwely,
I fyny ryw ddydd yn ddifraw?

Oes, oes, medd gwirionedd ei hunan,
Daw'r meirw o'u beddau yn fyw;
O, diolch, fe gwyd fy anwylyd,
Yn hyfryd i wynfyd ei Duw;
Pryd hyny ceir gweled yn eglur,
Yn ngoleu tanbeidiol y dydd,
Fod crefydd yr Iesu yn talu,
I'r gwanaf o deulu y ffydd.

Bu'n ochain tan bwysau afiechyd,
  Gan deimlad o wendid a phoen;
Er hyny 'roedd teimlad ei phrofiad,
  Am fywyd yn nghlwyfau yr Oen;
Yr Hwn aeth yn angau i angau,
  I Sara gael angau'n ddim llai
Na chyfaill i'w symud o'i hadfyd,
  I wynfyd i wir lawenhau.

Ow! 'r adfyd, y gofid a gefais,
  A'r trallod a deimlais pryd hyn,
Pan ydoedd hen swyddog marwolaeth,
  Yn hyrddio ei phabell i'r glyn;
Fe dorodd hen elyn dynoliaeth,
  Ein hundeb dymunol â'i gledd;
A gwnaed fi yn weddw i ruddfan,
  Am Sara oedd hawddgar ei gwedd.

Mae galar yn awr yn teyrnasu,
  Yn mynwes fy nheulu dinam;
Chwiorydd a brodyr rai anwyl,
  Yn gruddfan am golli eu mam;
Ceir Dafydd, a'i frawd Ebenezer,
  A Mary, a Hannah fwyn, hi;
A Henry, a John, a'r fach Sara,
  Mewn trallod, a'u dagrau yn lli.

Ni welant hwy un fam anwylach,
  Ffyddlonach i minau nid oes;
Athrawes yr aelwyd fu iddynt,
  I'w dysgu am grefydd y groes;
O Dduw, dyro nerth i ymddiried
  Ein gofal yn wastad i ti;
A'r storom erch hon fo'n tawelu,
  Yn aberth ac Iawn Calfari.

*Myf. y* TAD,
*Sef* H. E. DAVIES.

---

PRYDFERTHION Y NOS.

**Buddugol mewn Cyfarfod Cystadleuol yn Kingston, Pa.**

Y Nos, pa beth ydyw? ystafell fawreddog,
  Yn llawn o gywreiniau ysblenydd yr Iôr,
O'i nenfwd y croga mil miliwn o berlau,
  O'i mewn mae gorseddfainc brenines y môr.
Pa beth yw'r goleuni amryliw ymsaetha
  Fel mellt hyd dy furiau nes lliwio y llawr?
A'u Duw sy'n myn'd heibio ffenestri'r ystafell,
  'Gael trem ar y cread cyn toriad y wawr.

Yn grog ar barwydydd y nos y canfyddaf,
  Waith bysedd y Crewr yn lluoedd diri',
Yn datgan gogoniant gwybodaeth a gallu,
  Yr hwn sy'n llywyddu y nefoedd a'u llu;
O! fawrwych olygfa, llawn wyt o brydferthion,
  'Does fan yn dy froydd heb swynion i'r saint;
Pleiades ac Orion addurnant dy wyneb,
  Arcturus a'i feibion aruthrol eu maint.

Edrychaf i fyny, mae'r cread yn symud,
  Chwyrn saetha comedau 'nol deddfau eu ner,
Y gomed fawreddog a'i llosgwrn dysglaerwyn
  A 'mlaen fel tywysoges trwy siroedd y ser.

Deg nos, wyt yn brydferth, *museum* y duwdod,
  Lle cedwir trysorau i'r oesau a ddaw,
Fy enaid moliana dy Dduw yn wastadol,
  Am nos i ddadlenu gweithredoedd ei law.

*Kingston, Pa.* HENRY P. DAVIES.

---

## PYNCIAU Y DYDD.

GOLYGYDD Y "CYFAILL," A MOESGARWCH ENWADOL.—Os oes dyn yn America y carai pob Bedyddiwr ei barchu a'i edmygu fel pregethwr galluog, Cristion a boneddwr, o enwad arall yn fwy na'i frodyr, William Roberts, D. D., ydyw! Er pan yn blentyn, dysgwyd yr ysgrifenydd i edrych arno fel un o urddasolion pwlpud Cristionogol yr oes; ac ar ol adnabyddiaeth bersonol ag ef, a'i wrando lawer gwaith yn pregethu, ni ddarfu ein parch tuag ato a'n hedmygedd o hono, ond cynyddu.

Ar ol y rhagymadrodd hwn, ni chamesbonir ein hysbryd yn ysgrifenu yr hyn a ganlyn mewn perthynas ag ef. Yn y *Cyfaill* am Tachwedd, croniclir amgylchiad gan ohebydd, yn yr hwn y cysylltir y golygydd fel y prif weithredydd; ac mae yn rhaid fod y golygydd yn edrych yn gymeradwyol ar y weithred, cyn y buasai yn cyhoeddi y dygwyddiad. Yn wir, ymddengys mai y golygydd a gynhyrfodd y gohebydd i'w waith. Rhoddwn grynhoad o'r stori—mae yn *specimen* gwerthfawr o'r hyn mae ein brodyr y Taenellwyr yn geisio ei ddysgu i ni fel Bedyddwyr—*moesgarwch Cristionogol.* Wele sylwedd y dygwyddiad:—Gweinidog Bedyddiedig yn mhlith y Saeson, yr hwn oedd yn Gymro, alwai ar Dr. Roberts i'w wahodd i gyfnewid pwlpudau am oedfa, am fod ei eglwys ef (y Bedyddwyr), eisiau clywed y Doctor yn pregethu. Desgrifir y gwahoddiad fel yn serchus, boneddigaidd, a brawdol.

Cynygiai y Doctor gydsynio a'r cais ar un *amod:* Fod Sul y cyfnewidiad i fod yn Sul Cymundeb, ac fod y Bedyddiwr i weinyddu y Swper yn nghapel y Doctor, a'r Doctor i weinyddu yn nghapel y Bedyddiwr. Wrth gwrs, ni allai y Bedyddiwr dderbyn yr amodau, heb dori ei gyfamod a'r eglwys fel bug-

ail, a diystyru addunedau sanctaidd ei ordeiniad fel gweinidog Bedyddiedig; yn hytrach na hyny, gwrthododd yr amodau.

Mewn canlyniad i waith y gweinidog yn sefyll at yr hyn yr oedd dan adduned ddyblyg, gwrthododd y Doctor gyfnewid pwlpudau, yn ngwyneb yr hyn a alwai yn *anghysondeb ac yn sarhad.* Dyna'r stori yn deg, yr ydym yn meddwl; os ydym wedi ei gwyrdroi, gwnaethom yn anfwriadol; ond darllener y *Cyfaill* am Tachwedd diweddaf, a cheir ei gweled.

I ddiweddu yr ysgrif dan ein sylw, caniateir i'r gohebydd glew i nodweddu egwyddor y Bedyddwyr mewn perthynas i'r cymundeb, fel yn "sarhad ar Gristionogaeth bur, yn warthnod ar bob eglwys a'i hymarfero, yn ogwyddiad amlwg at Babyddiaeth." Yr oll yn mhellach a wnawn fydd symio i fyny y casgliadau oddiwrth yr amgylchiadau uchod, a gadawn i'r darllenydd benderfynu lle mae y *moesgarwch Cristionogol* yn aros.

1. Gweinidog Bedyddiedig—yn "serchusol"—yn gofyn i olygydd y *Cyfaill* i gyfnewid pwlpudau ag ef am fod ei eglwys eisiau ei glywed. A oedd hyn yn *foesgar?*

2. Y golygydd yn cynyg derbyn y gwahoddiad ar yr amod i'w frawd i ddiystyru a thori cyfamod ac adduned a wnaeth i'w enwad a'i eglwys, ger gwydd Duw a dynion; a buasai y troseddiad yn ei osod yn agored i ddysgyblaeth a diarddeliad. A oedd hynyna yn *foesgarwch Cristionogol?*

3. Gweinidog y Bedyddwyr yn "athrist a siomedig," yn gwrthod tori ei gyfamod eglwysig ac enwadol. A oedd hynyna yn *foesgarwch Cristionogol?*

4. Y golygydd yn "edrych yn myw ei lygaid," yn gwrthod y cais fel un yn cael ei wneyd yn ngwyneb, "anghysondeb a sarhad." Ai dyna yw *moesgarwch Cristionogol?*

5. I ddiweddu cronicliad yr amgylchiad moesgar yna, caniateir i ohebydd uwch ffugenw, i nodweddu egwyddor sydd yn nghalon a chydwybod enwad efengylaidd a rifir wrth y miliynau, yn uniawn ac Ysgrythyrol, fel yn "sarhad ar Gristionogaeth," "gwarthnod ar yr eglwys," ac yn "Babyddiaeth." Ai dyna yw *moesgarwch Cristionogol?*

6. Gwneir hyn oll gan olygydd a gohebydd ydynt yn aelodau o gyfundeb mawr, yr hwn pan y cyfarfyddodd ei wahanol gangenau yr hâf diweddaf yn Ysgotland mewn cynadledd grefyddol fawreddog—o herwydd eu hanghydweliadau, *ni wnaent gymuno a'u gilydd yn ystod yr holl gynadledd!!* A oes yn y pethau uchod, heb son am *foesgarwch, gysondeb Cristionogol?*

Mae'r Wawr a'i golygydd yn ieuainc; y *Cyfaill* a'r golygyddd yn urddasol mewn oedran, ond mewn difrif, ai hyn yw y gwersi a ddysgir i ni mewn *Christian courtesy?*

Politicaidd.—Ymledu mae y rhwyg rhwng yr Arlywydd a'r blaid Werinol yn y Senedd, ac fawr o obaith heddyw ei gyfanu. Diameu fod yr anghydweledíad rhyngddynt i raddau mawr yn un *personol* rhwng yr arweinwyr; ond dygir ef i weinyddiaeth y llywodraeth, ac achosion cyhoeddus. Pe byddai y Seneddwyr Conkling ac Edmunds yn setlo yn gyfrinachol eu cwynion yn erbyn yr Ysg. Evarts, yn lle eu dwyn i'r cyhoedd, fel ac i drymhau olwynion masnach ac anturiaeth, byddai yn fendith y gallai y wlad fforddio i dalu rhai miliynau am dani. Gresyn fod y cweryl personol hwn yn y blaid Werinol, o herwydd mae y blaid Ddemocrataidd yn gwisgo agwedd fygythiol iawn yn y Ty Isaf. Mae hi yn gyfangwbl dan lywodraeth yr aelodau Deheuol—arweinwyr y gwrthryfel. Flwyddyn yn ol, bygythiad gwag yn ein golwg oedd awgrymu y byddai yn rhaid i'r wlad ryw dro dalu dyledion y gwrthryfel; ond yn y Ty Isaf, mae un mesur wedi pasio eisoes, ac amryw eraill ar gael eu cynyg, y rhai a sylweddolant y bygythiad. Nid yw'r wlad yn barod eto am ddeng mlynedd o leiaf, i gael eu llywodraethu gan eu bradychwyr ddeunaw mlynedd yn ol. Tra yr ymdrecha ein Llywydd fod yn onest a didderbyn wyneb, hyderwn y dealla mai y blaid

Werinol gyda'i holl feiau yw gobaith y wladwriaeth am beth amser eto.

Y Rhyfel Dwyreiniol.—Er y mis diweddaf, y mae cyfnewidiadau mawrion wedi cymeryd lle yn y sefyllfa Ddwyreiniol, ac agos yr oll o honynt yn ffafriol i'r Rwssiaid. Mae holl gedyrn-leoedd y Tyrciaid yn Bulgaria wedi syrthio i ddwylaw eu gelynion; Servia wedi cyhoeddi ei hannibyniaeth, ac wedi ymuno yn y rhyfel. Mae y Sultan wedi anfon cri wylofus at lywodraethau Ewrop, yn erfyn arnynt i gyfryngu erddo; ond rhy ddiweddar yw'r cri i'r atebiad iddo i adferu Twrci i'w sefyllfa flaenorol yn mhlith galluoedd Ewrop. Gorchfygiad Twrci gan Rwssia a ddinystria dros byth yn Ewrop ddylanwad gwleidiadol Anffyddiaeth Fahometanaidd. Ar y "llifeiriant" hwn hefyd mae Duw yn eistedd.

Mae Ffrainc newydd ddianc o berygl chwyldroadol enbydus, i'r hwn y dygwyd hi gan ffolineb a chyndynrwydd ei Llywydd, yn cael ei gynhyrfu gan y blaid Babaidd; ond enillodd dewrni, doethineb, a pharhad y Gwerinwyr, y dydd, ac yn awr mae'r Weriniaeth Ffrengig yn fwy cadarn nag erioed o dan ofal y blaid Werinol.

Moesol.—Crybwyllasom yn y rhifyn diweddaf am y diwygiad dirwestol sydd yn ysgogi drwy'r wlad. Myned yn mlaen yn rymus y mae yn nyddiau diweddaf y flwyddyn, a'r elfen grefyddol ynddo yn nawseiddio'r foesol a chymdeithasol. Tybed a yw ein heglwysi yn effro i'r trwst hwn yn "mrig y morwydd?"

Crefyddol.—Mawr yw y cynwrf a wneir yn y wasg ac yn y pwlpudau y dyddiau hyn parthed anffyddiaeth ac amheuaeth yr oes. Haerir yn aml eu bod yn cynyddu mewn dylanwad a phoblogrwydd. Am y blaenaf—Anffyddiaeth—ni bu amser er cread dyn pan nad oedd "ynfyd" a ddyweda nad oes Duw. Rhyw glafychder anffortunus ydyw sydd yn mhob oes yn cystuddio nifer o'r hîl ddynol; ac yn sicr nid yw yn fwy felly, nac yn agos gymaint ag oedd yn yr oes o'r blaen. Mae materolaeth Lloegr a Germani yn lleihau mewn dylanwad a chredinwyr. *Amheuaeth* yw'r haint mwyaf cyffredin. Dynion, nid yn *gwadu* unrhyw beth, nac yn haeru unrhyw ddaliadau, ond yn *amheu'r* gwirionedd—amheu'r Beibl, amheu eu profiadau crefyddol. Nacaol yn gyfangwbl yw safon y cyfryw. Mae effaith amheuaeth ar grefydd yr oes yn niweidiol iawn. Deifia flodau yr eglwys, a llacâ afael enaid ar ei Dduw. Ond, nid yw amheuaeth yn cynyddu. Mae yn amhosibl i hyny fod. Mae yn natur—yn ngreddf dyn i chwilio am allu dwyfol i ymbwyso arno yn y dydd drwg. O'r dyfnder y llefa am Dduw, ac efe a wrendy lais ei weddi. Mwy o Grist yn y pregethu, mwy o sêl yn y gweddio, mwy o dduwioldeb byw a gweithredol yn y Cristion, mwy o ymgysegriad yn eglwys Dduw, mwy o Ysbryd yr Arglwydd i weithio yn ein plith, a yr ymaith amheuaeth o bob lle fel y gyra yr haul i'r tywyllwch i gilio.

---

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM RHAGFYR. (Matt. iii. 3).

*Athraw.*—A ragfynegwyd am ddyfodiad rhyw un heblaw Iesu Grist, Owen?

*Owen.*—Do, am Ioan Fedyddiwr (Esaiah xl. 3.) Daeth Ioan i symud anhawsderau, ac i wneyd ffordd rydd i ddyfodiad llwyddianus y Meistr Mawr. Cymer rhai y brophwydoliaeth hon i gyfeirio at ddychweliad y genedl Iuddewig o gaethiwed Babilon, ac hefyd yn ddiweddarach o ddyfodiad Ioan. Beth bynag am y gosodiad cyntaf, y mae yr olaf yn amlwg.

*Athraw.*—Pa fath ddillad, Gwilym, wyt ti yn olygu oedd y rhai hyn?

*Gwilym.*—Dillad wedi eu gwneyd o flew camel. Dillad wedi eu trin a'u gwau yn ystwyth a thyner. Mae yn debygol ei bod yn arferiad gwisgo dillad o'r fath yn y dyddiau hyny.

*Ifan Meredydd.*—'Dw i ddim yn meddwl fod i ddillad e yn rhai *fine*

iawn, ond mae'n debyg eu bod nw'n lled arw. Do'dd Ioan ddim yn berticiler yn nghylch i ddillad, fel ma' pregethwyrs yn y didde hyn. Yn awr, ond iddi nw gael neished wen, cot ddu *nice*, a gard biwr i hongian ar eu brystis, ma' nw'n credu eu bod nw'n ddinion wedin.

*Athraw.*—Fe ddichon fod *rhai* o'r nodweddion yna i'w cael Ifan, ond y mae y mwyafrif o ddigon, a diolch am hyny, fel arall. Mae yn wir fod poblogrwydd rhai yn eu gwallt, ac yn eu *wits*, a'u gwisgoedd, &c., ac y mae yn ddrwg genyf ddyweyd fod gormod o sylw o lawer yn cael ei dalu iddynt. Gobeithio daw'r byd yn well, Ifan. Rhyw fwyd rhyfedd oedd "locustiaid a mêl gwyllt," onite, Dafydd?

*Dafydd.*—Ie, bwyd rhyfedd ddigon, yr oedd yn fwyd cyffredin yn mysg y dosbarth tylotaf o'r bobl. Math o greaduriaid adeiniog oedd y locustiaid, tebyg i'r *grasshoppers*, ac yr oeddynt yn lân yn ngolwg yr Iuddew. (Lef. xi. 22.) Yr oedd amryw ffyrdd i'w coginio; gellid eu rostio, neu eu berwi, &c. Yr oedd digon o fêl yn agenau creigiau y diffaethwch, a diau mai y mêl hwn oedd Ioan yn fwyta, oblegid cawsai Palestina yr enw o fod yn wlad oedd yn llifeirio o laeth a mêl.

*Abram Llwyd.*—Fyse dim haner cyment o bregethwyrs i gael nawr, byse nw'n gorffod byw fel Ioan, ar fwyd fel hyn. Pan ma' nw yn mind off i bregethu, ma' nw'n disgwl cael tamed lled nice, credwch chi fi. I nine, wrth gwrs, wedi dod i wbod hyn, a phan bo nw'n dod ar i'n traws ni, r'in 'n trio rhoi'r tamed gore o'u blaen nw, er mwyn cadw 'u cape nw'n gwmws.

*Athraw.*—Peidiwch a bod mor dueddol i sarhau ein dynion goreu, fechgyn. Nid wyf yn amheu nad oes ambell i gymeriad lled amheus yn eu mysg, ond fel dosbarth, y maent y bobl oreu a welodd y byd erioed. Morgan, beth oedd yr argraff oedd Ioan wedi wneyd ar feddyliau y bobl?

*Morgan.*—Aeth y rhan luosocaf o bobl Jerusalem, Judea, a'r holl wlad oddiamgylch, allan i'w weled a'i wrando. Creodd y Bedyddiwr *stir* neillduol yn y wlad. Dyn ydoedd ag Ysbryd Duw yn ei arddel, ac felly ni allasai lai na gwneyd gwrhydri mawr yn y wlad.

*Athraw.*—A ddarfu i rai o honynt ufuddhau, Owen?

*Owen.*—Do. (Adn. 6.) Dull Ioan, fel y sylwasom o'r blaen, o weinyddu yr ordinhad hon oedd trwy *drochiad*. Bu y byd rai canrifoedd ar ol hyn cyn gwybod dim am *daenelliad*. Y mae y gair a ddefnyddir yn y gwreiddiol. sef *baptizo*, yn golygu soddi, trochi, claddu, &c. Hefyd, y mae y *lle* y gweinyddai yr ordinhad, sef *yn* yr Iorddonen, yn dangos mai eu trochi yr ydoedd. Heblaw hyn, yr oedd Ioan yn dewis manau neillduol i fedyddio, ac yn gwneyd hyny am fod dyfroedd *lawer* yn y lleoedd hyny. Pe eu taenellu fuasai, ni buasai rhagoriaeth yn y naill le na'r llall.

*Athraw.*—Eu trochi, ïe, wrth gwrs, a diolch am yr ordinhad werthfawr a bendigedig.

---

*Gofyniad.*—Mr. Gol.: Erfyniaf eich cenad er gosod ger eich bron chwi, a'ch gohebwyr deallus, y gofyniad canlynol, sef, "A ydoedd Pedr o dan gyfarwyddyd Dwyfol Ysbrydoliaeth, pan y safodd i fyny yn nghanol y dysgyblion er gosod ger eu bron yr angenrheidrwydd o ethol i'r swydd Apostolaidd, ryw un yn lle Judas, o'r hon swydd y 'cyfeiliornodd efe i fyned i'w le ei hun?'" Neu yntau, "A ydoedd yr etholiad a gyfrifwyd i Matthias ryw beth yn amgen na ffrwyth mympwyol Pedr ei hunan, &c.?" Yn awr, Mr. Gol., os bernwch y gofyniad uchod yn deilwng o le yn rhyw gongl o'ch misolyn gwerthfawr, byddaf ddiolchgar i chwi, neu ryw un o'ch gohebwyr deallus, am roddi atebiad goleu ac Ysgrythyrol iddo. Gan ddymuno i chwi bob llwyddiant yn eich anturiaeth glodwiw, ac y bydd i bob Bedyddiwr Cymreig ddyfod yn dderbyniwr o'r, ac yn dalwr prydlawn am eich Cylchgrawn buddiol. Yr eiddoch yn serchus,—*Shon o'r Dwyrain.*

*Cattaraugus, N. Y.*—Gan fod adran o'r WAWR at hanes yr Ysgol Sul, credwn mai nid annyddorol fyddai ychydig o gofnodion o lafur deiliaid y cyfryw sefydliad clodwiw yn y lle hwn, yn eich colofnau. Y mae tuedd mewn cyhoeddusrwydd o'r fath lafur, i symbylu y rhai diymdrech, ac yn anogaeth i'r rhai sydd yn ffyddlon o blaid llaw-forwyn yr Eglwys Gristionogol. Dealler nad yw y cyfrifon canlynol ddim ond am dymhor yr hâf, sef tua phedwar mis, gan nas gellir yn y wlad, o herwydd pellder ffordd oddiwrth yr addoldy, gynal yr Ysgol Sabbothol, ond ar yr amser a nodwyd. Y mae cynwysiad y llafur fel y canlyn :—

| | | | Salm. | Pen. | Adn. |
|---|---|---|---|---|---|
| Dos. | 1. | John C. Williams | 6 | 4 | 583 |
| " | 2. | Mrs. J. P. Williams | 14 | 2 | 587 |
| " | 3. | Mary A. Williams | 15 | 12 | 231 |
| " | 4. | Mrs. Thos. Davies | 28 | 6 | 425 |
| " | 5. | John Higgins . . | 13 | 8 | 208 |
| " | 6. | Isaac James . . . | | | 37 |
| " | 7. | David Mathias . . | 1 | | 289 |
| " | 8. | William Roberts . | 14 | 5 | 144 |
| " | 9. | Wm. W. Williams | | 1 | 157 |
| " | 10. | Samuel Morgan . | 5 | 7 | 179 |
| " | 11. | David J. Williams | | | 21 |
| " | 12. | Mrs. W. Davies . | 2 | | 33 |
| | | Cyfanswm . . | 98 | 45 | 2891 |

Rhif yr Ysgol ar gyfartaledd bob Sabboth, 54.

DAVID H. EVANS, *Arolygydd.*
WILLIAM T. EVANS, *Ysgrifenydd.*

---

*Atebiad.*—Yn y WAWR am Hydref, y mae cwestiynau i'r bobl ieuainc. Edrychais am atebiad iddynt yn y WAWR am Tachwedd, ond mae yn ymddangos na thalodd neb sylw iddynt, am hyny, treiaf eu hateb fy hunan.

1. Faint o flynyddau ar ol yr adeg y dywedodd Crist, "Cofiwch wraig Lot?" Y mae yn ymddangos i mi mae 1,927 o flynyddau ar ol yr adeg, y dywedodd Crist hyny.

2. Nid wyf yn sicr a wyf yn deall y cwestiwn hwn a'i peidio, os wyf, yr wyf yn tybied mae y "ddau leidr" oeddynt.

ion i'w gweled yn Ioan xiv. 16, a rhan ddiweddaf o'r 19eg.

4. Y personau ydynt Felix, Actau xxiii. 26; Ffestus, Actau xxv. 9; a Ffortunatus, 1 Cor. xvi. 17.

Os yn anghywir, carwn oleuni arnynt yn y WAWR nesaf, a'r rhai hyn i fyned i'r *waste basket.*

*San Francisco.* R. S. WILLIAMS.

---

## HANESION CARTREFOL.

*Taylorville, Pa.*—Cynaliwyd Cyfarfod Adroddiadol yn y lle uchod, hwyr dydd Llun, Tachwedd 26ain, mewn cysylltiad a'r Ysgol Sabbothol perthynol i'r Bedyddwyr. Llywyddwyd gan ein parchus weinidog, D. Rhoslyn Davies. Credwyf mai annoethineb fyddai enwi pawb a gymerodd ran yn y cyfarfod; ond maddeuer i mi am enwi un neu ddau, a hyny ar gyfrif eu bod mor ieuainc, sef Anne Davies a Tommy Davies, brawd a chwaer, plant David T. Davies, arweinydd y canu. Er nad yw y cyntaf ond 8 mlwydd oed, eto yr oedd yn chwareu yr *organ* nes synu pawb oedd yn bresenol. Hefyd, cawsom glywed yr "Halelulia Chorus," ar yr organ, gan ei brawd, nes gwefreiddio y dorf. Trueni fod hwn yn gweithio yn y pwll glo. Methwyd a myned drwy y *programme* i gyd am nad oedd amser yn caniatau. Cawsom gyfarfod dyddorol ac adeiladol, pawb yn adrodd a chanu yn rhagorol. Diweddwyd trwy i'r côr ganu y dôn a welir yn y WAWR am Hydref, cyfansoddedig gan y cerddor medrus, Thomas Evans, Kingston. Aeth pawb adref mewn awydd cael cyfarfod cyffelyb yn fuan eto.
—*William T. John.*

*Cyfarfod Chwarterol y Bedyddwyr perthynol i Gymanfa Dwyreinbarth Pa., a gynaliwyd yn Parsons, Rhagfyr 19.*—Penderfynodd ein Cynadledd Gymanfaol yn Ashland, Awst diweddaf, gychwyn Cyfarfod Chwarterol yn Swydd Luzerne. Yn unol â'r penderfyniad hwn, cynaliwyd y cyntaf gyda'r eglwys yn Parsons. Daeth gweinidogion y Sir

agos oll yn nghyd, a chafwyd cyrddau da, hwyliog. Cyfarfyddodd amryw o'r brodyr mewn cynadledd fechan am 2 o'r gloch, pan yr ymdriniwyd ag amryw bethau buddiol. Yn mysg pethau eraill, penderfynwyd, fod y Parch. H. C. Parry (*Cefni*) i barotoi anerchiad ar "Ddylanwad Egwyddorion y Bedyddwyr ar y Byd," erbyn y cyfarfod nesaf. Ac hefyd, fod y Parch. E. Jenkins, Plymouth, i bregethu ar "Haelioni Cristionogol." Hyderwn y bydd i ddylanwad daionus ddeilliaw i eglwys barchus Parsons oddiwrth y cyfarfod hwn.—*D. Rhoslyn Davies, Ysg. Achl.*

## *BEDYDDIADAU.*

*Pittston, Pa., Tach. 25ain, 1877.*—Mr. Gol., y mae genym i'ch hysbysu fod yr achos da ar ei gynydd yn raddol yn ein plith o hyd; er mai araf iawn yw, ond ni a hyderwn ei fod yn sicr. Cawsom y fraint o weled ein parchus weinidog, y Parch. H. C. Paray (Cefni), wedi anerchiad galluog ar y Bedydd Cristionogol, ac iawn ddeiliaid bedydd, yn bedyddio un brawd ar ei broffes o'i ffydd yn Mab Duw, yn y fedyddfa ger y capel, yn ngwydd torf luosog o wrandawyr parchus. Yr oedd yr olygfa yn ogoneddus; gweled un o hen wrandawyr efengyl yn dyfod ar ddarfod am dano i ymofyn am ran yn y Gwaredwr; ac yn yr hwyr, wedi pregeth galluog, derbyniwyd ef i gymundeb yr eglwys, a chawsom y fraint o weled un o'r hen wrandawyr yn troi ei wyneb atom yn y gyfeillach, yn gofyn am ran yn y Ceidwad; a'n gweddi yw, ar i'r Arglwydd eto i arddel llafur ei was yn ein plith.

*Pittston, Pa., Rhagfyr 16eg, 1877.*—Cawsom yr hyfrydwch o weled ein llafurus weinidog, y Parch. H. C. Parry (Cefni), yn myned ag un brawd ar ol yr Iesu i'r dyfrllyd fedd, yn ngwydd tyrfa luosog. Darllenwyd a gweddiwyd gan y brawd Isaac E. Davies. yna cafwyd ychydig sylwadau gan Mr. Parry, a gweinyddwyd yr ordinhad o fedydd gyda'r symlrwydd mwyaf; a'r côr yn canu tra yr oedd yn gweinyddu yr ordinhad, a'n gweddi yw, ar i Dduw bara i lwyddo llafur ein hoffus frawd, ac hyrwyddo cerbyd yr iachawdwriaeth yn ein mysg, a thros yr holl fyd. Yr eiddoch, gyda dymuno pob llwyddiant i'r WAWR a'i golygydd ffyddlawn.—*Jacob W. Evans.*

*Plymouth, Pa.*—Rhag. 23, bedyddiwyd tri, sef dau frawd ac un chwaer. Hefyd, derbyniwyd tri at yr eglwys drwy lythyrau. Gwelwch wrth hyn, Mr. Gol., fod yr achos da ar ei gynydd graddol yn ein plith. Pob llwydd i chwi a'r WAWR.—*Edward Jenkins.*

## *PRIODWYD—*

Rhagfyr 14, 1877, yn Youngstown, Ohio, gan y Parch. D. Probert, Mr. David Davies a Miss Emma J. Jones, ill dau o'r un lle.

Rhag. 24, 1877, yn Plymouth, Pa., yn nhy tad a mam y briodasferch, gan y Parch. Edward Jenkins, Mr. Jonah Rees a Miss Elizabeth Harris, y ddau o Plymouth.

## *BU FARW—*

### MISS MARY WILLIAMS.

Hydref 31, 1877, yn Berlin, Wis., Mary Williams, merch fabwysiedig i John D. Williams a'i briod, yn 22 mlwydd oed. Gweinyddwyd yn yr angladd gan yr ysgrifenydd.

ROBERT D. EVANS.

### MRS. MARY JONES.

Gorphenaf 25, 1877, ger Salem y Coed, Wis., bu farw ein hanwyl chwaer Mrs. Mary Jones, gwraig Mr. John J. Jones, o'r ardal uchod, a merch i'r diweddar Barch. Daniel Davies, Talgoed, ac hen weinidog yn Penbont, Llandyssul, a chyfnither i'r enwog, y diweddar Barch. John P. Davies, Tredegar, Mynwy. Ei hoed oedd 65 mlwydd.

Cafodd y chwaer anwyl hon y fraint o wneyd proffes o Fab Duw pan oedd yn 25 ml. oed. Bedyddiwyd hi yn afon Teifi, gan y diweddar Barch. Timothy Thomas, Castellnewydd Emlyn, a derbyniwyd hi yn aelod gyflawn yr un dydd yn yr eglwys sydd yn cyfarfod yn Penbont, Llandyssul; a gallwn ddywedyd, iddi ddal yn aelod ffyddlon gyda'r Bedyddwyr hyd ddiwedd ei hoes, yn ngwyneb llawer o groesau a gwrthwynebiadau.

Pan yn 26 mlwydd oed, ymunodd mewn priodas â Mr. John J. Jones, o'r un ardal, yr hwn sydd heddyw wedi ei adael yn weddw ar ei hol. Buont fyw wedi hyny yn yr Hen Wlad hyd nes y daethant drosodd i America, tuag ugain mlynedd yn ol. Cawsant saith o blant

yn yr Hen Wlad, a bu eu mab ieuengaf, Daniel, farw yn fuan wedi iddynt ddyfod i'r wlad hon, yr hyn a effeithiodd yn fawr ar ei meddwl. Y mae chwech wedi eu gadael ar ol yn amddifaid—oll ond un wedi priodi, ac yn gwneyd yn dda, ac oll yn proffesu crefydd oddigerth un. Bu yn briod ofalus, ac yn fam dyner.

Wedi dyfod drosodd i'r wlad hon, ymunodd â'r frawdoliaeth sydd yn cyfarfod yn Salem y Coed, Wis., a gellir dyweyd iddi fod yn ffydd lon, hyd y gallodd, i fyned i foddion gras, ac am achos crefydd yr oedd ei hymddyddan parhaus, yr hyn sydd yn dangos mai crefydd oedd y peth blaenaf ar ei meddwl.

Cafodd gystudd maith, am oddeutu pedwar neu bum' mis. Yr oe d yn hynod dawel yn ei chystudd, a bu farw yn dawel, a'i phwys am fywyd tragywyddol ar aberth y Ceidwad, yr Arglwydd Iesu Grist.

Gorph. 27ain, daeth y cymydogion i wein yddu y gymwynas olaf iddi, sef i gludo ei chorph i'r bedd, pryd y gweinyddwyd gan y Parchn. Evan Owen (A.), Ridgeway, a Thos. Holland, ei gweinidog, yr hwn bregethodd oddiar Phil. 1: 21.

Yr Arglwydd a ofalo am ei phriod galarus. a'r perthynasau oll. Addfeder hwy a ninau i gael cwrdd mewn gwlad lle na bydd neb yn marw. CYFAILL I'R YMADAWEDIG.

## Y GONGL GENADOL.

Wedi methu llanw y Gongl Genadol y mis diweddaf o herwydd fy absenoldeb oddicartref, ymdrechaf y mis hwn i wneyd y golled i fyny, trwy barhau i roddi ychydig yn ychwaneg o hanes y genadaeth yn Ewrop.

Sweden gaiff fod maes ein hymchwil y tro hwn. Mae cryn ddyddordeb yn perthyn i hanes crefyddol y wlad hon, er ys canoedd o flynyddoedd. Os na fydd yn cymeryd gormod o ofod y WAWR, cymerwn fyr olwg ar amgylchiadau crefyddol o amser dygiad Cristionogaeth iddi hyd yn bresenol. Mae teyrnas Sweden yn ffurfio rhan ddwyreiniol gorynys (*peninsula*) Scandiavia; yn cyrhaedd o 69 i 50 lledred gogleddol. Ei hyd yw 900 milldir, a'i lled o 150 i 200 milldir. Mae ei hyd yn peri fod gwahaniaeth mawr yn nhymheredd yr hin yn y gogledd a'r de. Yn uchel yn y gogledd, mae yr oerni yn angerddol, fel mae yn wybyddus fod arian byw (*quicksilver*), wedi rhewi, ond eto yn y dosran ddeheuol, mae yr hinsawdd yn gymharol dyner. Tra gellir dyweyd am Sweden ei bod yn wlad oer, eto, cynyrcha yn agos yr hyn oll sydd rheidiol er cynaliaeth a chysur ei thrigolion. Ei phoblogaeth yw 4,250,000; o'r rhai hyn mae 14,000 yn Finiaid, a 7,000 yn Laplandiaid. Mae tair achyddiaeth gwahanol yn perthyn iddynt: y Germanaidd, y Laplandaidd, a'r Finaidd. Mae yr iaith Swedenaidd yn gangen o'r iaith Teutonaidd, ac yn dal perthynas agos i'r rhan Anglo-Saxonaidd a'r Seisnig. Mae iaith y Laplandiaid a'r Finiaid yn gangen o iaith Ugro Tartaraidd, ac yn gwahaniaethu gymaint oddiwrth yr iaith Swedenaidd, ag yw y Gymraeg oddiwrth y Seisnig.

Bu amser pan oedd y genedl Swedenaidd, er nad oedd ond ychydig o rifedi, eto, mewn ystyr filwraidd, yr oedd yn sefyll yn y rhes flaenaf o deyrnasoedd Ewrop, yn enwedig yn amser y dyn mawr Gustavus Adolphus, a Charles y XII. Parhaodd felly am 100 mlynedd. Yn y flwyddyn 1709, collodd ei henwogrwydd milwraidd trwy ddylanwad dinystriol brwydr Pultowa Ei dinasoedd mwyaf oeddynt Gothenburg, Mulmo, Norrkoping, a Stockholm, ei phrif ddinas.

*Crefydd y Wlad.*—Lutheriaeth yw crefydd sefydledig Sweden Paganiaeth oedd wreiddiol yn y wlad hon, y bobl yn addoli delwau, yn aberthu anifeiliaid, ac ar amserau, fodau dynol. Odin oedd enw ei phrif dduw Tua y flwyddyn 830, dygwyd y grefydd Babaidd i'r wlad gan Ansgar, mynach o Ffrainc, a daeth yr holl wlad o dan ei dylanwad. Ond er fod cenadon Rhufain wedi gwneyd ymdrech mawr i ddiddymu paganiaeth, eto ni chafodd y diwygiad (*Reformation*), gyflwr crefyddol y wlad ond ychydig yn well. Yn y flwyddyn 1521, cyfododd Gustavus Nasu faner gwrthryfel yn Dalecarlia. Ymdrechfa oedd hon yn erbyn brenin Denmark ac esgob Rhufain; rhoddodd hyn derfyn ar lywodraeth Denmark, ac uchafiaeth Babaidd yn Sweden. Yn eisteddfod (*diet*), Westeras, yn y flwyddyn 1527, sefydlwyd Protestaniaeth trwy yr holl wlad, ond nid oedd y diwygiad hwn ond yn allanol, tebyg i'r diwygiad yn Lloegr dan Harri yr VIII; fel nad oedd ond gwahaniaeth bychan yn yr eglwys Lutheraidd oddiwrth yr un Babaidd; ond fod yr enw wedi ei newid. Yn lle bod y Pab yn ben, yr oedd y brenin yn ben yr eglwys, ac esgob Lutheraidd yn lle esgob Rhufeinaidd. Prif fantais y diwygiad hwn oedd, fod y Beibl wedi ei gyfieithu i'r iaith Swedenaidd yn 1540, a'r gwasanaeth crefyddol yn cael ei gynal yn iaith y bobl, yn lle y Lladin; ond ychydig o wir grefydd oedd yn y wlad, hyd ddechreu y ganrif ddiweddaf, pan gyrhaeddodd brwdfrydedd crefyddol Germani y wlad. Yn ddiweddarach, rhoddodd y Moraviaid gynhyrfiad diwygiadol yn mhlith y bobl, effeithiau yr hwn a deimlir hyd heddyw Ond yn arbenig o 30 i 40 mlynedd yn ol, mae lefain gwir grefydd wedi bod yn gweithio trwy bob man, o'r palas breninol i fwthyn y dyn tylawd, yn benaf trwy ymdrechion cenadwr Seisnig, o'r enw George Scott, yr hwn a lafuriodd o'r flwyddyn 1830 hyd 1842, pan gafodd ei yru o'r wlad.

*Y Mudiad Bedyddawl.*—Mae cadwyn o ddygwyddiadau yn gysylltiedig â'r mudiad hwn, yn dangos yn eglur fod llaw gan Ragluniaeth Ddwyfol yn y gwaith. Yr oedd mor-

wr ieuanc, o'r enw Gustavus W. Schroeder, o Sweden, wedi cael ei arwain ar foreu Sabboth i'r *Mariner's Church*, New York, yr hon oedd dan ofal y Parch. J. R. Steward. Yr oedd y dyn hwn wedi profi cyfnewidiad trwy ras, ar fordaith i'r Unol Dalaethau, ac yn ymofyn am eglwys i ymuno â hi. Ar y boreu hwn, yr oedd dau forwr yn cael eu bedyddio; hwn oedd y tro cyntaf i Mr. Schroeder i weled yr ordinhad o fedydd yn cael ei gweinyddu. Yn mhen ychydig o wythnosau, cafodd yntau ei fedyddio. Wedi rhyw gymaint o amser, dychwelodd i Sweden, lle y cyfarfyddodd â morwr Swedenaidd, o'r enw T. O. Nilson, yr hwn oedd yn llafurio yn Sweden, dan nawdd Cymdeithas Cyfeillgarol y Morwyr, New York. Trwy ryw sylw o eiddo Mr. Schroeder, tueddwyd Mr. Nilson i chwilio i fewn i bwnc y Bedydd Cristionogol. Yn y flwyddyn 1847, bedyddiwyd ef yn Hamburgh, gan y Parch. J. G. Oncken. Yn 1848, bedyddiwyd Mrs. Nilson, a phedwar eraill, gan genadwr y Bedyddwyr yn Denmark, yn agos i Gothenburg. Corpholwyd y chwech yn eglwys yr un dydd. Hon oedd yr eglwys gyntaf o Fedyddwyr yn Sweden. Ordeiniwyd Mr. Nilson yn Hamburgh, yn fugail arnynt. Yr oedd Mr. Nilson, yn teithio, yn pregethu, a bedyddio, y cyfryw ag oedd yn proffesu ffydd yn Nghrist, nes daeth yr eglwys o *chwech yn bump-deg a-dau*. Ond nid oedd awdurdodau yr Eglwys Wladol yn foddlon goddef pethau fel hyn i fod. Yn 1851, derbyniodd Nilson gondemniad i gael ei alltudio, a ffodd am noddfa i Denmark; ac yn y flwyddyn 1853, ymfudodd yr eglwys i America. Dygwyd llawer o'r Bedyddwyr cyntaf hyn o flaen yr Eglwys-lys (*consistory*), dan y cyhuddiad o esgeuluso cael eu plant wedi eu bedyddio, a gadael y wir athrawiaeth efengylaidd, &c. Tra yr oedd y fflam fechan o grefydd bur wedi ei diffoddi yn Neheubarth Sweden trwy yr erledigaeth a nodwyd, dechreuodd oleuo yn y parth Gogleddol. Yr oedd ychydig o bersonau yn Stockholm wedi cael eu dwyn i wybodaeth o'r gwirionedd, ac yn dechreu amheu fod bedydd plant yn Ysgrythyrol, ac yn eu plith yr oedd D. Farssell, masnachydd mewn *furs*. Daw y dyn hwn dan sylw eto yn yr ysgrif hon.

A ganlyn sydd adroddiad o eiddo y Parch. A. Wiberg, o Stockholm, am dano ei hun (mae Wiberg yn Sweden yn ddyn nodedig, fel mae Oncken yn Germani): "Cefais fy arwain gan Ragluniaeth Duw i Stockholm, tua'r amser a nodwyd. (Pan oedd Farssell ac eraill yn amheu am fedydd plant). Yr oeddwn wedi fy addysgu i'r weinidogaeth yn yr eglwys Lutheraidd. Daethym i adnabyddiaeth gadwedigol o Grist yn y flwyddyn 1842. Urddwyd fi yn Upsala yn 1843, a bum yn gweini yn swyddogol yn yr Eglwys Wladol hyd 1849. Gan fy mod wedi profi Crist yn werthfawr i fy enaid fy hun, teimlwn ei bod yn fraint ogoneddus i ddal i fyny y Crist croeshoeliedig fel yr unig ffordd o iachawdwriaeth. Arferwn bregethu, nid yn unig yn nhemlau yr Eglwys Sefydledig, ond hefyd yn mhentrefi a ffermdai y wlad; a gwelodd Duw yn dda i fendithio fy ngweinidogaeth i droi pechaduriaid ato ef ei hun. Ond o herwydd amryw resymau, ni theimlais erioed yn ddedwydd yn fy nghysylltiad â'r Eglwys Wladol. Yn 1849, daeth fy meddwl i benderfyniad hollol i dori fy nghysylltiad â'r Eglwys. Nis gallwn yn gydwybodol weinyddu Swper yr Arglwydd i bawb yn ddiwahaniaeth, yr hyn oedd arferiad yr Eglwys Sefydledig yn Sweden. Wedi i mi roddi fy ngweinidogaeth i fyny yn yr Eglwys Wladol yn 1850, aethum o Ogledd Sweden i Stockholm. Tra yno, cyfarfyddais a brodyr ag oedd yn llafurio dan amheuaeth am fedydd. Yr oeddwn hyd yn hyn yn bleidiwr i fedydd babanod. Yn 1851, aethum gyda Mr. Farssell i Hamburgh, lle y cyfarfyddais a'r Parch. J. G. Oncken, a'i gydlafurwr y Parch. J. Kobner. Aethum i ddadl frwd a'r brodyr hyn ar fedydd, ond yr oeddwn yn parhau yn fy ngrediniaeth. Wrth i mi ymadael, rhoddodd Mr. Kobner gopi i mi o "Pengilly's Guide to Baptism." Darllenais hwn ar y fordaith yn ol i Stockholm; oddiwrth hwn ac esboniad galluog Dr. J. L. Dagg, ar 1 Cor. vii. 14, cefais nad oedd bedydd babanod yn bodoli yn eglwys Corinth. Daethum i'r penderfyniad nad oedd yn bodoli yn un o'r eglwysi Apostolaidd. Yr oedd fy ffydd yn medydd babanod wedi siglo ar fy nychweliad i Stockholm. Gwnaethum ymchwiliad trwyadl i'r pwnc, a'r canlyniad oedd, fy llwyr argyhoeddi mai bedydd y crediniol trwy drochiad yw yr unig fedydd Ysgrythyrol.

Wedi i mi gael gafael ar y gwirionedd (ar fedydd), ysgrifenais fy llyfr cyntaf ar fedydd, yn 320 tu dalen wythplyg, yr hwn a gyhoeddwyd yn Upsala yn 1852.

*Bedyddio Mr. Wiberg.*—Ar fy nychweliad i Stockholm, cefais fy nharo gan waedu o'r ysgyfaint, fel y bum, wrth bob argoel, yn agos i angau. Wedi i mi i raddau gryfhau, cynghorwyd fi i gymeryd mordaith. Cynygiwyd *passage* rhad i mi mewn hwyl-long i'r Unol Dalaethau; yr hyn a dderbyniais yn ddiolchgar. Cychwynais ar y 17eg o Orphenaf. Arosodd y llong ychydig wrth Ynys Amager, yn agos i Copenhagen. Gan nad oedd neb Bedyddwyr yn Sweden, penderfynais gymeryd gafael ar y cyfle cyntaf i dalu ufudd-dod i'r gorchymyn Dwyfol. Yr oeddwn yn gwybod fod eglwys fechan o Fedyddwyr yn Copenhagen; apeliais yno am aelodaeth, adroddais fy mhrofiad, cefais dderbyniad, a bedyddiwyd fi yn yr hwyr, Gorphenaf 23ain, yn Môr y Baltic, gan F. O. Nilson. Hwn oedd un o fynydau dedwyddaf fy mywyd; ac fel yr Eunuch, aethum ar hyd fy ffordd yn llawen."

Wedi i Mr. Wiberg gyraedd New York, cafodd dderbyniad croesawus gan y Parch. J. R. Steward, ac eraill. Cymeradwywyd ef i sylw y *Baptist Publication Society*, a bu yn ei gwasanaeth fel colporteur am rai misoedd. Wedi hyn, rhoddodd daith trwy Illinois ac Iowa, i ymweled a'r sefydliadau Swedenaidd

yno. Cymellodd y Gymdeithas ef yn ol i Philadelphia, ac arosodd yno ddwy flynedd yn cyfieithu *tracts* i'r Swedaeg, a'u *stereotypio*. Ysgrifenodd hefyd ddau lyfr ar fedydd. Yn 1855, apwyntiwyd ef i fod yn arolygydd ar waith y *colportage* yn Sweden, dan nawdd y Gymdeithas uchod. Awst 23ain, cynaliwyd cyfarfod ymadawol yn y Fifth Church, Philadelphia, pan yr unwyd ef mewn priodas â Miss Caroline Lintemuth, aelod o'r eglwys uchod; ac fel Jacob, dychwelodd i'w wlad ei hun, yn ddwy fintau.

Yn y tair blynedd o absenoldeb Mr. Wiberg, yr oedd yr achos wedi cynyddu yn Sweden, tu draw i bob dysgwyliad, ac wedi parhau i gynyddu hyd heddyw, ac argoelion y bydd ei gynydd yn fawr yn y dyfodol. Nid heb lawer o wrthwynebiad ac erledigaeth mae y gwaith wedi cael ei gario yn y blaen. Wedi i'r awdurdodau eglwysig fethu rhwystro yr achos trwy ddadleuon cyhoeddus, &c., troisant at yr hen *argument* o erledigaeth trwy ysbeilio, carcharu, &c., y rhai oedd yn pregethu a gweinyddu yr ordinhadau heb drwydded oddi wrth yr awdurdodau. Byddai dilyn cynydd y genadaeth yn Sweden, yn dra dyddorol, ond mae gofod eisoes yn pallu, fel mae yn rhaid boddloni ar roddi ychydig o *ystadegau*, er dangos pa beth yw sefyllfa bresenol yr achos a ddechreuodd mor ddiweddar ac mor wan.iidd. Gellir nodi cyn myned yn mhellach, nad yw y brodyr yn Sweden, hyd eto, wedi sicrhau iddynt eu hunain ryddid i bregethu yr efengyl, ond y mae gobaith cryf y symudir y rhwystrau erledigaethus o'r ffordd yn fuan, ac y caiff gair yr Arglwydd faes rhydd i redeg, a chael ei ogoneddu, heb fod neb yn beiddio ei wahardd Dyweded pob Cristion, Amen ac Amen.

Mae ystadegau y genadaeth yn Sweden fel y canlyn: Rhif yr eglwysi, 240; Eglwysi wedi eu corpholi yn 1876, 13; Tai Addoliad, 83; Bedyddiwyd y flwyddyn ddiweddaf, 1,342; Derbyniwyd trwy lythyrau, 436; Adferwyd, 124; bu Farw, 117; Gollyngwyd, 525. Rhif presenol, 11,518; Plant yn yr Ysgolion Sabbothol, 16,593. Casglwyd Rix Dollars, 106,-092, cyfartal i $18,290 yn arian yr Unol Dalaethau. Mae yr hyn a nodasom yn dangos y llwyddiant mawr sydd wedi canlyn ymdrechion ein brodyr oddi dan anhawsderau lawer. Ffordd gyffredin Duw yw gweithio trwy *wendid*, fel y byddai yn amlwg fod godidawgrwydd y gallu o hono Ef, ac nid o ddynion. Dyma fi wedi gwneyd a allwn i osod o flaen y darllenydd ychydig o lawer a allesid ei ddyweyd am lwyddiant anarferol ein cenadaeth yn y wlad nad oedd ond ychydig mwy na *ffurf* o grefydd heb ei grym wedi meddianu y bobl. Mae hyn yn anogaethol i ni i weddio dros, a chyfranu at yr achos mae genym seiliau i gredu fod Duw o'i blaid, a bod yn rhaid iddo lwyddo, fel y byddo i Grist gael gweled mwy fwy o lafur ei enaid, a chael ei ddiwallu.

*Wilkesbarre.* THEOPHILUS JONES.

MR. GOL —Nid oes neb wedi gwneuthur un math o sylw yn y WAWR ar y pwnc cenadol, na'r cynllun a osodwyd o flaen yr eglwys yn fy ysgrif gyntaf yn mis Hydref. Yr wyf yn meddwl fod y pwnc yn wir deilwng o sylw brodyr yn y weinidogaeth ac eraill. Os nad oes dim cefnogaeth i'r amcan hwn, mae yn llawn cystal i mi beidio trafferthu o'i gylch. Yr eiddoch, &c.—*Theophilus Jones.*

---

# HANESION CYMRU.

## DYFYNIADAU O LYTHYR O GYMRU.

*Llanllyfni, Rhagfyr 8fed, 1877.*

*At Olygydd y* WAWR:

ANWYL BARCHUS FRAWD.—Yr wyf yn teimlo rhwymau mawr arnaf i ysgrifenu ychydig o linellau atoch, oblegid hen gyfeillgarwch â chwi a'ch perthynasau. Y mae genyf barch i chwi am eich talent fel bardd a llenor. Yr wyf yn rhwymedig iawn i chwi am amryw rifynau o'r WAWR a anfonasoch i mi, yn enwedig y ddau rifyn sydd yn cynwys Adolygiad Cefni ar lyfr "Ioan Einon." Y mae yr adolygiad hwn o'i faint, yn un o'r pethau mwyaf talentog a doniol ar fedydd a ddarllenais erioed. Yr wyf yn eu cadw yn ofalus. Y mae Parry yn dalentog iawn fel ysgrifenwr, a phregethwr, a bardd hefyd. Clywais rai pregethau nodedig ganddo.

Clywsoch mae yn debyg fy mod wedi colli fy anwyl wraig er's yn agos i ddwy flynedd. Yr wyf yn aros yn yr un lle, a fy merch gyda mi—y mae hi wedi priodi er ys talm o amser. Yr wyf fi mor gysyrus ag y gallai un dyn ddysgwyl bod yn yr un amgylchiadau; yr wyf yn cael iechyd rhagorol. Yr wyf gyda chymorth yr Arglwydd yn gallu pregethu mor fywiog ag y bum erioed.

Y mae y gweithfeydd llechi yma yn fywiog iawn—y mae y lle yma yn myned yn boblogaidd iawn. Y mae Penygroes yn gryn dref—yr ydym ar ganol adeiladu capel yno. Bydd gan y Bedyddwyr ar ol hyny *dri* o gapelau o gryn faintioli yn mhlwyf Llanllyfni Y mae y Bedyddwyr yn ymadfywio yn fawr yn y wlad hon. Y mae genym gapel newydd yn y Groeslon, cydrhwng Llanllyfni a Chaernarfon er ys rhai blynyddau. Y mae capel da newydd ei godi yn Llanbabo, ger Llanberis, ac un arall yn cael ei adeiladu yn Llanrug, rhyw bedair milldir o Gaernarfon. Yr ydym yn cael capel haiarn yn ddioed i Llanfairfechan, yr hwn a gyst tua £250, ac yr ydym yn gwneyd cais egniol i dalu am dano yn ddioedi.

Y mae genym bregethwyr rhagorol a gwir ymdrechol yn y wlad hon. Yr ydych yn gwybod am danynt, fel na raid i mi ddyweyd nemawr yn eu cylch. Y mae y brawd sydd yn y Garn yn barchus iawn, ac yn gweithio ei ffordd yn rhagorol. Y mae Mr. Owen Davies a fu yn Llangollen, yn Nghaernarfon, a chaff-

aeliad gwerthfawr oedd ei gael yno. Y mae yn un o'r dynion goreu a fedd Cymru. Er holl fawredd a rhagoriaethau Cynddelw, nid oes genyf amheuaeth na fydd Davies yn llawer mwy defnyddiol fel gweinidog nag ef.

Cefais hyfrydwch mawr ychydig flynyddau yn ol i gyfansoddi cryn nifer o hymnau (os ydynt yn deilwng o'r enw). Yr wyf wedi gwneyd llyfryn bychan o honynt, ac yn anfon un o honynt i chwi gyda'r un post a'r llythyr hwn. Os daw i'ch llaw, bydd yn dda genyf wybod eich barn am dano. Y mae genyf lyfr o gylch 3s. 6c., yn y wasg, yn cael ei gyhoeddi yn Wrexham, gan Hughes a'i Fab, o dan yr enw "Cydymaith Dyddan," sef byr hanesion tarawiadol, yn dal cysylltiad a phersonau a phethau hynod yn dal cysylltiad a chrefydd. Yr wyf yn hyderu y bydd yn llyfr dyddorol a phoblogaidd. Yr wyf wedi dechreu yn gynar yn y flwyddyn hon i gyfansoddi darlithiau esboniadol ar Epistol Iago, i'w traddodi ar foreu Sabboth. Cefais gryn lafur, a chryn bleser yn hyn o orchwyl. Yr wyf yn awr ar fin myned drosto mewn 28 o ddarlithiau. Yr wyf yn meddwl fod yn Epistol Iago lawer o bethau gwir angenrheidiol i'r oes hon. Yr wyf yn gryf o'r farn fod rhy fach o lawer o esbonio yr Ysgrythyrau. Pa reswm hefyd yw glynu yn ddibaid wrth ryw un adnod neu ddwy fel testyn pregeth, peth a ddechreuodd yn amser tywyllaf Pabyddiaeth. Byddaf yn meddwl yn gryf hefyd fod rhy fach o ddyweyd Ysgrythyrau mewn pregethu. Y mae yn ddiau mai dyweyd *meddwl* y Beibl yw y prif beth, ond y mae eisiau dyweyd llawer o *eiriau* y Beibl hefyd. Y fath hyfdra a allwn ni ddefnyddio wrth draethu geiriau yr Arglwydd yn ddifrifol, rhagor na dyweyd ein geiriau ein hunain. Onid allwn ni feddwl hefyd a dyweyd y lleiaf, fod yr Arglwydd yn llawn mor barod i roddi sêl ei fendith i ganlyn ei eiriau ei hunan, os nad mwy felly na dim geiriau a all neb ddychymygu? Oni fyddai mwy o barch i'r Beibl pe bae mwy o Feibl mewn pregethu? Yr wyf yn cael pleser mawr yn barhaus i ddarllen, ac yn prynu ambell i lyfr yn fynych. Pan elo pregethwr heb archwaeth i brynu llyfr, ac heb fyfyrio a bod mewn llafur, y mae yn ddiau genyf na bydd ei waith o fawr fudd yn un man. Un achos mawr fod Spurgeon yn rhagori cymaint fel pregethwr yw, ei fod yn rhagori cymaint mewn llafur. Y mae yn ddiau fod llawer mwy yn y rhai sydd yn rhagori ar eu gilydd fel pregethwyr, yn y llafur y mae un wedi ei gymeryd yn fwy na'r llall, nac yn rhagoriaeth eu talentau a'u galluoedd naturiol. Yr achos mawr fod Christmas Evans a John Elias wedi parhau mor loew hyd derfyn eu bywyd, yw eu bod wedi parhau mewn llafur ymroddgar hyd y diwedd. Un o'r pregethwyr goreu genyf a glywais I yn fy nydd, oedd yr enwog John Elias. Yr wyf yn meddwl na chlywais neb yn gyffelyb iddo fel pregethwr Cymanfa. Clywais fwy pregeth gan lawer un, ond ni chlywais nemawr erioed yn pregethu i ateb dyben pregethu yn gyffelyb iddo. Y mae llawer pregethwr da yn fwy hunanol mewn lle pur gyhoeddus, ond yr oedd John Elias, yr wyf yn meddwl, yn fwy sanctaidd yn y Sasiwn nac yn un man. Yr oedd fel pe buasai wedi dyfod yno i ymladd *duel* â Satan, ac fel pe buasai yn penderfynu ei orchfygu cyn symud o'i safle. Mor ddymunol y byddai gweled nifer o "hen hoelion wyth," ys dywedai Christmas Evans, yn dyfod allan yn y dyddiau hyn. Y mae genym achos i ddiolch wedi y cwbl fod y fath nifer o bregethwyr ardderchog yn Nghymru y dyddiau yma. Ni bu yma erioed y fath nifer o rai ardderchog, er na feddwn yr un John Elias na Christmas Evans.

Y mae Bedyddwyr y Talaethau Americanaidd yna yn gymaint chwe' gwaith neu ychwaneg nag ydym ni yn Mhrydain. Ond nid wyf yn meddwl eu bod yn gwneyd llawer mwy mewn taenu yr efengyl i wledydd tramor nag ydym ninau. Ond dichon fod un rheswm neillduol am hyny, sef, bod America yn gyfandir mor fawr, fel y mae ganddynt gymaint o waith yn eu gwlad eu hunain. Byddaf yn meddwl nad oes gwell Cristionogion ar wyneb yr holl ddaear nag ydyw goreuon America.

Y mae llenyddiaeth yr America yn lled ddyeithr i mi. Yr wyf yn meddwl mai llyfrau wedi eu cyfansoddi yn Mhrydain yw y rhan fwyaf o'ch llenyddiaeth. Y mae yn bosibl er hyny fod yna rai llyfrau godidog sydd yn lled ddyeithr i ni yma. Yr wyf yn deall fod gan Fedyddwyr America ryw Gymdeithas Gyhoeddiadol. Buasai yn hynod o dda genyf gael gafael ar gofrestr o honynt yn rhyw le. Clywais fod y dysgedig Dr. Williams, New York, yn parotoi llyfr o hanes y Bedyddwyr, ond nis gwn pa beth a ddaeth o hono.

Ni wiw dysgwyl paradwys mewn un wlad lle y mae pechod. Byddaf yn meddwl llawer am ryw beth a ddywedir am symudiad yr Israeliaid yn yr anialwch. Dywedir eu bod yn symud o anialwch Sinai i anialwch Paran. Rhyw symud o un anialwch i'r llall yw pob symudiad yn y byd hwn. Y mae llawer yn dychymygu fod rhyw le dedwydd yn rhyw le dros y moroedd, ond erbyn myned yno, myned o anialwch Sinai i anialwch Paran y maent.

Derbyniwch fy nghofion mwyaf caredig, a chofiwch fi at eich priod, ac at bawb o'r hen wlad sydd yn fy adnabod. Bydded i ni dreulio gweddill byr ein dyddiau yn fwy nag erioed i wasanaeth crefydd a lles eneidiau. Byddwch wych. Yr eiddoch yn garedig, yn y rhwymau goreu, ROBERT JONES.

---

### Y CAD. GRANT.

**RHUFAIN, Rhagfyr 25.—Ymwelodd y Cad. Grant, ar y 19eg, a hen ddinasoedd Herculaneum a Pompeii, yn nghwmni y trafnoddydd Americanaidd Duncan. Yn ol y newyddion diweddaraf yr oedd wedi cyraedd i Palermo, Sicily.**

# NEWYDDION Y MIS.

—Dydd Gwener, Tachwedd 23ain, dyfarnodd y Pwyllgor Cyflafareddol a benodasid i benderfynu hawliau Lloegr gyda golwg ar bysgodfeydd Canada a Newfoundland, fod i'r Talaethau Unedig dalu $5,500,000 o iawn i Loegr —blwyddyn o amser yn cael ei ganiatau i'w talu. Mae dechreuad y cweryl yn nghylch y pysgodfeydd yn cyrhaedd bron mor bell yn ol ag annibyniaeth y Talaethau Unedig; ac er fod ymdriniaeth wedi bod ar y mater amryw droion, methwyd a dyfod i un penderfyniad. Yn nghytundeb Washington, yn 1871, gwnaed ymgais i roddi terfyn ar yr anghydfod, trwy daflu pysgodfeydd y ddwy wlad yn agored i'r naill fel y llall; eithr daliai Lloegr i hawlio fod y breintiau a ganiateid yn fwy na'r rhai a dderbynid gan y pysgodwyr Canadaidd mewn addaliad, a chan hyny cyflwynwyd y pwnc i ystyriaeth pwyllgor yn cael ei wneyd i fyny o un dirprwywr o Loegr, un o'r Talaethau Unedig, a'r trydydd o benodiad Ymerawdwr Awstria. Wedi oediad o chwe' mlynedd, cyfarfu y cyflafareddwyr yn Awst diweddaf. Yr oedd yr holl swm a hawlid gan Loegr yn $14,280,000, ond $5,500,000 yn unig a ganiatawyd, a hyny heb gydsyniad cynrychiolydd y wlad hon. Yn awr nid oes unrhyw gwrs anrhydeddus yn agored i'r Llywodraeth ond eu talu, gan ddiolch fod yr anghydfod o'r diwedd wedi ei ddwyn i derfyniad. Mae yn y Trysorlys yn awr oddeutu dwbl y swm hwn yn aros heb eu rhanu allan o'r iawn a ganiatawyd i'r wlad hon yn Geneva.

—Dengys adroddiad y Postfeistr Cyffredinol Key, fod treuliau ei adran yn ystod y flwyddyn yn $32,322,502.24, yr hyn sydd yn fwy o $4,854,180.82 na'r derbyniadau. Yr oedd cynydd y treuliau ar eiddo y flwyddyn flaenorol tua $220,000. Lleihaodd y gwerthiant o lythyrnodau ac amleni er y flwyddyn flaenorol, tra y cymerodd cynydd le yn y gwerthiant o *postal cards* a nodau ar newyddiaduron. Cyrhaeddodd y galwad am *postal cards* i 170,000,000—cynydd o un ran o wyth. Mae yn hynod gymaint o fusnes a gyflawnir yn y *Dead Letter Office* yn Washington. Yn ystod y flwyddyn derbyniwyd yno 3,288,200 o lythyrau, neu tuag 11,000 ar gyfer pob diwrnod gweithiol. Cafwyd ynddynt $40,062.41 mewn arian, a $1,301,780.49 mewn papyrau masnachol; ac o'r symiau hyn ni ddychwelwyd ond $4,754 i'w perchenogion. Dylai pawb gymeryd gwers oddiwrth hyn i fod yn ofalus gyda chyfeirio eu llythyrau.

—Mae y cwestiwn Chineaidd yn dyfod yn fater pwysig, nid yn unig yn Senedd Dalaethol California, ond hefyd yn Washington. Mae yr apeliad diweddar a wnaed i'r Gydgyngorfa, am ddeddfwriaeth i atal ymfudiaeth pellach, yn cynwys rhai ffeithiau tarawiadol. Hysbysa y ddeiseb o Senedd California, fod y chweched ran o holl boblogaeth y Dalaeth hono yn Chineaid. Maent yn rhifo 180,000 o eneidiau, ond maent yn talu llai nag un ran o bedwar cant o'r cyllid a godir tuag at gynal y llywodraeth Dalaethol. Mae holl gyfanswm y trethi a gasglir oddiwrthynt yn syrthio ddeuddeg mil o ddoleri yn fyr o fod yn ddigon i gynal drwgweithredwyr Chineaidd yn ngharcharau y Dalaeth. Mae y Chinead hefyd yn danfon yn ol i wlad ei enedigaeth yr holl arian a gasgla yma, ac felly dyhysbydda y Dalaeth o filiynau o ddoleri yn flynyddol. Nid oes gan y Chineaid yn California deuluoedd; nid oes un o fil o honynt yn briod, ac mae'r ychydig fenywod sydd yno o'r cymeriad iselaf, a dygir hwynt drosodd fel caethion, a phrynir a gwerthir hwy fel gwartheg. Hyn a llawer yn ychwaneg yw dadl y deisebwyr. Os yw llafur Chineaidd y ddegfed ran o'r drwg y dywedir ei fod, mae yn llawn bryd i ymdrech gael ei wneyd i ddarpar rhyw feddyginiaeth i'r drwg.

—Dygwyddodd trychineb erchyll am haner awr wedi un, boreu Tachwedd 24, drwy i'r agerlong ryfel *Huron* gael ei gyru i'r lan mewn ystorm ar arfordir N. Carolina, ger Albemarle Sound. Allan o 134 o bersonau ar ei bwrdd, ni achubwyd ond pedwar o swyddogion, a 30 o'r dwylaw. Yn mhlith y colledigion mae Commander Ryan, yr hwn a ystyrid yn un o swyddogion llyngesol goreu y Talaethau Unedig. Nid oes un wybodaeth sicr pa beth oedd yr achos uniongyrchol iddi gael ei chwythu i'r lan. Nid ymddengys fod ond un cwch wedi cyrhaedd y lan. Achubwyd y gweddill drwy nofio oddeutu milldir drwy y môr garw. Mae hon yn un o'r colledion pwysicaf gyda golwg ar y nifer o fywydau, a ddygwyddodd erioed yn y llynges Americanaidd; a bydd y golled arianol i'r Llywodraeth yn oddeutu $700,000. Diau y bydd i'r Ysgrifenydd Thompson wneyd ymchwiliad manwl i'r achosion, er penderfynu ar bwy y gorphwys y cyfrifoldeb.

CWYMP PLEVNA.—Mae dechreuad y diwedd o'r rhyfel Russo-Dyrcaidd, a gwawriad heddwch, yn ddiamheuol, wedi ei gyrhaedd. Gorfodwyd Osman Pasha, yr hwn a lywyddai gaerfa Plevna (yr hon a fu bron o ddechreu y rhyfel yn brif orsaf amddiffyniad yn Twrci Ewropaidd, ac yn wrthddrych ymosodiad ar ran y Rwssiaid), i roddi fyny y lle a'i fyddin yn ddiamodol, ar Sul, y 9fed o'r mis diweddaf. Cynygiodd dori trwy linellau y Rwssiaid yn nghyfeiriad Widdin, gyda'i fyddin newynog, ond ymosodwyd arno o'r tu blaen ac o'r tu ol, a gorfodwyd ef i roddi ei arfau i lawr, ar ol iddo ef ei hun gael ei glwyfo yn dost. Mae pawb gydag un llais yn canmol ei ddewrder. Tystia y Rwssiaid ddarfod i'r Tyrciaid ymladd fel llewod. Yn ol adroddiadau swyddogol, colledion y Rwssiaid oeddynt 10 o swyddogion a 182 o wyr wedi eu lladd, a 45 o swyddogion a 1,207 o ddynion wedi eu clwyfo. Collodd y Tyrciaid 4,000 rhwng lladd a chlwyfo, yn cynwys saith o Pashas. Cymer-

wyd yn garcharorion 10 o Pashas, 18 o *staff officers*, 2,000 o swyddogion, 30,000 o draedfilwyr, 1,200 o feirch-filwyr, yn nghyd a 71 o fagnelau. Gohebydd o Plevna a ddywed, mai nid prinder ymborth ydoedd yr achos uniongyrchol o ymdrech Osman i dori allan, eithr ymddangosiad afiechyd heintus yn mhlith ei filwyr. Yr oedd o 40 i 50 yn marw yn ddyddiol, ac heb ddim cyfleusderau at eu claddu; yr oedd yr ysbytdai hefyd yn llawnion, a'r dref yn amddifad o feddygon i weini iddynt. Ymddengys fod gan Osman ymborth am dair wythnos ar law, gyda digon am ddeng niwrnod i'w holl fyddin mewn gwageni. Yn ddilynol i gwymp Plevna mae amryw anffodion eraill wedi dygwydd i ran y Twrc, fel mae ei sefyllfa ar hyn o bryd yn hynod anobeithiol. Mae Servia o'r diwedd wedi gwneyd cyhoeddiad ffurfiol o ryfel, yr hyn a ychwanega tua 30,000 at luoedd y Rwssiaid. Dyoddefodd Suleiman Pasha orchfygiad pwysig yn ei ymosodiad ar Metchka, ac yn ol y newyddion diweddaraf, gorfu iddo ymadael o Elena, yr hwn le a enillwyd ganddo ychydig ddyddiau yn ol, wedi ymladd caled. Arwydda hyn fod yr ymgyrch yn y rhan hon o Bulgaria bron ar ben, gan fod dal Elena yn anhebgorol iddynt er gweithredu yn erbyn Tirnova. Tebyg mai yn amgylchoedd Sophia y gellir dysgwyl mwyaf o ymladd rhagllaw. Mae y Porte wedi anfon cylchlythyr at y gwahanol alluoedd, yn deisyf eu cyfryngiad er terfynu y rhyfel. Atebodd Italy yn gyfeillgar, gan addaw gwneyd a allai gyda'r galluoedd eraill. Hysbysodd Germani fod ei chyfranogiad hi yn dibynu ar gydsyniad Rwssia i gyflafareddiad.

—Cymerodd damwain ddifrifol le ar reilffordd Canolbarthol Môn ar y 29ain o Tachwedd, rhwng y Gaerwen ac Amlwch. Wedi dyfod ar bont dros yr afon Alaw aeth y peiriant a'r cerbydau i lawr i'r afon, gan gario i'w canlyn y personau oedd yn y trên. Yr oedd y gerbydres yn gynwysedig o'r peiriant, y *tender*, dau *druck* yn llawn o lô, pedwar o gerbydau i deithwyr, a *guard's van*. Nid oedd ond pedwar o bersonau ar y trên, ond bu tri o'r rhai hyny feirw mewn canlyniad i'r ddamwain, sef John Davies, Wm. Taylor, a John Saunders. Gwasanaethyddion y trên oeddynt.

—Mae Gwerinwyr Ffrainc wedi cael budd ugoliaeth lwyr, a'r Arlywydd ystyfnig MacMahon wedi ei ddwyn i'w synwyrau. Ymwrthododd y Buonapartiaid yn ffurfiol â'i gynllun o wrthwynebiad, a chafodd ei hun heb gefnogwyr yn ei ymdrech yn erbyn y bobl a'r cyfansoddiad, oddieithr nifer bychan o glerigwyr eithafol; ac o'r diwedd y mae gweinyddiaeth Werinol wedi ei dewis.

—Y mae tiriogaeth Utah nid yn unig yn Sodom America, ond y mae yn dyfod yn gyflym yn Fôr Marw, i'r hwn yr ymdywallt holl fudreddi y wlad. Cyhoedda y Salt Lake *Tribune* yn ddiweddar restr o'r personau a gawsant ysgariadau drwy *Probate Courts* gwlad y Salt Lake. Cynwysa yn agos bob Talaeth a Thiriogaeth, yn gystal a Chanada. Bernir fod ugain Llys Probate Utah wedi caniatau 5,000 o ysgariadau o fewn y tair blynedd diweddaf. Ni ddylai y fath ysgariadau gael eu hystyried yn gyfreithlon gan gyfraith neu syniad cyffredin unrhyw Dalaeth yn yr Undeb lle y mae parch gweddus i'r berthynas briodasol eto yn aros.

—Yn ystod y pum'-mlynedd-ar-hugain diweddaf, bu yn Ewrop—heb gyfrif yr ymdrechfa bresenol yn y Dwyrain—chwech o ryfeloedd, yn y rhai ni ddinystriwyd dim llai na dwy filiwn o ddynion trwy weithrediad uniongyrchol rhyfel ei hun, yn ychwanegol at y lluoedd a drengasant ar ol hyny. Anrheithiwyd cartrefleoedd, a gwaedwyd myrddiynau o galonau; ac anfonwyd torf aruthr o filwyr i'r byd tragywyddol yn anmharod.

—Mae Mr. Charles L. Darwin, yr awdwr enwog, wedi derbyn y teitl o D. C. L., gan brif-ysgol Caergrawnt, ac adnabyddir ef o hyn allan fel Dr. Darwin. Fel yr oedd Darwin, yn nghwmni y Proff. Huxley, yn esgyn i fyny yr esgynlawr, a phan oedd yr anrhydedd ar gael ei chyflwyno iddo, achoswyd cryn gyffro, o herwydd gwaith rhai o astudwyr direidus y coleg yn gollwng llun mwnci o fan amlwg yn yr oriel, gyda'r geiriau, "*The missing link*," wedi eu dodi mewn llythyrenau eglur arno. Yr oedd hyn braidd yn ormod i ddifrifwch yr amgylchiad.

—Mae hanesion dyddorol iawn o wahanol barthau o'r wlad am lwyddiant yr achos dirwestol. Yn Utica, N. Y., mae dros 6,000 o bersonau wedi cymeryd yr ardystiad dirwestol o fewn ychydig wythnosau, yn benaf drwy offerynoliaeth y Proff. W. Mason Evans. Ond y mae tir lawer eto heb ei feddianu gan yr achos hwn. Dywedir fod un-ar-ddeg o *saloon keepers* yn aelodau o Gyngor Dinasol Boston; a dywedir hefyd fod rhai o'r cynrychiolwyr newyddion yn Washington yn y fasnach feddwol.

—Dystylliwyd yn y Talaethau Unedig yn nghorph y flwyddyn a derfynai Mehefin 30ain, 74,143,388 o alwyni o wirodydd, a chyrhaeddai y trethi oddiwrth fyglys i'r swm o $410,-106,547. Mewn geiriau eraill, yr oedd y dreth a dderbyniwyd oddiwrth whisci yn gyfartal i bum' dolar y pen ar bob un o drigolion y Talaethau, ac i naw dolar oddiwrth dybaco.

—Achoswyd peth cyffro yn New York dro yn ol, mewn canlyniad i Ellmynwr o'r enw Kircher losgi yn lludw gorph marw ei blentyn, yn lle ei gladdu.

—Mae nifer y pererinion ydynt yn ymweled â Mecca yn flynyddol yn cyrhaedd o 150,000 i 180,000.

—Am 8 o'r gloch, boreu dydd Gwener, y 23ain o Tachwedd, cafodd Cadwaladr Jones ei grogi yn ngharchar Dolgellau, am lofruddio Sarah Hughes. Dyma y waith gyntaf y galwyd am wasanaeth y crogbren yn Sir Feirionydd er y flwyddyn 1812.




*Yours truly,*
*Fred. Evans*
*(Edmyfed.)*

# Y WAWR.

CYF. II.] CHWEFROR, 1878. [RHIF. II.

## Y PARCH. FRED. EVANS (EDNYFED),

### FRANKLIN, PA.

Yr ydym yn hoff o ddarluniau, yn enwedig darluniau gwyr o nod. Dymunol genym eistedd mewn ystafell wedi ei haddurno a darluniau. Bydd ein llygaid yn greddfol ymdroi atynt. Hyfryd oedd genym weled "pictiwrs" mor gywir a heirdd o frodyr teilwng yn rhifynau diweddar o'r WAWR. Yn y rhifyn hwn, dyma un eto, o'm brawd a'm cyfaill Ednyfed—un o'r bechgyn mwyaf hylithrfawr sydd yn awr yn addurno y pwlpud Seisonig a Chymreig yn America. Mae y darlun hwn o hono yn bur gywir; gwell fuasai genym gael mwy o'i wyneb llon yn y golwg. Gwell i ambell un droi ei wyneb draw, gan na fydd ei dremiad yn ddeniadol iawn. I un felly, bydd gwneyd golwg haner lleuad yn fwy derbyniol genym. Modd bynag, yr ydym braidd yn ddig wrth Ednyfed am droi ei wyneb gymaint oddiwrthym. Credwn er hyny, nad un diystyrwch arnom a barai iddo wneyd hyn. Yn hytrach, dichon mai rhywbeth neillduol oedd yn myned a'r sylw ar y pryd, neu efallai mai rhagweled ei osgedd yn y WAWR yr ydoedd, ac yn gofalu boddhau pleidwyr ein Cyhoeddiad, ac yn enwedig y Golygydd, wrth gyfeirio ei olygon at y WAWR a'i chynwysiad.

Gwelsom mewn llyfrau ar America, sylwadau synedig am fod *Capitol* y genedl yn Washington yn troi ei gefn ar y Talaethau Unedig, ac yn ffryntio tuag Ewrop—fel pe yn arwyddo trwy hyny fod yr Americaniaid yn talu gormod o warogaeth i genedloedd pellenig. Nid yw Ednyfed yn euog o dalu gwarogaeth i neb ar draul esgeuluso parchu ei genedl ei hunan. Gwyddom nad oes calon Gymreig burach na'r eiddo ef. Mae ef o ran natur a gwneuthuriad yn Gymro. Braidd y gallai fod yn wahanol pe yn ceisio. Nid oes dim yn fwy o adloniant iddo na rhoddi tro yn awr a phryd arall i gymdeithas Gymreig. Ei natur Gymroaidd ydyw yr achos ei fod bob amser mor nwyfus yn ei erthyglau yn ein misolion a'n newyddiaduron. Y mae ynddynt fel wedi ei ollwng o garchar. Adnabyddir a theimlir ei nodwedd genedlgarol genym ninau pan ddaw i'n plith, yn ein Cymanfaoedd a'n Cyrddau Chwarterol, ac eraill. Yn niwedd yr oedfa ni fydd neb yn fwy prysur yn ysgwyd dwylaw nag ef. Aml y clywir y cyfarchiadau mwyaf tyner a moesgar.

Fel *darlithiwr*, saif Ednyfed yn uchel. Wrth ddyweyd hyn, ni thybiwn nad oes ganddo le i wella. Credwn yn wir fod ganddo faes eang heb ei feddianu yn y cyfeiriad hwn. Barnwn fod ynddo amlinelliad areithiwr hyawdl. Efallai y dywedem yn fwy cywir fod ynddo ddefnyddiau areithiwr campus. Mae ei arddull yn berffeithiach na'i faterion. Bron na ddywedem fod ymdeithiad cwrs ei areithyddiaeth yn natur bur bron. Yn ei drem ceir llymder, claerder, hoenusrwydd, amseriad, a

bywyd. Rhai o brif hanfodion areithyddiaeth ddiledryw ydyw amseriad ac yni. I gynyrchu peroriaeth, rhaid wrth amseriad; i gynyrchu nertholrwydd, rhaid wrth asbri. Nid ydym yn cofio am neb yn cadw amseriad ei araeth—ei fynediad yn fwy rheolaidd nag efe. Rhag ei rwystro yn hyn, nid yw byth yn myned trwy ddyrysleoedd, na rhwng tra iselion, na thra uchelion. Os bydd modd, mae am lwybr gwastadlyfn fel y gerbydres wylltawg—o'r hon y gall teithwyr edrych i fyny neu i lawr—yn ol fel y bydd yr arwynebedd.

Am ansawdd cynwys ei araeth ni allwn ganmol cymaint. Dylai araeth yn ddiau feddu y ddwy elfen ganlynol, yr addysgiadol a'r dyddorol. Ceir y ddwy yn ei areithiau ef; ond nid mewn cyfartalwch. Mae y dyddorol bob amser yn nodedig—nid oes pall ar ei arabedd a'i hoenusrwydd. Mae gwahanol bwyntiau ei araeth fel nodau perdoneg, ar hyd pa rai y chwery ei fysedd, megys yn ddawnsiadol. Gwel y digrif ar amrantiad. Egyr i ni olygfeydd llydain, megys ar fflachiad mellten. Braidd y gwyddis yn mha le y byddwn fel y bydd yn ein synu a'i swynion. Am yr adeiladol neu'r addysgiadol, nid yw mor nodedig. Wrth ddyweyd fel hyn, ni fynem mewn un modd awgrymu fod Mr. Evans yn amddifad o'r elfen hon. Dyweyd yr ydym nad ydyw i'r un graddau ganddo a'r dyddorol. Na, gwelir yr adeiladol yn fynych yn ymddadblygu, nes peri i lawer corach grynu, a llawer hunanol gael mantais i weled darlun o hono ei hunan. Gwyr y modd i daro yn ddeheuig ar chwith-bethau gwrthun arferion, ffolinebau cymdeithas, a gwaelion israddol mewn byd ac eglwys. Teimlwn modd bynag, mai chwareuon megys yw taflu nodion o'r fath. Mae yn debycach yn ei nodion hyn i fachgenyn yn hwylio ei long fechan o ran pleser, nag i'r morwr anturiaethus yn hwylio ei long fawr i'r porthladd gyda llwyth o nwyddau gwerthfawr.

Cydnabyddir Ednyfed yn llenor gwych hefyd. Mae iddo chwaeth llenor. Anhawdd gwneyd llenor heb chwaeth llenor, ac anhawdd gwneyd chwaeth heb feithriniad. Meithrinir chwaeth lenorol trwy fyw yn y byd llenorol, a byw yno hefyd gyda ei oreuon. Ymgynefino a'r prif awdwyr nes dyfod yn ddysgyblion trwyadl iddynt—adnabod eu neillduolion a'u hysbryd. Gwyddom fod Ednyfed yn gwybod am hyn. Mae ef gartref gyda rhai o'r prif awdwyr, yn haneswyr, duwinyddion, a beirdd. Fwy nag unwaith gwelsom ef yn ei fyfyrgell yn estyn ei law at gyfrol o waith hoff awdwr ganddo, gan nodi allan rai o'i ragorion; synid ni gan dynerwch ei deimladau fel yr effeithid arno gan yr hyn a ddarllenai.

Ond fel *pregethwr* mae Mr. Evans yn rhagori benaf. Nid yw hyny yn rhyfedd chwaith, oblegid mae wedi ymgysegru yn fwy trylwyr at hyny na dim arall. Ni chymerwn arnom i fanylu yma ar ei ragoriaethau pregethwrol. Gwyr y rhan fwyaf o ddarllenwyr y WAWR am dano yn well fel gwr y pwlpud nag y gallwn ni yma ddesgrifio.

Goddefer i ni ddyweyd gair neu ddau ar y pen hwn. Saif Ednyfed ar ben ei hun fel pregethwr. Gormod o waith yw ei gymharu â neb. Hawddach ei wrthgyferbynu. Mae efe wedi deall yn mha gyfeiriadau mae ei ddoniau pregethwrol yn gweithredu, a gwyr y ffordd i ddilyn eu cymhellion. Teimla rym ei ymadferthion. Dilyna eu hysgogiadau. Myn rhai na ddichon neb fod yn bregethwr mawr os yn ymddieithrio oddiwrth ddulliau hir arferedig. Mae amrywiaeth doniau mor angenrheidiol yn yr eglwys—yn y pwlpud, ag ydyw yn y byd materol. "Mae amryw ddoniau" wedi cael eu rhoddi, ac mae pob un yn angenrheidiol a hardd yn ei le. Dymunol fyddai cael mwy o amrywiaeth naturiol yn y weinidogaeth nag y sydd. Mwy o amrywiaeth mewn arddull—mwy o amrywiaeth mewn materion, trwy ddilyn yr Ysgrythyrau yn fwy manwl, ac edrych arnynt yn eu cysylltiadau gwreiddiol. Boed i bob un ddilyn ei ddawn naturiol ei hun; nid myned i faldorddi mewn llais na llafar estronol. Pe ceid hyny, ymlidied llawer o'r gwrthun presenol o'r pwlpudau.

Meiddia Ednyfed ddilyn ei ddawn naturiol ei hun. Nis gwyr beth yw efelychu neb ar y ddaear lâs. Ednyfed yw Ednyfed. Yn ddiweddaf oll, mae'r cwbl mor hawdd iddo. Mae llefaru yn rhwydd mor naturiol ag anadlu iddo. Ni cheir y gwrandawyr byth yn teimlo fod diffyg llafar a phethau pan fyddo Mr. Evans yn eu hanerch. Nid yw ef yn un o "*slafiaid yr hwyliau,*" ys dywedai Cynddelw. Yn hytrach, mae ei ddawn fel

"Elfen deneu ysblenydd,
Llyfndeg yn rhedeg yn rhydd."

CYFAILL.

---

## "Y BEDYDD CRISTIONOGOL."

*Adolygiad ar Lyfr Ioan Einon, Aquaville.*

GAN H. C. PARRY (CEFNI).

LLYTHYR VI.

Mae tri rheswm olaf Mr. Einon yn gwla anarferol, ac yn rhy sâl i dreulio dim amser gyda phob un o honynt; ac am hyny cânt eu cymeryd gyda eu gilydd yn un lwmp. Nodwn eu prif agweddau (*features*), mewn trefn i hwylyso ein cerddediad.

1. *Ioan Einon yn Cydnabod Dwyfoldeb Bedydd Trochiad.*—Gwnaeth ein hawdwr bob egni o'i eiddo i brofi bod bedydd trochiad yn *reversio* pethau natur a gras; ac felly, wrth gwrs, yn groes i bob peth dwyfol. Eto, dyma Mr. Einon yn cydnabod yr hyn nad yw ddwyfol, yn Gristionogol! Beth nesaf, wys? Rheswm Mr. Einon dros yr anghysonder hwn o'i eiddo yw, oblegid bod bedydd trochiad yn cael ei weinyddu yn enw y Drindod; a bod dwfr yn cael ei ddefnyddio. Yn enw y Drindod yr yspeiliwyd, y carcharwyd, ac y crogwyd Bedyddwyr diniwaid, gan Gynulleidfaolion Lloegr Newydd, am ddim ond am sefyll at argyhoeddiad cydwybod, yn ngwyneb y Testament Newydd ar bwnc y bedydd! A oedd bod y cigyddwaith crefyddol hwnw yn cael ei wneyd yr enw y Drindod, yn ei wneyd yn Gristionogol? Gwarchod pawb! Os nad oes gan Mr. Einon reswm gwell na hwn dros gydnabod dwyfoldeb bedydd trochiad, cywilyddied! Nid y dwfr sydd yn rhoi dwyfoldeb iddo, ond y gorchymyn i fedyddio; oblegid ni sonir am ddwfr yn y gorchymyn, mwy na phe na buasai dwfr mewn bod. Mae y Taenellwyr yn defnyddio dwfr, ond nid yw hyny yn gwneyd y ddefod ddynol, yn ordinhad Gristionogol. Am bod y Trochwyr yn methu gweled dwyfoldeb mewn taenelliad babanod, gwaedda Mr. Einon, "*Olyniaeth Apostolaidd yn ei pherffeithrwydd Pabyddol;*" a dengys mai gwaith y Trochwyr yn cadw yn ystyfnig at symlrwydd llythyren yr Ysgrythyrau, yw yr achos eu bod gymaint ar ol yr enwadau eraill mewn ymberffeithiad. Gofynwn i Mr. Einon, pa un ai wrth gadw at burdeb syml yr Ysgrythyrau, ynte wrth beidio, y cyraeddodd y Parch. Henry Ward Beecher gymaint o'r ymberffeithiad rhyfedd hwn, nes gwadu yn gyhoeddus fodolaeth uffern, gwawdio yr hen syniad Beiblaidd o gosbedigaeth pechadur anedifeiriol yn uffern, a galw Duw yn "*Satan ei hun,*" os y creodd uffern i gospi y drwg? Ai wrth gadw at symlrwydd llythyrenol y Gair Dwyfol, neu ynte, wrth beidio, y try ugeiniau o Daenellwyr yn *Free Christians*, *Universaliaid*, ac *Anti-Orthodoxiaid*, bob blwyddyn? Onid gwaith y Taenellwyr yn cymeryd gormod o ryddid gyda gorchymyn pendant Duw sydd yn agor drws i lifeiriant Anffyddiaeth i ddyfetha y genedl? Onid pengamrwydd y Trochwyr, yn gwrthod pob peth ond Gair Duw, yn rheol ffydd ac arferion crefyddol, sydd yn cadw purdeb crefydd yn y byd, er dyddiau yr Apostolion? Os yw Mr. Einon yn ystyried mai cynydd mewn *Universaliaeth*, *Anti-Orthodoxiaeth*, *a Beecheriaeth*, yw yr ymberffeithiad ag y mae y Trochwyr yn ol ynddo, boddlon wyf fi. Gwell iddynt aros byth yn yr un man, na gadael hen ffordd y Beibl, am fynyd awr!

2. *Metha Mr. Einon a gweled dim anhawsder wrth son am fedyddio yn y Beibl, os taenellu yr oeddys; ond gwel bob anhawsder i ddeall y crybwyllion*

*hyny, os trochi yr oeddys!*—Helpwn dipyn arno, yn y bwlch cyfyng hwn:—"A'r Eunuch a ddywedodd, Wele fasin; beth sydd yn lluddias fy nhaenellu? A hwy a aethant i waered i'll dau i'r basin, Phylip a'r Eunuch, ac efe a'i taenellodd ef. A hwy a ddaethant i fyny o'r basin." "A'r Iesu wedi ei daenellu, a ddaeth yn y fan i fyny o'r basin." "A hwy a daenellwyd ganddo yn afon yr Iorddonen." Gresyn garw na fuasai adnodau da fel yna yn ddwyfol. Saig o felusfwyd anwyl a fuasai i enaid newynog pob Taenellwr. Ond Och! nid felly y mae hi yn dygwydd bod.

3. *Mr. Einon yn gweled yn hanes Cyngorau yr Eglwys ac Ysgrifeniadau, fod taenelliad yn ddull, a babanod yn ddeiliaid bedydd.*—Ydyw yn sicr, er dydd Cyprian, tad y bedydd byr; ond nid erioed cyn hyny. Gan fy mod wedi profi mai yn y drydedd ganrif y dechreuodd taenelliad babanod, nid âf eto yn ol i gerdded yr un llwybrau.

Dyna fi wedi terfynu ag Ioan Einon, yn awr, a charwn gael rhyw Daenellwr mor garedig a fy anrhegu â chyfieithiad y Parch. Thomas Jenkins, o waith Dr. Dale, fel y cawn gyfleusdra i ddangos faint o *Classical Scholar*, faint o *Oriental Philologist*, faint o *Biblical Critic*, yw awdwr, "*Dipping is not Baptizing*;" a rhoddi iddo ei leoliad priodol yn mysg ei frodyr ieithyddol. Mae pris y llyfr yn "*dri haner dolar!*" Ond nid allwn deimlo rhoi tair sent am dano, ar gyfrif dim teilyngdod ieithyddydol, llenyddol, na beirniadol a geir ynddo!

"Blwyddyn newydd dda," i Mr. Einon, Dr. Dale, a phawb.

NODIAD.—Dygwyddodd gwall argraffyddol yn fy llythyr diweddaf. Yn adran, Ystyron Ffugyrol y gair *baptizo*, darllener, "baptizo, to dip," yn lle *baptizo to dye*. Nid yw *dye* yn un ystyr i'r gair *baptizo*, mewn modd yn y byd; tra mai *dip* yn ystyr iddo yn mhob cysylltiad. Diolch i Olygydd y WAWR am roi ei golofnau yn agored at wasanaeth y gwirionedd. Ni cheir hyny yn y wasg daenellyddol, fydol nag eglwysig, ond yn un-ochrog a dall-bleidiol.

## NODIADAU AR EPISTOL I. IOAN.

*Y Benod Gyntaf.*

GAN Y PARCH. THEO. JONES, WILKESBARRE.

Mae Ioan yn dechreu ei Epistol trwy daro yn erbyn, a dynoethi prif gyfeiliornad y gau-athrawon llygredig ag oedd wedi arwain i mewn i'r eglwysi heresiau dinystriol, ag oedd yn dadsylfaeni y gyfundraeth Gristionogol, trwy wadu fod y Gair bywiol, yr hwn oedd gyda y Tad—Mab Duw—wedi ymddangos yn wirioneddol yn y cnawd, neu fod yn wir ddyn. Mae gwirionedd a dwyfoldeb Cristionogaeth, yn gorphwys ar y ffaith holl-bwysig hon; os nad yw hyn yn wirionedd profedig, mae yr holl gyfundraeth yn syrthio yn fyr o gyraedd ei hamcan, ïe, yn ffug ac yn dwyll. Ond os yn wirionedd, mae yn rhaid i bob peth arall a berthyn iddi gydweddu a bod yn gyson a'r gwirionedd sylfaenol hwn.

Dywed Ioan, "Yr hyn oedd o'r dechreuad, yr hyn a glywsom, yr hyn a welsom a'n llygaid, yr hyn a edrychasom arno, ac a deimlodd ein dwylaw am Air y bywyd, yr ydym yn ei fynegu i chwi." Nid oedd modd i gael prawfion cryfach, na mwy safadwy, na phrofion y *synwyrau*, y clywed, y gweled, a'r teimlad. Mae y rhai hyn yn cael ymddibynu arnynt, a'u hystyried yn ddigonol a therfynol yn mhob llys ag achos arall, fel yn ngenau dau neu dri o dystion, mae'n safadwy bob gair. Haeriad yr anghristiaid oedd, nad oedd Crist, Mab Duw, wedi ymddangos yn y cnawd, ac nad oedd y pethau a adroddid gan yr Efengylwyr am dano, ond mewn ymddangosiod yn unig. Nid felly, meddai Ioan. Yr hyn a *glywsom*. Yr oeddent wedi ei glywed yn ymddyddan yn gyfrinachol, yn gweddio yn ddyfalach, ddyfalach, yn pregethu yn awdurdodol, yn ocheneidio yn ddwys, yn llefain yn gryf, ac yn canu yn beraidd. Nid oedd modd iddynt fod yn gamsyniol. Ni a edrychasom arno: bu yn myned i mewn ac allan gyda'i ddysgyblion dros dair blynedd. Yr oeddent wedi ei weled yn bwyta, yn cysgu, yn eistedd, yn cerdded, ac yn

gwneuthur pob peth, ond pechu, yr un fath a dynion eraill. Gwelsant ef yn cael ei fedyddio, a'r Ysbryd yn disgyn arno. Gwelsant ei ing ef yn yr ardd, ei brofi yn y llys, ac wedi ei gondemnio, yn cario ei groes i Golgotha, ac yn marw arni, a'r gwaed a'r dwfr gwirioneddol a sylweddol yn dyfod allan o'i galon dwym a chariadlawn ef. Gwelsant ei gladdu, a gwelsant ef lawer gwaith ar ol iddo adgyfodi; ac nid yn unig ei *weled* fel un yn mhlith lluaws, ond edrychasant arno yn fanylgraff, yn ymchwilgar a threiddlym, fel nad oedd yn bosibl iddynt gael eu twyllo; ac yn y diwedd, gwelsant ef yn myned i fyny i'r nef mewn gogoniant ar y cwmwl goleu.

Nid yn unig hwy a welsant y *dyn* Crist Iesu, ond gwelsant Air y bywyd, gwelsant Fywyd y Gair—y Gair Bywiol, yr hwn oedd gyda'r Tad; y Gair oedd gyda Duw yn y dechreuad, yr hwn oedd yn Dduw, ac a ymddangosodd yn y cnawd. Yr oedd wedi tabernaclu yn eu plith, a hwy a welsant ei ogoniant ef—y Gair—gogoniant yr Unig-anedig oddiwrth y Tad, yn llawn gras a gwirionedd. Yr oedd yr Apostolion yn sicr eu bod wedi *gweled Duw* wedi *ymddangos* yn y *dyn* Crist Iesu. Nid yn unig yr oeddent wedi ei glywed a'i weled, ond hefyd wedi ei deimlo â'u dwylaw. "Teimlwch fi," meddai Iesu, "a gwelwch, nid oes gan Ysbryd gnawd ac esgyrn fel y gwelwch fod genyf fi." Fe gafodd y dysgyblion bob cyfle i deimlo Iesu, a gwybod fod ei gorph ef yn sylweddol, yn *real* gorph. Bu yn golchi eu traed, yn ymaflyd yn llaw Pedr i'w gadw rhag suddo yn y dyfnder. Bu Ioan yn pwyso at ei fynwes ar swper, ac ar ol ei adgyfodiad, cafodd Thomas gyfle i deimlo y traed a'r dwylaw a hoeliwyd ar y pren, a dodi ei fys yn archoll y waewffon. Dyma ffaith fawr a sylfaenol Cristionogaeth wedi ei chadarnhau trwy y profion mwyaf diymwad, fod y Gair oedd yn y dechreuad gyda Duw, wedi ymgnawdoli, felly mae yn rhaid fod yr holl gyfundraeth Gristionogol yn wir. Mae yr Apostol yn dangos mai yn rhinwedd a than ddylanwad y gwirionedd mawr hwn yn unig y gellir cael cymdeithas a Duw. Yr oedd y Gnosticiaid yn honi eu bod hwy yn cymdeithasu â Duw, er eu bod yn gwadu priodol Dduwdod a gwir ddyndod Iesu Grist, pa mor halogedig bynag oedd eu calon a'u bywyd. Na, medd Ioan, Goleuni—Bod Sanctaidd, yw Duw, ac os rhodio yn y tywyllwch yr ydych, ac yn honi fod i chwi gymdeithas â Duw, celwyddog ydych, ac yr ydych yn twyllo eich hunain; ond os rhodiwn yn y goleuni, megys mae Efe yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas a'n gilydd, sef a'r Tad a'i Fab ef Iesu Grist.

Amcan mawr gweinidogaeth yr Apostolion oedd enill dynion i'r gymdeithas hon, eu cael i rodio yn y goleuni—i gyd-aneddu gyda Duw, ac i fod mewn llawn gymundeb ag Ef yn ei Fab. Yr hyn a glywsom ac a welsom, yr ydym yn ei fynegi i chwi, fel y caffech chwithau hefyd gymdeithas gyda ni, a'n cymdeithas ni yn wir sydd gyda'r Tad a chyda ei Fab ef Iesu Grist. Yr oedd y gair a gyfieithir yma'n gymdeithas, sef *coinonia*, yn cael ei ddefnyddio gan y Groegiaid i ddynodi eu cydgyfranogiad yn eu cyflawniadau a'u haddoliad crefyddol, ac er sicrhau iddynt y llesiant, a dybient, fod y cyfryw gymdeithas yn ei gyfleu iddynt. Mae yn golygu hefyd gwmni o ddynion yn uno â'i gilydd, ar amodau a berthynent iddynt oll, er cyraedd rhyw fanteision penodol trwy yr undeb hwnw. Mae yn golygu yma undeb dysgyblion yn y ffydd ag oedd yn perthyn iddynt yn gyffredinol fel cymdeithas, neu eglwys, i addoli a gwasanaethu yr unig wir Dduw trwy gyfryngwriaeth ei Fab ef Iesu Grist, ac er derbyn oddiwrtho ef, trwy yr un gyfryngwriaeth, y bendithion anmhrisiadwy o amddiffyniad a chyfarwyddyd yn y bywyd hwn, a maddeuant eu pechodau, a dedwyddwch tragywyddol yn y byd a ddaw. Pendod y gymdeithas hon yw y Tad, Tad mawr y bydoedd oll, a Iesu Grist ei Fab ef, yr hwn yn ei sefyllfa gyfryngol, sydd yn llywodraethu y bydoedd i gyd.

Yr oedd y Gnosticiaid, y rhai oedd yn ymffrostio fod eu cymdeithas hwy gyda y Bod Goruchaf, yn cyfaddef fod

y Bod Goruchel hwnw yn berffaith sanctaidd, yn oleuni pur; ond gwadent mae y Bod Goruchel hwn oedd y Duw ag oedd yr Iuddewon a'r Cristionogion yn ei addoli, canys yr oedd yr Iuddewon a'r Cristionogion, meddent hwy, yn addoli Creawdwr y byd; ac yr oedd y Gnosticiaid yn haeru mai ysbryd tywyllwch oedd hwnw, neu, os oedd yn ysbryd goleuni, fod tywyllwch ynddo. Mae Ioan yn dyweyd fod Iesu wedi dysgu mai goleuni oedd y gwir Dduw, yr hwn yr oeddent hwy yn ei addoli, ac yn adnod y 7fed, dywed, Os rhodiwn yn y goleuni, y mae i ni gymdeithas a'n gilydd, hyny yw, os byddwn byw yn sanctaidd a chyfiawn, ac yn derbyn goleuni, a nerth, a bywyd yn barhaus oddiwrtho ef. Os fel hyn y mae, y mae i ni gymdeithas a'n gilydd, mae cymundeb rhyngom ni a Duw. Nyni yn dyfod ato ef yn y goleuni, a Duw yr hwn sydd yn oleuni, yn ymostwng i gyfrinachu â ni; a gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhau ni oddiwrth bob bechod. Mae tri golygiad y mae gwaed Iesu Grist yn glanhau oddiwrth bechod. Y cyntaf trwy faddeuant. Hwn yw fy ngwaed i o'r Testament Newydd, yr hwn a dywelltir dros lawer er maddeuant pechodau. Yr hwn a osododd Duw yn Iawn trwy ffydd yn ei waed ef, i ddangos ei gyfiawnder trwy faddeuant y pechodau a wnaethid o'r blaen trwy ddyoddefgarwch Duw.

Yr ail, trwy symud yr halogrwydd mae pechod wedi ei adael ar natur dyn. Pa faint mwy y bydd i waed Crist buro eich cydwybodau chwi oddiwrth weithredoedd meirwon i wasanaethu y gwir a'r bywiol Dduw. Mae y cyntaf o'r ddau hyn oddiallan i'r dyn, yn ei ryddhau ef oddiwrth y rhwymedigaeth i ddyoddef cosp; a'r ail yn addasu dyn i ddal cymundeb â Duw, a'i wasanaethu ef. Y trydydd golygiad yw, fod gwaed Iesu Grist yn dylanwadu ar fywyd allanol y sawl sydd yn cymdeithasu â Duw, fel y maent yn gadael eu harferion pechadurus; y gwaed yn eu glanhau *oddiwrth*, ac nid *yn* eu pechodau. Yr oedd rhai o'r cyfeiliornwyr yn dal, ac yn haeru, pa mor llygredig a halogedig bynag oedd eu buchedd, nad oeddent yn pechu, gan fod Crist wedi marw drostynt. Dyna oedd barn y Nicoliaid. Math o grefyddwyr penrhydd, anfoesol, oedd y rhai hyn, yn honi fod iddynt gymdeithas â Duw, er eu bod yn byw yn ddiddeddf i Grist. Na, meddai Ioan, os cymdeithasu â Duw, rhaid i chwi rodio yn y goleuni; oblegid mae gwaed Iesu Grist yn glanhau oddiwrth ac nid yn eich pechodau. A hyn fu rhai o honoch chwi, eithr chwi a olchwyd; nid ydych yn byw yn eich pechodau mwy. Mae lle i ofni fod llawer *proffeswr* crefydd bur y Groes, wedi tynu cysur nad oedd yn perthyn iddo, oddiwrth y rhan hon o'r adnod, ac yn cael nerth i bechu ar ei phwys, trwy ei cham ddeall a'i chamddefnyddio i ddyben hollol groes i'r hyn ei bwriadwyd hi gan yr Ysbryd Glan, ac felly yn rhyw fath o edifarhau a phechu bob yn ail, ac yn twyllo eu hunain a'r gobaith gau, tra yn byw yn eu pechodau, y bydd i waed Iesu Grist eu glanhau oddiwrth eu pechodau, a hwythau o hyd yn ymdrabaeddu yn eu bryntni. O bob huan-dwyll, dyma y gwaethaf o'r cwbl, i feddwl fod gwaed Iesu yn *gochl* iddynt i bechu o dani, yn lle eu dwyn i wadu annuwioldeb a chwantau bydol, a'u dysgu i fyw yn sobr, cyfiawn, a duwiol yn y byd sydd yr awr hon

Adnodau yr 8fed a'r 10fed. Os dywedwn, fel mae y Nicolaiaid yn haeru, nad oes ynom bechod, yr ydym yn ein twyllo ein hunain, a'r gwirionedd nid yw ynom, ac yr ydym yn gwneuthur Duw yn gelwyddog. Pawb a bechasant ac a aethant yn ol am ogoniant Duw, ac o ganlyniad, mewn angen am y fath Iachawdwr a Iesu Grist. Mae gwadu hyn yn gwneuthur Duw yn gelwyddog, ac yn wrthodiad o Grist yn Waredwr, a gwirionedd yr efengyl nid yw ynddynt. Mae hon y sefyllfa fwyaf druenus y gall dyn fod ynddi, ac os parhau felly, mae y cyflwr yn ddiobaith.

Ond' os cyfaddefwn ein pechodau, ffyddlawn yw Duw, a chyfiawn, fel y maddeuo i ni ein pechodau, ac y'n glanhao oddiwrth bob anghyfiawnder. Yn ffyddlon i gyflawni ei addewidion, y byddai iddo i drugarhau wrth y dryllog

ei galon, a chystuddedig ei ysbryd. Mae yn gyfiawn, ac am hyny y mae yn ffyddlawn; yn ffyddlawn a chyfiawn gyda golwg ar yr amodau a wnaeth efe a'i Fab, fel Cyfryngwr ac Iachawdwr y byd, fel y mae yr anogaeth gryfaf i bob pechadur edifeiriol i fyned ato fel y derbynio drugaredd, ac y caffo ras yn gymorth cyfamserol.

---

## Y BEDYDDWYR A LLENYDDIAETH.

GAN Y PARCH. JAMES R. PRICE, KINGSTON, PA.

### RHIF. III.

Dyddorol gemym fuasai crybwylliad am lafur llenyddol enwogion a berthynant i'n henwad yn mysg y Saeson yn Lloegr, ond ni chaniata ein gofod ond braidd eu henwi, megys Dr. Gill, yr Esboniwr a'r ysgolhaig Rabbinaidd enwog; Robert Hall, tywysog pregethwyr ei oes. Yr oedd athrylith y dyn hwn y fath, nes tori allan trwy wahanol ffyrdd. Gwnaeth ei ran yn ffyddlawn gyda'r enwad, ac ysgrifenodd lawer ar bynciau amrywiadol eraill. Dyfynir o'i ysgrifau ef yn aml gan awdwyr galluog yr oes, yr hyn a brawf ei safle uchel yn mhlith y dosbarth blaenaf o ddysgedigion Lloegr ac America.

Cydoeswr ag ef oedd yr enwog Andrew Fuller. Gwerthfawrogir ysgrifeniadau Fuller yn fwy bob dydd. Tua dau fis yn ol, tra yr oedd y Parch. Joseph Cook yn darlithio ar yr "Iawn," yn Tremont Temple, Boston, cyfeiriodd at weithiau Fuller, fel safon, i'r hyn a ddywedai yn barchus fel hyn:—"Andrew Fuller, the Baptist scholar, who has been called the Benjamin Franklin of Theology." Cydoeswr arall â'r cewri hyn, oedd y llafurus Dr. Carey, fel cenadwr yn yr India y dadblygwyd galluoedd y dyn rhyfedd hwn fwyaf. Cyfansoddodd Ramadeg a Geiriadur yn yr iaith estronol hono, heblaw lluaws o lyfrau at wasanaeth ysgolion dyddiol a Sabbothol. Creodd gyfnod newydd ar lenyddiaeth yn yr India yn ngwyneb yr anfanteision mwyaf. Gyda hyny, cyfieithiodd yr Ysgrythyrau i iaith y brodorion.

Nis gallwn fyned heibio heb goffa am yr enwog Dr. Angus, awdwr "Llawlyfr y Beibl," a "Christ ein Bywyd," ac amryw lyfrau gwerthfawr eraill. Hefyd, John Howard Hinton, prif feddyliwr ei oes; yr hwn a fu farw yn ddiweddar wedi oes lafurus fel gweinidog ffyddlawn, a llenor o fri neillduol. Ac yn olaf yn bresenol, y Parch. C. H. Spurgeon. Nid o'r pwlpud yn y Tabernacl, Llundain, y mae efe yn llefaru yn unig wrth y byd, ond llefara mewn cyfrolau lawer trwy yr argraff-wasg wrth wahanol genedloedd y byd; ac nid yw y Cymry yn eithriad.

Deuwn bellach i gymeryd golwg ar sefyllfa llenyddiaeth y Bedyddwyr Cymreig yn y Talaethau Unedig. Nid yw y manylion genym mor gywir ag y dymunem, ond gwnawn y goreu o'r hyn sydd genym wrth law.

Yn y flwyddyn 1841, cyhoeddwyd y "Beread," dan olygiaeth y Parch. D. Phillips, gynt o Gaerlleon. Ni pharhaodd ond ychydig dros flwyddyn. Yr oedd yn cael ei argraffu gan Mr. R. Edwards, yn awr o Pottsville.

Yn y flwyddyn 1843, cyhoeddwyd y "Seren Orllewinol," o dan olygiaeth y Parch. Wm. F. Phillips, Utica; ar ol hyny, neillduwyd y Parch. J. P. Harris (Ieuan Ddu), yn olygydd yn 1845. Mr. R. Edwards, Pottsville oedd y cyhoeddwr o'r dechreu, yr hwn a gymerodd ei olygiaeth hefyd yn 1851 neu 1852. Parhaodd y "Seren" i oleuo i'r enwad am rai blynyddau, ond o ddiffyg cefnogaeth a ffyddlondeb, diffoddodd yn llwyr, a buwyd am beth amser heb gyfrwng llenyddol, fel yr oedd yn rhaid i'r Bedyddwyr i gyhoeddi pob peth angenrheidiol mewn papyrau wythnosol, megys y "Drych," a "Baner America." Yn y cyfnod hwn, gwnawd ymgais i gychwyn cyhoeddiad arall, sef "Y Wasg," dan olygiaeth y Parch. A. J. Morton. Ychydig o rifynau a ddaeth allan o'r cyhoeddiad rhagorol hwn. Dyma ein henwad eto heb un cyhoeddiad pan oedd ei wir angen.

Yn Gorphenaf, 1872, daeth y "Glor-

ian" allan o Pittsburgh. Golygid hi gan y Parchn. W. L. Evans, D. J. Nicholas, a Mr. A. J. Aubrey, Youngstown, Ohio. Bu yn clorianu cynyrchion llenyddol yr enwad am yn agos i ddwy flynedd. Trwy gyfrwng y "Glorian" y cawsom olwg ar rai traethodau gwir dda, 'megys traethawd buddugol H. M. Edwards, Hyde Park, ar "Ddiffygion Cenedl y Cymry yn America." Carem weled mwy o draethodau o'r natur hyn, a llai o bethau nychlyd a phregethwrol fel sydd yn fynych yn ein cyhoeddiadau misol. Wel, dyma ni eto "ar y traeth (chwedl y morwyr), ond y mae y profiad blaenorol yn arafu ein gwylltineb, ac yn cynorthwyo amynedd. Buasai yn well genym nofio ar gefnfor dwfn llenyddiaeth.

Yn mis Ebrill, 1876, agorodd y WAWR ei dorau euraidd yn Utica, dan olygiaeth a pherchenogaeth bersonol y llenor a'r gweinidog adnabyddus, y Parch. Owen Griffiths (Giraldus). Ar bob cyfrif, ni ddylai yr anturiaeth ganmoladwy hon i fyned yn fethiant. O, Fedyddwyr y Talaethau Unedig, "Deffrown yn gyfiawn ac na phechwn." Y mae ein dylanwad yn fwy heddyw nag a bu yn y Talaethau erioed o'r blaen. Peidiwn a rhoddi lle i'n gelynion i ddanod i ni ein difaterwch a'n hanffyddlondeb gyda'n llenyddiaeth.

Goddefer i ni awgrymu fod eisiau mwy o "drefn" yn ein plith. Dylem siarad hyn allan yn ein Cynadleddau Cymanfaol, a chael cynllun i'r enwad i weithredu yn rheolaidd wrtho i sicrhau diogelwch i'r unig gyhoeddiad sydd yn ein meddiant, trwy yr hwn y gallwn ddysgu ein hegwyddorion gwahaniaethol yn eu heglurder cynhenid i'n cydgenedl yn y wlad "gymysglyd" hon.

Y mae genym frodyr galluog yn barod i roddi pob cynorthwy fel gohebwyr mewn rhyddiaeth a barddoniaeth, megys H. C. Parry (Cefni), Pittston; A. J. Morton; J. P. Harris (Ieuan Ddu); Ednyfed; Rhoslyn, ac eraill o lenorion adnabyddus yr enwad yn y wlad hon.

Nid ydym yn bwriadu yn y nodion hyn i sylwi ar lafur llenyddol yr hen gedyrn a berthynent i'n henwad tua chan' mlynedd yn ol yn y wlad hon; gan fod hyny wedi ei wneyd yn barod gan eraill. Dichon mae yn ddiweddar mewn cymhariaeth y mae y Bedyddwyr Cymreig wedi dyfod allan fel awdwyr medrus. Y mae y duwinydd a'r bardd clodwiw, H. C. Parry (Cefni), wedi cyfoethogi ein llenyddiaeth â lluaws o awdlau gorchestol, a thraethodau cynwyslawn. Carem gael cyfrol neu ddwy o'i weithiau awdurol allan o'r wasg; trueni fod ffrwyth meddwl mor rymus a choethedig ar wasgar mewn gwahanol fanau.

Gwyddom fel Bedyddwyr am graffder a medrusrwydd y Parch. J. P. Harris. Y mae wedi ysgrifenu llawer mewn rhyddiaeth a barddoniaeth, ac yn parhau felly. Caffed hir oes i wasanaethu ei genedl.

Cyhoeddwyd cyfrol o bregethau ac ysgrifau ar wahanol destynau yn y flwyddyn 1872, gan y Parch. Owen Griffiths (Giraldus), golygydd y WAWR. Y mae un peth yn y gyfrol hon yr ydym ei edmygu yn fawr, sef y "sylwadau adolygiadol ar bersonau cyhoeddus sydd yn fyw yn awr rai o honynt, ac un newydd ymadael oddiwrth ei lafur i dderbyn ei wobr, sef yr enwog Cynddelw." Gwyddom fod hyn yn beth cyffredin gan y Saeson a'r Americaniaid. Ond "a fyno glod, bydded farw," yw hi fynychaf gyda ni y Cymry. Diolchwn i'r gwylaidd Giraldus am dori llwybr newydd o flaen ein llenorion Cymreig.

Nid yw ysgrifbin y Parch. A. J. Morton (Alwyn Trefor), wedi bod yn segur; a dengys y restr sydd o fy mlaen, o destynau y mae wedi cyfansoddi arnynt, ei fod yn treiddio i mewn i fwngloddiau cyfoethocaf gwydodaeth hen a diweddar. "Traethawd ar Addysg," "Rheitheg," "Awdurdod y Pum' Llyfr," "Gwres yn ei berthynas a Bywyd," "Ar y Credoau," "Gwareiddiad," "Bywyd Napoleon yr II.," "Tom Paine a Rousseau," "Cysegriad yr Iaith Roegaidd," "Elfenau Cymreig yn hanes Bedyddwyr Pennsylvania." Rhy faith fyddai enwi yr oll o honynt. Cynwysant tua deugain o draethodau,

a rhai darnau barddonol chwaethus.

Y mae Mr. W. B. Jones (Ap P. A. Mon), yn llenor coethedig, ac wedi cyfranu llawer i drysorfa lenyddol yr enwad, yn gystal a'r genedl Gymreig yn y Talaethau. Cyflwyned ragor o'r "darnau aur" sydd yn ei feddiant i drysorfa lenyddol y WAWR, os gwel yn dda.

Nid oes eisiau ond crybwyll enw y bardd a'r llenor dysgedig Mr. Aneurin Jones (Aneurin Fardd). Gwyddom fel cenedl am y gwasanaeth a wnaeth i lenyddiaeth Gymreig yn y mynedol. Teimlem ddyddordeb bob amser wrth ddarllen ei ysgrifau, fel ffrwyth ymchwil a beirniadaeth ystyr-bwyll. Doed eto i'n dysgu yn nheithi llenyddol yr hen Omeraeg, cyn ei fyned i "Ddinas y Meirw."

Pa le y mae "Cadwgan Fardd?" Buom yn darllen llawer o gynyrchion ei enaid awenyddol flynyddau yn ol yn Nghymru, ond rywsut, y mae wedi ymneillduo i raddau o'n plith y blynyddau diweddaf. Dyma fel y dywedodd unwaith wrth edrych ar ei hen gyfaill "Cynddelw" yn bedyddio yn afon Sirhowi:

"Saer awen mawr Sirhowi,
Bedyddiodd, trochodd y tri-
Ar ddeg mewn clodfawr ddygiad,
Yn ol deddf ei anwyl Dad."

Y mae ein ysgrif wedi myned yn faith; nid ydym wedi enwi agos ein llenorion yn y Talaethau. Bydded i'r dyfodol i ddwyn allan alluoedd ein llenorion ieuainc yn fwy amlwg a beiddgar o blaid y gwirionedd yn ein llenyddiaeth gysegredig.

Wrth ddiweddu, cymerwn olwg ar lenyddiaeth y Bedyddwyr Americanaidd. Yma y gwelwn gyfoeth, dysg, a thalent, fel tair boneddiges yn rhoi help llaw haelionus i adeiladu teml fawr lenyddol yr enwad, ac yr yd ym yn myned i mewn i'w ystafelloedd eang gan synu at eu geiriau gwerthfawr.

Y cyhoeddiad cyntaf a ddaeth allan dan nawdd y Bedyddwyr Americanaidd oedd, "The Massachusetts Baptist Missionary Magazine," yr hwn a gyhoeddwyd yn mis Medi, 1803, ac y mae yn parhau i ddyfod allan hyd yn bresenol. Ni chaniata ein gofod i gofnodi yr amrywiol gyhoeddiadau eraill a ddaethant allan o bryd i bryd wedi hyny; digon yw dyweyd eu bod heddyw yn *haner cant* mewn nifer; o'r cyfryw y mae tri-ar-ddeg yn dyfod allan yn fisol, y gweddill yn bythefnosol ac wythnosol, gyda'r eithriad o un yn chwarterol, sef "The Baptist Quarterly."

Yn y flwyddyn 1824, sefydlwyd Cymdeithas Gyhoeddiadol y Bedyddwyr, yr hon sydd yn gwneyd gwaith aruthrol mewn gwasgaru llyfrau o bob math at wasanaeth yr enwad dros yr holl Dalaethau Unedig. Heblaw hyny, y mae yn cynorthwyo cenadon mewn rhai gwledydd tramor. O dan y Gymdeithas hon y mae Mr. Van Meter yn llafurio yn Rhufain, ac yn gwneyd gwaith ardderchog yno wrth ymyl drws y Vatican Babaidd; gyda hyny y mae yn cyflogi llawer o Genadon Cartrefol, fel Beibl-ddarllenwyr, &c., yn y dinasoedd mawrion, ac allan yn y Gorllewin pell. Yr oedd y drafodaeth fawr hon mewn argraffu, &c., yn cael ei wneyd mewn ty ardrethedig yn Philadelphia hyd y flwyddyn ddiweddaf.

Penderfynodd y Pwyllgor fod eisiau lle eangach a mwy cyfleus. Prynwyd tir, yr hwn a gostiodd gan' mil o ddoleri. Adeiladwyd arno yn ddioed. Costiodd yr adeilad a phethau angenrheidiol eraill, y swm o $258,586,68. Er mwyn i ddarllenwyr y WAWR gael rhyw amgyffrediad am y gwaith a wneir yma, dyfynwn a ganlyn o'r "American Baptist Year Book:"

"Argraffwyd pedair mil a haner cant o gopiau o'r "Baptist Quarterly.' Tri chant a thri-ugain a thair-ar-ddeg o filoedd naw cant a chwech-ar-hugain o gopiau o'r "National Baptist." Pedwar cant ac wyth-ar-hugain o filoedd o'r "Baptist Teacher." Dwy filiwn, saith cant a phump a deugain o filoedd o gopiau o'r "Baptist Lessons. Dwy filiwn, naw cant a phum' mil o gopiau o'r "Young Reaper.," Dwy filiwn tri chant a phedwar ugain ac wyth o filoedd o gopiau o'r "Little Ones." Un filiwn, tri chant o filoedd o gopiau o'r "Primary Lessons." Un fil a

phum' cant o gopiau o'r "Baptist Year Book." Y cyfan wedi eu hargraffu yn ystod y flwyddyn ddiweddaf.

Y nifer o gopiau o lyfrau a thraethodau o'r dechreuad yw, tri ugain a chwech o filiwnau, naw cant a dwy fil ag wyth cant a phymtheg o gopiau. Nis gallwn roi cyfrif am weithiau a gyhoeddir gan bersonau neillduol ar eu cyfrifoldeb eu hunain, ar bob cangen o wybodaeth fuddiol.

Y mae pedwar ugain a phump o Golegau ac Athrofeydd o wahanol raddau yn perthyn i'r Bedyddwyr yn y Talaethau Unedig. I'r cyfryw y mae llyfrgelloedd cyfoethog, yn cynwys dau cant a thriugain-a-naw o filoedd, naw cant ac un-ar-hugain o gyfrolau. Nifer gweinidogion yr enwad Bedyddiedig yn y wlad hon, yw tair-mil-ar-ddeg, saith cant a thriugain a phedwar-ar-bymtheg. Nifer yr aelodau yw, un filiwn, naw cant a deuddeg-ar-hugain o filoedd, tri chant a phedwar-ugain-a-phump. Bellach, dyma ni yn rhoi heibio ein ysgrif-bin am dro, gan obeithio nad yw ein llafur wedi bod yn ofer. Wrth edrych ar sefyllfa ein henwad yn bresenol, y mae genym bob achos i fod yn llawen am y gorphenol, ac yn hyderus yn y dyfodol. "Mor gadarn y cynyddodd gair yr Arglwydd ac y cryfhaodd!"

## AR NOSON GALAN GAUAF.

Ar noson galan gauaf
  Bydd pawb yn llawenhau;
Bydd John yn bwyta 'falau,
  A Rhys yn tori cnau.
Bydd rhai yn chwareu gwyddbwyll,
  Bob un am oreu'i law;
A'r plant yn llosgi coelcerth
  Ar ben y mynydd draw.

Ar noson galan gauaf
  Bydd chwedlau'n cael eu dweyd,
A llawer pwys o siwgwr
  Yn gyflaith gaiff ei wneyd.
Ystraeon am ysbrydion
  Sy'n boddio ambell un:
Ond gwell gan inau ganu—
  Bob un i foddio'i hun.

## "CERWCH Y FRAWDOLIAETH."

(1 Pedr ii. 17.)

GAN Y PARCH. D. PROBERT, YOUNGSTOWN, O.

Brawdoliaeth, sydd enw cyffredin ar gymdeithas o unrhyw natur, naturiol neu ysbrydol, gwladol neu grefyddol. Y mae cymdeithasau lawer yn y byd, a gellir gyda phriodoldeb eu galw wrth yr enw hwn. Y gymdeithas ddynol sydd un frawdoliaeth fawr, ac "efe a wnaeth o un gwaed bob cenedl o ddynion," ac mewn ystyr uwch, "ei hiliogaeth ef ydym ni." Cenedl sydd frawdoliaeth; gelwir hiliogaeth Jacob yn frodyr. Y mae hefyd frawdoliaethau gwyddonol a dyngarol. Ond ni ellir rhestru y frawdoliaeth Gristionogol yn mhlith yr un o'r rhai hyn. Y mae hi yn uwchraddol, ac o natur a dyben gwahanol. Mae y "frwdoliaeth" hon yn gynwysedig o ddynion wedi eu galw yn nghyd oddiwrth bethau a phersonau. Yr hwn sydd yn galw yw Duw; yr efengyl yw y moddion; y gwrthddrychau a elwir ydynt bechaduriaid. Gelwir hwy oddiwrth bechod ac annuwiolion, a ffurfir hwy yn gymdeithas sanctaidd i fynegu gogoniant Duw, ac i lafurio er lles eraill yn gystal a'u hunain. Maent yn gyfryw ag sydd wedi edifarhau am bechod, credu yn Iesu Grist, gan gymeryd eu rheoli gan ei air. Nid eu gwaith hwy yw gwneyd cyfreithiau, ond ufuddhau. Dechreua y gwaith arnynt yn fewnol, ac yna yn allanol; y gwaed yn gyntaf, yna y dwfr.

Nis gall y frawdoliaeth hon fodoli heb wybodaeth. "Mae ffydd yn dyfod trwy glywed a chlywed trwy Air Duw." Anmhosibl i ffydd fodoli heb dystiolaeth, o herwydd pa fodd y gellir caru ac ymddiried mewn un nad ydym wedi gweled ei degwch, na gwybod am ei gyfaddasder i ni; heb wybod am ei nodweddau. Ni chreda y frawdoliaeth yma mae mamaeth duwioldeb yw anwybodaeth; creda mae yr unig ffordd i greu a chynyddu crefydd yn yr enaid yw gwybodaeth o drefn rasol Duw. "Ewch a phregethwch yr efengyl i bob creadur, y neb a gredo ac a fedyddier

a fydd cadwedig." Unig reol ffydd a gwareiddiad, yw y Beibl—yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Saif y frawdoliaeth hon dros hawl dyn i farnu drosto ei hun, ac nid derbyn mympwyon dynol yn lle Gair Duw.

Mae y frawdoliaeth hon yn addoli Duw, gan sylfaenu eu gobeithion ar Grist am fywyd ac iachawdwriaeth, ymostwng i'w ordinhadau, ac ymfucheddu yn deilwng o'u proffes. Nid bod yn hâd Abraham yw y cymwysder yma, ond credu yn Nghrist. "Od oes neb yn Nghrist, y mae efe yn greadur newydd."

Mae y frawdoliaeth yma yn myned o dan wahanol enwau: gelwir hi yn deulu, gwinllan, eglwys, corlan, teyrnas, dysgyblion, a chorph. Os corph, un corph, un eglwys, un teulu, un fyddin. Os corph, Crist yw y pen; os teyrnas, efe yw y brenin. Un Tad, o'r hwn maent oll yn hanu, a hwythau yn frodyr. "Un Arglwydd, un ffydd, un bedydd," un corph, er bod aelodau lawer, rhai yn wan, a rhai yn gryfion, yn perthyn i'w gilydd, oll mewn undeb â'r pen, yn cael eu llywodraethu gan yr un ysbryd, yr hwn yw bywyd y corph; yn feddianol ar un gobaith, mewn natur a gwrthddrych, a'u afael tu fewn i'r llen.

Brodyr, er arwyddo eu cydraddoldeb fel aelodau o'r frawdoliaeth fawreddog yma, er dangos nad oes isafiaeth nag uwchafiaeth i gael eu cydnabod yma; nid oes neb i gael ei anmharchu o herwydd ei dylodi, na neb i gael ei barchu o herwydd ei gyfoeth; na, cydnabyddir pawb ar yr un esgynlawr ger bron Duw. Brodyr ydym. Gwelwn oddiwrth Actau, mai brodyr yw yr enw cyntaf a ddefnyddiwyd er gosod allan berthynas y Cristionogion a'u gilydd o'r ddau tu. Fel dysgyblion gosodir hwy allan er dangos allan eu perthynas gyffredinol a'u Harglwydd. A dyma yr enw roddodd ein Harglwydd iddynt, un yw eich Hathraw chwi, a chwithau oll brodyr ydych. Math. xxiii. 8.

1. Brodyr ydynt mewn modd ysbrydol, er dynodi eu dechreuad gwreiddiol. Maent oll yn blant i Dduw trwy ffydd yn Nghrist Iesu; oll yn blant i Dduw trwy fabwysiad. Ac yn ol Pedr, wedi eu hadgenedlu i obaith bywiol, trwy adgyfodiad Iesu Grist oddiwrth y meirw.

2. Maent yn frodyr am eu bod yn feddianol ar yr un cymeriad cyffredinol. Maent oll, er yn gwahaniaethu mewn llawer o bethau, eto yn debyg i'w Tad yr hwn sydd yn y nefoedd; oll wedi eu hadnewyddu a'u cyfnewid i'r un ddelw, sef delw yr hwn a'u creodd, mewn gwybodaeth, cyfiawnder, a gwir sancteiddrwydd. "Ac megys y dygasom ddelw y daearol, felly y dygwn ddelw y nefol hefyd."

3. Brodyr ydynt, am fod yr un drigfan ddedwydd yn eu haros yr ochr draw, yr hon nad oedd Canaan ddaearol ond cysgod o honi; lle caiff y saint am byth fyw yn ngwenau Duw, yn ymyl yr orsedd ddwyfol, gan yfed byth o ddwfr y bywyd:

——"A'r teulu yno yn un,
Heb neb yn tynu'n groes;
Yn moli'r Duwdod yn y dyn,
A chofio'i angeu loes."

4. Brodyr ydynt mewn modd ysbrydol, am fod etifeddiaeth gyffredinol yn eu haros. Ac os plant, etifeddion hefyd, sef etifeddion i Dduw, a chyd etifeddion â Christ.

II. *Dyledswydd pob un at y Frawdoliaeth.*—Ei charu, "nid mewn gair yn unig, ond mewn gweithred a gwirionedd."

1. Mae pob aelod i ddangos ei gariad at y frawdoliaeth, trwy ymuno a'r frawdoliaeth pa le bynag y byddo. Weithiau yr ydym yn nhrefn Rhagluniaeth, yn symud yma a thraw. Dyledswydd pob un sydd wedi proffesu Crist, yw dangos i bwy mae yn perthyn, ac mai pobl Dduw yw ei bobl ef. Medd Neander, "Pan ddelai Cristion i deyrnas ddyeithr, neu bellenig, y peth cyntaf a wnai oedd holi am eglwys Dduw, a'r frawdoliaeth grefyddol." Yna byddai yn cael ei dderbyn fel brawd, a'i gynorthwyo, a'i ddiwallu yn naturiol ac ysbrydol. Mae hon yn esiampl o'r oes gyntaf, a byddai yn dda pe byddai yr hen a'r ieuanc yn eu dilyn, trwy ddangos eu hochr, a dal i fyny faner cariad, gan nesu at eu gilydd, yn ol y

ddiareb, "Adar yr un lliw, a ehedant i'r un lle." Yn mhellach, mae i ddangos ei gariad trwy dalu sylw i sefydliadau yr eglwys, heb esgeuluso eu gydgynulliad fel mae arfer rhai. Mae pob aelod wedi cyfamodi i gadw ei le yn eglwys Dduw, yn ei ddyfodiad i mewn i'r eglwys; ond er gofid, mae lluoedd yn anghofio eu cyfamod. O, mor lleied o beth sydd yn ddigon i'w hatal rhag dyfod i'r gyfeillach a'r cwrdd gweddi, a'r cyrddau y Sabboth. Cawod fach o wlaw, cur yn y pen, a'r cyffelyb; ymaith a'r esgusodion, nid oes dim yn ddigon o esgus, ond a ddalio yn y farn; ond daw dydd o brysur bwyso crefyddwyr cyn bo hir, &c.; aiff yr esgeulus trwyddi yma fel hyn, ond mae cyfrif i'w roddi o'r oruchwyliaeth. Nid oes gofid arno mewn modd yn y byd, ac os cymer y brodyr yr hyfdra i ddywedyd wrtho am ei fai, digia fe ddichon; heb ystyried ei fod yn dorwr amod, ei ymddygiad yn caledu y byd, ac yn foddion i ddigaloni ei gyd-frodyr, yn rhwystr i'r frawdoliaeth yn ei hymosodiad ar y gelyn, yn cadwyno eu dwylaw, yn pylu eu cleddyfau. Wel, amlyged pob aelod ei gariad at y frawdoliaeth, trwy fynychu y moddion, byw yn addas i'r efengyl, a chan fynychu ei rhodfeydd.

2. Trwy ymestyn i gadw purdeb y frawdoliaeth, yn nghyd a cheisio ei heddwch. Os gwel lygredd ar ddyfod i mewn i'r eglwys, a fydd yn debyg o niweidio nid yn unig rai personau, ond hefyd niweidio y frawdoliaeth; felly, dyled y Cristionogion mewn modd cyffredinol, yn nghyd a'r swyddogion, yw talu sylw i'r mater, gan ei gadw allan rhag bod un gwreiddyn chwerwedd yn tyfu i fyny, a thrwy hwnw yn llygru llawer. Bydded fod pob un yn ystyried bod galwad am ei help ef er cadw purdeb y frawdoliaeth, gan weithredu yn ol cynllun Crist yn y 18fed benod o Matthew, gan geisio heddwch Jerusalem. Trwy ymestyn i enill brodyr fyddo wedi tramgwyddo, i gymodi a'u gilydd drachefn. Trwy ymestyn i dawelu ymrysonau, a lladd ysbryd ymbleidio, ac ymestyn i weithredu i feithrin heddwch, a chynyddu cariad a theimlad da yn y frawdoliaeth, yn nghyd a gweddi ddyfal dros y frawdoliaeth, dros y swyddogion a'r aelodau yn gyffredinol; ac mae yn ddyledswydd arno weddio am lwyddiant y bobl hyny y perthyna iddynt. "Dymunwch heddwch Jerusalem; llwydded y rhai a'th hoffant." Psalm cxxii. 6. A phe cymerai pob aelod yn ein heglwysi lwyddiant Seion yn fater gweddi, caem well gweinidogaeth, gwell diaconiaid, a gwell aelodau, a cheid gweled achos Duw yn gwisgo agwedd lawer gwell. Gwnaed y gweinidogion apeliad at eu heglwysi, gan ddywedyd, "O frodyr, gweddiwch drosom."

3. Dylai y Cristion amlygu ei gariad at y frawdoliaeth, a hyny trwy arferyd gwyliadwriaeth garedig dros eu cydaelodau. Nid dyweyd fel Cain, "Ai ceidwad fy mrawd ydwyf fi?" Nid gwylied ein gilydd er mwyn cael achos yn erbyn brawd, fel llawer, ond o gariad at y person, er mwyn helpu ei gadw rhag esgeuluso neu droi yn ol. Pan geir fod brawd yn oeri gyda chrefydd, ac yn dechreu myned yn ddiofal i ddyfod i'r moddion, a'i rodiad yn anwastad, dyledswydd y brodyr yw ei rybuddio, a'i gyngori yn y modd mwyaf caredig. Dylid ymestyn i adgyweiro yr anwastad, ac mae y Nefoedd yn ein dal yn gyfrifol am fucheddau ein cydfrodyr. Dyled un brawd at y llall, os gwel un yn rhodio llwybr nad yw dda, yn byw yn annheilwng o'i broffes, yw ei gynghori yn y modd mwyaf caredig ac addfwyn, i ymwrthod â'r llwybr mae yn drafaelio, am fod perygl, a byddai yn bechod iddo beidio. Ac mae yn orchymynedig, "Cynghorwch eich gilydd bob dydd tra gelwir hi heddyw;" felly mae yn ddyledswydd arnom i wneyd pan y byddo brawd yn debyg o fyned ar gyfeiliorn, ac yn debyg o dynu dianrhydedd ar achos Crist. O, meddai rhyw frawd, nid yw hynyna yn un newydd i mi: yr oeddwn i yn ei weled er ys llawer dydd yn myned i ddistryw. Wel, a wnaethost ti dy ddyledswydd ato? A ddarfu i ti ei rybuddio? Naddo, nid oeddwn i ddim yn dewis ryw fodd ddyweyd dim wrtho. Os na wnaethost, mae y Nef-

oedd yn dy ddal yn gyfrifol. Gallaset trwy ei rybuddio mewn pryd, fod wedi achub dy frawd o afael perygl, ond gan nas gwnaethost, yr wyt yn gyfranog o'i bechod. Mae ymdrech prydlawn wedi achub llawer un o berygl.

Pe gwelid ty wedi cymeryd tân, a'r dyn yn peidio galw am help, na gwneyd un ymdrech i'w ddiffodd, deuai y person yn gyfrifol am dano. Mae rhai yn ein heglwysi yn gyfrifol am rai sydd yn uffern, am na buasent wedi gwneyd eu dyledswydd tuag atynt. Cadwn wyliadwriaeth dros ein gilydd fel brodyr yn yr Arglwydd, ac wrth hyny, yr amlygwn ein cariad at y frawdoliaeth, am fod perygl. Mae ambell un o'r brodyr yn tueddu i fynychu y dafarn yn ddyddiol a Sabbothol. Mae yn ddrwg un amser; ond yn waeth ar ddydd yr Arglwydd. Rhai yn talu mwy o sylw fe allai i'r clwb, nag i'r eglwys. Esgeulusa gwrdd gweddi neu gyfeillach, er myned i'r clwb, gan wneyd crefydd yn ail beth, pan ddylai gael y lle blaenaf yn y meddwl a'r galon. Dosbarth arall sydd yn eglwys Dduw, yw yr athrodwr, bwyd a diod y rhai yw gwendidau eu brodyr; eraill, siarad am wneyd, a gwneyd dim. Llawer un arall sydd i'w gael yn aberthu mwy ar allor blys nag ar allor crefydd. Ambell un yn byw yn afradus; eraill yn defnyddio dydd yr Arglwydd yn was i ddiwrnodau eraill. Os bydd eisiau anfon at gyfaill, y Sabboth fydd yr amser; neu er myned i weled rhyw hen gyfeillion, eir amryw filldiroedd i'r dyben o gael tipyn o ymddyddan am yr Hen Wlad, neu ryw beth tebyg, gan dreulio dydd yr Arglwydd yn ofer, gan esgeuluso y bregeth a'r Ysgol Sabbothol; a phe gofynid iddynt ddyfod i'r oedfa, atebent yn ben uchel eu gwala, nas gallent ddyfod, am fod eisiau arnynt fyned i'r fan a'r fan. Onid oes galwad am air y cyngor yma? Yn wir, fy mrodyr, ni ddylai y pethau hyn fod.

Mae galwad am i'r brodyr fod yn gwybod y pethau hyn, er eu cynghori a'u rhybuddio, ac mae galwad am fod yn onest yn y cyflawniad o'r ddyledswydd. "Cerwch y frawdoliaeth." Ymestyniad fo yn mhob aelod o'r frawdoliaeth i wella a llesoli y gymdeithas, eangu ei therfynau, a chael llawer o'r newydd i ymuno â'r frawdoliaeth, gan ddilyn yr Iesu i ba le bynag yr elo.

Bydded i'r sylwadau anmherffaith yma fod yn foddion i ddwyn yr esgeulus i fwy o weithgarwch, a'r diymdrech i ymdrech, gan enyn ynom fwy o sêl a diwydrwydd gyda yr achos, a gofal ynom am ein gilydd, gan garu ein gilydd o galon bur yn helaeth.

---

## DAFYDD EVANS, FFYNONHENRY.

Yr oedd Dafydd Evans yn hoff iawn o bysgota, ac yn llwyddianus iawn yn ei gelfyddyd. Yr oedd un tro yn pysgota ar dir boneddwr cymydogaethol, a daeth y gwas heibio i'w rwystro. "O'r goreu," ebai Dafydd Evans, "os nad yw yn foddlon, ni wnaf fysgota: ond *stop* dipyn bach, gofyn i dy feistr a gaiff hen bregethwr Ffynonhenry fysgota ar ei dir? Dywed wrtho nad yw yn dala nemor ddim, ond ei fod yn cael tipyn o bleser i dreio ar lan yr afon." "O'r goreu," ebai'r bachgen. Rhyw noswaith ar ol i Dafydd Evans fyned i'r gwely, galwodd y gwas i ddyweyd fod ei feistr yn foddlon iddo i bysgota faint a fynai. Neidiai yntau o'r gwely gan waeddi, "Diolch, diolch. Campus fachgen yn wir. Hei, *stop,* d'wed wrth dy feistr y bydd yn sicr o gael myn'd i'r nefoedd am ei garedigrwydd, *os na fydd bai arno fe.*"

Pan yn taflu ei wialen ar y dw'r un tro, bachodd pysgodyn braf, a chododd ef i gryn uchder, ond syrthiodd yn ol yn union. "O John, John," ebai yn gynhyrfus wrth ei gyfaill, "Beth alla'r cynllwyn drwg wneyd yn waeth na dod fyny i ddangos ei fola arian, a 'nol ag ef yn y fan, fe fyddai'n well gyda fi beidio 'i wel'd ef." Ar ol dal brithyll mawr dro arall, yr oedd yn rhaid iddo ef ei gael yn ei gol, a'i ganmol, ac ymddyddan ag ef. Dywedai, gan dynu ei law dros ei gefn, "Dyma fachgen braf! O, dyma fachgen tew? Fe lyncest

lawer o dy frodyr, fe gai dithau dy lyncu 'nawr. Pwy baentiodd y *spotiau crand* yma sydd arnat ti?" Gyda hyn wele'r pysgodyn yn rhoddi naid yn ol i'r afon. Bloeddiodd yntau, "Boddwch fi 'nawr, boddwch fi 'nawr, towlwch fi ar ei ol e." Yr oedd yn blentynaidd hoff o weled pysgodyn wedi ei ddal, a'i gael yn ei law. Dangosodd lle'r oedd dau bysgodyn unwaith, a daliwyd hwynt, ond digiodd yn enbyd wrth y dynion am eu cymeryd gartref heb ddod heibio Conwil, iddo gael eu gweled. Yr oedd ei reddfau yn lluosog a chyflawn, a'i gydymdeimlad â natur a'i gwrthddrychau, fychain a mawrion, yn fyw a thyner i'w ryfeddu. Taflai fywyd a theimlad i bethau marw, a phersonolai wrthddrychau difywyd. Dywedai unwaith am elor, "Dyma hen geffyl rhyfedd, hen geffyl pren; mae yn denau iawn, 'does dim cig arno, mae ei eis i gyd yn y golwg, ddaw e byth yn dew. Eto mae e'n cario llawer, mae e'n rhedeg rhwng y byd a'r bedd—rhwng y byw a'r meirw. 'Does neb yn *liko* myn'd ar ei gefn e chwaith. *Li'kwn* i ddim beth bynag, ond fe fydd rhaid i fi; fe 'nghlymir i â *line* ar ei gefn e, a bant a fi i'r bedd. Rwy i wedi gweled y duwiol a'r annuwiol, yr hen wr a'r baban, puteiniaid a lladron, a seintiau ar gefn yr hen geffyl pren, yn myn'd tua thy eu hir gartref."

Yr oedd Dafydd Evans yn hynod fywiog a naturiol; ei ddychymyg yn wyllt a nwyfus; ei deimladau yn fyw a chyffrous, ac heb erioed fod o dan ddysgyblaeth briodol. Felly yr oedd yn myned i eithafion parhaus; byddai braidd o hyd yn y llon neu y lleddf, yn y difrifol neu'r digrif. Anfynych y byddai yn y gwanwyn neu'r hydref, ond yn yr hâf neu y gauaf; o dan wres y cyhydedd, neu yn oerfel y pegynau. Mae ambell i ddyn yn ei dônau lleddf, a'i edrychiad pruddaidd, fel pe bae wedi ei wneyd yn bwrpasol gan y Crewr mawr i yru dynion i wylo, a'u hadgofio o ochr dywyll bywyd; tra y mae un arall yn ei fywiawgrwydd cogleisiol, a'i ddull ysmala a digrif, fel pe bae wedi ei wneyd yn bwrpasol i yru dynion i chwerthin a'u cadw mewn cof fod ochr oleu i gael. Ond yr oedd Dafydd Evans fel pe bae wedi ei wneyd yn bwrpasol i bob un o'r ddau. Gyrai y bobl i chwerthin a llefain bob yn ail; byddai y dagrau yn ymddysgleirio yn fynych trwy y gweniadau, fel y dafnau gwlaw yn nhywyniadau haul; a dystawai y chwerthin yn swn ochenaid edifeirwch, a chwynfan "y galon lawn o bla."

Un tro darluniai Fab Duw yn datod gweithredoedd y diafol. "Hen g'lwmwr trwsgl ofnadwy yw'r diafol," meddai, "ond y mae Mab Duw yn ddigon gwell datodwr nag ef. Yr oedd wedi c'lymu hen wraig fach er ys llawer dydd, am ddeunaw mlynedd—wedi ei llyffetheirio i fod yn llwdwn diogel, i bori ar ei dir e. Yr oedd wedi c'lymu un pen i'r llinyn am ei gwddf, a'r pen arall am ei throed, ac yr oedd wedi bod am ddeunaw mlynedd fel drysien ddeupen; ond daeth Iesu Grist yn mlaen, a thorodd y llinyn, a *springodd* 'nol fel *spring trap*. Ha! ha! ha! Daeth mor union a'r ferch ifanc unionaf yn y capel yma. 'Nawr yr hen Pharisead, dere 'mlaen, rho dy *ffon rule* ar ei chefn hi i gael gwel'd a ydyw yn syth."

Cof genym pan oeddem ieuanc iawn, ei glywed yn darlunio y dysgyblion, pan y meddylient eu bod yn gweled drychiolaeth ar y môr, ac ni anghofiwn byth ei screch annaearol pan yn gosod allan arswyd y dysgyblion; gwaeddai allan yn ddisymwth mewn dychryn, "Wb! wb! dyco'r bwci ar y môr!" nes oedd pob llygad a chlust yn y gynulleidfa yn agored—y rhan fwyaf ar eu traed, a gwallt ein pen yn cael rhyw fath o hwyl i sefyll i fyny.

Nid annhebyg oedd y dylanwad, dro arall, pan yn siarad am yr ysgrifenyddion a'r Phariseaid. Dywedai, "Fe welsoch yr aderyn pert yna, ma nw'n galw paun arno; dyna greadur pert yw e, mae plu angel ganddo, ond perfe' lleidr, a screch y diawl (gan gyfaddasu'r ystum a'r llais at y pwnc). Yr oedd y Phariseaid yn *fine* iawn oddiallan—yr oeddent yn ymddangos yn *bert* iawn yn fynych. Yr oedd plu angylion ganddynt pan yn siarad am

nid oeddent yn foddlawn i neb fwyta ar yr un bwrdd a hwy, na chael tamaid ond 'nhwy hunain, ac yr oedd *screch y diawl* ganddynt pan yn bloeddio, 'Ymaith ag ef, ymaith ag ef, croeshoelier ef; bydded ei waed ef arnom ni ac ar ein plant.'"

Yr oedd yn naturiol *witty* ac *ysmala*. Yr oedd ei holl siarad o foreu hyd hwyr, ac o hwyr hyd foreu, yn coglais y teimladau, ac yn cynyrchu chwerthiniad a boddhad. Yr oedd Mrs. Evans yn fenyw o dymher lled uchel a phenderfynol; ac fel mamau yn gyffredin, a golwg fawr ganddi ar ei phlant, a'i dysgwyliadau yn uchel a chanmoladwy am danynt. Yr oedd am iddynt, wrth gwrs, ymlwybro yn ol ei chyfarwyddiadau yn mhob peth, yn neillduol gyda golwg ar ddewis cydmeiriaid bywyd. Anaml y ceir mam, pe yn ddystaw ar bob pwnc arall, na ddaw allan ar y pwnc pwysig a dyddorol hwn; ac nid peth hawdd iawn i fab na merch ydyw dyfod i fyny â'r safon famol. Yr oedd Mrs. Evans, mae'n debyg, yn traddodi ambell i ddarlith hallt ar y pwnc yma, ac yr oedd yn dra doniol un tro, yn dangos ei hanfoddlonrwydd i gariad un o'r bechgyn. Dadleuai yn hyawdl y dylai wneyd yn well, a gwresogai gyda'i phwnc nes oedd ei llais yn bur uchel. Pa argraff a gafodd ar y *pechadur*, nis gwyddom. Eisteddai Dafydd Evans wrth y tân, a'i ben rhwng ei gliniau, yn hollol ddystaw, ond yn gwrando yn astud iawn. Cododd yn ddisymwth i ganol y llawr, gan ddyweyd, "Mae'n dda gen i dy glywed di Marged yn dyweyd ar y pwnc hwn; fe allu ddyweyd—'rwyt ti'n *fit* i ddyweyd —fe ddylet ddyweyd—'rwyt ti yn brofiadol o'r peth, oblegid *fe godest ti*, Marged, *fatch* dda, a gelli ddyweyd yn awdurdodol wrth bob un o'r plant am ddilyn dy esiampl, *ond rhaid i fi fod yn ddystaw ar y mater hwn*." Ni raid dyweyd pa ddylanwad a gafodd hyn ar y drafodaeth.

---

Gall Duw *faddeu* y pechod mwyaf, ond nis gall *noddi* y pechod lleiaf.

---

GAN Y PARCH. B. JAMES, STREATOR, ILL.

---

Y mae erledigaeth ar grefydd wedi dechreu yn foreu iawn—er dechreuad Cristionogaeth, a hyny o herwydd llygredd calon dyn. Y mae gwir ganlynwyr Mab Duw wedi dyoddef llawer yn achos eu crefydd bur, a'u hymlyniad wrth y gwirionedd, fel y mae yn yr Iesu. Dyoddefodd y Cristionogion lawer yn amser, ac o dan Ymerawdwyr paganaidd Rhufain, a phara i erlid y mae Rhufain Babaidd yn mhob oes hyd yn bresenol, pe byddai yn ei gallu, a'r awdurdodau yn caniatau hyny.

Dechreuodd yr erledigaeth yn foreu iawn yn Mhrydain, a daliwyd ef yn mlaen am ganrifoedd; ond trwy drugaredd yr Arglwydd, y mae rhyddid crefyddol yn ein dyddiau ni yn cael ei fwynhau yn helaeth, fel yr ydym yn cael addoli ein Duw y lle y mynom, heb i neb feiddio ein drygu.

Seren foreu y diwygiad oddiwrth Babyddiaeth yn Mhrydain oedd yr enwog John Wickliffe, ac ni ymadawodd y goleuni hyd heddyw. Derbyniodd llawer ei olygiadau crefyddol, ymadawsant a'u coelgrefydd, a daethant i weled twyll y grefydd Babaidd. Ymgynddeiriogodd yr Offeiriaid, yr Esgobion, a'r Cardinaliaid at hyn. fel y darfu iddynt erlid yn greulawn bawb nad oedd yn cydymffurfio â hwy. Yn amser Harri IV. brenin Lloegr, y daeth y gyfraith o losgi Cristionogion gyntaf i Brydain. Ac un Syr William Sautre, gweinidog plwyfol St. Osith, Llundain, a gafodd ei losgi gyntaf am ei grefydd. Bu hyn yn y flwyddyn 1401. A pharhaodd y gyfraith mewn grym yn Lloegr hyd y flwyddyn 1677. Llosgwyd llawer o ganoedd yn Lloegr yn yspaid yr amser hwnw, ond er cymaint a losgwyd, methwyd lladd Cristionogaeth, er hyny; y mae wedi llwyddo; ac er cymaint a losgwyd, a garcharwyd, ac a faeddwyd, y mae y gwirionedd yn aros. "Gair ein Duw ni a saif byth." Y mae darllen hanes y gwroniaid ffyddlon a gafodd eu merthyru, yn dangos mawredd eu ffydd, a'u cariad at eu Gwared-

wr yn fawr, ac yn profi gwerth crefydd yn y caledi mwyaf. Yn hanes Prydain Fawr, tu dalen 403, y dywedir fel hyn, "Yn y teyrnasiad hwn," sef James I., "y llosgwyd Bartholomew Legat, am heresi yn Smithfield; ac Edward Whiteman, yn Litchfield. Un o'r Bedyddwyr oedd yr olaf, ac efe oedd y diweddaf a losgwyd yn Mhrydain Fawr am grefydd. Dywedir fod William Sautre, yr hwn oedd y cyntaf a losgwyd yn Lloegr, yn amser Harri IV., yn gwadu bedydd babanod. Felly cafodd y sect hon yr anrhydedd o ddyoddef yn gyntaf ac yn ddiweddaf trwy dân yn y deyrnas am grefydd." Dyoddef y mae y Bedyddwyr wedi ei wneyd yn mhob oes, ac nid oes hanes eu bod hwy wedi erlid neb arall am ei grefydd, yr hyn sydd yn glod ac yn anrhydedd iddynt.

Ffodd llawer o Loegr yr amser hyn i'r America, a thiriasant yn Lloegr Newydd; ond er eu bod hwy wedi ffoi am nodded yma, oblegid cael eu herlid am eu crefydd, syrthiodd yr un ysbryd arnynt hwythau i erlid y rhai na fyddai yn cydolygu â hwy.

Y clodfawr Roger Williams oedd y cyntaf erioed a ddeallodd ryddid crefyddol, ac a ddadleuodd drosto. Am hyn, alltudiwyd ef o'u plith, a chafodd nodded gan yr Indiaid, ac a sefydlodd yn Rhode Island, lle mae rhyddid crefyddol yn cael ei fwynhau hyd y dydd hwn.

Yr hyn ydym yn ei ddymuno yw addoli Duw yn ol ei air, ac ufuddhau i'w ordinhadau a'i orchymynion. Ac O na ddeuai y byd i barchu Crist, a'i ddilyn, a meddu yn helaeth o'i ysbryd; yn lle erlid a dirmygu ein gilydd, i chwilio gair Duw am gyfarwyddyd. A bydded ein harwyddair bob amser, "Heb erlid neb." Gweddiwn lawer am Ysbryd Crist i'n llywodraethu, a safwn dros y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Hyn fyddo ein braint a'n hetifeddiaeth.

---

Egwyddorion mawrion y groes yn cael eu credu, eu deall, eu caru, a'u teimlo a wna i fyny ac a gynyrcha rinweddau crefydd yn ei holl ranau.

## IAITHGARWCH.

---

Erthygl a geir yn nghredo cenedligrwydd cryf bob amser yw, Fod iaith ein cenedl ni yn rhagori ar iaith pob cenedl arall; a rhaid cofio mai nid credo yr anwybodus yn unig yn mhlith y gwahanol genedloedd ydyw y credo hwn, ond rhoddir mynegiad eglur a diamwys iddo gan y dynion mwyaf diwylliedig yn mhob cenedl. Er nad yw y credo hwn yn un gyson a goleuedig iawn, eto, y mae'r anwyldeb y mae dyn yn ei deimlo at y cyfrwng neillduol trwy ba un y galluogwyd ef i roddi mynegiad i'w deimladau a'i syniadau cyntaf, yn ffurfio esgusawd cryf dros goleddu y fath syniad anfeirniadol ac eithafol. Y mae ystyr byw a swynol yn yr hen frawddeg boblogaidd hono, —"Iaith ei Fam," ac y mae hyd yn nod y mynegiad noeth o honi yn unig, yn deffro cyfres o adgofion sydd yn ddigon cysegredig i osod mawredd neillduol ar iaith ein mamau,—neu'r iaith hono acenion pa un a syrthiasant gyntaf ar ein clustiau; ac nid yw y dynion hyny sydd yn gallu diystyru iaith eu mamau, er cael ychydig o wybodaeth o ryw iaith neu ieithoedd eraill, yn dangos eu bod yn ddoeth a rhinweddol iawn, a dyweyd y lleiaf: ac nid yw yn un rhyfeddod fod ymddygiadau y penweiniaid hyn, yn cyffroi ac yn digio cenedligrwydd, ac yn ei anog i ddial y cam trwy eu gwawdio a galw enwau cas arnynt. O'n rhan ein hunain, credwn fod y dyn sydd yn ddigon dwl i ddiystyru ac anmharchu *iaith* ei fam, yn ddigon dwl hefyd i ddiystyru ac anmharchu ei *fam* yn ogystal; ac yn wir, gallwn ddefnyddio iaith gryfach ar y pen hwn, a dyweyd, Fod pwy bynag sydd yn cywilyddio arddel iaith ei fam, yn cywilyddio hefyd i arddel ei fam mewn gwirionedd! Y mae'n arferiad gan rai Cymry, ysywaeth, i ddiystyru ac anmharchu eu hiaith, yn yr hon y magwyd hwynt, trwy ddadleu eu hanwybodaeth o honi, a hyny yn aml cyn dyfod i feddiant o un iaith gyflawn arall a thrwy ei gwadu yn gyfangwbl weithiau ac yr ydym ni wedi bod yn methu deall lawer gwaith, pa fodd i

ymddwyn at y dynion dwl hyn, pa un ai tosturio wrthynt. ai eu gwawdio.

Nid yw yr Omeraeg mor dylawd a diraddiol, o'i chymaru ag unrhyw iaith, fel mae achos i neb o'i phlant i'w diystyru a chywilyddio ei harddel, a rhaid i ni addef fod lawer yn hawddach i ni gyd-ymddwyn â'r eithafion cenedligol sydd yn ei gorganmol a'i gorfoli, pa mor ddisail bynag y byddo, nag â'r eithafion gwrthgenedligol sydd yn ei hanmharchu a'i diystyru.

*Wilkesbarre.* D. O. JOHNS.

# Barddoniaeth.

## FY NHRAED DOLURUS.*

(GAN HIRAETHOG.)

Wel, fy neudroed, buoch imi,
  Yn gyfeillion ffyddlawn iawn,
Am flynyddau lawer bellach,
  Haeddech chwi ganmoliaeth lawn;
Ond, blinasoch chwithau o'r diwedd,
  A gwrthodwch wneyd eich gwaith;
P'am ŷ troech fel hyn i gwyno
  Bron ar derfyn eitha'r daith?

Nid oes fawr o gamrau bellach,
  Rhyngoch chwi a minau a'r bedd,
Lle cewch orphwys faint a fynoch,
  Mewn tawelwch llawn a hedd;
Cym'rwch galon, draed lluddedig
  A dolurus dan eich clwy';
Ymiachewch a cherddwch ronyn,
  Ni raid cerdded nemawr mwy.

Byth ni cheisiaf genych eto,
  Neidio a rhedeg megys cynt,
Gwnaethoch hyny gant o weithiau,
  'N ystwyth hoenus iawn eich hynt;
Dyddiau neidio, dyddiau rhedeg,
  Heibio, heibio 'r aethant hwy;
Ac ni wiw i chwi a minau,
  Ddysgwyl y dychwelant mwy.

Byth ni cheisiaf genych gerdded
  Ugain o filldiroedd maith,
Mewn rhyw bedair awr-ar-hugain,
  Fel y gwnaethoch lawer gwaith;
Canys erbyn hyn mae cerdded
  Dim ond milldir fer neu ddwy,
Gymaint gorchwyl ag oedd cerdded
  Ugain gynt, a llawer mwy.

Ond er hyny, hen gyfeillion
  Ffyddlawn, peidiwch llwfrhau,
Ymwrolwch, codwch ati,
  Eto i gerdded cam neu ddau;
Pwysaf leied allaf arnoch,
  Wrth ymsymud yma thraw,
A gofalaf am gymeryd
  Ffon i'ch helpio dan fy llaw.

Nid wyf heddyw'n cofio'r diwrnod
  Hwnw y safais gynta' 'rioed,
Heb gynorthwy gan neb arall,
  Arnoch chwi fy hen ddau droed;
Ond 'roedd tyner fam yn agos,
  Yno i'm gwylio'n ddyfal iawn,
A fy nhad o draw yn gwenu,
  Gan ryfeddu at ein dawn.

Chwaer, a dau o frodyr bychain,
  Oeddent 'chydig hŷn na mi,
Safent gan bryderus wylio'ch
  Symudiadau cyntaf chwi;
Pan anturiodd un o honoch,
  Gynyg symud tua'i fam,
Torai'r chwaer a'r brodyr bychain
  I grechwenu gan roi llam.

Diwrnod pwysig ydoedd hwnw,
  Canys dyna oedd y pryd
Y dodasoch y cam cynta'
  Ar yrfa bywyd yn y byd;
Nid oedd neb dan haul a wyddai,
  Ddim pa un ai ber ai hir,
P'un ai esmwyth, ynte garw,
  Fyddai'r yrfa hono'n wir.

Pa sawl cam a roisoch wed'yn,
  Nid oes dyn nac angel chwaith,
Wyr y nifer, gan mor amled
  Fuont drwy'r blynyddau maith;
Oes! mae *un* a wyr y cyfan,
  Fe'u cyfrifodd hwynt bob un,
Ac y maent yn 'sgrifenedig
  Ganddo yn ei lyfr ei hun.

Pa sawl pâr o 'sgidiau cryfion
  A dreuliasoch chwi yn llwyr,
Wrth fy nghludo ar fy 'mdeithiau,
  Nid oes grydd drwy'r byd a wyr;
Daliwch sylw! nid wy'n danod
  Fod y *gost* i'ch cadw'n ddrud,
Gwnaethoch fwy gwasanaeth imi,
  Na gwerth holl esgidiau'r byd.

Ar bob galwad fyddai arnaf,
  Ces chwi'n ffyddlawn ddinacâd,
I fy nghario'n dawel ddiddig,
  Yma thraw ar hyd y wlad;
Drwy y gwres a thrwy yr oerni,
  Drwy y gwlaw a'r gwyntoedd blin,
Dros fynyddoedd a thrwy gorsydd,
  Eira weithiau hyd ben glin.

Ond pa'm gwnawn i gwyno ac achwyn,
  Am 'r ychydig boen a roed
I'w ddyoddef rai wythnosau
  Dan dy ffer di'm dehau droed;
Pan feddyliwyf am fy Ngheidwad,
  Dan y boen arteithiol gref,

*Yr ydym yn cyhoeddi y penillion hyn ar gais derbynwyr y WAWR yn Vanwert Co., Ohio.

A ddyoddefodd pan roed hoelion
  Drwy ei draed sancteiddiol Ef?

Ymgysurwch, draed cwynfanus,
  Yn y bedd cewch lwyr iachad,
A chyfodi ar yr alwad,
  Foreu jubil y rhyddhad;
Yna gellwch neidio a rhedeg,
  Ar awelon awyr nef,
Lawn mor hoew ag yr heda
  Angel ar ei aden ef.

Gwneir! fe'ch gwneir y boreu hwnw,
  Megys traed ewigod chwim,
Ni fydd traed ewigod daear,
  I'w cymharu iddynt ddim;
I chwi hen gyfeillion ffyddlawn,
  Y cyflwynaf hyn o gân,
Cenwch chwithau hi yn ddeuawd,
  Ar yr aelwyd wrth y tân.

---

## Y CRISTION YN MARW.

(Argrefflr ar ddymuniad Hen Chwaer.)

---

Gwelais Gristion. amryw ddyddiau,
    Yn nhir y glyn,
Eto yr oedd heb ofni angau,
    Yn nhir y glyn;
Wrth ymadael â'r ddaearen,
Yn rhuadau'r hen Iorddonen,
Crefydd dda a'i gwnai yn llawen,
    Yn nhir y glyn.

Tyred yma, yr anffyddiwr,
    I dir y glyn;
Gwel y Cristion da ei gyflwr,
    Yn nhir y glyn;
Gwel, a gwrando am fynydyn,
Benyw wan heb ofni dychryn,
Er yn nwylaw oer y gelyn,
    Yn nhir y glyn.

Wedi cael adnabod Iesu,
    Pob peth yn dda,
Cnawd a chalon sydd yn pallu,
    Pob peth yn dda;
Yn lle gwylltio mewn mawr ddychryn,
Yn hyderus gallai ofyn,
"Angau, angau, mae dy golyn?"
    Pob peth yn dda.

Mewn modd tawel galwai'r teulu,
    Pob peth yn dda,
Yn ei gwaeledd at y gwely,
    Pob peth yn dda;
Dwylaw'n mhleth yn eu bendithio
Gwelaf ddeigryn mam yn treiglo,
A'r anwyliaid hwythau'n wylo,
    Pob peth yn dda.

O! olygfa batriarchaidd,
    Pob peth yn dda;
O! dawelwch pur nefolaidd,
    Pob peth yn dda;
Wele nefoedd cyn myn'd iddi,
Wele brawf o wir ddaioni
Duw, i'r rhai sydd yn ei ofni,
    Pob peth yn dda.

O! fy anwyl blant, na wylwch,
    Pob peth yn dda,
Eich holl ddagrau ymaith sychwch,
    Pob peth yn dda;
Iesu, rhoddaf yn yr anial,
Fy chwe' phlentyn i dy ofal,
Ac os bydd i ti eu cynal,
    Pob peth yn dda.

Byddai resyn i mi rwgnach,
    Pob peth yn dda;
Mi ymbwyllaf ronyn bellach,
    Pob peth yn dda;
Fe fydd marw im' yn enill,
Digon yn fy Nuw, a gweddill,
Pa'm nad allwyf ganu penill,
    Pob peth yn dda.

Yna canai ambell ddernyn,
    Pob peth yn dda,
O benillion Pant y Celyn,
    Pob peth yn dda;
Bu fy anwyl briod Iesu
Yn y bedd yn ei gynhesu;
Diolch, dyma destyn canu,
    Pob peth yn dda.

Yna at ei phriod troai,
    Pob peth yn dda,
Ac yn wylaidd y dywedai,
    Pob peth yn dda;
O paham y collwch ddagrau,
'Doedd yr amod yn y dechrau,
Ond hyd at wahaniad angau,
    Pob peth yn dda.

Diolch, y mae genyf briod,
    Pob peth yn dda,
Nad yw'r undeb byth i ddatod,
    Pob peth yn dda;
Pan fo creigiau'r byd yn hollti,
Moroedd llydain yn ymferwi,
Dyma undeb ddeil heb dori,
    Pob peth yn dda.

Craig yr oesoedd dan fy enaid,
    Pob peth yn dda;
Ciliwch draw amheuon afraid,
    Pob peth yn dda;
Er mwyn peidio ameu yma,
Af at breseb Bethl'em Juda,
Ac oddiyno i Galfaria,
    Pob peth yn dda.

Clywaf sain y gair Gorphenwyd,
    Pob peth yn dda,
Yno'm dyled fawr a dalwyd,
    Pob peth yn dda;
Dyma lw ac addewidion,
Dyma waed fy Mhrynwr tirion,
Dyma sail fy holl gysuron,
    Pob peth yn dda.

Llefai, yn ei horiau olaf,
Pob peth yn dda;
Y mae genyf Ffrynd anwylaf,
Pob peth yn dda;
Y mae arnaf chwant molianu,
Ond wrth geisio'r wyf yn methu,
Af cyn hir i wlad y canu,
Pob peth yn dda.

Yna'r anadl wan a ballai,
Pob peth yn dda,
Fry'r wreichionen bur ehedai,
Pob peth yn dda;
Darfu'r chwys a'r holl besychu,
Darfu poen o achos pechu,
'Nawr mae'r dagrau wedi'u sychu,
Pob peth yn dda.

Ffarwel, ffarwel, anwyl Gristion,
Pob peth yn dda,
Anhawdd yw i'm ddweyd yr awrhon,
Pob peth yn dda;
Pa les wylo? Ffarwel, ffarwel,
Nes cân udgorn yr archangel,—
Gras i dewi, a dweyd yn dawel,
Pob peth yn dda.

*Plas yn Mrynffordd.* OWEN JONES.

---

## PYNCIAU Y DYDD.

CREFYDDOL.—Wythnosau bywiog a phwysig yw y rhai presenol yn y byd crefyddol, yn neillduol yn y Talaethau.

Dan arweiniad Ingersoll o Illinois, gwneir ymosodiadau creulon ar y ffydd Gristionogol. Anffyddiwr hunanol, bostiog, a phres-wynebol yw Ingersoll, a diameu fod cyhoeddusrwydd newyddiadurol yn llawer mwy pwysig yn ei olwg nag unrhyw argyhoeddiadau neillduol sydd ganddo. Pe byddai pregethwyr a newyddiaduron crefyddol yn ei adael yn ddisylw, tynid oddiwrtho y rhan fwyaf o ddirgelwch ei boblogrwydd. Mae y gwrthwynebiad a gynygir iddo yn hysbysiad euraidd o'i nwyddau peryglus.

Adfywir y dadleuon mawrion a derfysgasant yr eglwysi ddeugain mlynedd yn ol parthed tragywyddolrwydd cosp pechod a phechaduriaid. Ymddengys fod y mater hwn wedi ei gyffroi ar adegau o ordeiniadau pregethwyr i gyflawn waith y weinidogaeth. Mewn rhai amgylchiadau gwrthododd yr ymgeiswyr ymrwymo i bregethu yr athrawiaeth. Mae yr enwog Farrar o Loegr, wedi datgan yn ddiweddar ei farn nad oes yn y Beibl un adnod na chyfeiriad, pe iawn gyfieithid hwy, sydd yn dysgu'r fath athrawiaeth. Mae Beecher, Swing, ac amryw o ser y pwlpud "rhyddfrydol" wedi dyfod allan yn gryf yn erbyn yr athrawiaeth.

Nid yw yn ymddangos i ni beth yw y tir mae yr arweinwyr hyn am sefyll arno. Yn sicr nid yw Beecher yn credu, os yw ei bregeth yn un rheol i'w farnu, nid yw ef yn credu yn nghadwedigaeth gyffredinol holl hîl Adda. Dywed yn bendant nad yw. Ymddengys i ni ei fod braidd yn ffafriol i athrawiaeth diddymiant (*annihilationism*). Yr oll a allwn gasglu oddiwrth gyffesiant Munger o Loegr Newydd, ar yr hwn yr ordeiniwyd ef, yw ei fod yn unig yn proffesu anwybodaeth o gyflwr y pechadur anedifeiriol yn y byd ysbrydol. Brwydra Swing yn danbaid yn erbyn y drychfeddwl o uffern faterol a naturiol. Ymosod ar ddyn gwellt y mae yn yr engraifft hon, canys pwy yn yr oes hon sydd yn credu mewn tân a brwmstan naturiol neu lythyrenol i gospi bod ysbrydol?

Ni byddai dim a esmwythai yn gymaint feddyliau miloedd, nag amlygiad fod y "pryf" i farw, a'r "tân" i ddiffodd rywbryd; ond wrth ddarllen Gair Duw, wrth ystyried drwg pechod, a'i natur i barhau ac i waethygu byth, byth, i'n llygad ni mae gwirionedd tanbeidiol ac ofnadwy yn y frawddeg a ddywed, "fod mwg eu poenedigaeth yn esgyn yn oes oesoedd." Ac nid ydym eto wedi gweled unrhyw eglurhad a'n cynorthwya i esbonio ymaith y gwirionedd,—"A'r rhai hyn a änt i gospedigaeth dragywyddol."

---

—Mae ein brodyr Cymreig yn cael eu symbylu yn fwy nag arferol y dyddiau hyn—nid yn gymaint i wrthsefyll y cyfeiliornadau anffyddol ydynt yn goresgyn y wlad, ond i ymosod ar y Bedyddwyr,—eu trin am eu bod yn gaethgymunwyr.

—Da genym fod golygydd hybarch y *Cyfaill* yn dyfod allan gyda llithiau misol ar y pwnc o fedydd. Dysgwyliwn ddarllen rhesymau cedyrn, ymresymiadau coeth, dysgedig, a boneddig-

aidd. Anogwn bob Bedyddiwr i'w darllen yn fanwl ac ystyriol. Nis gwyddom beth yw dirgelwch y cyffro hwn yn mhlith y Baban-daenellwyr; bodolaeth y WAWR, trafodaeth y pynciau yn yr wythnosolion Cymreig yr hâf diweddaf; y cynygiad a wnaed gan H. O. R. i benderfynu ystyr y gair yn ol deddfau Ieitheg, yn y geiriaduron, yr hwn gynygiad ni feiddiwyd ei dderbyn gan neb. Ond yn benaf oll, symbylir ein cyfeillion i'r bywiogrwydd hwn gan y darfodedigaeth anfeddyginiaethol sydd wedi gafael yn yr arferiad anysgrythyrol a diles o daenellu babanod. Nid ydym yn wrthwynebus i dreial teg gael ei wneyd, ond ofnwn mai yn ofer y "gwylia'r gwylwyr," uwch yr arferiad clafaidd hwn; marw a wna, ac yn ei drengiad symudir o'r byd crefyddol un o'r rhwystrau mwyaf effeithiol i undeb crefyddol. Yn mrwd eu zel yn erbyn Caeth (?) gymundeb y Bedyddwyr, nid yw ein brodyr wedi cael hamdden hyd yn hyn i wneyd ymddiheurad drostynt eu hunain. Pan gyfarfyddasant yn Ysgotland yr hâf diweddaf mewn Cymanfa Gyffredinol i selio undeb tragywyddol rhyngddynt a'u gilydd fel Presbyteriaid, methasant *fod yn ddigon unol i gyd-gymuno yn ystod yr holl Gymanfa*, er i ymdrech gael ei wneyd i'w dwyn i wneyd felly!

—Mae yr wythnos weddi ar ddechreu y flwyddyn wedi cael ei dilyn gan wythnosau o weddic ac ymdrechion am ddiwygiad crefyddol, a da genym weled fod dylanwadau bendigedig yn dilyn ymroddiadau saint Duw.

—Mae rhyfel mawr y Dwyrain yn tynu tua'r terfyn. Mae galluoedd anffyddol a chreulawn y Prophwyd wedi eu llwyr orthrechu, a'r Rwssiaid buddugoliaethus yn ysgubo pob rhwystr o'u blaen, ac yn awr curant wrth byrth Constantinople. Mae y Sultan wedi anfon cenadon heddwch i gyfarfod yr arweinwyr Rwssiaidd; a phan yr ydym yn ysgrifenu, mae y cenadon yn eistedd i ystyried telerau heddwch. Gweddi pob Cristion ydyw y terfyna y rhyfel gwaedlyd hwn yn alltudiad bythol y Twrc o Ewrop.

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM IONAWR. (Matt. iii. 7).

*Athraw.*—Dywed wrth y dosbarth, Gwilym, yr hyn a wyddost am y Phariseaid?

*Gwilym.*—Derbyniodd y Phariseaid eu henw oddiwrth y gair Hebraeg *Pharash*, yr hyn a arwydda, *gosod o'r neilldu*, neu *ymneillduo*, oblegid eu bod yn byw mewn math o ymneillduaeth oddiwrth eu cydwladwyr, ac yn proffesu eu bod yn byw yn hynod grefyddol. Credent fod y byd yn cael ei lywodraethu yn ol cyngor arbenig Duw; fod eneidiau dynion yn anfarwol; y byddai i'r meirw gyfodi; fod mewn bodolaeth angylion da a drwg; fod Duw dan rwymau i gyfranu ffafrau neillduol i'r Iuddewon, a'u bod yn cael eu cyfiawnhau ar gyfrif eu perthynas ag Abraham, neu trwy eu cydymffurfiad llythyrenol â'r ddeddf. Yr oeddynt yn bobl falch, penuchel, a hunan-gyfiawn, ac yn edrych ar y bobl gyffredin gyda llawer o ddiystyrwch. Gweddient o gwmpas conglau yr heolydd, a chyfranent elusenau yn y cyhoedd, a hyny gyda'r unig amcan o gael eu gweled. Yr oeddynt yn dra gofalus am eu glendid allanol. Ymprydient ddwy-waith yn yr wythnos—ar ddydd Iau, oblegid dyna'r dydd y barnent i Moses esgyn mynydd Sinai, ac ar ddydd Llun, am mai dyma y dydd, meddent hwy, y daeth i lawr. Creaduriaid rhagrithiol ac uchelgeisiol truenus oeddynt oll.

*Athraw.*—Ie, y dosbarth gwaethaf a gyfarfyddodd Iesu Grist oedd y rhai hyn. Ni bu dosbarth o bobl yn y byd erioed a dwyllasant eu hunain mor eithafol. Ifan Meredydd, beth sydd genyt ti i'w ddyweyd am y Saduceaid yma?

*Ifan Meredydd.*—'Scen i ddim llawer i weid am dani nw. 'Rodd riw biniwne rhyfedd in i pene nwynte. 'Ro nw'n gwadu adgyfodiad y meirw; nac o'dd dim shwd beth in bod ag angel neu isbrid. 'Ro nw'n gallach mewn rhai pethe na'r Pharisead. Do' nw ddim yn credu mewn *fate*, na'r traddodiade.

'Ro nw'n meddwl fod dinion yn min'd o'r hen fyd 'ma fel rhiw grediried erill, a falle, na ddigon, ma' nw o'dd yn *right*. Ceson i henw oddiwrth riw Sadoc. Byse nw wedi cael i henwe oddiwrth riw Fadoc, fe fyse rhai Cymry yn ddigon dwl i gredu ma' Cymry o'dd y Saduced.

*Athraw.*—Dau ddosbarth o bobl annheilwng iawn oeddynt, gobeithio na chawn ni byth geisio efelychu y naill na'r llall o'honynt. Y mae gormod o Saduceaid mewn barn, ac o Phariseaid mewn egwyddor yn y byd eto. Paham, Dafydd, y galwai Ioan hwy yn "genedlaeth gwiberod?"

*Dafydd.*—Galwai hwy felly, fel y gosodai hwy allan yn bersonau twyllodrus a maleisddrwg, yn rhagrithwyr, a choleddwyr egwyddorion ac athrawiaethau dinystriol, felly yn niweidiol i eraill, ac yn gosod eu hunain yn agored i'r digofaint sydd ar ddyfod.

*Athraw.*—Ie, dylanwad gwenwynig a marwol, fel eiddo'r wiber, oedd yn dyfod oddiwrthynt hwythau. Paham, Morgan, y gofynai Ioan y cwestiwn hwn iddynt?

*Morgan.*—Y mae y gofyniad hwn yn dangos rhyfeddod o du Ioan, yn nghyd a diymddiriedaeth. Synai fod pechadur mor galed a rhagrithiol eu calonau, yn cymeryd arnynt "ffoi rhag y llid a fydd." Methai wybod beth oedd wedi eu tueddu hwy, rhai a gyfrifent eu hunain "yn blant i Abraham," ac hefyd yn *models* fel athrawon i'r bobl, i ddyfod allan i'w fedydd ef.

*Athraw.*—A oedd Ioan yn falch i'w gweled, Abram Llwyd?

*Abram Llwyd*—Yn falch, wir, 'rw i'n synu'ch bod chi'n gofyn hyna. Nacodd Ioan ddim yn teimlo yn falch *at all*. Do'dd e ddim wedi gwel'd cyfnewidiad yn i bowid nw, onte fyse fe ddim yn gweid wrthi nw am "ddwyn ffrwythau addas i edifeirwch." Na, do'dd e ddim am wel'd hen set ragrithiol yn dyfod ar i ol e, 'blegid fyse nw ddim ond melldith. Ma' Ioan yn gystal a rhoi hint iddi nw am fynd i'w lle 'u hunen. 'Ma un Pharisead yn ddigon i ddystrywo cant o bobl, wn i ddim ffordd ma'r eglwysi yn cadw gistal, gan fod cymaint o rhain ynddi nw.

*Athraw.*—Wrth gwrs, d'oedd dim gwahaniaeth gan Ioan pwy oedd yno, ond iddynt ddyfod yno fel pechaduriaid. Ond y mae yn gystal a dyweyd wrth y Phariseaid a'r Saduceaid nad oeddynt hwy wedi dyfod felly, ac y mae yn dyweyd yn blaen wrthynt am beidio dyfod yno a'u twyll a'u rhagrith, ond yn hytrach rhoddi dadblygiad o'u gonestrwydd a'u difrifoldeb, trwy *adael* eu pechodau, a dwyn ffrwythau a brofent *wir* edifeirwch. Owen, dyro ychydig o eglurhad i ni ar y nawfed adnod?

*Owen.*—Ystyriai y bobl hyn ei bod yn ddigon iddynt hwy gael bod yn blant i ddyn mor gyfiawn a sanctaidd ag Abraham. Dywed Ioan wrthynt yn eglur, nad yw bod yn dal y berthynas hon yn 'mountio i ddim. "Dichon Duw, ïe, o'r meini hyn," h. y., Gall Duw yr hwn a greodd Adda o bridd y ddaear, ffurfio "o'r meini hyn," bobl a fyddant yn wirioneddol blant i Abraham. Cyfeiriai Ioan yn ddiau at feini glanau yr Iorddonen. Y meddwl yma yw, y gall Duw o'r personau mwyaf anaddawol, megys cenedloedd enwog am eu drygioni, eu gwneyd yn ddysgyblion teilwng i Iesu Grist, ac y byddai hyn mor hawdd iddo a gwneyd y cyfnewidiad angenrheidiol arnynt hwy,—pobl ragrithiol a hunan-gyfiawn. Y mae Ioan yn condemnio hawliau etifeddiaethol y Phariseaid, ac yn dysgu nad oedd ond gwir edifeirwch yn unig a wnai y tro dan yr oruchwyliaeth newydd.

*Athraw.*—Mae yn ddiau genyf y golygai Ioan y cenedloedd, y rhai oeddynt mor farw ac mor anymwybodol o'u sefyllfa fel pechaduriaid, a'r "meini hyn."

Beth ddysgir yma i ni? Dysgir i ni nad yw ein gweithredoedd da, a'n sefyllfa uchel yn y byd, yn ddim yn ngolwg y nefoedd. Calon gywir yn unig a foddlona yr Arglwydd.

---

GOFYNIADAU.

Mr. Gol.—Carwn gyfeirio a ganlyn i sylw darllenwyr y Wawr, ond yn

fwyaf neillduol at y cyfeillion goleubwyll a ymdriniant â phynciau cynwysedig yn "Adran yr Ysgol Sabbothol." Llawer pryd y clywais y frawddeg mewn dadl yn cael ei defnyddio, ond fynychaf, ar yr achlysur o gladdedigaeth y marw. Arfera ein gweinidogion y testyn yn aml (os nid yn rhy aml), sef, "Am hyny byddwch chwithau barod; canys yn yr awr ni thybioch y daw Mab y dyn." Carwn gael gwybod yn gyntaf, Yr achlysur o lefariad y geiriau hyn; yn ail, Wrth bwy ei llefarwyd; yn drydydd, Pa adeg sydd i ddeall wrth ddyfodiad Mab y dyn yn y geiriau uchod, sef Matt. xxiv. 44. Mae llawer o ddyryswch a dadleu yn ein plith o berthynas i'r pwnc, felly cyfeiriaf ef i sylw yr Adran, gan ddysgwyl ateb i'm gofynion, a chewch ddiolch gan

UN O ABERGWAUN.

Carwn wybod yn mha le yn Nghair Duw mae son am y "rhai sydd yn aros yn y ty y nos." Rhag fod y gofyniad yn myned yn ddisylw, cyfeiriwn at Iago W. James, Paris, Ohio.

*Oshkosh, Wis.* T. W. L.

---

## HANESION CARTREFOL

ODDIWRTH Y GOLYGYDD.

*Pomeroy, O.*—Yn ddiweddar, ymwelsom a'r lle hwn. Cefnogwyr y WAWR yma yn llawer iawn gwell a lluosocach na'n dysgwyliad. Treuliasom wythnos ddifyr yma. Cynulleidfaoedd da ar y Sabboth yn y capelydd, yn dda mewn nifer a gwrandawiad. Teimlem ein hysbryd yn ymadnewyddu yn y lle hwn. Yn sicr, y mae yma frodyr teilwng. Yr ydym yn sicrhau y cyfeillion a'n cefnogodd ein bod yn cofio yn gynes am danynt. Er prawf bod Bedyddwyr Pomeroy ac eraill wedi ein croesawu, nodwn a ganlyn: yn lle pedwar-ar-ddeg o dderbynwyr i'r WAWR, cafwyd wyth-ar-hugain—dyblwyd y rhif! Mae yno bedwar o gapelydd i ni. Yma y mae y brawd da, y Parch. J. R. Jones, diweddar o Minersville, Pa., yn llafurio, yr oedd yn ddywenydd mawr genym gyfarfod ag ef; ac felly yntau a ninau, canys derbyniodd ni yn garedig. Yr oeddym yn teimlo yn hiraethus wrth ymadael a'r cyfeillion yn Pomeroy. Ofnem na chaem eu tebyg yn hir drachefn.

*Ironton, O.*—Yr hen frawd anwyl y Parch. J. Price yn ein cyfarfod wrth y *bad* nos Sadwrn yn hwyr. Pob peth yn dda. Wedi gwneuthur y trefniadau at dranoeth yn ol ein dysgwyliad a gwell. Dywedwch a fu brawd "*piwrach*" na'r brawd Price? Y mae yn amheus genym. Y mae yn selog iawn. Gwyddoch dros beth. Y mae yn addoli, &c., yn nghapel y Dysgyblion, ond Bedyddiwr wrth gwrs ydyw. Wel, y gwir yw, mae yn selog. Y mae yn bur "*hallt*" ar y brodyr taenellyddol yn aml, er hyny, nid ydynt yn digio wrtho ef. Gwyddant ei fod yn onest ac o'r iawn *stamp*. Cawsom amser dymunol gydag ef, ac o dan ei aden. Y mae ef wedi talu am y WAWR hyd ddiwedd y flwyddyn 1878. Mwy o rai tebyg iddo, onite? Cofion caredig ato ef a Mrs. Price—a Mr. Price ei frawd, yr hwn sydd yn hanesyddwr dieilfydd.

*Portsmouth.*—Cartrefem yma gyda y brawd tirion John Lloyd. Cafwyd dau dderbyniwr newydd, John Hughes, y teiliwr, a Thomas Davies, y *stone cutter.* Ymwasgai y brawd Davies atom yn frawdol iawn. Bechgyn mwynion yw y Lloydiaid. Anfonwn y WAWR i'ch anwyl dad, Mr. Lloyd.

*Cincinnati, O.*—Wedi mordaith nosawl ar yr afon, dyma ni yn foreu yn Cincinnati. Teimlo pethau wedi newid yn fawr. Y dref fawr a'i dyeithrwch yn ymledu o'n blaen. Derbyniwyd ni yn serchog gan y Parch. M. A. Ellis. Pregethasom yn ei gapel ef boreu Sul, ac yn Covington yn y prydnawn, ac yn nghapel y Parch. G. Griffiths yn yr hwyr. Y mae cynulleidfaoedd da gan y ddau. Bum yn yr hen adeilad a fu unwaith yn gapel i'r Bedyddwyr Cymreig ar Harrison street. Mae hwn yn awr wedi cael ei wneyd yn dai i fyw, ac yn eiddo i'r 9th St. *Baptist Church* Wrth eistedd yn y rhan y mae Mr. Price yn byw, teimlem yn bruddglwyfus. Clywsom frodyr adnabyddus a'r lle yn dy-

weyd y dylasai fod yr achos Bedyddiedig Cymreig yn fyw yma eto. Daethom i adnabyddiaeth ag ychydig frodyr a chwiorydd. Dau o feibion y diweddar Barch. James Davies, a thair merch i Rees Williams, Jackson, Ohio. Y tair yn selog ac yn derbyn y WAWR rhagllaw. Rees Williams, y mae i chwi a Mrs. Williams enethod *nice*—yn gofalu am danynt eu hunain yn dda, yn nghanol dinas fawr ddrygionus a throfaus.

*Gomer, O.*—Wedi treulio ryw bum' niwrnod yn Cincinnati, dyma ni yn y lle hwn. Yn ol ein dysgwyliad, cyfarfuwyd ni yn West Cairo gan y brawd Richard Bebb a William Bebb. "Da mhlant i," meddwn wrthyf fy hun. Y mae y brawd Richard Bebb yn un o hen ddysgyblion Cynddelw, ac yn wir, mae yn deilwng o fod yn un o honynt hefyd. Y mae ein brawb Bebb yn bur unig yma mewn ystyr eglwysig, oblegid nid oes yma un eglwys i ni, na neb ond rhyw un neu ddau arall yn yr holl gymydogaeth fawr yn gogwyddo atom. Mae ein teimladau yn doddedig wrth ysgrifenu y brawddegau hyn. Dymunwn wneyd yn hysbys i'r frawdoliaeth Fedyddiedig Gymreig, fod iddynt frawd didwyll a dirodres yma, o'r enw Richard Bebb, yn tynu yn mlaen mewn oedran—yn tueddu i ymblygu gan effaith y gwaith glo am flynyddau meithion. Mae enw a choffadwriaeth Cynddelw yn gysegredig gan Mr. Bebb. Adlonai nid ychydig pan yr adroddem ein cofion am dano, ac y rhoddem engreifftiau o'i ddywediadau a'i ffraethebion. Annibynwyr ydyw y Cymry yn y sefydliad bron yn ddieithriad. Dymá lle mae Jerusalem yr Annibynwyr Cymreig yn America. Mae ganddynt gapel helaeth, hardd—mae yn ardderchog. Bu y Parch. D. Jones, gweinidog, yn hynod garedig. Pan yr *introduciwyd* ni boreu Sul yn y capel. gan y brawd R. Bebb, arweiniodd ni yn uniongyrchol i'r areithfa, a rhoddwyd ni o dan y cyfrifoldeb o bregethu i gynulleidfa fawr o bobl barchus yr olwg arnynt. Y mae amrywiol resymau dros lefaru yn ganmoladwy am Gymry Gomer. Y maent yn nodedig o ddiragfarn. Os ydych yn amheus—atebwn i ni gael amryw yn eu plith i dderbyn y WAWR—efallai wedi'r cwbl, nad yw y mil blynyddau mor bell ag y tybir weithiau. Y mae y lle hwn yn sefydliad campus—y bobl yn gwneyd yn hynod o dda. Llawer o honynt o Lanbrynmair a manau eraill yn Sir Drefaldwyn. Deallir hyny yn fuan; canys clywir hwy yn dyweyd yn fynych yn eu hymddyddan "hefo gefo."

*Venedocia, Vanwert Co., O.*—Mae y lle hwn bron yn cydio á sefydliad Gomer. Tref fechan Delphos yn y canol, fel yn ysgwyd llaw a'r ddau sefydliad yr un pryd—*un* yn mhob llaw, a diau fod masnachwyr Delphos yn ysgwyd llaw yn bur gynes yn aml a phobl y ddau sefydliad. Y mae yn werth iddynt. Yn wahanol i Gomer, y Methodistiaid Calfinaidd sydd yn Venedocia bron i gyd. Y maent hwythau eto, mae yn rhaid addef, yn neillduol o ddiragfarn. Cawsom ein siomi yn anghyffredin yn yr ochr oreu, canys ofnem ronyn ar y pen hwn. Cafodd Golygydd y WAWR dderbyniad gwir frwdfrydig gan y cyfeillion yma. Ac yr oedd y brawd Edward E. Jones, Bedyddiwr, a'r brawd Richard Bebb, yn *right* llawen o hyny. Richard Bebb, meddech. Pwy Richard Bebb oedd hwn eto? Wel, yr un ag o'r blaen, *ie*, yr un, nid un *chwit chwat* ydyw; canys daeth ar fy ol ar ei draed ar hyd ffordd ddeunaw milldir o hyd—(y fwyaf fwdlyd a welsom erioed, canys mae y ffyrdd yn newyddion). Y mae gan y Methodistiaid dri chapel yma. Y fam eglwys yw *Salem*, dyma lle mae'r llwythau yn dod yn nghyd. Y Parch. John P. Morgan yw y gweinidog yma. Cymerwn y cyfle hwn i ddiolch iddo ef, a phawb yno, ac yn sefydliad Gomer, am eu tiriondeb. Dywedem yn un o'r cyfarfodydd yn Venedocia, na ddysgwyliem gael llawer o dderbynwyr i'r WAWR yno—er hyny daeth amryw yn mlaen i danysgrifio. Nid gwiw i ddechreu enwi neb a'n croesawsant, rhag i ni ddygwydd anghofio rhai o honynt, pan mae ein hysgrifell yn symud—anghofio pan y cawn amser i feddwl eto nis gallwn. Pe gofynid i ni pa

un o'r ddau sefydliad ydyw y goreu, ni allem ddyweyd. Mae y ddau yn rhagorol. Yn y lle hwn, *Venedocia*, mae y ffarm dda am yr hon y gwelir hysbysiad ar amlen y rhifyn hwn. Rhwng y ddau sefydliad, mae rhif derbynwyr y WAWR yn tynu yn mlaen tua'r ugain. Gwelir ei bod yn dechreu gwawrio yn y sefydliadau hyny yn bresenol.—*O.G.*

---

LLYTHYRAU O GYMERADWYAETH.

MR. GOL.: Mae dygiedydd y llythyrau canlynol wedi dyfod i'r wlad hon o Gymry, a dymuna wneyd ei hun yn hysbys i'w frodyr a chwiorydd yn yr Arglwydd, a'u gwasanaethu yn Nghrist Iesu.

*Anwyl Frodyr!*—Mae y brawd Samuel Bassett, tra yn ein plith ni, wedi arfer ei ddoniau fel pregethwr cynorthwyol gyda gradd helaeth o foddlonrwydd i'r eglwys hon, ac hefyd eglwysi eraill o'n hamgylch. Credwyf y gall fod o ddefnydd yna gyda chwi, fel y cyfryw; nis gall byth wneyd yn well nag y carem ni iddo wneyd. Boed bendith Duw yn aros arno tra yna gyda chwi, ac hefyd hyd ei fedd.

J. Y. JONES, *Gweinidog*.

*Medi 16eg, 1877.*

*Llwynhendy, Llanelly, Ion. 6, 1877.*

At ein hanwyl frodyr a chwiorydd Cristionogol—Gan fod y brawd Samuel Bassett wedi penderfynu ymadael â gwlad ei enedigaeth, a myned drosodd i America, yr wyf yn ysgrifenu y llinellau hyn er dwyn tystiolaeth i bawb y perthyn iddynt wybod, fod ein brawd yn meddu ar gymeriad dysglaer a diargyhoedd. Yr wyf yn ei adnabod er pan yr oedd yn fachgenyn bychan, a chafodd y fraint o ymuno â chrefydd pan nad oedd ond ieuanc iawn, ac y mae wedi glynu gyda chrefydd er holl hudoliaethau a themtasiynau y byd, ac wedi bod yn ymdrechgar dros ei llwyddiant. Y mae wedi dechreu ar y gwaith pwysig o bregethu yr efengyl i eraill, er mai ar ol ei symudiad o'r gymydogaeth hon i Sir Forganwg, y dechreuodd ar y gwaith o bregethu. Nid oes genyf ond dymuno pob llwyddiant iddo, a gobeithio y caiff dderbyniad croesawgar yn mhob man y dygwydd iddo ddyfod i gysylltiad â brodyr a chwiorydd yn yr Arglwydd. Yr wyf yn ysgrifenu y llinellau hyn er dwyn tystiolaeth i'w gymeriad Cristionogol, am fy mod wedi cael blynyddau o fantais i ffurfio barn a gwybodaeth am ei gymeriad. Ydwyf, yn gywir,

R. D. ROBERTS.

Heblaw yr uchod, mae gan y brawd lythyr o ollyngdod iddo ef a'i wraig o'r Gilfach Goch. Maent yn ddynion ieuainc meddylgar, hawddgar, serchus, a gobeithiol. Mae'r brawd yn bregethwr da, ac yn barod i wasanaethu yr enwad. Sefydla yn Weathersfield, Ohio. Pob llwyddiant iddo ef a'i briod. Yr eiddoch, &c.,

*Coalburgh.* CHARLES JONES.

*Cyfarfod Beiblau.*—Rhagfyr 15fed a'r 16ed, cynaliodd eglwysi y Bedyddwyr Cymreig yn Sir Oneida, Efrog Newydd, gyfarfod Beiblaidd eleni gyda'r eglwys yn Utica. Prydnawn dydd Sadwrn, cynaliwyd Cynadledd o'r cenadon o wahanol eglwysi, pryd yr ymdriniwyd ag achosion perthynol i'r cyfarfod. Yn yr hwyr, cafwyd pregeth gan y brawd J. Seth Jones, Remsen, oddiar Dan. iii. 18. Am 10, boreu y Sabboth, pregethodd J. Seth Jones drachefn oddiar 2 Cor. iv. 17, ac Owen F. Parry, Bordwell, oddiar Phil. i. 6. Am 1½, pregethodd J. Seth Jones oddiar Preg. xi. 4, ac H. O. Rowlands, Whitesboro, oddiar 1 Cor. xv. 25. Am 7, cawsom bregeth gan Owen F. Parry, oddiar Salm lxxii. 17, a J. Seth Jones, oddiar Math. xi. 16. Yr oedd y cyfarfodydd hyn o'r dechreu i'r diwedd yn hynod o dda. Yr oedd min a gafael ar yr holl bregethau—y traddodiad yn hwylus a dylanwadol, a'r gynulleidfa yn gwrando gyda boddlonrwydd a chymeradwyaeth mawr.—*Isaac Thomas, Ysg.*

*Irwin Station.*—Mae yn dda genym fel eglwys Fedyddiedig yn y lle hwn eich cynysgaeddu ag ychydig o'n symudiadau fel brawdoliaeth. Yr ydym yn parhau i gynal moddion gras fel yn y dyddiau gynt, ac yn ymegnio i gerdd-

ed wrth yr un rheol, a synied yr un pethau, fel bydd ein llawenydd yn gyflawn pan gyrhaeddwn at fesur oedran Crist. Er cymaint o wrthwynebiadau sydd wedi cyfodi i'n herbyn er ein llethu ar ein gyrfa grefyddol, yr ydym yn gallu dywedyd gyda'r llawenydd o'r mwyaf, trwy nerth ein Duw, ein bod wedi gorchfygu ein holl wrthwynebwyr. Pa ryfedd, canys mae Arglwydd y lluoedd gyda ni; y mae Duw Jacob yn amddiffynfa i ni; mae mwy o'n plaid nag a all fod yn ein herbyn. O mor ddymunol ydyw meddu ar wir grefydd. Hyn a roes fodd i wroniaid Dura wenu yn y fflamau, hyn a gadwodd Daniel rhag niwaid yn nghanol y llewod, a hyn a lanwodd enau Paul a Silas â chân yn ngharchar Philippi. Gan ein bod fel eglwys wedi gweithredu wrth reol, ac yn myned yn mlaen ar seiliau mor dda, mae gobaith da i'n dysgwyl draw. Er nad ydym ond ychydig mewn rhifedi, mae yma berffaith ddiwydrwydd, uniondeb, a chydweithrediad yn bodoli yn ein plith er pan ymddifadwyd ni o weinidogaeth sefydlog. Mae amryw o weinidogion wedi talu ymweliad â ni yn ddiweddar, sef D. Evans, Johnstown; Morris, Nanticoke gynt; Owen Griffiths, Golygydd y WAWR; a Thomas, Niles. Diolch iddynt am dalu ymweliad â ni yn ein gwendid. Mae'r brodyr hyn yn deilwng o ganmoliaeth. Yr eneiniad Dwyfol fyddo yn amddiffynfa iddynt weddill eu hoes ar y ddaear, yw dymuniad eu cyfaill a'u brawd yn y ffydd.—*Amos Roberts.*

*Irwin Station.*—Yr ydym fel eglwys Fedyddiedig yn y lle uchod, yr hon sydd yn aelod o Gymanfa Ohio a Gorllewin-barth Pennsylvania, wedi dyfod i'r penderfyniad ein bod yn llwyr ymwrthod â Jacob Owens, yr hwn oedd yn pregethu yn achlysurol yn ein plith, ac nad yw y llythyr a dderbyniodd genym fel eglwys yn un gymeradwyaeth iddo fyned oddi amgylch yr eglwysi i bregethu. Arwyddwyd dros yr eglwys—*Amos Roberts.*

*Gomer, ger Red Oak, Iowa.*—Yr ydym yma yn y Gorllewin pell, lle nad oes fawr o neb yn gwybod dim am danom; ond er hyny, mae Pen Bugail Israel yn gofalu am danom, ac yn ein harwain i'r porfeydd gwelltog, ac at y dyfroedd tawel. Yr ydym yma fel ychydig yn treio dal coffadwriaeth o enw yr Arglwydd, er yn nghanol yr anhawsderau mwyaf. Er ys ychydig yn ol, bu y Parch. B. James, yn talu ymweliad â ni, ac ni gawsom ganddo dipyn o athrawiaeth iachus. Ac ar y 13eg o Ragfyr, talodd y Parch. R. M. Richardson, Dawn, Missouri, ymweliad â ni, ac fe arosodd yma hyd yr 20fed. Cawsom ganddo saith o bregethau gyda'r goreu a glywsom erioed. Ac a'r 16eg, sef y Sabboth, corfforwyd ni yn eglwys i Iesu Grist. Yr oedd Mr. Richardson fel yn ei elfen, a phawb yn teimlo yn awyddus am gael y fath wledd yn fuan eto. Yr eiddoch mewn rhwymau cariad—*Owen E. Jones, Ysg.*

*Niles, Ohio.*—Mr. Golygydd: Anfynych iawn y mae dim yn ymddangos yn eich Cyhoeddiad o'r lle hwn. Y mae yn dda genyf am unwaith, eich hysbysu fod yr eglwys fach hon yn y lle hwn yn fyw, ac yn flodeuog, ac arwyddion fod llafur ein brawd D. C. Thomas yn effeithiol yn ein plith. Hefyd, y mae yma Ysgol Sabbothol lewyrchus a dyddorol. Cawsom amser da yma Nadolig. Bu yma wledd o dê a bara brith i blant ein Ysgol Sul, am ddau o'r gloch y prydnawn, ac hefyd, cyfranogodd yr holl o'r aelodau, ac y mae yn dda genyf allu dyweyd, yn ngwyneb caledi yr amser, fod yma ddigon i fawr a bach, a'u gweddill. Yna wedi symud y byrddau, cafwyd gwledd i'r meddwl, am haner awr wedi chwech yn yr hwyr; dechreuwyd Cyfarfod Adroddiadol, o dan lywyddiaeth ein gweinidog. Adroddwyd a chanwyd yma amryw o ddarnau yn ddyddorol dros ben; ac hefyd, Mr. Gol., bu ein cyfaill D. M. Job mor garedig i'n cynorthwyo, trwy ddyfod yma a'i *organ*, a gwasanaethu wrtho ei hunan, er gwneyd y cyfarfod yn ddyddorol, ac arwain y plant gyda Mr. Paul Brown. Y mae clod yn ddyledus i'r ddau hyn am eu hymdrech gyda'r Ysgol; ac hefyd er gwneyd y da yn well, daeth ar ddamwain i'n plith, Mr. E. Davies a'i

ferch (Cor yr Aelwyd), a chanasant yn swynol dros ben. A chyn terfynu, cawsom areithiau difyfyr gan frodyr a chyfeillion. Y testyn ydoedd, Caredigrwydd Brawdol. Ac wedi hyny, cawsom areithiau difyfyr gan y rhyw deg. Y testyn ydoedd, Pa un oedd oreu, tê neu goffi gyda bara ac ymenyn? Beirniadwyd yr areithiau gan Mr. Davies (Cor yr Aelwyd). Ac i ddiweddu, canwyd Hen Wlad fy Nhadau, gan Mr. Davies a'i ferch, a'r dorf yn canu y cydgan. Yna aeth pawb tua chartref, a'u dymuniad am gael cyfarfod o'r fath eto yn fuan.—*W. Williams.*

*Eglwys o Fedyddwyr Neillduol yn New Straitsville, Perry County, Ohio.*—Barchus Olygydd: Dichon y bydd peniad yr ysgrif hon yn swnio yn ddyeithr i lawer o eglwysi Bedyddiedig Pennsylvania ac Ohio, gan ein bod yn cael ar ddeall fod llawer o'n brodyr yn y gwahanol eglwysi yn credu mai eglwys gymysgedig sydd yma yn cael ei gwneyd i fyny o Annibynwyr, Methodistiaid, a llawer math o Fedyddwyr, heblaw Bedyddwyr Neillduol. Mewn cyfarfod eglwysig a gynaliwyd Ionawr 11eg, penderfynwyd anfon i'r WAWR, er hysbysu ein brodyr yn y gwahanol eglwysi, fel na byddont mewn un amheuaeth pan yn rhoddi llythyron o ollyngdod i'w brodyr pan yn ymadael, ac yn meddwl sefydlu yma. Corphorwyd yr eglwys hon tua phedair blynedd yn ol, gan weinidog rheolaidd, sef y Parch. J. A. Davies, Brookfield, Ohio gynt, y pryd hyn yn yr Athrofa yn Granville, Ohio. Wedi hyny, mae amgylchiadau y lle wedi bod mor ansefydlog a thylawd, fel o'r braidd yr oedd yma ddigon i gadw y drws yn agored. Ond trwy drugaredd, daeth amgylchiadau y lle yn well, ac adfywiodd yr achos fel y mae rhif yr eglwys yn 83 yn bresenol. Yn mis Awst diweddaf, symudodd y Parch. D. B. Davies, Brookfield, Ohio, yma, ac oddiar hyny hyd yn awr, mae wedi llafurio gyda chymeradwyaeth a boddlonrwydd i'r eglwys yn gyffredinol, a'i weinyddiaeth dan arddeliad yr Ysbryd Glan, wedi bod yn foddion adeiladaeth i'r saint, a dychweliad pechaduriaid at Dduw, fel y mae yr eglwys, nos Wener, Ionawr 11eg, wedi dyfod i'r penderfyniad i roddi i Mr. Davies alwad unfrydol i fod yn weinidog yr eglwys hon. Mae yntau wedi derbyn yr alwad; felly o hyn allan, ystyriwn Mr. Davies yn weinidog eglwys Bedyddwyr Neillduol New Straitsville, Ohio. Mae amgylchiadau wedi ein lluddias hyd yn hyn i fod mewn undeb a'r Gymanfa Fedyddiedig yn Ohio; ond bwriadwn anfon cais am dderbyniad i'r Gymanfa nesaf. Er hyny, ystyriwn ein bod fel eglwys, mor bur o ran egwyddorion y Bedyddwyr Neillduol, ag unrhyw eglwys o fewn Talaeth Ohio, ïe, yr un o ran barn a threfn a'r eglwys yn Jerusalem, sef bedyddio y crediniol trwy drochiad, ac mai y cyfryw yn unig sydd yn addas ddeiliaid i'r cymundeb, neu fwrdd yr Arglwydd. Hefyd, mae yr eglwys wedi neillduo saith o frodyr i dori allan gynlluniau i gael codi capel yma yn y gwanwyn. Mae y lle yma yn debygol o ddyfod yn lle poblogaidd yn y dyfodol. Felly ystyriwn yn ddyledswydd arnom i gadw y tir sydd yn ein meddiant, a chael lle cysurus i addoli Duw ein tadau. Hefyd, mae yr eglwys wedi penderfynu yn ngwyneb ein hamgylchiadau presenol, nas gallwn wneyd unrhyw gydnabyddiaeth arianol i weinidogion na phregethwyr cynorthol a ddichon dalu ymweliad â ni ar yr adeg bresenol. Yr eiddoch dros yr eglwys,

Richard Davies, James Collins, Thomas Watkins, David A. Davies,
*Diaconiaid.*

*Donation.*—Dymunwyf ofod fechan o'r WAWR i gydnabod fy lluosog gyfeillion yn Freedom, Cattaraugus, N.Y., am yr amlygiad o'u serch a'u caredigrwydd tuag ataf yn ddiweddar. Dydd Mercher, Ion. 16eg, 1878, cynaliwyd yma *donation* anrhydeddus er budd i mi. Yn y prydnawn, ymgasglodd yr hen bobl i'r *Parsonage*, a threuliasom amryw oriau yn ddifyr iawn mewn ymddyddaniaeth ar wahanol faterion, yn nghyd a chyfranogi oddiar fwrdd llawn o amrywiol ddanteithion a ddarparwyd yn fedrus gan y gwragedd serchog. Aeth pob peth yn mlaen yn

ddymunol iawn. Yn yr hwyr, llanwyd *factory* gaws eang Mr. Jerome Lewis, Sandusky, o bobl ieuainc siriol a boneddigaidd, ac yn wir. yr oedd yno rai hen bobl yn eu plith, yn mwynhau eu hunain yn rhagorol wrth edrych ar y bobl ieuainc yn ymddwyn mor weddaidd. Er mor lluosog oedd y gynulleidfa, nid oedd prinder ar y darpariaethau. Cawsant eu diwallu oll; ond nid oedd yma "ddeuddeg basgedaid yn weddill." Derbynied pawb a gymerasant ran yn y *donation* hwn mewn unrhyw ddull, fy niolchgarwch gwresocaf am y prawf o'u serch a'u caredigrwydd tuag ataf. Cyraeddodd yr elw oddiwrth y cwbl y swm anrhydeddus o $174.65, am yr hyn yr wyf yn wir ddiolchgar. Dymunwyf am i Dduw o'i gyflawder didrai, ad-dalu ar y ganfed i bawb o'm cymwynaswyr, am eu serch a'u haelfrydedd Cristionogol. Yr eiddoch yn serchog,—*W. M. Evans.*

## BEDYDDIADAU.

*Hubbard, Ohio, Tachwedd 18fed, 1877.*—Wedi gwrando pregeth sylweddol yn y boreu yn y capel gan ein gweinidog, Thomas M. Matthews, cwrddasom ar lan yr Erie, am ddau o'r gloch, pryd y cawsom anerchiad byr ond cynwysfawr yn y ddwy iaith, a llawer yno yn gwrando yn syml. Bedyddiwyd un brawd oedd wedi bod yn aelod gyda'r Annibynwyr amser yn ol, a chwaer ieuanc, yn y dyfrllyd fedd, yn ol trefn y Testament Newydd. Hefyd, mae un arall o flaen yr eglwys yn dysgwyl am yr un fraint. Da genym hysbysu fod achos y bendigedig Iesu a golwg llwyddo arno. Duw a noddo yr eglwys, ac a chwanego ein rhif beunydd o'r rhai fyddant gadwedig.—*Brawd.*

*Kingston, Pa.*—Sabboth, Tachwedd 25ain, bedyddiwyd pedwar ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan ein parchus weinidog, y Parch. James R. Price. Er fod y tywydd dipyn yn oer, yr oedd tyrfa luosog wedi dyfod yn nghyd, ac aed trwy y gwaith yn drefnus ac yn deilwng.—*Jonah A. Davies.*

## PRIODWYD—

Tach. 14, 1877, yn Oshkosh, Wis., gan y Parch. Mr. Whitelaw, Mr. John Anderson a Miss Margaret Thomas, oll o Oshkosh.

Rhag. 22, 1877, yn Ridgeway, Iowa Co., Wis., yn nhy tad y briodasferch, gan y Parch. Wm. Jones, Mr. John D. Jones, a Miss Eleanor Oliver, y ddau o'r lle uchod.

Rhag 22, 1877, gan y Parch. Thos. Thomas, Sharon, yn nhy Mrs. Thomas, mam y briodasferch, Mr. William Armstrong a Miss Rachel E. Thomas, y ddau o Wheatland, Pa.

Rhag. 25, 1877, gan y Parch. Thos. Thomas, yn Sharon, Pa., Mr. Isaac Parker a Miss Esther Hoops, y ddau o Vienna, Ohio.

Ion. 16 1878, yn ei dy ei hun, yn Remsen, N. Y., gan y Parch Owen F. Parry, John H. Pugh, gynt o Remsen, a Jennie L. Pitcher, oll o Boonville, N. Y.

## BU FARW—

### MR. JOHN S. POWELL.

Hyd. 23, 1877, yn Taylorville, Pa., ar ol cystudd byr, ond caled iawn, bu farw y cyfaill serchog John S. Powell. Blin fydd gan lu o gyfeillion glywed hyn, oblegid yr oedd cylch ei adnabyddiaeth yn dra eang.

Symudodd i'r wlad hon o Benycae, tua 27 mlynedd yn ol, a sefydlodd yn Minersville. Tra yn y lle hwn, llanwodd am flynyddoedd y swydd bwysig o oruchwyliwr tan-ddaearol. Bu hefyd yn yr un swydd am rai blynyddoedd yn Taylorville. Yr oedd yn ddyn cadarn o gorpholaeth; ychydig oedd neb yn feddwl fod ei angau mor agos; ond pan yn 53 oed, wele ef yn cael ei gludo i'w hir gartref. Gadawodd weddw ac amryw amddifaid i alaru eu colled. Claddwyd ef yn Hyde Park, pryd yr ymgasglodd tyrfa luosog i dalu eu cymwynas olaf i'w ran farwol, ac y gweinyddwyd gan y Parch. D. Rhoslyn Davies. CYFAILL.

### ANNE MAY EVANS.

Rhagfyr 19, 1877, yn Johnstown, Pa., bu farw Anne May Evans, yn 5 mlwydd, 8 mis a 19 niwrnod oed. Dim ond ychydig oriau o gystudd, o enyniad yr ymenydd. Er mor ieuanc, yr oedd yn un o ddeiliaid ffyddlon yr Ysgol Sabbothol. Y Sabboth olaf y bu fyw, adroddodd adnod, a rhoddodd rif y dosbarth, nes tynu sylw pawb. Yr oedd rhyw beth yn y fechan hon i dynu sylw pawb. Cof genyf fod Golygydd a pherchenog y WAWR, Mr. Griffiths, yn ei chymeryd ar ei lin, ac yn ei chusanu, wrth gofio fod ganddo yntau ddwy ferch fach debyg iddi gartref. Merch i'n hanwyl frawd Josiah Evans, dosbarthwr ffyddlon y WAWR, ydoedd yr un anwyl hon. Y mae ei thaid yn ddiacon parchus yn eglwys y Bedyddwyr. Y mae yma alar mawr ar ol Anne May yn y ddau deulu a'r gymydogaeth, a'r Ysgol

Ond yr Iuddewon a ymosodasant yn ei erbyn ef, gan gablu ei athrawiaeth, ac efe a ysgydwodd ei ddillad, ac a ddywedodd wrthynt, "Bydded eich gwaed chwi ar eich penau eich hunain; o hyn allan mi a af at y cenedloedd."

Ymadawodd yr Apostol â'r synagog, ac a ddaeth i dŷ Justus, tŷ yr hwn ydoedd yn cyffwrdd â'r synagog, ac yr oedd Justus yn un ag oedd yn addoli y Duw byw, a dywedir i Crispus yr archsynagogydd gredu yn yr Arglwydd, efe a'i holl dy; a llawer o'r Corinthiaid a gredasant ac a drochwyd.—Act. xviii. 6, 7, 8.

Yn y wedd yna y mae yr Efengylydd sanctaidd yn rhoddi hanes dechreuad a lleoliad y gynulleidfa Gristionogol yn Corinth.

Ymddengys, oddiwrth yr hanes, fod y gynulleidfa yn gynwysedig o Iuddewon a chenedloedd; ac oddiwrth y llythyr cyntaf gellir casglu fod y Corinthiaid, cyn eu dychweliad at Gristionogaeth, yn talu parch mawr i ddoethineb eu hathronwyr, a hyawdledd eu hareithwyr; a'u bod o ran eu moesau yn bobl pur benrhydd a dilywodraeth.

Ymddengys hefyd (cyn i'r Apostol ymadael o Corinth) fod y gynulleidfa hon mewn undeb â'u gilydd, "yn synied yr un peth, ac yn rhodio wrth yr un reol," cariad brawdol yn ber sawrus yn eu mysg; ond yn mhen yspaid o amser wedi ymadawiad yr Apostol, ymddengys fod ymraniadau mewnol wedi cymeryd lle, ac wedi eu hachosi gan un neu ragor o ddynion ymbleidgar, o egwyddorion Saduceaidd, y rhai a ddaethant i mewn i ysbïo rhyddid y frawdoliaeth; y rhai hyn a barchent athroniaeth baganaidd, ac a wadent adgyfodiad y meirw (er yr addefent fod Iesu wedi cyfodi), ac a ymffrostient yn eu hyawdledd a'u hunanoldeb; ymdrechent ymgystadlu â'r apostolion yn serch a pharch yr aelodau, ac ymddengys eu bod wedi llwyddo i ddenu rhai oddiwrth y symlrwydd sydd yn yr efengyl, at ofergoelion Iuddewaidd a phaganaidd. Ymffrostient yn eu doethineb eu hunain, a difrient yr apostol trwy ddywedyd "fod presenoldeb ei gorph yn wan, a'i ymadrodd yn ddirmygus. Yr oedd eu hunan mawr, sef duw y byd hwn, fel yn rhwystr i'r efengyl a bregethodd yr Apostol i gael chwareu teg o ran ei dylanwad arosol ar y gynulleidfa. Pregethent eu hunain mawr; ond, meddai Paul, "Nid ydym ni yn pregethu ein hunain, ond Crist Iesu yr Arglwydd."—2 Cor. iv. 4, 5.

Yn ngwyneb fod y gau athrawon hyn yn ymffrostio cymaint, ymddengys fod yr Apostol yn ei ail lythyr yn cymeryd arno yntau i ymffrostio, er eu gwawdio hwy, nad oeddent ar y blaen iddo ef yn yr oll a ymffrostient, ond yn hytrach i'r gwrthwyneb; canys, meddai, "Na thybied neb fy mod yn ffol, os amgen, goddefwch fi fel ffol, fel y gallwyf finau hefyd ymffrostio ychydig; gan eu bod hwy yn ymffrostio yn ol y cnawd, minau a ymffrostiaf hefyd, er mai ffolineb yw.—2 Cor. xi.

Ai Hebreaid ydynt hwy? Felly finau. Ai Israeliaid ydynt hwy? Felly finau. Ai had Abraham ydynt hwy? Felly finau. Gwelir fod yr Apostol yn ogyfuwch â hwynt oll, yn y fost hyderus yma.

Heblaw hyny, yr oeddent hwy yn ymffrostio yn eu hanrhydedd a'u gogoniant, yn nghyda'r canmoliaethau a dderbynient gan eu cyd-ddynion, gan ganmol eu hunain, a chymeryd eu canmol! Ond ymffrostiai yr Apostol yn y blinderau fu arno—y gwialenodiau a gafodd, y carcharau y bu ynddynt, y llabyddio fu arno, y llif-ddyfroedd yr aeth drwyddynt, yr amrai beryglon y bu ynddynt, yn nghyda'r lludded, yr anhunedd, y newyn, y syched, yr anwyd, y noethni, a'r ymosod parhaus fu arno yn achos yr efengyl. Pethau wedi dygwydd iddo oddiallan ydoedd y rhai hyn oll, ac yn perthyn i'w wendid, er hyny cyfrifai nad oedd yr oll o'r dyoddefiadau yn haeddu eu cydmaru â'r gogoniant ag oedd i gael ei ddatguddio iddo ef yn y dyfodol.

Gwelir fod yr Apostol yn mhell yn mlaen ar y gau athrawon yn y fôst yma eto, gan na wyddent hwy ddim am y fath driniaethau chwerwon, a'r fath greulonderau dygwyddiadol.

Ond yn nechreu y 12fed benod, ym-

ddengys fod yr Apostol fel un yn ymhyfhau yn ei ymffrost, er ei fod yn cydnabod nad oedd hyny yn fuddiol iddo. "Mi a ddeuaf at weledigaethau a datguddiedigaethau yr Arglwydd. Mi a adwaenwn ddyn yn Nghrist er's rhagor i bedair blynedd ar ddeg (pa un ai yn y corph, ni wn; ai allan o'r corph, ni wn i, Duw a wyr), y cyfryw un a gipiwyd i fyny hyd y drydedd nef."

Ceir awgrymiad byr o'r amgylchiad rhyfedd hwn gan yr Apostol wedi ei ddyfodiad i Jerusalem o Damascus. Ceir ei fod yn Damascus am yspaid o amser wedi ei argyhoeddiad, yn pregethu Crist, ac yn gorchfygu yr Iuddewon, nes eu cynhyrfu i'w ladd ef, a buont yn gwilio y pyrth ddydd a nos i'r dyben hyny; eithr eu cyd-fwriad hwy wybuwyd gan Paul. Yna y dysgyblion a'i cymerasant o hyd nos ac a'i gollyngasant i waered dros y mur mewn cawell, ac felly cafodd ddiangfa.—Act. ix. 25.

A darfu, wedi iddo ddyfod yn ol i Jerusalem (sef y tro cyntaf wedi ei argyhoeddiad ar y ffordd), fel yr oedd yn y deml yn gweddio, iddo syrthio mewn "llewyg," a gweled a chlywed Iesu Grist yn dywedyd wrtho, Brysia, a dos ar frys allan o Jerusalem, o herwydd ni dderbyniant dy dystiolaeth am danaf fi.—Act. xxii. 17, 18.

Sylwer fod gwahaniaeth rhwng bod un mewn llewyg, a bod un mewn gweledigaeth. Mae gweledigaethau wedi dygwydd yn y nos, ond llewygon wedi dygwydd yn y dydd. Mewn llewyg yr oedd Pedr ar y chweched awr o'r dydd, pan yn gweddio, ac yn gweled y nef yn agoryd a'r llen llian mawr yn dyfod i waered. Mewn llewyg yr oedd Stephan pan yn gweddio, ac yn gweled Mab y dyn, sef Iesu, yn eistedd ar ddeheulaw Duw.—Act. vii.; x.

Mewn llewyg, mae y dyn ysbrydol allan o'r anianol; ond mewn gweledigaeth mae y ddau yn arosol yn yr un babell, ac yn wybyddus i'w gilydd; ond Paul, pan mewn llewyg, nis gwyddai pa un ai yn y corph ai allan o'r corph yr oedd, ond apeliai at hollwybodaeth Duw ar y mater; meddai, "Duw a wyr."

Hefyd, nis gall yr anianol ymwneyd â'r ysbrydol; am ba herwydd yr oedd Paul yn ddiameu allan o'r corph, ac o ran y dyn oddi mewn wedi cael ei gipio i Baradwys.

Wedi ei gipio fel hyn i Wynfa, dywedir iddo glywed geiriau annhraethadwy, "y rhai nid oedd yn gyfreithlon i ddyn eu hadrodd." Mae yma le cryf i dybied fod yr Apostol Paul wedi cael mynegiad am y dinystr arswydlawn ag oedd i oddiweddyd y rhan syrthiedig o "dy Israel," am eu hanniwair ymarweddiad, yn lladd y saint a'r prophwydi, hyd yn nod o Abel gyfiawn, y merthyr cyntaf, hyd at Stephan gyfiawn, y merthyr diweddaf, yn eu hoes hwy. Yr oedd eu tynged yn anocheladwy, oblegid fe ragfynegodd Iesu Grist am y dinystr ofnadwy yma i'w ddysgyblion, y byddai yn sicr o gael ei gyflawni, ac nid elai y genedlaeth hono heibio hyd oni chwblhaer hyn oll; ond am y dydd neu yr awr y cymerai le, "ni wyddai neb, na'r angylion sydd yn y nef, na'r Mab."—Marc xiii. 32. Diau y gwyddai y Mab, oblegid (fel y dywed y diweddar anfarwol Williams o'r Rhos, G. C.), "Efe a adroddasai yn fanylaidd yr holl gydfynedolion, ac a dystiasai yn bendant nad elai y genedlaeth ag oedd yn sefyll o'i amgylch heibio nes y cyflawnid pob peth a fynegasai efe am y dygwyddiad arswydlawn. Eithr y gofyniad a roddwyd i'r Iesu gan ei ddysgyblion sydd yn egluro yr anhawsder. Ni ofynwyd iddo a wyddai efe am y dydd, ond ei wneuthur yn hysbys. Y Tad oedd i'w wneuthur yn hysbys pan welai ef yn dda." Felly rhoddwyd i Paul, fel yr apostolion eraill, wybodaeth am y trychineb ofnadwy, er mwyn iddo ddeall yr arwyddion gweledig a'i rhagflaenai; a cheir ef yn fynych yn hysbysu y Cristionogion fod "dydd Crist" yn agos, sef "dydd mawr ei ddigter ef." Cafodd yr Apostol lawer o ddatguddiedigaethau eraill, fel testynau iddo i ymffrostio yn y dyn oddi mewn; ond fel na'i tra dyrchafer cafodd "swmbwl yn y cnawd," h. y., clwyfwyd peirianau ei ymadrodd; aeth yn anghyfarwydd mewn ymadrodd—cenad Satan i'w gernodio; ac wele Satan yn mherson y

gau athraw yn ei gernodio, trwy ddyweyd, "Ei lythyrau yn wir sydd drymion a chryfion, ond presenoldeb y corph sydd wan, a'r ymadrodd yn ddirmygus." Ac, meddai Paul wrth ei frodyr yn Corinth, "Ni ddaethum atoch gyda godidawgrwydd ymadrodd," &c.

Er cael y swmbwl yn y cnawd, a'i wanhau yn yr ystyr hon, a bod yn nod i'r gau athrawon i'w gernodio, ac er iddo atolygu dair gwaith am i'r Arglwydd ei symud, ac ar iddo gael ymadael â'r swmbwl, ni chafodd ei ddymuniad, mwy nag y cafodd Moses ei ddymuniad i fyned i wlad Canaan.

Ond nid oedd ar ol mewn gwybodaeth, er anmharu presenoldeb y corph drwy fod atal dywedyd arno, ac efallai yn un-llygeidiog; eto nid oedd ei frodyr yn ei ddiystyru nac yn ei ddirmygu (Gal. iv. 14, 15); ond cafodd addewid anmhrisiadwy ei gwerth; ac iddo ef fel apostol i Iesu Grist yn unig y perthyna yr addewid hon, sef "Digon i ti fy ngras i, fy nerth i a berffeithir mewn gwendid;" h. y., fy efengyl i a berffeithir neu a gwblheir yn dy wendid di; ti a gei fynegu fy holl gyngor i'r byd; canys i ti y lleiaf o'r holl saint y rhoddwyd y gras hwn, i efengylu yn mysg y cenedloedd anchwiliadwy olud Crist.—Eph. iii. 8. Yr oedd Paul yn llestr etholedig gan Dduw, a chydnebydd fod trysor yr efengyl ganddo yn ei lestr pridd, fel y byddai godidawgrwydd y gallu o Dduw; oblegid gallu neu nerth Duw yw yr efengyl.

Parodd yr addewid hon lawenydd mawr i'r Apostol, fel y dywedai, "Yn llawen iawn yr ymffrostiaf yn hytrach yn fy ngwendid, fel y preswylio nerth Crist ynof fi."

Hefyd cafodd yr addewid hon ei chyflawni i Apostol mawr y Cenedloedd gan yr Ysbryd Glan, fel o radd i radd, o *lesson* i *lesson*, y mynegodd efe holl gyngor Duw i'r byd. Yn olaf, parodd yr addewid rasol hon iddo i fod yn foddlawn mewn gwendid, mewn anmharch, mewn angenion, mewn erlidiau, mewn cyfyngderau, er mwyn Crist; ac yn y teimladau boddlongar enwedig y dywedodd, "Pan wyf wan, yna'r wyf gadarn."

Ti a weli, ddarllenydd, mai ymffrost y gau athrawon fu yn achos i'r Apostol drosglwyddo yr hanes rhyfedd hwn i gynulleidfa Corinth. Faint bynag ydoedd ymffrost y gau athrawon, yn eu nerth, eu hyawdledd, a'u canmoliaeth gan ddynion, mae ymffrost yr Apostol yn ei wendid, a'i ddirmyg, yn tra ragori arnynt oll, am fod Duw yn ei ganmol, yr hyn sydd yn profi, "fod gwendid Duw yn gryfach na dynion, a ffolineb Duw yn ddoethach na dynion."—1 Cor. i. 25.

---

## Y JERUSALEM NEFOL.

'R wy'n llefain o'r anialwch
Am byrth fy ninas wiw:
Jerusalem fy nghartref,
Jerusalem fy Nuw.

Pa bryd y caiff fy llygad,
Pa bryd y caiff fy mhen,
Ymagor ac ymorphwys
Yn mro Caersalem wen!

Gâd imi fara 'r bywyd,
Gâd imi 'r dyfroedd byw,
Ar ddeheu law fy Mhrynwr,
Yn ninas wen fy Nuw!

'R wy'n sefyll ac yn curo,
O agor dithau 'r ddor—
Am Sabboth ac am deml
Jerusalem fy Ior.

'R wy'n trigo ar y ddaear,
Gan edrych ar y wawr,
A dysgwyl am ddisgyniad
Jerusalem i lawr.

Er fod y nef yn gwgu
Ar ael y cwmwl draw,
'R wy'n credu ac yn canu,
Jerusalem a ddaw.

Er dalled yw fy ngolwg,
Er trymed yw fy nghlyw,
Mi welaf mewn addewid
Jerusalem fy Nuw.

Mi welaf deml Seion,
Mi glywaf Jubili;
Mi welaf ddinas sanctaidd,
Jerusalem yw hi.

J. C. H.

## Y DIWEDDAR IORWERTH GLAN ALED.

[ADGOFION.]

Mae gan bob dyn darllengar ei *hoff* gyfansoddwr, lenor, neu awdwr. Nid *gwir deilyngdod* yn gymaint ydyw yr achos o'r hoffder hwn bob amser; ond dygwyddiad i'r *favorite* gyfarfod â *chwaeth* neu *deimlad*, neu *fympwy* yr edmygydd. Er pan y dechreuais ddarllen barddoniaeth a chymeryd dyddordeb ynddi, y bardd mae ei enw uchod fu bob amser fy *favorite*. Lle bynag y gwelwn yr enw "I. G. Aled," ni fethwn un amser ddarllen y llinellau uwch iddo. Pan oeddwn hogyn gartref chwiliwn yn hen gyhoeddiadau misol yr enwad, ac ar du dalen "Barddoniaeth" lloffwn bob llinell a ysgrifenwyd ganddo.

I mi yr oedd swyn neillduol yn ei farddoniaeth—yr iaith yn delaid, y teimlad yn fywiog, y dychymyg yn goeth, a'r synwyr yn llawn o wefr a wnai i'm calon guro a'r dagrau lenwi fy llygaid yn ddiarwybod.

Fel yna *yr oeddwn* yn edrych ar I. G. Aled. Er's blynyddau bellach nid wyf wedi darllen ond ychydig o'i linellau. Un rheswm am hyny yw, mae yr awen fendigedig a lechai yn ei ben a'i galon wedi dystewi yn ystafell y bedd, ac ni welir mwy ei enw yn ein hargraffiadau Cymreig; ac yr wyf finau wedi fy ysgaru gymaint oddiwrth lenyddiaeth Gymreig fel nad wyf mor hysbys ag y dymunwn fod gyda'i llyfrau—ychydig o honynt yn fy llyfrgell.

Pe bawn yn awr yn darllen gweithiau Aled, fe allai na wnawn ei edmygu fel y gwnaethum pan oeddwn yn hogyn; ac eto mae genyf anwyldeb neillduol tuag ato; ac yn bresenol wrth gydmaru rhai o'i benillion, ei "Ysbrydion Anian," ei "Balestina," gyda gweithiau enwogion barddonol, i'm *teimlad* i—a pheidio dweyd *barn*—mae yr anfarwol Iorwerth yn cydmaru yn dda a'r goreuon o honynt.

Nid wyf yn meddwl ei fod yn wreiddiol—yn wir gwn am amryw o'i gyfansoddiadau ag y buasai y gair "*Efelychiad*" ar eu dechreu yn weddol briodol. Nid oes yn ei weithiau, i'm tyb i, allu creadigol cyffelyb i "Hiraethog." Pan yr ymgeisiai at gyfansoddiad maith, nid oedd ynddo gryfder Longfellow; nid oes yn ei benillion ffraethineb Burns neu Ceiriog; nid oedd ganddo lymder a grym Byron. Ond, mewn gallu i gyffwrdd â chalon a chydymdeimlad ei ddarllenydd, mewn cyfoeth a thlysni iaith, mewn coethder dychymyg, mewn teleidrwydd meddwl, nid wyf yn gwybod am un bardd Cymreig na Seisonig o'i flaen. Bardd y galon oedd *poor* Iorwerth; a thra y bo calon a gyfieitha ei hunan yn hen iaith anwyl Gomer, ni anghofir llinellau tyner a thlws *Aled*.

Pan oeddwn yn Nghymru ddeuddeng mlynedd yn ol, nid oedd un dyn oedd arnaf fwy o awydd ei weled na Iorwerth. Sadwrn, Medi 15, 1866, yr oeddwn yn Rhyl. Nid oedd genyf ond oddeutu awr o amser i aros; ac ymaith a mi ar unwaith i dy y bardd.

Yr oedd ei wraig y pryd hwn yn ddynes ieuanc brydferth a moesgar. Gwysiwyd fi i *study* y bardd; yr oedd golwg dipyn yn sarug arno, neu yn hytrach golwg dyn oedd wedi ei siomi mewn bywyd. (Naturiol ddigon!) Heb fawr o ragymadrodd dywedais wrtho fy neges—mai *i'w weled ef y daethum;* dywedais pwy oeddwn—yr oedd fy nhad ac yntau yn gyfeillion cynes—gwnaethum yn hysbys iddo fy edmygedd o hono, a'm hoffder mawr o'i weithiau, a'r lles a'r pleser a dderbyniais oddiwrthynt er pan yn blentyn. Gwn yr ymddengys hyn i'r darllenydd yn hyfder ymgeisiol o'm heiddo; ond teimlwn nad oedd yr oll ond teyrnged oedd yn ddyledus iddo oddiwrthyf, ac y mae yn dda genyf byth i mi i'w thalu. Ar ol i mi ddyweyd fy neges llithrai dagrau dros ei ruddiau rhychedig. Anfonodd ei gofion gyda mi at ei hen gyfaill W. B. Jones; anrhegodd fi ag "Ysbrydion Anian" a'r "Palestina," yr unig rai o'i weithiau oedd ganddo. Gwn iddo gymeryd fy ymweliad yn garedig; a bu yn siriol iawn i mi, yn fwy felly nag oedd ei iechyd yn caniatau iddo fod â phawb.

Ysgrifenodd yn fy *Album* yr englyn,

"Cwrw myfi nis caraf—ag arian
Rhagorawl ni wariaf—
Lluuio cân yn ddianaf,
Dawn awen ne'—dyna wnaf."

IORWERTH GLAN ALED.

Mae y sillebiaeth a'r atal-nodiant yn gymwys fel yr ysgrifenodd hwynt.

Ryw brydnawn pan oeddwn yn yr Athrofa daeth yr hysbysiad i mi nad oedd Iorwerth Glan Aled mwy! Teimlwn ing galar yn myned trwof; teflais fy llyfrau o'r neilldu, rhoddais heibio wersi fy nosbarth, a chyda gruddiau gwlybion darllenais ei "Ysbrydion Anian," a hyderwn yn bryderus fod y rhanau diweddaf o'r gwaith yn wirionedd sylweddol yn ei brofiad ef. A rywfodd (fe allai y gall y darllenydd ddyfalu paham) daeth y llinellau hyn o waith Gerald Massey yn gryf i fy meddwl:

"I think heaven will not shut forever more
Without a knocker left upon the door,
Lest some belated wanderer should come,
Heart-broken, asking just to die at home,
So that the Father will at last forgive,
And looking on His face, that soul may live."

Cyn hir ni chofia yr hen genedl ddim am Iorwerth Glan Aled ond ei awen anwyl, deimladwy, goeth a nef-anedig.

*Whitesboro, N.Y.* H. O. R.

O. Y. Byddai adgofion am Iorwerth, a sylwadau ar ei weithiau, yn dderbyniol iawn oddiwrth y beirniad coeth, a chydnabod a chyfaill y bardd, Ap P. A. Mon.

## DAFYDD EVANS, FFYNONHENRY.

Nid oes yn bosibl i'r cyffredin siarad wrth fodd y cyhoedd; bydd hwn yn digio, y llall yn ffromi, a'r trydydd yn dirmygu; ond caiff plant athrylith ddweyd a fynont heb ddigio neb; ac un o neillduolion Dafydd Evans ydoedd, nad oedd neb yn digio byth wrtho am ddweyd a fynai. Cydgwrddai ynddo gymaint o annibyniaeth, natur dda, a ffraethineb, fel ag i'w drwyddedu i ddweyd a fynai yn ddidramgwydd. Yr oedd Annibynwyr, Methodistiaid, Eglwyswyr, ac eraill, mor hoff o hono a'i frodyr ag oedd o'r un farn ag ef ei hun, er na ddarfu iddo erioed wadu, cuddio, nac esgeuluso amddiffyn ei egwyddorion er mwyn gwyneb dyn. Dywedai wrth fedyddio un tro, pan oedd lluoedd o wahanol enwadau yn ei wrando, "*Forgery* ar enw y Drindod yw rhoddi ei enw wrth daenellu babanod. Pe bae chwi yn *forgio* enw rhyw wr boneddig yn y wlad yma 'nawr, Van Dieman's Land fyddai'ch lle ch'i yn y fynyd. 'Rwy'n ddigon ffrynd â chi'r Methodistiaid a'r Annibynwyr yma, ac eraill; ond yn wir, yn wir, yr ydych yn sicr o gael stwr am hyn. Odych yn wir, am hyny edrychwch ati yn awr mewn pryd."

Dywedai dro arall, "A glywodd rhywun son erioed fod offeiriad Iuddewig yn methu deall meddwl Duw, a'r ffordd i wasanaethu, er fod y gorchymynion a'r defodau braidd yn ddi-rif. Naddo. Dwy ordinhad a osododd Iesu mawr yn ei eglwys, ac y mae'r byd yn methu'n deg a'u deall, a chytuno yn eu cylch! Pethau amlwg yn yr Hen Destament, a phethau tywyll yn y Newydd! Gwarth byth, os felly, ar efengyl Mab Duw!"

Wrth bregethu mewn man arall, lle yr oedd amryw o'r brodyr Methodistaidd yn bresenol, ei destyn oedd yn nghylch Naaman y Syriad. "Ho, ho," ebai, "mae'r Methodistiaid yma yn *gorph* mawr a chryf, ond mae e'n wahanglwyfus fel Naaman, odi wirionedd." "Wel, wel," meddai rhywun, "mae ar ben, dolur ofnadwy yw'r gwahanglwyf; mae'n sicr o farw." "O, nag yw." "Beth 'neithe', ynte?" "O, mi 'weda' i, *Ymolched yn yr Iorddonen*, a bydd yn holliach yn y fan."

Ni synwn fymryn pe digiai rhywun wrthym ni am gofnodi yr uchod a'r cyffelyb, ond ni ddigiai neb wrtho ef am eu dweyd ar y pryd. Gollyngai ei saethau nid at y rhai a ystyriai yn gyfeiliornwyr, ond at yr hyn a ystyriai yn gyfeiliornad—nid at y pechadur, ond at ei bechod. Nid oedd gwenwyn i ddyn ar ei saeth, na cholyn dan ei dafod. Yr oedd dynion o wahanol farnau yn foddlon cael eu gwrthwynebu a'u clwyfo er clywed ei ddawn—yn foddlon cael y chwerw er mwyn cael y mel-

us—yn foddlon cael cur er cael y cysur. Gollyngai at ei elyn heb arbed, ond lladdai yr elyniaeth â gwin ei arabedd; llosgai lid â marwor tanllyd ei athrylith; dystawai dafod athrod â'i natur dda; a gwnai *purdeb ei ysbryd* atal a gwellhau gwenwyn a briwiau y cnawd.

Yr oedd ynddo lawer iawn hefyd o'r *wag*. Wrth gladdu hen wraig dduwiol (aelod o'r Ffynon) yn Hermon, capel yr Annibynwyr, dywedai ar lan y bedd, "Wel, dyma *un fenyw dduwiol* yn gorwedd yn mynwent *Hermon*."

Yr oedd y Parch. H. W. Jones, Caerfyrddin, ac yntau yn dygwydd cysgu un noson mewn ffermdy o'r enw Wernlogws, yn agos i Rehoboth. Yr oedd Dafydd Evans yn godwr boreu iawn, a chododd yn foreu y pryd hyny, ac nid oedd yn ddigon iddo godi ei hunan, ond yr oedd yn rhaid iddo aflonyddu Mr. Jones, yr hwn a fwynhâai ei gwsg y boreu hwnw yn nodedig; ond ni chawsai lonydd mewn modd yn y byd gan Dafydd Evans. "Codwch, y dyn (ebai), codwch." "Gadewch fi'n llonydd, Evans," ebai Jones. "O, ïe, dyna iaith y diogyn," ebai yntau, "ychydig gysgu, ychydig hepian, ychydig blethu dwylaw, ychydig o bob peth, ond ychydig o ddod o'r gwely." Cerddai yn ol ac yn mlaen trwy yr ystafell, gan alw yn awr ac eilwaith ar Mr. Jones, yr hwn a ddymunai arno am lonyddwch. "Codwch," ebai, "mae'r haul wedi codi. Welwch ch'i e? dyna fachgen glân, iachus, yw e', o herwydd ei fod yn codi yn fore; beth pe bae e'n cysgu fel y dyn hwn?" Ac wedi ymdreiglo yn ol ac yn mlaen am tuag awr o amser, daeth yn mlaen at y gwely, gan ddechreu ysgwyd Mr. Jones. "Codwch, y dyn cas," ebai. "Yn enw'r anwyl, beth sydd arnoch chwi, Evans," ebai Mr. Jones. "Eisieu golchi'm wyneb sydd arna i," ebai yntau; "ni wnewch ch'i olchi yn y nwr i, ond fe olcha i yn eich dwr ch'i, Mr. Jones." "Beth, yn enw'r anwyl, arllwyswch ddw'r i chi'ch hunan i'r *basin*, a golchwch, ac arllwyswch e' ffwrdd i'r llestr yna wed'yn," ebe Mr. Jones. "Mi gwela' i 'nawr, yn wir," ebe yntau. "Cysgwch 'nawr faint a fynoch ch'i; mae'n ddrwg gyda fi mod i wedi eich *disturbio* ch'i fel yna, mi gwela i yn awr. Rhyfedd beth wnaiff *College*, onte fe? *Mae'n werth myn'd iddo, pe ond i ddysgu ymolch yn iawn!*"

Mewn helynt cyfreithiol, ryw dro, gwnai Dafydd Evans groes-ddadleu yn ystyfnig ag un o'r cyfreithwyr, yr hwn a deimlai ei anrhydedd mewn perygl, a gofynodd yn y diwedd yn lled ymddiriedol, "A ydych *chwi*, Mr. Evans, yn dweyd eich bod yn gallach na fi ar bwnc fel hyn?" "O nag ydw i, syr, ddim yn dweyd hyny," ebai yntau, "*pobl eraill* sydd yn dweyd hyny!"

Yr oedd yn hoff iawn o ystrywiau diniwed ac ysmala, naill ai mewn gweithred neu air. Felly yr oedd llawer o dadau ffraeth a dyddan yn y dyddiau gynt. Mor hoff o ddireidi diniwed ydoedd Herring ddoniol o Aberteifi! Llawer tro ysmala a wnaeth â'r diddichell a'r diniwed William Richards, Penyparc. Difyr iawn ydoedd y tro y cwrddodd â'r olaf yn Castell-Newydd-Emlyn, yn dyfod gartref o Lundain. Ar ol cyfarch eu gilydd, gofynodd William Richards, "Shwt mae nhw tua Penyparc yco, Herrin bach?" Edrychai Herring yn or-ddifrifol, nes creu drwg-dybiaeth yn William Richards fod rhywbeth allan o le yn ei deulu. "'Stim o Nansi yn sâl, neu wedi marw, gobeithio, Herring bach?" ebai William Richards. "Ewch gartref mor gynted ag y galloch," ebai Herring, gyda phwyslais a theimlad awgrymiadol, a ffwrdd ag ef mewn brys, a ffwrdd â William Richards tuag adref, gan gasglu yn sicr fod Nansi naill ai wedi marw neu ar fin tranc. Cafodd *lift* ran o'r ffordd mewn *cart* ag oedd wedi bod yn hebrwng *fflwr* i Gastellnewydd; ac o Aberteifi i fyny mewn *cart* ag oedd wedi bod ag ysgadan o Aberporth yn y dref; ac o herwydd ei ofid a'i helbul, ni sylwai pa le yr oedd yn eistedd, na pha ddrych oedd ar ei ddillad, a rhwng y *fflwr* a'r ysgadan, yr oedd golwg go ddoniol arno, medd yr hanes, yn wynebu gartref. Wrth fyn'd yn mlaen at ddrws y ty, criai yn dor-calonus, "O, Nansi fach, Nansi fach!" "Beth sy' arnat ti, Will," ebai Nansi, yr hon yd-

oedd yn fenyw lled swrth. "O, yr hen fochyn, dyma'r drych sy' arnat ti yn dod gartre' o Lundain! Dyma'r dillad newydd ge'st ti wrth fyn'd ai e? Dim rhagor o Lundain i ti, Will." A dyna fel y bu ar William Richards, druan.

Yr oedd Dafydd Evans yn gymdeithaswr poblogaidd iawn; nid oedd yn fwy enwog mewn un man nag mewn cymdeithas yn y ty ac yn y maes, gartref ac oddicartref. Efe oedd tywysog y cwmni, a brenin yr aelwyd; a phan yn siarad yr oedd pawb mewn hwyl, o'r hogyn bach pedair oed i'r hen dad-cu patriarchaidd yn y gadair wellt yn y cornel; a braidd na ddywedem fod y ci a'r gath fel yn cael hwyl wrth ei ddigrifion a'i ffraethinebau. Wrth ddod o'r capel byddai tyrfa yn ei ddilyn, ac yntau a'i ffon yn ei law, yn sefyll bob yn ail gam, gan wneyd rhyw sylw difyr am rywbeth oedd wedi bod, neu i fod, neu a fyddai ar y pryd. Efallai mai y frân neu yr aderyn, neu y defaid, neu y da, neu y mynydd, a fyddai yn achlysuru y siarad; ac yr oedd ei sylwadau mor artrefol, byw, dealladwy, a choglеisiol, nes oedd "dysgyblion y torthau" yn aml a hwylus rhyfeddol. Efallai y cyfeiriai at un o wyrthiau ein Harglwydd Iesu Grist, megys y cythreuliaid yn myned i'r moch. "Rhyw olygfa ryfedd oedd hono, onite fe, fechgyn," ebai; "ie'n wir, ie'n wir; gwel'd cenfaint o foch, a rhei'ny yn llwythog o gythreuliaid yn rhedeg i'r môr! O, roe nhw'n myn'd! Mae'r meddwl yna, yn wir, yn hollol wreiddiol i'r cythraul; fe oedd y cynta' feddyliodd am frychgau mochyn, ac nid oes neb wedi ei frychgau ar ei ol. Lleng o gythreuliaid mewn cenfaint o foch. Faint oedd cenfaint? Dwy fil, onite? a lleng yn chwe' mil. Stopwch chwi 'nawr, faint oedd yn mhob mochyn? Tri, onite? Ie'n wir, tri ar gefn pob mochyn, un yn ol a'r llall yn mlaen, ac un yn y canol; yr un blaena yn cydio yn y clustiau, a'r olaf yn y gynffon, ac y mae clustiau a chynffonau moch Gadara, neu'r *cockers* yna yn *cocko* fyny byth oddiar hyny. Dyna lle'r oedd rhedeg! Mae yn well gan y cythraul wneyd y drwg a *all*, os na cha wneyd y drwg a *fyn*—os na cha fyn'd ag eneidiau i uffern, mae'n well ganddo fyned â moch i'r môr na bod yn segur. Ni fyddai waeth gyda fi yn wir pe bae raid iddo golli'r swydd flaenaf, a myn'd i hala moch; fe wnele *pig-drover* ffamws. O roe nw'n myn'd! ond y moch yn unig, druain, foddodd. 'Roedd yr hen gythreuliaid yn medru nofio fel hwyaid." Efallai fod rhai o'r sylwadau yna wedi eu gwneyd yn y bregeth y Sul hwnw, a phan yn ei phregethu y tro nesaf, tebyg y buasai y demtasiwn yn rhy gryf i adael allan ychwanegiadau min y ffordd.

## "CORONI."

"Yr hwn sydd yn dy goroni â thrugaredd a thosturi."—Salm ciii. 4.

"A'r milwyr a blethasant goron o ddrain, ac a'i gosodasant ar ei ben ef."—Ioan xix. 2.

Yn y geiriau hyn gosodir Duw a dynion allan yn y weithred o goroni; y naill yn coroni dyn, a'r llall yn coroni Mab Duw. Ond O! y fath wahaniaeth dirfawr rhyngddynt! Cawn fod Duw yn addurno pen y pechadur, er ei holl hagrwch moesol ac ysbrydol, â choron ogoneddus o "drugaredd a thosturi." Defnyddiau drudfawr, onide? Dim llai, mae'n wîr, na chariad Duw yn ei agweddau mwyaf prydferth. Heb y rhai hyn, er yn feddianol ar bobpeth arall yn y bydysawd, ni fuasai dyn ond tlawd am dragywyddoldeb. Ond "efe a'n carodd ni," a bendithiodd ni â'r hyn sydd yn angenrheidiol i'n gwneuthur yn etifeddion o'r cyfoeth sydd yn aros y saint tu draw i'r bedd, yn nghyd a'r hyn a fwynhant yr ochr yma. Dyma y modd y coronodd Duw ddyn.

Edrychwn yn awr ar ymddygiad y milwyr tuag at Fab Duw. Gwnaethant hwy goron o ddrain, un o'r planigion â pha rai y melldithiodd Duw ein daear, pan ddarganfyddodd bechod ein rhieni cyntaf. Nis gallasai dygasedd calon dyn gael gafael ar ddim yn arwyddocau mor drylwyr ei deimlad tuag at Dduw. Nis gallesid sarhau

Mab Duw, yr hwn a haeddai mewn gwirionedd y goron ardderchocaf a allasai daear fforddio, mewn gwaeth ffordd. Cawn ddyn, ynte, yn coroni yr Arglwydd Iesu Grist â *chasineb;* ond Duw a'n haddurnodd ni â'i *gariad* anfeidrol. O, mor ddiolchgar y dylem fod, na ddarfu iddo dalu i ni yn ol ein haeddiant. H. H. PARRY.

---

## Y CYNGORAU CYFFREDINOL.

CYNGOR NICEA (NICE), 325 O. C.

---

*Rhif. V.*

Wedi erledigaethau lawer, wele dymor hafaidd yn gwawrio ar yr eglwys Gristionogol; o leiaf felly yr oedd yn allanol. Dyma *Ymerawdwr*, o waedoliaeth Prydeinig—ymerawdwr ag oedd a'r byd cyfan wrth ei draed—ïe, er mor syn y ffaith, dyma Cystenyn Fawr yn noddwr ac amddiffynydd "y ffydd yn Nghrist." Ac eto pan gofiom eiriau yr Arglwydd Iesu, "Fy mreniniaeth i nid yw o'r byd hwn," a phan ystyriom y canlyniadau dyfodol o'r cysylltiad yma rhwng yr Eglwys a'r Wladwriaeth, galar, nid cysur, a gyfyd o'n mewn wrth edrych ar fab y dywysoges Gymreig, Helena, fel achlesydd crefydd Mab Duw. Ffrwyth uchelgais ein rhieni blaenaf i fod "megys duwiau," a fu eu cwymp; ac felly y bu yma, darostyngiad, nid derchafiad, a ddaeth o awyddfryd dynion i osod eglwys Crist o dan nawdd llywodraeth ddaearol!

Tra yr oedd allanolion Cristionogaeth yn llwyddo fel hyn, cyfododd ystorm ddychrynllyd a phla blin o fewn yr eglwys—yn neillduol y cweryl athrawiaethol a fu yn achlysur cynulliad y Cyngor Cyffredinol cyntaf. A siarad yn briodol, digon prin y gellid cyfrif hwn yn Gyffredinol; y gwir yw, Cyngor o'r Eglwys Ddwyreiniol yn unig ydoedd; nid oedd bresenol o'r Gorllewin ond yr Esgob Hispaenaidd Hosius, a dau o henuriaid Eglwys Rhufain.—*Coleman's Antiq*, tu dal. 161. Dywed Eusebius fod 250 neu ychwaneg o Esgobion yn bresenol, tra y mae Theodoret ac eraill yn dywedyd fod yno 318. Yr oedd Esgob Cordova yn cael ei anrhydeddu a'r gadair yn absenoldeb yr Ymerawdwr, ond nid oedd a fyno Eglwys Rhufain â llywyddu hyd yn hyn! Cyfaddefai y Pab Stephan V., pan yn ysgrifenu yn y fl. 817, mai Cystenyn a lywyddai yn Nghyngor Nicea.

Cyfarfyddwyd ar archiad yr Ymerawdwr, ac ar ei draul ef, dros y ddau fis y buwyd yn ymdrin â phynciau dadleuol yr eglwys. Mewn ystafell yn ei balas eisteddai y dyn tal a golygus Cystenyn, mewn cadair aur a gwisgoedd gwychion, i drefnu materion crefydd Iesu o Nazareth. Ar ei ddeheulaw y mae yr hanesydd enwog Eusebius, yr hwn a anerchodd yr Ymerawdwr, megys y gwnaeth Euthasius hefyd, Esgob Antiochia. Y mae gwrthweddiad (*contrast*) hynod rhwng y cyngor hwn a'r un a gyfarfu yn Nghaersalem—*yno* "y symlrwydd sydd yn Nghrist," ond *yma*, "chwant y llygad a balchder bywyd." Y mae Calvin, yn ei "*Institutes*," Llyfr iv., pen. 8, adran 16, yn dyfynu o'r hen hanesydd Theodoret, ddarn o araeth Cystenyn wrth agor y cwrdd: "Mewn dadleuon ar bynciau dwyfol rhaid i ni lynu wrth athrawiaeth yr Ysbryd Glan. Y mae llyfrau yr Efengylwyr a'r Apostolion, yn nghyd ag oraclau y prophwydi yn cyfleu i ni gyflawn ddatguddiad o ewyllys Duw. Am hyny bydded i ni dderbyn geiriau yr Ysbryd yn benderfyniad ar bob cwestiwn mewn dadl." Pa fodd bynag, aeth yr Esgobion i ymddadleu a thrin eu gilydd yn y fath fodd ag i orfodi y cadeirydd i'w dwyn i drefn ac at y pwnc a fyddai o dan sylw. Ond awn at

WEITHREDIADAU Y CYNGOR HWN.

Gwnaed yma gynyg i osod iau gwedd-wdod (*celibacy*) ar ysgwyddau yr offeiriaid. Gwron y blaid wrthwynebol ydoedd Paphnutius, esgob Aiphtaidd, dyn un-llygeidiog a chloff oedd wedi dyoddef llawer yn achos crefydd. Yn wir, yr oedd mwyafrif yr esgobion, fel Paul, yn "dwyn yn y corph nodau yr Arglwydd Iesu," ac yr oedd yr hyn a ddyoddefasant dros yr eglwys yn rhoddi awch neillduol ar eu hymadroddion yn y Cyngor hwn. Felly llwyddodd hy-

awdledd yr esgob a nodwyd i droi y fantol yn erbyn y ddefod anysgrythyrol, o leiaf yn yr eglwysi Dwyreiniol. Hyd heddyw y mae'r eglwys Roeg yn gorchymyn na byddo i neb *dibriod* fod yn offeiriad. Fel hyn y tuedda dynion redeg i eithafion o hyd.

Bu yma sylw, nid ychydig, o'r modd y dylid ymddwyn tuag at *droseddwyr*, pa rai a ddosberthir fel hyn: 1. *Flentes*, *galarwyr*, a ddeisyfent gyda llefain cryf a dagrau am drugaredd ac eiriolaeth y clerigwyr ar eu rhan. Ni oddefid i'r dosbarth yma fyn'd dros drothwy yr eglwys. 2. *Audientes;* gallasai y rhai hyn ddyfod o fewn y drysau i *wrando*, ond nid oeddent i gymeryd rhan yn y gwasanaeth eglwysig; cedwid hwy yn y cyflwr hwn dair blynedd. 5. *Substrati*, *penlinwyr*, i ba rai y caniateid aros a phenlinio gyda'r frawdoliaeth yn adeg y gweddiau cyhoeddus. Yr oedd y rhai hyn o dan *restrictions*, o dair i saith o flynyddoedd. 4. *Consistentes*, sef y rhai a *safent* gyda y credinwyr, ond a atelid rhag cymuno gyda hwynt ger bron yr allor. Tymor y caethiwed hwn oedd dwy flynedd. "Pa ffaeleddau bynag y syrthiodd y Cristionogion boreuol iddynt, ar wahanol adegau, ni osodent eu hunain un amser yn agored i gyhuddiad o fod yn llac" (hyny yw, mewn dysgyblaeth). Fel yna y dywed Dr. Jamieson, a thystia Coleman fel yma: "Y mae hanesiaeth yr eglwys foreuol, dros y tair canrif cyntaf, yn fwy llawn ar bwnc dysgyblaeth eglwysig nag ar unrhyw beth arall." Yn y Cyngor dan sylw, *canon* 12, rhoddwyd i'r esgob hawl i benderfynu pa fath, a pha hyd fyddai y penydiau (*penances*), ac o hyn, yn marn Coleman, y tarddodd yr arferiad melldithiol o werthu maddeuebau Pabaidd, neu *indulgences*, mewn amseroedd diweddarach.

Gyda hyna o sylw ar bynciau llai pwysig, deuwn at y prif bwnc a nodweddai y cyngor pwysig a ymgynullodd tua chanol Mehefin, 325 o. c., yn ninas Nicea, yn Bithynia, Asia Leiaf. Er mantais i'r darllenydd gael golwg gryno ar y pwnc, dosranwn ef fel y canlyn:

1. *Y cwestiwn mewn dadl.*—Gan mai yn olynol i hyn yn ymdrinid â Dwyfoldeb yr Ysbryd Glan, hawl Iesu i'w gyfrif yn un ac yn ogyfuwch â'r Tad oedd, yn benaf, o dan ystyriaeth ar hyn o bryd. Ac am fod yr hyn a elwir yn y "Llyfr Gweddi Cyffredin" yn *Gredo Athanasius* yn son am "y Tad yn un person, a'r Mab yn berson arall, a'r Ysbryd Glan yn berson arall hefyd, eithr y mae Duw y Tad a'r Mab a'r Ysbryd Glan oll yn un, yn gyfartal, yn gyd-oesol, &c., tueddir ni i dderbyn y farn a fabwysiedid gan amryw haneswyr, mai yn hir wedi dyddiau Athanasius y daeth y Gredo hono i fodolaeth. Y Pabydd Du Pin a ddywed, "Y mae yr holl fyd yn cydnabod nad oedd yn eiddo ef, ond yn eiddo rhyw awduron a fuont fyw yn hir ar ol ei amser ef. Sicr yw mai ar ol Cyngor Chalcedon ei chyfansoddwyd."

Haera Dr. Knapp (*Theology, sec.* 43), nad eiddo Arius, ychwaith, oedd yr hyn a adnabyddir fel Ariaeth. "Eisoes," eb efe, "yr oeddid wedi penderfynu gan amryw gyngorau a gynelid yn y drydedd ganrif, mewn gwrthgyferbyniad i Sabellius a Paul o Samosata, fod yn rhaid cyfrif y Tad yn wir wahanol oddiwrth y Mab, a'r Ysbryd Glan yn wahanol oddiwrth y ddau. Pa fodd bynag ni bu, hyd yn hyn, ddim dadleu yn mysg dysgedigion o barthed perthynas personau y Drindod i'w gilydd, nac yn nghylch y cwestiwn yn mha beth yr hanfoda y gwahaniaeth rhyngddynt."*

Rhoddodd Arius ffurf eglurach i'r athrawiaeth sydd yn dwyn ei enw, a gwthiodd hi i'w holl ganlyniadau cyfreithlawn, yr hyn na wnaed o'r blaen. Bellach gosodwyd ar fanerau y pleidiau mewn dadl y geiriau canlynol yn arwydd-eiriau y byddinoedd gwrthwynebol: *Heterousia*, datganiad fod natur Crist yn hollol wahanol i'r eiddo y Tad; h. y., Ariaeth; a *Homo-ousia*, datganiad fod natur Crist yn hollol *unrhywiol* a'r eiddo y Tad, h. y., Athanasiaeth. Nid hir y bu cyn i drydedd blaid gymeryd y maes o dan arwein-

* Os ewyllysir holi i'r pynciau dyrys ond dyddorol hyn, myned y darllenydd ar bob cyfrif ddarllen a deall Darlithiau Joseph Cook.

iaeth Basil, esgob Aucyra, a Sior, esgob Laodicea. Arwyddair y blaid hon oedd *Homoiousia,* datganiad fod natur Crist yn gyffelyb i'r eiddo y Tad, h. y., Haner-Ariaeth. Ond, at y Cyngor.

2. *Y prif ddadleuwyr yn yr achos.*— Yn ninas Alexandria, ac mewn canlyniad i bregethau a draddodid gan yr esgob Alexander, y cyfodwyd i ddadleu. Teimlai yr Ymerawdwr y fath ddyddordeb yn y peth fel y cyrchodd Hosius, o'r Hispaen, dyn, yn ol tystiolaeth Eusebius, oedd "yn gyfrifol am sobrwydd a phurdeb ei ffydd," gyda bwriad i heddychu y cweryl rhwng yr esgob a'i henuriad, Arius. Galwyd cyfarfod yn y flwyddyn 320, yn Alexandria, gyda'r gobaith y gellid lladd y cyfeiliornad hwn yn ei febyd, ond methwyd gwneyd hyny.

Yr oedd Athanasius wedi ei noddi yn nhy yr esgob, ac yn dal y swydd o ddiacon yn yr eglwys, ac, erbyn adeg y cyngcr o dan sylw, yr oedd wedi llawn arfogi i gyfarfod ag Arius. Medd-ai y diacon fwy o allu ymresymiadol ac hyawdledd ymadrodd na'i esgob, ac felly fe fu yn ddigon gwrol i wrthsefyll a gorchfygu yr henuriad hereticaidd, er mor benigamp ei fedr dadleuol, ac er amled ei bleidwyr cynes. Y cleddyf â'r hwn y llwyr ddymchwelwyd Arius, yn y cyngor, ydoedd Efengyl Ioan; ac nid rhyfedd fod gelynion y "gwirionedd fel y mae yn yr Iesu" yn ddiflino yn eu hymdrechion i daflu amheuaeth ar awdurdod ac ysbrydoliaeth y rhan yma o Lyfr Duw. Y diacon enwog fu a'r llaw flaenaf yn ffurfiad y *canons,* a hefyd y Gredo Niceaidd. Mewn gair aeth yn *A-thanasius;* h. y.. yn un Anfarwol. Diolch am ei fedr a'i ddewrder, oblegid annichonadwy yw penderfynu beth fuasai y canlyniad pe llwyddasai Eusebius i gael gan y cyngor fabwysiadu ei gredo a'i fesurau *llai penodol* ef.

3. *Yr effaith ar yr eglwys.*—O'r Cyngorau Cyffredinol, y cyntaf a'r diweddaf, Nicea a Trent, sydd yn neillduol iawn yn hanes eu dylanwad ar yr oesau. Yn Nicea anrhydeddwyd Gair Duw *uwch pob awdurdod arall.* Yn Trent cadarnhawyd *awdurdod yr eglwys* fel gogyfuwch, os nad uwch, na'r Gair. Llaw-arwyddwyd y Gredo, a hefyd weithrediadau y cyngor yn collfarnu Arius, gan agos yr oll o'r esgobion presenol. Mae Dr. Jortin wedi difyru ei hun a darllenwyr ei Hanes Eglwysig, drwy nodi *score* a mwy o gymelliadau teilwng ac annheilwng a allasent beri y fath gynulliad o esgobion o wahanol wledydd. Pa fodd bynag, os oedd rhai yn ddiofal am bwnc y ddadl pan y daethant, nid hir y parhaodd y diofalwch hwnw. Gan gyfeirio at yr adeg yma, ysgrifenodd Gladstone, yn ei adolygiad o *Ecce Homo,* fel hyn: "Ymsefydlodd Cristionogion, o'r braidd yn ddieithriad, ar graidd (*centre of gravity*) mewn ymadrodd athrawiaethol sydd wedi dal yn gwbl gadarn drwy holl chwildroadau pymtheg cant o flynyddoedd, ac nas gellir, yn ol pob tebyg, ei syflyd mwy, oni ddaw ysgydwad o dan ba un y bydd i'r oll o Gristionogaeth benodol gael ei falurio."

Gresyn nad ymfoddlonai Cystenyn, a lluoedd ar ei ol ef, i adael i'r gwirionedd erlid cyfeiliornad o'r tir. Yn lle hyny, gyda bwriad i berffeithio y gwaith yr ymaflodd ynddo, gwnaeth yr Ymerawdwr ddeddf yn gorchymyn llosgi llyfrau Arius, a lladd cynifer o'i ganlynwyr a wrthodent roddi i fyny y llyfrau hyny. Nid rhyfedd genym weled yr *extremist* hwn, cyn hir, yn erlid Athanasius, ac yn bleidiol i adferiad Arius i fynwes yr eglwys!

---

## OGOFEYDD.

GAN Y PARCH. D. OLIVER EDWARDS.

Dywedir mai dyfnder y ddaear ydyw pedair mil o filldiroedd. Ychydig iawn a wyddom am ei chyfansoddiad mewnol; er hyny mae ei hogofeydd wedi tynu sylw cyffredinol yn mhob oes o'r byd. Digon ydyw crybwyll, tra y mae ogofeydd i'w cael braidd yn mhob gwlad, fod y rhan fwyaf o honynt wedi eu ffurfio gan law natur ei hun. O ran maintioli, maent yn gyfryw nas gallasai dyn eu gwneyd; ac o ran llun yn llaw-

er rhy anghyfleus i fod yn drigfan iddo.

Rhoddwn yma ddesgrifiad byr o brif ogofeydd y byd. Dechreuwn gyda'r ogof hono yn Lloegr a elwir *Oakeyhole*. Gorwedd hon ar yr ochr ddeheuol i fryniau Mendips, o fewn milldir i dref Wells. I gael unrhyw feddylddrych am yr ogof hon, y mae yn rhaid i ni feddwl am ddibyn mwy na chan' llath o uchder ar lechwedd mynydd. Yn hwn y mae agoriad heb fod yn fawr iawn, trwy yr hwn y gellir myned i mewn. Mae y palmant caregog yn hynod anwastad, weithiau i lawr ac weithiau i fyny. Ar ol myned i mewn gryn bellder, mae ei nen yn codi yn uwch uwch, fel ag y mae mewn rhai manau yn ddeg troedfedd a thri-ugain oddiwrth y llawr; ond mewn manau eraill, bydd mor isel fel y bydd yn rhaid i ddyn blygu cyn gallu myned yn ei flaen. Dywedir bod ei hyd tua 300 o latheni; ac ar hyd-ddi, yma ac acw, y mae casgliadau grisialaidd wedi eu ffurfio o wahanol luniau, fel y mae dynion o ddychymyg barddonol a hedegog wedi bod yn eu cymharu i ddynion, weithiau i lewod, ac weithiau i wahanol greaduriaid ysglyfaethus. Yn mhen pellaf yr ogof hon y mae ffrwd o ddwfr bywiog yn tarddu allan, yn ddigon cryf i droi melyn, ac yn llawn o wahanol fathau o bysgod. Tyra teithwyr o bob cyfeiriad i'w gweled.

Y mae ogof hynod arall yn swydd Gaerloew, o'r enw *Penparkhole*. Nis gellir cerdded i mewn i hon fel y llall, gan ei bod yn hynod ddofn. Flynyddoedd lawer yn ol, disgynodd teithiwr enwog o'r enw Sturmy iddi wrth raff o bum' gwrhyd ar hugain o hyd. Wedi anturio ei hun i'r gwaelod, wrth nerth goleuni y lamp oedd ganddo, efe a ganfu ynddi gell anferthol ei maintioli ar lun pedol. Yr oedd y lloriau wedi eu prydferthu â cheryg gwynion, a'r creigiau mawrion wedi eu llathru â maen tebyg i risial. Bu y teithiwr anturiaethus hwn yn cerdded am gryn amser ar hyd y palmant prydferth hwn. Rhyfeddai at yr olygfa; ond wrth gerdded yn ei flaen, daeth yn ddisymwth at afon fawr, yr hon oedd yn ugain gwrhyd o led, ac wyth gwrhyd o ddyfnder. Bu yno am bump o oriau meithion, wedi ei swyno gan fawredd a gorwychder y gwahanol olygfeydd; ond yn anffodus, talodd y boneddwr hwn yn rhy ddrud er boddhau ei gywreingarwch. Wedi iddo gael ei ddirwyn i fyny, teimlodd boen angerddol yn ei ben a'i ystumog, fel ag y bu farw yn mhen ychydig oriau mewn loesion dirfawr. Mae ogofeydd o'r un natur a'r olaf a enwasom, fynychaf, yn cael eu ffurfio ar y cyntaf gan naill ai gweithrediad dwfr, gan ddaeargrynfâau, gan syrthiad disymwth darnau mawrion o dir, neu ynte gan dânau tanddaearol. Ceir mewn llawer o honynt gadwyn o orielau, yn gorwedd y naill o'r tu ol, neu ynte uwchlaw y llall.

Ogof hynod arall a elwir *Elderhole*, yn swydd Derby. Dywed Dr. Plott am hon, ei bod wedi ei phlymio â llinyn o wyth cant ar hugain o droedfeddi o hyd heb gyrhaedd y gwaelod, na chyfarfod â dwfr. Y mae yr ogof anfesuradwy hon yn myned i lawr yn union-syth, ac y mae yr ochrau yn ateb i'w gilydd mor amlwg, fel ag i ddangos eu bod unwaith wedi bod yn un. Y rhan fwyaf o'r ymwelwyr a ddygant geryg gyda hwynt i'w gollwng i lawr; ac wedi gollwng careg fawr i lawr, clywir hi yn syrthio ac yn curo yn erbyn ochrau yr ogof, gan wneyd swn rhyfeddol, tebyg i swn taran mewn pellder, ac yna yn diflanu yn raddol, fel y byddo y gareg yn myned yn is i lawr.

Yn ngwlad yr Indiaid Arriaidd y gwelir ogof ryfedd, a elwir wrth yr enw *Gagendor Plato*. Y mae dyfnder a chilfachau y lle dychrynllyd hwn yn hollol anhysbys. Nid yw y brodorion, nac ychwaith yr ymchwilwyr cywrain a dalant ymweliad mynych â'r lle, yn alluog i ddweyd i ba ddyfnder y cyrhaedda. Y mae yr Indiaid ofergoelus yn arwain tyrfaoedd mawrion o wahanol fathau o anifeiliaid yno yn barhaus, gynifer a thair mil lawer pryd, yn feirch, gwartheg, defaid, a geifr; a chydag ofergoeledd gwarthus, y maent yn eu hyrddio i'r ogof ddychrynllyd hon. Clywir eu swn dolefus yn y dyfnder mawr—brefiadau y defaid, brechiad

yr ychain, a gweryriad y meirch; ac yno y byddant yn gelaneddau meirwon ar eu gilydd. Y mae llawer iawn o athronwyr yr oesau wedi llafurio yn galed i wybod yr achos o'r holltau anferth hyn. Tybia llawer mai agenau mawrion ydynt a wnaed gan yr haul, tra yr ydoedd y ddaear yn sychu, yn union wedi iddi gael ei gorchuddio â dwfr. Ond, fel y nodasom eisoes, gall daeargrynfäau a thânau tanddaearol achosi llawer o honynt. Nid oes gyda ni ddim i'w wneyd ond sefyll mewn syndod uwch eu penau, a rhyfeddu at allu yr hwn a ferchyg y nefoedd, ac a rodia yn y gorddyfnderau.

Y mae rhai ogofeydd dros fil o droedfeddi o ddyfnder, ac eraill yn filldiroedd o hyd. Yn mhlith y rhai mwyaf hynod, gellir enwi y rhai canlynol: Aleantara, yn agos i Lisbon, Tingal yn yr Alban, Sturth yr yr Iwerddon, Ombos yn yr Aipht, Del Cave yn agos i Naples, ogofeydd mynydd Pilat yn Switzerland, Ogof y Dreigiau yn Darmstadt, a'r ogof fawr hono a elwir y Mammoth Cave yn Kentucky.

Ond bydd i ni ar hyn o bryd alw sylw y darllenydd am ychydig amser at yr ogof ryfeddol hono yn Antiparos, yr hon am faintioli a harddwch nad oes ei hail yn y byd adnabyddus. Cafodd ei darganfod er's yn agos i ddau can' mlynedd yn ol gan deithiwr enwog iawn o'r enw Magni, yr hwn oedd Italiad o genedl. Ynys fechan yw Antiparos yn yr Archipelago. Wrth roddi yr hanes am yr ogof hynod hon, nis gallwn wneyd yn well na gwneuthur defnydd o eiriau Magni ei hun: "Wedi ein hysbysu," meddai efe, "gan frodorion Paros am ryw ddelw anferth o faint oedd i'w gweled yn ngenau ogof yr Antiparos, gwnaethom ein meddwl i fyny i dalu ymweliad â'r lle er i ni gael barnu drosom ein hunain. Wrth ddilyn y penderfyniad hwn, wedi i ni dirro ar yr ynys, a cherdded yn nghylch pedair milldir trwy ddyffrynoedd prydferth, nyni a ddaethom o'r diwedd at fryn bychan yn ochr yr hwn y safnrythai yr ogof fwyaf dychrynllyd, yr hon â'i herchylldod a'n tarawodd ar y cyntaf â'r braw mwyaf; a bu agos iddi a gosod terfyn swta ar ein cywreingarwch. Beth bynag, wedi ymadfer o honom o'n syndod a'n braw, nyni a anturiasom i mewn yn wrol; ond ni chawsom gerdded ugain llath cyn i ddelw dybiedig fawr ddyfod i'n golwg. Mae yn ddiameu fod yr hudwch yma wedi bod yn ddychryn o'r mwyaf i'r brodorion am lawer o ganrifoedd. Gwelsom yn fuan nad oedd y ddelw fawr hon ddim yn amgen na chasgliad grisialog wedi ei ffurfio gan y dwfr a a ddisgynai o nen yr ogof, ac yn raddol a galedai i lun, o'r hwn yr oedd eu hofnau hwy wedi gwneyd anghenfil. Wedi ein cyffroi gan yr ymddangosiad rhyfedd hon, tueddwyd ni i fyned yn mlaen yn mhellach, er archwilio yr ogof danddaearol hon. Fel yr elem yn mlaen yr oedd rhyfeddodau ar ol rhyfeddodau yn dyfod i'n sylw; yr oedd y grisialau, y rhai oeddynt wedi eu ffurfio ar lun coed a mânwydd, yn edrych fel llwyni heirddion o bob tu i ni. Yr oedd rhai o honynt yn wynion, eraill yn las, ac eraill yn gymysgedig o wahanol liwiau. Tarewid ni â mwy o syndod byth am y gwelem eu bod oll wedi eu cynyrchu gan law natur ei hun, yr hon mewn unigedd hyd yn hyn, a fu yn gwisgo yr olygfa yn ei mynydau hamddenol er difyrwch a mwynhad iddi ei hun. Ond nid oeddym hyd eto wedi gweled ond ychydig iawn o wir ryfeddodau y lle, nac wedi ein harwain ond yn unig i borth y deml fawreddog hon. Mewn congl o'r lle hwn, gwelem fwlch tua thair troedfedd o led, yr hwn yr ymddangosai ei fod yn arwain i le hollol dywyll, am yr hwn yr oedd y brodorion yn ein sicrhau nad oedd yno ond cronfa o ddwfr. Ond mewn trefn i fod yn fwy sicr, anfonasom forwr i mewn, yr hwn ar yr amod iddo gael ei dalu yn dda, gyda fflamdorch yn ei law a anturiodd trwy y bwlch cul y soniasom am dano. Wedi bod i fewn o gylch chwarter awr, efe a ddychwelodd, gan ddwyn gydag ef ddarnau prydferth o risial gwyn yn ei law, y rhai nis gallasai celfyddyd eu dynwared na gwneyd dim yn debyg iddynt. Wedi hyny, anturiasom oll i'r ystafell lle y bu y morwr. Yr oedd ein

canwyllau erbyn hyn wedi eu tanio, a'r holl le wedi ei oleuo yn llawn. Ni all llygaid marwolion byth edrych ar olygfa mwy hardd a mawreddog. Oddiwrth ei nen y crogau pibonau gwirion eddol mor dryloew a gwydr, ac mor galed a marmor. Prin y gallai y llygaid gyrhaedd y nenfwd gwych ac uchel. Yr ochrau oeddynt wedi eu ffurfio yn rheolaidd o feini gwerthfawr, a'r cyfan yn ymddangos fel rhyw chwareufa orwych wedi ei haddurno â'r helaethrwydd mwyaf o oleuadau llachar. Yr oedd y llawr wedi ei wneyd o farmor caled; mewn amryw fanau yn y deml orwych hon yr oedd colofnau mawrion, gorseddfeinciau, allorau, a gwrthddrychau eraill, fel pe buasai natur wedi penderfynu gwneuthur gwawd o orchestion penaf dyn. Pan siaradem neu y canem, cyfodai ein lleisiau i uchder anghredadwy; ac ar ein gwaith yn tanio dryll, yr oedd y twrf a'r adseiniadau yn llwyr fyddarol."

Y cyfryw ydyw hanes yr olygfa brydferth hon. Buasai yn ddymunol genym gael gwybod pa fodd y cafodd y ceueddau mawrion yma eu ffurfio ar y cyntaf, ond y mae'r testyn tu hwnt i'n cyrhaedd ni.

## MONTOUR. 8au. 4 llin.

Buddugol yn Eisteddfod Danville, Pa., Nadolig, 1870. Gan D. D. Davies, Pittsburgh, Pa.

O, na allwn garu'r Ie - su Yn fwy ffyddlon, a'i was' - naeth - u;

Dweyd yn dda mewn gair am dano, Rhoi fy hun yn gwbl idd - o.

# Barddoniaeth.

## ENGLYNION

I Bibell Hardd, o wneuthuriad Tyrcaidd, a roddwyd yn anrheg i Mr. EVAN T. DAVIES, Parisville, Ohio, gan y Parch. SAMUEL JOB, Cleveland, Ohio.

Pibell hardd, i'n pabell hon,—a gafwyd
Gan Job, gyfaill tirion;
Coronawl yw'r cywreinion
Ar ei lliw, fel yr aur llon.

Pwynt hudol ei phen paentiedig,—gwineu,
Gawn yn oreuredig;
Rhed o'i bron, ar hyd ei brig,
Fyw gadwen aur, fygedig.

Graddedig wddf, a gwerdd adail—ei thid
Fel plethedig wiail;
Lloerau byw, lliw aur heb ail,
Ar ei choes geir o'i chesail.

Melynaur, yn aml liwiau,—a chwery
Ar ei chywrain ranau;
Gemwaith gwych, discleirwych, clau,
Addurnant ei phrif ddarnau.

Ifori'n llawryf eirian,—ar ei blaen,
Huda'r blys yn ddyddan;
I fygu, nes taflu tân
O ffroen aur ei ffwrn arian.

Pibellaf er pawb allan—y mygyn
Megys mygdarth anian;
Ac eiliaf ganiad gwiwlan,
Twrc yn y clod, teircainc lân.

Job fwyn, hyd erchwyn ei arch,—a'i bibell,
Geiff yn bybyr fawrbarch;
Ac hefyd pery cyfarch
Twrc o hyd, mewn byd o barch.

Chwithau, bibellau y byd,—yn cwympo
O flaen camp celfyddyd;
Dyrchafiaeth, a'r dorch hefyd,
Ddaw i hon, dan nawdd, o hyd.

CEFNI.

## DYDD DIOLCHGARWCH.

Diolchwn i'n Duw hael uchod,—yn gyfiawn
Am gofio'r byd isod;
Ar ol hin yr haul hynod,
Eira a gwlaw dd'ont er ei glod.

I'm lloni, y mae holl anian,—a'i gwên
Yn gweini yn mhob-man;
Mewn iach hwyl, pwy yw na chân?
I Arglwydd y byd eurglân.

*Kingston, Pa.* JAMES R. PRICE.

## BYWYD AC ANGAU.

Beth yw Bywyd? "Tymor pleser!"—
Haera ffyliaid hyn i ni;
Ond ai dyna ydyw'n hamser?
Nage'n wir! ni chredaf fi:
Nid yw Bywyd ond arosiad
Byr yn ein daearol dy,
I bar'toi i gael mynediad
I'r trigfanau dysglaer fry.

Beth yw Angau? "Cwsg diddiwedd,"
Medd anffyddwyr yn ein clyw:
Ond ai dyna yw'r gwirionedd?
Nage'n wir!—gau-dybiaeth yw:
Nid yw Angau ond ysgariad
Rhwng y corph a'r enaid byw,
Pan y caffo'r ysbryd alwad
Fry i bresenoldeb Duw.

*Utica.* J. D. MORGAN.

## AR FIN Y DW'R.

Ar fin y dw'r gorweddai'n brudd
Bererin fu ar daith,
A rhedai'r dagrau dros ei rudd,
Nes gwneyd lle'r oedd yn llaith;
Arswyda'i fron wrth wel'd y dôn,
A grym y 'storom gref;
Dywedai mewn crynedig dôn,
"Rhaid myn'd drwy hon i'r nef."

Fe gafodd olwg ar y fan,
O ben anhwyldeb blin;
Ond mae ef heddyw ar ei lan,
Yn lluddedig, gwael ei lun.
Wrth wel'd y dw'r a'i drochion du,
Mewn ofn gofynai ef,
"Ai hon yw'r ffordd yr aeth y llu,
O'm blaen i deyrnas nef?"

Yn araf y disgynai'r tlawd,
Nes teimlo grym y dw'r;
A phan ar suddo, daeth y Brawd,
A i gynal darfu'r gwr.
Dystawodd swn y 'storom fawr,
Pryd hyn cyfoda'i lef,
A dyna dd'wedai ef yn awr,
"'Rwy'n myn'd drwy dw'r i'r nef."

*Wanamie, Pa.* R. THOMAS.

## ENGLYN I'R BEIBL.

Llyfr yw hwn, llefara o hyd—llusern
Sy'n llesol i'r holl-fyd;
Llyfr br?? ein llafur bywyd,
E weli fodd mae'r ail fyd.

GUTYN LLEYN.

## PYNCIAU Y DYDD.

Talu Dyled Addoldai.—Yn mhlith yr amrywiol ddygwyddiadau ydynt yn cynhyrfu cymdeithas y misoedd hyn, un o'r rhai mwyaf canmoladwy ac addawol ydyw y diwygiad mewn ymdrechion i dalu dyled y capelau. Ac yn wir, credwn fod yn aml gymaint o ddylanwadau Ysbryd Duw yn y diwygiad hwn ag sydd mewn unrhyw fath o ddiwygiad. Mae yn wrthddywediad i gyhoeddi fod y capel hwn neu y llall wedi ei "agor," a'i "gysegru" i fod o hyn allan yn "dy yr Arglwydd," pan mae mewn dyled. Pa fodd y gall fod yn dy Dduw tra mae gan A. B. *fortgage* arno, y saer heb ei dalu am ei adeiladu, a llawer i lafurwr tlawd heb dderbyn ei geiniog am ddyddiau o wres a llafur erddo? Pa fodd y gall person neu eglwys gyflwyno i wasanaeth arall unrhyw beth nad yw yn gyntaf yn meddiant y cyflwynwr? "Hael yw Shon ar bwrs y wlad," sydd hen ddiareb drwsgl, ond priodol, yn y fath amgylchiadau. Honwn, ynte, nad oes y fath beth a "chysegriad" gonest o addoldy tra mae dyled arno. Ond cymerwn yn ganiataol, a galwn ar *arferiad* i'n cyfiawnhau, fod yn oddefol i agor a chyflwyno i Dduw y fath addoldy, yn sicr ni ddylai y ddyled aros arno ond yr amser lleiaf sydd ddichonadwy. Ac yn awr yr ydym yn apelio at ein heglwysi, os oes genym rai mewn dyled—gydag ychydig o eithriadau *hwy allant dalu y ddyled yn awr!* ond i'r nifer hyny sydd yn mhob eglwys a'u hysgwyddau bob amser o dan yr arch, i ystyried y ddyled ar y capel fel yn gorwedd arnynt *hwy eu hunain*—yn ddyled onest, gysegredig, yn faich ar yr achos, ac yn rhwystr i'w lwyddiant. Mae diwygiad fel hyn yn awr wedi gafael yn llawer iawn o'n heglwysi.—Gweddïwn am ddiwygiad gonestrwydd crefyddol. "O Arglwydd, bywha dy waith yn nghanol y blynyddoedd."

Awgrymiadau i Ohebwyr.—Goddefer gair yn y fan hon parthed gohebu i'r wasg, yn neillduol i'r Wawr. Yr ydym yn sicr na roddai un o'n gohebwyr bin ar bapyr, oni fyddai ganddynt olwg y darllenid eu cynyrchion. Yn awr i sicrhau hyn, awgrymwn y nodiadau canlynol fel cyfarwyddiadau i'r anghyfarwydd:

(*a*) Cyhoeddiad misol yw y Wawr, ac nid yw ei gofod yn helaeth; ac y mae ysgrif faith yn angharedig, trwy gadw allan ysgrifau teilwng eraill.

(*b*) Mae meithder ysgrif yn gwarantu na ddarllenir hi ond gan *ychydig* o'r derbynwyr, oni bydd ar ryw bwnc neillduol ac amserol, a phersonol.

(*c*) Y mae llawer siarad ag a fyddai yn eithaf priodol i bwlpud neu gyfarfod gweddi, na fyddai o ddyddordeb neillduol i gyhoeddiad misol.

(*d*) I'r darllenydd ystyrgar y mae llithiau ar hen bynciau dadleuol, ydynt i raddau helaeth wedi eu setlo, yn annerbyniol.

(*e*) Llithiau *byrion* ar bynciau byw, amserol a phenodol, ydynt bob amser yn dderbyniol, ac yn *brinion iawn.* Diosger y llith o bob rhagymadrodd, geiriau llanw, a rhodder mor ychydig ag sydd bosibl o ansodd-eiriau yn mhob brawddeg. Mae rhai o'n gohebwyr yn brif lenorion y genedl, ac yr ydym yn sicr y cymeradwyant yr awgrymiadau hyn i rai llai cyfarwydd.

Gyda llaw, mae y *Trysor Teuluaidd,* o swyddfa y *Drych,* yn gynorthwy gwerthfawr i ysgrifenwyr cyhoeddus.

—Ymddengys i ni mai hynod o anffortunus ydyw y fam-wlad, Prydain Fawr, yn ei chydymdeimlad â gwledydd eraill. Rywfodd llwydda i restru ei hun yn ffafriol i'r blaid na ddysgwylasid ei chydymdeimlad â hi. Addefa ei gwleidiadwyr doethaf mai cam diangenrhaid ac annoeth a gymerodd yn ei safle yn rhyfel y Crimea. Ychydig o gydymdeimlad Cristionogaeth a dderbyniodd yn ei hymgyrch i China. Yn ngwrthryfel y caethfeistri yn 1861–5 yr oedd holl allu moesol (a llawer o'r sylweddol) Prydain yn gysegredig i achos y De. Ac yn awr, yn ymdrech Rwssia i lanhau Ewrop oddiwrth ffieidd-dra creulon y Twrc, gelyn gwaedlyd achos y groes, mae Prydain oleuedig, efengylaidd, Brotestanaidd, o dde-

chreu y rhyfel mawr dwyreiniol, wedi bod yn frwd, yn selog, yn gadarn dros achos y Sultan. Pob rhwystr a allai roddi ar lwybr byddinoedd buddugoliaethus Rwssia, hi a'i rhoddodd; a phob cymorth moesol a allai estyn i lofruddwyr ciaidd y Bulgariaid tlodion —yn unig am eu bod yn Gristionogion —mae Prydain enwog wedi ei estyn. Wedi methu arafu cerddediad yr *Arth* tra yn erlid ei hysglyfaeth cyfreithlon, pan yr ydym yn ysgrifenu hyn o linellau mae Prydain ar fedr diweinio y cleddyf i sicrhau ei hamcanion. "'*Tis true, 'tis pity, 'tis pity 'tis true!*"

—Un o bregethwyr galluocaf y Bedyddwyr yn y wlad hon ydyw Dr. Bridgman, diweddar o Albany, N. Y. Am 15 mlynedd mae wedi bod yn brif atdyniad y brif ddinas. Gwelwn ei fod wedi derbyn galwad i eglwys Madison Avenue, New York. Ceir gweled a lewyrcha efe mor danbaid yn ymyl ser dysglaer fel Dr. Hall, Hepworth, Tyng. &c., ag a wnaeth yn Albany.

## ADRAN YR YSGOL SABBOTHOL.

DOSBARTH Y 12FED, YSGOL SABBOTHOL Y BEDYDDWYR YN T—, AM CHWEFROR. (Matt. xxiv. 44.)

*Athraw.*—Gwelsoch yn y WAWR am y mis diweddaf gyfeiriad atom am eglurhad ar Mat. xxiv. 44. Gan eich bod oll yn dderbynwyr y WAWR, diau eich bod wedi darllen ac ystyried y cyfeiriad hwn atom, felly ni a gawn dreulio ein ychydig amser heddyw i geisio rhoddi eglurhad ar y gofyniadau hyn i *Un o Abergwaun.*

*Ifan Meredydd.*—Rw i wedi meddwl ticinach am y cwestiyne hin, ac yn timlo yn itha parod iddi hateb bob un y'm hinan.

*Abram Llwyd.*—Rown i'n gyfarwdd a'r pethe 'na o'r blân; dodd dim ishe i fi i bwndran dim o boiti nw *at all.*

*Athraw.*—Wel, *all right*, chwi gewch siarad yn eich tro; er mwyn trefn ni a ddechreuwn gyda thi, Gwilym. Fel yr ydym yn deall, mae yma dri gofyniad; y cyntaf yw, "Yr achlysur o lefariad y geiriau hyn?"

*Gwilym.*—Yr hyn a achlysurodd lefariad y geiriau hyn oedd gwaith y dysgyblion yn dangos i'r Iesu adeiladau y deml (adn. 1). Y mae Crist yn awr yn ymadael a'r deml am y tro diweddaf. Yr oedd yn flaenorol i hyn wedi mynegu ei anghymeradwyaeth mewn geiriau effeithiol i drefn addoliadol yr Iuddewon, wedi datguddio eu gwir gymeriad mewn iaith eglur, ac wedi protestio yn y modd mwyaf penderfynol y deuai barn Duw arnynt am eu hanffyddlondeb i'r ymddiriedaeth a roddwyd iddynt, ac fel canlyniad o hyn, y dinystrid hwy fel cenedl. Ei eiriau galarnadol uwchben Jerusalem, a'i ffarwel pruddaidd i'r deml, oedd ei eiriau cyhoeddus diweddaf (Mat. xxiii). "A'r Iesu a aeth allan ac a ymadawodd â'r deml," byth mwy i agor ei enau yn gyhoeddus o'i mewn. Ac ar ei ffordd i fynydd yr Olewydd, "eu ddysgyblion a ddaethant ato i ddangos iddo adeiladau y deml." Yr hyn oedd efe wedi fynegu yn barod am dynged y ddinas oedd yn eu cymell hwy yn awr i alw ei sylw at wychder a chadernid y deml. Adeilad gorwych iawn ydoedd. (Gwel Josephus.) Dywed Dr. Robinson fod meini yn aros yno hyd y dydd heddyw, un o ba rai a fesera 24 troedfedd o hyd, 6 tr. o led, a 3 tr. o uchder. Neddid y meini hyn yn y modd mwyaf cywrain a chaboledig. Pan dynodd y dysgyblion ei sylw at ardderchawgrwydd adeiladau y deml, cymerodd yntau fantais o'r achlysur i son am ei dinystr (ad. 3). Dywed y bydd ei dinystr yn sydyn ac annysgwyliadwy. Felly hefyd "y daw Mab y dyn" yn ei ail ddyfodiad.

*Athraw.*—Rhaid cydnabod fod y benod hon yn un ddyrys. Pa fodd bynag y deonglir hi, y mae yn amlwg fod *pedwar* dygwyddiad pwysig yn hanes y byd yn cael son am danynt yma, sef dinystr y deml a Jerusalem gan y Rhufeiniaid; ail-ddyfodiad Crist; diwedd y byd; a'r farn ddiweddaf. Achlysurwyd llefariad yr holl benod, fel yr wyt ti, Gwilym, yn dweyd. Awn yn awr at yr *ail* ofyniad. "Wrth bwy eu llefarwyd," Evan Meredydd?

*Ifan Meredydd.*—Wrth 'i ddisgiblon, wn i ddim faint o' nw, ma'n debig i bod nw'n *growd* fowr. Ma nw'n closo ato wrth fin'd mas o'r deml i ddangos iddo shwt le pert odd gyda nw i addoli.

*Dafydd.*—Barnu .wyf fi mai y deuddeg dysgybl sydd i olygu yma, ac i "un" o honynt—Pedr—dynu ei sylw at eu godidawgrwydd. Yna y maent yn myned gyda'u gilydd i fynydd yr Olewydd, ac yn eistedd i lawr yno. Yna mae Pedr, Iago, Ioan, ac Andreas yn ceisio ganddo ddweyd "Pa bryd y bydd y pethau hyn, a pha arwydd fydd pan fo y bethau hyn ar ddybenu—" Ni adewir maen ar faen ar nis datodir." Y maent yno ill *deuddeg* i wrando ar yr hyn a ganlynodd ymofyniad y *pedwar.*

*Athraw.*—Yr wyf yn cyd-olygu â thi, Dafydd, yn hollol, er y myn rhai iddo gymeryd y rhai hyn o'r neilldu. Nid wyf yn gweled yr un rheswm dros wneuthur gwahaniaeth yn yr achos dan sylw. Aethant dipyn o'r neilldu, fel na chawsent eu haflonyddu. Abram Llwyd, pa adeg sydd i ddeall wrth "ddyfodiad Mab y dyn?"

*Abram Llwyd.*—Dwad yn ngwinidogeth ange. Mi glwes i bregethwrs mowr yn cymryd 'r adnod hin yn destin i bregethu pregethe angladdol arni, rw i'n shwr 'i bod nw'n gwbod gystal a neb, ac heblaw hini, dyna marn i'm hinan am dani.

*Morgan.*—Rhagfynegu y mae Crist yma am ei ail ddyfodiad. Nid oes neb yn gwybod pa bryd y daw; gall ddyfod ar fyr amser, yn ol dim a wyr dynion, o ganlyniad dylasent fod ar eu gwyliadwriaeth, a cheisio bod bob amser yn barod, oblegid pan y daw, daw yn sydyn, ac efallai pan y byddis yn dysgwyl leiaf am dano, fel ag y daeth yn ninystr Jerusalem.

*Owen.*—Yr wyf finau yn meddwl mai at ei ail ddyfodiad y cyfeiria Crist yma, oblegid am "y dydd hwnw a'r awr nis gwyr neb," y mae yn llefaru (adn. 36). Er fod yr amser yn anhysbys, eto daw fel yn adeg y diluw yn nyddiau Noah (adn. 37), yn *sydyn* ac yn *ddystaw* fel lleidr yn y nos (ad. 43). Nid wyf yn gweled, er hyny, un anmhriodoldeb neillduol i bregethwyr gymeryd yr adnod hon yn destyn pregethau angladdol, yn gymaint ag mai yn y cymeriad y ca angau ni y byddwn byth; felly y mae angau i unigolion yn awr yr hyn fydd dyfodiad Crist yn bersonol i'r rhai a fyddant byw y dyddiau hyny.

*Athraw.*—Ie, ail ddyfodiad Crist sydd i'w olygu yn ddiameu, ac y mae yn ddoeth a phriodol i'w rhybuddio i fod yn barod, gan nas gwyddom pa bryd y daw, a chan nas gellir cyfnewid ein cyflwr wedi yr ymwel angau â ni, y mae o bwys tragywyddol ein bod yn barod pan y daw yntau.

## HANESION CARTREFOL

*Drifton, Pa.*—Ar ddydd Sabboth, y 27ain o Ionawr, cynaliwyd cyfarfodydd pregethu yma i'r dyben o gorphori eglwys newydd Fedyddiedig, ac ordeinio diacon; pan y pregethwyd gan y Parchedigion canlynol: Yn y boreu, am 10, pregethodd y Parch. A. J. Morton ar 1 Tim. iii. 8, 9, a'r Parch. D. Thomas, Lansford, ar Act. ii. 47. Pregeth i'r eglwys, ar ei dyledswyddau, yn fwyaf neillduol, oedd hon. Ar ol y pregethu offrymwyd yr urdd-weddi pan y Parch. A. J. Morton, gyda gosodiad dwylaw y gweinidogion gwyddfodol.

Am 2, rhoddodd ein brodyr yr Annibynwyr eu hysgol i fyny er rhoddi mantais i bawb a ewyllysient, i wrando ar y brodyr canlynol yn pregethu, sef y Parch. Benj. Nicholas oddiar 1 Petr ii. 9, a'r Parch. A. J. Morton ar Ioan iii. 15, 16, yn Saesoneg.

Am 6, pregethodd y Parch. A. J. Morton yn Seisonig ar Diar. xxiii. 23, a'r Parch. D. Thomas, Lansford, oddiar Esa. i. 18. Cawsom gyfarfodydd da neillduol, y brodyr yn pregethu yn rymus a dylanwadol, a'r Arglwydd yn eu cynorthwyo. Yr ydym yn gobeithio y bydd ffrwyth yn deilliaw oddiwrth ein cyfarfodydd bendigedig.—*Daniel H. Davies, Ysg.*

*Carbondale, Pa.*—*Ordeiniad.*—Gan fod yr eglwys Fedyddiedig Gymreig yma mewn angen am ddiacon, yn absenoldeb yr hen frawd ag oedd yn arfer

bod yn ddiacon, edrychodd am frawd cymwys, a chafwyd ef yn mherson y brawd ieuanc J. W. Davies; ac ar yr 20fed o Ionawr, ordeiniwyd ef yn y dull arferol gan y Parch. D. Rhoslyn Davies, y gweinidog achlysurol.—*Brawd.*

*Pottsville, Pa.*—Mr. Gol.: Os yw amgylchiadau tymorol yn gyfyng yn yr ardal hon yn bresenol, eto mae yn dda genyf allu dweyd fod achos y Gwaredwr yn myned rhagddo, a phawb a phobpeth yn dywedyd mai'r Arglwydd sydd ben; a gallwyf ddyweyd gyda llawenydd, oddiar pan ordeiniwyd y brawd Thomas P. Morgans yn weinidog arnom tua blwyddyn yn ol, fod eglwys Pottsville wedi gwisgo agwedd arall, sef trwy ddeffroi o'i chysgadrwydd, a phob un yn dweyd, Awn rhagom, gan wneuthur daioni.

Yma dymunwyf ddweyd gair am ein gweinidog. Mae yn wybyddus i lawer fod gwrthddrych ein hysgrif wedi bod yn dra llwyddianus, pan ystyriwn yr anfanteision a gafodd, am ei fod yn weithiwr tlawd, a llawer un yn taflu rhwystrau ar ei ffordd, ond eto trwy ei ymdrechion ei hun a chyfeillgarwch eraill, llwyddodd i fyned i Lewisburgh, i'r Athrofa. Wedi astudiaeth diflino daeth allan yn llwyddianus gyda'r gradd o *Bachelor of Arts*, er anrhydedd iddo ei hun a i gydgenedl; ac yn unol a galwad eglwysi Cymreig Pottsville a St. Clairs, ordeiniwyd ef yn weinidog rheolaidd i weinidogaethu yn y ddwy eglwys; ac nid rhyw *Jack* o bregethwr yw ef. Er pan ordeiniwyd y brawd hyd yn awr, mae wedi bod yn hynod o lwyddianus yn ei weinidogaeth efengylaidd, Duw yn bendithio ei lafur, a llawer yn gorfod gwaeddi, "Ni a awn gyda chwi," &c., ac yr ydym wedi cael gweled llawer yn cael eu claddu yn y bedydd yn ol rheol bendant y Testament Newydd. Yn ystod y ddau fis diweddaf cawsom yr hyfrydwch o weled 17 yn troi eu gwynebau tua Seion, saith trwy fedydd, tri trwy lythyrau, ac adferwyd saith o dir gwrthgiliad. Er fod Duw yn ei drefn fawr ei hun wedi galw rhai o'n brodyr a'n chwiorydd yn ddiweddar ato ei hun, mae yn llawenydd genym ei fod, yn ol ei addewid, wedi galw eraill yn eu lle. Bydded i'r eglwys barhau i weddio am i Dduw fod yn amlwg yn ein plith. Mae rhai eto yn sefyll am gael eu bedyddio.—*Un o'u Plith.*

*Pigeon Run, O.—Erledigaeth.*—Mae yn hysbys i ddarllenwyr y WAWR am safle ddaearyddol y lle hwn, felly ni sylwaf ar hyny yn awr. Ionawr 27, 1878, oedd dydd corfforiad eglwys y Bedyddwyr yn y lle uchod. Trefn y cyfarfodydd oedd fel y canlyn: Am 9 o'r gloch y boreu, yn yr ysgoldy dyddiol, dechreuwyd yn y dull arferol gan y Parch. Thos. T. Matthews, Hubbard, O., a thraddodwyd pregeth ar Fedydd, gan y Parch. James F. Richards, Church Hill, O. Wedi terfynu y cyfarfod, aethpwyd yn dorf fawr at lan y dwfr, yn mha un y gweinyddwyd yr ordinhad o fedydd am y tro cyntaf yn Pigeon Run. Darllenwyd a gweddïwyd gan y Parch. Thos. T. Matthews, a gweinyddwyd yr ordinhad gan James F. Richards, ar chwech o bersonau. Ymddygodd pawb yn weddus tra y paräodd y gwasanaeth. Am 10½, yn yr ysgoldy, dechreuwyd gan Thos. T. Matthews, yna aethpwyd at waith y cyfarfod, sef corphori. Rhoddwyd cyffes ffydd y rhai a ddymunent gael eu corphori yn eglwys, gan y brawd Morgan James, gynt o Plymouth, Pa. Yr oedd y cyffes ffydd yn fyr, cynwysfawr, ac orthodoxaidd. Yna corphorwyd hwy yn eglwys, yn y dull arferol. Rhoddwyd iddynt ddeheulaw cymdeithas gan James F Richards, ac offrymwyd y weddi gan Thos. T. Matthews. Yr oeddent yn wyth mewn rhif. Rhoddwyd siars i'r ddau ddiacon, Morgan James a David Griffiths, gynt o Kingston, Pa., gan Thomas T. Matthews. Derbyniwyd wyth o wrthgilwyr, a chwech trwy fedydd. Rhif presenol yr eglwys yw 22. Yna gweinyddwyd yr ordinhad o swper yr Arglwydd. Pregethodd Thos. T. Matthews ar Natur Eglwys, yn alluog iawn. Cynaliwyd cyfarfod am 2 o'r gloch yn addoldy yr *United Brethren.* Pregethodd Richards yn Saesneg, a Matthews yn Gymraeg. Cynaliwyd cyfarfod 6

o'r gloch yn nhy y cyfaill caredig, David Clark, gynt o Hubbard. Pregethodd Jas. F. Richards a Thos. M. Matthews. Arosodd dau o'r newydd yn y gyfeillech grefyddol. Yr ydym yn dra sicr y byddwn yn rhifo 30 y Sul cymundeb nesaf. Bydd y brawd James F. Richards yn dyfod atom yn fisol. Yr Arglwydd a fendithio ei waith yn helaeth yn y lle hwn.

*Yr Erledigaeth.*—Mae hyn yn dwyn i'm cof am Roger Williams, yr hwn a gafodd erledigaeth lem, fel Bedyddiwr, oddiar ddwylaw yr un enwad crefyddol. Rhoddwyd yr ysgoldy yn lle i gynal cyfarfodydd crefyddol i'r genedl Gymreig, am amser annhenodol. Gan i'r "Undebwyr" (?) wrthod y lle i wasanaeth y Bedyddwyr, Sul y corphoriad, gwnaed cais at y *Directors*, y rhai yn union a roddasant ganiatad i'r Bedyddwyr ei gael, a gorchymyn i'r *Undebwyr* i roddi yr agoriad iddynt. Gwrthodasant hyn, er fod dau o'r tri *Directors* wedi gorchymyn—yr oedd y trydydd yn *Gymro*, yn aelod a diacon gyda'r Annibynwyr, yn gwrthod. Gorfu i ni aros allan yn y gwlaw, heb gael mynedfa i'r ysgoldy, am amser maith, hyd nes i'r *United Brethren* roddi fyny eu gwasanaeth, i ni gael myned i fewn i'w haddoldy. Nid yr uchod yw yr oll o'r ffeithiau; y mae rhagor eto i gael eu dangos, megys cam-ddarluniad o'r Bedyddwyr, gweddio am felldith Duw ar J. F. Richards, &c.—*Un Oedd Yno.*

*Church Hill, O.*—Mae yr eglwys hon yn dra llwyddianus, a'r addoldy yn orlawn bob Sabboth. Mae genym rai o flaen yr eglwys, ac y mae brawdgarwch a chariad yn blodeuo fel rhosynau heirdd. Mae ein hysgolion Sul yn rhifo 225. Mae David G. Griffiths, ein harolygwr, "*the right man in the right place.*"—*Iota.*

*Dennison, neu Sherman, O.*—Mr. Gol.: Mae genym i'ch hysbysu fod Seion yn esgor ar ei meibion a'i merched yn y lle yma; ond hyderwn mai blaenffrwyth o gynhauaf toreithiog ydym *wedi* weled. Brydnawn dydd Sabboth, Chwef. 17, cawsom y fraint o weled pedwar yn cael eu bedyddio ar broffes o'u ffydd yn Mab Duw, gan y Parch. J. T. Jones, Thomastown, O., ac y mae dwy arall yma yn aros am yr un fraint. Cawsom y fraint, hwyr y dydd, o wrando pregeth gan Mr. Jones, yn Gymraeg, oddiwrth Ioan xvii. 1. Wedi y bregeth canwyd yr hen emyn hyfryd hwn,

"Cofio'r wyf yr awr ryfeddol," &c.,

ar yr hen dôn anwyl a swynol "Eifionydd." Cawsom ddiwrnod wrth ein bodd, ac arwyddion fod y Meistr mawr yn agos atom.—*W. J. Davies.*

*Providence, Pa.*—Efallai na fydd gair o'n hanes fel eglwys Fedyddiedig Gymreig yn y lle hwn yn annerbyniol gan ddarllenwyr y WAWR, yn enwedig y rhai sy'n caru darllen am lwyddiant a chynydd y deyrnas ysbrydol. Y mae adfywiad crefyddol grymus mewn gweithrediad yn yr eglwys dan fugeiliaeth y Parch. J. P. Harris (Ieuan Ddu). Nid oes ond rhyw ddau fis oddiar pan pan symudodd y brawd i'n plith o Nanticoke. Erbyn hyn y mae pethau yn yr ystyr eglwysig yn gwisgo agweddiad lewyrchus iawn yma. Y mae wedi dyfod yn wanwyn ysbrydol arnom—bywyd o farw—dyffryn yr esgyrn sychion yn llawn bywyd, a llais gorfoledd a chân yn Seion, am fod "y gwr a'r gwr wedi ei eni ynddi, a'r Goruchaf ei hun yn ei sicrhau hi." Yr oedd Sul y 17eg o Chwefror yn ddydd mawr yr wyl genym—presenoldeb Jehofah gyda ni, a'i wênau arnom, a ninau yn gwledda ar sylwedd oen y pasg, yr hwn a ddaeth drwy ddwfr a gwaed. Am 2 o'r gloch y prydnawn gweinyddwyd yr ordinhad o fedydd gan ein llafurus weinidog, pryd y gwelwyd 27 o ewyllysgaryddion yn cydnabod awdurdod Pen yr eglwys mewn ufudd-dod iddo, yn codi y groes i'w ganlyn, yn ngwydd torf luosog o dystion. Ychwanegwyd at rif yr eglwys y mis blaenorol, drwy fedydd, dychweliad, &c., wyth o bersonau, fel ag y mae'r frawdoliaeth wedi agos dyblu eu rhifedi yn y ddau fis diweddaf, "O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni." Hefyd mae yr Ysgol Sabbothol, dan arolygiaeth y brawd gweithgar Ed. D.

Jones, arweinydd y canu, yn flodeuog a llewyrchus, ac wedi mwy na dyblu, os nid treblu rhif ei haelodau yn yr un cyfwng. Mae'r wael yn dod yn genedl gref, canys yr Arglwydd sydd yn prysuro hyn yn ei amser drwy y moddion a'r offerynau o'i ddewisiad ei hun. Yr ydym newydd helaethu ein haddoldy drwy adeiladu *vestry room* eang a chyfleus, ac wedi gosod bedyddfa ardderchog a gwasanaethgar yn y capel, lle y bedyddiwyd y 27 yn "ddiesgeulus" a deheuig gan ein parchus weinidog, yr hwn a edmygir genym fel gwas ffyddlon i Iesu Grist. Mae ein hanwyl frawd yn adnewyddu ei nerth fel yr eryr; ac nid rhyfedd hyn, gan fod tair o'i ferched yn mhlith y bedyddiedigion, yn gwneyd proffes o'r Arglwydd Iesu. Hir oes iddo, a llwyddiant mawr i fedyddio llawer eto, ac i adeiladu muriau Jerusalem.—*John J. Morris.*

*Donation.*—Cefais *ddonation* yn mis Rhagfyr diweddaf, yn y Coed, ger Berlin, Wis., yr hon a gynaliwyd yn nhy yr hen frawd Thos. Thomas. Dangosodd ychydig frodyr a chwiorydd ei caredigrwydd yn fawr dan yr amgylchiadau, yr amser caled, &c. Gwnaed i fyny y swm o $25. Dymunaf gongl fechan o'r WAWR i'w cydnabod yn ddiolchgar am eu caredigrwydd. Cawsom amser lled ddifyrus ar y pryd. Cawsom araeth led bwrpasol gan yr hen bererin Benjamin James ar yr achlysur; hefyd gan y brawd Wm. T. Williams yn hynod o darawiadol, yn Saesneg. Dilynwyd ef gan ei gefnder, William Thomas, Ysw., cyfreithiwr yn Sioux Rapids, Clay Co., Iowa. Mae y frawdoliaeth yma wedi dangos sel a gweithgarwch yn codi ty cysurus i addoli eu Duw, a thalu am dano bob *cent.* Offrymodd y gweddwon eu dwy hatling, ac yr wyf yn credu fod Duw yn dangos ei foddlonrwydd i'w gwaith; ac y mae fy ngweddi i a'r frawdoliaeth ar ein Tad nefol ddangos mwy eto, yn achubiaeth yr ieuenctyd ac eraill ydynt yn mynych wrando yma. Mae yr Ysgol Sabbothol yn llewyrchus iawn yma, a'r cyrddau eraill yn lled dda.

Yr eiddoch yn gywir,
*Robert D. Evans.*

## *PRIODWYD—*

Rhagfyr 24, 1877, yn Brier Hill, O., Mr. Jeremiah R. Wooley a Miss Mary M. Kain, ill dau o Youngstown.

---

## *BU FARW—*

### MR. THOMAS GIBBON.

Yn ei gartref, yn Wilkesbarre, Pa., Mr. Thomas Gibbon, yn 81 mlwydd oed. Cafodd gystudd hir a blin, ond aeth i orphwys ar foreu Sabboth, Rhag. 23, 1877. Gweinyddwyd yn yr angladd gan weinidog presenol yr eglwys, a chan y cyn-weinidog, y Parch. Theophilus Jones. Bedyddiwyd y brawd Gibbon tua phedair blynedd yn ol, pan yn agos i 76 oed. Yr Arglwydd a fyddo yn dirion wrth ei weddw amddifad. E.

### Y DIACON JOHN LEWIS, FREEDOM, CATTARAUGUS, N. Y.

Er fod gwrthddrych y cofiant hwn yn dra adnabyddus yn mhlith y Bedyddwyr Cymreig, yn enwedig yn y wlad hon, diau y byddai cipdrem ar hanes ei fywyd yn dderbyniol gan ddarllenwyr y WAWR.

EI ENEDIGAETH, &C.—Ganwyd ef yn Troedrhiw-Cwrt, Gogerddan, Sir Aberteifi, D. C., ar y 15fed o Fawrth, yn y flwyddyn 1800. Hanodd o deulu tlawd o ran pethau y byd hwn, ond tra chyfrifol, yn neillduol felly o du ei fam. Perthynai ei dad i'r Cylchfilwyr (*Militia*) pan aned ef, ac yr oedd gyda hwynt pan aeth y Ffrancod i Abergwaun, a pharhaodd gyda hwynt hyd frwydr fyth gofiadwy Waterloo, pryd y cafodd ei ryddhau. O herwydd hyn cymerwyd Lewis gan ffermwr yn y gwasanaeth, pan yn dra ieuanc, i gyflawni negeseuau bychain dros y teulu; felly, ni chafodd ond ychydig iawn o fanteision addysgiadol yn moreu ei oes. Pan yn hogyn, arferai fyned gyda'i nain i'r addoliad i gapel y T. C.

EI YMUNIAD A CHREFYDD.—Cafodd cyngorion dwys ei nain, a'i fynychiad o foddion gras, ddylanwad mawr ar ei feddwl pan yn ieuanc. Ond pan tua 14 oed aeth yn lled wyllt ac anystyriol am ddwy flynedd. "Ond trwy drugaredd (ebe fe), ni chefais lonydd yn y cyflwr hwnw. Daeth cyngorion fy nain i'm cof, a pharodd rhuadau cydwybod ddeffroedig i mi adael fy ffyrdd drygionus." Yr oedd ei feddwl y pryd hwnw yn glymedig iawn wrth y T. C., gan fod ei berthynasau o du ei fam yn aelodau selog o'r enwad a nodwyd, a'i dad yn Eglwyswr brwdfrydig, a'r oll yn wrthwynebol iawn i'r Bedyddwyr. Ond er y cwbl penderfynodd ef chwilio y Testament Newydd, a barnu drosto ei hun. Bu am ddwy flynedd o dan argyhoeddiadau cyn gwneyd proffes gyhoeddus o Fab Duw. Yn y cyfnod yma yr oedd yn hynod gythryblus gyda golwg ar ei gyflwr, hyd nes iddo glywed pregeth ar y geir-

iau, "Pa hyd y cloffwch rhwng dau feddwl?" A phenderfynodd y bregeth hono y ddadl yn ei feddwl yntau.

Bedyddiwyd ef pan yn 17 oed, gan y diweddar John James, y pryd hwnw o Benrhyn Coch; wedi hyny Pen y bont ar Ogwy, Morganwg. Felly yn eglwys Penrhyn Coch, Ceredigion y dechreuodd ein brawd ei yrfa grefyddol.

EI SYMUDIADAU I ABERYSTWYTH, LLANIDLOES, A LLUNDAIN, AC YN OL I'R LLE BLAENAF.—Yr ydym yn deall iddo symud o Penrhyn Coch yn fuan ar ol ei fedyddiad, i Aberystwyth, ac ymaelododd yno yn eglwys y Bedyddwyr, yr hon oedd y pryd hwnw dan ofal gweinidogaethol y diweddar Barch. William Evans. Cyfeiriai ein brawd yn aml gyda pharch neillduol at Wm. Evans, fel un o'r gweinidogion ffyddlonaf a mwyaf llafurus dros achos ei Geidwad a welodd ef yn ei fywyd. Ymddengys fod y brawd Lewis mewn parch mawr gan yr eglwys yn Aberystwyth, canys cawn iddo yr haf canlynol ar ol ei symudiad i'w plith gael ei neillduo yn genad dros yr eglwys i'r Gymanfa a gynaliwyd yn Bwlch-y-gwynt. Ni fu ei arosiad yn Aberystwyth ond byr, sef dwy flynedd. Symudodd oddiyno i Lanidloes, Sir Drefaldwyn, G. C. Ymwasgodd at y frawdoliaeth grefyddol yno. Y gweinidog oedd y diweddar Abel Jones, Merthyr Tydfil wedi hyny. Bu ein brawd yn lletya am flwyddyn gyda Mr. Jones, a buont yn gyfeillion mynwesol hyd y diwedd. Byddai brodyr o Lanidloes yr amser hwnw yn myned i gadw cyfarfodydd gweddio i Tanlan a Staylittle, ac yn eu plith yr oedd ein brawd mewn sêl a brwdfrydedd. Yn mhen dwy flynedd aeth i Lundain. Cyfarfyddodd yno â'r Parch. Evan Evans, gynt o'r Rhos, G. C. Yr oedd Mr. Evans y pryd hwnw yn dechreu achos i'r Bedyddwyr Cymreig mewn ystafell fechan, a bu yn llwyddianus iawn yn ei amcan. Dichon fod achos wedi bod gan y Bedyddwyr Cymreig yn y brif ddinas cyn yr amser a nodir yma, ond yr oedd ar yr adeg hono yn isel iawn, os nad wedi diflanu yn llwyr. Cafodd ein gwrthddrych y fraint o weled yr achos yn llwyddo yn fawr dan weinidogaeth Mr. E., ac adeiladwyd capel yno trwy lafur caled ac ymdrech diflino y gweinidog llafurus hwn. Cawn i Lewis ymadael o Lundain yn mhen ychydig flynyddau, a dychwelodd yn ol i Aberystwyth, lle y cychwynodd fusnes ar ei law neu ei gyfrifoldeb ei hun, a gwenodd Rhagluniaeth arno yn fawr, fel y bu yn dra llwyddianus yn ei alwedigaeth am rai blynyddau. Y pryd hwnw ymunoddd mewn priodas â Harriet Jones, Marnarthan, ac yn ei pherson hi cafodd un o'r gwragedd goreu, a buont yn dra dedwydd gyda'u gilydd am 42 o flynyddau. Cafodd hi ei symud i fyd arall amryw flynyddau o'i flaen ef. Tra yn aros yn Aberystwyth a'r cylchoedd, bu Lewis, ac ychydig frodyr ffyddlon eraill, yn offerynau i godi dau gapel i'r Bedyddwyr yn Moriah. Mae yno eglwys lewyrchus yn bresenol.

YMFUDIAD MR. LEWIS I AMERICA.—Yn y flwyddyn 1834, cawn iddo ef a'i deulu ddyfod drosodd i'r wlad hon. Ymsefydlodd ar ei ddyfodiad yma yn Utica, N. Y. Ymunodd â'r eglwys Fedyddiedig Gymreig yno, yr hon oedd o dan ofal gweinidogaethol W. H. Thomas. Cymellwyd ef yn fuan i gymeryd y swydd ddiaconaidd, eithr gwrthododd am beth amser. Ond heb fod yn hir cydymffurfiodd â'u cais. Yn fuan ar ol hyn adeiladwyd addoldy gan yr eglwys yno ar Broadway, a chasglodd ein brawd Lewis 1,400 o ddoleri ato o'r tu allan i'r eglwys. Yn awr disgynodd baich gofal yr eglwys hon yn gwbl arno ef, am fod y ddau ddiacon arall, sef W. James a T. Roberts yn byw tu allan i'r dref. Er fod pethau yn y cyflwr hwn, aeth pob peth yn mlaen yn ddymunol am 12 mlynedd. Yn y fl. 1845, symudodd ein brawd i Freedom, Cattaraugus, N. Y., lle y gwnaeth ei gartref hyd angau.

Wedi ymdroi gyda'n gwrthddrych yn ei wahanol symudiadau yn y byd, ceisiwn yn awr roddi darluniad byr o hono yn ei nodweddion arbenigol fel DYN, CRISTION, A SWYDDOG EGLWYSIG.

Fel DYN meddai yn yr ystyr allanol ar gorph byr, cryf, a chadarn—llygaid gweddol fawr a threiddgar—talcen llydan, heb fod yn uchel—aeliau mawrion, yn arddangos penderfyniad—gwyneb llawn, ac o edrychiad, ar yr olwg gyntaf yn hytrach yn sarug—a'i ysgogiadau naturiol yn gyflym. Yr oedd ganddo gyrhaeddiadau meddyliol cryfion a bywiog. Yr oedd yn ddarllenwr mawr, yn ddadleuwr brwd, ac yn hoff iawn o gymdeithas. Bu o wasanaeth mawr i'w gydgenedl yn y lle hwn. Efe ydoedd cyfarwyddwr bron bob Cymro ar ei ddyfodiad o Gymru yma. Yr oedd yn lled hyddysg mewn gwleidyddiaeth, a pharhaodd yn *Werinwr* selog hyd ei ddyddiau olaf. Daeth yn adnabyddus â rhai o brif *boliticians* y wlad, a gweithiodd ei hun i sylw, fel y cafodd rai swyddi o dan y Llywodraeth Dalaethol yn Albany a New York. Fel cymydog yr oedd yn hynaws a charedig, a pharod i wneyd cymwynas i arall.

EI NODWEDDION FEL CRISTION.—Nid ydym yn honi fod ein brawd ymadawedig heb ei ddiffygion fel eraill o blant Adda; na, yr oedd ganddo ef, fel pawb o honom ei wendidau, a diau nad oeddynt yn poeni neb gymaint ag ef ei hun. Yr oedd ynddo ragoriaethau gwerth eu cofnodi. Nodwn rai o honynt: 1. Yr oedd yn nodedig am ei ffyddlondeb yn y cyfarfodydd. Nid oedd byth un cwrdd o unrhyw natur, yn pasio heb fod Lewis, os yn iach, yn bresenol. Byddai bob amser yn ffyddlon i'w ymrwymiad i beidio esgeuluso ei gydgynulliad. Nid dyfod rhywbryd i'r cwrdd a wnelai, ond byddai yno yn ddieithriad yn yr amser priodol. Nid oedd dim yn gasach ganddo, na gweled dynion yn dod yn ddiweddar i'r cyfarfodydd. Y mae efe, "er wedi marw," yn llefaru yn uchel yn ei esiampl wrth lawer proffeswr diog a diymdrech am fod yn ffyddlon a phrydlon yn

"moddion gras." 2. Yr oedd yn haelionus. Byddai gyda'r blaenaf, yn ol ei allu, yn ei gyfraniadau at achos crefydd. Yr oedd yn fawr ei sêl dros y Feibl Gymdeithas a'r Genadaeth, a gwnaeth ei ran drostynt. Ar ei dir ef y codwyd y capel cyntaf yma, a chasglodd $140 ato. Ymrwymodd i gasglu *mil o ddoleri* at y capel presenol, a gwnaeth hyny. Teithiodd lawer trwy N. York, Pennsylvania, ac Ohio, i'r perwyl hwn. 3. Ei ysbryd maddeugar. Fel y mae dynion o dymerau gwyllt yn rhai hawdd a pharod i faddeu, felly yr oedd yntau. Credwyf y gallai gydymffurfio yn rhwydd â'r gorchymyn, "Na fachluded yr haul ar eich digofaint chwi." Cyfranogai yn helaeth o ysbryd ei Geidwad yn hyn. O! am fwy o'r ysbryd hwn yn ein heglwysi.

FEL DIACON.—Gellir dyweyd ei fod i raddau pell, yn dod i fyny â gofynion ei swydd. Llanwodd y swydd bwysig hon am ddeugain mlynedd. Dywedai ei feddwl bob amser yn onest a didderbynwyneb, gan nad beth fyddai y canlyniadau. Deuai a ddelai. yr oedd yn rhwym o draethu ei farn. "Credais, am hyny y lleferais," oedd ei arwyddair ef o dan bob amgylchiad. Y gair cyntaf fyddai y garwaf gydag ef. Ffieiddiai weniaith â'i holl enaid, a tharanai ei *anathema* uwch ben y cyfryw a'i arferai yn ddiarbed.

Yr oedd ei ofal yn fawr am y claf a'r methedig, ac hefyd am y gweinidog. Yr oedd am gael digon i'w gynal yn gysurus, fel na fyddai rhaid iddo ymboeni yn ormodol gydag helyntion y byd hwn.

Ond er mor ddefnyddiol oedd y diacon Lewis, gydag achos ei Waredwr yma, daeth awr ei ymddatodiad i ben. Cymerodd hyn le Gorphenaf 24, 1877, yn y 78ain flwyddyn o'i oedran. Gadawodd dri o blant ac amryw wyrion i alaru ar ei ol. Mae un mab iddo, sef W. Lewis, Ysw., yn *Stock Agent* yn Buffalo; a mab arall, sef John Lewis, Ysw., yn byw yn Green Point, N. Y., yr hwn hefyd sydd yn ddiacon parchus yn yr eglwys Fedyddiedig yno. Ac y mae y llall, sef Mrs. J. P. Williams, yn un o'r aelodau ffyddlonaf yn eglwys Freedom.

Teimlwn yn chwithig, a gwelir eisiau ein hen frawd anwyl ymadawedig; ond credwn iddo ef gyfnewid er gwell. Bu farw a'i bwys ar ei Anwylyd, a gadawodd wlad y galar am wlad hyfryd yr aur delynau. Cafodd oes faith i wasanaethu ei Waredwr a'i wlad fabwysiedig. Yn ei afiechyd olaf, nid oedd ynddo yr awydd lleiaf am adferiad. Ymawyddai i fyned at Iesu a'r gwaredigion perffeithiedig, a chafodd ei ddymuniad. Yr achos o'i farwolaeth ydoedd y *dysentery*. Ni fu ond ychydig ddyddiau yn glaf, cyn i'r wreichionen anfarwol gael ei rhyddhau i fyned i hinsawdd bur y wlad fry. Claddwyd ef yn barchus yn mynwent Ebenezer, yn ymyl gweddillion ei anwyl briod. Gweinyddwyd ar yr achlysur (yn absenoldeb yr ysgrifenydd) gan Mr. Kneeland, gweinidog y Bedyddwyr Americanaidd, yn Sandusky. Caffed ein brawd hûn dawel hyd foreu udganiad yr udgorn diweddaf, pan y ca adgyfodi ar wedd anfarwol a gogoneddus ei Brynwr. W. M. EVANS.

---

## Y GONGL GENADOL.

Y GENADAETH AT Y SHUNS gaiff fod dan ein sylw yn y llith hwn. EU TIRIOGAETH.—Mae y bobl hyn yn cael eu nodi y waith gyntaf yn hanes y Genadaeth mewn llythyr dyddiedig yn Ava, Chwefror 15, 1834, yn yr hwn y dywedwyd y byddai i genadwr gael maes eang i lafurio yn mhlith y Shuns. Eu preswylfa yw gogledd ddwyrain Burmah, yn rhandir Toungoo, ac yn bellach mewn rhanbarth a elwid gan y cenadon yn Shunland, yn ymylu ar China Orllewinol. Dywed Dr. Malcom fod tiriogaeth y Shuns yn naw can' milldir o hyd, a phedwar cant o led yn y man lletaf, a'u poblogaeth tua saith miliwn. Mae amryw lwythau o honynt, a'u hiaith yn naturiol yn amrywio. Mae llawer o'r bobl hyn yn fasnachwyr teithiol; ac fel maent yn cario eu nwyddau i ddinasoedd mawrion Burmah, dychwelant nid yn unig yn llwythog o'r pethau sydd angen arnynt, ond hefyd gyda mwy neu lai o ddulliau, llenyddiaeth, a chrefydd y bobl yr ymwelant â hwy. Addolwyr Buddha, gan mwyaf, yw y bobl hyn. Maent wedi hen feddianu llenyddiaeth o'u heiddo eu hunain, a'u llyfrau yn lluosog, nid yn unig gyda'u dysgawdwyr, ond hefyd gyda y dosbarth mwyaf diwylliedig o'r bobl; ac mae y mwyafrif o'r dynion yn medru darllen.

DECHREUAD Y GENADAETH.—Moses H. Bixby oedd y cenadwr cyntaf a apwyntiwyd at y Shuns. Yr oedd Mr. Bixby wedi bod cyn hyn yn genadwr at y Burmans, a'r Talings. Apwyntiwyd ef yn 1851. Hwyliodd o Boston yn Ion., 1853. Dychwelodd i'r Unol Dalaethau o herwydd afiechyd Mrs. Bixby, ac ymsefydlodd yn y weinidogaeth yn Providence, R. I. Ail benodwyd ef yn genadwr at y Shuns yn 1860. Cyrhaeddodd Rangoon yn Mawrth, 1861, a chychwynodd yn ddioed i Toungoo. Ychydig cyn i Mr. Bixby gyrhaedd yno, torodd terfysg allan yn ngwalad y Shuns, a daeth deng mil o'r bobl hyn yn un dyrfa i gymydogaeth Toungoo. Rhoddodd y *British Commissioner* gymelliad iddynt i sefydlu lle y bu hen dref, tua saith milldir o Toungoo. Fel hyn fe ddygwyd y bobl at y cenadwr, yn lle bod y cenadwr yn myned at y bobl; ac yn lle ei fod yn gorfod myned at ei waith a theithio trwy diriogaeth llwythau gelyniaethus, a thrigianu yn mhith dynion creulon, cafodd ddechreu ar ei waith o bregethu yr efengyl ar diriogaeth a than nawdd Llywodraeth Prydain Fawr.

Y BEDYDD CYNTAF A GYMERODD LE.—Nid Shun ond Burman, a menyw oedd hono, a fedyddiwyd gyntaf. (Yr un fath ag y dechreuodd

gydag Apostol mawr y cenedloedd yn Philippi, y cafodd yr efengyl gartref gyntaf yn Ewrop, a menyw oedd y gyntaf a fedyddiwyd.) Yr ail oedd gwryw o Burmah. Cyn fod y Genadaeth wedi cwbl ddechreu, ymwelwyd â'r Shuns gan y frech wen yn 1861, fel y bu pum' cant o'r bobl feirw mewn dau fis, fel pe buasai Duw yn llefaru wrthynt mewn barn, er parotoi eu meddyliau i dderbyn y newydd da, fod trugaredd i'r euog trwy y groes. Yn 1862, pedwar mis ar ol yr ymweliad uchod, dechreuwyd addoliad cyhoeddus, ac agorwyd Ysgol Sabbothol. Yn mis Medi, o'r un flwyddyn, ffurfiwyd eglwys yn cynwys naw aelod, o'r rhai yr oedd mab i un o'r *chiefs*. Yn Ionawr, 1863, agorwyd capel i'r Shuns; yr un pryd bedyddiwyd dwy fenyw. Y rhai hyn oedd y cyntaf o fenywod y Shuns a fedyddiwyd. Bedyddiwyd saith yn Toungoo ddechreu y flwyddyn; yr oedd pump o honynt yn Shuns. Yn y fl. 1863 yr oedd yr eglwys yn rhifo 30. Yr oedd yn perthyn i'r Genadaeth y pryd hwn 41 mewn cymundeb; dwy ysgol, a 60 o ysgolheigion; ty cenadol wedi ei godi; sillebydd a geirlyfr wedi eu parotoi i'r wasg, a phedwar *tract* Cristionogol wedi eu cyfieithu. Yn mhen dwy flynedd arall, yr oedd tair eglwys, ac 102 o aelodau; 10 capel; 10 ysgol; 10 athraw, a 200 yn yr ysgolion; ac yr oedd un ysgol yn arbenig i barotoi dynion i fod yn athrawon a phregethwyr. Yr oedd y rhan fwyaf o lafur Mr. Bixby wedi bod gyda y Karens a'r Burmans, yn y mynyddoedd; ond prif amcan Mr. Bixby oedd ymwthio yn y blaen at ganolbarth y Shunland, ac ymylon China Orllewinol. Tri chan' milldir oedd y pellder, ac un rhan o dair o'r ffordd wedi ei henill yn barod. Adgyfnerthwyd y genadaeth hon trwy ychwanegu Mr. a Mrs. Cushing, a Miss Gage ati. Yn y flwyddyn flaenorol yr oedd Mr. Bixby wedi cymeryd teithiau i blith llwythau anwaraidd y Sankoos, fel yr agorodd ddrws eang i lafurio ynddo. Yr oedd trigfa y bobl hyn yn agos i un llwyth o'r Shuns, fel yr oedd cael mynedfa at y naill yn cynwys mynedfa at y llall hefyd. Tra yr oedd Mr Bixby yn ymdroi yn mhlith y bobl hyn, daeth i gyffyrddiad â chanoedd o Shuns, a chafodd gyfleustra i bregethu iddynt efengyl Crist. Bu yn gynorthwy mawr i Mr. Bixby ei fod wedi cael *passes* gan frenin Burmah a brenin Siam i deithio yn ddiogel trwy bob rhan o'r wlad, yn arbenig yn Shunland. Yr oedd y *passes* hyn wedi cael eu llawnodi gan eu Mawrhydi, a'u selio â sêl y llywodraeth, yr hyn oedd yn eu diogelu yn mhob man. Yn 1866 bedyddiodd chwech, tri o ba rai oeddent Shuns. Yr oedd dwy o'r rhai hyn yn ferched amddifaid, yn perthyn i deulu ag oedd flynyddoedd cyn hyn wedi dyfod o bellder at y cenadon; a daethant ar eu hol am eu bod wedi clywed fod eu cyfeillion wedi cael gafael ar y ffordd i'r nefoedd, a'u bod yn ddedwydd. Fel hyn y mae gallu i dynu gan yr efengyl.

YR OEDD Y GWAITH DA YN MYNED RHAGDDO.—Yn y flwyddyn 1867 bedyddiwyd 30. Daeth dau yn bregethwyr, a'r rhai hyn yn myned at eu pobl i bregethu Crist. Yr oedd Mr. Bixby wedi bedyddio amryw o Ewropeaid, Burmans, a Shuns, dau o honynt yn ddynion o nôd—prif ddyn y Dalaeth, a phrif ddyn y dref. Yr oedd penaeth yspeilgar (*maurauding chief*) un o'r llwythau, â'r hwn yr oedd Mr. Bixby wedi ymweled naw mis cyn hyny, wedi breuddwydio yn nghylch yr athraw, a than ddylanwad y breuddwyd, cychwychodd i daith diwrnod i weled Mr. Bixby, a gwnawd amodau heddwch rhwng y *chief* a llwythau eraill, yr hyn a agorodd y ffordd i gartref y Shuns.

Yn y flwyddyn 1869, gorfod i Mr. Bixby droi ei wyneb yn ol i'r Unol Dalaethau, o herwydd afiechyd. Yr oedd y pryd hwn bump o eglwysi, a 134 o aelodau yn perthyn i'r *Shun Mission*. Pryd hyn symudodd Mr. Cushing i Rangoon, lle yr oedd llawer o'r Shuns yn byw. Teithiodd trwy y wlad; yr oedd y bobl yn tyru ato i wrando "'Stori y Groes." Ffurfiwyd eglwys o bump yn Rangoon. "Dydd y pethau bychain" oedd hwn, mae'n wir, ond yn fychan y mae y rhan fwyaf o bethau mawr Duw yn dechreu, yn eu diwedd y maent hwy yn fawr.

Yn 1870, symudodd Mr. Cushing i Toungoo, er mwyn ei iechyd. Yn 1871, yr oedd argoelion mwy ffafriol ar y Genadaeth. Daeth Mr. Kelly a'i wraig yn genadon atynt. Bedyddiwyd dyn ieuanc addawol iawn, yr hwn er ei fod yn gwybod fod erledigaeth yn ei aros, eto yr oedd yn benderfynol, a daeth yn athraw ysgol. Cyfieithiwyd Efengyl Matthew i iaith y Shuns. Aeth Mri. Cushing a Kelly ar daith i Shunland; ond er gofid a cholled dirfawr i'r achos, syrthiodd Kelly i'r dwfr a boddodd, yn 1873. Yn y flwyddyn hon cyfieithiwyd dwy o'r Efengylau, a chyfansoddwyd Geirlyfr mawr; phan y byddai y *caravans* yn dyfod a'u nwyddau, yr oedd y pregethwyr brodorol yn gwasgaru y llyfrau, ac felly yr oedd y wybodaeth am Grist yn ymledu, a gwawr newydd ar yr achos, a'r eglwys fechan o 14 o aelodau yn cyfranu yn agos i bedair dolar yr un at gario y gwaith yn mlaen. Mae y *Mission* at y Shuns, er wedi cyfarfod â llawer iawn o rwystrau, eto yn addawol o gynydd a llwyddiant mawr.

THEOS. JONES.

—

Mr. Golygydd y WAWR: Mae yn anmhosibl rhoddi llawer iawn o fanylion am y Genadaeth mewn can lleied gofod a all y WAWR ei ganiatau, eto gobeithiwn fod digon wedi ei ddyweyd, i beri i bob un sydd yn caru a gwerthfawrogi efengyl Crist, a lles eneidiau dynion, i wneyd a allont i anfon yr efengyl i bob gwlad.

T. J.

—Diwygia ynot dy hun yr hyn sydd yn dy anfoddio yn eraill.

# NEWYDDION Y MIS.

—Diau fod Twrci a Rwssia wedi llaw-nodi rhag-amodau heddwch er's amser bellach, ac o ganlyniad mae cadoediad yn bodoli. Ni amlygir ond prif benau yr amodau, ac y mae y manylion i'w penderfynu eto. Wele yn canlyn brif benau yr amodau, fel y llaw-nodwyd hwy gan y Grand Duke Nicholas, Server Pasha a Namyk Pasha: 1. Dyrchafiad Bulgaria i fod yn Dywysogaeth. 2. Taliad iawn rhyfel mewn arian neu diriogaeth er digolledu Rwssia. 3. Annibyniaeth Roumania, Servia a Montenegro, yn nghyd a helaethiad eu tiriogaethau. 4. Diwygiad yn Bosnia a Herzegovina. 5. Dealltwriaeth pellach rhwng y Czar a'r Sultan yn nghylch y Dardanelles. 6. Gwaghad amddiffynfeydd y Danube ac Erzeroum.

Erbyn hyn yr oedd Lloegr yn y cyffro mwyaf, a phasiwyd mesur yn y Parliament yn darparu £6,000,000 at wasanaeth y fyddin a'r llynges, trwy fwyafrif o 204, a danfonwyd llynges yn uniongyrchol i angori o flaen Constantinople, yr hon a symudodd wedi hyny i Medania, 40 milldir o Constantinople. Er y pryd hyny mae rhyw ddirgelwch hynod yn bodoli mewn perthynas i ymddygiadau Rwssia a Thwrci. Awgrymwyd fod y ddau allu yn debyg o ddyfod yn gyfeillion, os nad yn gyngreirwyr amddiffynol ac ymosodol. Mae byddin Rwssia yn gwersyllu o amgylch Constantinople, ac mewn meddiant o'r amddiffynfeydd mwyaf allanol, fel y maent mewn sefyllfa i feddianu y brif ddinas ar fyr rybudd, ac mae'n debyg fod y symudiad hwn yn ol telerau y cadoediad. Dywed hysbysiad diweddar o Vienna fod y galluoedd wedi cytuno i gyfarfod mewn cynadledd yn fuan yn Baden-Baden, Germani, pryd y gobeithir yr heddychir y pleidiau. Awgrymir fod cyngrair ar gael ei ffurfio rhwng Lloegr ac Awstria, a bod yr olaf yn trefnu i gael menthyg arian gan y Rothschilds. Bydd i lynges Lloegr a milwyr Rwssia gadw eu safleoedd presenol hyd nes y cwblha y gynadledd ei gwaith.

—Dydd Iau, y 7fed o'r mis diweddaf, bu farw, yn y Vatican, yn Rhufain, Giovanni Maria Mastai Ferretti, sef y Pab Pius IX., yn agos yn 86 mlwydd oed. Ganwyd ef yn Sinigaglia, Itali, Mai 13, 1792, ac yr oedd o deulu urddasol. Plentyn egwan a gwael ei iechyd ydoedd o'i enedigaeth, fel nad oedd neb yn meddwl fod hir oes o'i flaen ef. Bu ei addysg foreuol yn araf o herwydd gwaeledd iechyd; ond yn raddol treuliodd ei anhwyldeb ymaith, a daeth i feddiant o iechyd da. Derbyniodd addysg dda yn y colegau Italaidd, a derbyniodd urddau offeiriadol yn 1819, pryd y synwyd ei athrawon gan ei ddiwylliant meddyliol a'i ddifrifoldeb crefyddol. Penodwyd ef i amryw swyddi pwysig yn yr eglwys, y rhai a lanwodd gyda'r fath foddlonrwydd nes y gwnaed ef yn Gardinal. Ion. 1, 1846, bu farw y Pab Gregory XVI., ac etholwyd Ferretti i gymeryd ei le. Efe oedd y 257 Pab perthynol i'r Eglwys Babaidd o ddyddiau yr Apostol Pedr, yr hwn, yn ol eu hathrawiaeth hwy, a'u rhagflaenorodd oll. Dechreuodd y Pab newydd effeithio llawer o ddiwygiadau, megys lleihau y trethi, caniatau manteision i adeiladu rheilffyrdd, rhoddi swyddi i leygwyr yn gystal a chlerigwyr, &c. Drwy hyn daeth yn boblogaidd iawn. Ond cyn hir achosodd ei weithrediadau anfoddlonrwydd mewn rhai cyfeiriadau—aeth pethau yn waeth yn gyflym; amlgylchynwyd ef gan anhawsderau a pheryglon politicaidd nad oes genym ofod i'w crybwyll yn bresenol; cudd-lofruddiwyd ei brif gyngorwr, y Count Rossi, a chynyddodd y cynwrf yn Rhufain i'r fath raddau nes y ffodd y Pab oddiyno i Gaeta; ond cyn hir cymerodd Ffrainc ran yn y drafodaeth, a galwodd y Pab yn ol, a chafodd lonyddwch dros nifer o flynyddau dan nawdd bidogau milwyr Ffrainc. Yr oedd y Pab erbyn hyn wedi ei lwyr lanhau oddiwrth bob syniad rhyddfrydol; ond y gwir yw, ni fu erioed yn rhyddfrydwr o gydwybod ac argyhoeddiad, a pharhaodd o'r amser hwn hyd ddiwedd ei oes yn wrthwynebwr chwerw i bob symudiad rhyddfrydol mewn byd ag eglwys. Yn 1859 torodd anghydfod allan rhwng Awstria, Piedmont, a Ffrainc, pryd y dechreuodd gallu tymorol y Pab grynu. Er gwaethaf Awstria a Ffrainc, cododd yr Italiaid dan Garibaldi yn erbyn y gorthrwm, a threchwyd milwyr y Pab; ond yn fuan cyfarfuasant a milwyr Ffrengig, a buan y gwasgarwyd byddin anmhrofedig Garibaldi. Er fod Ffrainc yn sicrhau diogelwch y Pab ar ei sedd, yr oedd efe a Louis Napoleon yn cweryla yn barhaus yn nghylch pynciau gwladol ac eglwysig. Amser y rhyfel rhwng Ffrainc a Prwssia, gelwid y milwyr Ffrengig adref o Rufain, a gadawyd y Pab i gymeryd gofal o hono ei hun. Cymerodd yr Italiaid fantais ar hyn. Ar ol peth ymdrafodaeth rhwng Victor Emanuel a'r Pab, yr hyn a achosodd deimladau gwaeth rhyngddynt, ymosododd y blaenaf ar Rhufain a chymerodd hi. Cymerodd hyn le Medi 20, 1860, a dyna yr amser y terfynodd llywodraeth dymorol y Pab, ac yr unwyd y gwahanol Dalaethau ag Itali. Y flwyddyn hon hefyd cynaliwyd y Gynadledd fawr yn Rhufain i benderfynu anffaeledigrwydd y Pab. Cyfarfu y Gynadledd Rhag. 8, a pharhaodd hyd Gorph. 13 y flwyddyn ganlynol. Pleidleisiodd 451 dros ei anffaeledigrwydd cyflawn; 62 ei fod felly mewn rhan; ac 88 yn erbyn ei anffaeledigrwydd o gwbl. Yr oedd y Pab o dalentau mwy na'r cyffredin, ac arferid dyweyd mai efe oedd y dyn tlysaf yn Ewrop dros nifer mawr o flynyddoedd. Ond y gair olaf sydd genym o'i hanes yw, "Ac efe a fu farw."

—Cynaliwyd cyfarfod o Gatholiciaid Gwyddelig dro yn ol yn Nghenadaeth y Tad McNamara, New York, i'r dyben o sefydlu Eglwys Genedlaethol Wyddelig. Dywedodd y Tad McNamara fod swyddogion eglwysig Italaidd

wedi ymaflyd yn wreiddiol yn yr eglwys Wyddelig i'r dyben o'i defnyddio i ddybenion politicaidd. Ganwyd Crist, meddai, yn y preseb yn Bethlehem, ac nid yn nghanol gwychder a mawredd Rhufain. Croes Calfaria, ac nid y Vatican, yw y lle i Gatholiciaid Gwyddelig edrych ato. Rhoddodd yr offeiriad amryw gwestiynau i bersonau yn y cyfarfod, a dangosai yr atebion fod y gynulleidfa yn credu gydag ef nad oedd gan Rhufain un awdurdod arnynt hwy; fod ei dylanwad yn groes i'r Eglwys Gatholic foreuol; a bod i'r Pab honi iddo ei hun anffaeledigrwydd yn sarhad ar Dduw, a chan hyny yr oeddent yn ystyried yn ddyledswydd arnynt i ysgymuno offeiriaid Catholicaidd Gwyddelig, ac aelodau cyffredin a gydnabyddent oruwchafiaeth swyddogion eglwysig Italaidd. Cytunasant i beidio myned i eglwys lle y byddai dilynwr i Rufain yn gweinidogaethu, ac hefyd i sefydlu Eglwys Genedlaethol Wyddelig.

—Bu tymestloedd aruthrol ar hyd yr arfordir deheuol yn ddiweddar, pryd y dinystriwyd swm mawr o eiddo, ac y collwyd llawer o fywydau; ond y trychineb mwyaf erchyll oedd drylliad y "Metropolis" ar oror North Carolina. Hwyliodd yr agerlong uchod o Philadelphia am Brazil, America Ddeheuol: ac am haner awr wedi chwech, nos y 30ain o Ionawr cafodd ei gyru i'r lan, yn agos i le a elwir Kitty Hook, N. C. Yr oedd ar ei bwrdd 200 o ddynion yn myned i weithio ar reilffordd yn Para, Brazil. Rhifai yr holl bersonau ar ei bwrdd 248. Bu y "Metropolis" mewn tymestl aruthrol am 24 o oriau; ac o herwydd ei bod yn hen long wael, haner pydredig, methwyd a'i chadw o'r tir, ac aeth yn ysgyrion mewn ychydig amser. Er pob ymdrech, boddodd dros gant o'r labrwyr, a dwy ddynes.

—Y mae prif beirianwyr Lloegr a Ffrainc yn dra phenderfynol y gellir gwneyd twnel yn llwyddianus o dan y sianel rhwng y ddwy wlad, yr hwn fydd tuag un-filldir-ar-hugain o hyd. A chyhoeddir fod telerau gwneuthuriad y twnel costus wedi eu penderfynu gan y pwyllgor Ffrengig a Phrydeinig. Ymddengys fod yr haner nesaf i Loegr i gael ei feddianu gan Brydeiniaid, a'r haner arall gan y Ffrancod. O un ochr rhedir trênau drwyddo gan gwmni ffyrdd haiarn Llundain, Chatham a Dover, ac o'r ochr arall gan y Chemir de Fer du Nord. Y mae y ddau gwmni i gael rhyddid i anfon eu cerbydau trwodd o Lundain i Paris, ac o Paris i Lundain.

—Aeth Mr. C. K. Ross (tad y Charlie Ross a ladratawyd yn Philadelphia ychydig flynyddoedd yn ol) yn ddiweddar i Baltimore i weled bachgen y dywedid oedd yn ateb i'r desgrifiad o'i Charlie colledig. Cafodd y tad ei siomi y tro hwn hefyd Dywedodd ar ol hyny: "Mae hyn yn gwneyd 573 o fechgyn y cefais fy ngalw i'w gweled, neu yr ysgrifenwyd ataf yn eu cylch, ac y mae y canoedd o weithiau y cefais fy siomi wedi fy nysgu i beidio coleddu fawr o obaith. Mae yn debyg y parhaf i fyned i weled bechgyn nes y byddaf farw, ond nid wyf yn dysgwyl cael gafael ar Charlie byth."

—Mae y cyfyngder yn Neheudir Cymru yn tynu sylw cyffredinol, a'r holl haelioni sydd mor nodweddiadol o Brydeinwyr wedi dechreu rhedeg yn ffrwd gref, fel y mae gobaith y cedwir y dyoddefwyr uwchlaw danedd llymion newyn am y gauaf. Gwir a ddywed y *Goleuad*, fod hwn yn "gyfle eithriadol i chwarelwyr Gogledd Cymru offrymu rhodd o ddiolchgarwch am y llwyddiant y maent hwy yn ei fwynhau, pan y mae pob cangen arall o fasnach wedi ei pharlysu."

—O herwydd afiechyd a henaint, mae y Parch. Dr. Stephen H. Tyng, o New York, wedi rhoddi fyny ei ofal o eglwys St. George (Esgobawl), i'r hon y bu yn weinidog am 33 o flynyddoedd. Nid llawer o weinidogion a berchid yn fwy gan ei enwad ei hun ac enwadau eraill na Dr. Tyng. Penderfynodd ei eglwys sefydlu $5,000 y flwyddyn iddo am y gweddill o'i oes. Mae yn awr yn 78 ml. oed.

—Mewn dadl yn ddiweddar yn Mharliament Lloegr, dywedodd y Marquis o Salisbury, pan yn llefaru o blaid y Weinyddiaeth: "Mae y Llywodraeth wedi gwneyd yr oll yn ei gallu i ddiogelu heddwch a llywodraeth dda i'r Cristionogion yn Twrci, *ond ni wnai ddim i beryglu deiliaid Prydeinig na'u buddion er mwyn yr holl Gristionogion yn y byd!*"

—Mae darpariadau rhyfelgar (ar gyfer y gwaethaf) yn myned yn mlaen yn gyflym yn Lloegr. Ail gychwynwyd amryw o law-weithfeydd haiarn yn Sheffield i wneyd rhych-ddrylliau, magnelau, cleddyfau, &c., ac y mae rhai o'r *forges* yn gweithio ddydd a nos.

—Dywed Trafnoddydd y Talaethau Unedig yn Shanghai fod newyn dychrynllyd yn bodoli mewn pedair o Dalaethau Gogleddol China. Mae 9,000,000 o bobl mewn cyfyngder mawr, a gwerthir plant yn ddyddiol er cael ymborth. Mae apeliad am gymorth wedi ei wneyd at Loegr ac America.

—Mae gan Itali fyddin safadwy o yn agos i 400,000, yr hyn sydd yn faich annyoddefol, yn gofyn trethiad dychrynllyd; ond nid oes digon o wroldeb yn y Parliament na'r bobl i leihau y baich dirfawr.

—Pasiodd y "*Bland Silver Bill,*" ar ol ei ddiwygio, drwy y Senedd, am 5 o'r gloch boreu Sadwrn, Chwef. 16, drwy bleidlais o 48 yn erbyn 21.

—Chwefror 10, bu farw Rowland Whittington (*Egwisyn*), ger Pittsburgh, Pa., yn 56 mlwydd oed.

—Etholwyd y Cardinal Joachim Pecci i fod yn olynydd i Pius IX., fel y Pab o Rufain. Cymer yr enw o Leo XIII.

